"*Gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a pherffeithydd ein ffydd ni.*"

# Y WAWR;

—SEF—

## CYLCHGRAWN MISOL

# Y Bedyddwyr Cymreig

## YN AMERICA.

DAN OLYGIAETH

Y PARCH. OWEN GRIFFITH (*GIRALDUS*),

*UTICA, N. Y.*

## CYFROL V.

UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.

1881.

# ANERCHIAD.

---

At y Bedyddwyr Cymreig:

*Anwyl Gyfeillion*—Gan mai yn eich enw chwi y mae y Cyhoeddiad, chwy-chwi, ni dybiwn, a ddylem anerch-yn y modd hwn unwaith yn y flwyddyn. Wedi cryn lawer o lafur a phryder, ïe, trwy lawer o ddyoddef oerni a gwres y tymorau, a llawer o ragofalu fod yr argraffydd yn cael ei dâl, a'r teulu yn cael tamaid i'w fwyta, ac ychydig i ymwisgo, wele ni yn cael y fraint o gyflwyno i'ch dwylaw y rhifyn diweddaf o'r bumed flwyddyn o'r Wawr, eich Cyhoeddiad Misol. Anhawdd i ni yma ydyw dyweyd yr oll sydd ar ein meddwl mewn perthynas i'r cyfrifoldeb o ddwyn allan y misolyn hwn yn rheolaidd, fis ar ol mis; a phe byddem yn ymhelaethu, gan geisio myned dros y manylion, gan nodi yr anhawsderau a'r achosion digalondid, ychydig efallai, o honoch a allai sylweddoli y pethau yn briodol, ac ystyried y ffeithiau yn ddyladwy, nes y byddent yn enyn ynoch fflam o sel adnewyddol dros y Cylchgrawn. Frodyr a chwiorydd anwyl, eisiau mwy o sel sydd arnom dros ein tipyn llenyddiaeth Gymreig. Yn awr, faint o honoch a ystyr hyn?—mae yn ddigon gwir. Methwn yn lân a deall paham y rhaid i ni fel Bedyddwyr fod yn fwy llesg mewn anfon moddion cynaliaeth a bywyd i'n Cyhoeddiad nag y dywedir fod enwadau eraill llai uniawngred yn gwneyd dros eu Cyhoeddiadau hwy. Cas beth genym ydyw grwgnach, ond ni allwn ymatal dweyd ein meddwl mewn rhan, yn y modd hwn. Yr hyn sydd yn peri y boen fwyaf i ni ydyw, fod yn *rhaid* i ni deithio cymaint ar ol y taliadau, ac i gael derbynwyr. Bydded fod diwygiad, fel na byddo *raid* i ni wneyd cymaint o hyn rhagllaw.

Diolch—can' diolch, i bawb o'r ffyddloniaid yn eich plith, canys y mae llawer o ffyddloniaid yn eich plith i'w cael—ffyddloniaid dros y Wawr, a'r dydd—dydd gwirionedd—dydd efengyl Mab Duw.

Bwriadwn ymegnio i ddwyn allan y Wawr am flwyddyn arall. Y mae ein dymuniad am wneyd y Cyhoeddiad yn well nag erioed. Yn awr, frodyr, cydymdrechwch, a thrwy fendith Duw gallwn ddysgwyl gwneyd llawer o les. Hyderwn y cydnebydd y mwyafrif o honoch, fel y mae y Cymanfaoedd yn flynyddol yn arwyddo, ein bod yn deilwng o'ch cefnogaeth. Aml i dro cyn hyn mae arwyddion o gefnogaeth wedi peri i ni galondid a chysur. Mae yr adnabyddiaeth a feddwn o honoch, trwy ein gwaith yn dwyn allan y Wawr i chwi, yn rhoddi mantais i ni wybod pwy yw ein gwir ymarferol gefnogwyr.

"Parhaed brawdgarwch." "Yn gwneuthur daioni na ddiogwn, canys yn ei iawn bryd y medwn, oni ddiffygiwn."

Y GOLYGYDD.

# CYNWYSIAD.

EBRILL.



MAI.



MEHEFIN.



GORPHENAF.



AWST.



MEDI.



HYDREF.



TACHWEDD.



RHAGFYR.



IONAWR.



CHWEFROR.



MAWRTH.



***** Nid yw y Cynwysiad uchod yn cynwys ond yr erthyglau blaenaf yn mhob rhifyn.**

// Y WAWR.

CYF. V.] EBRILL, 1880. [RHIF. 1.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## Y DRYDEDD DEMTASIWN.

"Trachefn y cymerth diafol ef i fynydd tra uchel, ac a ddangosodd iddo holl deyrnasoedd y byd a'u gogoniant." Yr oedd amryw o'r teyrnasoedd hyn heb fod yn mhell—dangosodd hwynt—darluniodd hwynt—cyfeiriai at y pwyntiau y gorweddent—rhoddai amlinelliad o'u hurddasolrwydd—"Ac a ddywedodd wrtho, Hyn oll a roddaf i ti os syrthi i lawr a'm haddoli i." Cyfaddasid y demtasiwn hon, fel y lleill, at y cyflwr yr oedd yr Iesu ynddo. Gan iddo fod yn yr anialwch am dymor mor hirfaith, yn nghanol amlygiadau geirwon o annhrefn a diffyg llywodraeth, ac yntau wedi ymgyflwyno i'r gwaith o sefydlu teyrnas ddisigl yn y byd, ac yn teimlo yni ymadferthol angenrheidiol yn ei natur, ond ar yr un pryd yn argyhoeddedig fod y fath waith yn gyrhaeddadwy trwy lawer o rwystrau, ymdrechiadau a dyoddef, rhaid fod ei ddyheuad yn gryf i sylweddoli y deyrnas, ac eto ei bryder yn fawr gyda golwg ar yr anhawsderau ar y ffordd. Ac ymresymu yn ol dull dynol, buasai cyrhaedd yr amcan heb y drafferth yn ddymunadwy. Buasai maes digonol i ddadblygu yr elfenau llywodraethol y teimla ei hunan yn feddianol arnynt, ar fyrder ac yn ddirwystr, yn demtasiwn yn wir. Yn yr arwedd yna, a chyda y dymunolion yna, mae yr un drwg yn cyfarfod y Gwaredwr. "Hyn oll a roddaf i ti, os syrthi i lawr a'm haddoli i." Heb unrhyw drafferth, heb ddyoddef, heb flinder na gofid, ar fyrder, dim colli amser, dim petrusder yn nghylch y mater o gwbl, daw yr oll yn eiddo i ti, yr holl deyrnasoedd a'u gogoniant, a chei wneyd fel y mynot â hwynt, a hyny ar yr amod ysgafn a rhesymol hon—syrthio i lawr a phlygu yn ymostyngol, gan gydnabod y rhoddwr—rhoddi arddangosiad bychan o foesgarwch!

"Yna yr Iesu a ddywedodd wrtho, Ymaith, Satan; canys ysgrifenwyd, Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi." Daethai Satan allan yn bresenol yn ei gymeriad ei hun, ac y mae y Gwaredwr yn ei anerch ef yn y cymeriad hwnw: Ymaith, Satan. O'r blaen ceid y gelyn yn Ysgrythyrwr annghyffredin, ac ystyried ei achos; dangosai fedrusrwydd archangylaidd wrth drafod geiriau y gwirionedd dwyfol. Nid all dim fod yn fwy peryglus i ddyn yn ei wyrni na thybied fod yr Ysgrythyrau yn ei gymeradwyo yn yr unrhyw. Mae temtasiwn yn ngwisg rhinwedd a gwirionedd yn un mwyaf andwyol. Amcanai Satan at hyn yn y ddwy demtasiwn gyntaf. Gwenwyn aspaidd oedd dan ei wefusau wrth barablu geiriau y nef. Mae yr hwn fyddo yn rhedeg i ddryg-

ioni yn ceisio gwneyd yr un peth yn ei galon ei hun. I rwyddhau y ffordd iddo i ddilyn ei flysiau, dysga ei gydwybod anfoddus i siarad o'i blaid.

Nid yw Satan yn defnyddio geiriau yr Ysgrythyr y tro hwn; y mae fel yn ymwybodol o'i fethiant blaenorol. Ond y mae Iesu yn parhau i chwifio cleddyf llachar yr Ysbryd nes y mae chwaon ei ddwyfoldeb yn deifio hyfdra gwynebpryd y gelyn. Sylwer: "Yr Arglwydd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi." Dyfyna ef o'r un llyfr bob tro—llyfr y Deuteronomium—y llyfr yr arferai yr ieuenctyd Iuddewig ddysgu rhanau o hono ar eu cof—yr hyn a brawf fod yr Iesu wedi gwneyd yr un peth. Llym a hyrddiadol oedd yr ymadrodd, "Ymaith Satan!" neu, yn ol Luc, "Dos ymaith Satan, yn fy ol i!" Aruchel oedd trem a geiriau ein Pryniawdwr.

Cynllun Satan y tro hwn oedd temtio Iesu fel Brenin. Ymddibynai ei hawl ef i'r freniniaeth ar ei ffyddlondeb yn addoli a gwasanaethu ei Dad. Buasai talu gwarogaeth i Dywysog y byd hwn yn ei ddifreinio ef o'i hawl a'i gymwysder i'w freniniaeth. Mae ein hawl ninau i lywodraethu, i orphwys ar yr un sylfeini. Cref y duedd sydd mewn llawer o ddynolion i arfer y dawn llywodraethol. Mynir bod yn feistriaid. Ac, yn wir, mae pawb am fod yn rhywun—yn rhyw bwysau mewn cymdeithas—yn y teulu, neu yn yr eglwys. Anaml y ceir neb a fydd yn foddlawn i gael ei hollol anwybyddu mewn un cylch cymdeithasol. Gogwyddir at y pegwn yna o bob cyfeiriad a safle ddynol. Ond wedi'r cwbl, y mae i'w ystyried mai rhyw un dosbarth yn unig sydd ganddynt wir hawl a chymwysder i deyrnasu; sef y rhai ydynt yn blaenori mewn talu gwarogaeth i Arglwydd pawb oll—i Frenin nef a daear. Mae ein hunaniaeth ni wedi cael ei osod mewn safle nodedig iawn yn ein natur. Mae yr hyn a alwn "y *myfi*," yn nghanolbwynt ein bodolaeth—uwchlaw yr anianol, ac islaw y dwyfol. Yr ydym i arglwyddiaethu ar y nwydau, y gwyniau a'r chwantau a berthynant i'n natur iselaf—a lechant yn nghuddfanau ein natur gorphorol. Rhaid i ni arfer llywodraeth ar y rhai hyn, tebyg i'r hon a gariai Daniel ar y llewod yn y ffau, neu y maent yn sicr o'n gwneyd yn ysgyrion. Ond tra yr ydym i gadw y tueddiadau anifeilaidd fel hyn tanodd, yr ydym ni i ymostwng i lais cydwybod, dealltwriaeth a rheswm; rhaid gwrando ar y llais dwyfol a lefara wrthym ynom. I'r graddau yr ymostyngwn i'r uwchlaw, i'r dwyfol, i'r graddau hyny y byddwn yn alluog i feistroli yr anianol. Wrth gydymffurfio â threfniadau Duw, y mae dwyfoldeb y trefniadau yn ymweithio eu hunain i'n natur. Anaml y bydd cwyno mewn eglwys oblegid y bydd y dynion goreu yn arfer gormod o awdurdod. Ni ddylid cwyno os awdurdodant. Hwynt-hwy ddylent lywodraethu, ac nid y rhai ydynt yn barhaus o dan draed eu nwydau. Oni farna y saint y byd? Gwnant. Hwythau ddylent ei farnu a'i lywodraethu. Cadwodd yr Iesu yn ffyddlon i addoli a gwasanaethu ei Dduw, yn ol yr Ysgrythyr, a chadwodd feddiant trwy hyny ar ei hawl i'w freniniaeth. Ac y mae ei gadernid dihafal ef mewn ufuddhau i'w Dad a'i addoli, wedi ymsylweddoli yn gadernid tragywyddol yn ei deyrnas. "Ei deyrnas fawr a bery byth." Gwna, mae ei ffyddlondeb ef i Dduw Dad yn gwarantu hyny. "Nef a daear a ânt heibio, ond fy ngeiriau nid ânt heibio ddim." O, fy enaid, adeilada dy grefydd ar yr egwyddor fawr a bendigaid hon—ymostyngiad addoliadol i Dduw.

"Ac wedi i ddiafol orphen yr holl demtasiwn, efe a ymadawodd ag ef dros amser." Rhaid fod diafol yn teimlo yn yswil wedi y methiant hollol a chywilyddus hwn. "Yna y gadawodd diafol ef." Wrth fyned ymaith yr oedd yn cario llonaid ei deimladau o anfoddlonrwydd siomedigaethol. Ni ddaeth Satan mor hyf a digêl at Iesu byth ar ol hyn. Rhyw lechu yn nghysgod rhyw drueiniaid o bechaduriaid y byddai. "Och!" meddai, ar ol hyn, "mi a'th adwaen pwy ydwyt, Sanct Duw."

"Ac wele, angelion a ddaethant ac a weiniasant iddo." Fel y sylwasom o'r blaen, gwersyllai y fintai angelaidd mewn cerbyd nefol, gan dremio ar y ddwy

demtasiwn gyntaf gyda pherlewygedd sanctaidd; felly hefyd hwy a oruwchdremient ar y demtasiwn ddiweddaf hon—yr oedd eu dyddordeb fel yn mwyhau yn barhaus. Ac mor fuan ag yr oedd yr ymdrechfa drosodd, yr oeddynt yn perori yr awel â'u hadenydd yn eu disgynfa i lawr i wasanaethu ar y gorchfygwr mawr, y dyn Crist Iesu—i arlwyo bwrdd iddo. Dyna wasanaethyddion medrus, oeddynt! Buom yn sylwi ar *waiters* cyn hyn yn gwasanaethu yn fedrus ar fyrddau, mawrion, heirdd a llawn. Gwyddom beth oedd edmygu eu hysgogiadau, eu glanweithdra, a'u destlusrwydd. Adlewyrchai gwareiddiad yn eu trem—ymddawnsiai yn eu symudiadau chwim ac ysgafndroed, a'u cyffyrddiadau esmwyth. Ond O! rhaid tewi am fedrusrwydd pawb gwasanaethyddion pan yn crybwyll am fedrusrwydd yr arlwywyr angylaidd hyn a wasanaethent ar ein Harglwydd ni wedi yr ympryd a'r temtio digyffelyb. Cip-dremient yn edmygawl ar y buddugoliaethwr; ymfalchïent yn fawrygol wrth wasanaethu arno. Teimlent ei fawredd yn llenwi yr amgylchoedd. Dychlamai eu calon o'u mewn wrth adfeddwl am yr hyn a welsent ac a glywsent. Synent at y mawreddau sydd mewn buddugoliaethau moesol ar y byd, cnawd, a Satan. Ymsynient os yw yr ymdrechfa yn galed a'r anturiaeth yn beryglus, fod y gogoniant a'r mwynhad yn gyferbyniol fawr. Llawen oeddynt o gael gweini arno. Prin y gallent gael eu hunain yn yr ystum a'r medrusrwydd boddhaol iddynt eu hunain, gan mor fawr oedd Iesu yn eu golwg, a braidd nad oedd eu gwylder yn peri iddynt deimlo fel yn ymylu ar y chwithig ambell dro. Ymddangosai pob angel yn holl gyneddfau ei natur fel yn fyw i'r gwasanaeth.

"Fe hwyliai 'r nefol osgordd adre 'n awr,
A mawr orfoledd—trwy gynteddau'r nen
Esgynent; a gollyngent hwy oddi ar
Eu tannau, y beroriaeth fwyna' 'rioed
I fynwes yr awelon—cludent hwy
Y sain drwy holl ororau'r wybr fawr."

---

## R. H. EVANS A CHYMUNDEB.

### *Erthygl III.*

Mae Mr. Evans yn dyfod a John Bunyan yn mlaen fel esiampl dros rydd gymundeb; mae yn dyfod a lluaws o dystiolaethau i brofi ei fod yn cael ei ystyried yn ddyn o dalent a duwioldeb mawr. Gallasai Mr. E. hebgor y tystiolaethau hyn, oblegid gwyr y Bedyddwyr yn dda fod Bunyan yn ddyn o athrylith a duwioldeb enwog; ond ar yr un pryd yr ydym yn edrych arno, nid fel dyn ysbrydoledig, ond fel eraill o ddynion, yn anmherffaith ac agored i gamsynied, fel y troes pethau allan yn gymwys fel y dywedai ei wrthwynebwyr, ac nid fel y dysgwyliai efe ei hun. Yr oedd yn synu pan ddywedwyd wrtho gan Keach, Kyphin, Tombs, a D. Anvers, fod ei olygiadau ar gymundeb yn gweithio dan wraidd egwyddorion y Bedyddwyr; ond amser a ddangosodd pa mor gywir oedd eu tystiolaeth, a pha mor gamsyniol oedd ef ei hun. Yr oedd Bunyan yn tybied y buasai arfer cymundeb agored yn fanteisiol i lwyddiant ei enwad, ond troes pethau allan mor wahanol i hyn, fel pan fu ef farw, yn y fl. 1688, dewiswyd gweinidog taenellyddol i wasanaethu yr eglwys yn ei le. Ac o'r flwyddyn y bu farw hyd y fl. 1788 ni bu ond un Bedyddiwr yn gwasanaethu yr eglwys am yspaid o gan' mlynedd ar ol ei farw, ac ni ddewiswyd yr un hwnw fel Bedyddiwr; oblegid ar ol ei sefydliad gyda'r eglwys y cyfnewidiodd ei olygiadau ar fedydd; ac er ei fod wedi cael aros gyda'r eglwys ar ol cyfnewid ei farn, eto yr oedd dan amodau caeth i beidio ymdrin dim â'r pwnc o fedydd yn y pwlpud, nac mewn ymddyddanion personol, os na fuasai yn cael ei arwain i mewn gan eraill. Dyna gaethiwo cydwybod, barn a thafod gweinidog yr efengyl, fel na feiddiai ymdrin ag ordin-

had ei Arglwydd yn y pwlpud nac yn un man arall; a hyn yn cael ei wneyd yn hen eglwys Bunyan. Taenellwr oedd gweinidog yr eglwys yn ddiweddar, ac anhawdd meddwl nad yw yn gwenu rai prydiau wrth feddwl am gamsyniad ei ragflaenydd, trwy goleddu arferiad a drodd allan mor ddinystriol i'w eglwys ei hun fel eglwys Fedyddiedig. Gan fod Mr. Evans yn galw ein sylw at Bunyan a'i rydd-gymundeb, ni buasai ond tegwch ynddo alw ein sylw at ganlyniadau ei rydd-gymundeb ar ei eglwys yn Bedford. Pe bae Bunyan yn ymweled a Bedford yn awr rhyfeddai wrth weled ei gamsyniad, a'r canlyniadau ddilynodd ei gymundeb, sef troi ei eglwys o fod yn eglwys Fedyddiedig i fod yn eglwys Daenellyddol. Y mae yn debyg na ddaeth i'w feddwl, er cymaint a freuddwydiodd, y buasai y canlyniadau y fath ag y buont ar ol ei farw.

Ymddengys fod R. Hall yn gweled y canlyniadau yn mlaen llaw, pan ddywedodd, "Pe byddai yr arferiad o gymdeithasau Cristionogol cymysgedig o Fedyddwyr a Thaenellwyr i fyned yn gyffredinol, mae'n debyg y byddai yr enw *Baptist* yn fwy cymwysiadol i unigolion nag i eglwysi." Mae y brophwydoliaeth uchod yn deilwng o sylw pob Bedyddiwr. Arwydda y buasai R. H. yn ewyllysio difodi holl eglwysi y Bedyddwyr; nis gallasai y gelyn penaf feddant ewyllysio dim gwaeth iddynt; a hwn yw y dyn y mae R. H. Evans am i ni ddilyn ei esiampl. *Not so fast, Mr. Evans;* mae edrych ar hen eglwys John Bunyan yn profi cywirdeb ei brophwydoliaeth. Mae Hall, yn ol y dyfyniad uchod, yn ewyllysio difodi yr unig gyfundeb o Gristionogion na ddarfu iddynt, yn ol barn Syr Isaac Newton, "erioed gydymffurfio ag eglwys Rhufain,"—dymchwelyd yr eglwys (a gadael i'n gwrthwynebwyr fod yn farnwyr) sydd wedi dal y traddodiadau fel eu traddodwyd hwynt gan Ben yr eglwys.

Efallai y carai Mr. Evans weled yr un canlyniadau yn goddiweddyd holl eglwysi y Bedyddwyr drwy y byd. Os yw, gallaf ei sicrhau, nad ydynt yn ewyllysio myned o'r byd yn awr; pe baent, gwyddant, pe baent yn mabwysiadu egwyddorion Hall, fel y mae Mr. E. mor awyddus am i ni wneyd, gan ein beio a'n difenwi am beidio gwneyd, y byddai hyny y moddion mwyaf effeithiol i adael y byd. Ond gan nad ydym yn ewyllysio myned o'r byd, nac yn ystyried y gall y byd ein hebgor, ni a ddywedwn wrthych, Mr. Evans, yn benderfynol, "Nad ydym yn gofalu am ateb i chwi yn y peth hwn." A gallwch chwithau godi a thwymno y wasg ar ein cyfer; ond deuwn allan heb ddim niwed. Ni wnaeth y wasg a'r pwlpud erioed niwed i'r gwir. Mae y cleddyf a'r carcharau wedi dinystrio miliynau o honom er's deunaw can' mlynedd; ond, diolch i Dduw, mae y llywodraethau daearol wedi cymeryd y rhai hyny o ddwylaw ein gwrthwynebwyr; ac yn awr yr ydym yn lluosogi fel gwellt y maes, ac yn prysur lenwi y byd â'n hegwyddorion. Ac er ein cyfrif yn gul gyda golwg ar gymundeb, yr wyf wedi profi drwy ffeithiau ein bod, nid mor rhydd, ond yn *fwy* rhydd na phleidiau eraill sydd yn ein condemnio am fod yn gaeth. Pan y gwelwn chwi yn rhoddi cymundeb i'ch plant, y rhai y dadleuwch mor selog dros eu haelodaeth eglwysig, ac y credwch mor gadarn eu bod yn myned i'r nef ar ol marw, bydd yn haws genym gymeryd ein beio genych; er, pe baech yn gwneyd hyny, ni byddech fymryn mwy rhydd o ran egwyddorion eich cymundeb na'r Bedyddwyr, wedi hyny. Pan y mabwysiadwch egwyddorion Hall o gymuno, sef derbyn pawb y credwch eu cadwedigaeth, pa un bynag fyddant yn fedyddiedig neu beidio, ïe, meddaf, pan ddeuwch i'r tir yna, bydd eich condemniad o honom ychydig yn fwy cyson, a bydd yn haws genym eich goddef. Mae rhyw fath o gysondeb yn Hall pan yn ein beio, ond nid oes y cysondeb lleiaf yn eich gwaith chwi yn ein beio, o herwydd y rheswm fod egwyddorion eich cymundeb yn hollol yr un fath a'r eiddom ninau, a Hall yn wahanol i ni ein dau; a'r holl wahaniaeth sydd rhyngom, fel y dywedais o'r blaen, a R. Hall yn tystio yr un peth,

mai yn y bedydd, ac nid yn y cymundeb, y mae. Nid yw eich holl waith yn defnyddio *eloquence* R. H. i ddangos yr anghysondeb o wrthod at fwrdd cymundeb yr eglwys filwriaethus y rhai a dderbynir at fwrdd y wledd yn yr eglwys orfoleddus, ond ofer. Mae ei wrthddadleuon ef yn erbyn ein hegwyddorion ni ar gymundeb, yr un mor wrthdarawiadol i egwyddorion eich cymundeb chwithau.

Galwaf eich sylw, Mr. Evans, at yr hyn a ymddangosodd yn yr *American Presbyterian* am Meh., 1867: "Na foed i ni ofyn i'r Bedyddwyr i ddirmygu, na bod yn anghyson â'u hegwyddorion eu hunain; ac na wnawn, ychwaith, floeddio yn erbyn eu caeth gymundeb, yr hyn nid yw ond ffyddlondeb i egwyddor, hyd nes y byddom yn barod i fod yn *gymunwyr agored ein hunain.* Oddiwrth y fath ystyfnigrwydd boed i ni byth gael ein cadw; bydded i ni ryfela, nid a'u caeth-gymundeb, ond â'u hathrawiaeth mai trochiad yw bedydd." Mae y cyhoeddiad uchod yn edrych ar bethau yn eu lliw priodol, gan weled yn eglur mai yn y bedydd y mae'r caethiwed, os oes caethiwed yn bod; ond nid yw Mr. Evans yn gwybod pa beth i'w feio. Bydded iddo gymeryd ei ddysgu gan yr *American Presbyterian,* os na chymer genyf fi. Wrth gyhuddo y Bedyddwyr o fod yn gaeth yn eu cymundeb, yr ydych yn cyhuddo dynion mwy rhydd na chwi eich hunain. Oni ddadleuwch â'ch holl egni dros aelodaeth plant, eu hawliau, a'u breintiau o dan yr oruchwyliaeth hon, sydd, meddwch, yn fwy helaeth yn ei breintiau na'r hen? Ond pa freintiau, atolwg, mae eich plant yn eu cael? Mae yn wir eu bod yn cael eu taenellu genych—defod na sefydlodd Crist erioed; a phe buasai wedi ei sefydlu, y mae yn ddefod mor ddibwys, yn ol fel ei darlunir genych yn aml, megys arwydd, cysgod, plisgyn, *trimmings, non-essential,* &c. Gofynaf, Pa fraint ydyw i blentyn gael gweinyddu arno ddefod mor ddibwys a'r peth a elwir genych yn fedydd?—ond cedwch oddiwrtho y cymundeb, â'r hwn y cysylltwch gymaint o bwys, a hyny yn eithaf priodol, oblegid y mae pob gorchymyn o eiddo Crist yn bwysig. Ac mae yn sicr genyf eu bod mor deilwng o'r cymundeb ag ydynt o'r bedydd; a chredaf y derbyniant ef yn fwy ewyllysgar na'r taenelliad. Gofalwch rhag y bydd y plant yn codi yn eich erbyn am eu cadw oddiwrth freintiau yr eglwys, a chwithau yn dadleu mor selog eu bod yn aelodau eglwysig. "*Let us take care of Jupiter,*" meddai un, ac ar yr un pryd yn ei ymddifadu o'i wisg. Felly mae taenellwyr gyda'r plant, yn selog yn amddiffyn eu haelodaeth eglwysig, ac ar yr un pryd yn eu hamddifadu o'u hawliau fel aelodau.

W. JONES.

---

## AFONYDD DEHEUBARTH CYMRU.

### *Rhif II.*

Fel yr oeddwn wedi bwriadu anfon ychwaneg am yr afonydd mordwyol yn y Deheubarth, ac am aberoedd Morganwg, awn yn mlaen yn hwn i ddynodi y ffrydiau penaf yn y swyddi eraill.

#### SWYDD GAERFYRDDIN.

12. *Gwendraeth*—y fach a'r mawr. Cyfodant yn ardal y calchfaen a'r glo, yn y dwyrain. Ar ol rhedeg ddeuddeg milldir ymunant, er mai yn anmherffaith, i ffurfio porthladd Cydwely, yn morgilfach Caerfyrddin.

13. *Taf.*—Tardda hon yn uchel yn mynyddoedd Llanfyrnach, yn Nyfed; ac wedi croesi i Swydd Gaerfyrddin, hyd Lanfalldeg, rheda yn derfyn, am dro, rhwng y ddwy Sir Croesa Sir Gaerfyrddin eilwaith, ac ymarllwys i forgilfach Caerfyrddin, gan wneyd porthladd Llacharn, wedi gyrfa o 24 milldir. Rheda yr afon hon trwy lawer o dir da, a gellid ei gwneuthur yn fordwyol i fyny heibio St. Clare's. Y nentydd penaf a ymarllwysant iddi ydynt, Cathgenni, Cowyn, a Morlais. Dywedir fod yn Swydd Gaerfyrddin 28 o afonydd a'u ffrydiau yn ddigon cryfion i droi melinau.

#### DYFED.

Ni chynyrcha dosbarth calchog Sir Benfro ond ychydig o nentydd bych-

ain. Os croeswn borthladd Aberdaugleddyf i'r gorllewin, cyfarfyddwn â

14. *Niwgwl.*—Ffrwd yn gwahanu, nid yn unig rhwng y Cantref Penbidiog a Rhos, parthau Cymreig a Seisnig o Dyfed, ac yn fwy na hyny rhwng gwely y glo a'r creigiau llech.

15. *Solfach.*—Syrth hon, fel y Niwgwl, i forgilfach St. Bride, a ffurfiant borthladd i lestri o gant a haner o dunelli.

16. Yr afon yn haeddu sylw nesaf ydyw y *Gwaun* neu *Gwarn.* Cyfyd yn y mynyddoedd, ac ar ol rhedeg 20 milldir ymarllwysa i'r môr Werydd yn Abergwaun, gan wneuthur y porthladd nesaf i'r goreu yn y Swydd.

17. *Y Nefern.*—Wedi treiglo dros 15 milldir, syrthia i'r weilgi yn Nhrefdraeth, lle y mae porthladd i longau o gant o dunelli.

CEREDIGION.

Wedi croesi yr afon Teifi, yr hon a enwasom o'r blaen, yn mhlith yr afonydd mordwyol, gan estyn ein camrau tua'r gogledd, deuwn ar draws nifer o ffrydiau bychain yn disgyn i'r môr yn agas i Benbryn, Llandysilio, a Llanina.

18. Yr afon nesâf a welwn ydyw yr *Aeron,* yn bwrlymu trwy ddyffryn ffrwythlon a theg o'r un enw, ac yn disgyn i fôr Iwerddon wrth Aberaeron.

19. *Yr Arth* a ddisgyna i'r môr yn Aberarth.

20. Cwympa y *Gwyre* neu *Gwvrai* i'r un man, trwy forfa toreithiog Llanrhystyd, ychydig i'r gogledd o Lansantffraid.

21. *Yr Ystwyth.*—Tardda hon ar y mynyddoedd a derfynant ar Swyddi Maesyfed a Threfaldwyn, a chan redeg heibio i weithiau mwn Cwm Ystwyth, trwy Barc yr Hafod a'r tiroedd teg o amgylch y Trawsgoed, ar ol ystod o 22 milldir, â i mewn i'r môr yn Aberystwyth.

22. Y *Rheidiol* a ddechreua ei gyrfa allan o lyn bychan a elwir Llygad Rheidiol, yn y rhan a berthyn i Ceredigion o fynydd Pumlumon. Yn y mynydd hwn hefyd y mae ffynonau yr Hafren a'r Wy. Cymerant hwy eu taith i ardaloedd brasach Lloegr. Ond y Rheidiol, fel pe byddai ddrwg ganddi adael ei gwlad, fel y gwna ei chwiorydd, a dreulia ei gyrfa yn ei Swydd gynwynol. Ychwanegir ei dyfroedd gan y Fonach Siaradus, wedi i hono ddangos ei champau trwy lamu o glogwyn i glogwyn, a rhai ffrydiau eraill, ac ymrodda i'r môr yn agos i'r Ystwyth. Aber Rheidiol, felly, y dylasid galw Aberystwyth. Yr achos o alw y dref boglogaidd a boneddig hono wrth wrth yr enw sydd arni, hwyrach, yw, fod y Rheidiol gynt wedi rhoddi i fyny ei dyfroedd i'r Ystwyth.

Wedi olrhain fel hyn darddleoedd ac aberoedd yr afonydd penaf, yn y pedair swydd arforol, nid oes genym bellach ond nodi yr afonydd a'r ffrydiau sydd yn dyfrhau y ddwy Swydd ganol, Maesyfed a Brycheiniog—yr hyn a wnawn yn y rhifyn nesaf.

PYSGODWR.

---

## Y BEIBL.

Yr oedd Syr William Jones yn un o'r ysgolheigion penaf yn ei oes; gwyddai 28 o wahanol ieithoedd; a thystiolaethodd iddo, trwy ei holl orchwylion, yn feunyddiol astudio y Beibl. Syr Isaac Newton, y mwyaf o'r holl athronyddion, oedd yn fyfyriwr dyfal yn y Beibl. Mr. Locke a enwogodd ei hun yn fawr o ran treiddgarwch a galluoedd ei feddwl; ac efe a gymella bawb yn ddwys i fyfyrio yn y Llyfr Sanctaidd—am mai Duw ydyw ei awdwr, am mai iachawdwriaeth dyn ydyw ei ddyben, ac am mai gwirionedd heb ddim cyfeiliornad ydyw ei gynwysiad. Cyfrifir Milton yn uchaf o feirdd yr oesoedd. Hawdd i holl ddarllenwyr Cymreig *Coll Gwynfa* weled ei fod yn hyddysg iawn yn Llyfr Duw. Treuliai Boerhave, meddyg enwocaf Holland, yr awr gyntaf o bob dydd mewn myfyriad sobr uwchben yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Cysegrodd tiriondeb ein Creawdwr da un diwrnod o bob wythnos, un flwyddyn o bob saith, er mwyn i ni gael hamdden i gyflawni y ddyledswydd bwysig hon, a myfyrio am fyd arall.

## EPISTOL AT YR EGLWYSI.

GAN Y PARCH. B. JAMES.

Wrth ddarllen y gyfrol ysbrydoledig, sef y Beibl, cawn yr egwyddor fawr a ddysga yn wahanol iawn i lawer a broffesant grefydd yn yr oes hon, yr hyn yn ddiau sydd yn gryfhad mawr i anffyddwyr yr oes. Dysgodd Awdwr Cristionogaeth a'i Apostolion bethau llwyr wahanol am Gristionogaeth.

Yn un peth cyngorir ni i garu ein gilydd: "Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch eich gilydd; fel y cerais i chwi," medd ein Harglwydd wrth ei ddysgyblion, "ar garu o honoch chwithau bawb eich gilydd. Wrth hyn y gwybydd pawb mai dysgyblion i mi ydych, os bydd genych gariad â'ch gilydd." Anogai yr Apostolion yr eglwysi gynt i gariad at eu gilydd, a dangosant yn eglur yr anmhosiblrwydd i garu Duw, yr hwn nas gwelsom, a chasâu brawd, yr hwn a welsom. Ond y mae rhyw ysbryd arall wedi dyfod i mewn i lawer o eglwysi y saint gyda llawer un—ysbryd ymddial sydd i weled yn amlwg iawn, ac i niweidio y naill y llall yn eu hamgylchiadau bydol hyd y gallant. Clywais lawer yn dweyd fod yn well ganddynt droseddu yn erbyn pawb na brodyr yn yr eglwys, oblegid y maent yn fwy anhawdd i faddeu i'w gilydd. Adwaenwn broffeswyr yn yr un eglwys, a llid a malais at eu gilydd er ys llawer o flynyddoedd, ac annhebyg iawn y deuant i gymod tra ar y ddaear; yr hyn feddyliwn i sydd yn hollol groes i ysbryd Crist.

Diffyg cariad yn yr eglwys ydyw yr achos o'r ymraniadau lluosog a welir. Bydd rhyw un yn yr eglwys am ei ffordd ei hun, yn groes i farn y lluaws o'r eglwys; coda blaid, a'r canlyniad fydd ymranu; ac ni ddaw i gymod er dim; ysbryd dial sydd i weled yn barhaus rhwng y ddwy blaid. Yr wyf wedi synu a rhyfeddu yn aml pa fodd y mae y dynion hyn yn gallu anerch yr anfeidrol mewn gweddi, a llon'd eu calonau o elyniaeth ganddynt at eu gilydd. Weithiau codant yn erbyn y gweinidog, er na wnaeth ddim yn eu herbyn; ond wedi iddynt feddwl ei ladd, ni orphwysant nes cyflawni eu bwriad. Ac yn wir, y mae yr ysbryd hwn i'w weled mewn diaconiaid annghymwys i'r swydd. Wedi i'r dyn gael swydd yn yr eglwys, ymchwydda, a bydd am fod yn fawr, a chael ei gydnabod fel y dyn mwyaf yn yr eglwys. Yn lle gwasanaethu, ceir gweled *my lord* ynddo yn dra buan. Gan hyny dylai pob eglwys edrych am y dynion mwyaf cymwys i gyflawni y swydd—dynion ag y mae yr apostol Paul yn eu nodi. Y mae un aelod yn aml yn achos i godi ymryson mawr mewn eglwys.

Hefyd goddefir personau anfoesol ac anfucheddol yn aelodau eglwysig. Y mae rhyw rai yn yr eglwys yn berthynasau iddynt, a rhai fe ddichon yn gyfoethog ac yn haelionus at yr achos; a rhag tramgwyddo y cyfryw arbedir y troseddwr. Y mae llawer rhy fach o ddysgyblaeth yn yr eglwysi yn yr oes bresenol. Pan y byddo rhyw gynulliad anfoesol yn y gymydogaeth, ofer yn aml ydyw rhybuddio yr ieuenctyd rhag myned i'r cyfryw le; ni wrandawant ar gyngor na cherydd. Dywedant yn ddigon pen-uchel, "Yr ydym mewn gwlad rydd, a gallwn wneyd fel y mynom." Ac nid yn unig yr ieuenctyd sydd felly, ond y mae henafgwyr yr un modd, fel y mae'r gwaethaf, yn barod i roddi her am bob cyngor neu gerydd.

Yr wyf wedi sylwi fod dirywiad mawr yn yr haner can' mlynedd diweddaf. Er fod llawer mwy o grefyddwyr mewn enw, eto llai o grefydd ymarferol sydd i'w gweled—rhy fychan o ddarllen y Beibl a'i fyfyrio. Rhai a ddywedant fod yr oes hon yn oleuach ac yn fwy gwybodus na'r oes a aeth heibio. Gwir, mewn rhyw ystyr y mae felly; ond a ydyw felly mewn ystyr grefyddol? Y mae cyrddau gweddi yn anaml ac yn anmhoblogaidd; ac oedfaon ar y Sul hefyd felly lawer gwaith, nes y mae yn ddigon i ddigaloni y rhai ffyddlawn gyda'r achos.

Gweddiwn am yr Ysbryd Glan yn ei ddylanwadau nerthol i ddisgyn ar yr eglwysi yn fwy cyffredinol; a phur-

deb a sancteiddrwydd a duwioldeb i'w gweled yn fwy amlwg ar broffeswyr crefydd. "Yr hwn a roddodd esiampl i ni fel y dilynem ei ol ef." Cofiwn edrych ar Iesu; efe ydyw yr esiamplydd i ni edrych arno. Gobeithio y bydd hyn yn foddion i'n diwygio, ac yr ymdrechir mwy gyda phethau tragywyddol na phethau daearol y bywyd hwn.

## YMDDYDDAN DYDDOROL.

*Mr. Gol.*—Ar y 25ain o Awst, 1879, pan yn ymddyddan â masnachwr o'r ddinas hon, cymerodd yr ymddyddan canlynol le:

"Wel, yr wyf yn meddwl mai ein dyledswydd yw ymuno â chrefydd," meddwn i.

"Ië, yn wir, a da iawn pe byddai mwy o lawer yn meddwl yr un peth," meddai y masnachwr, "yr ydwyf wedi bod yn meddwl er's amser am ymuno, ond yn methu cael eglwys wrth fy modd; ond yn awr 'rwyf yn hoffi eglwys y Presbyteriaid ar Market Street, a'r Parch. Mr. Fulton; a Phresbyteriaid yw fy holl dylwyth."

"Wel," meddwn inau, "am eu bod hwy oll felly, rhaid i chwithau fod hefyd. Beth am y geiriau hyny, 'Onid ymedy dyn â thad a mam, &c., nid yw deilwng o Grist Iesu.'"

"Wel," ebai, "Mr. Owens, ni allaf ddod i lawr at gredo y Bedyddwyr."

"Wel, yn wir," meddwn, "mae yn fryn pur serth; llawer sydd wedi ceisio dod i lawr y bryn hwn, ond yn ei gael yn rhy serth iddynt. Yr wyf fi wedi ei gerdded bob cam, ac yr wyf yn gwybod am bob clogwyn arno."

"Pe gallwn i," meddai, "weled fy nyledswydd yn eglur, gwnawn gynyg ar y serth-lwybr."

"Os darllenwch y chweched benod o Rhufeiniaid," ychwanegwn, "heb unrhyw wydrau sectyddol, gwelwch eich llwybr yn glir, yn sicr i chwi." [Mae yn rhoi y benod i lawr, y 6ed o Rhufeiniaid.] "Yn awr," dywedwn, "darllenwch chwi fel un a ddymuna wybod ystyr yr ymadroddion, a boreu yfory gadewch i mi wybod eich golygiadau."

"O'r goreu," meddai.

Boreu dranoeth a ddaeth. Aethum ato, ac wedi cael cyfle, gofynais iddo pa fodd yr oedd wedi dod yn y blaen gyda deall y benod.

"Wel," meddai, "nid ydwyf yn gallu gwneyd dim o honi."

"Paham?" meddwn.

Ebai efe, "Mae yn gwneuthur cyffelybiaeth claddu a chyffelybiaeth adgyfodi yn y bedydd; ond yr wyf yn methu gweled pa fodd y mae."

"Wel, rhyfedd," meddwn; "onid ydych yn gweled pan yn taenellu baban, fod cyffelybiaeth claddedigaeth ynddo, a phan yn rhoddi y baban o law yr offeiriad, fod tebygolrwydd adgyfodiad ynddo?"

Meddwn eto, "Nid oes dim ynddo, ac ni welodd neb arall mo hyny ynddo chwaith. Tybio mae dynion gweled pethau Duw wrth edrych trwy eu gwydrau eu hunain. Edrychwch ar fedydd ar broffes o ffydd, mewn afon, a gwelwch os oes dim tebygolrwydd claddu ac adgyfodi yn hyny."

THOS. J. OWENS.

*Alleghany City, Pa.*

## ENW.

Enw yw pob gair sydd *enw* ar wrthddrych; megys dyn, angel, Duw, ysbryd, mater, gogoniant, sain. Defnyddir enw i wahanol ddybenion, megys i wahaniaethu person oddiwrth berson; Ioan, Ruth, &c.; swyddogaeth, teitl, a chymeriad gwrthddrychau. Enw ydyw cymeriad dyn, bydded *dda* neu *ddrwg*. Nid peth etifeddiaethol ydyw. Adeiladwaith y dyn ei hun yw ei gymeriad; efe sydd yn ei greu a'i wneuthur. Derbynia argraffiadau o'r allanol i'r mewnol, ac adlewyrchir hyn yn ol gan y galon i'r allanol, yr hyn a elwir genym ymarweddiad dyn. Ychydig o'r gwir ddyn, y mewnol, a welir; fel canlyniad, mae y rhan helaethaf o gymeriad gwirioneddol dyn yn anhysbys i ni. Mae Duw yn deall y galon, am hyny mae yn adnabod dyn yn berffaith.

Nid yr enw y gelwir dyn arno ydyw ei wir *enw*. Egwyddorion mewnol yr enaid ydyw cymeriad dyn. Hawdd cael engreifftiau lawer o hyn, yn deuluol, cymdeithasol, gwladwriaethol, a chrefyddol. Yr ymarweddiad sydd yn dadorchuddio dyn i ddynion. Bywyd dyddiol dyn yw y drych yn yr hwn y gwelir ei galon. Mae dyn yn argraffu ei gymeriad ar lyfr yr ymarweddiad, trwy ei eiriau, a'i weithredoedd. Yn y golygiad hwn y mae dyn yn tynu arlun o hono ei hun â'i draed. Graddol ac araf y ffurfir cymeriad, ond y mae ei ddadorchuddiad yn arafach. Amgylchiadau sydd yn dangos gwir gymeriad dyn. Yr un oedd Dafydd pan yn cael ei anrhydeddu gan Saul, a phan yr erlynid ef ganddo. Gogoniant cymeriad Dafydd a arddangosir i ni pan oedd Saul yn yr ogof. O, fel yr ydym yn rhyfeddu a synu at y gweithredoedd drygionus a gyflawnir gan wahanol bersonau. Pe byddem yn gallu gweled calon dyn, ni fyddem yn rhyfeddu am ei weithredoedd. Dangos eu hunain y mae dynion trwy eu gweithredoedd. Profiedydd gwir gymeriad Judas oedd y deg-ar-hugain arian, a'r cusan bradwrus a roddodd. Amgylchiadau bywyd yw y tân sydd yn llosgi y wisg ragrithiol ymaith. Goleuni bywyd yn ei wahanol arweddion sydd yn egluro ac yn esbonio dynion.

Mae Duw yn edrych ar y cymeriad. Egwyddorion yr enaid sydd yn dwyn cymeradwyaeth neu anghymeradwyaeth Duw. Dau gymeriad sydd—y da a'r drwg. Mae delw yr enaid ar y cymeriad, sef anfarwoldeb. Os am newid cymeriad, rhaid dechreu yn y dyn oddimewn. Crefydd, fel yr amlygwyd hi gan yr Athraw mawr, ac fel y mae yn cael ei defnyddio gan yr Ysbryd Glan, yw yr unig ffordd i newid cymeriad. IOTA.

---

—Nid oes neb mor wag a'r rhai sydd yn llawn o honynt eu hunain.

— Y neb sydd yn caru ymddial sydd yn cadw ei glwyfau yn agored.

— Gall dyn fod yn rhy ddrwgdybus o'i gymydog, ond nid o hono ei hun.

# PWLPUD Y WAWR.

## Y Cyflym-Gamelod.

GAN Y PARCH. C. H. SPURGEON.

Testyn — 1 Bren. iv. 20 - 28.

### *Rhan III.*

CYFLENWADAU CYFARTAL WEDI EU DARPARU.

III. Yr wyf yn diweddu gyda y trydydd sylw, y byddai pob dyn yn derbyn y cyflenwadau "yn ol ei ran." Nid wyf yn llawn ddeall gwir a phenodol ystyr y testyn. Yn sicr, tybier nid yn unig fod un nifer o swyddogion i anfon i mewn yr haidd, ond hefyd fod nifer arall o swyddogion i dderbyn yr haidd a'r gwellt mewn cyfartaledd i rifedi y meirch a'r cyflym-gamelod. "Haidd hefyd a gwellt a ddygasant i'r meirch a'r cyflym-gamelod, i'r fan lle y byddai y swyddogion pob un ar ei ran." Hyny ydyw, yn ol y rhifedi o feirch i barotoi ar eu cyfer; dyna oedd y swm o yd a gwellt a anfonid i mewn yn ymborth iddynt.

1. Felly yr wyf yn casglu, yn gyntaf, mewn perthynas i weision ein Harglwydd Iesu Grist, *fod "rhan" fawr oddiwrtho Ef, yn wystl o gyflenwadau mawrion.* Y mae rhywbeth yn bur gysurol yn hyn gyda golwg ar bethau tymorol. Dywed rhai fod Duw yn anfon geneuau, ac heb fod yn anfon bara; neu o'r hyn lleiaf, maent yn dweyd ei fod ef yn anfon geneuau i un ty a bara i'r llall. Os ydyw hyn felly, dylai y rhai sydd yn cael gormod o fara ei anfon o gwmpas i'w cymydogion. Eto, yr wyf yn sylwi, rywfodd, *lle y mae geneuau, y mae bara yn dod.* Y mae yn peri syndod i mi, rhaid i mi gyfaddef, a dwg ddagrau i'm llygaid pan y byddwyf yn ei weled, ac yn wir y mae yn fawr ryfeddod, fod gwragedd gweddwon gyda haid o blant yn gallu eu porthi yn rhyw fodd. Daw gweddw dlawd at dy plant amddifaid (*orphanage*) yn nghylch bachgen bychan; nid ydyw yn hoffi ymadael ag ef, ond mae eisiau yn gorfodi; a phan y dywedwn,

"Fy ngwraig dda, faint o blant oedd genych pan fu farw eich gwr?" dywedai, "Saith, syr, a dim un o honynt yn alluog i enill ceiniog." "Yr ydych wedi bod yn ymladd eich ffordd yn unig y tair neu bedair blynedd hyn, pa fodd y gwnaethoch hyny?" "O, syr," hi a etyb, "nid oes neb a wyr ond Duw; ni allaf ddweyd wrthych." Na all, na all; ac y mae llawer o blant anwyl Duw na allant ddweyd wrthych pa fodd y maent wedi byw, ond buont byw, a'u plant hefyd. Y mae yn gadael iddynt gyfrifoldeb mawr, ac yn ei ffordd ei hun mae yn anfon iddynt ddarpariaeth.

Mae y rhan fwyaf o honom wedi canfod, os bydd i'n Brenin anfon i ni gyflym-gamelod, mae yn anfon i ni yr haidd. Y mae wedi bod felly gyda mi yn y mater o ddau gant a haner o blant amddifaid yn Stockwell; mae ein Duw grasol bob amser wedi anfon i ni ddigon, ac ni wybu y bechgyn am un diffyg; a phan y byddom yn derbyn dau gant a haner arall o blant, a chael genethod yn gystal a bechgyn, yr wyf yn teimlo yn sicr y bydd i'r Tad nefol ddarparu ar eu cyfer oll. Yr wyf yn gobeithio y bydd i chwi gofio fod yn rhaid i'r ddarpariaeth ddyfod yn offerynol trwy bobl yr Arglwydd eu hunain, a llawer o hono trwy *ddarllenwyr a gwrandawyr y pregethau*, ond dyfod a wna.

Os bydd i fy Arglwydd roddi ychwaneg o gyflym-gamelod yn fy stabl, byddaf yn edrych am ychwanegiad cyfartal o haidd a gwellt, oblegid yr wyf yn sicr y bydd iddo ef ei anfon. Pan y byddaf yn meddwl am fy anwyl gyfaill Mr. George Muller, gyda 2,050 o blant amddifaid, a dim i ymddibynu arno, fel y byddant yn dweyd, ond yn unig gweddi a ffydd, byddaf yn llawenhau yn fawr. Nid oes ganddo ef byth ofn neu angen, ac mor orphwysol a phe buasai yn Sabboth cnawdoledig. Pe buasai genym ugain mil o amddifaid, mae ein Meistr yn hollol alluog i ddarparu ar eu cyfer oll. Mae efe yn porthi y greadigaeth, a gallwn yn hawdd ymddiried ynddo. Pe byddai genym ffydd syml fel yr eiddo plentyn, canfyddem fod cyfrifoldeb mawr yn wystl o gyflenwad mawr. "Pob un yn ol ei ran."

Fel y mae mewn pethau tymorol, felly y mae gyda phethau gras. Pan y mae Duw yn rhoddi i ddyn ychydig o ddynion i edrych ar eu hol, y mae yn rhoddi iddo ddigon o ras; a phan y rhodda iddo ddeng waith y rhifedi, yna mae yn rhoddi iddo fwy o'i Ysbryd Sanctaidd; a phan y rhodda iddo gant o weithiau yn ychwaneg y rhifedi yna, y mae efe yn mwyhau yr eneiniad dwyfol. Os enfyn yr Arglwydd i chwi brofedigaeth fechan, anwyl frawd, bydd i chwi gael digon o ras; ac os enfyn i chwi brofedigaeth fawr, bydd i chwi eto gael digon o ras. Os rhydd efe i chwi ychydig o waith i'w wneuthur, mewn sefydliadau yn y cefn, bydd eich nerth yn ol y dydd; ac os trefna efe i chwi ryw waith mawr, o flaen gwyneb tân y gelyn, ni fydd i chwi fod mewn diffyg.

"Pob un ar ei ran." Ni chewch werth hadlin o ras dros ben. Ni chewch byth gymaint ag y gellwch ymffrostio yn ei gylch, a siarad am fod wedi byw am fisoedd heb bechu, a ffolineb cyffelyb. Gorfodir chwi i deimlo pan y byddoch wedi gwneyd y cyfan, mai gwas anfuddiol ydych. Ni fum erioed yn fy mywyd yn meddu o fanna y dydd blaenorol yn aros, gymaint a fuasai yn cuddio dernyn tair ceiniog. Yr wyf bob amser wedi bod mor newynog fel yr oedd yn rhaid i mi fwyta y cwbl allan i gael yn y lle a'r fan. Yr ydwyf wedi byw o'r llaw i'r genau; y llaw oedd un fy Arglwydd, yr hon sydd bob amser yn llawn, a'r genau a fu yr eiddo fy hun; ac y mae bob amser wedi bod yn dyheu am ychwaneg. Pan yn fy ngweinidogaeth yr oeddwn wedi cael swm ddwbl o ymborth, yr oedd genyf yn ddwbl y rhifedi i ymborthi arno. Y mae gras Duw wedi bod yn ddigon ar gyfer fy angenrheidiau, ond nid yw erioed wedi gadael lle i mi orfoleddu mewn hunan. Er hyny cymerwch y peth fel ffaith sicr, fod cyfrifoldeb mawr yn wystl o gyflenwad mawr.

2. Yn awr, trown y gwirionedd fel

arall, a dywedwn fod *cyflenwad mawr* yn tybio *cyfrifoldeb mawr*. O na fyddai i rai feddwl am hyn! Mae dyn wedi dyfod yn fwy cyfoethog nag ydoedd yn arfer bod. Frawd, gyda mwy o haidd a mwy o wellt dylech gadw mwy o gyflym-gamelod; yr wyf yn tybio nad yw Duw wedi anfon yr yd yna i'r llygod i'w ddinystrio, ond mae yn bwriadu iddo gael ei fwyta.

Y dyn fo yn derbyn llawer, ac yn rhoddi dim, sydd yn farw tra yn fyw. Yr hwn fo yn meddu derbyniadau mawrion, a ddylai gyfrif fod ganddo gyfrifoldeb mawr, a gweithredu yn ol hyny. Pan y mae brawd yn meddu talentau mawrion, etifeddiaethau mawrion, a dylanwad mawr; pan y mae efe yn fawr mewn unrhyw beth, trwy ras Dduw boed iddo ddweyd, "Mae Duw yn dysgwyl pethau mawrion oddiwrthyf fi; oblegid i'r hwn y rhoddir llawer, llawer a ofynir ganddo." Y mae yn ddeddf yn nheyrnas Crist—deddf ag y gofala efe y bydd bob amser yn cael ei chario allan.

DIM DIANGFA RHAG Y CYFRIFOLDEB.

Felly yr wyf yn gorphen gyda hyn. Rhywun a ddywed, "Gallaf bron ddymuno i mi allu gochelyd y cyfrifoldeb o fod yn was i Grist. Anwyl frawd, cymerwch sylw o'r ddwy neu dair ffeithiau hyn:

Ni ellwch wellhau eich amgylchiadau fel gwas i Grist wrth leihau eich cyfrifoldeb. Os dywedwch, "Ni bydd i mi anturio llawn cymaint," ni fydd i chwi wellhau eich amgylchiadau trwy y cwrs yna; oblegid os lleihewch waith, yr Arglwydd a leiha eich nerth. Ein Solomon mawr a wna atal rhai o'r adnoddau os bydd genych chwi lai o gyflym-gamelod i'w porthi, ac yna ni fyddwch yn ddim gwell allan. Os bydd i chwi gadw chwech, bydd i chwi feddu darpariaeth ar gyfer chwech; os ymgymerwch a chadw tri, ni fydd iddo ef roddi darpariaeth ond ar gyfer tri, ac yna byddwch yn dlotach, yn hytrach na chyfoethocach. Ni ellwch chwaith wella eich amgylchiadau trwy yn hollol ac yn unig fwyhau eich adnoddau; oblegid os derbyniwch fwy o wellt a haidd, yn sicr bydd i'n Solomon anfon i chwi ychwaneg o gyflym-gamelod. Pan y caffoch fwy o nerth, cewch fwy o dreialon. Pan na byddo plant Duw yn cyflawni eu rhan gyda y moddion y mae efe wedi ymddiried iddynt, gâd iddynt yn fynych i gymeryd rhanau mewn "cwmpeini cyfrifol gyfyngedig," yr hyn sydd yr un peth a thaflu eich arian i'r afon; neu gadawa iddynt fod yn rhan-feddianwyr mewn banc toredig, gyda dadymchweliad anghyfyngedig fel ei gyfalaf, ac mae hyn yn fwy dychrynfawr fyth.

Mae yn dygwydd yn fynych i ddyn yr hwn a grafodd ac a drodd heibio lawer o arian, ac a gyfyngodd ar achos Crist, ei fod yn ei flynyddau diweddaf mewn prinder, a gwna gwynfan iddo ei hunan, "Mae y cwbl wedi myned; buasai yn dda genyf pe buaswn wedi eu defnyddio yn well cyn iddynt fyned ymaith. Buasai yn llawer iawn gwell i'w rhoddi i'r Arglwydd na gweled y cyfreithwyr yn eu traflyncu." O! bu i'ch pechod ddod o hyd i chwi. Ni allai eich Meistr ymddiried i chwi, ac felly cymerodd ei dda oddiwrthych, ac yn awr yr ydych yn dymuno y buasech wedi ymddwyn yn briodol. Gadewch i ni gymeryd rhybudd oddiwrth y fath drefnwyr, a gadewch i ni weled ar fod ein cyfrifoldeb yn fesur i'n hadnoddau, ac fel y bo yr adnoddau yn dod, ein bod yn eu defnyddio yn ddoeth.

Pob peth er mwyn Iesu! Solomon gogoneddus ein calonau! Anwylyd ein heneidiau! Bywyd er mwyn Iesu! Marw er mwyn Iesu! Amser er mwyn Iesu! Tragywyddoldeb er mwyn Iesu! Llaw a chalon er mwyn Iesu! Ymenydd a thafod er mwyn Iesu! Afiechyd neu iechyd er mwyn Iesu! Gwarth neu ogoniant er mwyn Iesu! Pob peth er mwyn Iesu! "Pob un ar ei ran." Felly y byddo! Amen.

---

—Yr hwn nid yw yn meddwl ond anfynych am y nefoedd, nid yw yn debyg o fyned yno; megys mai y ffordd i gyrhaedd nôd yw cadw y llygad yn sefydlog arno.

## YR AMDDIFFYNIAD.

GAN DR. CEFNI PARRY.

### *Erthygl XIV.*

Mae Dr. Roberts mewn helynt blin a thrafferth dybryd, yn y *Cyfaill* am Tachwedd, 1879, ac Ionawr, 1880, yn ceisio "*profi i bob meddwl diragfarn,*" a ddygwydd fod o'r un farn ag ef ei hun, "mai yr un yw eglwys Dduw dan y Testament Newydd. a than yr Hen Destament." Profa yr haeriad "oddiwrth gyfansoddiad gwreiddiol eglwys Dduw yn nghyfamod Abraham." Addefwn yn rhwydd, mai yr un yw eglwys ysbrydol a dirgeledig Duw yn mhob oes o'r byd, a than bob goruchwyliaeth—yn y nefoedd a'r ddaear, ac mewn amser a thragywyddoldeb. Eto gwadwn yn bendant, mai yr un yw eglwys weledig a chyfansoddiadol Duw, yn mhob oes, a than bob goruchwyliaeth. Nis gall yr eglwys yn ei ffurf batriarchaidd fod yr un a'r eglwys yn ei ffurf genedlaethol; ac nis gall yr eglwys genedlaethol fod yr un a'r eglwys ysbrydol. Nid oedd cyfamod Sinai yn gyfansoddiad i'r eglwys oedd dan gyfamod Abraham; ac nid oedd yr eglwys yn y diffaethwch yr un a'r eglwys oedd yn nheulu Abraham; oblegid nid yr un cyfansoddiad (*constitution*) oedd i'r naill ag oedd i'r llall. Nid yw mai had Abraham oedd y *constituents* yn y ddwy yn gwneyd y ddwy i fod yr un; oblegid y cyfansoddiad dan yr hwn y ffurfir yr eglwys sydd yn rhoddi cymeriad iddi. Cyn y gall Dr. Roberts wneyd yr eglwys dan gyfamod Abraham yr un a'r eglwys dan gyfamod Sinai, rhaid iddo "*brofi*" mai yr un yw cyfamod Abraham a chyfamod Sinai. Cyn y gall wneyd yr eglwys Gristionogol yr un a'r eglwys batriarchaidd dan gyfamod Abraham, a'r un a'r eglwys genedlaethol dan gyfamod Sinai, rhaid iddo brofi mai yr un yw cyfamod yr efengyl a chyfamod yr enwaediad; ac mai yr un yw y cyfamod gras a chyfamod Sinai! Gofynir yn ddifrifol, Ai yr un yw yr eglwys batriarchaidd, dan urdd Melchisedec, a'r eglwys Foesenaidd, dan urdd Aaron? Ai yr un yw yr eglwys efengylaidd, dan urdd y Mab Dwyfol, a'r eglwysi hyny? Mae deiliaid, arferion, a bendithion, y naill a'r llall yn hollol wahanol; ac o ganlyniad, mae y cyfansoddiad dan yr hwn y ffurfir yr eglwys, yn wahanol. Eglwys batriarchaidd, a'r offeiriadaeth yn gorwedd yn mhenaeth y teulu, oedd yr eglwys gyn-Sinaidd, ac eglwys a'r holl deulu yn aelodau ynddi. Eglwys genedlaethol, a'r offeiriadaeth yn gorwedd mewn un llwyth neillduol, oedd yr eglwys Foesenaidd; ac eglwys ag oedd yr holl genedl, mawr a bach, rhieni a phlant, a da a drwg, yn aelodau ynddi. Eglwys ysbrydol a chyfamodol, a'r offeiriadaeth yn gorwedd yn Mab Duw, yw yr eglwys efengylaidd; a'r credinwyr, y ffyddloniaid yn Nghrist Iesu, teulu y ffydd, a'r rhai a gerddant lwybrau ffydd Abraham, yn aelodau ynddi, *a neb arall.* Ai yr un yw yr eglwys weledig hon a'r ddwy arall? Na; y mae cyfnewidiad wedi cymeryd lle yn yr offeiriadaeth—y drefn o addoli; a rhaid cyfnewid y *gyfraith*—y cyfansoddiad, hefyd. "Canys wedi newidio yr offeiriadaeth, angenrhaid bod cyfnewid ar y gyfraith hefyd." Twyllymresymiad y Dr. yma yw, golygu eglwys ysbrydol a dirgeledig Duw yr un dan y ddau Destament, heb gydnabod y gwahaniaeth rhwng hyny a'r eglwys weledig a chyfansoddiadol, dan y ddau. *Trick* go *sly* yw hyn yna Dr.!

Sonia y Dr. am freinlen (*charter*) yr eglwys dan gyfamod Abraham, gan ledawgrymu mai yr un yw hi dan gyfamod yr efengyl. Beth oedd y freinlen hono, onid cyfamod yr enwaediad a sefydlwyd yn nheulu Abraham? Trosglwyddwyd y freinlen hono i gyfamod Sinai; nid oblegid mai yr un cyfamod oedd yr un Moesenaidd a'r un Abrahamaidd, eithr o herwydd mai yr un bobl—*had naturiol* Abraham—oedd y *constituents* dan y ddau gyfamod hyny. Eto nid oedd hyny yn gwneyd yn un yr eglwys weledig, oblegid nid yr un oedd yr offeiriadaeth. Gwyddom fod Dr. Roberts yn dysgu mai offeiriad Lefiticaidd, wedi ei osod yn ei swydd gan Ioan Fedyddiwr, yw Iesu Grist; ac felly mai

Iuddewig o ran sylwedd yw pob peth dan yr efengyl! Eto, ni fydd y Dr. yn teimlo yn angharedig atom os nad allwn ei gredu yn y peth hwn. Parhaodd y freinlen mewn grym tra parhaodd *had naturiol* Abraham i fod y *constituents*. Newidiwyd y *constituents* o fod yn *had naturiol* Abraham i fod yn had *ysbrydol* iddo. "Felly y rhai sydd o ffydd a fendithir gydag Abraham ffyddlon;" a neb arall, dan yr efengyl. Wedi newid y *constituents*, rhaid newid y cyfansoddiad—cyfraith yr eglwys; ac yna newid y freinlen; oblegid ni wnai yr hen freinlen y tro ar y *constituents* dan y cyfansoddiad newydd. Dangosai yr enwaediad berthynas gnawdol, trwy genedliad dynol, ag Abraham; ond rhaid cael rhywbeth yn dangos perthynas ysbrydol ag Abraham, trwy weithred o ffydd, dan y cyfansoddiad newydd. Rhaid rhoi yr enwaediad, fel arwydd o berthynas *gnawdol*, heibio, a chymeryd bedydd i mewn, i ddangos perthynas *ysbrydol*, trwy ail-enedigaeth. Rhaid geni drachefn—geni o ddwfr ac o'r Ysbryd—i weled teyrnas Dduw, a myned i mewn iddi. Ai nid hyn yw tystiolaeth y Testament Newydd, Dr.? Os felly, ai yr un yw yr eglwys enwaededig, trwy ddefod waedlyd a chnawdol, a'r eglwys fedyddiedig, trwy weithrediad ffydd? Cafodd yr eglwys ei hail-eni pan newidiwyd yr oruchwyliaeth. "Y rhai a'm canlynasoch i yn yr adenedigaeth" —*peliggenesia*—dydd yr enedigaeth newydd. Mae yr eglwys dan yr efengyl mor wahanol i'r eglwys dan y ddeddf ag yw dyn newydd ei eni i'r hen ddyn; neu greadur newydd, i'r hen greadur; "Gan hyny od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd: yr hen bethau a aethant heibio; wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Creadigaeth newydd—*kaine ktisis*—yw yr eglwys yn Nghrist. Gal. iii. 25—29. Mae pawb sydd yn credu yn Nghrist yn *had Abraham ysbrydol*, a neb ond hwynt-hwy. Nid oes son, yn y Testament Newydd, am *had y credinwyr*, *had y ffyddloniaid*, a *had yr eglwys*. Nid oes y fath dermau yn y *charter* newydd. Onid termau wedi eu dyfeisio, eu ffurfio a'u bathu, gan Fethodistiaeth, er mwyn chwyddo rhifedi *sect*, yw y rhai uchod, na wyr y Testament Newydd ddim am eu bath? Onid plant ordderch yr Hagar gaeth ydyw yr Ismaeliaid gwylltion hyn? Onid yw yr Ysgrythyr yn gorchymyn ei bwrw allan o blith *plant ysbrydol* Abraham? Gwel Gal. iv. 30, 31. Bwriwyd yr eglwys Iuddewig, wreiddyn a changen, allan o ffafr Duw dan yr efengyl. Nid oblegid anghrediniaeth y bwriwyd allan yr eglwys Iuddewig, eithr o herwydd fod ei neges (*mission*) wedi ei ateb yn y byd. "Iachawdwriaeth sydd o'r Iuddewon." Nid yw yn deilwng o safle dysgeidiaeth a gwybodaeth y Dr. i geisio ein darbwyllo i gredu mai ein himpio i mewn i'r eglwys Iuddewig y mae ffydd yr efengyl yn ei wneyd a ni. Pe buasai yr Iuddewon yn credu yr efengyl, fel cenedl, ni fuasai hyny yn arbed yr eglwys Iuddewig; ond buasai hyny yn eu dwyn hwy i mewn i'r eglwys efengylaidd. Y mynyd cyntaf y buasai yr eglwys Iuddewig yn derbyn ffydd yr efengyl, buasai yn y fan yn peidio bod yn Iuddewig mwyach; yna eglwys Gristionogol fuasai. Pan ddychwelir yr Iuddewon i'r ffydd yn Nghrist, ni adferir yr eglwys Iuddewig, eithr derbynir y dychweledigion hyny i'r eglwys efengylaidd. Ai yr un yw y ddwy, Dr.? Mewn "Traethawd ar Gyfamod Abraham, gan y Parch. W. Roberts, Caergybi," gynt, eithr yn awr Dr. Roberts, Utica, dysgir ni mai eglwys gysgodol, cyfamod cysgodol, ac ordinhadau cysgodol, ydoedd dan yr Hen Destament. Gwel tu dal. 11, 12, a 13. Yn awr, mewn erthyglau yn y *Cyfaill*, mae Dr. Roberts, Utica, eithr gynt y Parch. W. Roberts, Caergybi, yn ein dysgu ni mai yr un yw yr eglwys gysgodol hono a'r eglwys wirioneddol hon!! Mae yn debyg i'r Dr. anghofio y ffaith, Pan ddaeth y sylwedd, peidiodd y cysgod. Pan orphenodd Crist waith y prynedigaeth, peidiodd cyfamod Abraham, fel cysgod, trwy iddo gael ei sylweddoli yn mendithion ysbrydol yr efengyl; yna "*y ddeddf nid yw o ffydd.*" Mae ffydd yr efengyl yn rhywbeth tra gwahanol i ddeddf y cys-

godau. "Crist a'n llwyr brynodd ni oddiwrth felldith y ddeddf"—prynu allan oddi tan awdurdod deddf y cysgodau—"gan ei wneuthur yn felldith drosom ni"—dwyn y gosp ag oedd y pech-ebyrth yn gysgodi—"fel y delai bendith Abraham"—cyfiawnhad trwy ffydd—"ar y cenedloedd, trwy Iesu Grist; fel y derbyniom addewid yr ysbryd trwy ffydd." Nid yr addewid am yr Ysbryd Glan a feddylir; eithr yr addewid yn y synwir ysbrydol o honi, yr addewid am fendithion naturiol a thymorol, cyfamod Abraham, i'r had naturiol a chnawdol, i gael eu derbyn gan had ysbrydol Abraham—y credinwyr—yn fendithion ysbrydol a sylweddol. Felly y gwreiddiol: "*Ina ten epoggelian tou pneumatos labornen dia tes pisteos*"—Fel y derbyniem y datganiad ysbrydol o'r addewid, trwy grediniaeth. Nid oes neb ond a all gredu i dderbyn y bendithion ysbrydol, a gyhoeddwyd yn gysgodol, yn nghyfamod Abraham.

Mae yn ymddangos nad yw syniadau y Dr. mor oleu ag y dymunid eu bod, am y gwahaniaeth rhwng yr *addewid* yn nghyfamod Abraham, a'r *cyfamod ei hun*. Siarada y Dr. fel pe yr un yw yr *addewid* a *chyfamod* Abraham. Nid peth gwreiddiol i'r cyfamod oedd yr *addewid*, eithr wedi ei chymeryd i mewn iddo o gyfamod Noah; ac wedi ei chymeryd i hwnw, o'r datganiad yn Eden, o Had y wraig—y Messiah. Rhoed yr addewid hefyd yn nghyfamod Sinai, gan ei hegluro trwy gysgodau. Rhedai hon trwy gyfamod Sinai, i gyfamod yr efengyl. Erys yn hwnw; oblegid mai peth perthynol i'r *cyfamod gras* ydyw yr *addewid;* yr hyn nad yw cyfamod yr enwaediad, a wnaed ag Abraham a'i had; na chyfamod Sinai, mwy nag yntau. Nid oedd dim yn nghyfamod Abraham yn achub i fywyd tragywyddol, ond yr *addewid*. Nid oes dim yn yr efengyl yn achub, ond yr *addewid*. Addewid am yr Had mawr i ddod, oedd hi gynt; ac addewid am fendithion ysbrydol trwyddo, yw hi yn awr. Hon yw yr addewid am faddeuant pechodau i'r edifeiriol, i Iuddewon a'u plant, a'r cenedloedd pell a'u plant, cynifer o honynt a alwa ein Duw ni ato trwy yr efengyl; fel y dywed Petr wrth ddychweledigion dydd y Pentecost; a hon yw yr addewid sydd yn sicr i holl had ysbrydol Abraham, yn ol ymresymiad Paul. Rhuf. iv. 16—18.

Peidied y Dr. a ffromi, am ddywedyd o honom na *achubodd* cyfamod Abraham faban erioed. Nid oedd dim yn achub yn hwnw, ond yr addewid; ac ni all addewid achub neb ond yr hwn a'i derbynio trwy ffydd. Nid oes ffydd gan faban. Achubid babanod Israel ar yr un tir a babanod y cenedloedd. Gwyddom mai trwy gyfryngdod y Mab Mawr, yn rhinwedd cyfamod y prynedigaeth, rhwng y Tad a'r Mab; ond nid trwy rinwedd cyfamod Abraham. Ni amlygwyd trefn cadw babanod yn y Beibl; ond gwyddom nad trefn ffydd ydyw.

Onid pechod gwarthus yw rhoddi arwydd cyfamod y ffydd ar faban diffydd? Onid twyll a rhagrith ysgeler yw rhoi *substitute* dynol bedydd ffydd ar dalcen baban, heb galon ffydd ganddo? Mae baban taenelledig yn cael ei orfodi i gario anwiredd y sect daenellyddol ar ei dalcen byth! Ond dywed Dr. Roberts fod ffydd gan fabanod y credinwyr! Os oes ffydd ganddynt, ni waeth iddynt hebddi, oblegid ffydd heb weithredoedd yw, a ffydd farw yw hono. Mae Dr. Roberts yn gwneyd i'r Methodistiaid Calfinaidd ddal cwymp oddiwrth ras! Os oes ffydd yn mabanod y credinwyr, nes yn llamu yn y groth, fel Ioan Fedyddiwr, yn ol fel y dysga y Dr., i ba le y mae y ffydd hono yn myned pan y mae y baban crediniol yn profi ei hun yn berffaith *scamp*, ar ol tyfu i'w faint? Yn sicr, rhwng y "Cyffes Ffydd" ar barhad mewn gras, a'r "Cyffes Ffydd" ar grediniaeth babanod, mae y Dr. yn y *fix, I guess*. Nid oes ond ei adael, fel gwenyn mawrion Wm. Owen, Green, Llangefni, gynt, wrth geisio gwthio i mewn i'r cychod, trwy dyllau bychain, i *gymeryd eu siawns*. Mae y Doctor yn gwrthod telerau y cyfamod fel amod, ac yn dewis galw y cyfryw delerau yn rhwymedigaeth; a hyny er mantais iddo osgoi amodau cyfamod yr efengyl,

er mwyn cael babanod, nad allant wneyd dim ag amodau, i mewn i gyfamod yr efengyl. Ond amod y geilw yr Ysgrythyr delerau y ddau. Am gyfamod Abraham dywed, "Yr amod—*diatheken*—a gadarnhawyd o'r blaen gan Dduw." Nid yw *yn Nghrist* yn y gwreiddiol. Mae cyfamod Sinai ag amod ynddo. "Estroniaid oddiwrth amodau—*diathekon*—yr addewid."—Mae amod yn nghyfamod yr efengyl hefyd. "Dyma y cyfamod yr hwn a *amodaf* fi a hwynt, ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd." Nid all cyfamod fod heb amodau. Derbyn yr amodau sydd yn gosod y pleidiau dan rwymedigaethau i'w gilydd, yn ol trefn y cyfamod. Amodau cyfamod yr efengyl yw, credu yn Nghrist, a chadw gorchymynion Duw, o du y dyn; a'r amodau o du Dduw yw, maddeuant pechodau ac etifeddiaeth o fywyd tragywyddol, yr hyn a addewir i'r credinol a'r ufudd. Rhwymedigaeth y cyfamod, o du y dyn, yw ei lw o ffyddlondeb i gadw at delerau y cyfamod; ac o du Dduw, ei lw o ffyddlondeb i'w addewid.

A all baban dderbyn yr amodau hyn, a theimlo rhwymedigaethau y cyfamod hwn? Os nad all, nid yw yn y cyfamod. Gwell i'r Dr. beidio cymeryd ei hudo gan ryw *ignis fatus* fel yna, rhag iddo gael ei foddi yn y gors. Ac yr oedd y Parch. George Huddro, Drws-y-coed, yn dweyd, fod dysgedigion yn dywedyd, "Os boddai dyn, na fyddai efe byw fawr!"

Nid achub babanod Israel oedd amcan cyfamod Abraham; eithr trefnwyd iddo fod yn gludai (*vehicle*) i gario yr *addewid* i lawr, drwy oesau Israel, hyd gyflawnder yr amser, pryd y daeth yr *Had Mawr*, i'r hwn y gwnaethpwyd yr addewidion, i'w gwneyd oll yn sicr i'r *had ysbrydol*—y credinwyr. "Eithr cyd-gauodd yr Ysgrythyr bob peth dan bechod, fel y rhoddid yr addewid drwy ffydd Iesu Grist i'r rhai sydd yn credu" Dyna oedd amcan cyfamod Sinai hefyd. "Eithr cyn dyfod ffydd y'n cadwyd dan y ddeddf, wedi ein cyd-gau i'r ffydd, yr hon oedd i'w datguddio. Y ddeddf gan hyny oedd ein hathraw ni at Grist, fel y'n cyfiawnheid trwy ffydd. Eithr wedi dyfod ffydd, nid ydym mwyach dan athraw." Mae y Dr. yn mhell o fod yn iawn ddeall yr alegori brydferth sydd yn Gal. iv. 1-7. Nid dysgu unrhywiaeth y ddwy eglwys, eithr dysgu fod yr eglwys efengylaidd yn rhagori cymaint ar yr un Foesenaidd ag yw y dyn perffaith yn ragori ar y plentyn. Bachgen dan oed, heb gyrhaedd perffeithrwydd mewn dim sylweddol, oedd eglwys yr Hen Destament; ond gwr perffaith, wedi cyrhaeddyd mesur oedran Crist, ydyw yr eglwys hono a ddaeth i fodolaeth o borth yr adenedigaeth gyda Christ. Bu yr hen eglwys gysgodol farw, cyn cael yr etifeddiaeth dragywyddol; ond y mae nerth bywyd annherfynol yn yr eglwys sydd wedi ei hail-eni, nid o had llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw, yr hwn sydd yn parhau yn dragywydd. Eglwys fabanaidd oedd yr hen eglwys Foesenaidd; a'r un Abrahamaidd; oblegid babanod wyth niwrnod oed a dderbynid yn aelodau iddi, yn ol y *cyfansoddiad;* a babanod oeddynt byth o ran safon cymeriad, hyd nes yr ymddangosodd y Bedyddiwr i'r Israel. Dan ei law wleb ef, yn nyfroedd yr Iorddonen, y gwelwyd safon dynoliaeth berffaith, yn mherson yr Anwyl Fab. Byth ar ol hyny rhaid rhoi dillad bychain a budron, a gwaedlyd y babanod heibio—yr enwaediad cnawdol a chysgodol; a gwisgo dillad ehelaeth a glân y gwr perffaith—bedydd ffydd yn wisgo Crist. "Canys cynifer a fedyddiwyd i Grist a wisgasoch Grist." Yr oedd babanod yn yr hen eglwys, i ddysgu iddi mai eglwys fabanaidd oedd hi; ond nid oes babanod yn yr eglwys efengylaidd, oblegid mai eglwys cyflawnder yr amser ydyw hi. Y mae yn drueni fod corph dyn perffaith yn cael ei wthio i ddillad baban bach, fel y mae taenelliad babanod yn arddangos eglwys y taenellwyr! Ow! ffei!

Prin y mae y pethau a eilw y Doctor yn rhesymau, yn y *Cyfaill* am Ionawr, 1880, yn werth sylw. Wele hwynt:

1. "Fod hysbysiadau rheolaidd, egwyddorol, a rhesymiadol y Testament Newydd yn profi unoliaeth yr eglwys

dan y ddwy oruchwyliaeth—yr hen a'r newydd."

Digon yw dweyd, nad oes cymaint ag un o'r adnodau y cyfeiria y Dr. atynt, yn dysgu unoliaeth ac unrhywiaeth yr eglwys weledig a chyfansoddiadol, dan y ddau Destament; eithr yn dysgu yr Iuddew crediniol, nad yw derbyniad y cenedloedd crediniol i freintiau crefyddol dan yr efengyl, yn milwrio yn erbyn dysgeidiaeth yr Hen Destament; eithr yn sylweddoli cenadaeth (*mission*) yr hen oruchwyliaeth yn y byd; yn canlyn, er nad yw y cenedl-ddyn crediniol yn cael ei ddarostwng dan gyllell yr enwaediad, i fod yn ddeiliad o'r cyfamod gwaedlyd hwn, eto ei fod yn gyflawn etifedd pob bendith ysbrydol yn Nghrist, fel had ysbrydol Abraham, yn llawn cystal a phe buasai yn had *naturiol* Abraham. Ymresymiad yr Apostol yw, nad yw bod yn *had naturiol* Abraham Fawr, yn un fantais, mwy na bod yn had Abram Wood, dan yr efengyl; "Ac nad yw yr enwaediad ddim, na y dienwaediad ddim, ond cadw gorchymynion Duw." Mae *argument* y Dr. mor eiddil a dibwrpas yma ag yn yr un a'i rhagflaenai—nodi rhes o brophwydoliaethau am lwyddiant yr efengyl, a honi eu bod yn profi unoliaeth ac unrhywiaeth y ddwy eglwys!

2. "Fod yr adroddiad a geir o actau yr eglwys Gristionogol yn ei sefydliad, mewn perffaith gydgordiad â'r athrawiaeth o unoliaeth yr eglwys."

*Argument* y Dr. yma yw, Fod y ffydd yn Nghrist yn gwneyd y cenedloedd yn Iuddewon, yn lle gwneyd y credinwyr yn *had ysbrydol* Abraham! Ai tybed na wyr y Methodistiaid synwyrol a deallus, mai mewn ystyr ffigyrol ac ysbrydol mae y credinwyr yn had Abraham; fel y maent yn sylwedd ysbrydol o'r cysgod cnawdol o'r eglwys, yr hwn a geid yn *had naturiol* Abraham? Ymddengys na wyr Dr. Roberts hyny; pe amgen ni siaradai mor ddisynwyr ar hyn yn ei erthygl. Nid yw mai Iuddewon oedd yr apostolion, ac mai Iuddewon oedd y dychweledigion cyntaf dan bregethiad yr efengyl, ac hefyd mai Iuddew oedd Iesu Grist, yn un rheswm mai Iuddewon yw y Cristionogion; oblegid y mae yr adenedigaeth yr aeth Iesu Grist trwyddi, yr apostolion trwyddi, a'r dychweledigion cyntaf drwyddi, yn y bedydd, yn gwneyd yr eglwys yn greadigaeth newydd yn Nghrist Iesu. "Ac os eiddo Crist ydych, yna had Abraham ydych, ac etifeddion yn ol yr addewid."

Mae dadlu fod babanod yn aelodau yr eglwys Apostolaidd, oddiwrth gyngorion yr apostolion i blant yr eglwysi, mor ddibwynt a dadlu mai baban y frenines Victoria yw Tywysog Cymru am ei fod yn fab iddi. Os yn rhinwedd eu perthynas a'u rhieni crediniol, heb feddu ffydd eu hunain, y mae y plant hyny yn aelodau yr eglwysi, rhaid mai yn rhinwedd eu perthynas a'u meistriaid crediniol, y mae y gweision a gyngorai i ufudd-dod ac onestrwydd, yn llythyrau Paul, yn aelodau yr eglwysi; oblegid ar yr un tir y gellir dadlu hawl y caethwas i freintiau yr efengyl, oddiwrth gyfamod Abraham, ag y gellir dadlu hawl babanod i freintiau yr efengyl, oddiwrth y cyfamod hwnw; o herwydd yr oedd y caethwas i gael ei enwaedu, fel y plentyn, dan y *charter* hwnw. Paham na byddai ffydd y meistriaid yn gwneyd y tro i'r gwas, yn gystal a ffydd y tad yn gwneyd y tro i'r mab, gan y Methodistiaid?—oblegid mae y naill mor naturiol a'r llall i'w seilio ar gyfamod Abraham. Ond erbyn i'r Dr. gymeryd pwyll, mae efe yn gweled mai plant mawrion, addas a chymwys i dderbyn cyngor, ac nid babanod, sydd gan Paul. "Y plant, ufuddhewch i'ch rhieni yn mhob peth; canys hyn sydd yn rhyngu bodd i'r Arglwydd yn dda." Plant yn ufuddhau i'w rhieni yn yr Arglwydd—yn grefyddol—oedd yn eglwys Ephesus, ac nid fel y baban anufudd, yn ysgrechian, ac ymladd yn erbyn ei dad, pan yn cael ei wneyd yn aelod o Grist, ac etifedd breintiau yr eglwys, trwy y ddefod o daenellu arno, yn Wisconsin, yr hwn oedd mor aflywodraethus, nes y gorfu i'r gweinidog waeddi am help, gan ddywedyd, "*Cydiwch yn nhraed yr awff!*" Ai tybed mai plant fel yna

oedd gan Paul i'w cyngori yn ei lythyr at yr eglwysi? ai ynte bechgyn a genethod synwyrol a chrefyddol, fel y ceir llawer heddyw yn eglwysi y Bedyddwyr?

Cawn weled beth fydd gan y Dr. y tro nesaf.

## AMRYWIAETHAU.

### ATEBIAD

*I Ofyniad Thomas J. Jones, Mo.*

*Gof.* Pa faint o filldiroedd deithiodd Iesu at Ioan i'w fedyddio?

*Ateb.* Enwir dau le y bu Ioan yn bedyddio ynddynt, sef Einon a Bethabara. Mae yn debyg mae yn y lle olaf y bedyddiwyd Crist. Dywedir fod Iesu yn bedyddio gyda ei ddysgyblion pan oedd Ioan yn bedyddio yn Einon, yr hyn a ddengys ei fod wedi cael ei fedyddio y pryd hwnw, gan mai ar ol ei fedydd y dechreuodd ar ei fywyd cyhoeddus. Mae yn anhawdd dweyd y pellder yn gywir rhwng Nazareth a Bethabara; nid yw'r mapiau yn dangos, na haneswyr yn dweyd yn gwbl yr un fath. Wrth edrych ar y *map* yn *Smith's Dictionary*, gellir barnu mai oddeutu 32 neu 35 milldir ydyw yn uniongyrchol; ond os oedd y ffordd yn wyrawg iawn, fel y gellir dysgwyl iddi fod, mewn gwlad anwastad fel Palestina, dichon y gall y pellder fod o 40 i 50 o filldiroedd, mor agos ag y gallaf fi farnu, er fod rhai yn ei farnu yn ychwaneg. Os bydd i'r uchod foddhau Mr. Jones, pob peth yn iawn.—*Wm Jones, Wis.*

### GOFYNIADAU.

*At y Parch. Dr. Cefni Parry.*

Gan fod ymddiried mawr genyf ynoch, fel pregethwr ac esboniwr yr Ysgrythyrau, yr wyf yn crefu arnoch egluro ac esbonio i mi a llawer eraill, *Grefydd a Moesoldeb*—y gwahaniaeth a'r cysylltiad sydd rhyngddynt.—*Wm. J. Thomas, Delta.*

*At y Parch. A. J. Morton.*

A welwch chwi yn dda roddi eglurhad ar 1 Petr iv. 6. Beth a feddylir wrth y *meirw?* ai meirw *presenol* a olygir, neu y rhai a *fuont* byw, ac wedi marw? A beth a feddylir wrth efengylu i'r meirw, a pha les oedd y cynyrch oddiwrth hyny? Goleuni a rydd foddhad i'r meddwl.—*Lewis E. Jones, Minersville.*

### UN O DDYWEDIADAU CYNDDELW.

[Yr oedd Mr Powell, tad ysgrifenydd y nodyn hwn, yn un o ddiaconiaid goreu Carmel, Sirhowy, ac un o gyfeillion ffyddlonaf Cynddelw.—GOL.]

Y mae pawb a gafodd adnabyddiaeth o Cynddelw yn gwybod mai un o'i brif nodweddau fel pregethwr, oedd symlrwydd ystumiadol ac araethyddol. Ei brif amcan oedd egluro ei bwnc, heb dalu nemawr ddim sylw i *lights and shades* datganiaethol. Siaradai yn hyglyw ac eglur, gan ddarnodi ei destyn. Sylwai bron ar bob gair, gan ddangos eu cysylltiadau geiriol. Aralleiriai ei destyn, gan ei gymharu â rhanau eraill o'r Ysgrythyrau; ac felly elai yn ei flaen, gan wneuthur yr hyn oedd yn dywyll yn ei destyn, yn oleu; a'r hyn oedd yn oleu yn oleuach.

Yr oedd Cynddelw nid yn unig yn ddiystyr o'r arddull ganiadol wrth bregethu, ond byddai yn anfoddlawn i'w wrandawyr gadw llawer o swn dan ei weinidogaeth. Yr oedd gwrandawiad astud yn ei foddhau, a llawer o floeddio yn peri blinder iddo.

Ychydig flynyddoedd cyn i Cynddelw symud o Sirhowy, ymaelododd hen foneddiges yn Ngharmel, a arferai grefydda yn Shiloh, Tredegar. Yr oedd Peggi yn sefyll marchnad, ac yn enill ei bywioliaeth drwy werthu yr hyn a elwid *faggots poethion.* Beiïd hi o fod dipyn yn sychedig, ac yn rhy wingar, ac o herwydd hyny byddai yr "hen benau" yn edrych ar Peggi yn aml iawn gyda llygaid croesion. Yr oedd hi yn un o dylwyth yr hwyl, a gallai *fforsio* dagrau o'i llygaid tra y

byddai ei gwddf can syched a chorcyn; a byddai yn bloeddio "Haleliwia," tra nad oedd yn deall yr un frawddeg a draethasid gan y pregethwr.

Yr oedd ymddygiadau Peggi yn cynhyrfu gwatwareg Cynddelw yn aml, a byddai yn arfer dweyd nad oedd neb yn debyg i Peggi'r afu am salmio. Cof genyf am dano unwaith, tra yn swpera yn nhy fy rhieni, iddo (mewn atebiad i sylw o eiddo fy nhad, fod Peggi wedi cael hwyl iawn o dan y bregeth y noson hono) ymsythu yn ei gadair a dweyd, "Y rheibes, pe byddai ei *chalon* haner cystal a'i *hafu* (*faggots*), ni fuasai ei swn yn peri haner y blinder i mi."

*Coalburgh, O.* THOS. J. POWELL.

## LLYFR TONAU AC EMYNAU NEWYDD.

Yn y *Greal* am Mawrth, mae hysbysiad am fwriad i ddwyn allan Lyfr Tônau ac Emynau newydd, at wasanaeth yr enwad Bedyddiedig yn Nghymru. Mae yr Emynau wedi eu dethol gan y bardd chwaethus, y Parch. H. C. Williams (Hywel Cernyw), Corwen; ac y mae y detholiad wedi enill *cymeradwyaeth uchel* dynion galluog i farnu, y rhai a'i gwelsant. Mae llawer o'r *Tonau* hefyd wedi eu dethol gan y Proff. Davies, Llangollen, gwr o allu a chwaeth. Mae yr anturiaeth yn cael ei roddi fel apeliad at yr eglwysi, er cael gwybod eu llais.

## "SEREN GOMER."

Da iawn genym fod *Seren Gomer* wedi gwneyd ei hymddangosiad eto yn ffurfafen lenyddol Cymru. Y tro hwn medda yr arenwad canlynol: "SEREN GOMER; Cylchgrawn Chwarterol *Undeb Bedyddwyr Cymru.*" Anhawdd i ni ydym yn y wlad hon er's deg neu bymtheg mlynedd, amgyffred y cynydd y mae yr Enwad wedi ei wneuthur yn y cyfamser. Tuedd sydd ynom i feddwl am bethau yno fel y gadawsom hwy. Y gwir yw hyn, y mae y Bedyddwyr wedi grymuso ac ymddyrchafu mewn cymeriad a dylanwad, yn neillduol yn y blynyddau diweddaf hyn. Fel engraifft o'u symudiad yn mlaen, gellir enwi y cymdeithasau a thrysorfäau tuag at dalu dyledion capelydd, a chynorthwyo hen weinidogion, &c. Ond yr hyn sydd yn rhoddi grym a threfnusrwydd i'r cwbl ydyw *Undeb Bedyddwyr Cymru.* Mae yr Undeb yn dyfod a phrif ddynion yr Enwad at eu gilydd yn flynyddol, i chwilio i mewn i faterion pwysig cysylltiedig â'u llwyddiant —i ddarllen papyrau ar bynciau dyddorol a llesol—pynciau o werth cyffredinol—i ymddyddan a chymdeithasu fel dynion Duw am deyrnas ac amynedd Iesu Grist. Un o'r pethau penaf a wnaeth yr undeb yn ddiweddar ydoedd trefnu i gael yr hen *Seren Gomer* allan eto yn gyhoeddiad chwarterol, o dan ei amddiffyniad. Mae y rhifyn am Ionawr, y cyntaf, yn ein meddiant. Y Parch. E. Roberts, Pontypridd, ydyw y golygydd, a'r Parch. J. Spinther James ydyw y trefnydd a'r trysorydd. Gallwn ddweyd yn ddibetrus fod y rhifyn hwn yn un rhagorol; bron na ddywedem ei fod yn well na dim a welsom o'r blaen yn cael ei ddwyn allan genym. Yr ydym yn teimlo yn wir falch o'n cyhoeddiad newydd hwn—yr ydym yn teimlo ein hunain yn cyfranogi o'r dyrchafiad mae hyn yn ei roddi i ni fel Bedyddwyr.

## NEWYDD DA I'N DARLLENWYR.

Fel y dywedwn mewn nodyn arall am ragoroldeb *Seren Gomer* yn ei dullwedd newydd, y mae genym i hysbysu yn mhellach, fod yn ein bwriad i ddewis allan o honi ysgrifau a dybiwn fydd o ddyddordeb i'n darllenwyr, yn ol fel bydd ein gofod yn caniatau. Bydd y *Seren* yn help i ni i gyfoethogi tu dalenau y WAWR o bryd i bryd â phethau gwerth eu darllen. Yn ein rhifyn nesaf bwriadwn gyhoeddi ysgrif ddyddorol Mr. Spinther James ar Richard Michael, gweinidog cyntaf y Bedyddwyr yn Mon. Mae yr erthygl hon yn wir ddyddorol; gwyddom y bydd ein

darllenwyr wrth eu bodd yn ei darllen; a phrin y credwn y gallant ei darllen heb golli dagrau yn llif; yr ydym ni wedi methu heb wneyd. Da iawn, Spinther; rhagorol; yr Arglwydd a fyddo gyda chwi, anwyl frawd. Mae yr ysgrif dan sylw yn cael ei rhoi dan y teitl, "*Enwogion Anghofiedig y Bedyddwyr.*" Awgrymir fod ychwaneg i ddilyn o dan y penawd tra dyddorol hwn. Pwnc ysgrif werthfawr arall a geir yn y rhifyn cyntaf hwn, ydyw, "Y Weinidogaeth," gan T. Lewis, Risca. Caiff yr erthygl ymddangos yn y WAWR, os gallwn fodd yn y byd fforddio lle iddi. Mae yn ddifrifol, eglur, ac apeliadol.

## BEDYDDIO DROS Y MEIRW.

Yr uchod sydd bwnc erthygl alluog yn *Seren Gomer*, Ionawr, 1880, gan y Parch. Hugh Jones, D. D., Llangollen, sylfaenedig ar y geiriau, "Os amgen, beth a wna y rhai a fedyddir dros y meirw, os y meirw ni chyfodir ddim? Paham ynte y bedyddir hwy dros y meirw?" 1 Cor. 15: 29. (Cyfieithiad newydd.) "Oblegid (os amgen) beth a wnant hwy, y rhai sydd yn cael eu bedyddio gyda chyfeiriad at y meirw? Os y meirw ni chyfodir o gwbl, paham yn wir y bedyddir hwy gyda chyfeiriad at y meirw?"

Dywed Dr. Jones fod ysgrifau galluog wedi ymddangos ar y pwnc yn ddiweddar yn y cylchgronau Seisnig. Y mae efe yn gadael o'r neilldu olygiadau y barna fod yn anmhosibl iddynt fod yn gywir. Cyfynga ei sylwadau i dri math o esboniadau ar y geiriau. 1. Yr esboniad ffigyrol. 2. Yr esboniad dirprwyol. 3. Yr esboniad llythyrenol. Mabwysiadir y diweddaf ganddo ef. Dywed fod tair o ystyriaethau yn profi cywirdeb yr esboniad llythyrenol. 1. Y mae yr arddodiad Groeg, *huper*, yn meddu yr ystyr a briodolir iddo yn y cyfieithiad uchod o'r adnod, megys Rhuf. 1: 8. "Yr wyf yn diolch i'm Duw trwy Iesu Grist *drosoch* (*huper*) chwi oll," hyny yw, gyda golwg arnoch chwi oll, &c. 2. Arfera Paul edrych ar ordinhadau yr efengyl o dan wahanol agweddau. Amcan penaf swper yr Arglwydd yw gosod allan farwolaeth Crist fel iawn dros ein pechodau ni. Ond yr oedd iddo ddybenion israddol, sef gosod allan unoliaeth yr holl saint, a rhag-gysgodi eu cyd-gyfarfyddiad oll yn y nef. Awgryma ein Harglwydd fod y cymundeb yn arwyddlun ac yn rhag-gysgod o lawenydd y gwaredigion yn nhy eu Tad. "Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, nad yfaf o hyn allan o ffrwyth hwn y winwydden hyd y dydd hwnw pan yfwyf ef gyda chwi yn newydd yn nheyrnas fy Nhad." Nid oes dim yn annaturiol yn y dyb fod Paul yn traethu ar fedydd o dan ei wahanol agweddau, a chyda golwg ar ei wahanol ddybenion. Yn Rhuf. vi. cyfeiria at fedydd fel arwyddlun o gladdedigaeth ac adgyfodiad Crist; a hefyd fel arwyddlun o'n claddedigaeth ninau gydag ef trwy gyfrwng yr ordinhad, er dangos ein bod ni fel dynion meirw, wedi tori pob cysylltiad a phechod; ac o'n hadgyfodiad gydag ef, i ddangos ein bod, fel rhai wedi eu bywhau trwy ras, i gyfodi i fyw bywyd newydd o ufudd-dod a sancteiddrwydd.

Mae yn ymddangos i ni, ebe y Dr., mewn gair, y mae y nesaf peth i sicrwydd diamheuol, oddiwrth rediad yr Ysgrythyrau, ac oddiwrth y ffaith fod Paul yn cyfeirio at ordinhadau yr efengyl o dan eu gwahanol agweddau, ei fod yn defnyddio y gair bedyddio yn yr adnod dan sylw, *am fod y weithred o fedyddio yn pregethu yr adgyfodiad.* Mae yn rhan hadfodol o'i thystiolaeth; sefydlwyd yr ordinhad er delweddu claddedigaeth ac adgyfodiad eiddo Crist, yn gyntaf fel blaenffrwyth y rhai a hunasant. 3. Trwy fabwysiadu y golygiad hwn, yr ydym yn gallu cymeryd yr holl eiriau yn yr adnod yn eu hystyr lythyrenol. Gallwn, fel hyn, ddeall *baptizo* yn ei ystyr arferol, pan y defnyddir ef am yr ordinhad, i olygu *tansuddiad mewn dwfr*, a *dadymsuddiad o hono*, er gosod allan gladdedigaeth ac adgyfodiad — *huper*, mewn ystyr ag sydd yn perthyn iddo yn fynych yn y Testament Newydd, i olygu *yn nghylch, gyda golwg ar*, gyda *chyfeiriad* at; a'r

*meirw* i olygu yr un peth ag a olygant trwy yr holl benod, sef y rhai sydd yn huno o dan lywodraeth angau.

Ebe Dr. Jones eto, "Da genyf gael gosod o flaen y darllenydd gyfieithiad y Parch. Thomas Sheldon Green, M.A., yr hwn a ddaeth i'm llaw ar ol i mi gyfansoddi yr ysgrif: 'Else what will they do that are being baptized concerning the dead? If no dead at all are raised, why are they even baptized concerning them?'" Drwg genym na allem roddi ychwaneg o'r ysgrif ragorol hon gan Dr. Jones.

## CYWIRIAD Y BEIBL.

Yn 1870, ymgymerodd "*Convocation of Canterbury*," Lloegr, â'r gwaith o sicrhau adgywiriad o'r cyfieithiad presenol o'r Beibl. Yn mhlith y rheolau, gosodwyd fod yr ieithwedd a'r eiriadaeth i fod yr un—fel y ceid nid cyfieithiad newydd ond cywiriad o'r hen. Dewiswyd ysgoleigion o'r radd flaenaf o blith pob enwad crefyddol. Ar ol iddynt ddechreu, tarodd i'w meddwl fod corph mawr o Gristionogion yn yr Unol Dalaethau a feddent ddyddordeb yn y mater hwn. Anfonwyd i'r America, a sefydlwyd yma adran gydgynorthwyol yn y gwaith yn 1871. Mae yr adran hon yn cyfarfod yn fisol yn New York, fel mae yr adran Seisnig yn gwneyd yn Llundain. Mae yr ysgoleigion Seisnig yn ddau ddosbarth, un yn gofalu am yr Hen Destament, y llall am gywiro y Newydd. Yn eu cyfarfod misol maent yn gosod ger bron y diwygiadau, &c. Mae pob llyfr a phenod yn cael eu dwyn i sylw a siarad arnynt yn ddilynol.

Ni ellir gwneyd un cyfnewidiad ar lai na phleidlais y mwyafrif. Yna y maent yn ystyried y cyfnewidiadau yr ail a'r drydedd waith, ac wrth wneyd y cyfnewidiadau diweddaf rhaid cael pleidlais dwy ran o dair yn eu ffafr; ac yna y maent yn anfon copi o'r cywiriadau i'r pwyllgor Americanaidd, ac y maent hwythau yn myned drwy weithrediadau cyffelyb, ac yna yn anfon y copi yn ol. Mae y Testament Newydd i gael ei gyhoeddi yr Hydref nesaf. Ni fydd yr Hen Destament yn barod am ddwy neu dair blynedd eto.

## YN HEN GARCHARDY OWEN GLYNDWR.

Yn y *Greal* am fis Mawrth, y mae marw-goffa hen chwaer dduwiol o Lansantffraid, Corwen, o'r enw Magdalen Price, y Felin; ac wrth son am dani, dyfynir a ganlyn o hanes eglwys Llangollen gan Dr. Prichard: "Tua y flwyddyn 1826, symudodd y brawd Robert Morris, o Lyndyfrdwy i Lansantffraid, i ddilyn ei orchwyl fel crydd, ac ymdrechodd i gael gan gymydog iddo agor ei dy i bregethu ynddo, a'r ty hwn oedd *hen garchardy Owen Glyndwr*, lle bu Syr Dafydd Gam yn garcharor am dros ddeng mlynedd. Dygodd yr Arglwydd dystiolaeth i air ei ras. Magdalen Price, y Felin, oedd y flaenaf a fedyddiwyd yno, islaw i'r bont yn Nyfrdwy Fawr, yn 1830. Medrai y wraig hon amddiffyn ei chrefydd, a gwnai hyny yn erbyn ymosodiadau boneddigesau dros y grefydd wladol, ac yn erbyn Ymneillduwyr, nes eu dystewi."

## Y PARCH. HUGH JONES, D.D., LLANGOLLEN.

Teimla y golygydd yn wir ddiolchagr i'r Dr. Jones am ei eiriau caredig a'i ganmoliaeth i'r WAWR; ac ni allwn ymatal yma heb ddadgan ein teimladau da tuag ato yntau yn ol. Yn ei lythyr diweddaf atom, dyddiedig Chwefror 20fed, 1880, heblaw ei fod yn cynwys geiriau caredig atom ni yn bersonol, y mae amryw bethau o ddyddordeb cyffredinol am bethau perthynol i'r enwad ac achos y Gwaredwr yn Nghymru; ac oblegid hyny, cymerwn ein rhyddid i ddyfynu rhanau o hono, gan y gwyddom fod ein darllenwyr bob amser yn dda ganddynt glywed oddiwrth Dr. Hugh Jones.

"Mae y WAWR yn llawn dyddordeb

i mi. Yr wyf yn darllen am symudiadau ac ymdrechion fy mrodyr Cymreig yn yr Unol Dalaethau, gydag edmygedd a chydymdeimlad; ac yr wyf yn gobeithio weithiau am gael yr hyfrydwch o'u gweled rhyw haf yn fyddinoedd cryfion yn eu huchel-wyliau cysegredig.

"Mae 'Seren' newydd wedi ymddangos yn awyrgylch lenyddol Cymru yn ddiweddar, sef *Seren Gomer*, fel cyhoeddiad chwarterol, o dan olygiaeth y brawd galluog a dysgedig y Parch. Edward Roberts, Pontypridd. Mae y rhifyn cyntaf yn un rhagorol, yn mhob ystyr; ac y mae y rhagolygon am lwyddiant yr anturiaeth yn gefnogol dros ben.

"Bu amryw o weinidogion Cymreig a Seisnig (neu Gymreig-Seisnig) o'r Unol Dalaethau drosodd yma yr haf diweddaf; yr oeddwn yn dysgwyl cael eu gweled oll yn Llangollen, neu rhyw Lan arall cyn iddynt ddychwelyd, ond ni welais ond Mr. James, Washington, a Mr. Leyshon Roberts, yr hwn a fu yn *suppiio* droion gyda ni yn y dref hon.

"Yr wyf yn dra diolchgar i chwi a Mr. Rowlands am y fath adolygiad teg, gonest, galluog, helaeth, a manwl ar 'Y Beibl a'i Ddehongliad." Mae y fath adolygiad yn anrhydedd i unrhyw awdwr, ac nid mewn un modd yn llai felly o herwydd fod yr adolygydd yn gwahaniaethu oddiwrth yr awdwr ar rai pwyntiau. Byddai yn dda genyf pe gwnelech adael i Mr. Rowlands wybod fy syniad uchel am natur y gwaith a gyflawnodd. Bydd yn dda genych glywed fod yr argraffiad newydd o'r "Beibl a'i Ddehongliad' wedi cael y croesawiad gwresocaf gan y wasg yn Nghymru, eiddo enwadau eraill yr un mor frwdfrydig a gwasg y Bedyddwyr; a dywed y cyhoeddwyr fod ei werthiad yn myned rhagddo yn rhagorol

"Cynelir Cyfarfod Blynyddol yr Athrofa eleni, Mawrth 16 a'r 17; y Parch. James Owen, Abertawy, i bregethu yn Saesneg, a'r Parch. William Jones, Abergwaun, yn Gymraeg. Yr Arholwyr am 1880—1882 yw y Parchedigion Thomas Lewis, Risca; Edward Roberts, Pontypridd; W. Durban, B.A., Chester, a'r Proffeswr J. M. Angus, M.A., o Goleg Aberystwyth. Bernid y byddai cael yr Arholwyr i aros yn eu swydd am dair blynedd yn fanteisiol ar amryw ystyriaethau, a dyna yr achos o'r cyfnewidiad.

"Da genyf eich hysbysu fy mod yn awr yn teimlo yn dda iawn o ran fy iechyd. Bum mor wanllyd a llwfr am dymor hir, fel y mae fy nerth a'm hoywder presenol bron yn anhygoel i mi fy hun. Diolch i'r Arglwydd am ei diriondeb yn hyn.

"Pob llwydd i chwi anwyl frawd, gyda'r WAWR, a phob ymdrech arall o'r eiddoch yn mhlaid y gwirionedd, a gras mawr fyddo ar fy mrodyr anwyl oll yn y wlad eang a chynyddfawr yna. Yr eiddoch yn gywir.

HUGH JONES."

## MAN LEWYRCHIADAU Y *WAWR*.

—Mae Dr. Fred Evans (Ednyfed) i fod yn Nghymanfa Bevier, Mo., yn nechreu mis Mai.

—Clywsom fod y Parch. D. W. Morris, Hyde Park, gynt, ar ddychwelyd i America *for good*, a'i fod wedi anfon at Thomas. D. Davies, Ysw., Hyde Park, i ddyfod i'w gyfarfod i New York, gan addaw na fydd eisiau iddo ond am y tro hwn yn unig.

—Deallwn fod y Parch. Jeremiah Griffith, diweddar o Gymru, wedi sefydlu yn Ashland i fugeilio y praidd yno.

—Nos Lun cyntaf yn mis Mawrth, gwrandawsom ar Henry Davies, Ysw., yn traddodi araeth fer ar y genadaeth. Dywedai fod ffydd yn nerth gweddi yn amlwg yn ngwersylloedd Sion yn y dyddiau hyn, a rhoddai bwyslais hefyd yn y ffaith fod ymofynwyr am fedydd ar y meusydd cenadol yn gorfod myned trwy arholiadau a phrofion mwy llym a manwl nag a arferir gyda ni, gan awgrymu ein bod ni yn rhy lac, y dylem fod yn fwy gofalus pwy ydym yn ei fedyddio. Araeth dda ydoedd. Mae ef a'r Parch. James Price, yn dweyd ar y genadaeth "ar yn ail.'

Yn wir, mae y brodyr yn Kingston, Pa., wedi adeiladu capel newydd hardd a chyfleus nodedig. Mae chwaeth dda a chynllunio doeth wedi bod yn ei wneuthuriad, a choron ar y cwbl yw, ei fod wedi talu am dan o bob cent.

—Bydd dda gan gyfeillion y Parch. D. Rhys Jones, Plymouth, Pa., ddeall fod y brawd yn gysurus iawn gyda y frawdoliaeth yno. Mae yn awr yn cyfyngu ei lafur yn gwbl iddynt hwy, ac nid yn rhanog gyda Kingston. Mae y capel eang yn orlawn ar y Sabbothau, ac yntau yn pregethu yn ardderchog, a chyda dylanwad mawr.

—Mae y Parch. D. Rhys Jones, Plymouth, Pa. (Syr Tomos o'r Building yn y "Tyst Apostolaidd" er's llawer dydd), wedi addaw ysgrifenu i'r WAWR erthyglau byrion yn meddu y penawd, "Adgofion am hen Weinidogion yn Nghymru" Brysied a'i waith, onite?

—Bydd 35 o rifynau o'r WAWR yn myned yn fisol y flwyddyn hon i Plymouth, Pa.

—Bydd ryw 30 yn myned i Wilkesbarre—wel mae rhifedi y WAWR bron dyblu yn Nyffryn Luzerne o un cwr i'r llall.

—Da genym fod y "Maes Cenadol," gan y Parch. W. F. Davies yn cael ei werthfawrogi gan ein darllenwyr.

—Mae cyfeillion o'r gorllewin wedi ein lloni yn ddiweddar â'u gohebiaethau a'u taliadau, gwyddant hwy pwy ydym yn ei feddwl.

# Barddoniaeth.

## TRI ENGLYN.

*Cydfuddugol yn Eisteddfod Hyde Park, Pa., Nadolig, 1879. Testyn,* Y DYN BLYSIG.

Y dyn blysig, trig mewn troch—o waeledd;
Ond gwelwyd e'n wridgoch;
Eithr un cul yw, a thrwyn coch
Yn degan ar wyneb du goch.

Dyn blysig, hyddig yw wrth ddeddf—iechyd,
Gwna nychu pob cyneddf
A fedda; rhuthra ar reddf;
Dirym y gwnelai dwyreddf.

Aberthu blawdd, i borthi blys—isel,
Wna'i wasaidd ewyllys;
Mogi diwygiad megys—
Geudeb brwnt wna gyda brys.

*Hyde Park, Pa.* DAFYDD DYFED.

## CALFARI FRYN.

TEIMLAD Y GWIR GREDADYN.

Mor hyfryd yw cofio hen Fryn
Calfaria a'i swynion o hyd;
Cyfeillach ga f'enaid fan hyn
A'r Iesu, Pryniawdwr y byd;
Yn isel wrth odre ei groes,
A ffyddiog yn haeddiant ei iawn,
Ceir gwared euogrwydd a'i loes,
Ac yfed o winoedd ei ddawn.

Yn mawredd darpariaeth fy Nuw,
Mae'r gwleddoedd pereiddiaf eu blas;
Tan wenau Cyfiawnder caf fyw,
A'm noddi mewn mantell o ras;
Hen aflan bechadur ddaw'n lân
Drwy'r gwaed, ei gymeriad ddaw'n wyn;
O f'enaid, dyrchafa dy gân,
Moliana am Galfari Fryn.

DAFYDD DYFED.

## IN MEMORIAM.

LINES ON THE DEATH OF R. ROSCOE THOMAS, THE BELOVED AND ONLY SON OF JOHN R. THOMAS AND WIFE, WHO DIED DEC. 22, 1879, AGED 6 YEARS, 1 MONTH, AND 27 DAYS.

What wail of anguish do I hear
From Bordwell's solitary vale?
What means this falling, glist'ning tear?
Ah! Death's dark visit tells the tale.

A flower frail that blossomed fair,
Is nipped by earth'r tempestuous frost;
Yet sorrow's tears, O further spare!
Your flower Roscoe is not lost.

Transplanted now to Eden's clime,
It blossoms sweet to fade no more;
Beyond the stormy scenes of time,
Where all heart griefs are ever o'er.

That lively spirit of your child,
Is livelier still before the throne;
He praises loud the Saviour mild,
And sweeps his harp in sweetest tone.

His playful ways, his boyish smile,
His cunning talk, though missed at home,

Yet joyful is the thought awhile,
Your Roscoe's death was Heaven's *Come!*

My soul in sympathy doth pray
For you, bereft of one so dear;
That God's sustaining grace may stay
Your souls on him who's ever near.

And when you pass through Jordan's flood,
And you are laid beneath the sod,
Your souls he'll rescue by his blood,
And bring you home to Roscoe's God.

*Port Chester, N. Y.* D. T. PHILLIPS.

## BEDD-ARGRAFF IOAN MADOG.

[CYSTADLEUOL.]

Ha! Ioan Madog, enwog ei ddoniau,
Synai ei genedl â'i dlysion ganau;
I fri anfarwol cyfeiriai'n forau,
Yn myd yr awen bu'n heulwen olau;
Ei allu oedd ddibrin, enillodd wobrau;
O wersi i eraill e roes ei orau;
O'i ol deil gwlybion aeliau—a'i waith clir
A wir fynwesir hyd derfyn oesau.

IEUAN DWYFACH.

## LLINELLAU

*Er Cof am* THOMAS L. RICHARDS, *Arolygwr y Bear Ridge Colliery, ger Mahanoy City, Pa., yr hwn a fu farw ar ol tua dau ddiwrnod o gystudd trwm.*

Ow! Angau, dy gleddyf dinystriol
A dorodd un arall i lawr,
Yr hwn oedd yn heinyf a siriol,
A'i enw 'n mhlith dynion yn fawr;
Fe gadwodd ar lwybr anrhydedd,
Oedd hynod—enillai bob dyn
I'w garu—yr oedd yn rhagori
Ar luoedd trwy 'i ddoniau gwir gun.

Er iddo feddianu rhyw lawer
O deitlau gwir uchel eu pris,
Gwnaeth hyny drwy ddechreu yn isel,
Er cyrhaedd yn raddol bob gris
Mal seren yr oedd yn dysgleirio
Yn nen cymdeithasau ein tref;
Ond Ow! dy fantell di, Angau,
A guddiodd ei lewyrch mawr ef.

Bu'n golled i ddeiliaid ein hardal,
Pan gollwyd cymeriad mor fâd;
Annhraethol yw'r golled i'w deulu,
Drwy golli'r fath briod a thad;
Ei briod, ei blant, a'i berth'nasau,
Sy'n gruddfan mewn galar a loes,
Boed iddynt roi'u pwys ar yr Iesu,
Ai ganlyn drwy gario ei groes.

*Mahanoy City.* GWILYM EVANS.

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Dywedasom yn ein hysgrif ddiweddaf fod Carey a Thomas wedi cael gwahoddiad i arolygu gweithiau *indigo* yn Mudnabatty a Moypauldiggy. Ond cofir, yr oedd y ddau yn parhau i bregethu o hyd. Byddent yn casglu cynulleidfaoedd o'r gweithwyr oedd dan eu gofal, a hefyd yn fynych yn myned ar draws y wlad o amgylch. Bu y flwyddyn gyntaf yn Mudnabatty yn un llawn o helbul i Carey, fel llawer un ar ei hol hi. Bu yn sâl iawn, a Mrs. Carey yr un modd, a'r rhan fwyaf o'r teulu, a chladdodd ei drydydd mab, sef Peter. Yn union wedi gwella, ymosodwyd o ddifrif ar y gorchwyl o godi ysgolion yn gysylltiedig â'r gweithfeydd oedd dan eu gofal. Wedi cael yr ysgoldai yn barod, gweithient eu ffordd at y bobl yn llawer gwell. Hefyd byddai Mr. Thomas yn enill eu serch yn fawr trwy eu meddyginiaethu yn rhad, ac am ddim yn aml. Pregethent yn yr ysgolion hyn ddwywaith bob Sabboth, ac yn aml yn yr wythnos. Er hyny i gyd, yr oedd fel hau had ar y graig—dim ffrwyth yn dod o hono. Beth bynag yr oedd un Sais ac un Cymro ag oeddynt yn byw yn Bengal, wedi eu bedyddio; ac ar y 1af o Dachwedd, 1795, ffurfiasant eu hunain yn eglwys reolaidd, a chadwasant y swper er cof am eu Harglwydd mawr. Diaelodwyd Long, y Sais, heb fod yn faith, am na rodiai yn addas i'w broffes; ond parhaodd Powell, y Cymro, yn aelod defnyddiol hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le yn Dingepore, yn Medi, 1802.

Wedi dwy flynedd o lafur caled, tybiai y cenadon y gwelent arwyddion yn rhai fod y gair yn cael argraff ar eu meddyliau. Byddent yn dod yn fynych i holi yn nghylch syniadau a fyddai Carey neu Thomas wedi gyhoeddi iddynt ryw dro wrth bregethu. Byddai y ddau frawd yn rhoddi pob anogaeth iddynt i fyned yn mlaen a'u holiadau, gan hyderu y buasent fel hyn yn

cael eu harwain i'r goleuni. Yr oedd amrai Frahminiaid a Mahometaniaid wedi dangos yn y modd hwn arwyddion deffroad. Yn herwydd hyn yr oedd gobeithion y cenadon yn uchel, a theimlent braidd yn sicr fod y wawr ar dori, ac y buasai tyrfa fawr yn fuan yn curo am ddod i fewn i'r eglwys ag oedd newydd ei sefydlu er rhoddi derbyniad iddynt. Ond ni ddaeth neb er yr holl obeithion a goleddid. Profodd y *caste* yn rhy gadarn. Nid oedd digon o wroldeb moesol yn un o honynt i roddi ei *gaste* i fyny. Safasant yn yr un fan; siomwyd y cenadon; ac iddynt hwy ymddangosai dwy flynedd o bregethu gwirioneddol, o weddio taer, o gyfranu addysg, o lafur corph ac enaid, wedi ei dreulio yn hollol ofer ac am ddim.

Yn yr amser hwn, sef 1796, daeth Mr. Fountain atynt, a rhoddodd hyn ychydig galondid iddynt. Yn gynar yn 1797, ymwelasant â Bootau, a derbyniwyd hwy yn garedig gan un Saubah, gwr ag oedd yn meddu awdurdod mawr yn y lle. Gwahoddodd hwynt yn daer i ddod a phregethu yno. Aethant, ac ni fu eu llafur yn ofer yno ychwaith. Yr oedd Mr. Carey yn byw ar y pryd o fewn 15 milldir, a Mr. Thomas yn byw o fewn 30 o filldiroedd o Dingepore, yr hon sydd ddinas yn agos yr un maint a Brooklyn neu St. Louis. O'r ddinas hon y derbyniwyd llythyr wedi ei arwyddo gan bump o Hindwaid, yn hysbysu fod y Brahmin Mohund Chund, oddeutu tair blynedd cyn hyn wedi bod yno a dywedyd ychydig wrthynt am efengyl Duw; a'i fod wedi addaw danfon iddynt ranau o'r gair, ond heb wneyd. Dyben y llythyr oedd ceisio cyfieithiad o Lyfr Duw, a chael gan ryw un i ddod ag ef iddynt, a fuasai yn alluog i'w egluro, a'u dysgu hwy yn mhellach yn ei wirionedd. Yr un amser ag y derbyniodd Carey y llythyr uchod dywedwyd wrtho fod Portugïad yn byw yn yr un ddinas, o'r enw Ignatius Fernandez, a garai yn fawr glywed yr efengyl, a gweled y cenadon. Aeth Fountain a Powell yno; yn ganlynol daeth Fernandez i weled y cenadon, a phan aeth Carey yno i bregethu ar ol hyn, credodd Fernandez i Dduw, a bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn y Ceidwad. Trodd allan yn Gristion gwrol a dichlynaidd, yn weithiwr difefl dros ei Feistr, ac yr oedd bob amser yn fawr yn ei haelioni a'i garedigrwydd. Bedyddiwr selog iawn ydoedd hefyd. Yr oedd ei dy bob amser yn gartref i'r cenadon, a phawb o'r credinwyr o ran hyny ag oeddynt yn byw o amgylch y ddinas. Yn ei dy ef y bu farw Mr. Fountain, Mr. Thomas, a Mr. Powell. Cododd le i addoli yn y ddinas, a thalodd am dano bob ceiniog ei hun. Hwn oedd y capel cyntaf a godwyd yn India. Gwelwn wrth hyn ei bod ychydig yn fwy calonogol ar y cenadon yn Dingepore nag yn Mudnabatty. Heblaw a nodwyd, dysgwyd tua 50 o fechgyn i ddarllen ac ysgrifenu, y rhai a ddaethant yn herwydd hyny i feddu dylanwad mawr yn y lle. Hefyd cyfieithwyd yr Ysgrythyr i'r Bengalaeg yr adeg hon, fel y byddai yn barod i'r wasg pan geid un.

Cofir i mi nodi fod amryw yn cael son am danynt gan Mr. Thomas pan ddychwelodd i Loegr, fel yn barod i dderbyn yr efengyl yn India; enwodd rai, megys Mohund Chund a Parbotee. Bu Parbotee yn ymladd yn galed cyn gallu tori trwy y *caste;* ond yn y diwedd gorchfygodd yn llwyr. Rhoddaf yma gyfieithiad o un o weddiau Parbotee, er dangos ei wylder, ei daerni, a'i symledd:

"Yr oeddwn i yn cyflawni defodau y Ganges, ac yn galw hyny yn dda. Yr oeddwn yn addoli pren a maen, ac yn galw hyny yn dda. Yr oeddwn yn gwrando ar Shasterau dynion, y rhai ydynt oll yn anwiredd ac ofer, ac yn galw hyny yn dda. Arglwydd, yr wyf y creadur mwyaf andwyol yn y byd hwn. Ni wn i ddim—dim. Yr wyf wedi treulio fy holl ddyddiau mewn drygioni, ac heb feddu y wybodaeth leiaf am Dduw. O, gosod yn mhell oddiwrthyf y pethau drygionus hyn. O gwna iddynt ymado a mi. Yr wyf yn awr wedi gwrando ar dy air di. Ni wrandawaf arnynt hwy ychwaneg. Ni roddaf barch i ddelwau o bren a maen byth mwy—oferedd—celwydd! Ar-

glwydd, ni wrandawaf ar Shasterau yr Hindwaid; maent yn gau ac ofer. Pechadur truenus wyf; achub fi; O, achub, achub, achub fi. O dyro, dyro; O dyro, dyro, O Arglwydd. Dyro i mi wybod—uffern—beth? Nefoedd—beth? Heb waed Crist ni chaf byth fy nghadw. Heb gnawd Crist ni chaf byth fyw. Arglwydd, beth yw ystyr hyn? Nid wyf yn gwybod beth ydyw. Pa fodd y gallaf gael gwaed Crist? O dysg fi. Mi a wnaf beth bynag a ddywedot. *Caste!* beth?—cartref! beth? Dim yw pob beth ond tydi. Nid oes angen arian arnaf; nid oes angen dim arnaf ond tydi. O'r fath bechadur truenus ydwyf. O, dywed wrthyf y ffordd! O, dywed wrthyf trwy y *Sahaib!** Yr ydym yn myned i Calcutta. Mae llawer, llawer o bethau drwg yno. O, cadw ni oll tra yn aros yno. O, na fyddai ond cariad genyf. O, na fyddai genyf ond ffydd. O, na fyddai genyf faddeuant. O, na fyddai yn fy meddiant y pethau hyny a fedda dy blant di! Fel hwy—O, dyro i mi fel hwy. O, Arglwydd, gymaint o bethau drwg sydd yn fy meddwl bob dydd. Yr wyf yn adyn cableddus a drwg. Yn mhell, O, yn mhell gosod fy mhechodau oddiwrthyf. Maddeu i mi, a dysg fi beth i'w wneyd. Myfi a wnaf unrhyw beth. O na wyddwn beth i'w wneyd. O, dyro, dyro, dyro, Arglwydd. Beth a gaf, beth a allaf wneyd?"

Bydd genym air yn y nesaf am Marshman, Wood, ac eraill, a aethant allan at Carey a Thomas yn 1799.

* Syr. Golyga Mr. Thomas.

### Y PAGAN DYCHWELEDIG CYNTAF YN JAPAN.

Fel yr oedd un o'r Japaniaid yn mhorthladd Yeddo un diwrnod, gwelai rywbeth yn nofio ar wyneb y tonau; cyrchodd ef, a chafodd mai llyfr ydoedd na fedrai ei ddarllen. Nid hir beth bynag y bu cyn deall beth oedd, a chyn gwybod hefyd ei fod yn llyfr ag oedd yn barod wedi ei gyfieithu i'r Chineaeg, yr hon iaith a fedrai ddarllen yn dda. Y Testament Newydd yn yr iaith Saesneg ydoedd, a diamheu wedi ei daflu dros y bwrdd gan ryw forwr na fedrai ei werthfawrogi. Gyrodd yn union i Shanghai am gyfieithiad o hono. Dechreuodd o ddifrif ei astudio, ac eraill gydag ef. Ond methent amgyffred pob peth oedd ynddo; felly danfonasant at Mr. Verbeck, y cenadwr, am ychydig o oleuni. Germaniad oedd Mr. Verbeck, ac yn byw ar y pryd yn Nagasaki. Danfonodd Mr. Verbeck ychydig gyfarwyddiadau ac anogaethau iddo ef a'i gyfoedion, mewn llythyr, am yr hyn yr oedd yn dra diolchgar.

Gyrwyd atynt fel hyn gan y cenadwr am ddwy flynedd yn olynol. Yn y diwedd talodd ef ac eraill ymweliad â'r cenadwr, a dyma a ddywedodd: "Syr, nis gallaf ddarlunio i chwi fy llawenydd pan y darllenais am y tro cyntaf hanes bywyd, cymeriad, a gwaith yr Arglwydd Iesu. Ni welais, ni ddarllenais, ni chlywais, ac ni freuddwydiais erioed am y fath berson. Llanwyd fi ag edmygedd; ymgollais mewn llawenydd, ac enillwyd fi yn llwyr gan ei fawredd, ei ogoniant, a'i ragoriaethau. Gofynais am ei fedyddio. Wedi ei holi yn fanwl am y gras oedd ynddo, bedyddiwyd ef a dau eraill. Y rhai hyn oedd y Cristionogion Protestanaidd cyntaf yn Japan.

BASSEIN, BURMAH.—Mae teyrnas y Gwaredwr yn lledu yn gyflym yn y wlad hon. Nid llai na 300 a gawsent eu bedyddio yn nghorph y deuddeg mis diweddaf. Nid oes gan neb yn Bassein dy ysgol i'w gydmaru a'r hwn sydd wedi ei godi gan yr eglwysi Karenaidd. Maent wedi rhoddi mewn eiddo, at osod yr ysgol ar safon dda, 44,554 o *rupees*;* dygasant *Rs.* 21,650 yn arian, a bwriadent wneyd y swm yn *R.*50,000 cyn diwedd 1880. Pwy na ddyweda, Duw yn rhwydd iddynt?

CAPEL I'R BEDYDDWYR YN SAMARIA.—Oddiar Hydref, 1879, mae gan y Bedyddwyr gapel prydferth yn "hen Samaria." Hwn yw y capel Protes-

* Rupee sydd tua 40 c.

tanaidd cyntaf o fewn terfynau y rhanbarth. Y gweinidog yw y Parch. El Karey. Gwelodd yr ysgrifenydd y dyn da uchod yn Nghymanfa Morganwg, D. C., yr hon oedd yn cael ei chynal y flwyddyn hono yn Seion, Merthyr. Nid wyf yn cofio yn iawn y *date;* ond gwn nad oedd yr un arall wedi bod yno yn fy nghof i. Mae El Karey a'i gapel yn nhref Nablous (Sychar gynt), lle bu yr Iesu yn eistedd ar y ffynon, ac yn ymddyddan â'r wraig o Samaria. Tref Fahometanaidd gan mwyaf ydyw yn bresenol. Allan o boblogaeth o ugain mil nid oes ond tuag un fil yn Brotestaniaid, Groegwyr, Lladinwyr, a Samariaid; mae 19,000 yn ganlynwyr selog y gau brophwyd. Mae yr eglwys yno yn rhifo 13 o bersonau wedi eu bedyddio bob yr un trwy drochiad, ac y mae eraill yn aros am yr un fraint. Mae yn yr ysgol ddyddiol sydd dan ofal y gweinidog, 90 o ferched, braidd oll o deuluoedd Mahometanaidd. Y mae ganddo gwrdd hefyd i'r gwragedd a'r mamau bob dydd Mawrth, am 9 o'r gloch yn y boreu, a bydd ynddo ryw 90 ar gyfartaledd. Rhifa yr ysgol Sul 150 o ysgolheigion selog, yn darllen gyda blas efengyl fywiol y Gwr Bendigaid fu unwaith yn lluddedig yn ymyl eu dinas.

AFFRICA.—Yn 1870, deng mlynedd yn ol, yr oedd canolbarth Affrica yn wlad anhysbys, lle y tybid fod yr enwog Livingstone wedi ei golli. Yn awr y mae yn hollol hysbys, a deg o genadon yno yn gwasgaru goleuni yr efengyl. Caethfasnach oedd y pryd hwnw yn ei gogoniant, yn awr sydd wedi ei hatal braidd yn llwyr.

DYCHWELEDIGION PAGANAIDD.——Bernir fod heddyw 1,650,000 o Gristionogion mewn gwahanol ranau o'r byd paganaidd. Yn yr India Orllewinol, 310,000; o 40,000 i 50,000 yn Ngorllewinbarth Affrica; 180,000 yn Neheubarth Affrica; 240,000 yn Madagascar; o 400,000 i 500,000 yn yr India Ddwyreiniol; 90,000 yn yr *Indian Archipelago;* o 45,000 i 50.000 yn China, a thros 300,000 yn Ynysoedd Mor y De.

CHINA.—Bedyddiodd y Parch. Mr. Ching 130 mewn deng niwrnod yn Ching-Chou-Foo a'r cylchoedd. Yr oedd 64 yn fenywod. Bu yr holl rai hyn yn ymgynull am dros flwyddyn i addoli, darllen y Beibl, a gwrando y gair yn cael ei bregethu. Mae ugeiniau eto yn gwasgu at y brodyr, ac yn dangos arwyddion amlwg fod y gwaith da wedi ei ddechreu yn eu calonau.

GWAITH RHYFEDDOL.——Yn rhanbarth Tinnevelly, dywedir fod 15,000 wedi ymuno ag eglwys y Duw byw yn ystod y 15 mis diweddaf. Y Parch. Jared Scudder a fedyddiodd yr un dydd 307, a'r Sul canlynol 227 drachefn.

SPAEN.—Mae y wlad uchod yn estyn ei dwylaw yn brysur at air y bywyd. Anfonir deisebau gan amryw bentrefydd yn gofyn i'r cenadon ddyfod a phregethu y gair iddynt.

SIAM.—Mae brenin y wlad hon wedi cyhoeddi rhyddid crefyddol trwy ei holl diriogaethau, ac ni chaniata i un rhwystr gael ei daflu ar ffordd Cristionogion yn un man.

## HANESION CARTREFOL.

### COLEG GRANVILLE, OHIO.

Talwyd ymweliad, tua deufis yn ol, ag amryw o eglwysi Bedyddiedig Cymreig Ohio, gan y Parch. T. J. Sheppard, Ysg. Arianol y sefydliad uchod. Mae Mr. Sheppard yn bregethwr da, ac yn ddyn cymwys i'w swydd bresenol. Nid wyf yn gwybod pa un ai llwyddiant neu aflwyddiant, mewn ystyr arianol, y bu ei ymweliad â'r eglwysi Cymreig. Gobeithiwn y goreu nes gweled yr ystadegau.

Mae Coleg Granville yn sefydliad anrhydeddus, ac yn glod i'r enwad. Y mae'r Proffeswyr gyda goreuon y wlad, a deil y myfyrwyr graddedig eu cymharu ag eiddo colegau eraill. Mae gan Fwrdd Addysg y Coleg amcan canmoladwy, sef darparu dynion i waith mawr y weinidogaeth. Yn hyn ymdrecha droi allan ddynion dysgedig, yn ol gof-

ynion yr oes. Tlodion, fel rheol, yw myfyrwyr at y weinidogaeth, ac oni bae caredigrwydd, nis gallent byth ddarparu at eu gwaith. Cynorthwya Bwrdd Addysg Granville o 20 i 25 yn flynyddol. O'r cychwyniad mae dros 200 wedi derbyn o garedigrwydd y Bwrdd. Mae y dynion hyn ar y maes yn llafurio yn galed dros ogoniant eu Meistr, ac wedi gwneyd yn ardderchog. Ond i addasu dynion mewn dysg i'r weinidogaeth, rhaid wrth arian. Cyfrana eglwysi Seisnig y Dalaeth at hyn. Oni ddylai eglwysi Cymreig wneyd felly? Derbynia Cymry, fel Saeson, addysg yno. Yn Nghymru, rhydd eglwysi yr enwad yn helaeth at addysg myfyrwyr Pont-y-pool, Hwlffordd, a Llangollen. Paham na wneir felly yn y wlad hon? Yr wyf yn sicr nad diffyg gallu yw yr achos. Rhoddodd eglwys Coalburg $20 eleni at yr achos hwn, ac nid oes neb yn cwyno am a roddwyd. "*Where there is a will there is a way.*" Awgryma y Bwrdd gynllun fel hyn:

1. Penoder ar ddiwrnod pan y gofynir i bob aelod gyfranu yn flynyddol at yr achos hwn.

2. Myner yr Ysgol Sul i gynorthwyo. Dynion o'r Ysgol Sul yw y myfyrwyr at y weinidogaeth.

3. Mae $1 yn gwneyd dyn yn aelod am flwyddyn o'r sefydliad; $20 am oes. Cafwyd un o fechgyn yr $20 yn Coalburg. Gobeithio y ceir rhagor eto.

Cyflwynir yr uchod i sylw eglwysi Bedyddiedig Cymreig Ohio, gyda'r gobaith y cymerir hyn i ystyriaeth, ac y rhoddir yn flynyddol at sefydliad addysg yr enwad yn y Dalaeth.

Am ragor o wybodaeth, ysgrifener at y Parch. T. J. Sheppard, Granville, Licking Co., Ohio.—*Charles Jones, Coalburg, O.*

---

### Anrheg Werthfawr.

Dymunwyf gydnabod yn ddiolchus yr anrheg werthfawr a gwir anrhydeddus a gefais nos Lun, Mawrth 1, 1880, gan y gynulleidfa Gymreig sydd yn cyfarfod i addoli Duw yn Girard, Ohio. Tybiwyf mai myfi bregethodd iddynt y waith gyntaf, a byddaf yn ol eu cais, yn pregethu iddynt yn achlysurol, ac y maent wedi fy nghydnabod yn deilwng bob tro am hyny. Ond rywfodd heb yn wybod i mi, ïe, yn hollol felly, cynhyrfwyd eu calonau cynes, caredig a haelionus hwy i wneyd ychwaneg, sef fy anrhegu â *suit* o ddillad duon ardderchog—(*forty dollar suit*). Gyda hyny cefais het a chadach poced ardderchog, yr olaf gan un o'r chwiorydd. Cafodd y *suit* o ddillad eu prynu a'u gosod at eu gilydd yn ystordy eang y brawd a'r cyfaill cywir Jehoiakim Jones, Ysw., dyn a ystyrir yn un o'r celfyddydwyr goreu ar gyfandir America; a gostyngedig gyngoraf y sawl a ewyllysia gael *suit* o ddillad da, ac yn *fitio* i'r dim, aed i Girard, at Jones; caiff un felly yno. Yn awr, yn gymaint a bod brawd galluog yn cymeryd at y gorchwyl o roddi hanes cyflwyniad yr anrheg, ni throseddaf ar ei derfynau. Hyn a ddywedaf, ddarfod i ni gael cyfarfod difyrus anghyffredin iawn. Daeth blaenoriaid eglwys Weathersfield, yn nghydag amryw o'r aelodau perthynol i'r eglwys hono i'r cyfarfod, a da iawn oedd genyf eu gweled yn wir. Ac yn awr teimlwyf arnaf fy mod yn hollol rwymedig i gyflwyno fy niolchgarwch gwresocaf i gynulleidfa Gymreig Girard am ei hanrheg werthfawr ac anrhydeddus i mi. Nid geiriau blaen tafod yw a ddywedwyd, ond deilliant o eigion fy nghalon gynes tuag atynt. Y mae y rhodd yn wir werthfawr, ond y mae y fath arwydd o'u parch, a'u meddyliau uchel am danaf, yn peri i mi edrych arni yn wir ganwaith a mwy gwerthfawr nag ydyw ynddi ei hunan.

Terfynaf gyda dweyd, y teimlaf yn dra diolchgar i Mri. Evan Jones a Richard Evans am eu hymdrech a'u ffyddlondeb mawr o du y symudiad. A diolch yn fawr i bawb a gyfranodd at fy anrheg werthfawr. Diolchaf hefyd i Mr. Jones, y dilledydd enwog am y *good cloth, good fit*, yn nghyda'r gwaith manwl a rhagorol sydd arnynt. Bydded i ymddygiad caredig a haelionus y gynulleidfa uchod fod yn symbyliad i gynulleidfaoedd eraill, nes peri iddynt

gofio y rhai a lafuriant yn eu plith. Y mae ambell i anrheg i bregethwr, pe yn un fechan, yn foddion i loni ei ysbryd, medd un a gafodd anrheg wych, sef—*J. W. James.*

---

BANGOR, WIS.

Nos Fercher, Ion. 28, cefais *ddonation* gan yr eglwys yn y lle hwn, yn yr *American House*, yn mhentref Bangor. Cafwyd *oyster supper* ar y pryd. Dangosodd y merched lawer o chwaeth a medr mewn darparu llawnder ac amrywiaeth o bethau cyfaddas er cael swper da ar yr achlysur hwn. Wrth ystyried cyflwr y ffyrdd ar y pryd, daeth nifer lled luosog yn nghyd. Aeth pob peth yn mlaen yn dawel a boddhaol. Ar y noswaith uchod derbyniais:

| | |
|---|---|
| Yn arian .... ........... | $76 55 |
| Un *scarf* ragorol, &c...... | 6 00 |
| Arian a dderbyniais ar ol y noswaith a enwyd uchod, | 3 50 |
| Cyfanswm.... | $86 05 |

Yr wyf yn dymuno wrth hyn ddangos fy niolchgarwch i bawb oedd yn bresenol ar yr achlysur, ac a gyfranasant er fy nghynorthwyo ar adeg ag yr oedd cymaint angen arnaf. Yr ydwyf yn gwerthfawrogi y rhodd a dderbyniwyd. Y nefoedd a'u bendithio oll, ac a'm cynorthwyo inau i fyw yn deilwng ac addas fel gweinidog yr efengyl. Ydwyf, &c.—*J. J. Vaughan.*

---

REMSEN, N. Y.

Mae yn y lle hwn amryw *ddonations* mewn gwahanol ffurfiau wedi bod yn ddiweddar, a deallwyf eu bod oll yn foddhaol gan eu derbynwyr. Ar y 12fed o Chwefror cafodd cyfeillion yr ysgrifenydd gyfle i ddangos eu caredigrwydd iddo yntau yn *Dawson's Hall*, lle yr oedd y darpariadau goreu wedi eu trefnu yn y modd goreu gan y boneddigesau. Cafwyd hin ddymunol a hynod ffafriol, felly daeth rhai canoedd yn nghyd, nid yn unig i gyfranogi o'r darpariadau, ond yn benaf i gyfranu eu harian a'u rhoddion, yr hyn a wnaethant yn haelfrydig, fel y mae y *donation* wedi cyrhaedd y swm anrhydeddus o $185, am yr hyn yr wyf finau gyda didwylledd calon yn cyflwyno fy niolchgarwch gwresocaf a mwyaf gwirioneddol i bawb yn gyffredinol. Gwir, er hyny, fod rhai unigolion yn hawlio neu yn teilyngu diolchgarwch arbenigol a phersonol. Yr wyf yn hyderu fy mod yn gallu cydnabod eu hymdrechion a'u llafur a'u serch uwchraddol; ac os byth y daw ar fy llaw byddaf yn sicr o brofi iddynt na byddaf wedi anghofio eu gwaith, a'r llafurus gariad a ddangosasant tuag ataf. Teimlwyf hefyd yn rhwymedig i Mr. Dawson am roddi ei *Hall* gyfleus at ein gwasanaeth yn rhad ac am ddim. Bendith Ior, fy nghyfeillion hoff, a fyddo yn orphwysedig arnoch hyd byth bythol, yw gwir ddymuniad eich rhwymedig was—*J. Seth Jones.*

---

UTICA, N. Y.

Cafodd y ddinas hon, y ddau Sabboth Mawrth 7fed a'r 14eg, yn hen addoldy y Bedyddwyr ar Broadway, wledd efengylaidd o'r arlwyaeth oreu er's blynyddau, o'r danteithion melusaf o ardd anwylyd Priodfab merch Sïon, trwy gyfrwng gweinidogaeth y Parch. J. T. Phillips, Brooklyn, gynt o Parsons, Pa. Pregethodd y brawd Phillips yn hwyliog a gwlithog, ac yn ei waith yn curo yr hen "hoelion wyth" trwy barwydydd y gwrandawyr, yr oedd cleciadau ambell i hen drawst i'w glywed yn ocheneidio, nes cydio yn yr hen Amen, ac amrantau llawer un yn y dorf yn loywon gan ddagrau, nes rhedeg yn aber fach risialaidd dros ruddiau yr hen chwiorydd llesg a'r mamau crefyddol.

T. L. THOMAS.

---

MARWOLAETH A CHLADDEDIGAETH MR. HUGH T. JONES, STEUBEN, N.Y.

Ar ol cystudd trwm o tua chwe' mis, a gwaeledd am oddeutu tair blynedd, bu farw Mr. Jones ar y 10fed o'r mis diweddaf, o glefyd y galon. Ar y 13eg, hebryngwyd ei weddillion marwol i dy

eu hir gartref, i gladdfa Prospect, N.Y. Yn y ty cyn cychwyn, darllenodd y Parch. John Seth Jones ran o air yr Arglwydd, a gwnaeth sylwadau difrifol a phwrpasol iawn fel yr elai yn mlaen; yna gweddiodd. Cynaliwyd moddion crefyddol hefyd yn nghapel y Bedyddwyr yn Remsen, pryd y darllenwyd ac y gweddiwyd gan y Parch. Hughes, (A.), ac yna traddodwyd anerchiadau rhagorol gan y Parchn. John D. Jones, John Seth Jones, E. C. Evans, (T. C.), Owen F. Parry, a Dr. Williams. Yr oedd yr ymadawedig wedi arwyddo dymuniad ar fod y Parch. J. D. Jones yn siarad ar yr achlysur, a theimlai yntau yn ddrylliog iawn wrth geisio gwneyd, gan hiraeth am ei hen ffrind, ac hefyd mewn rhan am ei fod yn ddiweddar wedi colli ei anwyl wraig yn yr angau, ac wedi clywed y boreu hwnw am afiechyd ei fab. Dygai y siaradwyr oll dystiolaethau uchel i'r ymadawedig fel dyn gonest a chywir, ac fel Cristion a diacon ffyddlon. Bydd yn drwm gan lawer o hen adnabyddion a chyfeillion Mr. Jones i glywed am ei farwolaeth; yn mhlith eraill bydd gweinidogion a phregethwyr yr enwad a'i hadwaenai, ac a ymwelsant a'i gartref o bryd i bryd. Bwriedir ysgrifenu cofiant iddo yn fuan.

---

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Ashland, Pa., Sul, Chwef. 22ain, cawsom y fraint o weled un chwaer yn ufuddhau i fedydd y Testament Newydd, yn ol y cynllun Apostolaidd. Gweinyddwyd gan ein hanwyl frawd, y Parch. Jeremiah Griffiths.—*Brawd.*

---

## *PRIODWYD—*

Yn Drifton, Pa., Mawrth 3, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Owen Gibbon a Miss Maggie Jones, y ddau o'r lle uchod.

Yn Audenried, Pa., Mawrth 20, gan yr un, Mr. John Aubrey, Summit Hill, a Miss Hannah Harris, Audenried.

Mawrth 17, 1880, yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. B. Morlais Hughes, Bevier, Mo., Mr. David J. Richards, Bevier, a Miss Phebe Morgans, Brush Creek, Mo.

Rhagfyr 31, 1879, yn nhy tad a mam y briodasferch, gan y Parch. Timothy Jones, Springwater, Wis., Mr William V. Powell, mab y Parch. David M. Powell, ger Dodgeville, Iowa Co., Wis., a Miss Betty Evans, merch Evan D. Evans, Ysw., ger Spring Green, Sauk Co., Wis.

I'r ddau yma hawddamor—i ryddid
A gwynfyd digyfor;
Gwenau Duw, y gwiwlon Ior,
A'r Iesu a'i ras yn drysor.

Eu hoes fo yma isod—heb un draen
I'w drygu, na sorod;
Na gwagedd byd a'i wag nod,
Eu denu un diwrnod.

Dy le, Willie, gwna wylio—a Betti
O bob tu gynilo;
Mae gras Duw o do i do,
A dyledswydd yn delio.

Yn deulu mawr y deloch—a llawnder
Ar gyfer a gaffoch;
A'r plant oll heb sain tant rhoch
I'w manau mal y mynoch.

HAMINIOG.

---

## *BU FARW—*

### Y PARCH. R. C. OWENS, (TREBOR,) DODGEVILLE, WIS.

*Mr. Gol.*—Mae wedi disgyn arnaf i ysgrifenu cofiant i'm hoff frawd oedranus Trebor. Dywedodd wrthyf rai blynyddoedd yn ol, nad oedd yn ewyllysio i neb gymeryd fawr o drafferth, na gwneyd nemawr sylw o hono ar ol ei farw. Yr oedd pregethau angladdol a chofiantau o'r fath a geir yn gyffredin y dyddiau hyn, yn blino ei ysbryd; a thrwy ei fod yn casâu yr organmoliaeth a geir ynddynt, yr ydoedd yn tueddu i fyned yn rhy bell yr ochr arall, sef cael ei adael yn rhy ddisylw. Dichon dynion call fyned i eithafion, fel y Groegiaid gyda Socrates; casâent ef tra yn fyw, i'r fath raddau fel y penderfynasant ei wenwyno â ffrwyth yr hemlock; ac wedi ei farw gwelsant eu camsyniad, ac aethant mor bell i'r ochr arall fel y codasant deml ar ei fedd, a braidd na restrent ef yn mhlith eu duwiau. Mae yn debyg fod Dr. Wm. Carey yn anghymeradwyo y ganmoliaeth ormodol a arferir mor gyffredin, pan waharddodd i'w gyfeillion wneuthur dim o'r fath ar ei ol ef. Felly teimlai Trebor; ar yr un pryd mae ef yn teilyngu cofiant da.

Mab ydoedd i Thomas a Margaret Owens, Treffynon, Swydd Fflint, G. C. Ganwyd ef Awst 25, 1810, felly yr oedd agos wedi cyrhaedd yr oedran teg o 70 mlynedd. Cafodd ei ddwyn i fyny gyda ffyddlondeb yn yr Ysgol Sabbothol, gan fod ei dad yn aelod gyda y T. C., y rhai ydynt i'w canmol am ei zel dros y sefydliad daionus hwnw. Yr oedd Robert yn llawn gweithgarwch pan yn ieuanc, ac yn un

o'r rhai blaenaf i ddysgu penodau a Salmau, a'u hadrodd yn gyhoeddus. Clywais fod ei dad unwaith wedi codi fyny i adrodd penod, a chan ei fod yn methu myned yn mlaen yn rhwydd, cododd ei fab Robert ar ei draed, a gofynodd iddo eistedd i lawr, y buasai ef yn adrodd y benod, ac felly gwnaeth i foddlonrwydd mawr. Yr oedd yn gwybod yr Ysgrythyr Lân er yn fachgen, fel Timotheus, a thrwy hyny daeth yn un cadarn yn yr Ysgrythyrau, fel Apolos. Clywais iddo dynu sylw un mor neillduol fel y gofynodd i arall, "Pwy yw y bachgen acw sydd yn edrych mor llawen bob amser, a'i Feibl o dan ei gesail?" Cafodd Trebor ei wobrwyo drwy y sylw yna â gwraig dda. Mae cario y Beibl dan y gesail yn arwydd dda, y caiff yr Hen Lyfr ddylanwad ar y galon ryw bryd. Felly y bu gydag ef; aeth gwirioneddau y Llyfr Da drwodd i'w galon yn mhen amser. Cynyddodd y bachgen llawen yn ddyn llawen ar hyd ei oes, yn enwedig pan fyddai yn agos i'r Beibl. Yr oedd yn anhawdd bod yn drist yn nghwmni y brawd Owens Ac nid hir y byddai yn nghyfeillach neb heb eu tynu i feusydd yr Ysgrythyrau. Parhaodd ei zel dros yr Ysgol Sabbothol ar hyd ei oes, ac yr oedd ganddo allu mwy na'r cyffredin i roddi bywyd ynddi. Nid oedd dim o'r sarugrwydd hwnw sydd mor gas gan blant yn perthyn iddo. Mae Spurgeon yn son am blant yn ymddyddan â'u gilydd, pan ddywedodd un yn sydyn, "I don't want to go to heaven." "Why?" meddai y llall. "Because grandpa will be there, saying, 'Get along, boys, get along, boys,'" oedd yr ateb Ac yn sicr, os na fydd ar blant eisiau myned i'r nefoedd, am fod hen ddynion sarug yno, gallwn benderfynu na bydd arnynt eisiau myned i'r Ysgol Sabbothol at athraw o'r fath. Cymwysder arall oedd ynddo i fod yn athraw a llywydd da ar yr ysgol, oedd, ei fedrusrwydd gyda y canu, yr hyn y mae plant mor hoffus o hono.

Yn mhen amser tyfodd y bachgen yn ddyn, ac yn y fl. 1829 priodwyd ef gyda Mary Anne Jones, merch i John ac Anne Jones, Treffynon. Bu yn ddedwydd drwy yr undeb hwn, gan iddo gael un o'r menywod siriolaf, fel ef ei hun, tawel, pwyllog, a boddlongar; ac uwchlaw yr holl rinweddau a nodwyd, cafodd wraig dduwiol. Yn fuan ar ol priodi symudodd o Dreffynon i Landudno gyda'i wraig ac un plentyn. Tra yn Llandudno dygwyd ef i ystyried ei gyflwr fel pechadur, a'i angen am Waredwr. Yn yr adeg hon dygwyddodd iddo fyned i edrych a gwrando ar y Parch. J. Griffiths, gweinidog y Bedyddwyr yn y lle y pryd hwnw, yn bedyddio yn y môr. Wrth sylwi ar y pregethwr yn dwyn ei seiliau dros gyd gladdu trwy fedydd ddynion yn proffesu ffydd yn Mab Duw, argyhoeddwyd ef yn y fan mai trochi oedd unig ddull gweinyddiad yr ordinhad, ac mai credinwyr oedd yr iawn ddeiliaid. O hyny allan nid oedd dim a fynai â'r egwyddorion a ddysgwyd iddo gan ei rieni. Yn fuan ar ol hyn ymunodd ag eglwys y Bedyddwyr, yr hon ar ol cael ei broffes o'i ffydd yn Nghrist ac edifeirwch am ei bechodau, a benderfynodd ei dderbyn yn gyflawn aelod drwy fedydd. Erbyn hyn yr oedd ystormydd teuluaidd yn dechreu codi yn ei erbyn, oblegid yr oedd ei wraig yn enbyd yn erbyn iddo fyned at y sect hono "yr oedd yn mhob man ddyweyd yn ei herbyn." A rhyngddi hi a'i dad yr ydoedd wedi myned yn dywydd mawr iawn ar Trebor, druan. Bu yr haul heb godi arno am fwy na phedwar diwrnod ar ddeg. Ond nid oedd dim i'w wneyd; yr oedd mor benderfynol a'i wrthwynebwyr, mai rhaid oedd ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion Bedyddiwyd ef er pob rhwystrau. Ni pharhaodd y storm hon yn hir, oblegid aeth y wraig i chwilio sylfeini y gwr, a buan y gwelodd wrth chwilio, ei fod ef yn ei le, a hithau allan o'i lle. Yn mhen ychydig bedyddiwyd a derbyniwyd hithau yn aelod o'r un eglwys; ac mae yn debyg mai dyma un o'r adegau mwyaf dedwydd a welodd yr hen frawd hoff yn ei fywyd erioed.

Treuliodd ddeunaw mlynedd o ymdrech a gweithgarwch neillduol yn Llandudno, gyda phob rhan o waith Duw, yn enwedig yr Ysgol Sabbothol. Byddai yn myned i gynal cyfarfodydd i holi pynciau Ysgrythyrol, adrodd penodau, a chynal cyngherddau, i wahanol fanau, megys Conwy, Llaneilian, Llansantffraid a Llanwydden, &c., a gwnaeth lawer o les yn y cylchau hyny. Cafodd lawer o fwyniant a budd yn nghwmni y dyn mawr, dysgedig, a galluog, y Parch J. Williams, Llanwydden (y pryd hwnw), awdwr y cyfieithiad gwerthfawr o'r Testament Newydd i'r iaith Gymraeg, sef yr Oraclau Bywiol, â'r hwn, y'nghyd a'i awdwr, yr oed Trebor yn dra hoff. Darllenodd a myfyriodd ef yn fanwl, ac yr oedd yn deall y "*Statutes Cristionogol*," fel eu galwai, yn hynod dda Yr oedd yn dra hoff o bregethwyr a phregethau da, a rhoddai ar ddeall yn fuan i'r pregethwyr a phawb eraill, pa un a fyddai yr athrawiaeth wrth ei fodd ai nad oedd.

Ond daeth yr amser iddo ymadael o Landudno. Yn y fl. 1849 ymfudodd gyda'i deulu i America, a sefydlodd yn Dodgeville, Wis., am fod yno fwn plwm, gwaith yr oedd wedi ymarfer ag ef ar hyd ei oes. Yma eto y bu, fel arfer, mewn llawn ymdrech i gadw yr achos da i fyny—ymdrechodd drwy lawer o anhawsderau ac anfanteision. Mae yn debyg mai yma y dechreuodd bregethu, er ei fod, mewn rhan, yn ddyn cyhoeddus ar hyd ei oes. Gan fod ei bregethau yn cael derbyniad cyffredinol, ordeiniwyd ef yn weinidog gan y Parch. E. Thomas, yr hwn ar y pryd oedd yn genadwr dros y Bedyddwyr yn y Dalaeth.

Bu yn offeryn i godi achos llewyrchus a llwyddianus yn Dodgeville y pryd hwnw. Ni chafodd ond ychydig fanteision addysg, eto yr oedd yn enwog fel bardd, llenor, a phregethwr. Rhaid fod ei gynydd yn y gwahanol gylchoedd hyn yn ddyledus i lafur a diwyd-

rwydd mawr, yn gystal a gradd helaeth o gymwysderau naturiol. Yr oedd yn ymgyrhaedd at wreiddioldeb (*originality*), i eithafion, braidd. Yr oedd yn ymwrthod â'r hen *orthodoxy*, fel ei galwai, agos fel cyfangorph, ac nid â rhai pethau, a gredid gan yr hen bobl, nad yw'r gwirionedd yn ymddangos yn eu dysgu. Yr oedd ganddo rai golygiadau yn nghylch y rhai yr oedd ef a'r ysgrifenydd yn cael gwrthdarawiad weithiau, nes achosi cryn ymryson; ond ni byddem byth yn llai o gyfeillion yn y diwedd nag yn y dechreu, ond yn hytrach yn fwy.

O ran ei amgylchiadau bydol, ni bu erioed yn uchel, er ei fod yn weithiwr caled, ac ar rai amserau yn enill arian mawr. Yr oedd gormod o garedigrwydd a haelfrydedd yn perthyn iddo i fod yn gyfoethog. Nis gallasai edrych ar neb mewn angen, os byddai ganddo fodd i'w gynorthwyo. Nid caredigrwydd ato fyddai dweyd am dano, fel y clywais i un yn dyweyd am berthynas agos iddo, "Nad oedd dim diolch iddo am fod yn garedig, oblegid nas gallai beidio a bod felly." Fel dyn yr oedd yn naturiol garedig, teimladwy, cyfeillgar, a gonest; nid wyf yn credu y buasai yn bosibl ei demtio i ddwyn pum' cent, os na fuasai yn gwneyd er mwyn eu rhoi i ryw un arall fuasai mewn angen.

Ganwyd iddo naw o blant, a chododd wyth o honynt i gyflawn faint. Ymdrechodd drostynt, fel na fu arnynt eisiau nac ymborth na gwisgoedd erioed tra bu byw; a gobeithiwyf na bydd arnynt ar ol iddo farw. Cafodd yr hyfrydwch o weled braidd yr oll o'i blant yn proffesu Crist, ac mae y rhan fwyaf o honynt yn aelodau ffyddlawn mewn gwahanol fanau hyd heddyw.

Bu yn California am ryw gwpl o flynyddoedd, ond nid wyf yn deall iddo fod mor ffortunus a rhai, i gael rhyw lawer o'r llwch aur. Pan ar ei daith yno, y bu yn Salt Lake City yn areithio yn erbyn Mormoniaeth. Pwy ond efe fuasai yn meddu digon o wroldeb i wneyd hyny yn nghanol eu dinas, ac ni chafodd yntau ond *narrow escape* i ddianc cyn cau y pyrth.

Yr oedd ei iechyd yn gwaethygu er's rhai blynyddoedd, fel yr oedd yn analluog i bregethu na chanu ond ychydig. Dewiswyd ef dair gwaith yn olynol yn *Town Treasurer*, ac mae yn debyg y buasai yn cael ei gadw yn y swydd tra y buasai yn alluog i'w llanw, yr hyn sydd yn dangos yr hyder oedd gan y trigolion yn ei allu a'i onestrwydd i lanw y swydd.

Ni bu yn gyfyngedig i'w dy ond am ychydig amser, ac ni chafodd gystuddd mor galed a rhai a welsom wrth adael ein byd. Darfodedigaeth oedd ei afiechyd, mae yn ymddangos. Yr oedd ei hyder yn barhaus yn y Gwaredwr, wrth fyw ac wrth farw. Pur ddisymwth y darfu iddo ein gadael. Gofynodd i un o'r brodyr ei symud o'r gadair i orwedd, a thra yn gwneyd hyn bu farw yn ei freichiau, Rhag. 9, 1879.

Dydd ei angladd ymgasglodd lluaws o'i gyfeillion a'i berthynasau; cariwyd ei gorph i addoldy y Bedyddwyr, yr hwn a adeiladwyd yn benaf drwy ei ymdrech ef; lle hefyd y pregethodd lawer am dros ugain mlynedd o amser. Cymerwyd rhan yn ngwaith y cyfarfod gan y brodyr Holland, Powell, Phillips, Owens, a'r ysgrifenydd. Wedi hyny aed ag ef i gladdfa ger Dodgeville. Anerchwyd y gynulleidfa gan Mr. W. Charles. Sabboth, Rhag. 21, traddodwyd ei bregethau angladdol gan y brawd T. Holland a'r ysgrifenydd. Yn debyg fel yna y bu fyw, bu farw, ac y claddwyd yr hen frawd anwyl a chyfeillgar, Trebor.

Nid oedd heb ei wendidau a'i lithriadau, fel eraill, ac nid oedd ychwaith heb ei rinweddau lluosog a rhagorol. Nid oedd dichell yn ei ysbryd; yr oedd yn hynod barod i faddeu, yn llawn haelfrydedd, a sel dros y gwirionedd, ac yn nodedig mewn cyfeillgarwch, a thrymaidd genym fyned i Dodgeville heb obaith o weled Trebor yno byth mwy.

Duw a ofalo am ei weddw oedranus a gwanaidd, ac a fendithio ei blant oll, gan eu parotoi erbyn awr eu hymddatodiad. Boed heddwch i'w lwch, i orphwys hyd y dydd y cyfyd y marwol hwn i wisgo anfarwoldeb, a'r llygradwy hwn i wisgo anllygredigaeth, pryd y llyncir angau mewn buddugoliaeth. Ei frawd galarus,

W. JONES.

MRS. MARY WILLIAMS, HYDE PARK, PA.

Ganwyd gwrthddrych ein coffa yn Nghaerlleon-ar-Wysg, Sir Fynwy, yn y fl. 1804. Symudodd ei rhieni oddiyno i gymydogaeth Risca yn nyddiau ei mabandod. Yn Nghefnllogell a Chaerdydd y treuliodd dymor ei hieuenctyd; ac yn Beulah, Mynyddislwyn, yr unwyd hi mewn priodas â Wm. C. Williams, y diweddar Barch John Jenkins, D. D., Hengoed, yn gweinyddu. Yn 1851 daethant trosodd i'r wlad hon, gan ymsefydlu yn Danville, Pa. Yr oedd y gweithfeydd yno ar y pryd yn hynod o fywiog, a'r achos crefyddol yn llewyrchus. Er fod Mrs. W. wedi bod ar hyd ei hoes yn gwrando y gair, a pharch yn ei chalon i grefydd a chrefyddwyr, eto ni chafodd yr anrhydedd o ymrestru yn myddin yr Oen nes dyfod i lan y Susquehana. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. D. Evans, ac ymunodd â'r eglwys yn Danville —a gellir dweyd am dani, iddi fod yn ffyddlon hyd angau. Ffyddlondeb oedd un o nodweddion ei chymeriad crefyddol; byddai bob amser yn y moddion, ac yn ymhyfrydu yn nhy yr Arglwydd, yn gwledda gyda'r saint ar ddanteithion yr iachawdwriaeth. Yr oedd ei chalon yn llawn caredigrwydd tuag at weision yr Arglwydd Iesu; parchai hwy er mwyn ei gwaith. Gwelodd dywydd garw a nosweithiau tywyllion pan gollodd ei hanwyl briod ei aelod. Mae y brawd wedi colli un a fu yn ymgeledd gymwys iddo; hithau a aeth i dangnefedd. Yn Hyde Park y treuliodd weddill ei hoes—yno y bu farw yn sydyn mewn *apoplectic fit*, er yn dihoeni er's bynyddau gan glefyd y galon. Bu farw yn 75 ml. a 6 mis oed. Yno y claddwyd

hi, yn mynwent y Cymry, ar Washburne St. Darllenwyd a gweddiwyd yn y ty gan y brawd J. P. Harris. Aed a'r corph i'r addoldy, a dygwyd y gwasanaeth crefyddol yn mlaen drwy ddarllen a gweddio gan y brawd E. Lloyd, a'r bregeth angladdol gan y brawd Harris.

Bu iddi ddau o blant, mab a merch, y rhai sy'n fyw i gyd-hiraethu â'u tad, ac yn cyd-alaru ar ol mam, a phriod hoff a thyner. Bydded yr Arglwydd yn dirion wrthynt yn eu hamddifadrwydd, ac yn nawdd i'n hanwyl frawd hyd y bedd. UN YN CYDYMDEIMLO.

WILLIAM ROWLANDS.

Chwefror 6, 1880, William, unig fab i Mr. Henry a Betsey C. Rowlands, yn 8 mlwydd ac 20 diwrnod oed. Y Sabboth canlynol, yr 8fed, ymgasglodd tyrfa luosog yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w weddillion marwol, pryd y gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol yn hynod deimladwy ac effeithiol, gan y Parch. Mr. Simson, gweinidog y Bedyddwyr Seisonig, y bregeth yn sylfaenedig ar Job v. 7. Caffed y rhieni galarus hyn ras i ymdawelu dan yr amgylchiad chwerw hwn; a chaffont nerth, er mor groes i gig a gwaed, i ddywedyd "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymerodd ymaith, bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Bydded iddynt gael y fraint o ymnerthu yn y gras sydd yn Nghrist Iesu, ac yn nghadernid ei allu ef; a bydded iddynt weddio llawer am gael eu cymwyso a'u haddasu i gael cyfarfod a'u hanwyl Willie yn y Wynfa dawel lle na bydd raid ymadael mwy. Yr oedd yr ymadawedig ieuanc hwn yn ŵyr i'r diweddar Mr. William a Mrs. Catherine Rowlands, o Paris, O.; ac y mae yno amryw o'u plant eto yn aros, ac yn drwm eu calon ar ol eu Willie bach. Yr oedd hefyd yn ŵyr i'r cyfeillion parchus Evan Jones a'i briod, neu fel yr adnabyddir Mr. J. yn fwyaf cyffredin, Evan Jones, *painter*, yr hwn sydd yn byw yn Palmyra, O. Caffed y perthynasau oll y fraint o ymfoddloni i ewyllys yr Arglwydd, a gweddio llawer am fod yn barod i wynebu angau. ALPHA.

MRS. MARGARET REESE.

Awst 24, 1879, yn Palmyra, Portage Co., O., Mrs. Margaret Reese, priod Mr. D. E. Reese, yn 40 ml. oed. Dyoddefodd gystudd trwm am amryw flynyddoedd yn dawel, ac ymfoddlonodd i'w Thad nefol a'i ragluniaeth ddwyfol.

Merch oedd i John a Margaret Jones, Ty'r Berth, Gelligaer. Ymunodd â chrefydd pan yn ieuanc. Cafodd ei bedyddio gan y Parch. Wm. Jones, yn Pontaberbargod, a bu yn aelod ffyddlon hyd ei bedd. Ymfudasant i'r wlad hon o Treorci, Cwm Rhondda, yn 1870. Buont yn byw yn Brookfield, O., am ychydig, ac aethant oddiyno i Irondale, ac oddiyno i gymydogaeth Church Hill, ac oddiyno yma tua blwyddyn yn ol, gan feddwl cael gwell iechyd, ond y cwbl yn ofer. Cafodd ei chymeryd at ei gwobr, gan adael priod tyner a dau o blant i alaru ar ei hol, ond nid fel rhai heb obaith. Ar ei dymuniad claddwyd ei gweddillion yn mynwent y Capel Ceryg, rhwng Paris a Palmyra, yn ymyl ei pherthynasau, sef Mr. Henry a Betsey C. Rowlands. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. E. Mordaal Evans, W. L. Evans, a H. Tuttle. Cafodd yr ymadawedig ofal tyneraf priod gofalus, a pherthynasau a chymydogion caredig trwy ei holl gystudd. Heddwch i'w llwch. IAGO.

MRS. ELINOR THOMAS.

Ionawr 20, 1880, yn 61 mlwydd, a dwy wythnos oed, Mrs. Elinor Thomas, gwraig y Parch. John P. Thomas, Martin's Ferry, Belmont Co., O. Ganwyd Mrs. Thomas yn ardal Abertawe, D. C. Daethant i'r wlad hon tua'r fl. 1850, gan ymsefydlu am dymor yn Pittsburgh, Pa. Oddiyno symudasant i Carmel, Jackson Co., O. Wedi hyny arweiniwyd Mr. Thomas i gymeryd gofal eglwys A. yn Mineral Ridge, yn yr hwn le y buont am flynyddoedd. Maent wedi bod yn y lle hwn am ystod tair blynedd. Ei dolur ar y cyntaf oedd ergyd o'r parlys, ac wedi hyny cafodd enyniad yr ysgyfaint. Ar yr 21ain daeth tyrfa luosog yn nghyd i dalu y gymwynas olaf iddi, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. Mr. Chalfont, (P.) Cafodd gladdedigaeth barchus yn Greenwood Cemetery, Wheeling, W. Va. Gadawodd briod parchus a thair merch i alaru ar ei hol, un o ba rai sydd yn briod â Mr. David Thomas, yn Irondale, O., a dwy eraill yn weddw gartref, gyda eu tad. Mae iddi ddau o frodyr yn y wlad hon, un o'r rhai yw y Parch. R. Richards, Ty'nrhos, Gallia Co., O., a Mr. William Richards, Soho, *Copper Works*, Pittsburgh, Pa. Nerth a gaffo y teulu a'r perthynasau i oddef profedigaeth, ac i roddi eu pwys ar yr Arglwydd. Heddwch i'w llwch hyd nes bydd

"Dorau beddau y byd,
Ar un gair yn agoryd."

CYFAILL.

MR. JOHN E. JONES.

Chwef. 28, 1880, yn Picatonica, Wis., yr hen frawd duwiol ac anwyl, John E. Jones, diacon yr eglwys Fedyddiedig yn y lle. Yr ydoedd wedi bod yn wael er's llawer dydd, ond ni chaethiwyd ef i'w wely ond am tua dwy wythnos. Claddwyd ef Mawrth 1, yn mynwent y capel lle y perthynai. Gweinyddwyd gan y Parchn. H. Hughes, T. Holland, a J. T. Morris, (T. C.) Bwriedir ysgrifenu cofiant dipyn yn helaethach o hono eto. Yr eiddoch mewn galar. THEOPHILUS.

---

— Mae cryn fywiogrwydd yn mhlith adeiladwyr llongau ac agerbeirianau yn New York, yn rhagbarotoawl i agoriad tymor yr haf.

— Mae Deddfwrfa Mississippi wedi pasio deddf yn gosod treth o dair dolar ar lanciau dibriod dros 25 oed.

**Extra Leaf.**

# THE DAWN,

(*Y WAWR,*)

## The Welsh Baptists' Monthly Magazine.

---

As a medium of communication with the large body of Welsh Baptists in this country, the DAWN pre-eminently stands first. With Roger Williams, a Welshman, a Baptist, and the great hero of Liberty, adorning the front, it visits monthly its numerous friends with words of wisdom and comfort, in the great Northern and Western States, namely, New York, Pennsylvania, Ohio, Illinois, Wisconsin, Iowa, Missouri, Kansas, Nebraska, Colorado, California; and also British Columbia, &c., &c.

The DAWN, as the only organ of the Welsh Baptists in America, is specially devoted to advocate their principles and practices, and to record their doings and progress at home and abroad; it inculcates morality, and every thing that may adorn character; while its pages will contain matter of useful information in general, it aims at being always a *religious* paper, and strictly *Scriptural.*

In addition to original matter, by regular contributors, each number shall contain a sermon by the Rev. C. H. Spurgeon, and also when occasion occurs, shall give account of his college work, and the humane institutions under his care.

The editor takes pride in stating, that the Denomination, as a whole, represented in the Associations, and severally in the ministers throughout the country, without exception, assist in the publication of this Magazine.

---

### RHESTR O YSGRIFENWYR I'R WAWR AM Y FL. 1880.

Parch. J. P. Harris (Ieuan Ddu) ........................ Providence, Pa.
Parch. Ebenezer Edwards ........................ Wilkesbarre, Pa.
Parch. Allen J. Morton (Alwyn Trefor) ........................ Pittsburgh, Pa.
Parch. D. Rhoslyn Davies ........................ Drifton, Pa.
Parch William M Evans ........................ Cattaraugus, N Y.
Parch. H. Cefni Parry, D. D. ........................ Ring, Wis.
Parch. Charles Jones, M. A. ........................ Coalburgh, Ohio.
Parch. Llewelyn Rees ........................ Johnstown, Pa.
Parch. W. F. Davies ........................ Nanticoke, Pa.
Parch. William Jones ........................ Jennieton, Wis.
Mr. John Evans (Mathrafal) ........................ Youngstown, O.
Ap P. A. Mon, Ysw ........................ Brooklyn, N. Y.
Cadwgan Fardd ........................ Johnstown, Pa.

*Eto, Brodyr ydynt yn gwasanaethu gyda y Bedyddwyr Seisonig:*

Parch. H. O. Rowlands, M. A. ........................ Oshkosh, Wis.
Parch. Fred. Evans, D. D. (Ednyfed) ........................ Franklin, Pa.
Parch. B. W. Thomas ........................ Hyde Park, Pa.
Parch. Alfred Harris ........................ West Chester, Pa.
Parch. J. T. Griffiths ........................ Shelbyville, Pa.
Parch. D. T. Davies ........................ Girardsville, Pa.
Parch. Jonathan Nicholas, M. A. ........................ Spencer, N. Y.
Parch. B. D. Thomas ........................ Philadelphia, Pa.

# PENDERFYNIADAU CYMANFAOEDD 1879.

---

## CYMANFA EFROG NEWYDD.

"Penderfynwyd, Fod y Gymanfa hon yn teimlo y pwys a'r gwerth o fod yr enwad Bedyddiedig yn cael gwasanaeth parhaol y WAWR o fis i fis drwy y blynyddau diweddaf, fel yr unig gyfrwng Cymreig i wneyd yn hysbys symudiadau yr enwad yn America, ei gynydd a'i ddylanwad, yn nghyd a'i effeithiolrwydd fel cyfrwng dadblygiad, lledaeniad ac amddiffyniad ein hegwyddorion neillduol fel enwad Cristionogol yn y tir; a'n bod yn cydnabod y Parch. O. Griffith (Giraldus) yn nygiad allan y WAWR, yn ngwyneb anfanteision pwysig iawn, gyda diolchgarwch mawr, gan anog yr holl eglwysi i wneyd eu goreu dros lwyddiant y Cyhoeddiad, drwy ei dderbyn yn rheolaidd, a thalu am dano yn brydlawn."

## PENDERFYNIAD CYMANFA DWYREINBARTH PENNSYLVANIA.

"Gan fod masnach yn adfywio yn gyffredinol, ac arwyddion amseroedd da yn ein cylchynu, Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi i fwy o gydymdrech yn mhlaid ein Cyhoeddiad misol, er eangu ei gylchrediad, a thalu am dano yn brydlawn, fel y byddo y golygydd yn cael ei galonogi, a'i lafur yn cael ei werthfawrogi."

## PENDERFYNIAD CYMANFA OHIO A GORLLEWINBARTH PENNSYLVANIA.

"Wedi i'r brodyr D. Evans, Ebensburgh, Allen J. Morton, ac amryw o frodyr da eraill, siarad yn wresog dros y WAWR, fel cyfrwng priodol i ni ddatgan ein barn, i ddadblygu ac amddiffyn ein hegwyddorion, Penderfynwyd, Fod y Llywydd a'r Ysgrifenydd i dynu allan anerchiad penodol at yr eglwysi, a'u cymell i gefnogi y WAWR yn mhob ystyr. Wele rai dyfyniadau o'r anerchiad: 'Bu y Bedyddwyr Cymreig yn America am gryn amser heb offeryn amddiffynol, na lle i egluro eu hegwyddorion. Y pryd hwnw rhaid oedd ymdawelu yn ngwyneb ymosodiadau, ac ymddibynu ar yr areithfa am ledaeniad yr egwyddorion. Yn bresenol mae y WAWR genym i gyfarfod â'r gelyn, dal i fyny wirioneddau y Testament Newydd, a chael helynt yr eglwysi yn y wlad. Ymysgydwn, ynte, o'n gwisg o ddifaterwch, ac ymaflwn yn ein dyledswyddau tuag at ein hunig gyhoeddiad yn y wlad. A gaiff hwn farw o newyn yn ymyl y miloedd a ddylai estyn tamaid iddo? A ydym yn euog o'i brathu â dagr difaterwch?' Nis gallwn derfynu heb ddweyd gair am y Parch. O. Griffith. Mae anturiaeth ddirfawr, yn i parhaol, a llafur diflino y brawd anwyl hwn yn ei ymdrech i'n gwasanaethu, yn dra chanmoladwy. Llwydded Duw ei lafur, a gwneled yr enwad a allo o'i blaid.

Yr eiddoch dros y Gymanfa,
CHARLES JONES, Llywydd.
THOMAS THOMAS, Ysgrifenydd."

## PENDERFYNIAD CYMANFA WISCONSIN.

"Ein bod yn gwerthfawrogi y WAWR, ac yn cyflwyno ein diolchgarwch i'r golygydd parchus am ei ymdrech diflino yn ei dwyn allan, ac yn erfyn ar bob derbyniwr dalu am dani yn brydlawn, yn gystal a chymell eraill i'w derbyn, er lledaeniad yr egwyddorion dihafal a ddysgir ynddi."

## PENDERFYNIAD CYMANFA ORLLEWINOL I'R MISSISSIPPI.

"Ein bod yn diolch i Cefni am yr 'Amddiffyniad' yn y WAWR, ac i Giraldus am ei ffyddlondeb yn dwyn y Cyhoeddiad allan."

# Y WAWR.

CYF. V.] MAI, 1880. [RHIF. 2.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## EFFEITHIAU TEMTASIWN EIN HARGLWYDD.

Wedi cymeryd golwg mewn ysgrifau blaenorol ar nodweddau y temtiad, ei ddadblygiad triphlyg, ei angerddoldeb, a'i lymder, hyd nes y terfynodd yn y modd mwyaf gogoneddus yn ffafr y temtiedig — yn yr ysgrif ddiweddaf hon cyfeiriwn sylw y darllenydd yn fyr at yr effeithiau canlynol i'r temtio rhyfedd a phwysig hwn.

Awgrymwyd yn barod beth allasai fod yr effaith ar Satan ei hunan, pan y dywedwyd wrtho, "Dos yn fy ol i, Satan," a phan y cyfarfyddai drachefn â'r Gwaredwr. Cawsai y gelyn fuddugoliaeth ar yr Adda cyntaf, yn mharadwys wen—cwympwyd ef; ïe, cwympwyd ef o rinwedd i bechod, o ddedwyddwch i drueni!—ond yn yr anialwch cafodd yr Ail Adda fuddugoliaeth arno yntau —buddugoliaeth ag y mae effeithiau cyferbyniol yn canlyn. Ar ol y gorchfygiad hwn ceir yr effeithiau yn fwy gogoneddus nag oedd effeithiau y methiant o waradwyddus. Oedd yn angenrheidiol bod y drwg yn cael ei wella o'i wraidd. Mewn ufudd-dod y methasom gyntaf, ac ufudd-dod oedd deddf Duw yn ei ofyn gyntaf oddiwrthym. Nid cosbi ydyw amcan cyntaf deddf, ond gwobrwyo ufudd-dod. Gorfodaeth arni ydyw cosbi. Bu drwy yr oesau yn galw am ufudd-dod perffaith i'w gorchymynion sanctaidd a da, ond yn ofer; nid oedd y goreu o feibion dynion yn berffaith, hyd yn nod mewn un rhinwedd; ac am hyny yr oedd yn rhaid iddi ddefnyddio ei gwialen yn barhaus, a fflachio yn fygythiol mewn barnau brawychus. Amlwg yr arddangosai ei bod wedi ei chythruddo, a bod ei hawliau yn cael anmharch. Ond o'r diwedd, yn niwedd y byd, dyma un yn dweyd, "Wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." Brysiodd, ac nid oedodd i gadw ei orchymynion. Ac mewn modd arbenig profwyd trylwyrder ei ufudd-dod o dan yr amgylchiadau mwyaf anffafriol. Sathrodd y gwinwryf ei hunan, ac o'r bobl nid oedd neb gydag ef. Boddlonwyd y ddeddf doredig â pherffaith ufudd-dod i'w gofynion; ac yn lle melldithion ceir ganddi fendithion rif y gwlith. Edrychwn i fryniau a mynyddoedd yr anialwch a Phalestina, o'r lle daw ein cymorth.

> "Daeth i ni iachawdwriaeth
> Trwy eithaf chwys a gwaed."

Ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai "oll a ufuddhant iddo."

Heblaw bod buddugoliaeth y temt-

iad yn gyfryw ag oedd yn meddu dylanwad cyffredinol yn iachawdwriaeth y byd, yr oedd hefyd yn fath fuddugoliaeth ag y mae ei heffeithiau i'w darganfod yn rhedeg yn gryf trwy wahanol ranau bywyd cyhoeddus ein Hiachawdwr, yn gystal ag yn ei fywyd archoffeiriadol yn awr ger bron y Tad.

Fel engraifft, cymerer ei fywyd cyhoeddus. Yr oedd y priodoldeb mwyaf yn ngwaith Crist yn cael ei brofi ar ddechreu ei weinidogaeth gyhoeddus—yr oedd trwy y prawf llymdost hwn yn cael ei gymhwyso i gydymdeimlo ac i gyd-ddwyn â phechaduriaid temtiedig ag yr oedd efe i'w hymgeleddu, a bod yn Achubwr iddynt. Heb gael ei demtio fel hwythau, a gwybod yn brofiadol am y rhwystrau oeddynt ar bob llaw, ar y ffordd i arwain bywyd sanctaidd a duwiol, ni fuasai yn gymwys i fyned i fysg dynolryw syrthiedig fel eu Gwaredwr. Ond gan iddo gael ei demtio yn mhob peth yr un ffunud a ninau, medrai gydymdeimlo a thosturio wrth y truan a'r llesg, lle bynag y cyfarfyddai â hwynt. Ac oni welwn effeithiau bendigaid ei demtiad, yn ei faddeugarwch, ei ddagrau, a'i garedigrwydd yn barhaus?

Yn ychwanegol at hyn eto—yn ei demtiad rhoddodd Iesu Grist esiampl i ni fel y dilynem ei ol; rhoddodd esiampl trwy ei holl fywyd, ond yn neillduol yn yr arbrawf tra nodedig hwn. Gorchfygodd dri math o demtasiynau; ac y mae yn esiampl i ni mewn tri math o demtasiynau o'r un natur a'n hamgylchynant ni yn ngwlad y cystudd mawr.

Yr ydym ni yn dal tair perthynas â'r allanol; sef â'r materol, â'r dynol, ac â'r dwyfol. Yn perthyn i'r perthynasau yna y mae tri math o ddyledswyddau. Mae dyledswyddau yn perthyn i ni yn ein cysylltiad â'r ddaearen o'r hon y daw bara—dyledswyddau yn cyfodi oddiwrth ein perthynas â'n cyd-ddynion, y rhai ydynt yn bwysig—a dyledswyddau, y rhai penaf, ydynt yn cyfodi oddiwrth ein perthynas â Duw. Yn awr y mae i'r tri dosbarth yna o ddyledswyddau eu temtasiynau, a'u rhwystrau; a'n *gwaith mawr* ni yn y fuchedd hon ydyw gorchfygu y temtasiynau hyn. Wel, pa fodd yr ydym i wneyd hyny? Dyma'r ffordd: Edrych ar Iesu yn yr anialwch, yn gorchfygu yn ddilynol y temtasiynau triphlyg. Dilynwn ef—gwrandawn ar ei eiriau ef—sylwer âr ei symudiadau ef, nes cael o honom lawn fuddugoliaeth.

---

# ENWOGION ANGHOFIEDIG Y BEDYDDWYR.

## RICHARD MICHAEL,

### Y PREGETHWR CYNTAF A GODODD Y BEDYDDWYR YN MON.

[O Seren Gomer.]

Pan ystyrir mor hunanol yw'r byd, ac mor fer yw ein hoes, a chan lleied sydd yn gofalu am adael ffeithiau mewn ysgrifen er cof a chadw ar eu hol, nid rhyfedd bod enwogion yn myned yn ddigyfrif, a'u coffadwriaeth yn suddo i dir anghof. Dichon mai ychydig sydd yn awr yn fyw a glywsant erioed am enw Richard Michael, er bod ei enw unwaith yn adnabyddus trwy holl Gymru, ac yn air teuluaidd ar ugeiniau o aelwydydd. Y tro cyntaf i mi gwrdd â'r enw oedd mewn hen ysgrif o eiddo Christmas Evans ar Fedyddwyr Mon, yn yr hon y dywed, "Aeth Richard Michael drosodd i'r America pan yr aeth Morgan Rees i osod Sefydliad Beulah i fyny yn Nhalaeth Pennsylvania." Dyma gydgyfarfyddiad rhyfedd—"Morgan Rees," "Richard Michael," a "Sefydliad Beulah!" Fe gofia y darllenydd mai y "Morgan Rees" uchod yw yr enwog Morgan John Rhys, neu fel y galwai ef ei hun, *Morgan ab Ioan Rhys*, gynt o Beny-garn—gwron rhyddid crefyddol yn ei oes—sefydlydd yr Ysgol Sabbothol tua Chefn Hengoed—cyhoeddydd y *Cylchgrawn*—sefydlydd Cymdeithas er lledaenu y Testament Newydd yn mhlith y Ffrancod, a'r hwn yn 1794 neu 1796 o dan drwynau ysbiwyr Pitt, y rhai a aroglent ei waed, a adawodd ei wlad, ac a ffodd i America am ryddid cref-

yddol. Dyna'r "Morgan Rees."—Hwyliodd Morgan John Rhys a'i gwmni o Aberdaugleddyf ar yr 8fed o fis Mawrth, 1796, medd Benedict, ond yn 1794, medd John Evans, a glaniasant yn New York yn y Mai dilynol. Derbyniwyd hwynt gan Dr. Rogers, Philadelphia, ac eraill, yn garedig. Wedi tario yno ychydig, cychwynasant i'r Gorllewin, a rhai Annibynwyr a Methodistiaid Calfinaidd gyda hwynt, ac ymsefydlasant tua 80 milldir i'r dwyrain o Redstone Creek, ychydig i'r gogledd i'r ffordd fawr sydd yn arwain o Philadelphia i Pittsburgh, ar gyffiniau Ohio; a galwasant y lle yn "Sefydliad Beulah." Yn 1797 corphorwyd yno Eglwys Fedyddiedig ar yr egwyddor gaeth-gymunol, a mabwysiadwyd yr erthyglau canlynol fel Cyfansoddiad Crefyddol y sefydliad newydd:

1. Gelwir y Cyfundeb, Yr Eglwys Gristionogol.

2. Ni elwir ef byth wrth un enw arall, ac ni wahaniaethir ef gan *ddaliadau neillduol* unrhyw ddyn na phlaid o ddynion.

3. Iesu Grist yw yr unig ben, credinwyr ynddo ef yw'r unig aelodau, a'r Testament Newydd yw unig reol y frawdoliaeth.

4. Mewn pethau *meddyliol,* caiff pob aelod fwynhau ei olygiadau ei hun, ac ymddyddan yn rhydd ar bob pwnc; ond mewn *dysgyblaeth,* gofynir cydymffurfiad manwl â gorchymynion Crist.

5. Bydd i bob *cymdeithas wahaniaethol* a berthyno i'r Gymanfa, gael yr un gallu i dderbyn ei haelodau, ethol ei swyddogion, ac mewn achos o wallymddygiad eu dysgyblu hwynt.

6. Bydd i gynrychiolwyr y gwahanol gynulleidfaoedd gyfarfod o bryd i bryd, mewn lle apwyntiedig, i ymgyngori yn nghylch ffyniant a llwyddiant yr holl achos.

7. Yn mhob cyfarfod er *addoliad crefyddol,* bydd i gasgliadau gael eu gwneyd at gynal y tlodion, ac er lledaenu yr efengyl yn mhlith y paganiaid.

Daeth Morgan John Rhys yn enwog yn y wlad; a dywed Christmas Evans iddo gael ei wneyd yn un o Farnwyr y Talaethau. Bu farw yn mhlith ei bobl yn Somerset, Pa., ar y 7fed o Ragfyr, 1804.

Beth all "Sefydliad Beulah" fod? Yr oedd yr ymadrodd yn swnio yn rhyfedd i mi ar y cyntaf; ond wedi peth ystyriaeth ac ymchwiliad, cefais allan mai dyna yr enw a rydd Bunyan yn Nhaith y Pererin, ac Esaiah (62: 4) o ran hyny o'i flaen ef, ar y wlad a saif rhwng "y tir a reibiwyd a'r Ddinas Nefol." Gwlad *rhyddid crefyddol* ydyw; "lle," medd Bunyan, "mae yr adar yn canu yn wastadol, y blodau yn barhaus ar y ddaear, a llais y durtur i'w glywed yn y tir; a'r rhai dysglaer yn arferol o rodio ynddi, am ei bod ar gyffiniau y nefoedd." Gwlad iachus a hyfryd yw hon; ac yr oedd yn ei henw ryw swyn angerddol i Morgan John Rhys, a Richard Michael, a miloedd o bererinion eraill, y rhai a adawsant bob peth, ac a anturiasant dros yr eigion er ei mwyn. Ond druan o Richard Michael, efe a fu farw yn mhen saith niwrnod wedi cyrhaedd tir America! Dyna "Sefydliad Beulah" yr hen frodyr.

Mae yn ffaith boenus, er, ar ryw ystyr, fe allai, yn beth a ellid ddysgwyl, bod coffadwriaeth y rhan fwyaf o'r gwyr enwog a adawsant Gymru ac a aethant i America yn nghyfyngder mawr diwedd y ganrif ddiweddaf, wedi gorwedd hyd yn hyn o dan leni tywyll o ragfarn. Cymerodd Christmas Evans a llawer eraill drafferth mawr i osod nod o anghymeradwyaeth ar eu hymddygiad yn gadael eu gwlad, a thlodi rhengau y Bedyddwyr; a phasid eu henwau yn fynych gyda chernod! Bu raid i goffadwriaeth Morgan John Rhys orwedd o dan lwch nes daeth gwr o enwad arall—Dr. Edwards o'r Bala—i'w ddadenhuddo yn y *Traethodydd!* Mae gan ffaith fel hon dafod. Pwy a ddeall ei lleferydd hi?

Nid wyf yn gwybod fod nemawr ddim yn argraffedig am Richard Michael, er mai efe oedd y pregethwr cyntaf a gododd y Bedyddwyr yn Mon, a'i fod ar y maes ddeng mlynedd cyn i Christmas Evans ddyfod i'r Ynys, ac wyth mlynedd cyn i John R. Jones gael ei fedyddio; ac er ei fod wedi teithio llawer,

dyoddef llawer, gweithio yn ddifefl, a dal ei dir trwy bob ystormydd, a gadael y wlad yn y diwedd a'i goron grefyddol ar ei ben—nid wyf yn gwybod, meddaf, bod un gair wedi ei argraffu am dano, oddigerth crybwyllion a gawn mewn Llythyron Cymanfa am dano yn dechreu yr oedfäon ddwy waith neu dair trwy weddi, megys yn Salem (Fforddlas), yn 1791, ac yn Nefin, yn 1792. Am hyny buasai yn dda genyf, trwy yr ysgrif hon, allu rhoddi i enw Richard Michael adgyfodiad gwell.

Mab ydoedd Richard Michael i un Michael o'r Faerdre, yn mhlwyf Llangefni, Mon. Yn 1744 y gwelodd efe gyntaf oleuni y dydd. Daeth yn bur fuan yn blentyn amddifad, canys syrthiodd ei dad ar ei bladur, yr hyn fu yn angau iddo. Dysgodd Richard grefft melinydd, gydag un Owain Williams, melinydd Bodronyn. Wedi iddo briodi aeth i fyw i Felyn Wynt Llanrhuddlad, yr hon a safai gerllaw y lle y saif Capel Rhydgwyn yn bresenol.

Dyma Richard Michael, gan hyny, wedi dyfod yn ben-teulu, ac yn cadw melin ei hun; ac ymddengys bod rhyw swm o bethau'r byd hwn wedi dyfod i'w ddwylaw, a'i fod erbyn hyn yn aelod gyda'r Methodistiaid, ac yn dechreu arfer ei ddawn i gyngori yn eu plith. Yr oedd cryn nifer o bobl dda, am hir amser cyn dyfodiad y Bedyddwyr i Fon, yn crefydda gyda'r Annibynwyr a'r Methodistiaid, er nad oeddynt yn cael eu boddloni yn eu cydwybodau bod ymarferiadau yr enwadau hyny yn Ysgrythyrol, yn enwedig gyda golwg ar fedydd a chyfansoddiad eglwys. Mae Dafydd Jones, o Wrexham, yn sicrhau, oddiar ei wybodaeth bersonol, bod amryw o Fedyddwyr o ran barn yn mhlith y ddau enwad uchod yn Mon yn 1755, ac y buasai yn hawdd y pryd hwnw casglu eglwys o honynt, pe buasai obaith iddynt gael gweinidog a modd i'w gynal. Gallwn nodi y personau canlynol fel rhai o'r cyfryw: Thomas Roberts, Tre Hwfa Fawr; yr hwn, yn 1768, a gafodd ei fedyddio yn Wrexham, am nad oedd Bedyddwyr yn Mon; Richard Davies; William Roberts, Tre'r Gof Isa'; a Richard Michael. Yr oedd Richard Michael yn ddarllenwr mawr ar ei Feibl, yr hwn, meddir, oedd ei unig lyfr; ac ymdrechai trwy lawer o fyfyrdod dwys a gweddi, ddeall meddwl Duw yn ei Air, yr hyn o'r diwedd a'i harweiniodd i fabwysiadu egwyddorion y Bedyddwyr, a chael ei fedyddio. Dyma hanes y bedydd, fel y dyfynwyd ef gan Ellis Evans, o ysgrif Benj. Jones:

"Awst 6, 1780, cawn fod Morgan Harris yn bedyddio dau yn y Rhydgoch, plwyf Llanfaethlu, a Timothy Thomas yn bedyddio dau." Timothy Thomas, yr ail, o'r Maes, oedd hwn, gweinidog Aberduar, a elwid weithiau, "Timothy Thomas, y *Llaw Fawr*," ar gyfrif maintioli cawraidd ei law. Yr oedd yn fab i Timothy Thomas, "Y Wisg Wen;" bu yn weinidog yn Aberduar a'i changenau am tua haner canrif; ac yr oedd yn un o brif ddynion ei oes yn mhob ystyr. Meddai ar gorph cawraidd a lluniaidd, ac ni wyddai beth oedd ofn dyn, fel y dengys yr hanesyn canlynol, yr hwn ar ol ysgrifenu yr uchod, a adroddwyd wrthyf gan y brawd Abel J. Parry, wedi iddo ei glywed gan Ellis Evans, yr hwn a'i cafodd gan Timothy Thomas ei hun:

Yr oedd Timothy Thomas yn pregethu ar yr ystryd yn Nghaergybi unwaith, a thorf fawr o bobl yn ei wrando. Ond Person y plwyf, er mwyn gwneyd sport i'r bobl, a anfonodd ei was fel ceisbwl i ddal y pregethwr, pan ar ganol ei bregeth, a'i ddwyn ger ei fron ef. Aeth y gwas yno; ond wrth weled golwg gawraidd a mawrfrydig y pregethwr—hyd ei fraich, a maint ei law, fe deimlodd ei ddewrder yn rhoi fford, ac aeth yn ol hebddo. "Paham na ddygaist ti ef?" ebai y Person. "Mae arna' i ei ofn e' yn wir, meistr," ebai y gwas, "mae e' yn ddyn mawr echrydus! Beth pe bae e' yn fy nharo i?" "O, th'rawa fe mo'not ti," ebai y Person, "'dyw y bobl yna byth yn taro neb; gelli fentro ato fe, wnaiff e' ddim byd i ti." Aeth y gwas yn ol, ac yn mlaen yr aeth drwy y dorf mewn awdurdod, gan ymaflyd yn ngholer *coat* y pregethwr, a dyweyd mewn awdurdod, "Rhaid i ch'i ddwad efo mi."

Cododd Timothy Thomas ei fraich fawr, a tharawodd ef nes oedd yn llyfu y ffordd ar ei hyd!

"Oeddech chwi ddim yn ofni profedigaeth, Mr. Thomas?" gofynai Ellis Evans—pan oedd yn adrodd hyn—"Profedigaeth!" ebai yntau, "yr oeddwn mewn profedigaeth na buaswn yn medru myned i lawr ar ei ol ef, a rhoi benthyg fy nhroed iddo drachefn." Fe gafodd Richard, gan hyny, eithaf bedyddiwr.

"Bedyddiwyd dau yn yr un man, sef Richard Michael, melinydd, a Martha Hughes, Llanfaethlu, Medi 17, 1780, a buwyd yn tori bara mewn ty anedd, wedi ei *recordio,* o'r enw Clwchwernoghir, yn mhlwyf Llanddeusant. Dyma yr ail dy anedd y bu y Bedyddwyr yn tori bara ynddo yn Ynys Mon. —*Ben. Jones, tu dal. 378.*"

Felly dyma Richard Michael, gan hyny, wedi dyfod yn Fedyddiwr, ac yn Fedyddiwr o'r iawn ryw; canys wedi iddo dderbyn egwyddorion y Bedyddwyr i'w galon, efe a'u derbyniodd hwynt i'w dy, ac i'w fuchedd a'i fywyd, gan gysegru ei dalentau, ei amser, a holl yni ei gorph a'i enaid i'w lledaenu. Dechreuodd bregethu yn fuan ar ol cael ei fedyddio, ac y mae hanes am dano ef a John Bulkely, ei was melin ar y pryd, yn teithio'r wlad trwy bob tywydd, gan gario eu tamaid sych yn eu llogellau, i gadw cyfarfodydd lle bynag y caent le.

Yn fuan ar ol dechreu pregethu, symudodd Richard Michael i Felin Dyryslwyn neu Droslwyn, ger Mynydd Paris; ond er bod cadw melin yn un o'r galwedigaethau mwyaf manteisiol at fagu moch a chynal teulu, a bod Melin Dyryslwyn yn arbenig felly, ar gyfrif ei hagosrwydd at filoedd trigolion Mynydd Paris, nid oedd dim llwyddiant i Richard Michael ynddi. Ar bregethu yr oedd ei holl fryd ef, gan ymddiried gofal y felin i'r wraig a'r plant; felly nid oedd yn y Dyryslwyn yn mwynhau bendith Ioan i'r anwyl Gaius—"yn llwyddo, ac yn iach, fel yr oedd ei enaid yn llwyddo."

Yn Hydref, 1783, yr ydym yn cael Richard Michael, y melinydd, yn ymddangos yn Llys yr Ynadon, yn Beaumaris, yn ceisio Trwydded Pregethwr. Lle gelynol iawn oedd Beaumaris y pryd hwnw i'r Bedyddwyr. Ar yr 22ain o Ragfyr, 1783, sef dau fis ar ol hyn, anmharchwyd Seth Morris yn fawr yn Beaumaris, wrth fedyddio John Lewis, Ann ei wraig, a Frances eu merch. Apeliodd yntau am amddiffyniad cyfraith y tir, trwy Gymdeithas Brotestanaidd Llundain, a dygwyd y troseddwr i ymostyngiad. Dyma y cofnodiad yn Mynegiad y Gymdeithas hono: "1783, *Ynys Mon.*—Gweinidog wedi cael ymosod arno a'i anmharchu pan yn gweinyddu yr ordinhad o fedydd; ond wedi i'r troseddwr gael ei fygwth â dilyniad cyfraith, efe a ymostyngodd i'r amodau a osodwyd arno." Ond er i erlidwyr Beaumaris weled fel hyn bod cyfraith Lloegr yn amddiffyn y Bedyddwyr yn ngweinyddiad yr ordinhadau, a gorfod ymostwng i erfyn eu maddeuant am eu hanmharchu, yr oedd ysbryd erledigaeth yn parhau yno yn ei nerth. Canys yn mhen dwy flynedd ar ol hyny, sef yn 1785, cawn Jenkin Davies, o'r Cefnbychan wedi hyny, ond yr hwn oedd ar y pryd yn weinidog yn Beaumaris, yn cael ei anmharchu yn gywilyddus yno wrth fedyddio yn y môr. Safai y pregethwr yn hyf ger bron y dorf, gan ddal y Beibl yn un llaw a'r Llyfr Gweddi Cyffredin yn y llaw arall, gan brofi o honynt Ysgrythyroldeb a henafiaeth y dull o fedyddio trwy drochiad. Ond tra yr oedd efe yn y dwfr, ac ar weinyddu yr ordinhad, dyna anfad-ddyn o'r enw Terrer—cefnder i Wm. Terrer, pregethwr gyda'r Bedyddwyr yn Amlwch wedi hyny—yn ymaflyd mewn ci, ac yn ei daflu gyda'r fath nerth a ffyrnigrwydd yn erbyn penau y bedyddiwr a'r hwn oedd yn cael ei fedyddio, nes y syrthiodd y ddau dan y dwfr. Parodd hyn orfoledd mawr i'r gelynion ar y pryd, a thristwch mawr i gyfeillion crefydd; ond newidiodd pethau eu hagwedd yn lled fuan, canys gosododd y gymdeithas dda a enwyd eisoes gyfraith y tir ar waith, ac yn nwylaw Mr. Pool, cyfreithiwr yn Beaumaris, daeth yr erlid-

iwr i'r llwch. Dyma'r cofnodiad:—"1785, *Beaumaris.*—Rhuthriad wedi cael ei wneyd ar y gweinidog. Ysgrifenwyd at y troseddwr, ar ran y cyfeisteddwyr, ac ymostyngodd yntau i'r telerau a roddwyd iddo."

Mewn canlyniad i'r oruchafiaeth hon a gafodd Jenkin Davies ar erlidwyr Beaumaris, dywedir i Dafydd Jones, Pontypool, ganu yr englyn canlynol:

"Trigolion cryfion (nid mewn crefydd)—mawr
Beaumaris, tre'r Sirydd,
Gwylltaf a phellaf o'r ffydd,
Ddofwyd drwy Siencyn Dafydd."

Yn ngwyneb y ffeithiau uchod am ansawdd y meddwl cyhoedd yn Beaumaris ar y pryd, gellir tybied nad oedd modd i Richard Michael, y melinydd, gael fawr derbyniad pan yn gofyn am drwydded pregethwr o flaen y fainc Ynadol. A dywedir bod Person y plwyf, yr hwn hefyd oedd Ynad Heddwch, yn ei wrthwynebu yn egniol i gael y Drwydded, "ar gyfrif na wyddai Richard Michael air o Saesneg, a'i fod felly yn analluog i ddeall ystyr y llwon gofynol." I hyn yr atebodd cyfreithiwr Richard Michael, sef y Mr. Pool, mae yn ddiau, y soniwyd am dano eisoes yn achos Jenkin Davies—"na chai hyny fod yn rhwystr, oblegid y cyfieithiai efe gymaint o'r gyfraith ag ydoedd yn ofynol i Richard Michael ddeall er mwyn cymeryd y llwon." Felly y lloriwyd yr offeiriad, ac y trwyddedwyd y pregethwr cyntaf erioed a godwyd gan y Bedyddwyr yn Mon; a thybia Joshua Thomas mai dyma y gweinidog Ymneillduol cyntaf a gofrestrwyd yn yr Ynys. Mae edrych ar ystranciau offeiriad Beaumaris yn yr amgylchiad hwn, a chofio hanes yr holl wehelyth, yn peri i ni roi adsain eto i ofyniad ymchwiliadol Robert Robinson: "A ddarfu i'r offeiriaid erioed, mewn unrhyw wlad, er pan mae'r byd yn bod, lafurio er gwneyd dynion yn rhinweddol neu yn rhydd?"

Pa fodd bynag am yr offeiriaid, dyma Richard Michael, y melinydd, wedi ei drwyddedu yn bregethwr gan gyfraith Lloegr, a chanddo hawl, weithian, can belled oedd ag a fynai y gyfraith hono â'r pwnc, i weinyddu yr ordinhadau. Ond yr oedd ganddo un porth cyfyng arall i fyned trwyddo eto; nid oedd wedi cael ei *ordeinio* yn *weinidog* yn ol arfer y Bedyddwyr ar ordeinio, ac felly nid oedd yn gymwys i weinyddu yr *ordinhadau.* Dyma gwlwm llinglwm rhyfedd, a sut y medrid ei ddatod? Yr oedd cyfraith Lloegr wedi cyhoeddi Richard Michael yn weinidog yr efengyl, ond yr oedd cyfraith y Bedyddwyr yn ei anymwybyddu fel y cyfryw, hyd oni chawsai ryw eglwys i roi galwad iddo i fod yn weinidog iddi hi. A pha eglwys a wnai hyny? Nid oedd dim ond un eglwys yn Mon—Ebenezer, ac yr oedd yn rhaid i hono gael ei gweinidogion o'r Deheudir i gyd. Nid oedd yn credu mewn magu gweinidogion, faint bynag o bethau eraill oedd hi yn fedru fagu. Ac yn wir, yr oedd *ordeinio* yn beth dyeithr iawn yn y Gogledd y pryd hwnw. Ni ordeiniodd y Methodistiaid neb trwy Gymru am lawer o flynyddoedd ar ol hyn; yr oedd yn rhaid iddynt hwy gael eu gweinidogion i gyd wedi eu hordeinio yn Eglwys Loegr; ac yr oedd rhyw ysbryd rhyfedd yn Medyddwyr y Gogledd, yn enwedig Bedyddwyr Mon, am gael eu gweinidogion o'r Deheudir; ac ni ystyrid neb yn gymwys i fedyddio a thori bara ond gweinidogion ordeiniedig. Ond yr ydym yn cael Richard Michael yn taro ei grimogau yn erbyn y gyfraith ymbenol hon; canys y mae ef yn ymgodi uwchlaw rhagfarn ei wlad a'i oes, ac yn bedyddio yn ddiesgeulus bob un a broffesai ffydd yn Nghrist; ac am y trosedd hwn—bedyddio, ac yntau heb gael ei ordeinio—ceryddwyd ef, medd Ellis Evans (ond nid yw Joshua Thomas, yn "Hanes y Cymanfaoedd," yn crybwyll am hyny), yn Nghymanfa y Graig, Castellnewydd-Emlyn, yn y fl. 1785. Gresyn bod hanes y ddysgyblaeth hon wedi myned ar goll. Buasai yn dda genym wybod ychydig o'i manylion, megys, Pwy ddygodd y cyhuddiad? Pwy oedd genau y gynadledd? Beth oedd atebion Richard Michael, &c.? Ond, pa fodd bynag, ni phallodd ac ni ddigalonodd efe ar gyfrif unrhyw rwystrau felly, ond aeth yn

mlaen fel yr haul, gan ychwanegu cryfder.

Gan nad oedd nemawr lwyddiant iddo, fel y crybwyllwyd eisoes, yn Melin Dyryslwyn, efe a symudodd i Felin Llanddona, ger Beaumaris; ac y mae hanes am dano yn pregethu yn nghorn y felin, ac yn troi y cafn blawd yn fwrdd cymundeb! Beth feddyliai gwyr y *clerical cut* am beth fel hyn?

Dyma ni, bellach, wedi dyfod i'r flwyddyn 1786, pan y mae Jenkin Davies, unig weinidog y Bedyddwyr yn Mon ar y pryd, yn ol a allwyf ddeall, yn ymadael a Beaumaris, ac yn ymsefydlu yn y Bontnewydd (Cefnbychan), a Richard Michael yn cael galwad i gymeryd gofal gweinidogaethol Beaumaris, lle yr ordeiniwyd ef yn rheolaidd yn mis Hydref y flwyddyn hono. Nid oes wybodaeth faint o aelodau oedd yn Beaumaris pan ddaeth Richard Michael yno; ond eu nifer ddwy flynedd cyn hyny, sef yn 1784, pan gorphorwyd yr eglwys, oedd 14. Ni ystyrid Beaumaris yn gangen o Ebenezer (Llangefni), ond yn fam-eglwys, a'r canlyniad fu ei changenau—Llangoed a Pencarneddi yn Mon, a Cilfoden (Bethesda yn awr), plwyf Llanllechid, a Sarnryg (lle bynag yw hwnw), yn Arfon. Ond faint bynag oedd nifer yr aelodau, nid oedd un capel yn Beaumaris pan aeth Richard Michael yno. Ond yn fuan hwy a brynasant dy yn y dref, ac a'i gwnaethant yn lle gweddaidd i addoli ynddo, ac yr oedd lle i gladdu gydag ef. Gan un Elin Evans, Pant-yr-Eurach, y cafwyd yr arian i brynu y ty. Yr oedd hi a'i gwr, John Pyrs, yn aelodau, ac yn dra chynorthwyol i'r achos. Cydunwyd yn Nghymanfa Maesyberllan, yn 1789, "i eglwys Beaumaris i gael ei chynorthwyo gan yr eglwysi i ddyfod yn rhydd o'r ddyled, ac i genadon yr eglwysi ddwyn yr hyn a allent gasglu iddi i'r Gymanfa nesaf." Ond ymddengys mai ychydig a gafwyd, canys yn Nghymanfa Nefin, yn 1793, "cydunwyd i'r brawd R. Michael i fyned at yr eglwysi na roisant eto ddim cynorthwy at draul y ty cwrdd yn Beaumaris." Ond ychydig fu y llwyddiant y waith hon hefyd, gan y cawn bod tua £60 o ddyled wedi aros ar yr addoldy, yr hyn a fu yn achos o lawer o'r helbul a ddaeth i ran yr eglwys hon yn y blynyddau dilynol.

[I'w orphen yn ein nesaf.]

---

## AFONYDD DEHEUBARTH CYMRU.

### *Rhif III.*

#### MAESYFED.

1. Yr *Wy*, testyn chwedl a cherdd, ddaw gyntaf i olwg dydd yn rhandir Trefaldwyn yn anial Pumlumon, rhwng ffynonau yr Hafren a'r Rheidiol; ar ol treiglo 11 milldir teithia drwy sir Faesyfed am oddeutu 6 milldir, ac yna mae yn derfyn rhwng swyddi Maesyfed a Brycheiniog am 30 milldir, hyd y Celli; yma ymedy â Chymru, ac â i ardaloedd sir Henffordd. Ei thaith Gymreig sydd tua 47 milldir o hyd.

Y ffrydiau a redant i'r Wy, yn Maesyfed, ydynt yr Elain, Claerwen, Cymharon, Jeithon, Edwy, a Bachwy. Yn Mrycheiniog, derbynia y Chwefrwg, Armell, Carnmarch, Dulas, Irfon, Dihonwy, Coletwr, a Llyfnwy. Mae rhai o'r aberoedd hyn yn helaeth a chryfion.

Afonydd eraill sir Faesyfed ydyw y rhai a ganlyn:

1. *Tame* a gyfyd yn mryniau Ceri, sir Drefaldwyn, yna gwahana rhwng swyddi Amwythig a Maesyfed, ac ymddirieda ei hunan yn gwbl i'r swydd flaenaf wrth Dref y Clawdd.

2. *Llug*, neu yr *Afon Loyw*, sydd â'i ffynon yn ucheldiroedd Heyop; rheda i Loegr trwy ddyffryn Llan-Andras.

3. *Somergild.* Tardda yn nghoedwig Maesyfed. Wrth ddianc oddi yno rhuthra dros graig, a gwna y rhaiadr a elwir Dwfr-yn-tori-ei-wddf. Yn nyffryn Maesyfed llyncir hi i fyny gan y tir graianog ar dymorau sychion; ac oddiwrth hyn y daw yr enw sydd ar y dyffryn ac ar y sir—Maesyfed. Pan y delo ei gwely yn glai, yn lle yn raian, ymddangosa yr afon eilwaith, ac wedi gyrfa o 13 milldir â yn mlaen i ddyfrhau swydd Henffordd.

4. Yr *Arrow*, neu y *Saeth*, sydd ffrwd fechan yn llifo i swydd Henffordd wrth yr Eglwys Newydd.

### BRYCHEINIOG.

1. Y *Wysg*. Cyfyd yr afon hon yn rhandir y Maen Coch o'r Mynydd Du, ar gyffiniau swydd Gaerfyrddin, nid yn mhell oddiwrth darddle y Tawy. Fel yr afonydd Tawy a Nedd, gall ymffrostio o drâs uchel. Mae gwely y Wysg, pa un bynag ai garw ai llyfn fyddo, a'i liw o hyd yn goch, o'r tair ffynonell sydd yn ddechreu i'r afon nes yr elo i sir Fynwy yn Glangrwyen, o dan Grughywel, ystod 32 milldir. Y ffrydiau a ymarllwysant iddi o gymoedd mynyddau yr Eppynt, ar du y gogledd, ydynt, y Cilieni, Bran, Esgor a Honddu. Ymgofleidia yr olaf â hi wrth Aberhonddu, yr hyn sydd yn rhoddi yr enw i dref y swydd; am 16 milldir i'r dwyrain o Aberhonddu, nid ydyw yn derbyn ond ychydig ffrydiau o'r gogledd; Rhiangoll yw un ffrwd yn rhedeg o ddyffryn hardd a thoreithiog y Cwm Du; a Grwynen, o Fynyddoedd Duon Talgarth. Hon yw'r terfyn am rai rai milldiroedd rhwng Brycheiniog a pharth o swyddi Henffordd a Mynwy. O'r de, derbynia yr Wysg y ffrydiau Crai, Seni, Taranell, neu Tarell, o Lyn Cwm Llwch Carfanell, neu yn hytrach Annell, o'r Glyn Collwyn; Grawnant, Onwy, Clydach, ac eraill ydynt o lai maint.

Dywedasom, wrth son am y Tywi, fod yr afon hono yn derbyn i'w mynwes yn agos holl ffrydiau swydd Gaerfyrddin; felly yn Mrycheiniog, er mor llawn yw o nentydd, eto yr Wysg ydyw yr unig afon o faint yn y sir sydd yn cadw ei henw a'i gyrfa yr un nes myned i sir arall. Mewn rhai pethau mae y Tywi a'r Wysg yn debyg i'w gilydd; y mae pob un o honynt yn teithio mewn mawrhydi trwy ddyffrynoedd ei swydd briodol. Gosodir allan hefyd derfynau eu llywodraeth gan fynyddoedd uchel cyffelyb. Yn Mrycheiniog, y mae Cefn yr Eppynt, y tu gogledd i'r Wysg, yn troi holl ddyfroedd Buallt i'r Wy, tra y mae trumau uwch yn cydredeg ar yr ochr ddeheuol i ddyffryn Wysg, yn troi y Tawy, y Nedd, a'r Taf, i Morganwg; a'r Sirhowy, yr Ebwy, &c., i swydd Fynwy.

### GWELYAU YR AFONYDD.

Oddiwrth 11 milldir o gwrs olaf yr Wy, ac oddiwrth y ffrydiau gogleddol a syrthiant i'r Wysg, y mae yr holl afonydd o du y gogledd i'r Wysg a'r Teifi yn llifo dros welyau o deneu faen llech a chraig lwyd y mynydd. Rheda y Teifi yr holl ffordd ar wely fel hyn, a'r Tywi hefyd hyd yn agos i'w mynediad i'r môr wrth Llanstephan. Cyfyd y ddwy Cleddau yn y graig lwyd, a cherddant ar wely o'r un defnydd, nes y deuant, wrth Hwlffordd a Pictwn, i randir y glo. Gadawant hwn yn agos i Lawreni, ac oddiyno i'r weilgi rhedant dros wely o galchfaen. Y mae afonydd gogleddol Penfro oll ar welyau cyffelyb; weithiau gwelir rhai o honynt ar fath o gareg nadd.

Nid yw afonydd Morganwg yn hoffi un gwely oni bydd wedi ei gyfoethogi â glo neu fwn. Y rhai hwyaf eu rhawd a gyfodant yn nhywodfaen goch mynyddoedd Brycheiniog; yr ail ddosbarth yn y calchfaen; y trydydd yn y glo a'r mwn haiarn, a'r pedwerydd dosbarth, neu yr afonydd sydd a'r rhawd byraf iddynt, a darddant ac a arllwysant eu ffrydiau yn yr ail ddosbarth, neu yn y rhandir deheuol o'r galchfaen.

PYSGODWR.

---

## DIOFALWCH.

Byddai y tlodion yn llawer mwy cysurus pe meddent fwy o ofal. Nid ydynt yn meddwl ond ychydig am yr amser a ddaw; nid ydynt yn edrych yn mlaen ddim pellach na'r diwrnod, neu'r pryd bwyd presenol. Ymddengys yn beth dyeithr, ond y mae yn wir, fod y cyfoethogion yn aml a mwy o ofn angen arnynt nag sydd ar y tlodion eu hunain. Ofna y goludog golli ei radd yn mhlith ei gymydogion, yn fwy nag yr ofna yr angenus i newyn ei ddal. Byddai meddwl colli ei gerbyd a'i win yn ddigon i yru y gwr mawr yn wallgof. Cyll y tlodion eu hymborth, a'u gwely oddi tanynt, heb lawer iawn o bryder a galar. Y mae eisiau yn pylu y cyneddfau, ac arferiad yn peri i ddyn

ddygymod ag angen. Cyn gwneuthur dynion yn ddarbodus am yr amser a ddaw, rhaid eu gwneyd yn gysurus yn ngras yr efengyl. ***

---

## DEONGLIAETH YSGRYTHYROL TRWY BWYSLEISIAD.

GAN Y PARCH. JOHN EVANS, WESTERLY, R. I.

Y mae hwn i lawer yn bwnc newydd; nid o herwydd ei ddyfnder a'i ddyeithrwch fel nas galler ei amgyffred yn fuan, ond o herwydd ei fod mor syml ac arwynebol, fel yr esgeulusir talu sylw priodol iddo. Y mae deongliaeth y Beibl yn destyn cyfarwydd i bawb. Y mae dynion bychain a mawrion wedi ysgrifenu arno, a siarad am dano. Enw y llyfrau sydd yn trin ar y pwnc ydyw lleng. Y mae gan holl ddarllenwyr deallus y Gair, ac yn enwedig y Cymry, o'r bachgenyn yn yr ysgol Sul hyd at y pregethwr yn y pwlpud, ryw amcan am dano. Medda y pwnc ar ddyddordeb cyffredinol. Gellir cyfyngu y cyfan sydd yn angenrheidiol i ddeall yr Ysgrythyr i lai na dwsin o reolau syml a byrion. Nis gellir meddu dealltwriaeth glir a chyflawn o'r Ysgrythyr heb fod yn gyfarwydd â'r amgylchiadau o dan ba rai y mae wedi ei ysgrifenu; heb feddu ysbryd priodol i'n dwyn i gydymdeimlad â'i syniadau; heb dalu sylw i arferiad tafodiaith, yr *usus loquendi;* heb ddeall geiriau yn eu hystyr brawddegawl; heb gadw y cysylltiad mewn golwg; heb ddal mewn cof *scope* y llyfr ei hun, a chydmaru ysgrythyr ag ysgrythyr. Er hyny gellir bod yn berffaith gyfarwydd â phob rheol deongliaeth, a bod yn alluog i'w gosod mewn gweithrediad, ac wedi'r cwbl fethu cyfleu y meddwl cysegredig i eraill Campwaith pob athraw crefyddol ydyw hyfforddi eraill yn llwyddianus yn y Gair dwyfol. Y mae y methiant yma yn dygwydd yn fynych, nid o herwydd diffyg gwybodaeth, gallu a brwdfrydedd; ceir y nodweddau hyn yn eu gogoniant mewn llawer un ag sydd yn gorfod trigo yn nghysgod ei waelach, o herwydd ei fod yn amddifad o ffordd effeithiol i gyfleu ei wybodaeth. Yn y fan hyn y mae y rheol yr hon ydym wedi ddewis fel testyn ein herthygl yn dyfod i fewn fel un o'r rhai mwyaf pwysig i gyfleu y Gair yn ei wisg oleuedig ei hun Tra y metha yr ysgolor i argraffu ar y galon y gwir ddrychfeddwl, llwydda y *darllenwr* cywrain i gyrhaedd ei amcan.

Ychydig amser yn ol cyhoeddwyd llyfr gan Clark, o Edinburgh, Scotland, cyfansoddedig gan Sais o'r enw Rotterham, neu ryw enw tebyg, yn trin pwnc yn debyg i hwn. Ni welais y llyfr ei hun, ond oddiwrth yr adolygiad, barnwyf ei fod yn destyn yn meddu ar lawer o newydd-deb, ac yn hawlio sylw mwy difrifol nag y mae wedi ei gael gan lawer.

Y mae pwysleisiad priodol yn narlleniad y Beibl yn foddion effeithiol er taflu goleuni ar yr hyn a ddarllenir. Llawer gwaith y mae y meddwl sanctaidd wedi ei gymylu a'i wrthdroi gan y darllenwr esgeulus ac anfedrus. Nid yr anllythyrenog yn unig sydd yn euog o'r diofalwch hwn, ond personau a hawliant bethau gwell. Nid yw yn rhyfedd fod dynion yn amlygu can lleied o ddyddordeb yn y rhan arweiniol o'r addoliad, pan mae y fath fusgrellni anfaddeuol yn nodi darlleniad y Gair, yr hwn ydyw allwedd y weinidogaeth efengylaidd. Gofynodd pregethwr ieuanc i hen weinidog unwaith mewn oedfa gyhoeddus i ddechreu y cwrdd. Pan oedd yr hen frawd yn troi tu dalenau y Beibl er cael cyfran briodol i'w darllen, trodd y pregethwr ieuanc a dibrofiad ato gan ddweyd, "Byddwch gystal a darllen Salm fechan, neu ychydig o adnodau o ryw benod, gan fod fy mhregeth yn lled faith." Meddai yr hen wr mewn atebiad wrtho, "Beth fyddai i ti adael allan ychydig o'th ddwli dy hun, i roddi lle i ychydig ragor o ddoethineb Duw?" Pe byddai mwy o yni a gwres, mwy o wybodaeth a sel, mwy o barch a deheurwydd, yn cael eu taflu i fewn i ddarlleniad y Gair, yn lle bod yn faich, byddai y rhan hon o'r addoliad yn ddyddorol ac adeiladol.

Y mae llawer o bregethwyr ag y

byddai ychydig wersi mewn darllenyddiaeth yn fwy buddiol iddynt na'r hyn a broffesant wybod mewn Groeg a Lladin. Y mae crefydd, yn ei hathrawiaeth, yn ei moesau, yn ei hanes, y mae mwy nas gellir wybod o'i dylanwad gogoneddus wedi ei ddistrywio trwy yr esgeulusdod gyda pha un y darllenir ei llyfr. Pe byddai i *phonographer* gymeryd y Beibl i lawr, fel ei darllenir ef gan lawer, a phe byddai i gopi o'r darlleniad gael ei gyhoeddi, byddai genym Feibl hollol wahanol i'r hwn y dywedodd y fam wrth ei mab, a'r dagrau yn treiglo dros ei gruddiau cysegredig, "Cofia am dy Feibl," ac i'r hwn sydd wedi bod yn gysur meddwl ac yn oleuni ysbryd i'r Cristion ar ei daith bererinol yn y byd.

Er dangos fel y mae yn bosibl i dywyllu y deall a gwrthdroi yr ystyr ysbrydoledig trwy bwysleisiad anmhriodol, gosodwn ger eich bron ddwy engraifft, allan o laweroedd cyffelyb, o ba rai yr ydym yn dyst personol. Clywsom ychydig amser yn ol bregethwr enwog, gyda chryn lawer o hunanfeddiant, yn darllen Rhuf. viii. 10, gan roddi y pwyslais ar y pedwerydd gair yn yr adnod, sef *Crist*, "Ac os yw *Crist* ynoch, y mae y corph yn farw o herwydd pechod." Nid oes eisiau i mi ddangos i ddynion sydd yn gwybod gwell y cyfeiliornad a lusgir i mewn i'r adnod wrth ei darllen felly. Meddwl yr Ysbryd ydyw, "Pa un a yw Crist ynoch ai peidio, y mae y corph yn farw o herwydd pechod." Credadyn neu peidio, y mae dyn yn meddu ar gorph marwol. Ydyw fod Crist yn trigo yn yr enaid yn newid dim ar y ffaith. Y modd y dylai gael ei darllen ydyw: "Ac os *yw* Crist ynoch, y mae y corff yn farw o herwydd pechod; eithr yr Ysbryd yn fywyd, o herwydd cyfiawnder." Clywais un arall llawn mor enwog yn darllen Rhuf. vi. 17, "Ond i *Dduw* y bo'r diolch eich bod chwi gynt yn *weision* i bechod," &c. Yma heb ystyried llusgir i fewn a dysgir yr athrawiaeth farwol mai Duw ydyw awdwr pechod. Meddwl yr Apostol ydyw, Er fod y Rhufeiniaid wedi bod yn weision i bechod, y dylai Duw gael y diolch eu bod yn awr wedi ufuddhau o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd iddynt. Ofer, wrth gwrs, ydyw amlhau engreifftiau fel hyn; amlwg ydyw i bob meddwl deallus, fod yn bosibl, trwy bwysleisiad anmhriodol mewn darllen, gam-esbonio y Gair sydd yn gludiedydd y meddwl dwyfol.

Y mae yn briodol i ofyn, Pa fodd y gellir ymgyrhaedd at y gamp o ddarllen fel ag i roddi i bob gair ei le priodol ei hun, mewn trefn i'r frawddeg fod yn ddealladwy? Yn mhlith pethau eraill, y mae yn rhaid deall yr hyn a ddarllenir. Oes y darllen ydyw hon. Y mae gweithiau ein prif awdwyr, megys Tennyson, Dickens, Thackeray, &c., yn cael eu darllen yn feunyddiol; a llawer gwaith yr ydym wedi clywed bechgyn Cymreig yn darllen Ceiriog, Mynyddog, Talhaiarn, &c.; ond y mae llwyddiant y personau a ddarllenant yn ymddibynu ar eu dealltwriaeth o feddwl yr awdwyr. Pan y mae Edwin Booth yn chwareu ar y *stage* un o gymeriadau Shakspeare, y mae y cynrychioliad byw a chywir y mae yn roddi o hono yn dangos ei fod wedi defnyddio pob moddion o fewn ei gyrhaedd i ddeall y gwreiddiol. Y mae ganddo y cymeriad wedi ei baentio ar ei feddwl, ac yn ol y portread hwn y mae yn ei actio allan nes gwefreiddio tyrfaoedd mawrion. Felly mewn trefn i ddarllen y Beibl fel y gall dynion weled y meddwl yn glir ac uniongyrchol, y mae yn angenrheidiol, yn y lle cyntaf, i gael allan feddwl y Beibl ei hun. I ddeall damegion y Testament Newydd, y mae yn rhaid bod yn gyfarwydd ag arferion y genedl Iuddewig mewn ystyr masnachol, gwladol, a chymdeithasol. Mewn trefn i werthfawrogi Epistol cyntaf Paul at y Corinthiaid, y mae yn rhaid myned yn ol i Corinth, lle y cymysgid arferion cymdeithas a deddfau cydwybod â'u gilydd. Y mae cyfarwyddyd â hanes y sectau philosophyddol, megys y Gnosticiaid ac eraill, y rhai ddysgent athrawiaethau ag oeddynt yn niweidiol i'r cymeriad Cristionogol, yn hollol angenrheidiol er deall Epistolau Ioan yr Apostol. Wedi cael y gair yn glir yn ein meddwl ein hunain, y mae yna fantais wedi hyny i'w roddi i eraill fel y medrant hwy ei weled. Mewn

trefn i bwysleisio y gwirionedd priodol mewn adnod, y mae parotoad blaenorol yn angenrheidiol. Y mae rhai dynion yn meddwl mai arwydd o wendid ydyw parotoi yn mlaen llaw, ac mai y dyn mwyaf ydyw yr hwn sydd yn myned at y llyfr a'i agor a darllen yn y blaen y lle cyntaf y daw iddo. Ond gallwn benderfynu ar un peth, mai y dynion mwyaf ydyw y rhai mwyaf manwl yn eu parotoad. Nis gellir darllen penod, mwy na phregethu pregeth, neu draddodi araeth yn dra rhagorol heb barotoad rhag llaw. Bydded o leiaf i'r pregethwr gofio hyn os ydyw am i lwyddiant goroni ei waith. Pe byddai yn bosibl i godi o iselder diogi ac esgeulusdod darllenyddiaeth Ysgrythyrol i safle gwrteithiad a chysegredigrwydd, byddai gwybodaeth o'r gwirionedd nid yn unig yn fwy cyffredin, ond hefyd yn fwy cywir a bendithiol. Byddai yn fuddiol i ni gymeryd Crist fel *model.* Darllenodd yn y synagog yn Nazareth, nes yr oedd "llygaid pawb yn craffu arno."

---

## CYFFYRDDIAD A'R IESU.

"A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw un a gyffyrddodd â mi; canys mi a wn fyned rhinwedd allan o honof."—Luc 8: 46.

Nid hono a wasgai trwy'r dyrfa at Grist
  I gyffwrdd a'i wisg am adferiad,
Yw'r unig un afiach, druenus a thrist,
  Ga'dd fendith trwy gyffwrdd â r Ceidwad;
Mae croesaw bob amser i'r truan a'r gwael
  I ddyfod at Grist er eu llesu,
A thystia myrddiynau fod rhinwedd i'w gael
  Trwy ddod i gyffyrddiad â'r Iesu.

Nis gwelir ef mwyach yn teithio y llawr,
  Yn fynych yn flin a sychedig,
I wneuthur daioni, gan weithio bob awr
  Yn achos troseddwyr colledig:
Mae'r Iesu yr awrhon ar orsedd y nef,
  Mewn bri a gogoniant annhraethol,
Ond dichon trueiniaid nesâu ato ef,
  A derbyn o'i rinwedd iachâol.

O fewn i'r Ysgrythyr,—ond chwilio yn hwn,
  Ceir weithiau'r fath olwg ar Iesu
Nes teimla yr euog ollyngdod o'i bwn,
  A'i galon yn dechreu cynesu;
Ceir dyfod at Iesu mewn gweddi, trwy ffydd,
  A chael o'i gymdeithas hyfrydlon,
A mynych amlygiad o'i gariad a rydd
  Tu fewn i adderchog byrth Seion.

Rhaid gwasgu trwy'r dyrfa i ddyfod at Dduw—
  Rhyw dyrfa luosog o rwystrau—
Y byd a'i bleserau demadol eu rhyw,
  A Satan a'i gyfrwys ystrywiau;
Ymdrechwn, gan hyny, fath bynag yw'n pla,
  Yn ffyddiog at Grist i ddynesu;
Faint bynag yw'n llafur, mae'n talu yn dda,
  Os caffwn gyffyrddiad â'r Iesu.

*Utica, N. Y.* J. D. MORGAN.

## R. H. EVANS A CHYMUNDEB.

*Erthygl IV.*

Gofyna Mr. Evans, os yw trochi yn gwella y galon? "yna trocher pawb." Addefaf, bod yn ofynol i ddyn ofalu am wneyd y pethau sydd yn dda ar ei les. Mae yr egwyddor hon yn rhedeg drwy holl natur, rhesymol a direswm; mae yr egwyddor hon yn ein cymell i fyw yn grefyddol, ond nid dyma yr unig na'r brif egwyddor sydd i gymell dyn i fyw yn grefyddol. Cariad at Dduw, a'r cariad hwnw yn cynhyrfu ufudd-dod i'w orchymynion, yw yr egwyddor benaf mewn crefydd. Yr ydym i wneuthur gorchymynion Duw, nid am eu bod yn llesol yn unig, ond am fod Duw yn gorchymyn i ni wneyd y cyfryw bethau. Mynych y clywir bedydd yn cael son am dano mewn ffordd isel ac ysgafn, am nad yw (meddir) yn bwnc hanfodol er iachawdwriaeth. Mae'r iaith yn dangos yr egwyddor waelaf, iselaf, a mwyaf annheilwng. Yr wyf yn gwadu mai iachawdwriaeth yr enaid ydyw y pwnc penaf a phwysicaf mewn crefydd, er mor bwysig ydyw; mae gogoniant Duw yn bwnc pwysicach i fod o flaen meddwl dyn na'i les ei hunan. Gorchymyn penaf y ddeddf a'r efengyl ydyw, "Câr yr Arglwydd dy Dduw," &c., a'r ail, "Câr dy gymydog fel ti dy hun." Ac mae y cariad hwn i gael ei ddangos mewn cadw gorchymynion Duw. Nid ydym i fyned at grefydd fel Joab at yr allor, nid er mwyn addoli, ond er diogelwch. Hunan-les oedd yn ngolwg Joab, am hyny ni lwyddodd ei amcan ef ddim; lladdwyd ef er iddo ffoi at yr allor am ddiogelwch; felly y gwneir â phob un y mae ei les ei hun yn fwy yn ei olwg nag ufudd-dod i orchymynion Duw. Mae'r hen ddyn am gael ei wared rhag y gosb am bechod, ond y mae'r dyn newydd am gael ei wared oddiwrth ei bechod. "Glanha fi oddiwrth fy mhechod," ydyw iaith y gwir Gristion. "Ond gweddiwch chwi droswyf na ddel dim o'r pethau hyn arnaf fi," meddai Simon. Ar yr un pryd, Mr. E., fe wnai eich trochi les

i'ch calon chwi. "Nid er mwyn bwrw ymaith fudreddi eich cnawd, ond er mwyn ateb cydwybod dda tuag at Dduw." Aeth yr eunuch ar hyd ei ffordd ei hun yn llawen, ar ol myned i waered i'r dwfr. Pan y mae y galon yn cael ei heangu, mae yn rhedeg yn ffyrdd gorchymynion Duw. Gwelsom lawer yn dyfod i fyny o'r dwfr mewn teimlad gorfoleddus, ar ol ymostwng i orchymyn Pen yr Eglwys; ond y mae taenellu ar faban yn yspeilio dyn o'r llawenydd hwn. Gwna, Mr. E., fe wna ymostwng les i'ch calon, oblegid mi gredaf nad yw wedi myned yn rhy galed eto. Cofiwch, Mr. E., mai y gofyniad cyntaf a phenaf i chwi a minau ydyw, nid pa beth a wna les i mi; nid pa beth sydd yn angenrheidiol er iachawdwriaeth; ond Pa beth sydd yn angenrheidiol er ufudd-dod i Dduw? Yr wyf wedi bod yn feithach ar y pen hwn nag oeddwn yn fwriadu, o herwydd fy mod yn casâu yr egwyddor a ddangosir mor gyffredin, sef pwyso a mesur gorchymynion Duw yn ol eu cysylltiad neu eu hanghysylltiad â'n iachawdwriaeth. Mae yn egwyddor isel, wasaidd; ni ddaeth erioed o'r nef, ac nid â byth yno ychwaith.

Dywed hefyd, "Y gellid meddwl mai bedydd ydyw swm a sylwedd y Testament Newydd, ac mai dyma unig ddrws y nefoedd." Dyma ddarluniad eto hollol annheg a thwyllodrus o'r Bedyddwyr. Nid ydym ni yn gwneuthur bedydd yn unig ddrws i'r eglwys ar y ddaear, heb son am ei wneuthur yn ddrws i'r eglwys yn y nef. Rhaid i ni gael edifeirwch a ffydd o flaen bedydd cyn y derbyniwn ni neb i'r eglwys isod. Ond gwna Mr. Evans daenelliad, sef ei fedydd ef, yn unig ddrws i'r eglwys ar y ddaear, ac fel canlyniad naturiol, yn ddrws i'r nef ar ol marw. Nid yw y Bedyddwyr yn rhoddi dim pwys ar fedydd yn y mesur lleiaf, os na bydd ffydd ac edifeirwch yn ei flaenori. Ond gwna taenellwyr ef yn ail-enedigaeth; gwnant blant yn eu bedydd yn "blant i Dduw, aelodau o Grist, ac etifeddion teyrnas nefoedd," heb na ffydd nac edifeirwch; ac eto i gyd, dyma y bobl sydd yn cyhuddo y Bedyddwyr o wneuthur gormod o fedydd! Rhoddi gormod o bwys ar fedydd achosodd gyfnewidiad yn y dull a'r deiliaid; aethant i gredu oddiwrth y geiriau yn Ioan iii. 5, fod pob dyn, hen ac ieuanc, yn golledig heb fedydd; felly aed i fedyddio babanod, rhag y buasent yn marw heb eu bedyddio, a thywelltid dwfr ar rai afiach, yn eu gwely, pan nas gellid eu trochi. Yr unig beth sydd yn peri i ni beidio synu at haerllugrwydd cyhuddiadau ein gwrthwynebwyr ydyw, cofio fod un gwell a phurach na ni wedi ei gyhuddo yr un mor haerllug ac anghyfiawn.

Peth arall ddywed ein cyfaill o Waukesha, yw, "Mai y dynion mwyaf penrhydd eu bucheddau yw y rhai sydd yn cadw mwyaf o swn gyda bedydd." Dyma gyhuddiad lled galed. Dywed hefyd, "ei fod wedi dal sylw neillduol ar hyn." Mae hyn yn ei wneyd byth yn bwysicach, a dylai fod yn nes i'r gwirionedd. Os yw sylw "neillduol" Mr. Evans mor gibddall, beth all fod ei sylw *an*neillduol ar bethau?" Mae y cyhuddiad hwn, fel eraill, yn haeriad beiddgar, heb sail iddo, a dymunaf wneyd sylw o hono mewn amddiffyniad, nid i mi fy hun yn gymaint, er ei fod yn cyffwrdd â mi, gan fy mod wedi ysgrifenu cryn lawer, ar wahanol adegau, ar fedydd; ond mae yn dal perthynas â rhai o'r cymeriadau dysgleiriaf a sangasant bwlpudau Cymru neu un wlad arall. Pwy a ysgrifenodd yn fwy grymus a selog dros fedydd na'r Parch. Joseph Harris, Abertawe; John Evans, Abercanaid; R. Ellis, Sirhowy; ac R. Jones, Llanllyfni?—y tri cyntaf yn gorphwys oddiwrth eu llafur. Meddaf, Pa le y bu cymeriadau dysgleiriach na'r pedwar, heblaw eraill ellid eu henwi? Yn Lloegr, hefyd, cawn A. Fuller, Abram Booth, Dr. Gill, Dr. Gale, Carson, Baptist Noel, ac hyd yn nod eich ffrynd Spurgeon, a ysgrifenodd ar fedydd, ac a gafodd wrthwynebiad mor ffyrnig oddiwrth daenellwyr ag a gafodd un dyn yn yr oes hon. Gofynaf, ie, heriaf chwi, Mr. Evans, mor belled ag y mae hyny yn gweddu i mi, i ddangos rhagorach dynion, o ran cymeriadau moesol, dysg, a gallu medd-

yliol. Ac am danom ni, yn wlad hon, efallai fy mod i a Dr. Parry wedi ysgrifenu cymaint a nemawr ar y pwnc, ac mor bell ag y clywais i, gall y Dr. ddal cyferbyniaeth nid yn unig â chwi a Dr. Roberts, ond â'r rhai goreu eu cymeriadau a fedd y corph; ac am fy nghymeriad fy hun, os amddiffynaf ef, gallaf ddweyd fel Paul, mai chwi a'm gyrasoch i wneyd; gan hyny mi ddywedaf, nad oes un Methodist yn America a all ymffrostio mewn gwell cymeriad, na dim llawer o honynt a fedrant ddangos cystal. Buasai ysgrifenu fel hyn yn ymddangos yn ffol, oni bae yr haeriad brwnt ac anwireddus o eiddo R. H. Evans. Heblaw hyn, pa fodd y gall y cyhuddiad fod yn briodol i'r rhai sydd yn amddiffyn bedydd y Testament Newydd, heb fod yn fwy priodol i'r rhai sydd yn ymosod arnom, gan ymdrechu cynal i fyny daenelliad babanod, yr hon sydd ddefod nas gwyr y Beibl ddim am dani? Os y cymeriadau gwaelaf sydd yn ysgrifenu ar fedydd, atolwg ai y cymeriadau goreu sydd yn ysgrifenu ar daenelliad babanod? Dywed ein gwrthwynebydd am y rhai selog dros fedydd, eu bod yn rhai dibrofiad, ond mai "bedydd, bedydd, byth a hefyd, sydd ganddynt." Nid wyf yn synu na chlywodd hwynt yn dweyd eu profiad erioed; ac y mae o fewn terfynau posiblrwydd na chlywsant hwythau erioed mo hono yntau yn dweyd ei brofiad; ond nid yw hyny yn profi nad oes ganddo ryw fath o brofiad. Nid yw yn beth rhyfedd i'r Bedyddwyr beidio dweyd eu profiad yn ngwydd Mr. E.; mae yn naturiol fod yn well ganddynt gadw eu gemau na'u bwrw hwynt allan yn mhob man.

Am y cyhuddiad eu bod yn son llawer am fedydd, sylwaf, Nad yw comisiwn Crist i'w apostolion ond byr, rhyw ddwy adnod; ond mae y ddau Efengylwr wedi gosod bedydd i mewn, er na ddarfu i'r un o honynt son am edifeirwch. Gwir fod edifeirwch yn ddealladwy, er na enwir ef; ond nid cael ei adael yn ddealladwy a wnaeth bedydd, ond enwir ef yn bendant; a diamheu fod yr apostolion yn ei bregethu yn mhob man; ac mae yn well pregethu fel yr apostolion nag fel y dynion hyny a gadwant fedydd allan o olwg dynion. Pa fodd y gall dyn bregethu y comisiwn yn llawn a gonest, heb bregethu bedydd, fel rhyw ran arall o drefn yr efengyl? Mae pob rheswm i gredu fod bedydd yn y bregeth gyntaf a bregethodd Phylip i'r eunuch; pregethu yr Iesu ddywedir i Phylip wneyd i was Candace; a phregethu Crist ddywedir iddo wneyd yn Samaria; ond mae pregethu bedydd yn gynwysedig mewn pregethu Iesu Grist, oblegid yr oedd Phylip yn eu bedyddio yn wyr ac yn wragedd, ac yn eunuchiaid hefyd can gynted ag y credent. Dywed Paul iddo ef "draddodi holl gyngor Duw," ac yr wyf fi yn sicr fod bedydd yn perthyn i "holl gyngor Duw," gan y dywedir am ryw ddynion ar ddechreuad Cristionogaeth, fel y mae yn awr, "yn diystyru cyngor Duw, heb gymeryd eu bedyddio." Ac os ydych chwi, Mr. E., yn credu fod taenelliad yn fedydd Ysgrythyrol, cyngorwn chwi i'w bregethu ef yn aml. Yr wyf fi am wneyd hyny heb ofni gwawd neb. Diolch i Dduw nad wyf fi fel y gweinidog hwnw yn hen eglwys John Bunyan, yn cael ei lyffetheirio gan daenellwyr i beidio son am fedydd yn ei bwlpud. Gwel y Bedyddwyr ynddo ddarluniad o gladdu a chodi y Gwaredwr; am hyny pregethant ef byth a hefyd.

Dywed Mr. E.: "Os yw bod yn gaeth gymunwr yn gwneyd dyn yn fwy sanctaidd, yna byddwn am fod yn gaeth gymunwr fy hun." Ateb. Pe bae yn adnabod ei hun, gallai wybod ei fod yn gaeth-gymunwr o'r fath waethaf. Ni chymunai gyda y dyn duwiolaf ar y ddaear pe bae yn ddifedydd; a saith gwaeth na hyny, ni chaiff y naill haner o aelodau bedyddiedig ei eglwys ei hun gymundeb ganddo! ac eto ymffrostia ei fod yn rhydd-gymunwr. Nid yw caethiwed mewn cymundeb yn helpio dyn i fod yn sanctaidd; pe felly byddech chwi yn un o'r rhai sancteiddiaf yn y byd, Mr. Evans.

Dywed ein gwrthwynebydd, "na charai ddweyd dim a fyddo yn taflu sarhad ar yr enwad parchus," eto gofyna, "Pa beth yw brawdgarwch caeth-gym-

unwyr ond rhagrith?" ac yr ymddengys iddo ef "eu bod yn hidlo gwybedyn ac yn llyncu camel;" "eu bod yn rhoddi mwy o bwys ar gorph yr ordinhad nag ar ei henaid." Peth *od* yw son am gorph ac enaid i ordinhad grefyddol. Dywed "yr ymddengys eu bod yn rhoddi mwy o bwys ar fod dyn dan ddwfr na than ras; eu bod yn gwawdio bedydd babanod, ac yn cofleidio bedydd marw Ioan." Ar yr un pryd, sylwer, "nad yw yn caru dim i daflu sarhad ar yr enwad parchus." Eto dywed, "fod y Bedyddwyr am dwyllo yn fwriadol, neu eu bod yn druenus o anwybodus." Gofyna, Onid oes lle i gredu fod Duw yn dweyd wrth gaethgymunwyr, "Eich bedydd dwfr a gasâodd fy enaid; mae yn faich arnaf; blinais yn ei ddwyn?" Geilw y Bedyddwyr yn "Phariseaid caeth-gymunawl, am wrthod i'w haelodau gymuno gydag enwadau eraill." Ond cofier, nad yw y cyfaill caredig yn "caru dyweyd dim i daflu sarhad ar yr enwad parchus." Mae yn ofidus meddwl ei fod wedi ei orfodi gan rywbeth i ddyweyd cymaint o bethau nad yw yn eu caru. Wel, byd y gofidiau yw y byd hwn; ni dreiwn gydymdeimlo â Mr. E. am y gofid a deimlodd wrth ysgrifenu ei erthyglau ar Gymundeb.

Gan fod Dr. Roberts yn gwneuthur ymosodiad mor galed arnom yn y *Cyfaill*, ac yn gwrthod ein hamddiffyniad o honom ein hunain yn yr un cyhoeddiad, byddai yn burion, er mwyn gwella y diffyg, i newid, drwy i'r Bedyddwyr roddi benthyg y WAWR, a chymeryd benthyg y *Cyfaill*, fel y gallont weled y ddwy ochr; gan fod gan ddyn ddwy glust, dylai roddi un i'r ymosodwr, a chadw y llall i'r amddiffynwr. Gwelaf yn y *Drych* fod y Parch. E. Davies, Waterville, yn cwyno yn erbyn golygydd y *Cyfaill* am yr un peth; ond ystyriwyf fod gan y Bedyddwyr lawer mwy o achos i gwyno o herwydd ymddygiad y golygydd tuag atynt fel enwad. Diolchwn nas gellir ymosod arnom yn awr drwy un ffordd mwy creulon na thrwy y wasg a'r pwlpud.

W. JONES.

# PWLPUD Y WAWR.

## Y Darlun Teg o Sant.

PREGETH NEWYDD GAN Y PARCH. CHAS H. SPURGEON.

"Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni wyrais Nid ydwyf chwaith yn cilio oddiwrth orchymyn ei wefusau ef: hoffais eiriau ei enau ef, yn fwy na'm hymborth angenrheidiol."—Job xxiii. 11, 12.

Fel hyn y mae Job yn siarad am dano ei hun; nid mewn ffordd o ymffrost, ond mewn ffordd o amddiffyniad. Eliphaz y Temaniad a'i ddau gydymaith a ddygasent gyhuddiadau neillduol yn erbyn cymeriad Job; o achos y gwelent ef yn y fath drueni blin, tybient fod ei adfyd wedi ei anfon fel cosb am ei bechod, ac am hyny credent mai rhagrithiwr ydoedd, yr hwn o dan fantell o grefydd a arferai drais a gormes.

Awgrymasai Zophar fod drygioni yn felus yn ngenau Job, a'i fod wedi cuddio camwedd o dan ei dafod. Cyhuddodd Eliphaz ef o fod yn annhrugarog wrth y tlawd, a meiddiodd ddyweyd, "Cymeraist wystl gan dy frawd yn ddiachos, a diosgaist ddillad y rhai noethion." Yr oedd y peth diweddaf hwn, oddiwrth ei anmhosiblrwydd, yn cael ei fwriadu i ddangos ei ymddygiad eithafol gwael y cam-farnai efe fod Job yn ei feddu. *Pa fodd y diosgai efe y rhai noethion?* Mae yn eglur ei fod yn ergydio ar antur.

Yn gymaint nas gallasai efe na'i gymdeithion ddarganfod unrhyw gamwedd amlwg yn Job, ar yr hwn y gallasent ddodi bys yn uniongyrchol, dechreuasant ei bardduo ef ar y dde a'r aswy a'u cyhuddiadau disail. Gwnaethant i fyny mewn gwenwyn yr hyn oedd yn ddiffygiol yn eu prawf i ategu eu cyhuddiadau. Teimlent yn sicr y rhaid fod rhyw bechod mawr ynddo i dynu i'w ran y fath drallodion anghyffredin, a thrwy ei daro drosto i gyd, gobeithient gyffwrdd â'r man dolurus. Gadawer iddynt i fod yn *rhybudd i ni* i beidio byth i farnu dynion oddiwrth eu

hamgylchiadau, a byth i gasglu y rhaid fod dyn yn ddrwg o achos ei fod wedi syrthio o gyfoeth i dlodi. Yr oedd Job, modd bynag, yn ymwybodol o'i ddiniweidrwydd, ac yr oedd yn benderfynol i beidio rhoddi ffordd iddynt. Dywedodd, "Ond y rhai yn asio celwydd ydych chwi; meddygon diddym ydych chwi oll. O, gan dewi na thawech, a hyny a fyddai i chwi yn ddoethineb." Ymladdodd y frwydr yn wir ddynol, nid efallai heb ychydig o arddangosiad o dymer a hunan-gyfiawnder, ond er hyny gyda llawer llai o bob un o honynt na fuasai yr un o honom ni yn ei ddangos yn yr un amgylchiadau, a phe buasem yn gyfartal ymwybodol o ddiniweidrwydd perffaith. Y mae efe yn y rhan hon o'i hunan-amddiffyniad wedi tynu *darlun teg o ddyn perffaith ac uniawn ger bron Duw.* Y mae wedi rhoddi o'n blaenau y ddelw y dylem ymdrechu tebygoli iddi. Yma mae y safon uchel at yr hon y dylai pob Cristion ymdrechu cyrhaedd; a dedwydd yw yr hwn a'i cyrhaeddo. Dedwydd ydyw efe mewn awr o drallod, os y camgyhuddir ef, a fo yn alluog i ddweyd gyda chymaint o wirionedd a'r patriarch, "Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni wyrais. Nid ydwyf chwaith yn cilio oddiwrth orchymyn ei wefusau ef: hoffais eiriau ei enau ef yn fwy na'm hymborth angenrheidiol."

Mae arnaf eisiau i chwi yn gyntaf sylwi ar y darlun o *fywyd sanctaidd Job,* fel y galloch ei wneyd ef eich cynllun. Wedi i mi wneyd hyn, edrychwn ychydig islaw yr arwyneb, gan ofyn, "Pa fodd y galluogwyd ef i arwain y fath fywyd gogoneddus a hwn? Ar ba ymborth y darfu y patriarch hwn ymddigoni fel y bu iddo gynyddu mor anghyffredin?" Canfyddwn yr atebiad yn ein hail benawd—*cynaliaeth sanctaidd Job*—"Hoffais eiriau ei enau ef yn fwy na'm hymborth angenrheidiol." Boed iddo ef yr hwn a weithiodd y fath amynedd a didwylledd yn Job, trwy y myfyrdod hwn, ddysgu i ni rinweddau cyffelyb, trwy nerth yr Ysbryd Glan.

I. *Gadewch i ni eistedd i lawr o flaen y darlun hwn o fywyd sanctaidd Job;* mae yn werth myfyrdod dwys.

1. Sylwn *fod Job yn barhaus yn ddyn oedd yn ofni Duw ac yn rhodio yn ol y rheol ddwyfol.* Yn y geiriau o'n blaen mae yn aros llawer ar bethau Duw—"ei gerddediad ef," "ei ffordd ef," "gorchymyn ei wefusau ef," "geiriau ei enau ef." Yr oedd efe yn nodedig fel un oedd yn "ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni." Gwyddai mai Duw oedd yr Arglwydd, a'i fod yn haeddu cael ei wasanaethu, ac oblegid hyny yr oedd efe yn byw yn ufudd i'w gyfraith, yr hon oedd yn ysgrifenedig ar ei gydwybod oleuedig. *Ei ffordd ef oedd ffordd Duw;* dewisodd y cwrs hwnw yr oedd Duw wedi ei orchymyn. Nid oedd efe yn ceisio ei ddedwyddwch ei hun, na chario allan ei ewyllys ei hun; ac nid oedd chwaith yn dilyn helynt yr amseroedd, nac yn cydymffurfio â chredoau ac arferion yr oes yr oedd yn byw ynddi; nid oedd ffasiwn nac arferiad yn ddim iddo ef; ni wyddai yr un rheol ond ewyllys yr Hollalluog. Pa un bynag ai fydd y ffordd yn arw neu lefn, i fyny'r bryn neu lawr y dyffryn, trwy borfeydd gwelltog neu ddiffaethwch llosgedig, boed i ffordd Duw fod eich ffordd chwi. Lle bo colofn oleu ei ragluniaeth yn arwain, byddwch yn sicr o ddilyn, a lle y byddo ei osodiadau sanctaidd yn gorchymyn, ewch yno ar unwaith. Gofynwch i'r Arglwydd i ganiatau i chwi glywed ei Ysbryd yn llefaru fel llais o'r tu ol i chwi, "Hon yw y ffordd, rhodiwch ynddi." Mor fuan ag y gweloch oddiwrth yr Ysgrythyrau, neu oddiwrth gydwybod, neu oddiwrth ragluniaeth, beth yw ewyllys yr Arglwydd, gwnewch frys, ac nac oedwch i gadw ei orchymynion.

2. Gadewch i ni ystyried brawddeg gyntaf Job. Dywed, "Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef." Mae yr ymadrodd hwn yn gosod allan ofal mawr. Yr oedd efe wedi gwylied holl symudiadau Duw; hyny ydyw, yr oedd efe wedi bod yn fanwl gyda golwg ar neillduolion, gan sylwi ar bob gorchymyn, yr edrychai efe arnynt fel yn dwyn arwyddion ol traed a wnaethai yr

Arglwydd iddo ef i osod ei droed ynddo; gan ystyried hefyd pob ryw ronyn yn esiampl fawr ei Dduw; canys mor belled ag y gellir efelychu Duw, efe yw esiampl fawr ei bobl; fel ag y mae efe yn dweyd, "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi;" ac eto, "Byddwch berffaith, fel mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith."

Yr oedd Job wedi sylwi ar gerddediad cyfiawnder Duw, fel y byddai yn gyfiawn; cerddediad ei drugaredd, fel y byddai yn dosturiol a thrugarog; cerddediad ei haelfrydedd, fel na byddai byth yn euog o gybydd-dra neu ddiffyg haelioni; a cherddediad gwirionedd Duw, fel na byddai iddo byth dwyllo. Yr oedd wedi gwylied cerddediad maddeugarwch Duw, fel y gallai faddeu i'w wrthwynebwyr; a cherddediad ei ddaioni, fel y gallai yntau wneyd da, a chyfranu yn ol ei allu i'r rhai oll y bo angen arnynt. Mewn canlyniad i hyn, daeth efe yn llygaid i'r deillion, ac yn draed i'r cloffion; gwaredodd efe y tlawd a fyddai yn llefain, a'r amddifad a'r hwn nad oedd ganddo neb i'w gynorthwyo. Bendith yr hwn oedd ar ddarfod am dano a ddaeth arno, a pharodd i galon y weddw ganu gan orfoledd. Sylwer yma fod yr ymadrodd yn meddu rhywbeth ynddo o ymlyniad; llefara am gymeryd gafael yn ngherddediad Duw. Mae y syniad yn gofyn am gael ei egluro gan yr eglurhad cynwysedig yn yr ymadrodd gwreiddiol. Rhaid i chwi fyned i fanau mynyddig i'w ddeall. Mewn ffyrdd geirwon iawn gallai person rodio yn well trwy fod yn droednoeth. Oeddwn weithiau yn tosturio wrth ferched yn Mentone ddeuent i lawr ar hyd lleoedd geirwon y mynyddoedd yn droednoeth, gan gario beichiau trymion ar eu penau, ond peidiodd fy nhosturi tuag atynt pan y sylwais fod gan y rhan fwyaf o honynt bâr ardderchog o esgidiau ar ben y fasged; a chanfyddwn, fel y gwyliwn hwynt, y gallasent hwy sefyll lle y llithrwn i, oblegid fod eu traed yn cymeryd gafael yn y graig, braidd fel pâr arall o ddwylaw. Gallasent sefyll yn ddiogel yn droednoeth, a dringo yn hawdd mewn lleoedd na fuasent byth yn gallu gydag esgidiau fel yr eiddom ni. Mae gan y Dwyreinwyr allu i afael gyda eu traed ag yr ydym ni yn ymddangos o fod wedi ei golli, o ddiffyg arferiad. Arabiad, wrth gymeryd safle benderfynol, a ymddengys yn gafaelyd yn y llawr gyda ei fodiau. Dywed Roberts wrthym yn ei "Egluriadau" tra adnabyddus, "fod Dwyreinwyr, yn lle plygu i godi rhywbeth a'u bysedd, yn gallu ei godi i fyny a'u bodiau; a dywed am droseddwr wedi ei ddedfrydu i gael tori ei ben, ei fod mewn trefn i allu sefyll yn gadarn pan ar farw, yn gafaelyd mewn prysgwydden gyda ei droed."

Tystia Job iddo ymaflyd yn ngherddediad Duw, a thrwy hyny sicrhau lle cadarn i sefyll arno. Yr oedd yn meddu gafael cryf mewn sancteiddrwydd, hyd yn nod fel y dywedai Dafydd, "Glynais wrth dy dystiolaethau." Mae y dysgedig Dr. Good yn cyfieithu y geiriau, "*Yn ei gerddediad yr hoeliwn* (*rivet*) *fy nhraed.*" Yr oedd am eu gosod mor gadarn yn ol troed gwirionedd a chyfiawnder fel pe buasent wedi eu hoelio yno, gan mor gadarn oedd ei afael yn y ffordd sanctaidd a ddewisasai ei galon.

Dyma yn gywir sydd arnom ni eisiau i wneyd gyda golwg ar sancteiddrwydd —rhaid i ni deimlo yn ei gylch gyda chydwybod dyner, er gwybod yn mha le y mae, a phan yr adnabyddom ef, ymaflyd ynddo gyda gafael sicr, a dal ynddo fel am ein bywyd. Mae ffordd sancteiddrwydd yn aml yn arw, a cheisia Satan ei gwneyd yn llithrig iawn; ac os na allwn gymeryd gafael yn ngherddediad Duw, bydd i ni lithro yn fuan â'n traed, a dwyn niwed mawr arnom ein hunain, a dianrhydedd ar ei enw sanctaidd ef. Anwylyd, i wneyd i fyny gymeriad sanctaidd, rhaid meddu ymlyniad di-ildio mewn didwylledd a duwioldeb. Rhaid i chwi beidio bod yn un y gellir ei *chwythu oddiar ei draed gan obaith cael ychydig elw*, neu gan anadl fygythiedig dyn annuwiol; rhaid i chwi sefyll yn gadarn a diysgog, a sefyll yn erbyn pob pwysau a gweniaeth; rhaid i chwi afael a chydio yn ngorchymynion yr Arglwydd, ac aros yn-

ddynt, ac wedi eich hoelio wrthynt. Sefydlog ydyw un o'r milwyr goreu yn myddin Tywysog Emmanuel, ac un o'r rhai mwyaf cyfaddas i ymddiried iddo arwyddion ei gatrawd. "Wedi gorphen pob peth, sefyll."

(*I barhau.*)

---

# AMRYWIAETHAU.

## CREFYDD A MOESOLDEB.

GAN DR. CEFNI PARRY.

*Atebiad i Ofyniad William J. Thomas, Delta, yn y rhifyn diweddaf o'r Wawr.*

Moesoldeb, mewn ystyr priodol, yw ymddygiad ymarferol a rhinweddol, rhwymedig ar ddeiliad llywodraeth foesol, cydymffurfiol â'r rheol osodedig, neu ddeilliedig, o natur y berthynas a fodola rhwng y cyfryw ddeiliad a'r llywydd, ac a'u gyd-ddeiliaid. Mewn ystyr ehelaeth ac eang, mae moesoldeb yn cynwys yr ymddygiad a rwymir gan y ddeddf foesol ar ddyn, i garu, gwasanaethu, ac addoli Duw, ac amcanu, yn ei holl symudiadau, fod yn ffynonell daioni a dedwyddwch ei gyd-ddynion.

Rhwymedigaeth moesoldeb yw, y berthynas y saif dyn ynddi yn ei gysylltiad â Duw ac â'i gyd ddyn. Safon moesoldeb yw, synwyr moesol dyn, â'r hwn y dodrefnwyd ef gan Dduw, i adnabod, dirnad, a theimlo, y gwahaniaeth rhwng y da a'r drwg, i anghymeradwyo y drwg, a chydymffurfio â'r da. Rheol moesoldeb yw, y ddeddf roddedig, naill ai yn reddfol yn ei natur foesol, neu ynte yn drosglwyddiadol mewn datguddiad. Yn y goleuni hwn, moesoldeb yw cydymffurfiad â deddf foesol a geir yn cael ei dysgu mewn natur, neu ynte yn nghyfraith Moses, yr hon a elwir y Deg Gorchymyn. Y mae yn bosibl mai oddiwrth gyfraith Moses, yn y Deg Gorchymyn, fel rheol ymddygiad, y tarddodd y gair moesoldeb. Golyga y gair Groeg *ethos* (o'r hwn y tardd y gair Seisonig *ethics*, yr hwn a olyga foes-ddysg, neu athrawiaeth moesau) eisteddle neu drigle, yna ffynonell, iawn-ymddygiad neu fuchedd rinweddol. Mewn synwyr priodol a syml, moesoldeb yw cydymffurfiad manwl a pherffaith â hawliau deddf rhinwedd, daioni a phurdeb, yn cael ei rwymo gan y berthynas y saif dyn ynddi â'r byd moesol, fel creadur rhesymol a chyfrifol. Mae rhwymau moesoldeb yn cyrhaedd dros bawb, a thros bob gallu a thuedd, anianol ac ysbrydol, sydd yn perthyn i bawb. Yn gyson ag egwyddorion moesoldeb y try tynged dyn yn y farn fawr. Eto nis gall moesoldeb gadw dyn i fywyd tragywyddol, oblegid hawlia deddf moesoldeb gydymffurfiad perffaith, yr hyn na cheir mewn dyn llygredig er y cwymp.

Eto, mewn ystyr is-raddol ac arferol, golyga moesoldeb ymarweddiad rhydd oddiwrth ddrygau ysgeler, neu feiau gwaradwyddus; neu fywyd allanol dyn yn rhydd oddiwrth yr hyn sydd yn tramgwyddo synwyr a theimlad llednais a choeth. Dyn moesol yw dyn rhydd oddiwrth yr hyn a gondemnir gan synwyr pur a chwaeth dda; ac a gymeradwyir gan yr elfenau hyn o ragoroldeb mewn cymdeithas. Dyna yr hyn a ddeallwn wrth y gair moesoldeb.

Ond beth yw crefydd? Yn atebiad i'r cwestiwn hwn:—Crefydd ydyw y drefn neu y cynllun trwy yr hyn y gweithir moesoldeb allan mewn ymarferion duwiol, neu ymarferion yn ol Duw. Mae crefydd, o angenrheidrwydd, yn tybied rhyw dduw yn brif wrthddrych yr ymddygiad, a phrif nod cyfeiriad y bywyd. Moesoldeb ydyw rhwymedigaeth yr ymddygiad, a chrefydd yw dadblygiad yr ymddygiad, gydag amcanion i ryngu bodd y duw a ddelir gan y dyn yn wrthddrych penaf ei fywyd.

Mae crefydd yn ymranu yn ddwy elfen—*naturiol* ac *ysbrydol*. Crefydd yn cael ei ffurfio a'i llunio wrth oleuni natur, gan reswm dynol, yw y naill; ond crefydd yn cael ei gorchymyn a'i dysgu i'r dyn gan ddatguddiad dwyfol yw y llall. Dyma yr un ysbrydol. Y mae crefydd ddatguddiedig yn gwisgo dau gymeriad: Y grefydd Iuddewig a ddysgir yn yr Hen Destament, a'r grefydd

Gristionogol a ddysgir yn y Testament Newydd. Mae y ddwy yn dysgu moesoldeb i'r byd; ond y mae dysgeidiaeth y Testament Newydd ar foesoldeb yn uwch, yn gyflawnach, ac yn fwy manwl ac ysbrydol. Yn yr olwg hon, nid ellir *actio* moesoldeb yn ei raddau uwchaf a llawnaf, a phuraf, ond trwy weithio allan grefydd y Testament Newydd; oblegid Iesu Grist yw yr esboniwr perffeithiaf ar hawliau moesoldeb; a'i gymeriad ef yw safon perffeithiaf moesoldeb; a'i fywyd ef yw y dadblygiad perffeithiaf o foesoldeb. Pan mae moesoldeb yn *gofyn* cydymffurfiad dyn â'i egwyddorion tragywyddol, y mae crefydd yn *galluogi* dyn i wneyd hyny, trwy ddatguddio y rheolau yn eglur iddo, ei gynhyrfu i gydymdeimlo â hwynt, a'i gynorthwyo i'w dilyn. Mewn moesoldeb, *teimlo* mae y dyn; ond mewn crefydd, *canfod* y mae. Mae y gair Groeg am grefydd yn arwyddo hyny—*threskeia;* yr hwn sydd yn golygu sylwi neu weled; neu *observance* y Saeson. Mae *ethos*—moesoldeb—yn arwyddo chwilio peth allan o'i loches, a hyny trwy deimlo, a chasglu, a phenderfynu y gwersi a godant o berthynas dyn â phethau eraill; pryd mae *threskeia*—crefydd—yn arwyddo sylwi, canfod, a gweled y gwersi yn cael eu gosod yn eglur ger bron. Gwyr pawb fod gweled yn rhagori llawer iawn ar ymbalfalu am yr hyn a geisir. Ymbalfalu am yr Arglwydd y mae y moesddysgydd, yn ngoleuni natur a rheswm; ond gweled Duw a phethau ysbrydol y mae y Cristion cywir yn ngoleuni ei grefydd. Felly nid yw moesoldeb yn cymeryd i mewn y syniad o ffydd, eithr yn gorwedd ar reswm; pryd y mae crefydd yn ymgodi uwchlaw rheswm, ar adenydd ffydd. Rheswm yn teimlo natur yw moesoldeb; a ffydd yn gweled Duw yw crefydd. Mae y sylwadau uchod yn dysgu y gwahaniaeth rhwng crefydd a moesoldeb, yn nghyda'r cysylltiad sydd rhyngddynt.

1. *Y gwahaniaeth sydd rhyngddynt.*—Mae sylfaen moesoldeb yn y berthynas sydd rhwng dyn a Duw, ac a'i greaduriaid; ond y mae sylfaen crefydd yn angen natur ysbrydol dyn, fel creadur addolgar. Rheol moesoldeb yw deddf natur foesol y dyn; ond rheol crefydd yw, y datguddiad dwyfol o ewyllys benarglwyddiaethol Duw. Safon moesoldeb yw, synwyr moesol dyn perffaith; eithr safon crefydd yw, gorchymynion Duw yn ei ewyllys ddatguddiedig. Deiliad moesoldeb yw, creadur rhesymol; eithr deiliad crefydd yw, y creadur newydd yn Nghrist Iesu. Gwobr moesoldeb yw, cymeradwyaeth cydwybod o weithrediadau moesol y dyn; ond gwobr crefydd yw, cymeradwyaeth Duw o berson y dyn, trwy ei ffydd yn Nghrist Iesu. Mae y gwahaniaeth i'w weled yn eglur wrth ystyried y pethau uchod.

2. *Y cysylltiad sydd rhyngddynt.*—Mae crefydd yn cymeradwyo moesoldeb fel rheol bywyd allanol dyn; yn dyrchafu dyn i diriogaeth y moesoldeb uchaf, ac yn dangos ei gogoniant trwy gydffurfio ymarferion ysbrydol y dyn â dyledswyddau bywyd cymdeithasol, tarddedig o rwymedigaethau moesoldeb. Yn y modd hwn, gwir grefydd yw egwyddor fywiol moesoldeb; a moesoldeb yw ffurf ddefnyddiol gwir grefydd ymarferol. Cariad crefydd yw gwreiddyn gwir foesoldeb; ffydd crefydd yw bywyd gwir foesoldeb; a sancteiddrwydd crefydd yw perffeithrwydd gwir foesoldeb. Nid all dyn fod yn dod i fyny a chymeriad gwir foesoldeb heb fod yn grefyddol; ac ni all dyn actio gwir grefydd heb fod yn byw yn ol rheol moesoldeb. Mae holl orchymynion moesol yr efengyl i'w gwneuthur trwy actio bywyd o sancteiddrwydd, er gogoniant crefydd, a phrawf o'i gwirionedd, trwy ei ffrwyth.

---

## GOFYNIAD.

---

*Mr. Gol.*—Gwelwch yn dda i'r hyn a ganlyn gael ymddangos yn eich misolyn clodwiw.

Yr wyf wedi darllen yr ysgrifau awdurol a thalentog yn y Wawr ar demtiad ein Harglwydd Iesu Grist. Carwn gael eglurhad gan yr awdwr eto, os gwel yn dda, ar yr hyn a ganlyn:

1. A oedd yr Arglwydd Iesu Grist

yn gwybod ei fod yn myned i gael ei demtio pan yr arweiniwyd ef gan yr Ysbryd i'r anialwch?

2. A oedd efe yn gwybod ar y cyntaf pwy oedd y temtiwr?

3. Ai fel dyn yn unig, neu mewn cysylltiad â'i Dduwdod, yr oedd yn cael ei demtio?

Atebiad buan i'r uchod a foddlona lawer heblaw—*Obed.*

---

## D. WILLIAMS, YR HYMNWR.

Yn *Seren Cymru*, am Mawrth 19, y mae y Parch. Evan Thomas, Casnewydd, yn ysgrifenu am y gwr uchod fel y canlyn:

Gwr o Landeilo Fawr, sir Gaerfyrddin, oedd Dafydd Williams, awdwr rhai o'r hymnau melusaf yn yr iaith Gymraeg. Ganwyd ef yn 1712, a bu farw yn Llanbedr-ar-y-fro, bro Morganwg, yn 1794, yn 82 mlwydd oed. Ryw amser (nis gwyddom pa bryd) symudodd Dafydd Williams i fyw i Llanbedr-ar-y-fro cyn Mehefin, 1777, ac yn y plwyf hwnw y bu byw hyd ddiwedd ei oes, mewn ffermdy o'r enw Trewhitting. Gwn yn dda pa le y mae y ty hwnw, a bum ynddo lawer gwaith. Yr oedd yr hymnwr y pryd hwnw yn ngwasanaeth y foneddiges Madam Bevan, sir Gaerfyrddin, fel ysgolfeistr un o'i hysgolion symudol Cymreig; ac yr oedd hefyd yn "gyngorwr," neu bregethwr lleol neu gynorthwyol gyda'r T. C. Ar yr 28ain o Fehefin, 1777, y pregethwyd y bregeth gyntaf gan y Bedyddwyr yn y plwyf a'r pentref uchod, ac mae'n debyg na phregethwyd pregeth erioed yn y lle gan unrhyw enwad Ymneillduedig arall cyn y dydd hwnw. Bu hyn ar ddydd Sadwrn. Y Sul canlynol, bedyddiwyd rhifedi o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw; ac eraill hefyd yr un modd yr wythnosau a'r misoedd canlynol, yn yr un flwyddyn. Yn hydref y flwyddyn hono corphorwyd y bedyddiedigion hyn yn eglwys. Eu rhifedi ar y pryd oedd 14; ac un o honynt oedd Dafydd Williams, hymnwr. Felly ymunodd ef â'r Bedyddwyr trwy fedydd, yn 1777, pan oedd yn 65 mlwydd oed, a bu yn Fedyddiwr, ac yn aelod a phregethwr cynorthwyol gyda'r Bedyddwyr am 17 o flynyddoedd, hyd ddydd ei farwolaeth, yn 1794. Mae bedd ein pêr ganiedydd i'w weled yn agos i un o ddrysau capel eglwys y Bedyddwyr, Croesyparc, Llanbedr-ar-y-fro, ac mae ar gareg ei fedd y frawddeg ganlynol:—"In memory of David Williams, who died 1st of October, 1794." Yr uchodion ydynt brif symudiadau bywyd un gyfansoddodd rai hymnau a genir tra fo canu hymnau yn yr iaith Gymraeg; ac nis gallwn ychwanegu ond ychydig neu ddim atynt.

Ond y gofyniad sydd heb ei ateb yw, Ai efe yw awdwr y penill, "Yn y dyfroedd mawr a'r tonau," &c.; ac os mai efe yw yr awdwr, pa bryd y cyfansoddodd ef—pan yn Fethodist, neu wedi dyfod yn Fedyddiwr? Dichon mai anhawdd cael sicrwydd ar hyn. Yn llyfr hymnau casgliad Harris, efe yw yr ail benill yn yr emyn 547, ond 'Anad.' sydd wrth yr emyn gan y casglwr; ac felly mae yn ymddangos ei fod ef mewn amheuaeth, er ei fod yn byw yn gymharol agos at ei ddyddiau. Mewn ysgrifen yn y *Beirniad*, gan Dr. Rees, Abertawe, a ymddangosodd flynyddau yn ol, priodolir yr emyn i Dafydd Williams; ond mae yn ymddangos mai ychydig iawn wyddai y Doctor Rees am Dafydd Williams, oblegid dywed yn ei ysgrif na wyddis pa le, na pha bryd y bu farw, nac yn mha fan y mae ei fedd. Os nad oedd Dr. Rees yn gwybod mwy am bethau eraill perthynol i'r hymnwr, nag a wyddai am amgylchiadau ei ddyddiau olaf, nid safadwy dim a ddywed yn ei gylch.

Eto yn y rhifyn dilynol o'r *Seren*, y mae un William Evans, Abergwaun, yn rhoddi y nodyn hwn am yr un person:

Y mae yn fy meddiant hen lyfr emynau o'r enw, "Gorfoledd yn Mhebyll Seion; y drydedd ran. A gyfansoddwyd gan Dafydd William, gynt Llandilo-Talybont, Sir Forganwg. Aberhonddu: Argraffwyd dros yr awdwr gan E. Evans. 1778." Ac yn yr ail emyn, y trydydd penill, y mae "Yn y

dyfroedd mawr a'r tonau." Yr oedd D. W. wedi bod yn athraw ysgol Gymreig dan Madam Bevan, ac wedi bod yn gyngorwr gyda y T. C.; ond gwelodd a theimlodd yr angenrheidrwydd o ufuddhau i fedydd; ac yr oedd yn un o'r aelodau pan gorphorwyd eglwys Llanbedr-ar-fro (yn awr Croesyparc), yn 1777. Yr oedd hyn cyn cyhoeddiad yr emyn "Yn y dyfroedd," &c. Parhaodd i gyngori a phregethu hyd ei farwolaeth, 1794. (Gwel Hanes y Bedyddwyr, gan David Jones, tu dal. 612, 613.) Os bydd hyn o linellau o ryw gymorth i chwi ysgrifeni ar Emynwyr Cymreig y Bedyddwyr, ac o ryw oleuni pellach i Cilmachallt, wele hwynt at eich gwasanaeth.

## LLWYDDIANT Y CENADAETHAU.

Gyda golwg ar y cwestiwn o lwyddiant y cenadaethau yn mhlith y paganiaid, mae y Parch. Dr. Murray Mitchell, mewn papyr a ddarllenwyd o flaen yr *Evangelical Alliance*, yn dangos fod mwy o rifedi wedi cael eu dychwelyd oddiwrth baganiaeth er y fl. 1800 nag yn yr un faint o flynyddau cyn y fl. 100! Fod, mewn ffaith, llwyddiant cenadaethau diweddar wedi bod bedair gwaith gymaint ag eiddo cenadaethau apostolaidd yn ystod yr un faint o amser.

## Y BEIBL YN GROEG.

Yn ol y mynegiad a wnaed yn ddiweddar mewn sylwadau golygyddol yn y *Christian World*, mae Gweinidog Addysg Cyhoeddus yn Athen, fel yr ymddengys, o hono ei hun, wedi gorchymyn i'r Testament Newydd gael ei ddefnyddio fel *text book* i'w ddarllen yn ysgolion y llywodraeth. Mae galwad am gopïau o'r Ysgrythyrau Sanctaidd mewn canlyniad wedi cynyddu, fel mae y Feibl Gymdeithas Americanaidd yn meddu o dan ystyriaeth y bwriad o ddwyn allan argraffiad neillduol i'r dyben o gyflenwi yr alwad.

## SECTAU CRISTIONOGOL.

Mae yr holl sectau Cristionogol yn nghyd yn cynwys aelodaeth o oddeutu 330,000,000, tra y mae addolwyr paganaidd yn rhifo 1,000,000,000. Mae gan y Buddhiaid yn unig 340,000,000. Mae yr eglwys Babyddol yn meddu 195,000,000 o ddilynwyr, a'r holl sectau Protestanaidd yn nghyd yn cynwys ond 68,139,000.

## HAELIONI CREFYDDOL MAWR.

Cyrhaedda yr holl gyfraniadau a chymunroddau at Gymdeithas Genadol y Bedyddwyr yn y wlad hon, o Ebrill 1, 1879 hyd Mawrth 1, 1880, y swm mawr o $96,042.10. Mae yr haelioni crefyddol hwn yn arwyddo yn dda, ac yn llefaru yn uchel am rym, cyfoeth, sel, a chrefyddolder yr enwad Bedyddiedig yn America.

## "PRACTISIO" ERBYN YR EISTEDDFOD."

Ysgrifena brawd atom o Pennsylvania fel y canlyn:

"Mae yn ddrwg iawn genyf eich hysbysu fod pethau yn cael eu harfer ar y Sabbothau yn y cymydogaethau hyn yn bresenol, ag sydd yn peri mawr flinder i mi a llawer eraill. Yr ydwyf yn cyfeirio yn benaf at yr arferiad gwrthun ar nos Suliau, ar ol yr oedfaon, o *practisio* gan y cantorion erbyn yr Eisteddfod ddyfodol. Ystyriwyf hyn yn sarnu y Sabboth. Os fel hyn mae yr Eisteddfodau yn arwain, credwyf mai gwell heb yr un. Y peth nesaf fydd cadw yr Eisteddfodau ar y Sul.

## YMWELYDD AG AMERICA.

Mae y Parch. Benjamin Thomas, Narberth, D. C., yn bwriadu talu ymweliad ag America tuag Awst nesaf. Bwriada aros am oddeutu tri mis.

Bydd yn *treat* i'r eglwysi Cymreig i gael ei wasanaeth mewn ffordd o bregethu neu ddarlithio. Efe yw awdwr Cofiant Dafydd Evans, Ffynonhenry.

## YSGELERDER OFNADWY.

Cafodd 700 o ddynion, bechgyn, merched, genethod, offeiriaid a thramoriaid eu haberthu yn Mandalay, Burmah, yn ddiweddar, dros wellhad y brenin o'i afiechyd. Cawsant eu claddu yn fyw—nid eu llosgi, fel yr hysbyswyd unwaith. Y fath weithred ddychrynllyd! Pwy na weddiai "Deled dy deyrnas?" Y fath fendith fyddai i lywodraeth Prydain, yr hon sydd yn rhoddi terfyn ar arferion barbaraidd yn yr India, i estyn ei hawdurdod i derfynau y brenin anfad hwn yn Burmah. A welai rhyw ddyngarwr fai arni i wneyd hyny gyda brys?

## MAN-LEWYRCHIADAU Y *WAWR*.

—Synwyd ni y diwrnod o'r blaen wrth weled capel newydd i'r Bedyddwyr Cymreig, yn Mount Carmel, Pa., bron wedi ei orphen. Mesura 30 tr. o hyd, 23 tr. o led, a 12 tr. o uchder. Mae y frawdoliaeth fechan yno yn hynod ymdrechol yn y gwaith hwn, ac y maent yn benderfynol o gael eu capel yn rhydd o ddyled yn fuan. Teilyngant bob cefnogaeth.

—Ai tybed fod y Parch. Fred. Evans (Ednyfed), a'i deulu yn myned i aros i'r Hen Wlad? Dyna fel y mae son; ond y mae son arall ar led, sef fod yr eglwys yn Franklin yn cynyg iddo bum' mil o ddoleri os erys am flwyddyn arall, a'i fod yntau wedi cydsynio â'r cais. Amser a ddengys beth sydd wir.

—Glynceiriog, hen faes llafur Cynddelw, yw maes llafur presenol y Parch. Leyshon Roberts (gynt o Ashland).

—Deallwn fod y Parch. D. H. Jones, M. A., diweddar o Johnstown, Pa., yn hynod boblogaidd ar ei ymweliad â'r Hen Wlad. Wrth fod Cymru fel hyn yn cael ein pregethwyr, gwelwn fod y llanw yn troi yn ol.

—Mae y brawd Samuel Morgan wedi ail gychwyn yr achos yn Jermyn, Pa., eto, yn yr "*hen ysgubor*" hwnw. Mae yn rhaid iddo ef, yn mha le bynag y bydd, gael achos i'r Bedyddwyr, dros orfod myned i ysgubor i'w gynal. Pan yn y Gorllewin, cododd achos yn Coal Creek, Indiana; bu yn anffodus, torodd ei goes, ac aeth yr eglwys newydd i'r llawr; ond gyda bod ei aelod wedi gwella, yr oedd yr eglwys drachefn ar ei thraed.

—Lleihau y mae y frawdoliaeth yn Minersville, Pa., yn barhaus. Y mae'r brawd ffyddlawn John R. Hughes wedi symud gyda ei deulu oddi yno yn ddiweddar i Hyde Park. Byddai yn dda gweled y brodyr da sydd yn yr eglwys Seisonig yn ymaelodi yn yr hen eglwys yn ei gwendid.

—Gwasanaeth da a wnaeth y brodyr a'r cyfeillion yn Olyphant, Pa., wrth osod *fence* mor daclus o amgylch eu capel, &c. Dengys hyn weithgarwch a sel. Casglwyd dros $200 at y treulion. Da iawn, frodyr.

—"Beth oedd y testyn nos Sabboth, Mr. Bowen?" meddwn yn ddiweddar wrth hen weinidog parchus Olyphant, Pa. "Wel," meddai, "Profwch a gwelwch mor dda yw yr Arglwydd; gwyn eu byd pawb a ymddiriedant ynddo ef." Cwynai Mr. Bowen fod trallodion a helbulon yn rhwystr iddo gyda'r pregethu. Ond gwelir oddiwrth y testyn uchod yn mha le y mae ei adnoddau.

## CYWIRIAD.

Drwg genyf fod enw y brawd Thos. D. Evans, pregethwr cynorthwyol yn eglwys Mahanoy, perthynol i Gymanfa Bedyddwyr Dwyreinbarth Pa., wedi ei adael allan o Ystadegau y Gymanfa am y flwyddyn 1879. Y mae'r brawd yn barchus a gweithgar yn yr eglwys.—*J. P. Harris, Ysg. y Gymanfa.*

# Barddoniaeth.

## GALAREB

AR OL MR. HUGH T. JONES, STEUBEN, E. N.

Wedi teithio llwybrau'r anial,
Wedi ymladd brwydrau'r saint,
Wedi curo y gelynion,
Enill y drag'wyddol fraint—
Adref aeth yn anrhydeddus,
Yn ei wisg filwrol, lân,
I gael derbyn anllygredig
Goron bywyd gwlad y gân.

Hugh Jones ydoedd filwr ffyddlon,
O dan faner fawr y Groes;
I wasanaethu Duw a chrefydd,
Cysegredig oedd ei oes;
Dewr a gwrol yn ei ymdrech,
Ydoedd ef yn mhlaid y ffydd;
Ac angerddol oedd ei enaid
Dros y gwir i gael y dydd.

Mewn anialwch diffaith, erchyll,
Yn y coed a'r d'rysni mawr,
Tan afrifed anfanteision,
Trymion, bron a'i lethu i lawr,
Profodd fod ei Dduw a chrefydd
Wedi cael, er hyny 'i fryd,
Ac i'r arch dymunai babell,
Fel yn nghanol rhwystrau'r byd.

Trwy ymdrechu'n ngwyneb rhwystrau,
Lawer iawn, a chym'ryd poen,
Lle yn nghanol y diffaethwch
Barotodd i wraig yr Oen.
Agos at ei galon ydoedd
Y fan hono tra bu byw;
Mangre anwyl gan y nefoedd,
Er mor wael, wywedig, yw.

Yno ca'dd y pererinion
Lawer profiad nefol flas,
Wrth ymborthi ar guddiedig
Fanna pur, darpariaeth gras;
Llawer oedfa nad anghofiodd
Mo'ni'n nghanol twrf y byd,
Gafodd enaid Hugh Jones yno,
Ar ei daith i'r cartref clyd.

Wedi profi blas athrawiaeth
Myrdd melusach na'r dil mêl,
Buan daeth, oddiar ddirgelwch
Gair y llw, i godi'r sêl,
Ac adnabod grym cysuron
Hen gyfamod cadarn Ior,
Ffrydiau byw yn llifo allan
O gyflawnder dwyfol fôr.

Gras yr arfaeth ddigyfnewid,
Cariad y trag'wyddol Dad,
A haeddianau'r gwaed aberthol,
Gwerth yr iachawdwriaeth rad;
Gweithrediadau'r Ysbryd Dwyfol
Yn sancteiddio'r natur oll,
Ydoedd seiliau sicr ei obaith,
Na fydd neb o'r plant ar goll.

Dyma'r graig y pwysai 'i enaid
Arni, 'n holl dymestloedd llawr,
Ac ni fynai eto'i newid
Pan ar fin yr afon fawr;
Craig yr Oesoedd deimlai'n gadarn
Dan ei draed yn ngrym y dw'r,
Canai arni'n orfoleddus—
Iesu'n darian, nerth a thwr.

Hen bererin anwyl ydoedd,
Gerid gan y wlad i gyd;
Ar ei ol mae'r holl ardaloedd
Dan eu dagrau'n syn a mud;
Hen sefydlwr, cywir, gonest,
A chymydog, tyner, mwyn,
Wedi 'i golli o'r cyffiniau,
Dyna'r hiraeth sydd i'w ddwyn.

Dacw ef yn myned adref,
Tua thir ei wlad ei hun,
Wedi 'i ollwng o'r filwriaeth
Ar orchymyn Mab y dyn;
Hardd yw'r olwg welir arno,
Gwisg ei broffes sydd yn wen;
Fel gorchfygwr y derbynia
Goron ddysglaer ar ei ben.

Wrth ei hebrwng i orphwyso
Cuddio'i wedd dan briddlyd len,
Teimlid galar mawr a cholled
Ar ei ol trwy holl Steuben;
Remsen hefyd dan ei dagrau,
Syllai ar gerbydau'r bedd
Yn myn'd heibio, gan ei gludo
Ef i'r tawel wely hedd.

Mynwent Prospect geidw bellach
Ei ran farwol yn ei llawr,
Hyd y dydd y daw i'r golwg,
Ar bur ddelw'r Prynwr Mawr;
Am ei weddw a'i amddifaid,
Ior ofalo'n dirion iawn;
Ceir gorfoledd yn y boreu,
Sychir dagrau'r byr brydnawn.

*Ebrill, 1880.* CEFNI.

## MEDDYLIAU

MEWN EGLWYS GADEIRIOL.

[*Efelychiad.*]

Gadewais wres a thrafferth fawr y byd,
Y gor-fflach. y parddu, a'r twrf di-baid,
Y flinderus felin na orphwys fyth;
Tu fewn drws mawr *cathedral* sefyll wnes,
Gan dremio fyny ar y nenfwd sobr;
I mi y colofnau ymddangos wnaent
Fel pe un ffwdan nac un drafferth gas
Yn gallu'u cyffwrdd, neu yn meddu nerth

I'w symud hwy oddiwrth eu heddwch gwych;
Llachar dremiad yr holl fyd tu allan oll
Ni threiddiai yma, tyner oleu oedd,
Fel pe'r lle mewn dwfn fyfyr drwy y dydd
Am bynciau mwyaf mawr a sanctaidd nef,
Uwchlaw pob bychanion, cynen neu bech.
A 'nghalon pan yn llawn o boenau dwys
A blin gan rym helyntion bywyd dyn,
Waeddodd allan am gael taflu i ffwrdd
Y blinder, trallod, a phob gwaew erch,
Ac ar y llawr rhoi fyny'r ymdrech lem,
A pheidio codi mwy i boenau'r byd.
Wed'yn daeth ataf fel pe buasai lais
Yn dod allan o'r gwagder gwych uwchben,
A sisial wnai fel mewn peroriaeth fwyn,
A'n cwyd uwchlaw trallodion enaid oll:

O, galon flin! dan faich mor drwm,
O amryw ddrygau'r llawr,
A fyni di roi heibio mwy
Y gwaith a'r ymdrech fawr?

Na thybia bu dy boenau 'rioed
Am nad oedd nefol law
Yn d'arwain a'th amddiffyn di,
Trwy'r diffaith dir islaw.

Gwyr Duw dy drallod, gwyr dy faich,
Gwyr bob cyffyrddiad oll,
A faint y clwyfau'r drygau roes,
A'th boenau yn ddigoll.

Y lleiaf gur mesurwyd ef,
Ac yn dy gwpan roed,
Ond nid mewn dig, ond Duw a serch
A'i lleinw yn ddioed

Ni threfnodd ef i'r ddaear fod
Yn dawel orphwys fan,
'Nawr y gwaith sydd, gorphwysfa ddaw,
Os gwneli di dy ran.

I bob un o ddynion sydd
Mae ganddo briod waith,
Nid gan ryw chwyldro ddamwain ddall
Y trefnwyd dy holl daith.

Mesurwyd i bob enaid ran
O diroedd Duw yn gun,
O hwn rhaid iddo godi ffrwyth
Trwy rym ei law ei hun.

A fyni di swrth orwedd lawr,
A godde'n wyllt dy dir?
Os ofni'r wyt y taglyd chwyn,
Dywedaf, Brysia'n wir.

Yma plyg, lle nad oes ond hedd,
A myn dy yni'n ol,
Yna dos i'th waith 'r ail waith,
Ac na ddioga'n ffol.

Y chwyn tyn allan ar y ddae'r,
Sef twyll, drwg chwant, drwg nam,
Ymladd a'r 'stormydd ar dy ffordd,
Cystudd, a phech, a cham.

A chofia tra yn gwneyd dy waith
A'th egni oll bob dydd,
Ar gyfer pobl ein Duw 'r ol hyn,
Gorphwysfa'n aros sydd.

## FFOLINEB YR ARIANGARWR.

Fath lygredig a blysig bleser,
Yw ymson a threulio'n holl amser,
Er hela a dala y doler,
Ar ynys foel yr einioes fer—tra'n ffaith,
Ein holl obaith dry yn hyll wiber.

*Hyde Park.* DAFYDD DYFED.

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### PEDWAR O GENADON NEWYDD I INDIA.

Yn y flwyddyn 1798 daeth galwad taer o India am ragor o genadon, ac yn eu plith un oedd yn gallu argraffu. Yn ngwanwyn 1799 wele gan Dduw bedwar yn barod, sef Marshman a'i wraig, Grant a'i wraig, Brunsdon a'i wraig, a Mr. Ward; y diweddaf oedd yr argraffydd. Cyn cychwyn gorchymynwyd iddynt yn gaeth i gysegru eu talentau a'u llafur i'r genadaeth, wedi cyrhaedd India. Ceisiwyd ganddynt er pobpeth i beidio ymyraeth â phethau gwleidyddol, ac i fod yn ostyngedig i'r awdurdodau yno; ac ar yr un pryd i ddefnyddio pob moddion cyfreithlon er dwyn pawb yno o dan ddylanwad y gwirionedd. Y 25ain o Fai, 1799, wele hwy ar fwrdd y *Criterion*, ac yn cychwyn i'w taith bell. Cyrhaeddasant Serampore Hydref 13, yr un flwyddyn. Y Sabboth cyntaf wedi glanio ddygodd ofid mawr i galon yr holl frodyr. Wedi y gwasanaeth crefyddol yn y boreu cymerwyd Mr. Grant yn glaf iawn, a myned waeth waeth a wnaeth, a'r dydd Iau canlynol ehedodd ei enaid pur oddiar diroedd India i'r ardal lonydd. Cafodd gladdedigaeth anrhydeddus. Yr oedd y Llywodraethwr a'i deulu, a llawer o Ewropiaid yn ei angladd. Tach. 9, daeth Mr. Fountain atynt o Mudnabatty, a phriododd â Miss Tidd. Boneddiges oedd Miss Tidd a ddaeth o Loegr yr

un adeg a Marshman, Ward a Grant. Aeth Mr. Ward ar ymweliad â Dr. Carey. Yr amser hwnw gwnaeth y Dr. yr oll yn ei allu er cael y cenadon a'u teuluoedd i Malda, ond bu ei ymdrechion yn ofer. Y peth nesaf oedd penderfynu pa un ai gwell oedd iddo ef i symud atynt hwy. Teimlai Mr. Carey y buasai symud i Serampore yn gwneyd yr holl lafur yn Malda yn ofer, gan nad oedd ond ychydig o ffrwyth wedi ei gael hyd hyny. Beth bynag, wedi ystyriaeth ddifrifol o'r hyn fuasid yn golli yn Malda, a'r enillion yn Serampore, barnwyd mai symud oedd ddoethaf. Ar y 10fed o Ionawr, 1800, cyrhaeddodd Serampore. Wedi cyrhaedd, y peth cyntaf a wnaed oedd tynu allan gynllun wrth yr hwn y buasai yr holl deuluoedd i fyw. Penderfynwyd fod y cenadon i weddio a phregethu ar gylch; fod arolygydd yr achosion teuluaidd i gael ei newid bob dau fis; fod Mr. Carey i ofalu am y drysorfa a chist y cyfferi; Mr. Fountain yn llyfrgellydd; a phrydnawn pob Sadwrn i'w ddefnyddio i drefnu unrhyw achos a ddichon godi yn ystod yr wythnos, a chael arwyddion o'u cariad at eu gilydd; ac yn ddiweddaf, penderfynwyd nad oedd yr un o honynt i gymeryd ag unrhyw fath o fasnach er elw personol; ond fod yr oll o honynt i lafurio er llwyddiant y genadaeth. Prynasant ddarn o dir yn ymyl yr afon oedd yn rhedeg drwy Serampore, ac adeiladasant dy arno. Talodd hwn am dano ei hun mewn pedair blynedd.

Yr adeg hon yr oedd gan Mr. Carey yn barod gyfieithiad i'r Bengalaeg o'r Hen Destament a'r Newydd. Aeth i Calcutta i brynu llythyrenau, tra yr oedd Mr. Ward yn gosod y wasg i fyny. Derbyniwyd yn fuan lawer o enwau tanysgrifwyr at y Beibl, a derbyniwyd archebion i argraffu papyrau swyddol i'r llywodraeth, yr hyn fu yn gymorth mawr i'r cenadon er eu cynaliaeth.

Ofnid ar y cyntaf gan y Llywodraethwr fod dybenion politicaidd tu cefn i'r wasg oedd wedi ei chodi yn Serampore; ond nid hir y bu cyn derbyn argyhoeddiad i'r gwrthwyneb. Cychwynwyd y gwaith o argraffu gan Mr. Ward, ac ysgol ddyddiol gan Mr. a Mrs. Marshman yr un adeg. Ar yr 16eg o Fedi, 1800, daeth y llen gyntaf o'r Testament Newydd yn y Bengalaeg drwy y wasg. Argraffwyd dwy fil o gopiau, heblaw pum' cant o'r Efengyl yn ol Matthew.

Yn fuan wedi i'r argraffiad hwn gael ei wasgaru yn mhlith y bobl, a'r ysgol gael ei hagor, yn yr hon yr oedd 40 o blant yn cael eu dysgu, daeth cynwrf a chyffro i blith yr esgyrn. Yr oedd gwr Indiaidd, o'r enw Gokool, yn nghyda dau o feibion Mr. Carey, yn amlwg o dan argyhoeddiad. Llonwyd eu calonau oll yn fawr gan yr arwyddion hyn. Ond wele gwmwl du eto yn ymgasglu. Mae y brawd da, Mr. Fountain, yn sydyn yn cael ei daro yn sal. Daeth ychydig yn well, ac aeth am dro i Dinagapore; ond er pob caredigrwydd a medrusrwydd meddygol yr oedd yn amlwg y buasai yn fuan yn myned i fwynhau ei wobr. Arosai y pryd hwn yn nhy Mr. Fernandez, o'r lle y canodd yn iach i ofidiau yr anial, Awst 20, 1800. Ychydig cyn ei farw ysgrifenodd y fedd-argraff ganlynol iddo ei hun: "John Fountain, cenadwr i'r India; 33 mlwydd oed. Pechadur wedi ei achub trwy ras."

Hydref yr un flwyddyn dechreuodd Marshman a Ward bregethu. Aeth Mr. Felix Carey allan gyda'r olaf, ac yr oedd dylanwad mawr yn cydfyned â'u hanerchiadau. Yr adeg hon daeth dynes ag oedd yn glaf o Calcutta i Serampore, a buan dechreuodd ymwasgu at y cenadon. Mewn cwrdd, yn yr hwn yr oedd Mr. Marshman yn anerch y gwyddfodolion ar yr Iawn fel sail derbyniad gyda Duw, yr oedd yn amlwg wrth ei hymddangosiad fod y geiriau yn ddyfroedd oerion i'w henaid sychedig hi. Terfynwyd y cwrdd trwy ganu yr emyn melus hwnw yn Seisoneg, "Deuwch bechaduriaid, deuwch," &c. Dychwelodd i Calcutta, cyn rhoddi ei hun mewn modd cyhoeddus i'r Arglwydd, a buan y bu farw; ond coleddai y cenadon obaith iddi ymadael â'i phwys ar ei Hanwylyd. Gwelodd Mr. Marshman ei gwr hi ar ol hyn, yr hwn trwy hanes marwolaeth ei wraig, a

gryfhaodd ei obaith. Yr oedd marwolaeth y wraig wedi deffroi ei feddwl ef. Trwy ymdrech Marshman dychwelwyd ef i'r ffydd, a bedyddiwyd ef yn enw yr Arglwydd Iesu. Enw y boneddwr oedd Rolt. Priododd yr ail waith â gweddw Mr. Brunsdon. Tua diwedd Hydref daeth Mr. Thomas o Bhurboorn i Serampore. Yr oedd ei enaid mor llawn o sel dros ei Arglwydd nes creu o hono adfywiad mawr, trwy ei anerchiadau a'i weddiau, yn ysbrydoedd ei gyd-weision oll. Cychwynwyd cyfarfod gweddi wythnosol ar ei gais, i ddymuno yn neillduol am lwydd ar y genadaeth yn ei holl agweddion. Bu hyn yn foddion i'w dwyn oll i fwy o gydymdeimlad fyth â'u gwaith. Yr oeddynt gyda Duw nos a dydd yn erfyn arno dywallt ei Ysbryd yn helaethach arnynt. Derbyniasant atebiad i'w gweddiau. Dywed Mr. Thomas yn ei ddydd-lyfr, "ei bod oll wedi derbyn yr eneiniad sanctaidd." Yr oedd Seion yn clafychu, y bobl yn llifo ati i ymofyn copiau o Efengyl Matthew ag oedd ar law, a phob arwyddion fod meibion a merched lawer i gael eu geni iddi yn fuan. Yr oedd saith mlynedd wedi myned heibio, ond dim un pagan wedi ei ddychwelyd. Beth bynag, ymddengys yn awr fod y wawr ar dori; mae y tywyllwch ag oedd wedi bod drwy yr oesau yn gordoi y wlad yn dechreu cael ei ymlid; mae cyffro byw yn mrig y morwydd, a swn tyrfa fawr yn agoshau. Yn y nesaf bydd genym air am Kristno Paul, y pagan dychweledig cyntaf.

---

AFFRICA.—Yr ydym wedi bod yn edrych gyda phryder mawr ar ran o'r wlad hon yn ddiweddar. Gwyr rhai o ddarllenwyr y WAWR, os nad yr oll, fod brenin rhai llwythau sydd yn trigo i'r gogledd o Lyn Victoria Nyanza, trwy y teithiwr byd-enwog Stanley, wedi gyru i Loegr am genadon i ddysgu ei bobl. Enw y brenin yw Mtesa. Wedi i'r cais ddod, cafwyd saith o wyr da eu gair yn foddlon i ymgymeryd â'r gwaith. Wedi taith o gryn drafferth dros y môr i Zanzibar, ac oddi yno dros y tir i mewn i'r wlad, cyrhaeddasant Mtesa a'i bobl yn ddiogel, a chawsant roesawiad mawr. Ymosodwyd ar y gwaith yn union, ac yr oedd gradd helaeth o lwyddiant yn dilyn eu hymdrechion. Credid yn y misoedd cyntaf y buasid yn cael yno gymydogaeth gref o Gristionogion mewn amser byr. Ond, Chwefror, 1879, daeth yno Jesuitiaid, y rhai a dderbyniwyd yn garedig gan y cenadon. Dywed Pere Lourdel, un o honynt, y "buasent wedi gweled caledi mawr, ac eisiau bara, oni b'ai caredigrwydd y cenadon." Ond anghofiasant y caredigrwydd, a gwnaethant, fel arfer, bob ymdrech i gynhyrfu Mtesa yn erbyn y cenadon. Perswadient y brenin mai dyben y cenadon oedd ei fradychu i'r gallu Aiphtaidd. Naturiol iawn oedd i ddyn anwybodus fel efe gredu peth fel hyn. Yn herwydd y chwedl gelwyddog hon o'u heiddo, gorfodwyd rhai o'r cenadon i ymadael, ond safodd tri yno i weled y diwedd, gan nad beth fuasai y canlyniadau. Ysgrifenodd y tri hyn adref i ddweyd wrth y brodyr yn Lloegr am beidio petruso dim, na fuasent hwy yn rhoddi yr achos i fyny tra buasai darn o bren yn aros iddynt nofio arno. Beth bynag mae yr hwn a ddywedodd na fuasai yn rhoddi ei ogoniant i arall, na'i fawl i ddelwau cerfiedig, wedi glynu gyda'i weision. Mae y brenin yn awr wedi dod i weled yn wahanol, mae y cenadon oll wedi dychwelyd, a'r gwasanaeth crefyddol yn cael ei ddwyn yn mlaen yn y palas breninol fel cynt.

TAVOY, BURMAH.—Tavoy yw yr orsaf genadol henaf yn mhlith y Kareniaid. Yn Tavoy y dechreuodd yr enwog Boardman ar ei lafur cenadol yn y fl. 1828. Yma hefyd y bedyddiwyd y Burmese cyntaf, Ko-Thah-Byoo. Cymerodd hyny le ar yr 16eg o Fai, yr un flwyddyn ag yr aeth Boardman yno. Daeth Ko-Tha-Byoo yn bregethwr da ac yn weithiwr difefl yn ngwinllan ei Arglwydd. Nid llai ei sel lawer oedd San Quale, yr hwn a ddychwelwyd trwy offerynoliaeth Ko-Tha-Byoo. Bu ef yn ffyddlon dros ei Feistr, mewn amser ac allan o amser. Y 3ydd o Ionawr diweddaf y bu ef farw. Cafodd gys-

tudd trwm a maith. Bu yn analluog i fyned o'i dy am amryw flwyddi cyn ei farw. Mae Tavoy wedi ei hesgeuluso yn fawr yn ddiweddar. Anhawdd yw cael un cenadwr i aros yno yn hwy na dwy neu dair blynedd, a'r canlyniad yw mae yr achos yn gwanychu. Hyn yn ddiamheu sydd yn cyfrif am y ffaith dor-calonus fod mwy o wrthgilwyr i'w cael heddyw yn Tavoy nag sydd o ddysgyblion. Beth bynag, nid yw y lle yn hollol ddiobaith. Er 1877 mae Mr. Marrow a'i wraig yn llafurio yn y lle; a'r flwyddyn ddiweddaf aeth chwaer dda o'r enw Ella Miller i'w cynorthwyo. Yn awr gwisga pethau yno agwedd arall—yr hen faes toreithiog gynt yn dechreu blodeuo eto. Mae yn y cylch ddwy-ar-hugain o eglwysi, a dros fil o aelodau ynddynt oll. Mae llawer o'r rhai hyn heb weinidogion, eraill a gweinidogion brodorol ganddynt, llawer o'r rhai sydd yn hen ac yn anghymwys, o herwydd henaint, i weithio yn galed. Beth bynag, mae to o ddynion ieuainc rhagorol yn codi yno yn bresenol, a rhai o honynt a'u gwynebau ar y weinidogaeth. Adeiladwyd ysgoldy rhagorol yno yn ddiweddar, a thalodd y brodorion Cristionogol am dano bron i gyd. Lle mynyddig yw Tavoy braidd i gyd, ac mae y bobl ar y cyffredin yn iselach eu hamgylchiadau na rhanau eraill o Burmah.

BRIWSION CENADOL.

—Mae derbyniadau y Bwrdd Cenadol Americanaidd wedi bod yn fwy o 20 y cant yn ystod y tri mis cyntaf o'r flwyddyn hon nag yw wedi bod er ys tair blynedd o'r blaen. Gobeithia y Bwrdd allu dwyn y flwyddyn arianol sydd yn cau gyda diwedd Ebrill, i derfyniad heb ddim dyled ar eu llyfrau. Hyderwn na fydd y brodyr da sydd ar y Bwrdd i gael eu siomi.

—Yr 20fed o Ragfyr diweddaf cawn fod *Joss* newydd, neu deml, wedi ei chysegru gan y Chineaid yn San Francisco. Nid yw ein clod fel Cristionogion yn fawr, ein bod yn ymdrechu tynu i lawr demlau y paganiaid yn India, China, a manau eraill, a thrachefn yn ddifater pan godir hwy yn ymyl ein drysau. Duw baro mai hon fydd y *joss* ddiweddaf a gysegrir byth yn America, a phob man arall hefyd.

—Mae yn ddyddiau blin yn Assam o herwydd y *Naga rebellion*. Mae amryw o'r cenadon Bedyddiedig wedi gorfod ymadael â'u gorsafoedd.

—Bu yn ddiwrnod mawr yn Calcutta yn ddiweddar. Yr oedd yr hyn a adnabyddir wrth yr enw *Bengali Conference* yn cwrdd yno. Y prydnawn ffurfiwyd gorymdaith o wyr, gwragedd a phlant, ar y brif heol yno; ac wrth orymdeithio drwy yr heolydd, canent oll, "Buddugoliaeth lawn i'r Iesu."

—Aeth un o genadon y Bedyddwyr yn ddiweddar at ganlynwr i'r gau brophwyd, yn Twrci, a chynygiodd iddo gyfrol o Air Duw. Dywedodd wrth y cenadwr, "Yr oedd genyf fi unwaith un o'r llyfrau bach hyn, ond dygodd rhywun ef oddiwrthyf o'r ty; buasai yn llawer gwell genyf iddynt fyned a'r ty na'r llyfr." Diolchodd yn fawr am un yn ei le.

—Mae penaeth un o'r llwythau yn Ujiji, Affrica, yn ddiweddar wedi anfon dymuniad taer am genadon i ddyfod yno a'i ddysgu ef a'i bobl yn ffyrdd gwirionedd. Y peth nesaf gawn ei glywed yw, fod rhyw frawd da ar y ffordd tuag yno. Credwn na cha alw yn ofer. Fe gyfyd Duw ddynion i lanw y maes hwn fel pob maes arall. Y pwnc mawr heddyw yw, nid i ba le mae danfon cenadon, ond pa le mae eu danfon i wneyd mwyaf o ddaioni.

—Mae ein sylw wedi ei alw unwaith eto at Teloogoo. Dywed y brawd Clough mewn llythyr yn ddiweddar, ei fod ef wedi bedyddio, er dechreu y flwyddyn, 508, a bod lluoedd lawer eto yn aros am yr un fraint. Pan yn darllen am y miloedd a fedyddiwyd yn Teloogoo, amser yn ol, ofnem na fuasent yn glynu yn eu proffes; ond erbyn heddyw cawn nad oes eisiau ofni hyny. Er bedyddiad y dyrfa fawr, nid yw Mr. Clough yn gwybod ond am ddau yn eu plith ag sydd wedi dwyn gwarth ar yr

enw rhagorol a gymerasant arnynt. Duw o'i ras alwo y rhai hyny yn ol i'w gorlan.

## HANESION CARTREFOL.

CYMANFA OHIO A GORLLEWINBARTH PENNSYLVANIA.

Cynelir y Gymanfa uchod eleni yn Pittsburgh, Pa., Mai 29, 30, 1880. Y gynadledd i ddechreu am 10 o'r gloch y dydd cyntaf. Taer ddymunir ar weinidogion y cylch a'r cenadon i fod yno yn brydlon. Dysgwylir presenoldeb dau o weinidogion y tu allan i gylch y Gymanfa—y Parch. W. M. Evans, Cattaraugus, N. Y., ac un o Dalaeth Pennsylvania—ni wyddis eto i sicrwydd pwy fydd.

THOS. THOMAS, *Ysgr.*

*Sharon, Pa., Ebrill* 22, 1880.

AT EGLWYSI BEDYDDWYR CYMANFA OHIO A GORLLEWINBARTH PA.

*Anwyl Frodyr yn yr Arglwydd:*

Hysbyswyd chwi drwy y WAWR, fod yr ysgrifenydd a'r Parch. Samuel Job, Cleveland, wedi eu penodi yn y Cyfarfod Chwarterol diweddaf, yn Hubbard, i wneyd ymchwiliad i'r modd a'r gost o gael breinlen i sicrhau meddianau yr enwad yn nghylch y Gymanfa hon. Gwnaethom ymchwiliad, a deallwn nad yw y drafferth a'r draul o gyrhaedd yr amcan ond y peth nesaf i ddim.

Yn ol y drefn bresenol yn ein plith, mae pob eglwys yn dal ei meddianau, (yr addoldy a'r lot,) ei hunan. Mae i bob eglwys unigol ei hymddiriedolwyr. Gall unrhyw eglwys fyned o'r Gymanfa, i ymuno â Chymanfa arall, Seisnig neu Gymreig, a'i meddianau gyda hi. Yr ydym felly, fel Cymanfa, yn agored i golledion dirfawr. Yr hyn gynygir ato yn y cynllun newydd, os mabwysiedir ef, yw, cael meddianau pob eglwysi unigol yn feddiant i'r Gymanfa. Yn lle ymddiriedolwyr yn yr eglwysi unigol, bydd ymddiriedolwyr dros holl feddianau y Gymanfa. Bydd yn rhaid i'r holl eglwysi roddi eu gweithredoedd fyny i'r ymddiriedolwyr newydd. Yn ol y cynllun hwn, pan fyddo eglwys yn marw, yn ymuno â Chymanfa arall, neu yn troi at y Saeson, bydd y *property* yn aros yn meddiant y Gymanfa.

Yn awr, frodyr, mae yn hollol yn eich dwylaw chwi o berthynas i'r hen arferiad a'r cynllun newydd. Ystyriwch y pwnc. Peidiwch a gwneyd dim yn fyrbwyll. Daw'r pwnc hwn dan sylw yn Nghymanfa Pittsburgh. Bydded i'r holl eglwysi hyfforddi eu cynrychiolwyr pa fodd i weithredu, neu nodi eu barn a'u hewyllys yn eu llythyrau. Cofied yr eglwysi am hyn. Yr eiddoch, yn Nghrist,

*Coalburg.* CHARLES JONES.

CYMANFA GERDDOROL Y BEDYDDWYR YN HYDE PARK, PA.

Cynaliwyd yr wyl hon ar y 25ain o Mawrth. Dechreuwyd am 10 o'r gloch, ac agorwyd y cyfarfod drwy weddi gan y Parch. E. Bombay Edwards, a chanwyd amryw dônau yn foddhaol iawn. Treuliwyd tuag awr o amser i drefnu materion erbyn y Gymanfa nesaf.

Neillduwyd y brodyr canlynol yn Bwyllgor er ystyried pa lyfr a fabwysiadir genym fel safon tônau i'w hymarferyd yn y dyfodol; sef, William E. Evans, Hyde Park; Ll. Roberts, Providence; D. T. Davies, Taylorville; D. F. Davies, Nanticoke; Evan Rowlands, Wilkesbarre; Henry P. Davies, Kingston; David Davies, Plymouth; David Griffiths, Olyphant, a William R. Williams, Pittston.

Yr oedd yr addoldy yn orlawn yn nghyfarfod 2 o'r gloch. Wedi gofyn bendith y Nef ar y Gymanfa gan y brawd E. Edwards, Wilkesbarre, canwyd saith o'r tônau er boddlonrwydd cyffredinol, a chafwyd engraifft o ganu mawl i'r Iesu yn yr Hindwaeg gan y Parch. E. Bombay Edwards, y gynulleidfa yn uno yn y gydgan. Derbyniwyd mynegiad y pwyllgor ar y Llyfr Tônau, yr hwn, gyda'r gwelliant, a fabwysiadwyd; sef,

Penderfynwyd, Ein bod yn mabwysiadu Llyfr Tônau Harris, Jones a How-

ells, fel safon cerddoriaeth yr Undeb, heb gyfyngu ein hunain yn gaeth, ond at ein rhyddid i ddewis tônau o lyfrau eraill sydd ar y maes.

2. Cymeradwywn y llyfr sydd genym yn awr, casgliad Ieuan Gwyllt, i'r pwyllgor i ddethol tônau erbyn yr wyl nesaf.

Neillduwyd y brodyr canlynol yn swyddogion y Gymanfa nesaf, a gynelir yn Wilkesbarre.

*Llywydd*—Y Parch. E. Edwards.

*Ysgrifenydd*—John Jenkins, Wilkesbarre.

*Trysorydd*—Jacob W. Evans, Pittston.

Penderfynwyd, Fod pob eglwys yn yr Undeb i neillduo cynrychiolwyr, er ffurfio y Pwyllgor nesaf, a danfon enw y cyfryw gynrychiolwr i'r Llywydd, er ei alluogi i alw cyfarfod y Pwyllgor, ar yr amser, ac yn y lle, mwyaf cyfleus.

Am 6, yr oedd y cynulliad yn lluosog iawn, y canu yn wefreiddiol, a'r *requiem* yn swynol dros ben. Cyfarchwyd y Gymanfa ag areithiau brwdfrydig ar destynau pwrpasol gan y brodyr canlynol: Araeth agoriadol gan y Llywydd, y Parch. J. P. Harris, (Ieuan Ddu), Providence; William F. Davies, Nanticoke; E. Edwards, Wilkesbarre; H. P. Davies, Kingston; B. Hughes, Hyde Park; Ebenezer Lloyd, Edward D. Jones, Providence, a Thos. D. Davies, Hyde Park. Yr oedd yr holl gorau dan arweiniad Wm. E. Evans, Hyde Park. Yr oedd corau Providence a Taylorville yn eu llawn hwyliau; Olyphant a Pittston wedi troi allan yn rhagorol, a chynrychiolaeth cystal ag a allesid ddysgwyl o'r holl eglwysi. Mae'r mudiad hwn wedi bywiogi caniadaeth y cysegr yn fawr yn ein plith; wedi dihuno ein cantorion, a'u codi at eu gwaith. Bydd parhad o'r ymdrech yn fendith i'r eglwysi. Ymofyner â'r Parch. R. Edwards, Pottsville, parth cael y Llyfrau Tônau o'r Hen Wlad.

Yn llaw y Trysorydd presenol, Mr. J. W. Jones, $3.35, heblaw y casgliad a gymerwyd i fyny yn Hyde Park ar ddydd yr wyl.

LLEWELYN ROBERTS, *Ysgr.*

CAMPBELL, MINN.

Yr ydym yn hoffi y wlad yn well na'n dysgwyliad; yr oeddym yn ofni y gauaf yma, ond yn awr yr ydym wedi treulio y gauaf yma, ac os yw pobl yn dyweyd y gwir, y gauaf caletaf a gafwyd yma er's deuddeng mlynedd ydoedd. Ni theimlasom can lleied oddiwrth yr oerfel yr un gauaf yn America. Nid ydym am i chwi gredu nad ydyw yn oer yma, na, y mae yn oer, ond mae y gwynt a'r eira mor sych, os bydd eira, fel nad oes dim yn *damp* o'n cwmpas, a thrwy hyny nid ydym yn teimlo yr oerfel. Mae yn hynod o iach yma; gallwn ddyweyd hyny trwy brofiad. Gwelsom amryw yn dyfod yma o Wisconsin a manau eraill, a golwg afiach arnynt; ond wedi bod yma am ychydig maent yn gwella.

Yr oeddynt wedi dechreu hau gwenith y 6ed o'r mis hwn (Ebrill) y flwyddyn ddiweddaf. Cafwyd cnwd da ar y *breaking* yn yr ardal hon, sef 22½ o fwsieli i'r erw.

Ni welais yr un Cymro er pan ydwyf yma, ond gwelais haner un; ei enw yw Thomas Roberts. Yr oedd ei dad yn Fedyddiwr, ac yn aelod yn eglwys Remsen, N. Y. Mae ef yn byw bymtheng milldir i'r dwyrain oddiwrthym ni. Nid oes yma yr un eglwys eto. Mae yma o ddeg i bymtheg o frodyr a chwiorydd oeddynt yn aelodau gyda ni cyn dod yma. Hoffem yn fawr weled rhyw frawd yn dod yma i gymeryd tir, a phregethu i ni. Nid ydyw ein hamgylchiadau yn bresenol y fath fel y gallwn roddi dim cynorthwy.—*Thomas W. Lewis.*

---

CYFEIRIAD

Presenol y Parch. D. T. Phillips, diweddar o Parsons, Pa., yw Port Chester, N. Y.

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Hubbard, O., gan y Parch. Thomas M. Mathews: Medi 21, tair; Hydref 17, dwy; Ebrill 18, un—ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Mae teimlad da yn ffynu yn yr eglwys.—*Thos. E. Parry.*

## *PRIODWYD—*

Mawrth 17, 1880, yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., Mr. John R. Tudor a Miss Gweni A. Davies, merch y Parch. T. W. Davies, (A.) Llwyddiant i'r pâr ieuanc.

Mawrth 25, 1880, yn nhy rhieni y briodasferch, Dawn, Mo., gan y Parch. R. M. Richardson, Mr. Morgan I. Hughes a Miss Margaret E. James. Dymunwn nawdd y nefoedd i'r gwr a'r wraig ieuainc holl ddyddiau eu bywyd.

Rhagfyr 23, 1879, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., yn nhy Mr. John W. Williams, ewythr y briodasferch, gan y Parch. W. M. Evans, Mr. John L. Williams a Miss Nellie S. Williams—y ddau o'r lle uchod.

Rhagfyr 23, 1879, yn Centreville, Allegany Co., N. Y., yn nhy Mr. J. T. Evans a'i briod, rhieni y briodasferch, gan y Parch. W. M. Evans, Mr. Giles H. Bean a Miss Libbie M. Evans—y ddau o Centreville.

Ionawr 7, 1880, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. John T. James a Miss Maggie E. Owens—y ddau o Fairview, Allegany Co., N. Y.

Mawrth 18, 1880, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Samuel Owens a Miss Martha Rees—y ddau o'r lle uchod.

Boed bendith y Nef i'w dilyn oll.

---

## *BU FARW—*

### MR. THOMAS L. RICHARDS.

Yn Wigan, ger Mahanoy City, Chwef. 1, 1880, yn 38 mlwydd a dau fis oed, Mr. Thomas L. Richards, goruchwyliwr gwaith glo perthynol i'r P. & R. Co., yn y lle uchod.

Mab ydoedd y trancedig i Lewis Richards, o'r lle hwn, yr hwn sydd yn ddyn parchus a chymeradwy gan gylch eang o gydnabyddiaeth, ac yn ddiacon ffyddlon yn eglwys y Bedyddwyr er ys amryw flynyddoedd yma. Ganwyd Thomas yn Cwmcelyn, Blaenafon, yn y flwyddyn 1841, a daeth y teulu i'r wlad hon yn 1849, i le o'r enw Lowberry; ond yn fuan aethant oddiyno, ac ymsefydlasant yn Summit Hill. Priododd Thomas yno pan yn 19 oed; a phan dorodd y rhyfel allan, yn 1861, cawd ef yn un o'r bechgyn dewrion hyny a aethant i'r maes i ddarostwng y gwrthryfel. Gwasanaethodd ei wlad fabwysiedig am yn agos i bedair blynedd, mewn modd ag oedd yn adlewyrchu clod ar ei berson. Yn fuan wedi dychwelyd o'r rhyfel bu farw ei wraig, gan adael bachgenyn bychan iddo i ofalu am dano. Ond nid hir y bu, wedi dod i'r lle hwn, cyn cael, wedi hyny, ymgeledd gymwys. Bu yn briod â'r wraig hon tua deng mlynedd; a rhwng y cyfan yr oedd ganddynt, pan fu efe farw, chwech o blant. Cafodd y wraig a'r plant golled fawr ar ei ol, o herwydd yr oedd yn wr serchog a mwyn, ac yn dad tyner a gofalus o'i deulu.

Yr oedd ei farwolaeth yn hollol annysgwyliadwy; daeth adref o'i waith nos Wener, fel arfer, heb fawr o flinder na phoen; ond cyn iddo orphen ei swper cymerwyd ef gan y poenau mwyaf dirdynol yn ei goluddion; ac er galw ato amryw feddygon medrus, eto nid oedd yn eu gallu i wneyd lles iddo; felly bu farw boreu Sabboth, Chwef. 1. Felly gorphenodd ein cyfaill hoff Thomas Richards ei yrfa ddaearol, heb yn wybod ond i gylch bychan o'i berthynasau a'i gyfeillion.

Yr oedd yr ymadawedig yn un a berchid ac a gerid yn fawr gan gylch helaeth, yn weithwyr ac eraill. Dywedodd un tro, ychydig ddyddiau cyn ei farw, ei fod yn credu nad oedd ganddo ond dau elyn, ac mai Gwyddelod oedd y rhai hyny. Nid llawer all ddweyd fel yna. A phan fo goruchwyliwr neu bregethwr heb ond dau wrthwynebwr, gall gyfrif ei hun yn fod ffodus iawn.

Felly y profwyd pethau ar ddydd y gladdedigaeth; yr oedd yno hiraeth mawr yn cael ei arddangos gan bawb o'r dyrfa luosog, gwynebau glybion i'w gweled yn mhob cyfeiriad; yr oedd y dagrau yn llefaru am serch a pharch ei gyfoedion tuag ato. Nid yw yn rhyfedd am hyn chwaith, o herwydd, fel goruchwyliwr, yr oedd yn wr canol yn ystyr ddymunol y gair—rhwng y meistr a'r gweithiwr. Nid oedd yn esgeuluso eu rhwymedigaeth i'r naill na'r llall. Dyn cyfiawn ydoedd, yn meddu ar gydwybod effro. Tystiolaeth y gweithwyr yn gyffredinol yma yw, mai colled fawr oedd ei golli.

Claddwyd y rhan farwol o hono ar y dydd Mawrth canlynol yn mynwent yr Odyddion yn Tamaqua Cafodd gladdedigaeth dywysogaidd, amryw gymdeithasau, y Grand Army a'r seindorf yn blaenori y cyfan, ac yn canu darnau pwrpasol i'r amgylchiad. Heddwch i'w lwch; a'r Arglwydd ofalo am y weddw alarus a'r plant, ac a ddyddano ei dad oedranus, a'r perthynasau oll. Gweinyddwyd yn y capel gan yr ysgrifenydd, ac ar lan y bedd gan Thos. D. Evans a'r cymdeithasau.

W. D. THOMAS.

### MISS JOSEPHINE HUMPHREYS.

Yn Marcy, ger Utica, N. Y., Mawrth 8fed, 1880, yn 27 mlwydd oed, Josephine, merch John Humphreys a'i briod. Y dydd Iau canlynol daeth lluaws o'r cymydogion a chyfeillion yr ymadawedig yn nghyd i hebrwng y gweddillion i fynwent Ffordd yr Afon i'w daearu. Cyn claddu pregethwyd yn Saesonaeg ar yr achlysur, gan y Parch. J. Edred Jones, Utica, yn addoldy y Methodistiaid Esgobawl. Mae y teulu crefyddol a charedig hwn wedi dyoddef yn chwerw trwy ymweliadau angau yn y blynyddau diweddaf. Hon oedd y dryd-

edd ferch iddynt gladdu, mewn ychydig flynyddau, a'r tair wedi tyfu i fyny i oedran gwragedd. Nis gallem lai na theimlo i'r byw, ddydd yr angladd, wrth weled beddau y tair chwaer, ochr yn ochr, yn yr un fynwent, a'r rhieni galarus wedi eu llethu o tan y ddyrnod olaf hon. Dwy flynedd i Rhagfyr diweddaf cladd asant ferch anwyl o'r blaen, a meddyliem, y pryd hwnw, fod yr ergyd yn llawn cymaint ag a allasai y ddau hen bererin ddal oddi tano. Ond nis gwyddom ein nerth nes ein profi. Ac er colli hono, ymgysurent yn y meddwl fod ganddynt un ferch dyner, garedig, a gofalus, drachefn, i bwyso arni mewn afiechyd, henaint a methiant; ac yr oedd ei chryfder, ei hiechyd ymddangosiadol, a'i hysbryd mwyn a charuaidd, yn rhoddi sail i'r gobeithion hyny. Ond mor fuan y drylliwyd eu holl gynlluniau, ac y siomwyd eu dysgwyliadau gonest! Yn awr, dyma hithau eto wedi marw! O, mor dwyllodrus yw bywyd ar y goreu! Josie Humphreys yn ei bedd!

Y mae angau cynar Josephine yn rhybudd, ac yn wers bwysig i holl ieuenctyd yr ardal. Tarana yr angau am barodrwydd. Er fod yr ymadawedig yn ferch o gymeriad moesol dilychwin, ac yn arfer gwrando yn gyson a difrifol ar weinidogaeth yr ysgrifenydd, eto ni wnaeth broffes gyhoeddus o Iesu Grist. Yr oedd wedi llwyr fwriadu gwneyd hyny, yn neillduol oddiar farwolaeth ei chwaer olaf, ond gohirio a wnaeth, nes iddi fyned yn rhy ddiweddar. Ymaflodd angeu ynddi yn nghanol ei chryfder, a chadwodd ei afael nes myned a hi yn garcharor i'w fedd. Ei gofid mwyaf yn ei chystudd oedd, iddi fyw yn ddibroffes. Gobeithiai o hyd am ddigon o adferiad i'w galluogi i gael ei bedyddio, ond nis cafodd. Yna nid oedd ganddi ond taflu ei hun ar drugaredd faddeuol Duw. Ac y mae gan y rhieni y gob aith cryfaf iddi farw mewn cymod ag ef.—Gweddiodd lawer am hyny yn ei chystudd; ac ar ei dymuniad, gweddiodd ei thad hefyd gyda hi, a throsti, lawer mewn dagrau. Ac ni a hyderwn fod gweddiau y ddau wedi eu hateb, yn ei derbyniad i dangnefedd tragywyddol. Ond dysged ei chyfeillion ieuainc, a'i dau frawd, wers oddiwrthi hi, nad yw gwely cystudd a dyddiau olaf bywyd y lle na'r amser goreu i gymodi enaid â Duw. "Heddyw yw amser Duw." J. EDRED JONES.

MR. RICHARD DAVIES.

Rhagfyr 17, 1879, yn Olyphant, Pa., bu farw Mr. Richard Davies, yn 63 ml., 6 mis, a 5 niwrnod oed. Ni chafodd ond cystudd byr, ond cafodd y tynerwch mwyaf ag y gallasai y llaw ddynol ei rhoddi iddo. Er ei fod heb berthynasau iddo, yr oedd wedi bod yn briod dair gwaith. Yr oedd llawer iawn o bethau rhinweddol yn y brawd anwyl hwn. Yr oedd wedi casglu llawer o wybodaeth Ysgrythyrol, ac wedi gwneyd llawer iawn o ddaioni i'w gyd-ddynion. Cafodd y brawd Davies ei eni yn Merthyr Tydfil, D. C., a chafodd ei fedyddio gan Williams, gweinidog y Tabernacl pan yn 29 oed; felly fe fu dan iau ei Feistr Mawr am 34 mlynedd. Yr oedd yn barchus iawn i bawb ag a fuasai yn dyfod i ymweled ag ef, yn enwedig y rhai fuasai yn weinidogion, oblegid eu bod yn cyhoeddi y gair dwyfol. Ond efe a gasglwyd at ei dadau, ac yr ydym yn credu ei fod wedi myned oddiwrth ei waith at ei wobr. Heddwch i'w lwch hyd foreu yr adgyfodiad. Ei arwydd-air bob amser oedd, "Byw fyddo'r Brenin, a'r gogoniant fyddo ar ei ben; Amen."

*Olyphant, Pa.* FRED. LLOYD.

MR. DAVID S. LEWIS.

Chwef. 26ain, 1880, yn Hyde Park, Pa., bu farw David S. Lewis, yn sydyn ac annysgwyliadwy iawn, yn 65 mlwydd oed.

Ganwyd Mr. Davies yn Nhreforris, ger Abertawe, mewn lle o'r enw Craig-trwyfa. Yn y gymydogaeth hono y magwyd ef, ac y tyfodd i fyny yn ddyn, ac yno y cafodd ymgeledd gymwys, a bu Hannah, ei anwyl briod yn cydddwyn yr iau ag ef am hir flynyddau. Ryw ddwy flynedd yn ol blaenodd ef i'r byd mawr tragywyddol. Mab ydoedd yr ymadawedig i William ac Elizabeth Lewis o'r Caeau. Yr ydoedd yn ddyn cadarn o wneuthuriad, yn meddu ar wrolder cawr a thynerwch plentyn. Yr oedd ei arswyd ar y Gwyddelod, a galwent ef y "Big Welshman;" ond nid oedd yn ddyn ymrafaelgar, na chynenllyd; ac eto mynai yr hyn a ystyriai efe oedd iawn. Cymerai blaid y gwan a'r diamddiffyn, a pherchid ef yn gyffredinol fel dyn a chymydog.

Symudodd y teulu o Treforris, yn Nghymru, i Beaver Meadow, Pa., lle y treuliasant 16 o flynyddau. Daethant oddiyno i Hyde Park, lle olaf Mr. Lewis, am y 15 mlynedd diweddaf o'i oes; ac yma yr ymunodd a'r eglwys Fedyddiedig Gymreig. Bedyddiwyd ef yn nyfroedd y Lackawanna, ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y brawd J. P. Harris, yr hwn ar y pryd ydoedd fugail yr eglwys hono. Nid oedd y frawdoliaeth heb eu hofnau, pan yn derbyn David Lewis i'r gymdeithas Gristionogol; ond ofnau diangenrhaid oeddynt, canys bu ef yn filwr da i Iesu Grist, yn ddysgybl anwyl, ac yn frawd ffyddlawn hyd angeu—heb beri dolur llygad i neb o'r frawdoliaeth. Do, bu yn ffyddlawn hyd angeu, a rhoddwyd iddo goron y bywyd. Dydd ei farwolaeth, yn y gwaith, yr oedd yn fwy llawen nag arferol, er yn anymwybodol agoshau yr oedd i lawenydd ei Arglwydd; ac efe a aeth i dangnefedd, gan adael tri o blant (yr oll yn briod), sef dau fab ac un ferch, i hiraethu ar ol rhiant gofalus a thyner galon

Claddwyd ei weddillion yn mynwent Washburn Street, y Sadwrn canlynol, y Parch. J. P. Harris, Providence, yn gweinyddu. Er cryfed fu David Lewis, ni chymerodd ond amser byr i frenin braw i dynu ei babell briddlyd i

lawr. "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

BRAWD.

### MRS. ANN HUGHES.

Merch oedd Mrs. Hughes i Griffith ac Elizabeth Roberts, Ty Corniog, ger Pwllheli, G. C. Yn y flwyddyn 1870 daeth hi a'i mam (yr hon oedd yn weddw), a'i phedair chwaer ac un o'i brodyr o Gymru i Berlin, Wis. Ymunodd mewn priodas â Henry J Hughes, Elo, Wis., Mai 16, 1873. Yr oedd ei chysylltiadau teuluaidd yn ddymunol iawn, yn ymgeledd i'w phriod, yn ofalus o'i phlant, ac yn gwarchod gartref yn dda. Bedyddiwyd hi yn y fl. 1873, gan y Parch. Wm. Jones, Wis. Bu yn aelod rheolaidd a diargyhoedd o'r pryd hwnw hyd angau, yn yr eglwys Fedyddiedig Gymreig ger Oshkosh. Gellir dywedyd am dani ei bod yn chwaer wybodus, hynod feddylgar. Darllenai lawer er mwyn deall a chofio. Yr ydoedd bob amser yn ddifrifol pan yn ymdrin â phethau crefyddol. Mae y parch a ddangosodd i Air Duw trwy adrodd llawer o hono a'i chwilio beunydd, a'i sel dros yr ysgol Sabbothol, a'i dianwadalwch yn ei chrefydd, wedi rhoddi i ni sail gadarn i hyderu ei bod hi wedi marw yn yr Arglwydd. Bu farw Chwef. 27, 1880, yn 33 mlwydd oed, yn hynod sydyn a hollol annysgwyliadwy, ar enedigaeth plentyn, gan adael priod tyner a gofalus, dau o blant bychain, mam hoff, brodyr a chwiorydd, yn nghyda chyfeillion lawer i alaru ar ei hol. Claddwyd hi ar y 1af o Fawrth yn mynwent y Bedyddwyr. Ymgasglodd tyrfa luosog i'w hangladd; pregethwyd ar y pryd gan yr ysgrifenydd. Barnwr y gweddwon a Thad yr amddifaid fyddo yn nodded i'n brawd a'i rai bychain.

JOHN EVANS.

### MR. HUGH O. ROBERTS.

Yn Centreville, Allegany Co., N. Y., Ion. 15, 1880, y diacon Hugh O. Roberts, yn 81 mlwydd oed.

Yr oedd ein hen frawd parchus ymadawedig, yn enedigol o Bodedeyrn, Sir Fon, G. C. Ymunodd a chrefydd yn dra ieuanc, sef pan tuag 21 oed, a chafodd ei fedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn y lle uchod, gan y diweddar Richard Owen. Ni fu ein brawd yn hir wedi iddo ymuno â chrefydd cyn enill safle gymeradwy yn ngolwg yr eglwys, canys gosodwyd ef yn dra buan yn y swydd ddiaconaidd, yr hon swydd a lanwodd yn anrhydeddus a ffyddlon tra y parhaodd ei nerth corfforol.

Yn y flwyddyn 1831, ymfudodd Mr. Roberts a'i deulu i'r wlad hon, a sefydlasant yn ardal Steuben, swydd Oneida, N. Y., ac arosasant yn y gymydogaeth hono am tua deuddeg mlynedd. Yn y flwyddyn 1843 symudodd ein brawd a'i deulu i Cattaraugus, N. Y., ac yn yr ardal hon y treuliodd weddill ei oes. Bu yn arweinydd y canu yn yr eglwys Fedyddiedig yma am amryw flynyddau, a chyflawnodd ei waith fel y cyfryw gyda ffyddlondeb neillduol yn ol ei allu. Yr oedd efe yma pan gorphorwyd yr eglwys hon. Gellir dweyd am dano fel Cristion a diacon, ei fod yn ffyddlon a diwyd; ac o ran ei fuchedd yr oedd yn ddiargyhoedd. Yr oedd ei dduwioldeb uwchlaw amheuaeth. Yn ei gystudd olaf yr oedd yn hynod o amyneddgar, a dysgwyliai yn hiraethlon am awr ei ymddatodiad. Gwynebodd angeu gyda gwroldeb Cristionogol, ac adfywiai ei natur yn rhyfeddol pan yn siarad â'i frodyr am y wlad well, a'i ragolygon gogoneddus am y dyfodol.

Bu farw yn hapus, a'i bwys ar ei Anwylyd. Teimla yr eglwys yn hiraethus ar ei ol; ond yr oedd ein colled ni yn elw tragywyddol iddo ef. Gadawodd weddw oedranus a 5 o blant, sef tri mab a dwy ferch, ar ol. Claddwyd ei weddillion marwol yn barchus yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr. Gweinyddwyd yn yr angladd gan yr ysgrifenydd. Heddwch i'w lwch.

W. M. EVANS.

### MR JOHN DAVIES.

Yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., Tach. 1, 1879, Mr. John Davis, yn 54 mlwydd oed.

Yr oedd yr ymadawedig yn fab i D. D. Davis, gynt o South Trenton, ac wedi hyny o'r lle hwn. Yn South Trenton y ganwyd gwrthddrych y sylwadau hyn. Yr achos o'i farwolaeth oedd y dyfrglwyf ar y galon Dyoddefodd gystadd trwm am chwe' mis yn dra amyneddgar. Yr oedd yn ddyn tawel a diniwed iawn, a pherchid ef gan bawb a'i hadwaenai. Gadawodd gylch eang o berthynasau, sef pedwar o frodyr ac un chwaer, i alaru ar ei ol.

Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Ebenezer, Freedom, N. Y. Gweinydnwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd.

W. M. EVANS

### MR. D. F. EDWARDS.

Yn Weathersfield, Wyoming Co., N. Y., Chwefror 25, 1880, Mr. D. F. Edwards, yn 59 mlwydd oed. Yr oedd yr ymadawedig yn fab i Dafydd ac Elizabeth Edwards, y rhai a fuont byw am flynyddau yn South Trenton, a manau eraill yn Swydd Oneida, N Y., ac wedi hyny o Swydd Cattaraugus. Bu Mr. Edwards farw yn sydyn iawn o glefyd y galon, ond yr oedd yn cwyno ar adegau er ys rhai blynyddau.

Yr oedd ein cyfaill yn ddyn parchus iawn yn y gymydogaeth lle yr oedd yn byw. Bu yn aelod am flynyddau yn eglwys y Bedyddwyr yn Freedom; ond yr oedd wedi symud yn lled bell o gyrhaedd y moddion crefyddol, a thrwy hyny wedi oeri gyda'r gwaith i raddau. Dywedai y rhai ag oedd a'r fantais oreu i wybod ei brofiad, ei fod trwy y cwbl yn meddu gobaith am ddiangfa trwy waed yr Oen.

Gadawodd weddw a chwech o blant, yn nghyda lluaws o berthynasau, sef mam oedranus, dau frawd, a phump o chwiorydd, i

alaru ar ei ol. Claddwyd ef yn mynwent Weathersfield. Cafodd angladd lluosog a pharchus. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd.

W. M. EVANS.

## NODION.

—Efallai mai y newyddion pwysicaf a gaw som o Ewrop y mis diweddaf yw mewn perthynas i'r etholiadau diweddar yn Lloegr, yn y rhai yr enillodd y Rhyddfrydwyr 114 o eisteddleoedd yn Nhy y Cyffredin, ac y mae ganddynt yn awr fwyafrif o 55 ar y *Conservatives* a'r *Home Rulers*, yr hyn sydd yn ddadymchweliad llwyr i weinyddiaeth Dorïaidd Beaconsfield. Mae yn debyg mai Mr. Gladstone fydd arweinydd y weinyddiaeth newydd; o herwydd, er nad yw efe mewn ffafr yn y llys, ato ef y mae llygaid y wlad yn troi. Mae canlyniad yr etholiadau wedi llenwi pawb â syndod, a'r Rhyddfrydwyr â llawenydd, gan obeithio y deillia daioni o'r cyfnewidiad.

—Dywedir fod y Pab yn bwriadu creu pedwar o Gardinaliaid yn ychwanegol yn y Talaethau Unedig.

—Bedyddiwyd Matilda Stevens, dynes o liw, yn Paris, Ky., yn ddiweddar, yn 105 ml. oed.

—Mae careg lydan yn gorwedd ar balmant Westminster Abbey, ar yr hon y mae yn gerfiedig: "Wedi ei ddwyn gan ddwylaw ffyddlon dros dir a môr, yma y gorphwys David Livingstone, cenadwr, teithiwr, a dyngarwr."

## DYDDANION.

### DYLANWAD HYAWDLEDD.

Pan y byddai yr enwog Whitefield yn pregethu yn America, byddai Dr. Franklin yn edmygydd neillduol o hono, ac yn fynych yn un o'i wrandawyr. Er fod Franklin yn ddyn dysgedig ac yn athronydd galluog, nid oedd ond dyn cybyddlyd, heb fawr a fynai â chrefydd. Y mae yn mynegu ei brofiad wrth wrando Whitefield un tro yn y geiriau canlynol: "Dygwyddais wrando un o'i bregethau, a meddyliais yn nghanol y bregeth ei fod yn bwriadu ei gorphen mewn casgliad, a phenderfynais yn ddystaw na chawsai efe ddim genyf fi. Yr oedd genyf yn fy llogell ryw ddyrnaid o bres, pedair neu bum' dolar o arian, a phum' pistal o aur. Fel yr oedd efe yn myned yn mlaen mewn hyawdledd, mi a ddechreuais dyneru, a phenderfynais roddi y pres iddo. Ar ol tarawiad arall o'i hyawdledd, cywilyddiais am hyny, a phenderfynais roddi yr arian iddo; ond cyn y diwedd, yr oedd efe mor anorchfygol fel y gwagheais fy llogellau i ddysgl y casglwr—aur a chwbl." Y mae yr hanesyn hwn yn un o lawer o rai sydd yn profi y fath bregethwr grymus a dylanwadol ydoedd Whitefield.

### BRENIN COELGREFYDDOL.

Serddewin (*astrologer*) yn amser Louis XI. o Ffrainc, wedi rhagfynegu rhyw beth ag oedd yn anghytunol â meddwl y brenin, darfu i'w Fawrhydi ffromi wrtho, fel y meddyliodd am ei ladd. Mor gynted ag y gwelodd y brenin ef, efe a'i cyfarchodd yn sarug, ac a ddywedodd, "Tydi, yr hwn wyt yn cymeryd arnat fod mor ddoeth ag i fedru mynegu tynged dyfodol eraill, a fedri di ddywedyd i mi pa beth a fydd dy dynged di dy hun? a pha hyd y byddi byw?" Deallodd y gwr doeth (?) fod rhyw ddrwg yn cael ei ddarparu ar ei gyfer, a dywedodd wrth y brenin yn ddiymaros a diseremoni, "Yr wyf yn deall fy nhynged yn eithaf da, ac yr wyf yn sicr y byddaf fi farw dri diwrnod o flaen eich Mawrhydi." Yn lle gwneyd dim niwaid i'r dewin, fe gymerodd y brenin y gofal mwyaf am dano, er mwyn cadw ei fywyd cyhyd ag y medrai, gan gredu y buasai farw ei hunan mor fuan ar ei ol ef!

### PENDERFYNIAD SYNWYROL.

Bwriadodd Frederic o Saxony unwaith i wneyd rhyfel yn erbyn Archesgob Magdeburg. Efe a anfonodd ysbiwr i edrych pa barotoadau a wnelai yr Archesgob am ryfel. Dywedai yr ymwelydd nad oedd dim yn cael ei wneyd ond gweddio ac ymprydio, ac fod yr Archesgob yn cyflwyno ei achos i Dduw. Pan glywodd y Brenin hyn, efe a ddywedodd, "Ymladded y neb a ymladdo, nid âf fi ddim mor ynfyd ag ymladd yn erbyn un dyn a fyddo yn gwneuthur yr Arglwydd yn noddfa ac amddiffyn." Y fath ynfydrwydd yw ymladd yn erbyn y rhai y byddo yr Hollalluog o'u plaid!

# Y WAWR.

CYF. V.] MEHEFIN, 1880. [RHIF. 3.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## ROGER WILLIAMS.

### LLAFAR BARN, RHYDDID CYDWYBOD, A THREFN RHAGLUNIAETH.

GAN ANEURIN FARDD.

Trwy gyferbynu a chymharu pethau â'u gilydd y ceir allan eu gwerth hanfodol. Y mae pob dydd yn esgor ar ryw ryfeddod, nes y gelwir yr oes hon yn oes y darganfyddiadau. Ond pan edrychwn yn ol, a chymharu rhyfeddodau yr oes hon â gweithrediadau y cynoesoedd, y mae hen ryfeddodau yn cael eu cloddio allan o'u dadfeilion ag sydd yn gosod allan oreuon yr oes hon mewn celf a gwyddor yn israddol mewn perffeithrwydd at "ddysgeidiaeth yr Aipht," a hyny hefyd i raddau helaethach pan gofiwn fod ei rhagoriaethau yn eiddo cyfnodau dirywiedig yn ei gwareiddiad. Os felly, pa beth a allai fod ei pherffeithrwydd celfyddydol pan yn ei gogoniant uchaf? Ac megys y saif pyramidiau a phigadeiliau yr Aipht yn watwor-golofnau ar ymdrechion ol-oesau, ac ymdrechion ol-oesau er eu holl ymryson am flaenoriaeth, yn gorfod gwarogaethu i'w hynafiaid, felly y ceir cymeriadau personol yn mhlith dynolryw fel pyramidiau moesol yn derchafu eu penau hyd y nef oddiar wastadeddau hanesiaeth, ac y bydd oes ar ol oes yn ychwanegu at eu mawredd yn ol fel y bydd y cymeriadau cymhariaethol yn ychwanegu mewn rhif. Un o'r pigdyrau moesol anadfeiliedig hyn yw ROGER WILLIAMS.

Y mae haner canrif o flynyddau diwyd mewn gweithredoedd mor bwysig ag a gyflawnodd gwrthddrych y nodiadau hyn, a myned i'w manylion, yn cynwys digon o ddefnyddiau prisfawr i lanw cyfrolau o fywgraffiaeth. O ganlyniad nis gellir dysgwyl i un ysgrif yn y WAWR fod yn amgen na chyfeiriad ato mewn ystyr gyfansawdd.

Y mae yn ymddangos fod gan Ragluniaeth, yn yr hon yr oedd ganddo ef gymaint o ymddiried, law yn ei gyfaddasiad i'r sefyllfa neillduol a'r swyddogaeth arbenig yr oedd i'w llanw. O dan nawdd Syr Edward Coke, efe a astudiodd y gyfraith wladol. Yr oedd ei athraw yn un o reithofyddion (*jurists*) dysgedicaf ei ddydd. Dygodd ei fedrusrwydd a'i wybodaeth gyffredinol ef i fyny trwy wahanol swyddogaethau llysawl i fod yn Brif Farnwr. A gellid meddwl oddiwrth y cymeriad llymdost a roddir iddo at droseddwyr pan ar y fainc, a chyn hyny at ei wrthddadleu-

wyr, fod ei ddysgybl noddawl yn fedd-ianol yn barod ar allu dirnadol wedi ei dymheru ag ysbryd Cristionogol i'w gymhwyso i dderbyn dysgeidiaeth ei athraw a'i noddwr, heb gyfranogi o'i dymer gospawl. Trwy hyny y daeth yn ol llaw i fod yn alluog i lanw y cymeriad gorchestol o Wladweinydd Cristionogol. Priodol y gellir dweyd fod Addison yn wladyddwr duwiolfrydig, eithr gweinyddwr yr hyn oedd yn barod oedd ef; ond fel ffurfiwr llywodraeth sylfaenedig ar egwyddorion breiniol rhyddid dyn, cyfrifol i Dduw, fe saif ROGER WILLIAMS ar ei ben ei hun yn *Christian Statesman!*

Y mae priodoldeb dullwedd y palas mawreddog i'w weled yn amlycach yn arddangosiad y tudolygfa (*landscape*) a'i cylchyna. Yn yr un wedd daw Roger Williams i'w fawrygu wrth edrych ar yr amgylchiadau a'i amgylchynent. Er ei fod wedi ymgydnabyddu â neillduolion y Cyfansoddiad Prydeinig, yn nghyda manylion y gyfraith wladol, deddf ei Dduw oedd ddyfnaf yn ei galon, ac at ei wasanaeth oedd ei ymroddiad. I'r dyben hwnw rhoddodd heibio y gyfraith, a thrwy ddylanwad ei noddwr efe a gafodd urddau eglwysig, yn nghyda phlwyf i'w wasanaethu yn offeiriadol. Eithr yr oedd Anghydffurfiaeth yn lefeinio Prydain Fawr yr amser hwnw, ac ni allasai cydwybod ryddfrydig Roger Williams oddef ei gadwyno â namyn Un Erthygl Deugain yr eglwys Esgobyddol, yn enwedig o dan y fath draws-awdurdod ag a arferai Laud, yn erbyn "erledigaeth" yr hwn y cwynai yn ddirfawr.

Yr oedd awydd i ffurfio trefedigaethau Saesonig yn America wedi dechreu tua chan' mlynedd cyn hyny, a breintebau wedi eu rhoddi gan y goron i'r cyfryw ddyben. Ni chaniata ein gofod i fanylu ar hyn, yn amgen na mynegi mai trwy un o'r cyfryw freintebau y poblogwyd Plymouth, Lloegr Newydd, gyntaf. Yr oedd y cwmniau breintebol hyn yn ffurfio eu rheolau eu hunain tuag at lywodraethu eu trefedigaethau yn y modd mwyaf manteisiol iddynt hwy, gan mai mewn ystyron anturiaethus, er elw masnachol, y meddyliwyd gyntaf am danynt. Ac yn gymaint a bod cymeriadau israddol yn mhlith ymfudwyr yn dyfod yn fynych i'r trefedigaethau ieuainc, a thrwy hyny eu heddwch a'u llwyddiant yn cael eu peryglu, ni a gawn fod y llywodraethwyr yn defnyddio mesurau celyd tuag atynt, a hyny tuag at fod yn alluog i orfaelu yn fasnachol yn gystal ag er mwyn trefn wladyddol.

Yn mhlith pleidiau anfoddog Lloegr cyfododd yr un Buritanaidd, i'r hon ni roddodd esgyniad James I. i'r orsedd, fawr ymwared. Wedi i ychydig nifer ymneillduo i Holland, buont mewn cyflwr o alltudiaeth yn Amsterdam a Leyden. Ond er bod mewn sefyllfa dra annymunol yn Holland, ar ol cefnu ar Loegr, penderfynasant ymostwng i ofyn ewyllys da y brenin i ganiatau breinteb iddynt i ffurfio trefedigaeth yn myd y gorllewin, fel y gallent gael cynaliaeth ar yr eiddynt eu hunain, a chrefydda yn unol â'u barnau, heb fod yn ddarostyngedig i'r goron ond yn unig fel deiliaid gwladol. Caniatawyd eu dymuniad, hwyliasant tua'r gorllewin yn y llong fynych-soniedig, y *May-flower*, glaniasant yn Cape Cod, rhai o honynt ar y graig sydd wedi dyfod yn enwog fel *Plymouth Rock*—cyfenwad o'r porthladd o'r hwn y gadawsant eu gwlad enedigol, teyrnbenaeth ac esgobaeth yr hon a gasaent.

Dyma enwad newydd mewn byd newydd. Eto nid oedd y byd newydd yn fyd gwyn, ac nid oeddynt yn gallu crefydda mewn hawddfyd, hyd yn nod yn eu dull eu hunain. Nid oedd adnoddau y byd newydd yn ddigon gyferbyn a chynal ei drigolion. Yr oedd yn dda eto fod mam-wlad i apelio at ei charedigrwydd; ac os oedd ei deddfau yn gaeth, a'i gweinyddwyr yn galed, nid oedd ei chenedlgarwch yn ddiffygiol, na'i gofal am ei phlant enciliedig wedi lleihau. Penderfynwyd anfon lluniaeth i ddiwallu angenion y drefedigaeth newydd yn Plymouth, a hyny heb ddanod iddi ei hanfoddogaeth, nac ymyryd â'i threfniadau crefyddol, nac aflonyddu dim ar ei honiadau hunanlywodraethol, eithr ei gadael i fwynhau ei helusen heb gaethiwo ei rhyddid cyd-

wybod. Eithr cyn dydd yr ymwared o'r cyfyngder ag oeddynt ynddo mewn ystyr dymorol, yr oedd y rhagolygon yn wir dor-calonus—y cyfryw fel y penodwyd dydd o ympryd a gweddi, er nad oedd angen penodi y blaenaf, mewn dysgwyliad am wawr dydd goleuach, a diwalliad i'w hangenion. Yr oedd y fath auaf ar eu hamgylchiadau yn dygwydd yn ngauaf y flwyddyn yn ychwanegu eu cystuddiau a'u helbulon. Yr oedd hyd yn nod ystordy y llywodraethwr ag arwyddion cael ei waghau. Eithr fel y dywed y ddiareb, "Po gyfyngaf gan ddyn, eangaf gan Dduw," yn Chwefror, 1631, bu dyfodiad nodedig i'r drefedigaeth bruddglwyfus. Nid mynyd yn rhy gynar derbyniwyd yr adroddiad fod y llong *Lion* yn Nantasket yn llwythog o ddarpariaethau ar eu cyfer, yr hon oedd wedi dyfod droiau yn flaenorol ar yr iawn bryd, yn cael ei llywyddu gan y Cadben William Pierce. Ai nid Cymro oedd hwn? Eithr yn ychwanegol at lwyth drudfawr y *Lion* tuag at ddiwallu angenion tymorol trefedigaeth adfydus Plymouth, pwy oedd ar ei bwrdd, gyda'i wraig ieuanc, ond Roger Williams. Mynegir llawer am y *May-flower* fel llong ymfudol y Puritaniaid i Plymouth, ac y mae y llong a'i llwyth yn deilwng o drosglwyddiad oesol ar ddalenau hanesyddiaeth; eithr pan ystyriwn lwyth gwerthfawr y *Lion* tuag at ddiwallu angenrheidiau ymfudwyr y flaenaf, a'r urddas oedd ar ei bwrdd yn mherson Roger Williams, dylai y *Lion* gael ei rhestru tra tonau yn ymchwyddo yn y môr Werydd, yn mlaen cyfres y llongau cenadol.

Y mae yr adeg hon mor fanteisiol ag unrhyw adeg yn ystod haner canrif o fywyd pwysig gyhoeddus a dreuliodd ar ol hyn, i arddangos ei neillduolion cymeriadol, ei annibynolrwydd a'i benderfynolrwydd i sefyll wrth a gweithio allan ei egwyddorion. Y cyntaf i fyrddio y *Lion* ar ei hangoriad yn Plymouth oedd y llywodraethwr Winthrop, i'r dyben o gael allan gynwysiad ei llwyth. Cyfarfyddodd Llywodraethwr y drefedigaeth a'r gweinidog annibynol â'u gilydd yma am y tro cyntaf. Onid oedd yma fantais nodedig i ymfudwr gweinidogaethol ieuanc, yn dwyn gydag ef gymhares ei fywyd, i wneyd y defnydd goreu o'r fath adeg neillduol i enill ei ewyllys da, megys braint anfynych i'w chyfarfod, tuag at hyrwyddo ei ffordd a'i dywys hyd lwybrau llwyddianus mewn byd hollol newydd, lle yr oedd yn rhaid iddo fywiolaethu trwy ei lafur ei hun yn mhlith y trigolion, y rhai oeddynt hefyd ar adeg ei ddyfodiad i'w plith heb fod yn y cyflwr mwyaf cysurus? Nid adeg oedd hon, yn ngwyneb yr amgylchiadau a'i cylchynent, a'r rhagolygon ymddangosiadol, yn ol dull y byd yn gyffredin, i fanylu gyda chredöau. Ac os oedd unrhyw adeg i gyfreithloni llaesu neu ynte estyn ychydig ar gydwybod fel ag y byddai amgylchiadau yn gofyn, dyma hi, mewn cydymffurfiad ag ewyllys y llywodraethwr Winthrop. Eithr nid oedd cydwybod Roger Williams wedi ei thymeru â hunan-lesiant ar draul aberthu egwyddor. Daeth y llywodraethwr o'r llong yn argyhoeddedig fod yr ymfudwr dyeithr wedi mabwysiadu llwybr iddo ei hun, ac nad oedd ond un Llywodraethwr ag y cyfrifai ei hun yn ddarostyngedig iddo, yn *Rhagluniaeth* yr hwn yr ymddiriedai. Os methodd y llywodraethwr Winthrop wneyd ei argraff ar Roger Williams, fe wnaeth Roger Williams ei argraff arno ef, a chaiff yr adroddiad arwyddocaol fod yn yr iaith ei llefarwyd: "*Among the passengers of the* Lion, *the Governor says, was Roger Williams, a godly minister.*"

Ond y mae anymddibyniad y gweinidog gyda golwg ar ei ragolygon eglwysig a'i sefydliad gweinidogaethol mor ryfedd ag eiddo yr ymfudwr yn ei gyfarfyddiad cyntaf â'r llywodraethwr. Rhaid i ni ddeall mai yn y cymeriad o Buritan yr ymadawodd â Lloegr, o borthladd Caerodor, yn y llong *Lion*, ac mai i blith Puritaniaid y glaniodd yn myd y gorllewin. Buan y gwelwyd ei alluoedd a'i gymwysderau defnyddiol, a chafodd y fath dderbyniad croesawgar yn Boston, fel y cafodd etholiad unfrydol i fod yn fugail ar yr eglwys yno. Eithr nid oedd ef i ymrwymo ag

eglwys yn groes i'w farn am ei chymeriad, mwy nag yr ymrwymai i gydnabod awdurdod y llywodraethwr arno mewn perthynas i'w ryddid gwladol. Gwrthododd yr alwad, a hyny o herwydd anghysonder yr eglwys yn ei threfniant, yn unol â'r hyn y gwrthodid cydymffurfio yn Lloegr. Wele ddechreuad anghydffurfiad Puritanaidd. Buan y canfyddwyd fod gan Roger Williams gyfundrefn ag y penderfynai ei gweithio allan; ac heblaw ei anghydffurfiad ag anghysondeb Puritaniaeth Lloegr Newydd, gwadai hawl yr awdurdodau gwladol i ymyryd â materion cydwybod ei deiliaid. A dyma anghydwelediad amlwg ar unwaith rhyngddo ef a'r awdurdodau, y rhai oeddent yn awr yn dechreu cael blas ar lywodraethu, ac yn dechreu anghofio eu sefyllfa gyntefig fel deiliaid yn anufuddhau. Dyma engraifft neillduol o wireddiad y dywediad fod amgylchiadau yn newid achosion. Dyma ymddidoliad amlwg o eiddo Roger Williams oddiwrth yr awdurdodau gwladol, y rhai erbyn hyn a fynent fod yn "amddiffynwyr y ffydd," gan aberthu egwyddorion rhydd - ddeiliadaeth, yn mhlaid y rhai y gadawsant wlad eu genedigaeth. Ond yr oedd Williams nid yn unig yn herio yr awdurdodau yn eu perthynas ag ef, ond yr oedd hefyd yn enill dysgyblion i'w athrawiaeth. Er gwrthod bugeiliaeth un eglwys yn Boston, wele un arall yn agored iddo yn Salem; ac nid cynt y clywodd Winthrop am hyn nag y penderfynodd ddwyn yr hwn a alwai yn "*godly minister,*" ac heb gael achos i dynu y geiriau cymeriadol hyny yn ol, nag yr oedd yn rhaid ymyryd â dewisiad yr eglwys yn Salem o'i gweinidog newydd. Buan y daeth yn amlwg fod ei felldithion, yn gystal a'i bendithion gan Buritaniaeth! I wneuthur y drwg yn waeth, pond ei grybwyll, yr oedd Roger Williams, nid yn unig yn anedifeiriol ystyfnig yn parhau i goleddu, pregethu, a gwneuthur dysgyblion i'r athrawiaeth a ddygodd drosodd, ond yr oedd yn eangu yn ei ryddfrydigrwydd gwladol a chrefyddol, ac yn dwyn trefniadau newydd i'r sefydliad, ag oedd yn debyg yn fuan i ddwyn aflywodraeth i eglwys sefydledig yr annghydffurfwyr Puritanaidd! — y fath derm anghydweddol briodol! Y canlyniad oedd, orfod rhoddi yr eglwys yn Salem i fyny, i gael dinas noddfa yn Plymouth, yn yr hwn le, fel cynorthwywr i'r Parch. Mr. Smith, y bu am ddwy flynedd.

Nid oes un ymchwiliwr diduedd wedi cael allan, er mor annibynol o farn ac mor eofn ydoedd i draethu ei feddwl, ei fod wedi ymddwyn yn dramgwyddus mewn gair na gweithred at neb, pa un bynag ai mewn awdurdod neu heb fod mewn awdurdod. Yr athrawiaeth ag yr anfoddlonid fwyaf wrtho am ei lledaenu tra yn Plymouth, oedd ei draethiad fod y wlad yn yr hon oedd y Saeson yn gormesu, yn perthyn i'r bobl a'i meddianent ar eu dyfodiad cyntaf yno, sef yr Indiaid, ac nad oedd rheith-hawliad James I. ond gormes. A pha amgenach mewn gwirionedd ydoedd? Eithr fel ag oedd trefedigaeth y Massachusetts Bay yn heneiddio a lledaenu, mwyaf oedd ei ryddid yn gyfyngu. Dyma ddeddfau yn cael eu corffori yn eglwysig a gwladol, yn nghyda phenyd-ddeddfau am eu troseddu, a buan y gwelwyd fabwysiad o'u llymder. Yr oedd deddfau eglwysig Massachusetts yn ateb chwaeth y weinidogaeth Buritanaidd i'r dim, creadigaeth yr hon oeddynt, ac ni fu nac esgob nac archesgob yn Lloegr yn gweinyddu eu swyddogaethau cospawl gyda mwy o frwdfrydigrwydd, nac yn fwy penarglwyddiaethol yn eu cylchoedd nag oedd gweinidogion Puritanaidd plwyfi Massachusetts.

Yn ei ymchwiliad i wirioneddau athrawiaethol, yr oedd Roger Williams yn ymbellhau oddiwrth farnau sefydlog ac arferion cyntefig ac anniwygiadol y drefedigaeth, a pho fwyaf oedd y blaenaf yn eangu mewn dysg a dylanwad gyda'r bobl, cyfyngaf oedd rhyddid yr awdurdodau tuag ato. Yn y diwedd dyma gyhuddiadau cyhoeddus yn ei erbyn ei fod yn syrthio "i goleddu tybiadau dyeithr, ac o dybiad i ymarferiad." Yr arferiad dyeithr hwn, mewn canlyniad o'i grediniaeth, yd-

oedd "bedydd trochiad!" Y canlyniad fu, o herwydd ymarfer "tybiadau newydd a pheryglus" yn erbyn awdurdod y llywodraethwyr, fod iddo gael ei ddëol (*banish*) y tu allan i gylch awdurdod y drefedigaeth hon, o fewn chwech wythnos i ddyfarniad y llys, ac nad oedd i ddychwelyd ond trwy drwyddedogaeth y llys i'r perwyl hwnw.

I ddangos cydwybodolrwydd Williams, a gonestrwydd ei amcanion, efe a ysgrifenodd draethawd ar hawliau yr Indiaid i'r tiroedd trefedigaethol, yr hyn a gynhyrfodd yr awdurdodau, o herwydd fod hyny yn myned o dan seiliau eu breintebau oddiwrth y brenin Iago. Efe a ddysgodd hefyd iaith yr Indiaid, i'r dyben o bregethu yr efengyl i'r Indiaid, a'u harwain i gofleidio Cristionogaeth. Ei bregeth gyntaf i'r Indiaid oedd mewn *wigwam* gerllaw Watertown. Yr oedd y penaeth Indiaidd Wabau yn bresenol, yr hyn a awgrymodd iddo ei destyn oddiwrth Ezekiel xxxvii. 9, 10: "Ac efe a ddywedodd wrthyf, Prophwyda tua'r gwynt," &c. Ystyr enw y penaeth, Wabau, oedd "gwynt." Yr oedd y bregeth yn effeithiol, a daeth Wabau yn Gristion.

Mewn canlyniad i ddyfarniad y llys yr ydym yn cyfarfod ag amgylchiadau rhyfedd yn helynt y byd a gweithredoedd dynion. Yr oedd yr awdurdodau mor ddidrugaredd ac erlidiol ag oedd Williams o anmhlygedig i'w traws awdurdod. Ac yma y canfyddwn y Puritan alltudiol yn troi yn ormeswr creulon o'r un nodwedd ag y gwrthdystiai yn ei erbyn yn Lloegr, gan ddial ar Roger Williams o herwydd ei fod yn honi yr un breintiau yn awr ag a honai ei ormeswr gynt. Yn gyferbyniol i hyn ni a gawn yr Indiad anwaraidd o dan deimlad dynol o rwymedigaeth i Williams fel amddiffynydd ei iawnderau, a chywirdeb ei amcanion tuag ato i'w addysgu yn llwybrau iawnder a rhinwedd Cristionogol, yn glynu wrth yr alltudiedig yn ei droad allan o gyffiniau ei gymrodorion, ac yn ymddwyn tuag ato fel cyfaill Cristionogol, tra parhâi y Puritan dialgar yn deilyngach o anwariad y goedwig. Aeth Massassoit, hen gyfaill y "pererinion," gyda Williams yn ei grwydriad alltudiol, a chawsant orphwysiad ar Fryn Gobaith (*Mount Hope*). Rhoddodd y penaeth iddo dir ar lan yr afon Seekonk, ac yno yn y gwanwyn y dechreuodd adeiladu bwthyn, pryd yr oedd pump o frodyr Salem wedi ymuno ag ef. Eithr hysbyswyd ef trwy y llywodraethwr Winslow ei fod o fewn terfynau y "*Plymouth Grant.*" Ac er mwyn diogelwch aethant mewn bad i lawr gyda'r afon Seekonk, ac yn yr hafan lydan islaw glaniasant wrth droed y bryn. Yr oedd hyn yn ymddangos mor Ragluniaethol i Williams fel y galwodd y lle yn *Providence.* Yma, yn Mehefin, 1636, y planodd yr alltud a'i bump cydymaith hedyn Talaeth Lloegr Newydd arall.

Yma, eto, y cawn fantais i gymharu cysondeb Roger Williams â'i egwyddorion, fel sylfaenydd Talaeth newydd, ag eiddo y Puritaniaid, oddiar eu sefydliad fel alltudion yn nhrefedigaeth Plymouth. Ond gellir crybwyll mai nid hon oedd y gangen gyntaf o'r hen foncyff; yr oedd amryw eraill wedi cael profion o'r gwialenodau llywodraethol.

Yn Medi, 1644, glaniodd Williams yn Boston, o Loegr, gydag awdurdod y Parliament i fyned trwy Massachusetts er gwaethaf deddf ei ddeoliad, i Rhode Island, â'i Freinteb i'r Dalaeth hono, yr hon oedd yn cynwys y rhyddid i'w deiliaid ag oedd ef wedi hawlio iddo ei hun yn flaenorol, heb neb i allu beiddio ymddwyn tuag atynt fel yr ymddygai Puritaniaid Plymouth at anghydffurfwyr â'u barnau hwy. Yn mhlith yr amryw bethau eraill a gynwysai Breinteb Rhode Island, yn ol cynllun Roger Williams, yr oedd yn diweddu, fod perffaith ryddid cydwybod i'w sicrhau, a chyhoeddai fod "pawb i rodio yn ol fel ag oedd eu cydwybodau yn eu cymhell, pob un yn enw ei Dduw. A bydded i saint y Goruchaf rodio yn y drefedigaeth hon heb unrhyw aflonyddiad, yn enw Jehofah, eu Duw, dros byth ac yn dragywydd." Cofier mai nid heb rwystrau Puritanaidd y gallodd Williams

feddianu ei diriogaethau Talaethol, a hyny o herwydd traws-honiadau awdurdodau y *Plymouth Colony,* fod llinynau eu trais yn estyn dros derfynau Rhode Island, ond methasant brofi eu haeriadau.

Hyd yma cawsom Roger Williams yn hawlio iddo ei hun a'i bleidwyr ryddid cydwybod heb ymyriadau gwladol, yn nghyd a'i gaffaeliad o Freinteb i sefydlu Talaeth yn unol â'r egwyddorion a broffesai ac a ddysgai. O hyn allan ni a'i cawn yn gwylio fod deiliaid y Dalaeth yn mwynhau rhyddid gwladol a chrefyddol eu Breinteb, ac na feiddid eu haflonyddu. Dyma gysondeb proffes, pregethu a byw ei egwyddorion allan, yn wrthgyferbyniol i ffuantrwydd a thrais ac erledigaeth Puritanaidd ffug-honiadol Plymouth. Efe oedd deddfroddwr a sylfaenydd y Dalaeth gyntaf yn y byd a ddarbododd i'w deiliaid gyflawn ac arbenig ryddid cydwybod. Ni fydd llenyddiaeth y Bedyddwyr Cymreig yn gyflawn heb fywgraffiaeth Roger Williams, sylfaenydd eglwys gyntaf y Bedyddwyr yn America, yn cynwys manylion gweithrediadau ei oes hir a llafurfawr, yr hon sydd mor bwysig yn hanes breiniau dyn. Nid oes yn yr ysgrif hon amcan at fywgraffiaeth o gwbl, ond yn unig amcan i osod allan ei brif neillduolion mewn cyferbyniad i eiddo ei gyfoeswyr Puri tanaidd. Y mae ei enw a chanlyniad ei weithredoedd yn dyfod yn bwysicach eto yn y cyferbyniad hwnw, pan ystyriwn fod y gwahanol blanigion Talaethol hyn wedi cnydio yn doraethog yn ol eu rhywiogaethau, ac fod yr un ffrwythau deilliedig o'r un grawn yn parbau hyd heddyw, ac yn debyg o barhau tra fyddo egwyddorion hunan-ymwadol rhyddid Roger Williams yn fyw i wrthwynebu hunangais a Phariseaeth esill y Puritaniaid cyfoesol.

Yn herwydd yr ymddygiadau tuag at wrthddrych yr ysgrif hon, fe ddeisebodd amryw o ddinasyddion cydwybodol Massachusetts ddeddfwrfa y Dalaeth hono am 1874–5 i ddiddymu gorchymyn y deoliad, yn flaenorol i'w enciliad i diriogaeth yr hyn a elwir yn awr yn Dalaeth Rhode Island. Eithr can wired a bod egwyddorion rhyddid cydwybod yn fyw, a bod y cyfryw orchymyn yn warthnod ar ddeddf-lyfr y ddeddfwrfa, fe brofwyd fod ysbryd rhagfarnllyd, eiddigeddus ac hunanol y Puritaniaid yn fyw hefyd, ac fod heblaw hyny rai yn meddu digon o haerllugrwydd i wrthwynebu rhyddâu y Dalaeth o'r gwarthrudd gormesol a'i hynoda.

Cafwyd hefyd trwy yr amgylchiad hwn fod yr hen ddyfeisiadau camgyhuddol a chamliwiol yn fyw, fel ag i geisio taflu y cyfrifoldeb oddiar y Dalaeth ar yr enciliedig, fel ag i gyfiawnhau y weithred, yn lle ei diddymu. A ganlyn yw rhai o'r rhesymau casgliadol:

1. Fod Williams yn herfeiddiol yn ei ymddygiadau, fel dyn ieuanc yn gwrthwynebu hynafwyr a llywodraethwyr y drefedigaeth.

2. Ei fod yn ymarfer ei hun a dysgu i eraill "dybiau dyeithr," croes i arferion y cyndrefedigion, ac yn erbyn eu hewyllys.

3. Nad oedd y deoliad o gymaint pwys i Williams ag yr hona ei bleidwyr ei fod, o herwydd nad oedd y drefedigaeth ond bechan, a'r cyfandir Americaidd o'i flaen ac yn agored iddo.

I'r cyntaf, gellir ateb, fod Williams dros "ddeg-mlwydd-ar-ugain," yr oedran yr ymgymerodd prif Ddysgawdwr y byd â'i weinidogaeth, pan diriodd gyntaf yn *Plymouth Colony;* ei fod wedi derbyn addysg uchelryw, ac wedi profi ei hun yn ddyn o gyneddfau cryfion, a'i fod mewn dysg, dawn ac ymarweddiad, yn addas i fod yn athraw i'r rhai uchaf eu honiadau yn y drefedigaeth.

Atebir yr ail, trwy hysbysu, mai y "tybiau dyeithr" oeddynt dybiau fod bedydd babanod yn gwbl anysgrythyrol, ac nad oes ond "un bedydd," a hwnw yn gynwysedig yn nhrochiad y crediniol. Eithr cafodd llawer eu herlid gan Buritaniaid Lloegr Newydd am goleddu y "tybiau dyeithr" hyn, ag oeddynt mor gyffredin ddeunaw canrif yn ol y tu hwn a'r tu draw i'r Iorddonen. Un o'r lluaws cymeriadau nodedig a orfu encilio o diriogaeth Buritanaidd Plymouth, oedd "Lady Deb-

orah Moody," boneddiges gyfoethog a aberthodd ei goludoedd yn Lloegr i foddloni ei chydwybod, ond a orfu encilio i ddehau Long Island, o fewn pum' milldir o'r fan yr ysgrifenir y nodion hyn, yn herwydd erledigaeth Puritaniaid Plymouth, am feiddio datgan ei hanghrediniaeth mewn taenellu ar fabanod.

Y trydydd rheswm sydd mor ddireswm ag ydyw o haerllug a rhagfarnllyd. Yr oedd gyriad Roger Williams, yn annibynol ar yr achos, yn fwy o galedi a chreulondeb yr amser hwnw, nag a fuasai gwaharddiad Prydain Fawr a'r Unol Dalaethau yn nghyd iddo y dydd heddyw, pan y mae trafnidaeth a dyfeisiadau wedi crynhoi y byd i can lleied o le.

Gweddillion Puritaniaeth Plymouth ydyw eithafion mympwyol y dyddiau hyn o bleidgarwch gwladyddol, medddwdod dirwestol, a'r *delirium tremens* gwaharddebol, yn nghyd a phob penboethni sydd yn gyru rheswm o'r pen, a chydwybod o'r galon, a gosod dyn yn gyfrifol i ffug-honwyr awdurdodol, yn hytrach nag i Dduw, barnwr pawb, a thrwy hyny gyru y byd yn waeth, yn hytrach na'i sobreiddio na'i ddiwygio. Trwy hyn hefyd, yr un fath ag y trodd Puritaniaid Plymouth o'r un nodwedd a'r awdurdodau yn erbyn y rhai y codasant eu sodlau, y gwneir eglwysi anghydffurfiol proffeswyr rhyddid a chynadleddau cymanfaol, yn *Star Chambers* dyddiau tywyll Prydain Fawr, cyn gwawriad dydd *goddefiadau deddfol*, heb son am oleuddydd deddfwneuthurol Rhode Island o gyfansoddiad y tywysog rhyddid Roger Williams.

Pob daioni a wnaeth Puritaniaid Lloegr Newydd, ac a wna eu holynwyr pleidgar, bydded iddynt gael eu hiawn gydnabod am dano. Bydded y *Mayflower* a'r *Plymouth Rock* i barhau, fel llong a chraig, yn enwog yn hanesiaeth ymfudiaeth i'r gorllewinfyd. Eithr, fel y llong a ddygodd y fendith fwyaf i gyfandir America, bydded enw y *Lion* yn gysegredig yn mhlith holl longau y byd, yr hon yn nhrosglwyddiad Roger Williams i oror orllewinol y Werydd oedd a'i marsiandiaeth yn well na marsiandiaeth o aur. A bydded *Slate Rock*, y Graig Lechan, y rhoddodd y dyn rhagorol hwnw ei droed arni gyntaf ar ei laniad, yn gadarn hyd ddiwedd amser, yn arwyddlun o'r gwirionedd a broffesodd, a draethodd, ac a ymarferodd, yr hwn a'i profodd yn gadarn dan ei draed y cam cyntaf a roddodd i'r byd newydd. Tonau y môr yr hwyliodd arno drosodd a ireiddio *Slate Rock* â'u dagrau wrth ymdywallt arni, megys mewn gorfoledd o gael y fraint yn eu gorlifiad drosti o gusanu y fan lle rhoddwyd ei droed i lawr gyntaf gan ROGER WILLIAMS.

---

[O Seren Gomer.]

# ENWOGION ANGHOFIEDIG Y BEDYDDWYR.

## RICHARD MICHAEL,

### Y PREGETHWR CYNTAF A GODODD Y BEDYDDWYR YN MON.

GÁN Y PARCH. J. SPINTHER JAMES.

[*Gorpheniad.*]

Ymddengys i Richard Michael lynu yn Beaumaris am lawer o amser, a thrwy lawer o orthrymderau. Dywed Joshua Thomas ei fod yno yn Awst, 1794, a bod dau o'r aelodau, sef Richard Morgan, yr hwn a ddechreuodd bregethu yn 1789, ac Ellis Roberts, yr hwn a ddechreuodd bregethu yn 1792, yn cynorthwyo yn y weinidogaeth. Ac ychwanega, " er eu bod mor llafurus yma, nid yw rhif eu haelodau ond o gylch 35. Mr. Richard Michael yw eu gweinidog yn barhaus." Yr oedd hyn yn Awst, 1794. Felly bu Richard Michael yn Beaumaris am ddeng mlynedd beth bynag, sef o 1786 i 1794; felly yr oedd ef yn un o hen dderw y wlad. A phan ddechreuodd ystorm Sandemaniaeth chwythu dros yr Ynys a'r rhan fwyaf o'r Gogledd, fe brofodd Richard Michael mai derwen oedd efe. Cafodd lawer o'i boeni gan yr ysbryd Sandemanaidd, yr hwn a weithiai fel lefain yn y celwrn yn hir cyn iddo ddy-

fod i'r golwg. Amcenid cael yr holl Ynys, a'r holl wlad hefyd mae yn debyg, i fyned yn un achos cyffredinol, a'r eglwysi i fyw ar weinidogaeth gyffredin yr holl bregethwyr yn eu tro. Ond yr oedd Richard Michael yn sefyll ar y ffordd i gael eglwysi Mon felly; am hyny, ymosodid arno gyda ffyrnigrwydd. Cwynid fod ei weinidogaeth yn rhy drom i'r eglwys allu ei dwyn, ond atebai yntau un o'r rhai a gwynent felly, y gallasai ef dewi, gan nad oedd efe erioed wedi rhoddi chwe' cheiniog tuag ati. Cwynid hefyd bod ei weinidogaeth ef yn anfuddiol, ac nad oedd yn diwygio dim er cymaint a ddywedid wrtho. Wrth ddiwygio, y golygid mabwysiadu y shibboleth Sandemanaidd, i'r hwn y pryd hwnw yr ystyrid John R. Jones a Christmas Evans yn oraclau; ond ni fynai Richard Michael ddim o honi. Ymosodwyd arno yn gyhoeddus gan John R. Jones, Ramoth, yn nghynadledd Cymanfa Capel Newydd, yn 1797, am nad oedd efe yn diwygio dim, er cymaint a ddywedid wrtho; ond efe a'i hamddiffynodd ei hun a'r athrawiaeth a bregethid ganddo, yn bwyllog, boneddigaidd, gwrol ac ysgrythyrol, nes oeddynt heb ddim i'w ddweyd wrtho nac i'w wneuthur iddo, ond ei roddi fyny fel un anfeddyginiaethol.

Yn yr adeg gyrhyrfus hon ar grefydd yn Mon, ymddengys i Richard Michael lwyddo i gael *lease* ar dyddyn bychan o'r enw Caecwta, yn mhlwyf Llangefni, gan gredu ei fod wrth sicrhau tyddyn felly i'r wraig a'r plant i'w lafurio, ac i gael cynaliaeth oddiwrtho, yn sicrhau iddo ei hun hefyd ei holl amser a'i ryddid i waith yr Arglwydd. Yr oedd erbyn hyn wedi ymadael â Beaumaris, ond yn llafurio ar hyd y wlad yn ddiorphwys.

Tybiwyf ein bod bellach wedi cyrhaedd y flwyddyn 1798—blwyddyn ofnadwy yn hanes Lloegr. Yr oedd y rhyfeloedd meithion wedi bwyta nerth y deyrnas, ac yn taflu dychryn trwy bob calon; y trethoedd arferol wedi llwyr fethu a chyflenwi y gyllidfa, a'r Senedd o herwydd hyny yn gorfod apelio at y wlad am roddion gwirfoddol at ddwyn y rhyfel yn mlaen, a'r brenin haner gwallgof George III., yn agor y rhestr gydag ugain mil o bunau, a'i frenines yn ei ddilyn gyda phum' mil; ond er pob ymdrech, yn methu a llwyddo i godi yr arian, heb werthu y dreth fawr; oblegid yr oedd traul y rhyfel y flwyddyn hono yn ddeng-mil-iwn-ar-hugain o bunau! Ac i ddwyn y caledi hyd adref at bob dyn, yr oedd sychder haf 1798, ac oerni anarferol 1799, wedi llymhau y wlad o ymborth dyn ac anifail, nes oedd anifeiliaid pawb braidd yn brefu o eisiau bwyd, ac anifeiliaid llawer, ac yn eu plith eiddo Richard Michael, yn marw o eisiau porthiant. Dechreuodd y newyn yn y preseb, ac wedi hyny efe a esgynodd i'r bwrdd! Cyfnod trallodus oedd hwn ar Brydain Fawr. Yr oedd Pabyddiaeth yn enill tir gyda chyflymdra dychrynllyd yn nosbarthiadau uwchaf cymdeithas; drwgdybiaeth ac erledigaeth yn adfywio yn mhob cyfeiriad; a thlodi, fel hunllef, yn difa ysbryd y bobl, nes i filoedd o feibion llafur goreu y wlad, ac yn eu plith lu mawr o Fedyddwyr, ffoi i America.

Yr oedd yr ysbryd ymfudo mor gryf yn Mon, ac yn bygwth gwaghau yr ynys o bob Bedyddiwr o werth, nes cynhyrfu Christmas Evans, er atal y llifeiriant, i bregethu yn ei erbyn â'i holl egni oddiar 2 Tim. iv. 10, 11: "Demas a'm gadawodd, gan garu y byd presenol, ac a aeth ymaith i Thessalonica; Crescens i Galatia, Titus i Dalmatia; Luc yn unig sydd gyda mi." Ond er gwaethaf pob dylanwad i'r gwrthwyneb, dacw Richard Michael, yn y fl. 1801, ac efe yn henafgwr yn ymyl triugain oed, a llawer iawn o Fedyddwyr gydag ef, yn gadael ei wlad, ac yn cychwyn am "sefydliad Beulah," yn ngwlad y Gorllewin! A dywed Ellis Evans, fod gwr Cilfoden, sef Morris Ellis, Elizabeth ei wraig, ac Elizabeth Ellis ei chwaer, y rhai oeddynt Fedyddwyr, ac yn berthynasau i Humphrey Ellis, Ysw., Tai'rmeibion, yn mhlith y rhai oedd yn cychwyn gyda Richard Michael i America. Ymddengys i benderfyniad Richard Michael i ymfudo gynyrchu yr unrhyw ysbryd yn llawer

iawn o Fedyddwyr Mon ac Arfon, yr hyn a fu yn achlysur i wanhau yr achos mewn llawer o ardaloedd, ac i'w ddifodi yn llwyr mewn rhai manau, megys Cilfoden (Bethesda, Arfon).

Diwrnod mawr oedd hwnw yn Mon, pan oedd Richard Michael yn pasio heibio tua gwlad y Gorllewin. Dywedir fod ei barch mor fawr, fel yr ymgasglodd lluaws mawr o bobl i ben creigiau Llanrhuddlad a chlogwyni eraill i gael golwg ar y llong yn myned heibio'r Pen; a'u bod yn tybied eu bod yn clywed llais Richard Michael yn gweddio neu yn pregethu, a'u bod yn wylo fel y gwlaw. A pha ryfedd? gan ei fod wedi gadael ei ol yn annileadwy ar gydwybod y wlad. Dywed Ellis Evans, yr hwn a'i hedmygai yn ddiderfyn, ac a gasglodd lawer o'i hanes i'w gof, gan fwriadu ysgrifenu cofiant am dano rywbryd, yr hyn, fel llawer o'i fwriadau eraill, er colled anadferadwy i Fedyddwyr Cymru, ni sylweddolwyd, bod yn Richard Michael fwy o gymwysderau cenadwr nag oedd yn holl bregethwyr y wlad yn y dyddiau hyny.

Yr ydoedd ei ddawn, er nid yn helaeth, yn hynod o felus; a'i amgyffredion, er nid yn ddwfn a threiddgar iawn, eto yn hynod o efengylaidd a chymwysiadol at ddeall ac amgylchiadau gwrandawyr yr oes hono. Yr oedd ei sefyllfa isel a thlodaidd yn y byd yn ei allnogi i ymdaro yn gysurus yn y manau tlotaf, ac yr oedd cymaint o arwyddion synwyr cryf, chwaeth dda, a duwioldeb ynddo, fel y perchid ef gan bawb. Llafuriodd lawer dan anfanteision mewn llawer man, ie, mwy nag a fedr neb byth gael allan bellach hyd foreu'r farn; a ffrwyth ei lafur ef yn sefydlu a meithrin cangenau, yw amryw o'r eglwysi a welir yn Mon y dydd heddyw, er, fe allai na wyddant hwy hyny! Nodwn ddwy neu dair o engreifftiau. Dyma

1. RHYDWYN, yr hon a elwid gynt "Cangen Llanfaethlu." Yma yr oedd Richard Michael yn aelod gwreiddiol, yn hen Hugh Emmanuel, Tan-y-bryn, ac yn derbyn pregethu i'w dy, a Richard Michael yn byw yn Pen-y-bryn, ac yn casglu pregethwyr yno, ac yn pregethu ei oreu ei hun.

LLANFACHRETH. Richard Michael oedd y prif offeryn i ddechreu yma. Cerddodd o Ben-y-bryn yma am tua dwy flynedd, gan gario ei damaid sych yn ei logell, ac yfed dwfr o'r ffynon gydag ef, fel Elias gynt Pregethai ar y ffordd, yn y maes, neu mewn ysgubor, fel y caffai gyfleusdra a chaniatad; ac ni bu ei lafur yn ofer. Y modd rhyfedd y cymerodd yr achos wraidd yma oedd fel y canlyn: Fel yr oedd Richard Michael yn pregethu yma yn yr awyr agored ar Sabboth gwlawog iawn, agorodd Robert Williams, Ty'n-y-maen, ddrws ei ysgubor iddo. Wedi darfod yr oedfa, arosodd amryw ar ol i ochel y gwlaw; cymerodd yntau gyfleusdra ar hyn i ymddyddan yn fwy personol â hwynt am grefydd, i'r hyn yr oedd rhai yn rhoi clust-ymwrandawiad difrifol. Wedi ymddyddan fel hyn am yspaid, efe a ddywedodd wrthynt dan wenu, (meddai John Bulkely, ei was), "Edrychwch ati bellach, bobl fach, gan eich bod wedi aros yn y seiet heddyw." Bu hyn yn foddion i beri i rai saethu allan i'r gwlaw, a chynesu eraill tuag ato, fel ag i agor iddo ddrysau eu tai o hyny allan. Y drws cyntaf a agorwyd oedd eiddo Robert Williams, Ty'nymaen, yr hwn a fu garedig i'r achos am flynyddau, er na ddaeth efe ei hun byth yn aelod. Dechreuwyd bedyddio yma yn 1782. Bu gan Richard Michael law neillduol hefyd yn nghangenau Ty'nllidiard, Amlwch, Y Fedw, Pont-tri-pont, a Llanfairmathafarneithaf. Mewn gair, yr oedd ei lafur i sefydlu ac i feithrin cangenau, yn deilwng o apostol, a gellir dweyd fod ei "ofal am yr holl eglwysi."

Nodwn eto ychydig o engreifftiau o helyntion a gwroldeb Richard Michael wrth bregethu a bedyddio, y rhai y byddai yn drueni iddynt fyned ar ddifancoll. Efe oedd y cyntaf a weinyddodd yr ordinhad o fedydd yn Pont-tri-pont, yr hyn a gymerodd le ar y 30ain o Hydref, 1791, pryd y bedyddiwyd Elinor, gwraig Wm. Williams, melinydd, Bodiar. Yr oedd un o feibion y fall yn bresenol, sef Harri Terrer, ew-

ythr, brawd ei dad, i William Terrer, pregethwr gyda'r Bedyddwyr yn Amlwch wedi hyny, ac ewythr hefyd, mae yn debyg, i'r Terrer hwnw a nodwyd eisoes yn taflu y ci at ben Jenkin Davies yn Beaumaris, yn 1785. Crochlefai hwn mewn modd gwarthus pan oedd Richard Michael yn y dwfr, yn erbyn y gweinyddwr a'r ordinhad; ond ni lwfrhaodd ysbryd yr hen wron, eithr trodd i weddio dros yr erlidiwr, ac efe a weddiodd yn y fath fodd nes y tawodd efe mewn cywilydd ac euogrwydd; a chafodd rhywrai eraill y pleser o'i weled yntau yn cael ei fedyddio wedi hyny cyn ei farw. Un ryfedd yw'r efengyl; y mae wedi darostwng cewri cedyrn fyrdd i lawr, ac yn eu plith amryw o welygordd y Terreriaid o Ynys Mon, y rhai oeddynt unwaith yn llidiog i'r Bedyddwyr, ond a ddaethant wedi hyny yn Fedyddwyr selog eu hunain.

Tro arall hynod a fu ar Richard Michael oedd yn Llanrwst, wrth fedyddio yno am y waith gyntaf. Tybiwyf fod hyn yn 1787, canys dyna'r pryd y dechreuwyd bedyddio yn yr ardal hono. Yma, yn Trefriw, y bu meibion y fall yn baeddu Peter Williams yn y modd mwyaf gwaradwyddus. Yr oedd yno dorf fawr wedi dyfod yn nghyd i wrando ar Richard Michael, ond yn benaf i wawdio y bedydd, nes oedd y pregethwr, druan, wrth wybod hyny yn crynu drwyddo gan ofn. Pa fodd bynag, efe a ddarllenodd ac a weddiodd; ond gyda'i fod yn gorphen gweddio, gwelai y dorf yn cynhyrfu, ac wrth syllu i'r cyfeiriad hwnw, gwelai ddyn a golwg ysgeler arno, gydag ysgyren anferth ar ei ysgwydd, yn ymwthio yn mlaen drwy y bobl gan eu cilgwthio â'i benelinian, nes oeddynt yn ymwahanu yn ddwy garfan, ac yntau yn cyfeirio yn syth at y pregethwr! Dywedai Richard Michael ynddo ei hun, wrth ei weled yn nesu ato, "Wel, wel, os oes gan yr ysbryd drwg ryw offeryn i'm lladd, mae yn debyg mai dyma fo!" Erbyn hyn yr oedd yr ysgeler-ddyn wedi cyrhaedd hyd ato, ond heb ddweyd gair wrtho ef, trodd ei gefn ato, a'i wyneb at y bobl, a chan *ymsadio* goreu y gallai—canys yr oedd yn amlwg ei fod yn bur feddw—ac ymaflyd â'i ddwylaw yn yr ysgyren oddiar ei ysgwydd, efe a dyngai i'r ysbryd drwg y darnladdai efe pwy bynag a gynygiai rwystro'r pregethwr fyned yn mlaen a'i waith. "Mae gan bawb ei opiniwn," ebai efe, "ac felly mae gan y bobl hyn; ac yr ydw' i wedi dwad yma i wel'd a chlywed pob peth; am hyny, gadewch chwi nhw'n llonydd i wneyd pob peth, onide, myn d——l, mi'ch bynafa i chwi bob un!" Wedi yr araeth ryfedd hon, aeth y gwrandawyr mor ddystaw a chwn yr Aipht, ac ni fedrai neb estyn ei law at Richard Michael mwy nag y medrai Jeroboam, fab Nebat, at y prophwyd o Judah gynt. "Diau, cynddaredd dyn a'th foliana di!"

Ond dichon, mai y tro rhyfeddaf a gymerodd le yn mywyd Richard Michael oedd wrth fedyddio John Hughes, Troedyrhiw, yn Roewen, ger Conwy. Gwëydd oedd John Hughes, yn byw mewn tyddyn bychan yn agos i Roewen; ac yr oedd yn ddyn hynod lariaidd a thawel ei ysbryd, ac yn ddigon parchus yn yr ardal; ond yr oedd ganddo arthes o wraig o'r enw Nanni—dynes ddidoriad, wyllt-dymer, a ymddangosai yn fwy na haner gwallgof wedi iddi gael ei chynhyrfu; ond er hyny yr oedd yn wraig dda, a chanddi barch diderfyn i'w gwr. Pa fodd bynag dechreuodd John Hughes feddwl am grefydd, a son am gael ei fedyddio; ond aeth Nanni yn wyllt wibwrn wrth glywed ei fod yn meddwl cael ei fedyddio a gwneyd ei hun yn *bricsiwn* i'r holl wlad. Yr oedd ei chymydogion yn arfer ystyried fod rhyw wall-synwyr yn Nanni Troedyrhiw bob amser, ond priodolai hi waith ei gwr yn son am gael ei fedyddio i'w wall-synwyr ef, a bygythiai "ladd pwy bynag a'i taflai i'r dw'r." Ond ni fyddai waeth iddi hi na neb arall geisio rhwystro afon Conwy i fyned i'r môr na cheisio rhwystro John Hughes wedi iddo ef wneyd ei feddwl i fyny i gael ei fedyddio. Pan ddaeth y dydd, yr oedd Richard Michael, yr hwn oedd y parotaf o bawb yn y dyddiau hyny i wynebu peryglon, wedi dyfod i'r ardal yn

brydlon. Er y ceisid cadw y bedydd yn ddirgel rhag cyffroi Nanni, daeth tyrfa fawr yn nghyd. Awd trwy y darllen a'r gweddio yn ddigon tawel, ond gyda bod Richard Michael a John Hughes yn myned i waered ill dau i'r dwfr, ac yn parotoi i weinyddu yr ordinhad, dyma Nanni Troedyrhiw yno fel arthes, a'i gwallt fel mwng merlen y mynydd dros ei llygaid, ac yn chwythu bygythion fel draig, er dychryn dirfawr i'r ychydig grefyddwyr oedd yn y lle, a difyrwch nid bychan i'r rhai oedd wedi dyfod yno i gael sport. Hi a ruthrodd yn mlaen trwy y bobl, a phan welodd y ddau ddyn yn sefyll yn y dwfr, ac heb fod yn mhell oddiwrth y geulan, hi a drodd at y clawdd gerllaw, gan gymeryd oddiyno gareg fawr, gymaint bron a allai gario yn ei choflaid, ond pan yn y weithred o geisio ei thaflu ar ben Richard Michael, "am wneyd Shon ni yn *bricsiwn* y byd fel hyn," yn ei ffwdwn hi a gollodd afael ei throed ar y geulan, a lawr a hi dros ei phen i'r dwfr, a'r gareg yn dyn yn ei choflaid; a chyn iddi allu codi, yr oedd y bedydd wedi ei weinyddu, a'r ddau ddyn wedi dyfod i fyny o'r dwfr.

Wedi i bob peth fyned drosodd, fe faddeuodd Nanni i John Hughes yn gynt nag y buasid yn dysgwyl, gan ei fod ef yn sicrhau wrthi na chymerai byth ei fedyddio drachefn; ond yr oedd yn para yn greulon at Richard Michael, ac yn tystio o hyd y lladdai hi ef. Ond nid dyn oedd Richard Michael i gymeryd ei ddychrynu, ac i adael y praidd bychan yn y Roe gan fyth-eiriau cymeriad fel Nanni Troedyrhiw. Anfonodd ei gyhoeddiad yno ar noson waith, daeth yno a phregethodd; ac ar ol yr oedfa, wrth weled pawb yn cefni arno heb gynyg iddo lety noson, efe a ofynodd ar gyhoedd, a oedd yno neb a allasai fforddio llety noson i bregethwr tlawd er mwyn ei Feistr? Wrth weled nad oedd neb yn ateb, trodd John Hughes, Troedyrhiw, ei wyneb yn ol, a dywedodd, "Wn i yn y byd beth i wneyd, Richard Michael. Mae gwely yn ein ty ni, a digon o fwyd, a chroesaw hefyd o'm rhan i; os mentri di at y wraig acw." "Wnaiff hi ddim byd i mi, tybed?" gofynai Richard Michael. "Nid wn i ddim yn wir," oedd yr ateb, "y mae hi yn chwythu bygythion yn ddychrynllyd, ac ni welais i mo honi yn para mor greulon at neb erioed o'r blaen; ond nid wyf am dy rwystro di i ddyfod acw; os mentri di, mi fentraf finau." Ac nid oedd dim i'w wneyd ond "mentro," gan nad oedd un lle arall i'w gael. Ac yno y cychwynwyd, ond nid heb lawer o ofn, gan nad oedd y naill yn yngan gair braidd wrth y llall ar hyd y ffordd. Erbyn cyrhaedd y ty, yr oedd y lle yn dawel, a Nanni yn ei gwely. Hwythau, yn tybied ei bod yn cysgu, a gymerasant damaid ddystawed ag y medrent; a rhag ei deffroi, a aethant ill dau i'r gwely arall. Ond gyda'u bod hwy wedi llonyddu, clywsant Nanni yn disgyn i'r llawr, ac ar yr eiliad dyna hi yn cipio rhyw ddelffon neu bastwn bugail anferth o'r car yn mhen y ty, ac i mewn atynt, gan ddechreu eu dulio trwy ddillad y gwely gyda'r ffyrnigrwydd mwyaf ofnadwy, ac ar yr un pryd yn chwythu trwy ei danedd, "Mi lladda fe'n gordyn—gelain—yn gordyn—gelain!" tra ei phastwn bob ergyd yn cyrhaedd at y pared, gan dybio mai yno yr oedd Richard Michael yn gorwedd. Ond, fel y dygwyddodd, John Hughes oedd yn gorwedd yn y parth hwnw o'r gwely, ac felly efe oedd yn cael teimlo pen trymaf y ffon. Tra yr oedd hi yn curo fel hyn, yr oeddynt hwythau yn dal y gwrthbanau yn dyn â'u traed a'u dwylaw er ceisio arbed eu cyrph goreu y medrent. Ac wedi iddi felly arllwys ei dialedd, a rhoi yr ergyd diweddaf ar draws asenau y gwr nesaf i'r erchwyn, nes oedd hwnw yn gruddfan dan y pastwn, a dweyd, "A chwithau hefyd, wr, am hel rhyw grwydriad fel hwn i nhy i," hi a ddychwelodd i'w gwely, gan chwerthin yno fel ellyll, mewn boddhad o fod wedi cael ymddial ar Richard Michael, druan! er mai ei gwr ei hun oedd wedi cael y gwaethaf o lawer.

Y peth cyntaf a deimlodd Richard Michael boreu dranoeth oedd bachau'r crochan am ei wddf, a Nanni yn sefyll

wrth ei ben, yn dechreu ei lusgo ef o'r gwely! Ymhwëddai yntau arni am ei adael yn llonydd i wisgo am dano, yr hyn a gafodd. Ac erbyn hyny yr ydoedd John Hughes wedi dyfod i'r ty—wedi codi o hono o flaen Richard Michael, a myned allan at yr anifeiliaid—a'r cryman cau yn dygwydd bod yn ei law, a gofynai iddi, "Ydych chwi ddim yn gwneyd brecwast i Richard Michael, Nanni?" "Brecwast iddo?" ebai hithau, gan gipio y cryman cau o law ei gwr, gafael yn ngwallt hirllais Richard Michael o'r tu ol ag un llaw, a chodi yr arf miniog wrth ei ben â'r llaw arall, hi a dyngai "y torai ei ben ef cyn y gwnai hi frecwast iddo." Deallodd Richard Michael mai dangos ei hafiaeth yr oedd Nanni, ac nad oedd ynddi fwriad i'w lofruddio, am hyny dechreuodd ymresymu â hi yn lled ysmala yn nghylch ei ben—fod ei ben o werth mawr iddo fe, ac na fuasai yn werth dim byd iddi hi, ac y buasai pregethwr yn edrych yn od iawn heb un pen, &c.; ac wrth ymgomio â hi felly, fe'i llarieiddiodd hi, nes daeth fel yr oen! Hi a wnaeth fwyd iddo; ac wrth iddo gychwyn ymaith, gwahoddai ef yno drachefn, os deuai byth yn agos yno, gan ychwanegu, "na chai ef byth mo honi yn waeth na'r tro hwnw." Dyma ffordd ryfedd i ddofi gwylltfilod! ond fe lwyddodd Richard Michael trwyddi i agor drws Troedyrhiw i aml bregethwr y Bedyddwyr a ymwelodd wedi hyny â Roewen fynyddig a thlawd; ac nid oes hanes i neb o honynt o'r dydd hwnw allan fod mewn perygl o golli ei ben.

Dyma ni yn gorfod ffarwelio â Richard Michael, am fod ein defnyddiau wedi darfod, ac yntau wedi hwylio dros y cefnfor mawr i dir America, mewn ymchwil am "Sefydliad Beulah," lle ni chafodd efe aros ond am un Sabboth, gan iddo gyfarfod yno yn union â rhai o'r "rhai dysglaer," y rhai a'i dygasant ef, nid dros y Redstone Creek i Beulah'r diffaethwch, ond dros afon arall i'r "orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw." Heddwch i'w lwch, a pharch i'w goffadwriaeth.

Yr oeddwn yn bwriadu wrth gychwyn rhoddi yn yr ysgrif hon nodiadau am ddau wr enwog arall—John Williams, Athraw Cerddoriaeth, gweinidog cyntaf Aberystwyth a'r Penrhyn; a Robert Roberts, Glanwydden. Ond rhaid aros hyd y rhifyn nesaf.

---

CAN.

## "Y GRAIG AR LAN Y MOR."

*Cystadleuol yn Eisteddfod Youngstown, Ohio, Nadolig, 1879.*

BEIRNIAD—MORDDAL.

Henafol graig uchel, pwy draetha dy oed?
Tra'r niwl ar dy goryn, a'r môr gylch dy droed;
Cadernid a mawredd sy'n llanw dy fron,
A'th fraich estynedig darawa y don,
Nes ydyw yn gwynu, a tharo bob tu,
Gan ruo a gwingo, a rhedeg i'r lli'
O'r lle y daeth allan mewn nwyd atat ti.

Mae llwydni yr oesoedd yn gwisgo dy ben,
A rhychiwyd dy ochrau gan stormydd y nen;
Ond eto ymgodi mor hyf ag erioed,
Ac amser ollyngi i'r môr wrth dy droed.
Paham yr edrychi mor syn ar y lli'?
A ydwyt yn ofni ei donau diri'?
O! na, y mae *calon o ddur* genyt ti.

A fu y môr unwaith yn cuddio dy wedd?
A fuost, graig arw, i'r morfil yn sedd?
A ydwyt yn cofio pan wthiaist dy hun
I fyny'r tro cyntaf, i wel'd yr haul cun?
A deimlaist lawenydd pan sangodd y wawr
Dy ben y tro cyntaf?—a grymaist i lawr,
I gynyg addoli gogoniant mor fawr?

Ai yma yr oeddet pan rhedodd y môr
I'w le y tro cyntaf, ar amnaid yr Ior?
Ti glywaist ei dwrw—pa fodd mae dy glust?
Ai hwnw a'th yrodd i edrych mor drist?
Paham y gogwyddi uwchben y don flin?
A ydwyt mewn awydd am wel'd y wawr gun
Ar fynwes yr eigion yn tynu dy lun?

Pa le mae'r gronynau a dreuliwyd i ffwrdd
O'th fron gan dymestloedd a ddaethant i'th gwrdd?
Ai edrych am danynt yr ydwyt yn awr?
Gan agor dy freichiau ar lan y môr mawr?
Nis gallet eu hadwaen pe gwelet hwy 'i gyd,
Maent wedi cymysgu â thywod y byd,
Sy'n dal y môr nwydwyllt rhag dianc o'i gryd.

A wyt yn hiraethu (wrth glywed y gwynt
Yn dod o wlad arall yn fywiog ei hynt)
Am weled y glanau tu hwnt i'r môr gwyrdd,
Lle saif dy chwiorydd mewn mawredd ac urdd?

Neu ynte a ydwyt yn foddlon bob pryd
I eistedd yn dawel heb weled y byd,
Er ymladd â'r tonau digofus o hyd?

Ha! graig fyth sefydlog, a welaist y llong
Yn myned yn ddrylliau dan bwys y don flong?
Do, do, bu y morwr yn cripio dy fron,
Ond angau a'i cipiodd o ysgwydd y don;
Efe ni achubaist, er cymaint ei gri,
Ymsuddodd! bu farw yn nghanol y lli',
A thrist oddiar hyny, byth, byth ydwyt ti.

A fu gwraig y morwr erioed ar dy ben,
Yn offrwm ei gweddi o'i chalon i'r nen,
Ar ran ei gwr anwyl, farchogai'r môr erch,
Yn mhell o gymdeithas hoff wrthrych ei serch?
O, do, bu ei dagrau yn gwlychu'th war gref,
A'i chri yn dy holltau fel adsain o'r nef,
Ac engyl fu arnat yn gwrando ei llef.

Diaddurn *byramid*, gogoniant dy Dduw
Sydd arnat ac ynot, fel ysbryd mawr byw;
Er nad ydyw'r llanw na'r trai yn dy law,
Dy fawredd a'th urddas ganfyddir o draw.
Ond clyw! y mae boreu ar dori gerllaw,
Pan dodda dy galon, pan neidi mewn braw
I ganol yr eigion, a rua'n ddidaw!

MYFYR GLAN Y MÔR,
*Sef* JOHN T. WILLIAMS, *Youngstown, O.*

---

## R. H. EVANS A CHYMUNDEB.

*Erthygl V.*

Cyhuddir y Bedyddwyr o fod mor benrhydd fel y "caniatant i ddynion wahaniaethu yn eu golygiadau ar faterion eraill bron yn ddiderfyn." Dyma haeriad caled a phwysig. Wrth gwrs, nid yw yn ceisio ei brofi; pe felly, ni buasai fel efe ei hun. Arwydda y cyhuddiad hwn fod y Bedyddwyr yn blaid hynod rydd gyda golwg ar athrawiaethau yr efengyl yn mhob peth braidd ond bedydd a chymundeb. Dangosed Mr. E. fod y Bedyddwyr yn llai manwl yn nghylch athrawiaethau yr efengyl na'r Methodistiaid, neu ryw enwad arall. Mae adnod i'w chael yn yr Hen Lyfr, yn dyweyd, "Na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymydog." Mae yn adnod dda iawn; darllenwch hi, Mr. E., yn ystyriol. Pe na fuaswn yn caru ei roi mewn cymaint trafferth, buaswn yn galw arno i brofi ei haeriad; ond mae ganddo wraig a phlant, efallai, i ofalu am danynt. Ond mi fedraf fi, yn hyn eto, amddiffyn y Bedyddwyr drwy alw fy nhystion o fysg taenellwyr. Mae yn wir y gallwn i ddyfod a haeriad yn erbyn haeriad, ond ni byddai y naill haeriad ddim gwell na'r llall, i brofi y pwnc; ond cael tystion yw'r mater, a'r tystion hyny o'r ochr wrthwynebol. Gwyr pawb na fu y Pabyddion erioed yn gyfeillion i'r Bedyddwyr, ond fe gaiff Pabydd amddiffyn y Bedyddwyr yn awr yn erbyn haeriad y Methodist o Waukesha. Cardinal Hosius a ddywed, "Os edrychwch ar eu sirioldeb yn dyoddef erledigaeth, mae'r Ail-Fedyddwyr yn myned tu hwnt i'r holl hereticiaid eraill; os edrychwn ar eu rhif, maent mewn lluosogrwydd yn ymddangos yn chwyddo uwchlaw pawb eraill, pe na buasent yn cael eu poeni yn ofidus a'u tori ymaith gan gyllell erledigaeth. Os edrychwn ar eu hymddygiad allanol o dduwioldeb, rhaid i'r Lutheriaid a'r Zwingliaid ganiatau eu bod yn mhell tu blaen iddynt. Os cynhyrfir chwi gan ymffrost gair Duw, nid yw y rhai hyn yn llai gwrol na Calfin i bregethu, a'u hathrawiaethau raid sefyll yn uchel uwchlaw holl ogoniant y byd; saif yn anorchfygol ar bob gallu, gan mai nid eu gair hwy ydyw, ond gair y Duw byw." *Bravo*, Cardinal Hosius; nis gallasem ddwyn gwell cymeriad i ni ein hunain, pe cymerasem ddeng mlynedd i'w ysgrifenu. Mae yn bryd i chwi, Babyddion, ddechreu dweyd y gwir ar y Bedyddwyr, dywedasoch lawer o anwireddau arnynt erioed. Gwyddoch chwi, ond nis gwyr pawb, ei bod yn ormod o'r dydd i haeru anwireddau arnynt yn awr. Mae tystiolaeth y Cardinal yn ddigon i argyhoeddi pob dyn diragfarn, gan ei bod yn cael ei dwyn gan ddyn ag oedd yn gwybod lawer yn well am y Bedyddwyr nag y gwyr R. H. E. Ond pe gwyddwn ei fod yn angenrheidiol, gallaswn ddwyn cymeradwyaeth Cotton Mather, Massachusetts, a Dr. Chalmers, o Scotland, y ddau yn daenellwyr, a'r cyntaf yn wrthwynebwr penderfynol iddynt. Pa beth, atolwg, yw haeriad beiddgar y dyn o Waukesha yn ein herbyn, mewn cydmariaeth i gymeradwyaeth uchel pob un o'r tri dyn a enwais.

Cyhuddiad arall a ddygir yn ein her-

byn gan R. Hall a R. H. Evans ydyw, "Ein bod yn rhanu y byd yn dair rhan gyda'n caeth gymundeb, tra nad yw y Beibl yn ei ranu ond i ddwy ran." Ateb. Os yw rhanu y byd yn dair rhan yn bechod yn y Bedyddwyr, rhaid ei fod yn fwy o bechod ei ranu yn bedair rhan, fel y gwna taenellwyr, a neb yn fwy euog ar y pen hwnw na'r Methodistiaid Calfinaidd. Rhanant yr eglwys yn ddwy ran, sef aelodau a gânt gymundeb, ac aelodau a gedwir oddiwrtho, sef eu plant, y rhai y dadleuant mor selog dros eu haelodaeth. Mae ganddynt ddwy ran tu allan i'w heglwys, sef duwiolion difedydd ac annuwiolion bedyddiedig, tair rhan o'r pedair yn cael eu derbyn i'r nef, eto dim ond un rhan o'r tair yn cael derbyniad at fwrdd cymundeb y Methodistiaid! Sylwer nad yw y ddadl hon yn milwrio yn erbyn R. Hall, o herwydd nid·oedd efe yn cydnabod aelodaeth babanod, fel y gwna y Methodistiaid; ac nid oedd ychwaith yn gwrthod dyn duwiol difedydd, fel y gwnant hwy wrthod *Quakers* pe caent gyfleusdra. Dylech, Mr. E., wadu aelodaeth eglwysig eich plant, neu roddi cymundeb iddynt, fel y buont arfer cael am ganoedd o flynyddoedd, neu ynte dylech addef eich bod yn annhraethol fwy caeth yn eich cymundeb na'r Bedyddwyr, ac edifarhau am eu condemnio mor anghyfiawn. Pa un a wnewch?

Dywed Mr. E., "Gan fod y Bedyddwyr yn mabwysiadu mesurau mor eithafol, rhaid fod y Beibl yn hollol eglur ar y mater, neu fod blaenoriaid yr enwad yn cael eu hysbrydoli mewn rhyw fodd goruwch-naturiol, fel y gallant honi anffaeledigrwydd mewn esbonio a deddfu." Atebaf, Nad yw blaenoriaid y Bedyddwyr yn cael eu hysbrydoli mewn un modd goruwch-naturiol, mwy na dynion eraill, ac ni ddarfu iddynt erioed honi hyny, ar ol yr oes apostolaidd; ond y maent yn honi fod y Beibl yn hollol eglur ar y mater y gwahaniaethwn yn ei gylch, fel y dangosais mewn erthyglau blaenorol. Gan fod y Bedyddwyr wedi cael eu condemnio gynifer o weithiau am fod mor benderfynol ar y pwnc o fedydd, a'u cyhuddo o honi anffaeledigrwydd Pabyddol, atebaf, nas gellir credu fod un tywyllwch yn neddf bedydd, heb ddirmygu gosodwr y ddeddf. Edrychid ar unrhyw lywydd daearol yn isel pe rhoddai orchymynion i'w ddeiliaid mewn ffordd nas gallent eu deall; ac nis gellid edrych yn wahanol ar lywydd nefol. Os ydych am ddiystyru y Bedyddwyr fel rhai anwybodus, peidiwch a dirmygu ein Crist ni, Mr. E., drwy dybied iddo roddi deddfau i'w ddeiliaid mewn ffordd dywyll. Credaf fod "dirgeledigaethau yn perthyn i Dduw, ond pethau amlwg a roddwyd i ni ac i'n plant, fel y gwnelom hwynt." Mae bedydd yn un o'r pethau a roddwyd i ni fel y gwnelom ef, am hyny mae yn rhaid; ie, mae yn rhaid, ei fod yn amlwg. Oni fwriadwyd yr efengyl i'r tlodion?—os felly, rhaid ei bod wedi ei bwriadu i fod yn eglur iawn. Ni gredwn fod bedydd wedi ei roddi i ni, am hyny ni gredwn ei fod yn amlwg, oblegid mae y Beibl yn dweyd hyny yn bendant. Heblaw hyny, pa fodd y gallwn beidio a bod yn benderfynol, tra mae eich prif ddynion chwi eich hunain yn ein dysgu i fod yn benderfynol? Mae Calvin yn dweyd wrthym pa beth yw meddwl y gair ddefnyddiodd Crist am fedydd, yr hwn air mae y brenin Iago a'i gyfieithwyr taenellyddol wedi ei guddio oddiwrth y Sais annysgedig, drwy ei adael heb ei gyfieithu; ac mae yr un peth wedi ei wneuthur i'r Cymro annysgedig. Ond mae Beza, cydymaith John Calvin, yn sicrhau i ni mai trochi yw meddwl y gair; ac y mae Whitfield yn sicrhau mai cyfeiriad at y dull o drochi sydd yn Rhuf. vi. 4. A ydyw yn fwy o bechod ynom ni i deimlo yn sicr a phenderfynol nag ydyw yn y dynion a enwyd? Nid yw eich prif ddynion chwi eich hunain yn arwyddo dim amheuaeth ar y pwnc. Mae Dr. Parson, prif ysgolhaig Cambridge ar yr iaith Roeg, yn dweyd, "fod yn ddirmygus meddwl fod i'r gair un meddwl priodol ond trochi." Mae Dr. Anthon, un o brif ysgolheigion America, yn dweyd, mai "trochi yw ei feddwl, a bod taenelliad allan o'r cwestiwn." Ond pa

ddyben ydyw dechreu enwi; gallwn lanw papyr hwy na'm braich, heb gael lle i haner eich dysgedigion, y rhai ydynt oll yn dweyd mor benderfynol wrthym mai trochi yw bedydd, ac mai trochi oedd y dull apostolaidd. Pa Fedyddiwr erioed a lefarodd yn fwy penderfynol na Deon Stanley, yn y *Nineteenth Century?* A chan fod Mr. Spurgeon yn sefyll mor uchel yn eich golwg, (gelwch ef yn un o ser dysgleiriaf yr eglwys), dyma ei dystiolaeth ef: "Pa awdurdod sydd gan arferiad (bedydd babanod) ag a ellir brofi yn dechreu tua diwedd y drydydd ganrif?" Dyna dystiolaeth eich cyfaill Spurgeon. Ni buaswn yn ei enwi ef oni bae fod genych feddwl mor fawr o hono, oblegid nid wyf yn arfer a galw y Bedyddwyr yn mlaen i dystio o'm plaid. Os yw bedydd yn dywyll, pa fodd y mae eich dynion chwi eich hunain yn llefaru mor benderfynol? A pha fodd y gellir condemnio y Bedyddwyr am honi anffaeledigrwydd Pabyddol, heb i chwi ar yr un pryd gondemnio eich prif ddynion eich hunain? Daliodd trochiad ei ffordd am dri-chant-ar-ddeg o flynyddau, drwy yr holl oesau tywyll, a'r holl chwildroadau a gymerodd le ar bob cangen arall braidd o Gristionogaeth; ac fe saif pan syrthio pob cyfundraeth gyfeiliornus a godwyd ac a godir eto; ie, fe saif tra saif y ddaear, gan ei fod yn perthyn i deyrnas ddisigl yr Arglwydd Iesu Grist.

Mae ein sefyllfa fel Bedyddwyr yn un *critical* iawn. Pe rhoddem un cam er boddloni y taenellwyr, drwy gymuno gyda hwynt, gorfodai hyny ni i gymeryd cam arall, sef addef fod taenelliad yn fedydd rheolaidd, oblegid nid ydynt hwy yn credu fod cymundeb i fod o flaen bedydd, ac nid fel rhai difedydd maent am gael eu derbyn i gymundeb genym. Ar ol rhoddi y ddau gam yna, byddai yn rhaid i ni, er mwyn cysondeb, roddi cam arall, sef peidio bedyddio neb fuasai wedi ei daenellu o'r blaen, oblegid nid ydynt hwy, mwy na ninau, yn credu y dylai bedydd gael ei weinyddu ond unwaith i'r un person. Ar ol cymerwyd y tair step a nodwyd, er boddloni y taenellwyr, byddem erbyn hyn wedi myned i afael y darfodedigaeth cyflym, a gallem drefnu ein ty, a marw yn fuan; ac os byddem byw ychydig, ni byddem allan o gyrhaedd *canons* Bunyan a R. Hall wedi hyny, hed roddi step arall, sef rhoddi cymundeb i bob dyn a farnem yn dduwiol, pa un bynag a fuasai wedi cael un math o fedydd, neu heb ei fedyddio mewn un modd. Wel, ar ol cymeryd y pedwerydd cam a enwais, mae pawb yn foddlawn yn awr? Na, dim o'r fath beth; yr ydym yn waeth ein cyflwr nag erioed, oblegid byddem wedi tynu yr holl daenellwyr yn ein herbyn eilwaith, drwy gymuno gyda dynion na chawsant un math o fedydd, yr hyn nid yw y taenellwyr yn credu sydd reolaidd yn y mesur lleiaf. Wel, wel, dyna ni wedi dyrysu pob peth eto, ar ol cymeryd tair step i foddloni y taenellwyr, a rhoddi y pedwerydd i foddloni Bunyan a Hall, dyna ni wedi tynu y taenellwyr eilwaith yn ein penau. Wel, pa beth a wnawn, yw y pwnc nesaf. Ateb: Un o ddau beth, sef naill ai cadw at ein hegwyddorion, a byw; neu eu gadael, ar gais R. H. Evans, a marw. Ond mae dau gwestiwn yn codi yn y fan yma: 1. Pa fodd y mae Bedyddwyr Rhydd yn gallu byw? 2. Pa golled i grefydd pe baem yn marw fel enwad o Fedyddwyr, drwy ymgolli i gyrph enwadau efengylaidd eraill, fel eu gelwir?

Bwriadaf ateb y ddau ofyniad uchod mewn rhai o'm herthyglau dyfodol. Nid wyf yn bwriadu rhoddi heibio fy ysgrifell yn fuan. Gobeithiwyf y bydd i dderbynwyr y WAWR eu darllen yn fanwl ac ystyriol; credwyf y bydd ynddynt lawer o bethau a wnant les iddynt, drwy eu cadarnhau yn y gwirionedd.

W. JONES.

---

## DARPARU YR HAF AR GYFER Y GAUAF.

Un o dymorau y flwyddyn ydyw yr haf, yn yr hwn y mae Awdwr natur wedi trefnu ein bod i hau a medi, a chasglu ffrwythau a chynyrchion y ddaear. "Ti a luniaist haf a gauaf;" a phenderfyniad yr hwn a luniodd y

tymorau yw, y cânt fod yn rheolaidd hyd ddiwedd amser. Y mae Awdwr natur wedi penderfynu amser cyflawniad rhai pethau yn annibynol hollol ar ein hewyllys ni; megys amser hau a medi, dydd a nos, haf a gauaf, cysgu a gorphwys. Y mae pethau eraill wedi eu gadael i farn a doethineb dyn, megys bod yn ddiwyd amser hau a medi, a gofalu am ddefnyddio tymor yr haf i barotoi ar gyfer ein hangenrheidiau personol a theuluaidd yn y gauaf; ond mor sicr a bod Duw wedi trefnu y pethau hyn, ni ellir esgeuluso ein dyledswyddau heb ddyoddef cosb oblegid hyny.

Y mae natur yn ein dysgu mai yr haf yw yr amser i ni i barotoi erbyn y gauaf. Tymor ffrwythlon yw yr haf. Nid ydym yn dysgwyl ffrwyth yn y gauaf. Nid yw y medelwr yn myned i'r maes i fedi yn y gauaf, na'r gwinllanydd yn myned i'w winllan i gasglu grawn. Y mae natur y pryd hwnw yn gorphwys oddiwrth ei llafur; neu yn fwy priodol, y mae yn casglu nerth ac adnoddau erbyn gwaith y gwanwyn a'r haf. Y mae natur yn hyn yn wahanol i ni; parotoi yn y gauaf erbyn yr haf y mae hi, ond parotoi yn yr haf erbyn y gauaf yr ydym ni. Y mae yr holl dymorau yn angenrheidiol yn nhrefn natur, ac yn meddu eu lle priodol, eu gwaith a'u cyfleusderau neillduol. Ond y mae mwy o swyn i'n holl synwyrau naturiol yn y tymor haf nag sydd yn y gauaf. Ystyrir y rhew, yr eira, y gwyntoedd oer, a'r tywydd garw, yn ymwelwyr annymunol, er mor angenrheidiol; gyrant brydferthwch natur i gilio; dystawa holl gantorion y maes. Ond y mae pawb yn canfod prydferthwch yr haf; y mae ei olygfeydd yn ddymunol i'r llygaid, yr arogl yn beraidd ac yn ddymunol i'r ffroenau, yr awyr beraidd yn hyfryd i'r teimlad pan y cusana ein gruddiau. Y mae pob tymor yn dywedyd am ddaioni Duw; eto yr ydym yn gallu gweled a deall hyny yn well yn yr haf nag ar un tymor arall. Y mae Duw yn coroni yr haf â daioni; dyma yr adeg y gwelwn ef yn ymweled â'r ddaear yn nghyflawnder ei fendithion, yn ei dyfrhau o'i ystafelloedd, yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, a llysiau at wasanaeth dyn; yn gwisgo y bryniau â harddwch, yn britho y dolydd â defaid, ac yn gorchuddio y dyffrynoedd ag yd. Cydmerir y nefoedd i haf:

> "Bydd yno yn drag'wyddol haf,
> Ni wywa byth ei blodau braf."

Y mae gwersi i ni gan y tymor hwn, ac y mae y Beibl yn galw ein sylw atynt. Dywed Solomon wrth y diogyn, am iddo fyned at y morgrugyn, edrych ar ei ffyrdd, a bod yn ddoeth. Dysg ni mai ffyddlondeb a diwydrwydd mewn amser priodol a fendithir. Yn yr haf y mae pob pelydr o oleuni, pob gronyn o'r ddaear, pob awel, pob dyferyn o wlaw, yn nghyda gwlith y nos, yn barod i'n bendithio, ond i ni wneyd ein dyledswydd; ond os na weithia dyn yn ddiwyd ac egniol yn y tymor priodol, bydd raid iddo fod mewn eisiau o fendithion cyffredin bywyd. Felly dysgir ni fod yn rhaid i ni barotoi yn y presenol erbyn y dyfodol. Y mae'n sicr fod miloedd o grwydriaid dibarch yn tramwy ar hyd y byd, yn garpiog eu gwisgoedd, yn wag eu llogellau, ac yn annedwydd eu cyflyrau, o herwydd diffyg diwydrwydd a darbodaeth brydlon erbyn y dyfodol.

Hefyd, rhaid gofalu erbyn y dyfodol mewn amser priodol. Ofer fyddai i'r amaethwr fyned i aredig ei faes pan y mae y ddaear yn gloedig gan ia, a thaflu ei had i'r eira. Os yw ef am lwyddiant, rhaid iddo wneyd ei waith yn yr amser priodol. Pe byddai i'r morgrugyn ddiogi yn yr haf, ofer fyddai iddo droi allan yn y gauaf oer, caled, i chwilio am ymborth. Felly rhaid i ni wneyd ein darpariaeth ar gyfer y dyfodol mewn adeg briodol.

*Casgliad.*—Os ydwyt, bechadur, am ddarparu ar gyfer haf gwynfyd y nef, rhaid i ti ddarparu mewn dydd gras, neu syrthio i afael angau mewn cyflwr truenus. Iē, lluosog yw y dyrfa sydd yn gwaeddi heddyw yn iaith y genedl Iuddewig, "Aeth y cynauaf heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig." Ac os collwn neu os esgeuluswn ddydd gras, heb "weithio allan ein

hiachawdwriaeth ein hunain," collwn y Cyfaill yn angau, collwn heddwch cydwybod, collwn y delyn, y palmwydd, a'r goron; mewn gair, collwn y cwbl oll, ond tlodi, trueni, a gwae tragywyddol. Ond os byddwn ddoeth i ddarparu mewn amser priodol, a meddianu haf gwynfyd y nef, ni bydd un gauaf yn ei ddilyn.

John G. Lewis.

*Brown's Mills, Ill.*

---

# PWLPUD Y WAWR.

## Y Darlun Teg o Sant.

PREGETH NEWYDD GAN Y PARCH. CHAS H. SPURGEON.

**" Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni wyrais Nid ydwyf chwaith yn cilio oddiwrth orchymyn ei wefusau ef: hoffais eiriau ei enau ef, yn fwy na'm hymborth angenrheidiol."—Job xxiii. 11, 12.**

[*Parhad.*]

4. I wneyd cymeriad sanctaidd rhaid i ni gymeryd gafael yn ngherddediad Duw mewn ystyr o *brydlondeb a buander*. Yma eto rhaid i mi eich cymeryd i'r Dwyrain i gael yr eglurhad. Dywedant am ddyn a fyddo yn efelychu yn agos ei ddysgawdwr crefyddol, "Y mae ei draed wedi cymeryd gafael yn ngherddediad ei feistr," gan dybio ei fod yn dilyn ei athraw mor agos fel yr ymddangosai yn cymeryd gafael yn ei sodlau. Mae hyn yn beth bendigedig yn wir, pan y mae gras yn ein galluogi i ddilyn ein Meistr yn agos. Yn y fan yna mae ei droed ef, ac yn agos, tu ol iddo, mae yr eiddom ninau; ac yna y mae yn cymeryd cam arall, a phlanwn ninau ein traed yn y lle y planasai efe yr eiddo ef.

Mae arwyddair prydferth iawn yn grogedig yn ystafell dosbarth y plant bychain yn y *Stockwell Orphanage*:

"BETH A WNAETHAI IESU?"

Nid yn unig gall y plant ei gymeryd fel eu cyfarwyddyd, ond gall pawb o honom wneyd yr un peth, beth bynag ein hoedran, "Beth a wnaethai Iesu?" Os dymunech wybod beth a ddylech wneyd o dan unrhyw amgylchiadau, dyfalwch am Iesu yn yr amgylchiad hwnw, ac yna meddyliwch, "Beth a wnaethai Iesu?"—oblegid yr hyn a wnaethai Iesu, hyny ddylem ninau wneuthur. Wrth ddilyn Iesu yr ydym yn dilyn Duw, canys yn Nghrist Iesu y mae dysgleirdeb gogoniant y Tad i'w weled oreu.

Bydd i lawer trallod gael ei ochelyd os cedwch yn agos i sawdl eich Meistr. Gwyddoch beth a ddaeth o Petr wrth ganlyn o hirbell; mynwch brawf o'r hyn a ddaw i'ch rhan o rodio yn agos gyda'r Iesu. Aroswch ynddo ef, a gadewch i'w eiriau aros ynoch, fel y byddoch yn ddysgyblion iddo. Ni feiddiwch ymddiried yn eich gweithredoedd, ac ni feddyliwch am wneuthur felly, eto bydd i chwi fendithio Duw am eich bod chwi wedi eich hachub trwy ei ras, yn alluog i ddwyn ffrwythau yr Ysbryd, trwy ddilyn yn agos a chywir gamrau eich Harglwydd.

Mae y frawddeg nesaf yn rhedeg fel hyn: "*Cedwais ei ffordd ef;*" hyny ydyw, cadwodd Job at ffordd Duw fel rheol ei fywyd. Pan y gwyddai efe fod y peth hwn a'r peth arall yn feddwl Duw, naill ai trwy i'w gydwybod ei hysbysu ei fod yn iawn, neu trwy ddatguddiad dwyfol, yna efe a ufuddhaodd i'r awgrymiad, a chadwodd ato. Nid aeth efe o ffordd Duw i foddio ei flysiau ei hun, neu er dilyn rhyw arweinydd tybiedig; cadwodd at ffordd Duw o'i ieuenctyd hyd yr adeg pan y dywedodd yr Arglwydd ei hun am dano, "A ddeliaist ti ar fy ngwas Job, nad oes gyffelyb iddo ar y ddaear, yn wr perffaith ac uniawn, yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni?" Yr Arglwydd a roddodd iddo y cymeriad hwn wrth y diafol, yr hwn na feiddiai ei wadu, ac ni cheisiodd wneuthur hyny, ond yn unig sibrwd, "Ai yn ddiachos y mae Job yn ofni Duw? Oni chaeaist o'i amgylch ef, ac o amgylch ei dy, ac yn chylch yr hyn oll sydd eiddo oddi amgylch?" Pan y llefarodd ein testyn, gallasai Job ateb i'r cyhuddwr maleisddrwg iddo hyd yn nod ar ol i Dduw dori i lawr ei wrychoedd

ac anrheithio ei faesydd, ddal heb bechu na dweyd dim yn ynfyd yn erbyn Duw. Ni sylwodd ar gyngor ffromus ei wraig, i felldithio Duw, a marw; ond parhaodd i fendithio yr enw Dwyfol, er fod pob peth wedi ei gymeryd oddiwrtho.

5. Y trydydd ymadrodd ydyw, "*Ac ni wyrais;*" wrth yr hyn yr ydym yn deall nad oedd efe wedi gwyro *oddiwrth* ffordd sancteiddrwydd, na gwyro *yn* y ffordd. Yn gyntaf, ni wyrodd efe *oddiwrth* y ffordd. Ni throdd efe ar y llaw ddeheu nac ar yr aswy. Mae rhai yn troi i'r llaw ddeheu trwy wneyd mwy nag y mae gair Duw yn geisio ganddynt wneyd, megys y rhai fo yn dychymygu seremoniau crefyddol, a llwon, &c., nes dyfod yn ofergoelus, yn syrthio o dan iau dichell offeiriadol, a chael eu harwain i ewyllys-addoli, a phethau nad ydynt Ysgrythyrol. Mae hyn yn grwydro o'r ffordd mor wirioneddol a phe yn myned allan o honi ar yr aswy.

O, fy nghyfeillion, cedwch at symlrwydd y Beibl. Mae hon yn oes yn yr hon y mae ychydig o gyfrif yn cael ei wneyd o'r Beibl. Os bydd eglwys yn dewis dyfeisio seremoni, mae dynion yn syrthio iddi a'i harfer fel pe byddai yn ordinhad Duw. Ië, ac os na fydd i eglwys na deddf gydnabod y cyflawniad, eto os bydd i offeiriadon mympwyol ac hunanol ddewis i losgi canwyllau, a gwisgo pob math o addurniadau, a phlygu a gwyro, ac ymdeithio, y mae digon o ffwlcyniaid a wnant fyned i ba le bynag y bydd i'w gweinidog idd eu harwain, hyd yn nod pe byddai yn eu harwain i lawr i baganiaeth. "Dilynwch fy arweinydd," ydyw chwareuaeth y dydd, ond "Dilyn fy Nuw" ydyw arwyddair y gwir Gristion. Ni throdd Job ar y ddehau. Na chwaith, ni throdd efe ar yr aswy. Ni fuasai efe yn ddiofal yn ei ufudd-dod i orchymynion Duw. Yr oedd efe wedi cadw rhag gadael heibio, yn gystal a gwneuthuriad. Y mae hwn yn fater hynod o galon-dreiddiol; canys cynifer ag sydd, pechodau mwyaf y rhai ydynt bechodau o adawiad heibio. A chofiwch fod pechodau o adawiad heibio (*omission*), er iddynt orwedd yn esmwyth ar lawer o gydwybodau, ac er fod y rhan fwyaf o broffeswyr nad ydynt hyd yn nod yn eu hystyried yn bechodau, y pechodau am y rhai y bydd dynion yn cael eu condemnio yn y diwedd. Pa fodd yr wyf yn profi hyn? Beth a ddywed y Barnwr? "Bum newynog, ac ni roisoch i mi fwyd; bum sychedig, ac ni roisoch i mi ddiod; bum yn glaf ac yn ngharchar, ac ni ymwelsoch â mi." Yr hyn *na* wnaethant a'u condemniodd, yn hytrach na'r hyn a wnaethant.

Yn mhellach, cymerwyf fod Job yn tybied nad oedd efe hyd yn nod yn gwyro yn y ffordd. Ni ddarfu iddo ef ddechreu mewn rhedeg yn galed, ac yna myned allan o anadl, ac eistedd ar ymyl y ffordd a dweyd, "Gorphwys, a bydd ddiolchgar," ond cadwodd efe yn ei fynediad yn mlaen, ac ni wyrodd. Os oedd efe yn wresog a selog unwaith, parhaodd yn wresog a selog; os oedd efe yn ddiflino mewn gwasanaeth, ni ddarfu iddo lithro yn raddol i lawr i gyflwr y diog, ond gallai ddweyd, "Ni wyrais." Tra y dylem wneyd symudiadau tuag at y nefoedd, y mae llawer nad ydynt, ar ol ugain mlynedd o broffes, ddim yn mhellach yn mlaen, ond efallai mewn gwaeth sefyllfa.

(*I barhau.*)

---

## AMRYWIAETHAU.

### ERTHYGL DEON STANLEY AR FEDYDD.

Ebai y Parch. Owen Davies, Caernarfon, yn y *Greal* am fis Mai: "Mae Deon Stanley yn un o'r awdurdodau uchaf yn y deyrnas ar faterion o feirniadaeth a hanesiaeth, ac y mae yn enwog am ei degwch a'i anmhleidgarwch. Y mae wedi profi yn yr ysgrif hon mai trochi oedd dull, ac mai credinwyr oedd deiliaid yr ordinhad o fedydd yn yr oes apostolaidd, ond fod yr eglwys, yn ei doethineb, wedi newid y dull a'r deiliaid, i gyfarfod ag amgylchiadau. Y mae yn deilwng o sylw mor ddystaw ydyw gwahanol enwadau wedi bod yn

ngwyneb y fath erthygl, a hono wedi dyfod o'r fath gyfeiriad. Ond, mewn gwirionedd, y mae yr erthygl yn eu gwasgu i gongl. Nid ydyw Ymneillduwyr Protestanaidd yn cydnabod hawl yr eglwys i newid gosodiadau Duw, ac nis gallant wrthbrofi y Deon gyda golwg ar fedydd y Testament Newydd; felly yr unig beth a allant wneyd, yw bod yn ddystaw, neu roddi taenellu babanod heibio."

## NAWDD-DY I ENETHOD AMDDIFAID GAN MR. SPURGEON.

Mewn perthynas i adeiladu y nawdd-dy hwn, ysgrifena Mr. Spurgeon fel y canlyn: "Ar ol prynu a thalu am y tir ar gyfer y "*Girls' Orphanage*," yr wyf yn awr yn bryderus i fyned yn mlaen a'r anturiaeth. Bydd i'r rhes gyntaf o adeiladau gynwys tai i 250 o enethod, gydag ysgolion uwchlaw iddynt. Nid wyf eto wedi cael amcangyfrif yr adeiladydd o'r draul, ond y mae genyf reswm i gredu y costia y gwaith, gyda phobpeth perthynol iddo, oddeutu wyth mil o bunau. Ar gyfer hyn y mae genyf addewidion am y swm o dair mil. Yr wyf yn awr yn cyflwyno yr anturiaeth newydd hon i ofal Arglwydd nef a daear, gan ddysgwyl y bydd iddo ef ei lwyddo yn y fath fodd fel y bydd i'r gareg gyntaf gael ei gosod i lawr ar ddydd fy ngenedigaeth, Mehefin 19.

## CHWEDLAU A RHEGI YNDDYNT

Nid peth anfynych yn y dyddiau hyn ydyw clywed personau (ac weithiau proffeswyr crefydd) yn adrodd chwedlau a rhegi ynddynt. Dichon na fydd y chwedl yn cael ei hadrodd *oblegid* y rhegi, ond o herwydd rhyw *wit* neu dro chwithig rhywun, &c. Weithiau bydd y rhegi yn gynwysedig o enwau hyll ar yr ysbryd drwg, neu ddynion, ac efallai y rheg yn llw ofnadwy, yn gabledd, neu yn gymeryd enw Duw yn ofer! Weithiau bydd *amryw* o'r fath dermau yn yr un chwedl, ac adroddir y cyfryw i gwmpeini chwerthingar gyda hwyl fawr. Yn awr, dywedwn yn bendant, fod y fath arferiad yn wrthun, yn dangos chwaeth isel, ac hefyd yn amlygiad o anfoesgarwch, a diffyg crefydd bur.

## ODDIWRTH OLYGYDD "SEREN CYMRU."

A ganlyn sydd ddyfyniadau o lythyr y Parch. John Jones, golygydd *Seren Cymru*, atom yn ddiweddar: "Anwyl Frawd—Yr oedd eich llythyr yn wir dderbyniol, ac yn adnewyddu cyfeillach, ar ol blynyddoedd o ddystawrwydd..... Diolch yn fawr i chwi am y WAWR. Yr wyf yn teimlo dyddordeb neillduol ynddi, ac yn darllen yr ysgrifau gydag awch neillduol. Yr wyf wedi anfon i'r *Seren* ysgrif Cadwgan, a ymddangosodd yn y WAWR ar Farddoniaeth Cynddelw. Gwnaf yr un peth â'i ysgrif nesaf eto pan welaf hi. Daeth y WAWR am y mis hwn boreu heddyw gyda'r *post*, ac aethum dros yr holl ysgrifau cyn ciniaw. Gwelaf fod Cefni yn parhau i amddiffyn, a'r Mân-Lewyrchiadau yn wir ddoniol. Ewch rhagoch, a bydd cydymdeimlad y *Seren* yn llwyr gyda chwi. Mae ail rifyn *Seren Gomer* allan, ac y mae yn rhifyn da iawn. Os parha hon fel y mae yn bresenol, bydd yn drysor gwerthfawr i'r enwad. Cyhoeddwyd 2,300 o'r rhifyn presenol i archebion, a llawer o'r eglwysi heb anfon un archeb eto. Dyna beth newydd yn hanes chwarterolyn, onide? Gweithia Spinther yn rhagorol. Bu amryw o'r brodyr Gorllewinol yma yr haf diweddaf—Ednyfed, a John ei frawd; Thomas, Philadelphia, ac eraill. Mae yma rai eto.....Y mae Ednyfed yn dyfod yn ol i Salem, Maesteg. Da gyda ni ei gael yn ol. Caiff roesawiad calonog yma. Bwriada D. W. Morris gychwyn yna yn gynar yn Mai, a dyweda wrthyf "na rwgnacha byth eto ar ol cyrhaedd America." Prin yr oeddwn yn ei gredu. Yr oedd gyda mi mewn cwrdd yn Salem, Llangyfelach. Mae agwedd crefydd yn bresenol yn bur farwaidd, ond mae yr enwad yn enill tir, ac yn codi i uwch saf-

le nag erioed o'r blaen yma, a'r weinidogaeth yn uwch. Ond Ow! mae yr hen frodyr bron i gyd wedi eu claddu, a ni oedd yn hogiau, pwy ddydd, wedi ein gwthio i'r *ffront*. Mae tô o weinidogion ieuainc rhagorol yn awr yn Nghymru, ond nid oes eto gawr wedi ymddangos yn ein plith i lanw bylchau yr hen frodyr. Ni feddwn yr un Dudley, Cynddelw, Mathetes, Emlyn, &c., yn awr yn Nghymru. Dynion canolradd ydym oll, heb nemawr un yn uwch na'i frodyr. Ymddiswyddodd yr anwyl Morgans, Dolgellau, y Sul olaf o Mawrth. Nid yw yn debyg y pregetha byth eto. Yr unig un sydd yn dal fel arfer, yw Robert Jones, Llanllyfni; ïe, fel arfer yn union. A ellwch chwi gael hanes John Myles, o Ilston* yma, 1660? Yr wyf i ddarllen papyr arno, yn yr Undeb yn Nghaerdydd. Yr unig beth arall sydd gyda mi ar droed yn awr, yw, llyfr ar "Ffurf-Weddiau," &c. Yr eiddoch, JOHN JONES.

* Pwy o'n darllenwyr a fedr ein cynorthwyo i gydsynio â chais Mr. Jones?—GOL.

## AWR GYDA BEIRDD.

Pan yn agoryd drws swyddfa y llenor adnabyddus, Aneurin Fardd, yn Nassau St., New York, y diwrnod o'r blaen, teimlem ddylanwadau yr elfenau Cymroaidd yn myned yn iasau trwy ein mynwes. Oddiallan yr oedd dwndwr mawr, swn cerbydau chwyrnellol masnach ac ymdeithiad prysur tyrfaoedd pryderus yn mlaen wrth ddilyn galwedigaethau bywyd prysurfawr dinas fawr New York. Yn sicr y mae aruthredd y swn a'r dadwrdd, a'r olwg ar bethau yn ddigon a pheri i galon leddf Cymro deimlo yn llwfr a blinderus. Gan hyny iechyd a llondid i ni oedd cael trem ar wyneb a adlewyrchai mor dda elfenau natur Gymreig, pan gyfarchid ni yn siriol gan y bardd a'r henafiaethydd Aneurin Fardd. Wedi peth ymgom neillduol a chyffredinol, ebai efe wrthym, "A ellwch chwi ddyfod i'm ty yn yr hwyr, mewn trefn i ni gael ymgom a chyfeillach; mae y cyfaill Ap P. A. Mon yn wahoddedig yn barod; os gellwch, deuwch." Ebe finau, "Wel, aroswch chwi, gadewch i mi feddwl am fynyd—ïe—wel—na—o'r goreu—deuaf, 'a tanciw.' Byddaf acw, pa bryd?" "Wel, deuwch erbyn chwech." Hyny fu. Ond cyn y chwech o'r gloch, galwasom gyda ein cyfaill Ap P. A. Mon yn y masnachdy helaethfawr y gwasanaetha ynddo. Edrychai efe mor wahanol i bawb yno. Llariaidd oedd efe—pawb eraill yn meddu "llygad y geiniog." I aros yr amser penodedig aethum allan i gornel heol gyfagos, i syllu ar y bobloedd yn myned helbio, a cheisio darllen tipyn arnynt. Teimlwn fath o resyndod atynt, canys dyfalwn fod llawer o honynt fel yn dwyn arwyddion o waeledd iechyd ac eiddilwch cyfansoddiad, heblaw arwyddion ar amryw eu bod yn teimlo yn drwm feichiau bywyd. Parai yr olygfa i mi deimlo ar y pryd yn fwy boddlon ar fy sefyllfa. Dysgwyliaswn weled pobl iachach a chryfach yn ninas Brooklyn na'r rhai hyn. Ond dyma Ap P. A. Mon a minau yn myned at ein cyhoeddiad. Yn y man gofynai ein cyfaill, yn mha le y tybiwn fy mod ar y pryd. Nis gwyddwn. Gyda hyn arweiniai i fyny esgynfa drws anedd-dy hardd ein gwestuwr, Aneurin Fardd. Llawen i ni oedd cyfarfod â Mrs. Jones, ac a'r teulu, yn edrych mor dda a chysurus. Yr oedd y bardd wedi ein rhagflaenu. Wedi cyfranogi o swper danteithiol, cafwyd hamdden i gael ymgom am "helyntion byd ac eglwys." Rhaid i ni beidio bradychu cyfrinach, ond meiddiwn awgrymu i'r darllenydd i ni fethu peidio amlygu i'r bardd Aneurin nad oeddem yn gallu cyd-fyned ag ef yn ei ysgrifau diweddar ar *bolitics*—er yr addefem ein bod yn hoffi y gair tordyn am *stalwart*. Llenor Cymreig, bardd, a henafiaethydd, ydyw Aneurin Fardd. Y mae efe yn rhagori yn fawr yn y cyfeiriadau yna, ac yn neillduol fel hynafiaethydd—gwyr yn dda ffordd i siarad am bethau yn y maesydd yna, ond yn sicr nis gallwn gyd-ddwyn ag ef ar *bolitics*, ac wrth fflangellu ei wrthwynebwyr. Gresyn fod ein llenorion da yn ymostwng i luchio llaid at eu

gilydd mor ddidrugaredd, fel y maent wedi gwneuthur yn ddiweddar mewn cysylltiad ag etholiad yr Hydref yn Ohio. A methasom gelu ein barn a'n teimlad oddiwrth y bardd ar ein hymweliad ag ef y tro hwn. Rhyw wenu yr ydoedd, yr hyn oedd yn rhyw ledarwydd i ni ei fod yn cydnabod ein bod yn iawn. Trodd y gyfeillach allan yn hollol foddhaus. Buasai yn burion i ni roddi cyhoeddusrwydd i rai sylwadau a wnaed yn mhellach, ond ymataliwn. Mae Ap P. A. Mon yn edrych yn dda, er yn tynu yn mlaen mewn blynyddau. Mae y ddau wedi addaw ysgrifenu i'r Wawr.

## DYDDIAU Y CREAD.

Un o'n hysgrifenwyr goreu yn Nghymru yn bresenol ydyw y Parch. H. C. Williams, Corwen (Hywel Cernyw). Mewn erthygl arweiniol yn y *Greal* am Mai, y mae ganddo amryw sylwadau rhag-arweiniol. Meddai efe, "Wele ddyn yn tynu at ei bedwar-ugain mlwydd oed, a'i nerth yn boen a blinder iddo—cryma dan bwys blynyddoedd, a gwelir arwyddion ar ei babell adfeiliedig fod henaint wedi ei ddal. Y mae y gwahanol dymorau olynol a aethant dros ei ben wedi cerfio rhychau ar ei ruddiau, ac y mae ei brofiad ireiddlawn yn hawlio parch gwirioneddol oddiar law pawb o honom sydd yn dyfod ar ei ol. Yr un modd os sylwn ar y ddaear, ein trigfa bresenol, cawn arwyddion digamsynied o henaint gwirioneddol. Y mae ceryg y ddaear, ac 'uchder llwch y byd' yn dyweyd am gyfres olynol o greadigaethau, y rhai yn eu dechreuad, eu cynydd a'u dadfeiliad, a gymerasant gyfnodau meithion, mawredd y rhai sydd wedi ein taro â mudandod addoliadol wrth feddwl am dragywyddolrwydd y Creawdwr mawr, yr hwn a fodolai erioed, ac a eisteddai ar orseddfainc tragywyddoldeb cyn i ddefnydd ymddangos."

—Mae Negro yn Little Rock, Ark., wedi enwi ei fab newydd-anedig yn Judas Iscariot. Yr oedd am gael enw Ysgrythyrol iddo.

## MAN-LEWYRCHIADAU Y *WAWR*.

—Mae y Parch. John Morris, Houtzdale, Pa., wedi bod yn Frostburgh, Md., yn ddiweddar; pregethodd yno amryw Suliau gyda chymeradwyaeth.

—Dysgwyliwn y bydd y Parch. Benjamin Thomas, Narberth, D. C., yn glanio ar ei ymweliad ag America yn gynar yn Awst.

—Daeth Mr. John D. Hughes, *Merchant Tailor*, Johnstown, Pa., gyda ni at Mr. Morrell, o'r ddinas hono, gan *introducio* golygydd y Wawr iddo; a chyn ymadael tanysgrifiodd y boneddwr haelionus am ddeg rhifyn o'r Wawr am flwyddyn, i'w rhoddi yn rhad trwy law Mr. Hughes i bersonau perthynol i enwadau eraill yn Johnstown. Gorchymynodd Mr. Morrell i'r *cashier* dalu i ni $16 yn y fan. Go dda, onide? Pwy a'i hefelycha?

—Diolchwn i'r brawd John X. Jones, Chicago, Ill., am ei awgrymion, maent i'r pwynt, ac yn amserol. Ond yn wir, frawd, anhawdd boddio pawb; yr ydym yn gwneyd goreu y gallwn, a derbyniwn lawer o gymeradwyaethau nad oes neb ond ein hunain yn gwybod am danynt. Cofier mai yn *raddol* mae y wawr yn goleuo ac yn dod yn ddydd.

—Mae y brawd y Parch. Mr. Pierce, Bevier, Mo., yn canmol ei gyfeillion yn New Cambria am eu ffyddlondeb iddo. Eisiau mwy o frawdgarwch fel hyn sydd arnom yn gyffredinol.

—Cwyna Mr. W. R. Richards, Ruby Hill, Eureka Co., Nevada, nad oes un achos gan y Bedyddwyr yn y lle.

—Dymuna y Parch. B. James, St. Louis, hysbysu fod ganddo amryw gopïau ar law o'r llyfryn bychan a gyhoeddodd yn ddiweddar, sef "Pedair o Bregethau ar Wahanol Destynau, a Darlith ar y Diweddar Barch. John Herring, Aberteifi, a'i Amserau." Gresyn fod yr enwad mor ddiystyr o Mr. James. Credwn fod amryw frodyr trwy y wlad a gydymdeimlent a Mr. James pe gwybuent am dano. Mae efe yn hen frawd da, wedi myned yn mlaen

mewn blynyddau, wedi ymddwyn bob amser mewn buchedd yn deilwng o efengyl Crist. Beth pe yr anfonai brodyr da a charedig am haner dwsin neu ddwsin yr un o'i lyfr, a'u rhoddi yn rhad i'w ffryndiau. Gellir cael y llyfr o swyddfa y *Drych*, a thrwy ohebu â Mr. James yr un modd.

—Gwneir tysteb yn bresenol i'r Parch. Thomas Price, Ph. LL. D., Aberdar, gan ei eglwys. Os oes neb yn deilwng o dysteb, y mae efe. Llafuriodd yn ffyddlon dros yr enwad a Christionogaeth, gartref ac oddicartref, am gyfnod maith, yn erbyn llawer o wrthwynebiadau.

—Mae y Parch. Llewelyn Rees wedi rhoddi i fyny ofal yr eglwys yn Johnstown, Pa. Da genym hysbysu nad oes dim yn neillduol wedi achosi hyn. Tystiolaethir yn gyffredinol i Mr. Rees ymddwyn fel Cristion yn ystod ei arosiad yn y lle, a llenwi y pwlpud gyda medrusrwydd a gallu mawr.

—Mae yr eglwys yn Pittsburgh, Pa., wedi llwyddo gyda y Parch. Allen J. Morton i aros eto yn eu plith. Bu bron iddo fyned ymaith. Mae y capel wedi myned dan adgyweiriad, a'r eglwys fel yn ymloewi ac adnewyddu. Llwyddiant i hen eglwys yr enwog William Owen.

—Y Sul cyntaf yn Mai cawsom y pleser o wrando yn pregethu y Parch. Benjamin Thomas, yn ei eglwys, y Fifth Baptist Church, Philadelphia. Ei destyn oedd, "Dangos i ni y Tad a digon yw i ni." Ei raniadau oeddynt: I. Fod awyddfryd mewn dynion am gael datguddiad o Dduw. II. Mai Iesu Grist yw y cyfrwng trwy yr hwn y mae Duw wedi datguddio ei hunan i ddynion. III. Fod meddyliau llawer o ddynion wedi eu tywyllu fel na allant ganfod Duw trwy y cyfrwng hwn.

Pregethodd Mr. Thomas yn rhagorol. Ystyriwn ei fod yn gwella bob tro y cawsom gyfle i'w wrando. Traddoda gyda hyawdledd a gwresawgrwydd mawr. Credwn nad oes odid i un gweinidog gyda y Bedyddwyr yn Philadelphia ag sydd yn fwy poblogaidd yn ei eglwys nag yw Mr. Thomas. A da genym allu nodi nad oes y gradd lleiaf o falchder Seisonig ynddo ef na'i briod hawddgar, Mrs. Thomas. Pregethasom ninau dipyn i'r Cymry yn yr hwyr.

—Ebai y chwaer Mrs. Ann E. Hughes, Portsmouth, O.: "Yr wyf yn cael llawer o bleser ac ymborth i'r meddwl a'r ysbryd wrth ddarllen y WAWR, ond *crota fach* a melus ydyw hi. Paham na cheid dalen fach neu ddwy yn rhagor wrthi hi, a gwneyd y pris yn *round* dwy ddolar?" Awgrymiad go dda.

---

# Barddoniaeth.

## FFYDD, GOBAITH, A CHARIAD.

FFYDD rasol, rhyfeddol fawr—gwir gadarn
Graig odiaeth uchelfawr;
Dal a wnaeth, a deil yn awr
Drwy'r dylif dw'r a'r dulawr.

Angor bach ar fôr y byd—yw GOBAITH,
Ac heb hwn bob enyd
Soddwn, hyn brofwn ryw bryd,
Dan odfawr donau adfyd.

Ffynon yn ffrydio'n hoff rad—neu afon
I'n nofio yn wastad;
Ar gynydd beunydd, heb wad,
Coron pob gras yw CARIAD.

LLYWARCH.

---

## ENGLYNION I EDNYFED.

Yn Hyde Park, Pa., Mawrth 10, 1880, traddododd y Parch. Fred. Ednyfed Evans, D.D., bregeth ardderchog yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig, nes oedd pawb gwyddfodol yn teimlo yn wir dda. Ac fel y canlyn y teimlai ac yr adroddai un ag oedd yn bresenol ei brofiad.

Mae, yn wir, yma yn wyl—wech heno,
Uwch anaf ac anhwyl;
Ffrwd o win yw Fred. yn ei hwyl,
Wna ini deimlo yn anwyl.

Doniau yn llawn trydaniaeth—cu uchel,
Ac iachus athrawiaeth;
Yn mhob rhyw ran o'r gwasanaeth
Ca Duw Ion fawl, ac adyn faeth.

Yn heifian rhydd Ednyfed—win a llaeth
I'r gwan, llesg, rhag lludded;

Trwy ei ffydd loew, a'i groew gred,
O afon gras i'w yfed.

Fred. Evans dŷn ffrwd hyfyw—o lys Iôr,
Wna lesâu dynolryw;
Pibell aur i'n pebyll yw,
I gario'r gwin goreuryw.

Hoff frawd afwy yw Fred. Evan,—D. D.,
Da, doeth Gristion cyfan;
Ewyllys Duw ddwg allan—oll yn oll,
A chyfoll y gwna ei chwhwfan.

Hen iaith wech Cymru fechan—sydd iddo'n
Sedd addas i'w anian;
Yn ngwawl iaith, a'r efengyl lân—y gwel
Wên o'i gapel, yn win i'w gwpan.

DAFYDD DYFED.

## CWYN Y CLAF.

Sedd anmhur i'r dyn sydd yma—i'm cur
Mae'm corph yn blanigfa;
Amryw egin blin erch bla,
A thwr o ryw'r diptheria.

DAFYDD DYFED.

## DYMUNIAD Y CREDADYN.

O, am gael gwir adnabod
Y Gwr fu ar y pren
Yn dyoddef rhwng y lladron,
Yn nghrog rhwng dae'r a nen;
Er cymaint yw fy ngwaeledd,
Fe wrendy lais y gwan,
Mae heddyw ar ei orsedd
Yn eiriol ar fy rhan.

Mor ddeddwydd wyf wrth gofio
Y goncwest fawr a fu
Ar ryw brydnawn rhyfeddol
Ar fynydd Calfari;
Ar sail pa un y'm dygir
O wlad y cystudd mawr;
Rhyfeddaf byth ei gariad
Am gofio llwch y llawr.

Mor swynol fydd y canu,
Mor hyfryd fydd yr iaith,
Gan lu o waredigion
Sy'n iach ar ben eu taith;
Hiraethu mae fy enaid
Am ddianc atynt hwy
I ganu am rinweddau
Ei ddwyfol farwol glwy.

O, am gael nerth i dreulio
Y gweddill o fy oes,
Er clod i'r Arglwydd Iesu,
Fu farw ar y groes;
Trwy ffydd ymorphwys arno,
Ac iddo ufuddhau,
Heb amheu yn y lleiaf
Ei allu i lanhau.

Er cymaint yw fy llygredd,
Er dued yw fy lliw,
Mae'r ffynon yn agored
I olchi'r dua'n fyw;
Er cymaint ag a olchwyd,
Sydd fry yn ngwlad yr hedd,
Mae gobaith eto i minau
Tra'r ochr hyn i'r bedd.

*Olyphant, Pa.* D. J. THOMAS.

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Yn ol y bwriad a'r addewid y mis diweddaf, rhoddwn ychydig hanes, y tro hwn, o KRISTNO PAUL, yr Hindw cyntaf a fedyddiwyd ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw.

Yn Tachwedd, 1800, gofynwyd i Mr. Thomas (yr hwn oedd yn feddyg), i dalu ymweliad â dyn, braich yr hwn oedd wedi ei dadgymalu. Wedi gosod y fraich yn ei lle, ac i Mr. Thomas orphen ei waith fel meddyg, dechreuodd ar ei waith fel cenadwr. Holodd ef yn nghylch ei enaid, a'i obeithion yn ngwyneb sefyllfa ddyfodol. Ni chafodd y cenadwr siarad llawer cyn fod y truan yn dechreu ocheneidio, y dagrau yn bwrlymu o'i lygaid, ac yn y diwedd torodd allan i wylo fel plentyn. Enw y dyn oedd Kristno Paul. Yr oedd Gokool a nodwyd genym yn barod, yn byw yn agos i Kristno, ac yn bresenol ar yr amser hwn. Dau ddiwrnod ar ol hyn yr oedd Kristno yn ceisio yn daer am ddyfod i dy y Genadaeth i gael addysg, "o herwydd," meddai, "mae y cenadon nid yn unig wedi gwella fy mraich, ond hefyd wedi dwyn i mi newyddion yr iachawdwriaeth." Cyn nemawr o ddyddiau yr oedd ef a Gokool yn y ty, a than addysg y cenadon. Canlyniad y dyfodiad fu yn achos i deulu Gokool ei adael; ond am Kristno, yr oeddent fel efe ei hun.

Ar yr 22ain o Ragfyr, cymerodd dygwyddiad le yn y ty cenadol ag oedd i ni yn ddibwys, ond i'r cenadon ac i India oll, o ran hyny, yn siarad cyfrolau. Daeth Kristno a Gokool a chym-

erasant giniaw gyda'r cenadon a'u teuluoedd, trwy yr hon weithred y tystient berffaith foddlonrwydd i daflu ymaith hyd yn nod eu *caste* er bod yn Gristionogion. Yn nyddiau Carey, Thomas, ac eraill, yr oedd yn ddywediad cyffredin gan y bobl, na fuasent byth yn tori y *caste* er derbyn yr efengyl, ac nid pell oedd y cenadon o gredu hyny hefyd. Gweddiai y gweision ffyddlon hyn yn fynych am iddo gael ei dori, a gobeithient, hwyr neu hwyrach, i hyny gymeryd lle; ond dywedent yn fynych mai gobeithio yn erbyn gobaith yr oeddent. Beth bynag, pob peth sydd bosibl i'n Duw ni. A dyna ddywedodd Marshman: "Gwnaeth Duw ei dori gyda'r hawsder mwyaf; ac fel hyn," meddai, "mae drws ffydd wedi ei agor i'r cenedloedd, a phwy fedr ei gau? Cadwyn adamantaidd y *caste* wedi ei thori, pwy fedr ei chyweirio hi?" Y prydnawn hwnw, wedi bwyta ciniaw, a thori y *caste*, daeth Kristno a'i deulu, a Gokool wrtho ei hun, i ofyn am le yn yr eglwys. "Yr ydym am fod yn un o honoch," meddai Gokool, "oblegid mae ein calonau wedi eu hoelio wrth Grist." Wrth glywed a gweled hyn, yr oedd y cenadon wedi eu gorchfygu gan lawenydd. Ar ddiwedd y cyfarfod, safasant oll ar eu traed, a chanasant mewn hwyl a blas y penill canlynol, yn Seisnig, "O,'r iachawdwriaeth fawr yn Nghrist," &c. Nid hir y bu y newydd cyn ei daenu, fod Kristno a Gokool wedi tori y *caste*, a buan y ceir gweled a ddaliant eu tir neu beidio. Cyn pen pedair-awr-arhugain yr oedd tua dwy fil o bobl wedi ymgasglu o amgylch yr orsaf genadol. Ni ddywedent air wrth y cenadon, ond arllwysent raiadrau o felldithion ar ben Kristno a Gokool. Nid oedd modd cael ganddynt i ymadael. Yn y diwedd cymerasant y ddau droseddwr (yn ol eu barn hwy) a dygasant hwy at yr Ynad Danaidd; ond efe, yn lle condemnio a chosbi y troseddwyr, a'u canmolodd yn fawr am ddangos y fath wroldeb, a gollyngwyd hwynt yn rhydd. Daethant yr ail waith at Kristno, a llusgasant ef o flaen yr Ynad. Eu cyhuddiad yn ei erbyn yn awr oedd, gwrthod rhoddi ei ferch yn wraig i un oedd wedi ei addaw. Rhyddhawyd ef yr ail waith, a sicrhawyd i'r ferch na fuasai neb yn cael ei gorfodi i fyw gyda dyn yn erbyn ei hewyllys. Gwneyd Kristno yn gadarnach wnaeth yr erledigaeth hon; ond ei deulu a Gokool a ddigalonwyd yn fawr. Dygwyddodd hyn ar ddydd Sadwrn. Tranoeth, sef Sul, yr 28ain o Ragfyr, yr oeddent oll i gael eu bedyddio; ond ni ddaeth neb yn mlaen ond Kristno a Mr. Felix Carey, mab y Dr. Yr oedd pobl lawer wedi ymgasglu i lanau yr Hoogly erbyn yr adeg benodedig, yn Ewropiaid a brodorion. Syllai pawb ar Kristno y prydnawn hwnw; am dano ef y meddyliai y cenadon, ei hen gymydogion, a diamheu angelion y nef hefyd. Bedydd pwysig oedd bedydd Kristno yn yr Hoogly, i'r symudiad cenadol, i India fel gwlad, ac i raddau i'r nef a'r ddaear.

Rhoddodd dychweliad y dyn hwn at Grist galondid mawr i'r cenadon; a sefydlodd farnau miloedd dros y gwaith o efengyleiddio y byd; a rhoddodd brawf ychwanegol o gyfaddasrwydd yr efengyl ar gyfer angen y byd, a'i gallu i ddarostwng bob rhwystr a ddichon godi yn ei herbyn. Nid oedd tori y *caste* mewn cysylltiad a Kristno, a'i ddwyn ef dan iau Crist, ond awgrymiad y deuai holl India, a'r byd, yn y man. Wedi bedyddio Kristno daeth boneddiges Germanaidd ato, cydiodd yn ei law, a gwasgodd hi yn dỳn, methai a dweyd gair wrtho; ond yr oedd ei hedrychiad siriol yn ei wyneb ef yn awgrymiad eglur ei bod yn diolch iddo o eigion ei henaid am ddangos y fath benderfyniad. Wedi y bedydd gweinyddwyd y swper; ac ar ol hyny meddai Kristno, "Yr wyf yn llawn o orfoledd." Ychydig ddyddiau wedi hyn gofynodd Prydeinwr iddo ar yr heol, beth a enillodd wrth broffesu Cristionogaeth? "Cysur a llawenydd," ebai, "lon'd enaid. Gwaith cariad ydoedd."

Ar y 18fed o'r mis canlynol, bedyddiwyd Fernandez a Joymooni, (chwaer-yn-nghyfraith i Kristno), ac unasant â'r eglwys. Meddai Joymooni, "Yr

wyf wedi cael trysor yn Nghrist mwy na fedd y byd." Ac meddai Kristno, yn yr un cwrdd, "Yr hyn wyf yn feddwl am dano yn benaf yn awr yw, iachawdwriaeth eraill."

Ar yr 22ain o Chwefror, bedyddiwyd Unna, gwraig weddw oedd yn nheulu Kristno, a Rasso, gwraig Kristno. Yr wythnos ganlynol, wele Gokool yn dychwelyd yn llawn penderfyniad i aros mwy er gwaethaf pob dylanwad; a chanlynodd Komal, gwraig Gokool, ef yn fuan yr un ffordd. Wedi ei bedyddio hi, dywedai Marshman, "Mae genym yn awr chwech o Hindwaid, y rhai a gyfrifwn yn fwy gwerthfawr na gemau." Yr oedd merch henaf Kristno wedi ei chymeryd ymaith gan y gwr oedd wedi cael addewid o honi yn wraig. Wedi bod i ffwrdd am rai misoedd dychwelodd i dy ei thad, ac yn mhen ychydig wythnosau bedyddiwyd hi a boneddiges o Germany yr un adeg. Tua'r amser hwn dechreuodd Kristno fyned oddi amgylch i bregethu. Gwnaed ef yn bregethwr rheolaidd, a pharhaodd i bregethu hyd ei fedd. Bu farw pan tua 47 oed, wedi canlyn yr Iesu yn ffyddlon, a'i bregethu gyda sel a chariad, dros 20 mlynedd. Mae holl hanes bywyd y dyn hynod hwn yn dra dyddorol, ond ni soniwn ragor am dano yn awr, am mai nad bywgraffiadau a ddysgwylir yn y gongl hon.

---

ONGOLE A'R BRAWD CLOUGH.—Mae newyddion gorlawn o gysur wedi ein cyrhaedd o'r maes hwn unwaith eto. Aeth Mr. Clough yn ddiweddar ar daith drwy y gwahanol drefydd lle yr oedd y miloedd oedd wedi fedyddio yn ddiweddar yn cartrefu. Cafodd hwynt oll yn dwyn mawr sel dros eu crefydd, ac yr oedd gras Duw yn amlwg yn mhob man. Ymdyrai pobl lawer yn mhob pentref i wrando y gair ganddo. Dangosent syched am y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Credent ef pan draddodid ef iddynt, a theimlent yn llawen o gael gwneyd proffes gyhoeddus o hono. Tra ar y daith soniedig cafodd Mr. Clough dros fil yn barod i adael eilun-addoliaeth, i daflu ymaith eu duwiau difywyd, a chanlyn yr Iesu i ba le bynag yr elo. Tra y bu Mr. Clough i ffwrdd bedyddiwyd 19 gan Mr. Price, ac yn eu plith un offeiriad paganaidd, yr hwn a dystia fod yn ei galon i fod yn gymaint o flaenor gyda'r gwir ag oedd wedi bod gyda'r gau. Duw yn rhwydd iddo.

---

YSBRYD CENADOL YR EGLWYS FORAFAIDD (*Moravian*).—Wrth ddarllen yn ddiweddar ychydig o hanes yr eglwys uchod tarawyd fi â syndod at ei hysbryd cenadol. Rhyw 600 oedd eu rhif pan gymerasant mewn llaw y gwaith cenadol gyntaf. Danfonasant dri o genadon i Greenland, a buont yn llafurio yno am chwe' mlynedd cyn i neb gredu y genadwri. Yn 1737 credodd un o'r enw Kjarnak, ac oddiar hyny hyd yn awr mae y gwaith da wedi myned rhagddo. Mae ganddynt yn Greenland yn awr 6 o orsafoedd, 39 o genadon, 40 o ysgolion, a 1,526 o gymunwyr. Yn 1734 dechreuasant symudiad cenadol yn Lapland; y flwyddyn ganlynol yn Surinam; y ganlynol i hyny yn mysg yr Hottentotiaid; yn nesaf yn neheubarth Affrica; yn y nesaf yn Samoynedes, ar gyffiniau yr Arctic Ocean, ac un yn Guinea. Yn 1740 dechreuasant mewn tri o fanau yr un adeg, sef Algiers, Ceylon, ac y'mhlith yr Indiaid yn Georgia. Erbyn hyn y maent wedi gyru cenadon braidd i bob gwlad. Mae yn amlwg nad oes un aberth yn ormod i'r brodyr da hyn i'w wneyd er dwyn gwybodaeth o'r Ceidwad Mawr i afael y miloedd trueiniaid sydd yn meirw yn eu truenusrwydd. Nid yw oerfel na gwres, pa mor eithafol bynag, yn ormod iddynt i'w ddyoddef, nac yn un rhwystr iddynt i gael cenadwr, os yn galw am un. Mae ganddynt eu Zeisburgiaid, eu Nitschmaniaid, eu Rauchiaid, Martiniaid, a'u Schmidtiaid, bob amser yn barod i'r caledi mwyaf er cyflawnu comisiwn yr Arglwydd Iesu. Mae gan y Morafiaid heddyw 96 o orsafoedd cenadol yn ngwahanol ranau o'r byd, yn y rhai y mae 73,170 o ddychweledigion, 327 o genadon, a 1,504 o wahanol gynorthwywyr. Mae 36,476 yn yr India Orllewinol, 21,636 yn America Ddeheuol,

10,819 yn Affrica, tra mae y gweddill, yr hyn sydd dros 15,000, yn wasgaredig yn Australia, mynyddoedd Thibet, Mosquito, Greenland, Labrador, Indiaid Canada, Kansas a'r Indian Territory. Dyma sydd yn syndod, fod ganddynt y nifer lluosog uchod ar y meusydd cenadol, tra nad yw yr eglwys gartref ond prin yn rhifo 19,000! Byddai yn dda genyf fyned dros y modd y mae can lleied o bobl yn gallu cyflawnu gwaith cenadol mor fawr, ond nid oes gofod i hyny.

## HANESION CARTREFOL.

### CYMANFA Y BEDYDDWYR CYMREIG GORLLEWINOL I'R MISSISSIPPI.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni gyda'r eglwys yn Bevier, Mo., Mai 1—3. Y brodyr fuont yn gwasanaethu oeddynt, y Parchn. J. W. Jones, Clay Co., Iowa; W. Evans, Red Oak; B. James, R. M. Richardson, Dawn, Mo.; a Dr. Fred. Evans (Ednyfed), yr olaf wedi ei wahodd i'n gwasanaethu.

Nos Wener cyn y Gymanfa pregethwyd yn nghapel y Bedyddwyr gan y Parch. R. M. Richardson, ac Evans, Red Oak.

Boreu Sadwrn, am 10, agorwyd y gynadledd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. B. James. Yna aed yn mlaen fel y canlyn: Ethol swyddogion am y flwyddyn ddyfodol—ail-etholwyd y Parch. R. M. Richardson yn Gymedrolwr; Thos. D. Evans, Bevier, yn Ysgrifenydd; Joseph A. Lewis, Dawn, yn Drysorydd. Yna, wedi darllen llythyrau oddiwrth y gwahanol eglwysi, pasiwyd y penderfyniadau canlynol:

1. Ein bod yn rhoddi croesawiad gwresog i Dr. Evans yn ein plith, ac yn ei anog i gymeryd rhan yn y gynadledd.

2. Ein bod yn penodi pwyllgor i chwilio i mewn i ansawdd cyfrifon ac amgylchiadau eglwys Aspinwall, Neb., y brodyr Rowland Thomas, Bevier; B. Price, New Cambria; a Joseph A. Lewis, Dawn, i fod yn bwyllgor.

3. Ein bod yn anog pob eglwys o fewn y cylch i wneyd casgliad bob tri mis tuag at gynorthwyo i ddwyn treulion y Gymanfa.

4. Ein bod yn gwneyd cais at gyhoeddwyr Dyddiadur y Bedyddwyr Cymreig yn Nghymru, am adran ynddo at wasanaeth Bedyddwyr Cymreig America.

5. Fod y Gymanfa nesaf i'w chynal gyda'r eglwys yn Clay Co., Iowa.

6. Darllen y papyr parotoedig gan y Parch. R. M. Richardson, ar "Y moddion mwyaf effeithiol i barhau a chynyddu egwyddorion y Bedyddwyr yn y gorllewin i'r Mississippi."

7. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i'r brawd R. M. Richardson, am ei bapyr gorchestol, ac yn anog i'w gyhoeddi yn y WAWR.

8. Fod y brawd Thomas D. Evans i gyfansoddi papyr ar "Gariad Brawdol," erbyn y Gymanfa nesaf.

9. Ein bod yn derbyn adroddiad y pwyllgor ar eglwys Aspinwall, ac yn eu rhyddhau.

10. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i'r brawd J. T. James, Aspinwall, am ei rodd werthfawr o gapel Penuel, Aspinwall, i enwad y Bedyddwyr.

11. Ein bod yn anog y brawd J. T. James, Aspinwall, Neb., i ymarfer ei ddawn fel pregethwr.

12. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i'r Parch. Owen Griffith (Giraldus) am ei ffyddlondeb yn parhau i ddwyn allan y WAWR; ac am ei ddoethineb yn cau allan o'i cholofnau bethau annymunol, megys ensyniadau personol, yr hyn sydd dra niweidiol i achos Iesu Grist; a'n bod yn ei anog i barhau yn yr un cyfeiriad.

13. Fod y Gymanfa hon yn ystyried priodoldeb mewn cael cyfarfod gyda'r brodyr yn Aspinwall yn y dyfodol, os amlygir dymuniad am hyny.

14. Ein bod yn anog Giraldus i gyhoeddi hysbysiadau a manylion am Eiriadur Mathetes, ac ymgymeryd at ei werthu.

15. Ein bod yn gohirio.

Terfynwyd trwy weddi gan y brawd Richardson.

Boreu Llun cyfarfyddwyd drachefn

mewn cynadledd, ac wedi darllen a gweddio, pasiwyd a ganlyn:

16. Fod y brodyr Rowland Thomas, Bevier; B. Price, New Cambria; ac Isaac Jones, Dawn, i fod yn bwyllgor i ofalu am fuddion arianol y Gymanfa.

17. Ein bod yn casglu yn y gynadledd hon.

Yna gohiriwyd, i gyfarfod nesaf gyda'r eglwys yn Clay Co., Iowa. Cafwyd cynadleddau trefnus a heddychol, ac arwydd amlwg fod cariad brawdol yn teyrnasu. Hir y parhao.

### Y MODDION CYHOEDDUS.

Prydnawn Sadwrn, am 2, pregethwyd gan y brodyr B. James a Dr. Evans (Ednyfed).

Am 6, gan J. W. Jones, Clay Co., a Dr. Evans.

Boreu Sul, am 9, cynaliwyd cyfarfod gweddi yn nghapel yr Annibynwyr Cymreig, i erfyn am wenau yr Arglwydd ar y Gymanfa. Cafwyd cyfarfod gwlithog iawn.

Am 2, pregethodd Richardson a Dr. Evans, yr olaf yn Saesonaeg.

Am 6, J. W. Jones a Dr. Evans.

Brydnawn Llun, am 2, pregethodd Evans, Red Oak, a Dr. Evans.

Am 7, pregethodd Richardson a Dr. Evans.

Cafwyd Cymanfa ogoneddus; yr ydoedd yr hin yn ddymunol, y cynulleidfaoedd yn lluosog, y brodyr yn eu llawn hwyliau, ac i goroni y cyfan yr oedd arwyddion amlwg fod gwenau yr Arglwydd ar y cyfarfodydd. Hyderwn y teimlir dylanwad y gwirioneddau pwysig a draddodwyd, trwy yr eglwysi. Yr oedd dysgwyliad mawr am y Gymanfa hon yn mhlith yr holl ardalyddion, am fod yr enwog Dr. Evans (Ednyfed), i fod yn bresenol. Ac os oedd meddyliau uchel am dano cyn y Gymanfa, credwn eu bod yn llawer uwch yn bresenol, wedi ei wrando; tystiolaeth gyffredinol yr ardal yw, na chlywsant y fath bregethu erioed. Yn wir, y mae yn *dreat* i gael *big guns* o fath Richardson a'r Dr., i gyhoeddi y drefn wrthym yn awr ac yn y man.

Nos Fawrth, y 4ydd, traddododd Dr. Evans ei ddarlith benigamp ar "Grisiau Llwyddiant," i gynulleidfa luosog iawn. Profodd y Dr. ei fod nid yn unig yn bregethwr galluog, ond ei fod yn ddarlithiwr diguro. Cyngorem bob ardal allo fforddio cael y ddarlith hon, i fynu ei gwrando.

Lled-awgrymodd y Dr. y buasai yn ymweled â ni eto cyn ei ymadawiad i'r Hen Wlad. Wedi y ddarlith gofynodd y Cadeirydd, Thomas Francis, i'r gynulleidfa wneyd arwydd trwy godi ar eu traed, os oeddent yn awyddus am i'r Dr. ymweled â ni eto, yr hyn a wnaed yn unfrydol. Brysied i ddyfod.

### YSTADEGAETH Y GYMANFA.

| EGLWYSI. | Gweinidog. | Ysgrifenydd. | Adferwyd. | Drwy Lythyr. | Bedyddiwyd. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif Presenol. | Ysgolheigion. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Dawn, Mo....... | R. M. Richardson | Thos. J. Owens .. | 4 | 2 | 7 | 1 | 1 | 90 | ... |
| New Cambria, Mo. | S. C. Pierce ..... | Benj. Price ...... | .. | .. | 1 | 1 | .. | 22 | 18 |
| Bevier, Mo. ..... | ................ | C. Minshall...... | 3 | .. | .. | 4 | 1 | 42 | 65 |
| Red Oak, Iowa .. | William Evans ... | Saml. D. Jones... | .. | 4 | .. | .. | .. | 10 | ... |
| Clay Co., Iowa .. | J. W. Jones.. ... | Thos. Evans ..... | .. | .. | .. | .. | 1 | 29 | 40 |
| Cyfanswm.... | ................ | ............... | 7 | 6 | 8 | 6 | 3 | 193 | 123 |

Yr eiddoch,

THOMAS D. EVANS, *Ysgrifenydd.*

### Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Efrog Newydd.

Cynelir hon eleni gyda'r eglwys yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., i ddechreu Mehefin 17eg, ac i barhau dros yr 20fed. Dysgwylir i'r gweinidogion a'r cenadon perthynol i eglwysi y Gymanfa i fod yn bresenol.

Dechreuir y gynadledd am 11 o'r gloch, boreu dydd Sadwrn, y 19eg. Gyda'r gweinidogion sydd yn perthyn i'r Gymanfa yr ydym yn dysgwyl cael gwasanaeth y Parchn. Joseph T. Jones, Thomastown, O., a B. Thomas, Hyde Park, Pa. Dysgwyliwn amser dymunol, a hyderwn y bydd i'r Pen Bugail fendithio y moddion er achubiaeth eneidiau lawer. Dros yr eglwys,

D. H. Evans, *Ysgr.*

---

### Llythyr Cymeradwyaethol.

*Cymanfa y Bedyddwyr yn Morganwg, Cymru, at Gymanfa y Bedyddwyr yn Nwyreinbarth Pa., America :*

Anwyl Frodyr—Y llinellau hyn sydd i'ch hysbysu fod ein hanwyl frawd, y Parch. Jeremiah Griffiths, gynt o'r Brithdir, gerllaw Merthyr, yn weinidog perthynol i'r Gymanfa hon ar amser ei fynediad oddiyma yna. Gan hyny yr ydym yn dymuno arnoch ei dderbyn fel y cyfryw i'ch Undeb Cymanfaol. Yr ydym yn dymuno llwyddiant mawr i chwi oll gyda chrefydd ein Harglwydd Iesu Grist. Arwyddwyd dros y Gymanfa,

Benj. Evans, *Ysgr.*

*Neath, Mawrth* 16, 1880.

---

### Danville, Pa.

Bydded hysbys i bawb ag a fyddo yn gohebu a'r eglwys hon, mai nid John E. Williams yw yr Ysgrifenydd o hyn allan, ond John Owens neu William Rees, am fod y blaenaf wedi ein gadael. Dros yr eglwys—*Wm. Rees.*

---

### Galwad i Weinidog.

Y mae eglwys y Bedyddwyr yn Mineral Ridge, O., wedi rhoddi galwad i'r Parch. Charles Jones, M. A., Coalburgh, i gymeryd ei gofal fel bugail; ac y mae yntau wedi cydsynio â'r cais, ac yn dechreu ar ei faes llafur newydd Mehefin 20, 1880. Hyderwn y bydd ei ddyfodiad i'r lle hwn yn fendith i'r eglwys, ac yn lles cyffredinol yn yr ardal Y mae yma le i weithio, a diamheu fod yma berlau yn guddiedig yn y llwch, ac eisiau eu dwyn i'r amlwg.—*David Mathews.*

---

### *BEDYDDIWYD—*

Yn Church Hill, O., Sabboth, Ebrill 18, cydgladdwyd brawd ieuanc gyda Christ yn y trochiad, gan y Parch. Jas. F. Richards, gweinidog.

*Pittston, Pa.*—Sabboth, Mawrth 21, 1880, cawsom yr hyfrydwch o weled yr hybarch Theophilus Jones yn bedyddio un chwaer ar ei phroffes o'i ffydd yn Mab Duw. Yr oedd y gweinyddiad, yn nghyda'r ufudd-dod, yn ogoneddus. Hefyd, adferwyd dau i gymundeb yr eglwys.—*Jacob W. Evans.*

*Dawn, Mo.*—Credwyf mai yn yr Apocrypha y dywedir, "Cadarn yw gwirionedd, ac a orchfyga," ond y mae mor wirioneddol ag unrhyw air yn y gyfrol ysbrydoledig. Profwyd y gwirionedd uchod yn y lle hwn yn ddiweddar. Mae yma lwyddiant parhaus ar achos y Bedyddwyr; mae egwyddorion y Testament Newydd yn enill tir yn raddol, ond yn dra sicr, yma; ac er trymed yr erledigaeth, a chryfed y gwrthwynebiadau, llwyddo wna yr egwyddorion dwyfol. Ebrill 17, 1880, cawsom y pleser o weled ein gweinidog, y Parch. R. M. Richardson, yn claddu gyda Christ yn y bedydd bedwar o bersonau, sef gwr a gwraig, ac un ferch iddynt, yn nghyda gwr ieuanc arall; ac y mae yn deilwng o sylw fod y gwr a'r wraig uchod wedi bod yn aelodau dichlynaidd, ffyddlon, a chyson eu proffes gyda'r Methodistiaid Calfinaidd am dros ugain mlynedd, a bu ef yn flaenor doeth a galluog am amrai o'r blynyddau yna. Ond yn ol ei dystiolaeth bersonol, aeth y gwirionedd yn drech nag ef; ac yr oedd ei argyhoeddiad mor drylwyr fel nas gallai

oddef y syniad fod y "bedydd bach" yn gyflawniad o orchymyn Crist; ac felly wedi myfyrio y pwnc yn drwyadl am oddeutu un-ar-ddeg o flynyddau, gadawodd y daenell, a daeth yn ufudd i'r "dyfroedd lawer," a bedyddiwyd ef. O! olwg ddedwydd oedd ei weled *yn* y dwfr. Mae dwy eraill o ferched yr uchod yn aros am yr un fraint, ac eraill wrth y drws. Byddwn yn bedyddio eto, "os Duw a'i myn," Ebrill 29. "O Arglwydd, galw eto," &c., yw dymuniad—*Canlynwr Crist.*

*Lansford, Pa.*—Dydd y bydd cofio am dano gan lawer, yn neillduol yr ymgeiswyr, oedd y Sul, Ebrill 25, 1880. Cawsom bregeth ragorol gan ein parchus fugail am 10 y boreu, ar Gyfeillgarwch Crist. Y testyn oedd, "Chwychwi yw fy nghyfeillion os gwnewch pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn." Yn canlyn yr oedd ysgol Sabbothol, yr hon sydd yn rhifo ar gyfartaledd dros gant, yn cael eu llywodraethu gan y brawd ieuanc Daniel Jones. Mae clod neillduol yn ddyledus i'r brawd hwn am ei sel a'i fedr dihafal yn tori allan gynlluniau teilwng o'i cario allan i weithrediad, er llwyddiant yr hen sefydliad gogoneddus o eiddo ein tadau. Mae rhyw wroldeb neillduol a phenderfyniad yn nodweddu y brawd Jones. Nid yw rhwystrau iddo ef ond anogaethau. Mae yn wahanol i lawer o'i gyfoedion; mae ef yn un o'r rhai hyny a aberthasant bleserau ieuenctyd, ac a newidiasant deganau gwag y llawr am drysorau sylweddol a diddarfod y nef. Mae'n penderfynu llesoli cymdeithas, a rhoddi blaenffrwyth ei fywyd i wasanaethu ei Arglwydd. Mae ei ddewisiad i'r swydd gan yr ysgol yn profi ar unwaith ei werth. Mae y *term* presenol yn dri *therm* iddo i wasanaethu ei gydgenedl.

Yn mlaen yn wir y mae ei nod,
Ni ildia ddim nes cael y clod.

Fe dorodd yr ysgol i fyny y dydd crybwylledig am dri o'r gloch, er mantais o weled ychwanegiad o frawd a dwy chwaer at ein rhif, y rhai ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw a drochwyd, ac a drosglwyddwyd i fynwes yr eglwys fawr Gristionogol, yn ngwydd tyrfa luosog o ddynion parchus yr ardal. Ymddygasant yn weddaidd trwy yr holl wasanaeth. Ni chyflawnwyd yr ordinhad o fedydd yn fwy anrhydeddus erioed. Nid oedd dim ond dystawrwydd yn nodweddu y dorf—pob peth yn fanteisiol i'r gweinyddwr i fyned trwy ei orchwyl pwysig. Y gweinyddwr ydoedd D. S. Thomas, ein bugail gofalus a ffyddlon. Eglurodd o'r Ysgrythyrau yn syml a boneddigaeth, heb gyffwrdd gallem feddwl, â theimlad tu allan i'r dull trochyddol—profodd yn eglur a meistrolgar osodiad yr ordinhad, a'i dull, sef trochi; ei dyben, sef marw i bechod, a chyfodi i fyny i fywyd newydd. Cafwyd cyfarfod rhagorol yn yr hwyr, pregeth dda, Ysgrythyrol a dylanwadol. Mae golwg hynod o lewyrchus ar yr eglwys hon ar hyn o bryd, Duw yn cyflawni ei addewid, "Nis gadawaf chwi yn amddifad, ond byddaf fel mur o dân o'ch hamgylch." Yr oedd pawb megys wrth eu bodd. Cafwyd gwledd eneidiol hefyd yn yr hwyr, sef cymundeb; ac wedi rhoddi y cyngorion arferol i'r tri a nodwyd, a deheulaw cymdeithas iddynt, cawsant ran o'r wledd. Gobeithio nad yw yr uchod ond blaenffrwyth. Ein gweddi yw ar i'n bugail fod yn offeryn yn llaw Duw er dychwel lluaws eto i ufuddhau i orchymynion Duw. Canwyd amryw dônau gan gôr yr eglwys, i'r pwrpas, yn cael ei arwain gan ein medrus gerddor Griffith Davies. Yr eiddoch yn rhwymau crefydd—*Nathan.*

---

## *PRIODWYD—*

Yn Bevier, Mo., Mawrth 20, 1880, yn nhy mam y briodasferch, yn ngwydd llu mawr o wahoddedigion, gan y Parch. Saml. Cheshire Pierce, Mr. John Davies, gynt o Weathersfield, Ohio, a Miss Jemima Evans, Bevier.

---

## *BU FARW—*

### ADGOF AM MRS. THOMAS OWENS,

DINAS ALLEGHENY, PA.

Nid yw ysgrifenydd y llinellau hyn yn edmygwr y mân-gofiantau ag sydd mor fynych yn llenwi gofod gwerthfawr ein cyfnodolion misol, ac yn trethu mor drwm amynedd a

chwaeth y darllenydd. Credwn yn benderfynol na ddylai hanesion mawr am ddynion bychain gael enw na lle yn ein papyrau crefyddol. Y mae ynom gryn ofn fod llawer iawn o anwireddau yn cael eu hadrodd yn ein cofiantau, megys ag y gwneir mor fynych ar ein ceryg beddau. Yn wir, nid oes a all ein cymodi â phethau o fath yr uchod ond presenoldeb talent ddysglaer yn yr ysgrifenydd. Y mae rhai dynion mor fedrus, mor ddeniadol, ac mor ddylanwadol yn eu hysgrifau, fel nas medrwn ar un cyfrif ymatal rhag cymeryd ein swyno ganddynt.

Ni raid dweyd wrth y darllenydd mai nid medr yr ysgrifenydd presenol, ond mai gwir deilyngdod yn nghymeriad Mrs. Owens, sydd yn galw am enw a lle yn ngholofnau y WAWR.

Adroddir hanes prif ddygwyddiadau ei bywyd ar fyr-eiriau, fel y canlyn: Ganwyd hi yn Rhymney, D. C., yn y fl. 1813. Merch ydoedd i Lewis Twmi; yr oedd hefyd yn chwaer i'r bardd Gwilym Craig-Tylan, ac i Mrs. Evans, *Puddlers' Arms*, Rhymney. Ymunodd ein chwaer â chrefydd yn yr un lle; a'r Parch. Morgan James oedd y gweinidog a gafodd yr anrhydedd o'i harwain at Grist. Efe oedd yr un a'i bedyddiodd hi. Cymerodd yr amgylchiadau pwysig hyn le ryw bryd yn nghorff y fl. 1837. Yn mhen dwy flynedd wedi hyn ymunodd mewn glân briodas â dyn ieuanc addawol, dirodres, a phenderfynol, o'r enw Thomas J. Owens. Yr oedd Mr. Owens yn wreiddiol o'r Ferwig, Ceredigion.

Daeth y ddau ieuainc i'r penderfyniad yn y flwyddyn 1842, i ymfudo i'r byd gorllewinol hwn. Daethant drosodd yn llwyddianus, ac ymsefydlasant yn y ddinas fawr hon, Pittsburgh. Wedi cyrhaedd eu cartref newydd, ni oedasant, fel y gwna llawer eraill, i arddel eu perthynas â Mab Duw. Taflasant eu coelbren yn hen eglwys Fedyddiedig Heol Chatham. Gwirasant gynwysiad eu llythyrau gollyngdod. Cynwysai yr wyth mlynedd a dreuliasant yn yr eglwys brawfion amlwg eu bod yn aelodau ffyddlon, a bod eu hymadawiad â Chymru yn golled i'r frawdoliaeth yn Rhymney. Y mae arnom lawer o ofn fod nifer gwaradwyddus o'n llythyrau gollyngdod yn mhell o gynwys gwir gymeriad y dygiedyddion. Y maent (y llythyrau) felly yn ngolwg eu meddianwyr; ac o herwydd hyny a phethau eraill ni chyflwynir hwy i unrhyw eglwys—y llythyr ar goll, a'r dygiedydd ar ddisberod!

Yn y fl. 1850 teimlodd ein brawd a'n chwaer ar eu calon awydd i dalu ymweliad â gwlad eu tadau. Treuliasant yno wyth mis mewn gwir fwynhad o gymdeithas eu perthynasau, a chyfeillion crefyddol boreu eu hoes. Pan ddychwelasant, ymsefydlasant drachefn yn Pittsburgh; buont yma am rai blynyddau cyn eu mynediad i ymgartrefu ar eu ffarm, yn Racoon Township, swydd Gallia, O. Yn y fl. 1863, tybient mai gwell oedd iddynt ddychwelyd, ac ymsefydlu yn Ninas Allegheny, Pa. Yn fuan wedi eu dychweliad cymerwyd Mr. Owens yn glaf, ac ar yr adeg hon ymwelwyd ag ef gan Dr. Bell, gweinidog Bedyddiedig eglwys Sandusky Street. Cafodd y gweinidog allan yn dra buan fod Mr. a Mrs. Owens yn proffesu yr un ffydd ag yntau, a mawr oedd y dylanwad a ddefnyddiodd i'w henill i fod yn aelodau o'i eglwys ef, a buont yn aelodau o'r eglwys hon hyd nes y ffurfiwyd cangen-eglwys yn Heol Nixon. Porthwyd hwy a'r gwir fara yn ystod eu harosiad gyda y Saeson, gan y brodyr Dr. Bell, yn Heol Sandusky, a chan A. G. Kirk, J. P. Hall, ac yn ddiweddaf gan J. S. Huston, yn Nixon. Cafodd y brawd a'r chwaer groesaw mawr ar eu derbyniad i'r eglwysi hyn, ac ni raid dywedyd fod eu cymeriad moesol uchel yn enill sylw a chydymdeimlad yn eu trallod mawr diweddaf. Tua dwy flynedd yn ol teimlasant ryw awydd i ail-ymuno a'r Cymry yn y ddinas hon. Mae hyn dipyn yn rhyfedd pan yr ystyriom fod sefyllfa pethau crefyddol ar y pryd yn mhlith y Bedyddwyr yn dra annymunol. Ond ymddengys fod serch at yr hen genedl a'r achos yn gallu gorthrechu rhwystrau, y tro hwn fel llawer gwaith yn flaenorol i hyny. Dylem ddywedyd yn y lle hwn fod eu haelodaeth wedi bod, parth ffyddlondeb, gweithgarwch, a haelioni, yn gyfartal i'r goreuon o'r aelodau, ac yn tra rhagori ar lawer un sydd yn fwy ei swn. Buont yn aelodau yn mhlith y Cymry am agos i ddwy flynedd. Ymddengys fod rhyw swyn Gymreig wedi cael gafael ynddynt, canys yr oeddynt yn hollol gartrefol yn mhlith y Saeson, parth iaith ac arferion eglwysig. Efallai fod addfedrwydd blynyddau yn fwy cydnaws ag addoli yn iaith eu rhieni, gan nad beth fu yr achos. Bu farw Mrs. Owens pan yn aelod o'r hen eglwys Gymreig yn Pittsburgh.

Pan yn gwynebu ar ddechreu y flwyddyn hon, ac yn teimlo fod yr hen flwyddyn 1879 wedi ei gadael, ymddangosai ei phabell fel yn gwanychu, ond nid i'r graddau ag i beri ofn i'w phriod a'i hanwyl ferch; yn wir, nid oedd hi na neb o'i chydnabod wedi meddwl am eiliad fod dydd ei harwyl mor agos. Ymddangosai fel yn suddo yn gyflym yr wythnos gyntaf o'r flwyddyn. Dywedai, "Mor dda genyf fy mod wedi meddwl am grefydd cyn dyfod i'r amgylchiad hwn; y mae y poen sydd arnaf yn ddigon i mi yn awr." Ar adeg arall dywedai, "O, pa fodd y gallaf adael Thomas?—y mae yn galed iawn i dori yr undeb." "Pa beth a olygwch os yw Duw yn tori yr undeb?" "O, ie, mae yn ddigon gwir, rhaid ymostwng; nid oes un llesâd i ni os gwrthryfelwn, os gwrthwynebwn yn erbyn ei ewyllys ef." Y Sabboth cyn ei hymadawiad, dywedai wrth Lena, y forwyn, "Yr wyf yn myned i farw y tro hwn." Cawsai ryw fath o hysbysrwydd o'i hymadawiad, ac o'i gwir ddiogelwch, yn ol tystiolaeth ei phriod. "Yr wyf wedi bod yn Lawrenceville" (cartref ei merch). "Os felly," ebai Mr Owens, "daw y ferch yma." "Wn i ddim am hyny," ebai hi, "*yr oedd yno un arall hefyd.*" Oddiwrth hyn ac ymadroddion

eraill, tybir yn gryf fod ei henaid yn nghymdeithas ei Gwaredwr, yn mhell cyn ei hymddatodiad. Yn fuan yr oedd y ferch yn bresenol, ond ni wnaeth y fam un sylw o honi. Ychydig cyn cyrhaedd y terfyn, canodd mewn modd dealladwy yr emyn Seisonig,

"Jesus, lover of my soul," &c.

"Yes," ebai hi, "trust him; I feel that he fulfils every promise in that hymn."

Ond ar y 6ed o Ionawr, 1880, cauodd ei llygaid ar y byd hwn a'i anmherffeithrwydd. Ni fuasai yn glaf ond ychydig gydag wythnos. Y dydd Iau canlynol daeth tyrfa fawr o'i chydnabyddion crefyddol, ac o'i chyfeillion, Cymry a Saeson, i'w hebrwng i dy ei hir gartref. "Hebrwng ei gweddillion" ddylasem ddweyd, canys yr oedd hi, ei hunan, wedi esgyn o'r babell, ac ymgartrefu gyda yr Arglwydd.

Gwasanaethwyd ar yr amgylchiad gan y brodyr Blaine (cefnder y Seneddwr) a Chapman, gweinidogion Bedyddiedig yn Pittsburgh. Yr oedd amgylchiad mawr a phwysig wedi galw ymaith y gweinidog Cymreig ar adeg marwolaeth ac angladd y chwaer rinweddol hon. Teimlai y teulu ac yntau yn fawr o herwydd yr anffawd. Bwriedir codi bedd-faen hardd i nodi ei gorweddfan yn mynwent hardd Allegheny, mor fuan ag y byddo modd.

Y mae rhagluniaeth Duw a diwydrwydd wedi codi y teulu hwn i sefyllfa o olud a chysur. Y mae Mr. Owens dan yr amgylchiadau yn myned i breswylio at ei ferch a'i fab-ynghyfraith. Yn ddiau nid oes ond ychydig mor ffodus yn nghanol, ac ar ol myned trwy drallodion bywyd, a Mr. Owens. Y mae ganddo ef y cysur nesaf at eiddo ei gartref ei hun, i'w gael yn mhreswylfod ei unig a'i anwyl ferch. Y mae hithau yn ofni Duw, ac yn cerdded llwybrau ffydd ei rhieni er pan yn 15 mlwydd oed. Y mae iddi bump o blant, ac y mae Mr. Leoffler, ei phriod, mewn galwedigaeth lwyddianus yn y ddinas hon. Ychydig o Gymry mewn nifer a fuasent mor llwyddianus a'r teulu hwn. A diau fod y ferch, yn nghyd a'i phlant, yn ddyledus i'r fam sydd yn awr yn y pridd, yn nghyd a'i thad, am eu sefyllfa, eu cymeriad, a'u gobaith yn y dyfodol; canys yr oedd gwrthddrych y nodiadau hyn yn Gristion dirodres, yn wraig gariadus a ffyddlon, yn ogystal a mam anwyl a gofalus.

Yr oedd ei haelodaeth yn eglwys Iesu Grist yn golygu yn ei golwg hi a'i chydnabod ei bod yn caru Duw a'i waith yn fwy na dim arall. Yn wir, yr oedd ei hargyhoeddiad yn ddwfn, ei hymddiried yn yr Arglwydd yn sefydlog a di-ofn. Teimlai ei bod yn proffesu crefydd a duwioldeb; ond nid oedd un amser, dan un amgylchiad, yn cuddio ei pherthynas â Mab Duw, o herwydd ei bod yn ofni y gallai ei hanmherffeithrwydd greu amheuaeth yn meddwl na chalon neb o'r posiblrwydd ei bod yn ddyeithr i ddylanwadau yr Ysbryd Glan. Tystia llawer o'i chydnabod ei bod yn hynod rydd oddiwrth anmherffeithderau cyffredin plant Duw. Yr oedd yn Gristion deallus, gloyw a phrofiadol.

Yr oedd wedi bod yn hapus yn ei chysylltiadau teuluaidd; nid yn unig yr oedd eu priodas yn awgrymu undeb mewn pethau daearol, ond hefyd undeb ysbryd a thuedd o nodwedd foesol uchel—cyd-ddarllenent, cyd-fyfyrient air Duw, a daethant yn nghyd i dy Dduw cyhyd ag y caniatai ei hiechyd iddi wneyd hyny; ac yn awr, y mae yr hwn sydd yn unig mewn teulu yn rhodio y llwybr wrtho ei hun, ac eto nid wrtho ei hun, canys y mae yntau yn credu ei fod yn llaw Duw.

Hynodid ein chwaer hefyd gan y didwylledd mwyaf diamheuol a chyhoeddus. Nid yw y gras neu y rhinwedd hwn yn anghyffredin yn mhlant Duw; ond y mae yr hyn sydd yn wrthgyferbyniol iddo yn hynodi y dyn cyfrwysddrwg, rhagrithiol a chelwyddog. Ni chymerasai y wraig hon y byd cyfan am wneyd niwed i, na chyhuddo neb tu ol i'w gefn. Os dygwyddai anghytuno parth barn neu weithred â rhyw un yn yr eglwys, buasai yn achub y cyfleusdra cyntaf, mewn modd brawdol a theg, i gael y bai wedi ei symud, a'r drwg wedi ei ladd. Yr oedd yn casâu yr athrodwr cadnoaidd. Yn wir y mae Duw, a'i wir blant yn mhob man ac yn mhob oes, yn casâu y cellofruddion sydd weithiau yn ymwthio i eglwys y Duw byw. Nid oedd ganddi hi un *secret*; yr oedd yn byw yn y goleuni, a gellir dyweyd gyda yr unrhyw sicrwydd fod ei phriod trallodus yn meddu ar yr un nodwedd.

Yr oedd ei phrofiad addfed o grefydd Iesu Grist wedi ei pharotoi gogyfer a'r amgylchiad mawr oedd yn ei ymyl—ymadael a'r byd hwn. Y Sabboth cyn ei hymadawiad, dywedodd wrth Lena, morwyn ei merch, "Nid oes arnaf ofn marw." Yn wir, ymddangosai yn mhell cyn ei hymadawiad fod cariad Duw yn Iesu Grist wedi gyru allan ofn o'i henaid. Ugain mynyd cyn ei marw, gofynodd ei phriod iddi, a oedd hi mewn poen? Dywedodd, "Nac ydwyf, ac nid oes arnaf ofn marw—nid oes arnaf ofn marw!" Fel hyn yr ehedodd ymaith ei hysbryd cyfiawn at yr hwn a'i prynasai â'i waed.

A. J. M.

### MR. DAVID A. EVANS.

Hydref 26, 1879, yn Pittston, Pa., o'r dolur poenus y *typhoid fever*, bu farw David A. Evans, yn 24 mlwydd oed. Mab ydoedd i David a Mary D. Evans. Cafodd gystudd trwm am tua phedair wythnos, ond dyoddefodd y cyfan yn dawel, gan gwbl ymorphwys ar yr Iesu, i'r hwn yr oedd wedi rhoddi gofal ei enaid er yn ieuanc, canys cafodd David y fraint o wneuthur proffes dda o'i ffydd yn Mab Duw tua chwe' mlynedd yn ol, pryd y bedyddiwyd ef gan y Parch. H. C. Parry (*Cefni*), ond Dr. Parry yn awr, a chadwodd ei ffydd hyd nes cymerodd yr Iesu of oddiwrth ei waith i wisgo y goron oedd yn nghadw iddo gan ei Brynwr.

Yr oedd yr ymadawedig yn un o ddeiliaid ffyddlon yr Ysgol Sul, yn nghyd a holl foddion gras, can belled ag yr oedd yn ei allu. Teg yw dyweyd, yr oedd ein hanwyl frawd yn dyoddef llawer oddiwrth wendid corphorol. Er mai byr fu ei yrfa ddaearol, dyoddefodd lawer gan effeithiau afiechyd, fel i'w analluogi i ddyfod i fyny gyda'r brodyr i gynulleidfa y saint yn nhy yr Arglwydd; eto credwn fod ei galon yn gywir gyda deddfwr Israel, ar yr hwn y pwysai yn dawel yn awr gyfyng angau.

Dydd Mercher canlynol, ymgasglodd tyrfa luosog i hebrwng ei weddillion i dy eu hir gartref, pryd y gweinyddwyd yn y ty ac yn y capel yn effeithiol iawn gan yr hybarch David Rees Jones, Plymouth; yna aethpwyd yn orymdaith fawreddog tua chladdfa yr Odyddion, lle y rhoddwyd gweddillion marwol ein hanwyl frawd i orphwys hyd foreu caniad yr udgorn diweddaf. Gadawodd dad a mam, brodyr, a llu mawr o berthynasau, i alaru ar ei ol.

Daeth ei rieni i'r wlad hon ryw 25 mlynedd yn ol o Rhymney, D C., ac ymsefydlasant yn Pittston, lle y ganwyd yr ymadawedig, a gellir dywedyd na arbedwyd dim ag oedd yn bosibl gan ei rieni er ceisio adferyd iechyd eu hanwyl David, ond y cyfan yn ofer. Felly, anwyl rieni, ymgysurwch ac ymdawelwch, gan y credwn fod eich anwylyd heddyw yn gwisgo y goron oedd yn nghadw iddo gan ei Geidwad cyn seiliad y byd JACOB W. EVANS.

### MR. ISAAC H. JAMES.

Mawrth 16, 1880, yn Arcade, Wyoming, N. Y., Mr. Isaac H. James, yn 58 mlwydd, 6 mis a 21 niwrnod oed. Ganwyd gwrthddrych y sylwadau hyn yn Berllandeg, Sir Benfro, D. C., Awst 25, 1821. Ymunodd ag achos Crist pan yn dra ieuanc. Bedyddiwyd ef yn Ffynon, ger Narberth. Yn y flwyddyn 1846, ymunodd mewn glân briodas â Miss Ann Rees, yr hon sydd yn awr wedi ei gadael yn weddw. Buont fyw ar dyddyn Berllandeg hyd nes iddynt symud i'r wlad hon. Yn y flwyddyn 1856 ymfudodd ein hanwyl frawd ymadawedig gyda ei deulu i America, a sefydlasant yn Freedom, Cattaraugus, N. Y, ac yn y cylchoedd hyn y maent wedi byw oddiar hyny hyd yn bresenol. Cafodd ein brawd ei gymeryd ymaith yn hollol sydyn a dirybudd. Tua chanol dydd un diwrnod aeth allan i'r ysgubor i gyflawni rhyw orchwyl, a bu farw yn y fan, heb fod neb yn agos ato ar y pryd! Ychydig cyn hyny, yr oedd wedi gorchymyn i'w fab fyned i'r ty i ymofyn rhyw beth; a thra y bu ef yn gwneuthur hyny, yn nghyd a rhyw orchwyl bychan arall, cafodd allan, er ei fawr syndod, yr hyn oedd braidd yn anghredadwy ganddo ar y pryd, ond er galar a brofwyd yn wirionedd, fod ei anwyl dad yn hollol farw. Archwiliwyd y corph, a chafwyd allan mai yr achos o'i farwolaeth oedd rhwygiad y galon (*ruption of the heart*). Yr oedd Mr. James yn un o'r dynion mwyaf parchus yn y gymydogaeth, a hyny gan bawb a'i hadwaenai. Yr oedd yn ddyn meddylgar a gwybodus iawn, yn enwedig yn yr Ysgrythyrau. Y Beibl oedd prif lyfr ei efrydiaeth; yr oedd yn fyfyriwr dyfal a chyson ynddo; tynodd berlau tragywyddol eu parhad i'w enaid allan o fwnglawdd y Gair dwyfol.

Fel dyn, yr oedd yn blaen a dirodres; fel cymydog, yr oedd yn garedig a chymwynasgar; ac fel Cristion, yr oedd yn ddidwrw, ond yn llawn gweithgarwch. Bydd yn anhawdd cael neb i lanw ei le fel athraw yn yr Ysgol Sul. Yr oedd yn enwog am ei letygarwch—rhoddodd ganoedd o brydiau o fwyd i'r rhai a alwent yn ei dy, ac nid ychydig oedd y cyfryw, gyda gwên a sirioldeb ar ei wyneb. Ond rhaid i'r rhai lluosog mewn rhinweddau, fel eraill, syrthio i ddwylaw oerion angau.

Gadawodd ein brawd weddw alarus a phamp o blant, tair merch a dau fab, ar ol yn myd y galar. Yr oedd ganddo hefyd un chwaer, sef Mrs. David Morris, gynt o Mineral Ridge, O. Cafodd angladd lluosog a pharchus. Gosodwyd yr hyn oedd farwol o hono yn mynwent Ebenezer, Freedom. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd. "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." W. M. EVANS.

### MRS. ELENOR PRICE

Mawrth 21, 1880, yn Upper Lehigh, Pa., yn 21 ml., 9 mis ac 20 niwrnod oed, ar ol ychydig oriau o gystudd trwm, sef y *puerperal convulsions*, bu farw Elenor Price, priod Thos. Price. Merch ydoedd i David P. Davies a'i briod, o'r lle hwn. Ganwyd hi yn Bryn Mawr, Sir Frycheiniog, D. C. Pan oedd ond baban, daeth y teulu i'r wlad hon. Bu ei mam farw pan oedd hi ond 5 ml. oed, ond cafodd fam dyner a gofalus trwy ail briodas ei thad. Pan oedd yn 14eg oed, bedyddiwyd hi gan y Parch. A. J. Morton, a chafodd y fraint o ddal ei gafael hyd angau, ac mae genym le cryf i obeithio iddi dderbyn coron y bywyd.

Yr oedd wedi bod dan fy ngofal tadol am 21 mlynedd, a gallaf dystio ei bod yn deilwng o efelychiad yn mhob cysylliad â'r teulu, ac â chrefydd Crist—yn ysgoloores wych, ac yn gantores o chwaeth a gallu. Gwyr Gol. y WAWR ychydig am dani yn y cyfeiriad yna. Yr oedd yn barchus gan ei chydnabod yn mhob man, a chafwyd prawf amlwg o hyny yn oriau ei chystudd chwerw a phoenus, ac yn neillduol dydd ei chladdedigaeth, sef y 23ain. Cafodd gladdedigaeth parchus. Gweinyddwyd yn y ty, yn y capel ac ar lan y bedd, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Drifton. Teimlwn yn ddiolchgar i Gymry caredig Drifton am eu parch i'n hanwyl Ellen. Gallaswn ddyweyd llawer am ei rhinweddau, ond gan mai fy merch fy hunan ydoedd, ymataliaf Boed heddwch i'w llwch hyd foreu yr adgyfodiad.

Ei thad galarus,

D. PANTFENWR DAVIES.

# Y WAWR.

CYF. V.] GORPHENAF, 1880. [RHIF. 4.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## ADGOFION AM CYNDDELW.

GAN CADWGAN FARDD.

Yn mis Chwefror diweddaf anfonais ysgrif fechan i'r WAWR, dan y peniad, "Barddoniaeth Cynddelw, &c.," gan addaw yn yr ysgrif hono, anfon ysgrif arall ar bethau bychain Cynddelw, gan fod ei bethau mawrion wedi eu gosod mor dlws a deheuig ag y gellir gwneyd, yn y Traethawd buddugol ar Fywyd ac Athrylith Cynddelw, gan y Parch. J. Spinther James.

Yn mis Mawrth, 1847, ar foreu Sabboth y cymundeb, y dechreuodd Cynddelw weinidogaethu yn Sirhowy, a'r gorchwyl cyntaf a wnaeth oedd bedyddio Cadwgan a'r Gadwganes. Dywedodd air yn fyr ar lan y dwfr, ar natur, dyben a phwysigrwydd yr ordinhad; ac yn y ty cwrdd pregethodd ar fedydd dyoddefaint y Blaenor mawr, oddiwrth y geiriau yma: "Eithr y mae genyf fedydd i'm bedyddio ag ef, ac mor gyfyng yw arnaf hyd oni orphener." Dyna bregeth sylfaen holl bregethau Cynddelw yn Sirhowy; a sylfaen gadarn ydoedd, wedi ei gosod yn ei lle yn gelfyddgar, a hyny ar graig ddisigl.

Pan ddaeth Cynddelw i Sirhowy, yr oedd yn 35 mlwydd oed; ac felly yn nghanolbwynt ei nerth. Yr oedd o faintioli mwy na chyffredin, tua phum' troedfedd a deg modfedd o daldra, ac yn pwyso tua dau can' pwys. Yr oedd y pryd hwnw mor syth a hydlath Mathonwy, ac yn gerddedwr cryf a chyflym, o herwydd yr oedd ganddo gam hir iawn, yn llawn llathen bob cynyg; ac yr oedd pob cam a roddai mor gadarn a phe buasai yn myned i gymeryd Malakoff neu Redan y cam nesaf. Pan ddaeth i Sirhowy, yr oedd ei wallt mor ddu a gwallt y fran, ond bod gwallt y fran dipyn yn fwy llathr a sidanaidd yr olwg arno na'i wallt ef. Yr oedd yn eillio ei farf oll y pryd hwnw ond ei gernflew, ac felly yr oedd ei wyneb llachar oll i'w weled, o ben ei en i'w dalcen mawr ac uchel, ac megys yn argraffedig arno, "Diniweidrwydd a Boddlonrwydd."

Nid llawer oedd, nac sydd, i'w cael fel Cynddelw. Yr oedd yn medru cyfeillachu yn ddyddorol gyda phob dosbarth o ddysg yr "hen Gymry da"—y duwinydd, y bardd, yr athronydd, yr hanesydd, &c. Ond er ei fod yn cael ei barchu a'i fawrhau gan y dosbarth blaenaf yn nysg a gwybodaeth yr "hen Gymry da," eto yr oedd yn llawn mor ddedwydd, os nad yn fwy felly,

gyda y dosbarth isaf mewn llenyddiaeth, sef bechgynach ieuainc a difanteision, oeddynt â'u holl egni yn ymdrechu dyfod yn feirdd a llenorion. Nid oedd dim yn ormod ganddo i'w wneyd er cynorthwyo y cyfryw rai i gyrhaedd eu hamcanion clodwiw. Ei gâs beth oedd "diystyru dydd y pethau bychain." Yr wyf yn cydnabod nad yw dweyd peth fel yna ddim yn ddigon heb ddod a phrawf o hyny; ond y mae prawf wrth law, a dyma fo:

Yn ngauaf 1852, cerddai o Sirhowy i Dwyn Cendl, unwaith yr wythnos, o dair i bedair milldir o ffordd, a hyny er mwyn dysgu gramadeg i fechgyn ieuainc oedd yno, yn awyddus am ddyfod yn feirdd a llenorion; ac nid oedd yn gofyn tâl nac arall am ei waith.

Hefyd, yn ngauaf 1853, cerddai yr un fath, ac i'r un amcan, i Bont-y-caf, Pen-cae, heb na thâl nac arall; ac yr oedd mor ofalus i fod yno ar y noson benodedig a phe buasai yn cael punt y nos am ei wasanaeth. Yr un modd y bu yn dysgu gramadeg i fechgyn ieuainc ac athrylithgar Sirhowy, a hyny yn rhad ac am ddim. Nid oedd dim yn rhoddi mwy o foddlonrwydd i Cynddelw na gweled ieuenctyd ei ardal yn ymestyn at gyrhaedd rhyw wybodaeth fuddiol, ac yr oedd bob amser yn barod i'w cynorthwyo hyd eithaf ei allu. Ni welais bregethwr erioed mor haelfrydig a Chynddelw, i gyfranu yr addysg a feddai i bwy bynag a fuasai yn ewyllysio ei gael. Go gybyddlyd yn y cyffredin y gwelais i bregethwyr i gyfranu dim o'r ddysgeidiaeth a feddant hwy i eraill, heb gydnabyddiaeth go helaeth am hyny. Nid yn unig i fechgynach perthynol i'w enwad ei hun yr oedd Cynddelw yn barod i roddi unrhyw addysg a feddai, ond i'r neb a fuasai yn ewyllysio ei gael, o ba enwad bynag y byddai; ie, i fechgynach digrefydd hefyd, os buasai eu hymarweddiad yn foesol, onide dim.

Yr oedd Cynddelw wedi gweled gwerth dysg a gwybodaeth, ac wedi cyrhaedd ymredd o honynt, yn neillduol yr olaf; a chan ei fod yn ddyngarwr i'r pen, yn ewyllysio daioni i bawb, yr oedd am wneyd ei oreu i roddi a fedrai o ddysg a gwybodaeth i'r neb a'u derbyniai ganddo. Yr oedd dull dirodres, difalch, a dimhongar, Cynddelw, wedi enill serch yr holl fechgynach ag oedd a thuedd at lenyddiaeth ynddynt; ac ato ef y deuent bob amser i gael rhyw addysg ganddo a fuasent hwy mewn angen am dano, yn Sirhowy, Tredegar, Penycae, Cendl, &c. Mae yn wir fod gweinidogion eraill lawer yn y cylchoedd yma, ond yr oeddynt uwchlaw cyfeillachu a bechgynach di-nod felly; a phe buasai un o'r bechgynach hyn yn anturio i'w presenoldeb, buasai yn ofynol iddo fod mor ostyngedig a hunan-ymwadol a Gwyddel wrth fyned i bresenoldeb y Pab o Rufain. Ond yr oeddynt yn anturio i bresenoldeb Cynddelw a gwen hawddgar ar eu gwynebau, o herwydd yr oeddynt yn gwybod y cawsent dderbyniad croesawus ganddo ef. Nid oedd dim yn ei foddhau yn well nag eistedd yn nghanol ystafellaid o fechgynach ffraeth a doniol, fyddent megys yn llyfu eu gwefusau am ddysg a gwybodaeth. Buasai yn gwrandaw ar bob un yn traethu ei len, mor ddyddorol ag y gwrendy offeiriad Pabaidd ar ei ddysgyblion yn cyffesu eu pechodau wrtho. Ar ol i bob un orphen yr hyn oedd ganddo i'w ddweyd, buasai Cynddelw yn traethu ei len, gan dywallt ffrydlif o oleuni ar y pynciau fuasent wedi bod dan sylw, er addysg ac eangiad gwybodaeth i'w ddysgyblion

Pan ddaeth Cynddelw i Sirhowy, yr oedd llawer iawn o Eisteddfodau bychain yn cael eu cynal yn ngweithfeydd Gwent a Morganwg, a gwnaeth rhai o honynt anturio gofyn iddo os buasai yn beirniadu iddynt. Mae yn wir mai nid heb beth dychryn y darfu iddynt wneyd felly, o herwydd yr oedd gweinidogion yr ardaloedd agos oll yn eu herbyn; a'r esgus oedd ganddynt yn eu herbyn oedd, eu bod yn cael eu cynal mewn ystafelloedd hirion (*long rooms*) oeddynt mewn cysylltiad â thafarnau. Ond yr oeddynt yn ddigon duwiol, neu Phariseaidd, i gau eu capelau yn eu herbyn. Yr wyf yn meddwl mai Nefydd anwyl fu y gallu cryfaf i agor y capelydd i'r Eisteddfodau; ac

felly erbyn heddyw mae yr hyn oedd yn bechod anfaddeuol wedi dyfod yn ddi-bechod.

Ond yn ol at Cynddelw. Fe foddlonodd Cynddelw i feirniadu yn yr Eisteddfodau bychain a nodwyd; ac yr oedd yn gwneyd felly mor gydwybodol a phe buasai yn beirniadu yn un o'r Eisteddfodau mwyaf rhwysgfawr a gynaliwyd yn Nghymru erioed. Nid beirniadu, ac anfon y feirniadaeth gyda rhywun arall i'r Eisteddfod oedd efe; ond myned yno ei hun gyda'i feirniadaeth bob amser. Yn yr Eisteddfod lle byddai Cynddelw ynddi, ni fyddai yno eisiau na chrwth na thelyn; yr oedd ef ei hun yn ddigon o fywyd yn mhob Eisteddfod lle byddai; ac fel y dywed un o brif feirdd Cymru am dano, yn un o'r Eisteddfodau Cenedlaethol,

"E grafa hwn ddigrifwch
Yn ddibaid o'r llaid a llwch."

Aeth enw Cynddelw yn fuan iawn yn enwog fel Eisteddfodwr o'r radd flaenaf, fel yr oedd yn rhaid ei gael i bob Eisteddfod a gynelid yn Ngwent a Morganwg, yn feirniad neu yn llywydd. Cerddai ugain milldir o ffordd, ar ei draed, i Eisteddfod, mor llawen a dirwgnach ag yr eistedda newynog wrth y bwrdd i gael pryd o fwyd.

Nid hir y bu cyn i brif feirdd a llenorion Cymru ganfod ei graffineb fel beirniad, a bu yn rhaid iddynt ei gael i feirniadu i brif Eisteddfodau y Dywysogaeth. Cyfrifid ef, ac Aneurin Fardd, gyda'r ddau feirniad craffaf yn y Deheudir, a chyfuwch a'r craffaf trwy Gymru benbaladr. Er codi Cynddelw yn feirniad i'r Eisteddfodau uchaf, eto yr oedd yn ddigon isel a hunan-ymwadol i feirniadu mewn Eisteddfodau bychain, lle y dechreuodd ei yrfa feirniadol; ac yr oedd ar ei daith i feirniadu mewn Eisteddfod o'r fath yn Sirhowy pan ddaeth angeu i roddi terfyn ar ei lafur.

Nid yn unig yr Eisteddfodau bychain oedd Cynddelw yn eu cefnogi, ond yr oedd hefyd yn cefnogi y cymdeithasau llenyddol bychain a gynelid gan ieuenctyd ardaloedd cylchau Sirhowy. Mynych y byddai y cymdeithasau bychain hyn yn gofyn am araeth ganddo ar ryw bwnc penodol, a byddai bob amser yn barod i'w gwasanaethu yn rhad ac am ddim. Rhyw bethau go ddigrif oedd ganddo bob amser mewn lleoedd felly, a buasent yn sicr o gynyrchu digon o guro dwylaw a chwerthin. Yr oedd unwaith yn areithio i gymdeithas lenyddol yn Sirhowy, ac yr oedd llawer o fechgyn a merched o Tredegar wedi dyfod i glywed yr araeth, ac i ganu yno hefyd; ac yr oedd cantorion ardderchog yn Nhredegar y pryd hwnw. Y pethau mwyaf neillduol oedd yn y ddarlith y noswaith hono oeddynt, y digrifwch ag oedd y Llundainiaid yn ei gael wrth ffolio Cymry gwladaidd a ymwelent a'r brif ddinas. Yr oedd ganddo wmredd o'r ystoriau digrifaf a glywodd dyn erioed, am fel yr oedd y Llundainiaid cellweirus yn ffolio y Cymry gwledig, druain. Nodaf un, nid am ei bod yn rhagori ar y lleill, ond am yr effaith hynod a gafodd hi ar y dorf. Dyma hi:

"Yr oedd hen Gymro yn byw yn Sir Aberteifi, yn arfer myn'd tua Llundain ambell i waith, ac un tro aeth a'i fab gydag ef er mwyn iddo gael gweled rhyfeddodau y brif ddinas. Wedi iddynt gyrhaedd Llundain dechreuodd y mab sylwi ar y naill beth a'r llall, gan ryfeddu llawer at bob peth braidd a welai. Yn fuan daethant at fan lle yr oedd pêr, afalau, cnau, &c., yn cael eu gwerthu. Gwyddai y bachgen yn burion beth oedd pêr, afalau, a chnau, ond yr oedd yno un peth mawr ar y bwrdd, (sef *pumpkin*), nad oedd ganddo yr un dychymyg pa beth allasai fod. Penderfynodd ofyn yn wylaidd i'r gwerthwr, beth ydoedd yr un mawr hwnw. Deallodd y Sais mewn eiliad, wrth ei siarad, mai Cymro oedd yr holwr, ac er mwyn cael tipyn o ddifyrwch gyda y Cymro diniwed, dywedodd mai wy ebol bach ydoedd. Gyda bod Cynddelw yn dweyd mai 'wy ebol bach' ydoedd, dyna yr hen chwaer ffyddlon Mari Williams (Bili) yn taro eu dwylaw yn erbyn eu gilydd nes oeddynt yn swnio fel dau hwrdd pan yn taro eu penau yn nghyd wrth ymladd â'u gilydd. Wedi hyny gwaeddai allan,

'Dyws anwyl, clywch ch'i ar y dyn yn gwed ei gelw'dd; pwy glywws son o'r bla'n am wi ebol bach?' Yna dechreuodd chwerthin gyda holl nerth ei pheiriant chwerthinol; ac fel y canlyn taran fellten agos, dechreuodd y dorf guro dwylaw a chwerthin hefyd, o gymeradwyaeth i araeth hyawdl yr hen chwaer dduwiol a dirodres. Gwelais lawer o guro dwylaw a chwerthin cyn ac wedi hyny, mewn cyfarfodydd o'r fath, ond yr oedd araeth yr hen chwaer yn curo'r cyfan am hwyl i ddim a welais i gynt nac wed'yn.

Nid oes dim yn fwy gwir na hyn yma,—mai wrth ymdrin â phethau bychain y daeth Cynddelw yn gawr mor nerthol i allu ymdrin â'r pethau mwyaf, a hyny gyda rhwyddineb. Ond Ow! mae Cynddelw

"Wedi myn'd na cha 'i wel'd mwy;"

ond y mae ei enw a'i waith i barhau

———"Tra bo'r iaith rydd
A Gwalia wrth eu gilydd."

---

[O Seren Gomer.]

## Y WEINIDOGAETH.

Nid oes dim yn fwy pwysig i ni, fel enwad o Gristionogion, na'n bod yn ymgadw wrth Air Duw, neu Gyfraith Crist. Yr ydym yn rhanedig i eglwysi, a gweinidogion yn yr eglwysi hyny; ac nis gall dim fod yn deilyngach o'n sylw na gofal mawr ar fod pob peth, hyd y gellir, yn cael ei drefnu a'i gario allan yn ol y Testament Newydd. Yn ol y graddau ag y byddom yn cydymffurfio ag ewyllys y Pen y gallwn ddysgwyl am ei bresenoldeb a'i fendith. Os bydd yr eglwys yn ddireol, a'r weinidogaeth yn ddiallu, yn ofer y dysgwylir am wir lwyddiant. Y mae yn bosibl i grefyddwyr goleddu camsyniadau a cham-arferion, a bod heb eu gweled, neu fod heb eu hystyried; ac y mae yn bosibl hefyd talu cymaint o sylw i ryw *un peth* fel ag i esgeuluso pethau eraill. Yr oedd rhai crefyddwyr yn nyddiau Crist yn orofalus am allanolion, ond yn nghanol y cwbl yn myned heibio i farn, a thrugaredd, a ffydd. Mat. xxiii. 23; Luc xi. 42. Er fod bedydd y Testament Newydd yn bwysig, ac fod sel drosto yn ganmoladwy, eto y mae yn bosibl fod llawer o Fedyddwyr yn meddwl mwy am fedydd nag am ddim arall. Os sonir am gadw y gorchymynion, ni feddyliant hwy ond am yr un peth. Dylid cofio mai nid *un peth* yw crefydd, ond ei bod yn *gadwyn*, a bod rhwymau arnom i ofalu am yr holl ddolenau, gan gofio fod yr hwn sydd yn troseddu mewn un peth yn gwneyd cam â'r cwbl. Gweddi odidog yw hon: "O am gyfeirio fy ffyrdd i gadw dy ddeddfau! yna ni'm gwaradwyddid pan edrychwn ar dy holl orchymynion."

Mae lle i ofni fod syniad llawer yn ein heglwysi yn anmherffaith iawn gyda golwg ar y Weinidogaeth, a Gweinidogion yr Eglwysi; a'r canlyniad yw, fod eu hymddygiadau yn annheilwng yn ngolwg y Nefoedd. Ymholiad blaenaf llawer yw, A yw ef yn bregethwr ag y bydd y bobl yn ei hoffi? A yw ef yn un ag y bydd son am dano? A wna ef dynu y llu idd ei wrando? A fydd ef yn godiad i ni fel eglwys? Ond yr holiad a ddylai fod yw, Beth yw safon y Testament Newydd? ac, A yw y gweinidog yn dyfod i fyny i raddau rhesymol â'r safon hono? Pe dechreuid yn y fan yma, a phe glynid yn yr unrhyw, gellid dysgwyl prydferthach gwedd mewn llawer eglwys, a mwy o wir lwyddiant yn gyffredinol.

Ein hamcan cyntaf fydd, dangos y gweinidog a'r weinidogaeth, yn ol Llyfr ein crefydd. Y mae yn rhaid i ni ddyfod yn ol i'r fan yma, a boddloni i'n hen fympwyon fyned gyda'r gwynt; rhaid i ni ymwrthod â'n syniadau cnawdol, ac ymgymeryd yn syml â'r ddysgeidiaeth sydd yn ol Crist.

Gan mai peth ysbrydol yw crefydd, a bod iachawdwriaeth eneidiau yn hanfodol gysylltiedig â hi, canlyna—Y dylai y gweinidogion fod yn dduwiol; ïe, *rhaid* iddynt fod yn gyfryw. Onid teulu Duw yw yr eglwys? Onid yw hi yn gartref i Grist? Oni chyfansoddir hi o saint a ffyddlon frodyr? Gan hyny, dylai y *blaenoriaid*, uwchlaw pob peth, fod o gymeriad diamheus—yn ddynion

yn ofni Duw ac yn cilio oddiwrth ddrygioni.

Ymddengys i ni y dylai yr holl eglwysi fod dan ofal gweinidogion, ac y byddai hyny yn llesol iddynt. Byddai yn well i ddwy neu dair o'r eglwysi bychain ymuno i gynal un brawd teilwng, na bod fel y maent. Sylwa Dr. Underwood, diweddar athraw yn ngholeg Chilwell, fel hyn: "Y mae yn amheus a yw eglwys yn gyfan heb weinidog. Rhaid fod ynddi y swyddwyr y sonir am danynt yn y Testament Newydd, a'r rhai hyny yn cyflawnu eu gwaith. 'Ffurfiad eglwys,' medd Dr. Owen, 'yw gosod yn yr eglwys y swyddwyr hyny a ordeiniasid gan Iesu i gario allan ei ewyllys ef ynddi.' Gosodai yr apostolion swyddwyr addas yn yr holl eglwysi a blanent. Y mae y cymhariaethau a ddefnyddir gan yr ysgrifenwyr sanctaidd, pan yn son am yr eglwysi cyntaf, yn dangos pa beth sydd angenrheidiol i wneyd cyfansoddiad ein heglwysi yn berffaith. Rhaid i *ddeadell* wrth fugail i ofalu am dani. Nid yw *canwyllbrenau aur* yn ateb y dyben hyd nes y byddo y goleuadau yn llosgi arnynt. Yr oedd *angel* yn mhob un o eglwysi Asia, a phob un o honynt yn *seren* yn llaw Iesu. Rhagora y ser sefydlog ar y ser gwibiog. Gall yr olaf gynyrchu mwy o sylw a chyffro, ond y rhai blaenaf sydd fwyaf defnyddiol. Y mae eglwys heb weinidog yn debyg i long heb lywydd, byddin heb gadfridog, neu gorph-lu heb gadben. Os yw y gweinidog yn addas i'w swydd, y mae *ef* yn fwy cymwys na neb arall yn yr eglwys i dywys y bobl a'u harwain yn ol cyfraith Crist. Rhaid crybwyll hefyd (medd Dr. Underwood), fod ambell i weinidog yn rhy dda i gael ei iawn brisio a'i gymeradwyo gan bob eglwys. Fe geir mewn rhai lleoedd ddynion na oddefant athrawiaeth iachus, a chymelliad ffyddlawn o ddyledswyddau Cristionogion. Os dilyna y gweinidog y cyngor apostolaidd mewn pregethu y gair, a cheryddu a chyngori, fe fydd ei lwybr yn arw, a'i arosiad yn y lle yn ansicr. Os chwenycha aros er mwyn y mwyafrif—a'r rhan *oreu* o'r eglwys—eto efe a deimla anhawsdra o herwydd presenoldeb y rhai y mae eu meddyliau yn ei erbyn er drwg; a mynych y teimla angen gweddio gyda Dafydd, 'Na ddeued trosedd balchder i'm herbyn; na syfled llaw yr annuwiol fi.'" (Gwel *Church*, 1866, tu dal. 29.)

*Safle y gweinidog, yn ol y Testament Newydd.*—Y mae EI LE i'r gweinidog. Gwna rhai ei dra ddyrchafu, tra y mae eraill yn ei iselhau. Bai llawer yn Eglwys Loegr a Rhufain yw edrych ar y gweinidog fel *offeiriad*, neu un uwchlaw dyn—un yn meddu ar allu dwyfol; a bai llawer yn ein plith ni yw edrych ar y gweinidog fel pe b'ai i fod dan draed yr eglwys. Cofier, fod y ddwy blaid yn mhell o'r *iawn*.

Yn ol y Testament Newydd, y mae y gwir weinidogion (ac am y cyfryw yn unig y soniaf), i gyflawnu eu gwaith gydag *awdurdod;* h. y., rhaid iddynt ofalu fod dysgeidiaeth Crist yn cael y sylw a ddylai, a'i dwyn i weithrediad ymarferol yn ei chyflawnder—nid yn rhanol. "Gan ddysgu iddynt gadw *pob peth* ar a orchymynais i chwi."

(*a*) Rhaid fod safle y gweinidogion yn uchel; canys dangosir eu bod mewn undeb agos â Christ. "Y neb sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i, a'r neb sydd yn fy nerbyn i sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i." Mat. x. 40. "Cydweithwyr Duw ydym ni." "Yr ydym ni yn genhadau dros Grist."

(*b*) Gelwir hwy yn esgobion, sef arolygwyr; h. y., rhai yn cymeryd gofal dros eglwys Dduw. Act. xx. 28; 1 Tim. iii. 5.

(*c*) Perthyna *awdurdod* iddynt. Wedi i Paul roddi cyfarwyddiadau manwl i Titus, efe a ddywed wrtho, "Y pethau hyn llefara a chyngora, ac argyhoedda gyda phob awdurdod." Pen. ii. 15. Dywedir eu bod yn *llywodraethu* pobl Dduw yn yr Arglwydd. 1 Thes. v. 12. Gorchymynir i'r Hebreaid fel hyn: "Meddyliwch am eich *blaenoriaid*, y rhai a draethasant i chwi Air Duw." "Ufuddhewch i'ch blaenoriaid, ac ymddarostyngwch." Pen. xiii. 7, 17. Medd Paul wrth Timotheus: "Y pethau hyn gorchymyn a dysg. 1 Tim. iv. 11. "Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma, na byddont uchel

feddwl, ac na obeithiont mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw, ..... ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu, yn trysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod, fel y caffont afael ar y bywyd tragywyddol." Pen. vi. 17—19. "Dwg y pethau hyn ar gof, gan *orchymyn* ger bron yr Arglwydd." 2 Tim. ii. 14.

Wrth edrych ar yr adranau blaenorol (*a. b. c.*), ni a welwn ei bod o bwys i'r eglwys i dalu sylw ystyriol i'r hyn a draetha cenadon Crist. Y mae ei ddysgeidiaeth ef ganddynt—nid yn unig ef eu mwyn eu hunain, ond hefyd er mwyn eraill. Llefara Crist ynddynt; a'u gwrthod hwy yw ei wrthod ef a'i eiriau, gweision yr hwn ydynt. Hefyd, gan fod y gweinidogion yn arolygwyr, ac yn gofalu dros eglwys Dduw, y mae hyn yn canlyn: Gofalant fod cyfraith Crist yn cael ei chadw yn yr eglwys, a cheryddant a chyfarwyddant y rhai fyddo yn troseddu. Pan welont rywbeth allan o le, rhaid iddynt *ddweyd hyny*, a rhaid i'r crwydriaid ddychwelyd at gyfraith yr Arglwydd; canys heb hyn, ni fydd eu harolygiaeth dros yr eglwysi yn ateb un dyben. I ba beth y mae arolygwr dda, os yw pawb i wneyd fel y gwelont *hwy* yn ddoeth? Y mae yr arolygwr hefyd yn meddu ar *awdurdod* o fewn terfynau deddfau Crist. Rhaid iddynt lefaru a chyngori ac argyhoeddi gyda phob awdurdod. Mewn gair, y maent i lywodraethu yn nhy Dduw yn debyg i'r modd y llywodraethent yn eu tai eu hunain. Gwel 1 Tim. iii. 4, 5. Yr un gair am "lywodraethu" (*proistemi*) sydd yn y ddwy adnod. "Blaenoriaid" yw gweinidogion y Testament Newydd, a dyledswydd y *brodyr* yw *dilyn* ac *ufuddhau* yn ol eu dysgeidiaeth o Air Duw. Peth rhy gyffredin yw gweled aelodau yn digio wrth y gweinidog, os pregetha ac os argyhoedda yn erbyn rhyw gamweddau a fyddo ynddynt hwy. Dywedant, "Mor llym oedd e' heddy'. A glywsoch chi'r fath beth? Byse cystal iddo fe ddal ei dafod." Ond y cyfarwyddyd dwyfol i'r gweinidog yw, "Gorchymyn," ie, i'r gwyr mawr yn yr eglwys, na fyddont uchel feddwl, ac na roddant eu bryd ar olud, eithr ar Dduw. Y mae eisiau llawer o wroldeb a duwioldeb i wneyd hyn yn iawn; ac y mae eisiau llawer o *ras* ar y rhai a gyngorir, fel ag y byddo iddynt dderbyn y cyngor er llesâd i'w heneidiau.

Ar gyfrif safle a gwaith gweinidogion Crist, dysgir

(*a*) Eu bod yn haeddu parch a chynaliaeth. Parch—i'r hwn y mae parch yn ddyledus; ac os nad yw gweinidog da yn haeddu hyn, pwy sydd? "Cyfrifer yr henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda yn deilwng o barch dau-ddyblyg; yn enwedig y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth." 1 Tim. v. 17. "Y mae y gweithiwr yn haeddu ei gyflog." Nid *elusen* yw yr hyn a dderbynia, ond "ei gyflog." Y mae argraff anffafriol ar feddyliau rhai yn y blynyddoedd hyn ag sydd yn tueddu i niweidio y weinidogaeth; edrychir arni fel celfyddyd er enill bywoliaeth, ac nid edrych ar y gweinidog fel yn deilwng o gael ei gynal er mwyn ei waith. Pan sonir am weinidog yn symud, cymerir yn ganiataol mai er mwyn cael rhagor o arian y gwna efe hyny. Mae yn drueni na fyddai yr eglwysi yn fwy effro am hyn, ac yn fwy haelionus at eu gweinidogion, fel y gallent hwy fod ddigon o'r golwg yn y peth hwn. Ond tra nad ydynt, dyledswydd y gweinidogion yn sicr yw eu dysgu am y ddyledswydd hon, fel pob dyledswydd grefyddol arall; ond pa fodd mae gwneyd, heb farnu mai gwyr am arian ydynt, ac felly y weinidogaeth i gael cam, nid hawdd yw gwybod; y mae eisiau bod yn ddoeth. Dichon fod y dull sydd yn rhy aml yn ein plith i godi cyflogau, wedi bod yn help i feithrin y dybiaeth annymunol yna, sef cymeryd galwad gan ryw eglwys arall, yr eglwys gartref yn clywed, ac os yn caru y gweinidog, yn teimlo, yn rhoddi mwy iddo, yntau yn aros, &c. Nid wyf yn ystyried fod yr arferiad yn deilwng o weinidogion ac eglwysi Iesu Grist. Byddai yn well i'r gweinidog siarad â'r eglwys yn gyntaf am ei dyledswydd, a'i sefyllfa ei hunan; ac os heb lwyddo

wedi hyny, yn neillduol a'r eglwys yn gallu, ni fyddai achos gan neb i'w feio pan yn troi ei wyneb i ryw le arall. Y mae eisiau mwy o adnabyddiaeth rhwng eglwysi a gweinidogion yn yr ystyr hyn, ac ymddiried mwy y naill yn y llall. Y rheswm dros yr arferiad yna, fe ddichon, yw ofn bod allan o le; ond nid oes achos ofni, feddyliwyf, i'r gweithiwr difeft gael ei adael gan Ragluniaeth ddwyfol heb waith, a bwyd hefyd.

(*b*) Dylid gwneyd cyfrif mawr o honynt. "A gwneuthur cyfrif mawr o honynt mewn cariad, er mwyn eu gwaith. Byddwch dangnefeddus yn eich plith eich hunain." 1 Thes. v. 13. Nid rhywbeth ysgafn yw hyn. Dengys geiriau Paul fod y mater yn bwysig a difrifol. Ac yr ydym yn atolwg (*erotomen*) i chwi, frodyr, adnabod y rhai sydd yn llafurio yn eich mysg, ac yn eich llywodraethu (*proistamenous*) chwi yn yr Arglwydd." 1 Thes. v. 12. Gair cryf iawn yw "atolwg." Yr un gair a ddefnyddir mewn llawer man am *weddio*, neu ddymuno, yn y modd taeraf. Gwel Luc xiv. 32; Ioan iv. 43, 47; xiv. 16; Actau iii. 3; 1 Thes. iv. 1.

(*c*) Dylid cadw y gweinidog yn ddiofn. "Edrychwch ar ei fod yn ddiofn gyda chwi." 1 Cor. xvi. 13. Diau fod ofn digio rhai aelodau yn peri i aml weinidog fod yn ddystaw ar rai pwyntiau. Ofnai rhai o weinidogion Talaethau deheuol yr Unol Dalaethau, flynyddau yn ol, ddweyd dim yn erbyn Caethwasiaeth, am fod eu haelodau cyfoethog yn euog o gadw caethweision. Gellid crybwyll llawer o engreifftiau eraill ag sydd yn tywys i'r un cyfeiriad. Sylwa y diweddar Barch. James Richards, fel hyn: "Cyflwr meddwl cyferbyniol i ofn yw bod yn ddiofn. Lle y mae ofn, y mae yn rhaid fod drwg, yn wirioneddol neu mewn dychymyg; rhywbeth yn niweidiol, neu rywbeth allan o le. Efallai nad yw'r holl nefoedd wedi duo, ond y mae cwmwl arni, ac fe all hwnw gasglu a llenwi nes rhwygo ei rwymyn, a thywallt lawr yn llifeiriant dinystriol. Yn awr, ofn yw y teimlad pryderus, anesmwyth, ac anhyfryd yn y meddwl, sydd yn cyfateb i hyn. Gan hyny, ei gadw yn ddiofn yw ei gadw yn esmwyth, yn dawel a dibryder gyda golwg ar bethau niweidiol iddo ef, ac i lwyddiant yr achos, neu anrhydedd ei Arglwydd mawr. Yn eich holl ymddygiadau a'ch ymwneyd ag ef, dangoswch ofal am ei feddwl, a pharchwch ei deimladau. A barnu wrth ymddygiadau llawer, ni ddaeth y peth a geisir yma i'w meddwl erioed; a da, ar yr olwg hyn, pe byddai y pregethwr heb deimladau, a phe na byddai yn bosibl clwyfo ei feddwl. Ni fyddai hynyna ddim yn gymwysder i'w waith; ond fe fyddai yn gymwysder mawr iddo i fyw gyda llawer math o ddynion. Mewn llawer gwaith y *corph* yw y gweithiwr; ond yn ngwaith y gweinidog, y *meddwl* yw y gweithiwr. Y mae ofnau a phryder yn *acto* ar y meddwl, fel y mae deddf pwys yn *acto* ar fater—yn ei gadw lawr, pan y dylai ehedeg a gwibio mewn eangderau. Nid oes dim fel ofnau a phryder at analluogi y meddwl a difa ei nerth; briwio ei deimladau a chlwyfo ei feddwl ydyw tori ei glun a gosod *handcuffs* ar ei ddwylaw. Wel, os ydych am iddo weithio gwaith yr Arglwydd, edrychwch ar ei fod yn ddiofn gyda chwi. O, ie, yn lle terfysgu ei feddwl a'i lwytho ag ofnau, rhoddwch hwyliau ar ei lestr i fyned i'r wlad bell, ac yna chwi a'i cewch yn ol yn llwythog o drysorau. Fe ddylai pob gweinidog fod yn fath o Barnabas, sef 'mab dyddanwch;' ond sut y dysgwylir iddo fod felly, os bydd ef yn ddyeithr i'r teimlad o gysur a thangnefedd? 'Edrychwch ar ei fod yn ddiofn.' Ie, *edrychwch*. Y mae yma daerineb, difrifoldeb, a phwysigrwydd. Golwg isel ar y *swydd*, a bair olwg isel ar y swyddwr. Golwg ddiystyrllyd ar y *gwaith*, a bair olwg ddiystyrllyd ar y gweithiwr; ond ni elwch edrych yn ddiystyrllyd ar y gwaith, canys *gwaith yr Arglwydd* y mae yn ei weithio. Nid rhyw *common laborer* yw efe; O na, gwr yn y *Government service* ydyw. Ei anmharchu ef yw anmharchu'r Goron, a'r holl awdurdod sydd yn trigo ynddi. Ebai Duw wrth Aaron a Miriam, 'Paham nad oeddech yn ofni dweyd yn erbyn fy

ngwas Moses?' Nid oedd Miriam nac Aaron yn meddwl dim, neu yn dweyd dim yn erbyn Duw—Moses oedd wedi priodi Ethiopes, a Moses oedd yn y bai, os oedd bai yn bod, ac yn erbyn Moses y lleferid. A oes eisiau i *Dduw* deimlo? Ah, dyna fel y mae llawer yn meddwl—dirmygu y *gwas* yw y bwriad; ond y mae llinyn y cysylltiad, 'fy ngwas,' yn cario'r anmharch i'r nefoedd. 'A digofaint yr Arglwydd a enynodd;' ac oni b'ai hir amynedd, ac ysbrydoliaeth yr oruchwyliaeth, fe gai'r gwahanglwyf weithio eto, a llawer eu troi tu hwnt i'r gwersyll."

Ond, yn lle bod yn gysurus a chalonog yn ei gylch, gorfodir llawer gweinidog i ddweyd, "Mi a fum yn eich plith mewn gwendid, ac ofn, a dychryn mawr."

[*I barhau.*]

---

## NID CHWEDL, OND HANESIAETH.

GAN Y PARCH. J T. GRIFFITHS, SHEKLEYVILLE, PA.

Y mae y prawf cofgolofnol o wirionedd yr Ysgrythyrau hanesyddol wedi derbyn ychwanegiadau pwysig oddiwrth yr arysgrifeniadau Assyriaidd ydynt wedi eu dwyn i oleuni o fewn y pymtheg-mlynedd-ar-hugain diweddaf. Y mae hyn yn wirionedd, yn enwedig am y tymor pan oedd ymerodraeth fawreddog yr Assyriaid yn estyn ei buddugoliaethau tua'r gorllewin, ac yn gwthio ei symudiadau dinystriol dro ar ol tro tua glanau môr y Canoldir ac ymylon yr Aipht. Yr oedd teyrnasoedd Judah ac Israel, yn nghyda'u cymydogion, yn cael eu bygythio, ac weithiau eu niweidio yn fawr, gan y symudiadau hyn, neu eu gorfodi i gymeryd rhan yn nherfysgoedd ystormllyd politicaidd y tymor. Y mae hanesyddiaeth talfyredig llyfrau y Breninoedd, yr hwn a ddyfynwyd o adroddiadau mwy manwl tystiolaethau swyddogol a hanesiaeth gyfoesol oedd y pryd hwnw mewn bod, yn rhoddi golwg gyffredinol ar weithrediadau yr amseroedd hyny, a chwrs dygwyddiadau cyhoeddus mor bell ag y mae yn perthyn i ymddygiad a ffawdiau amrywiol yr Israeliaid; ac wrth wneyd hyn rhydd i ni gip-olwg achlysurol a chroesawiadol i sefyllfa cenedloedd eraill gyda pha rai yr oeddent yn fwy neu lai o angenrheidrwydd yn gynwysedig. Ysgrifenwyd llyfrau y Breninoedd gyda golwg fanwl ar Dduwlywiaeth (*Theocracy*). Gosodir yr holl ddygwyddiadau allan yn eu perthynas â rhagluniaeth oruwchlywyddol Duw; ac ystyrir hwynt yn eu dylanwad ar ei deyrnas ddaearol yr hon a sefydlodd dros ei hiliogaeth etholedig. Y mae yr hyn oll a ddygwyddodd i'r Israeliaid yn cael eu holrhain i'w hachosion moesol yn y llywodraeth ddwyfol, a'u profi i fod yn ganlyniad cyfreithlon sefyllfa y bobl tuag at eu Brenin Nefol, yr hwn a wnaeth ddefnydd o'r Assyriaid a Thalaethau ac Ymerodraethau paganaidd eraill fel offerynau i weithio allan ei fwriadau cyhoeddedig ei hun, a chyflawnodd drwyddynt neu arnynt ei amcanion cyfiawn neu drugarog ei hun.

Y mae y nodweddiad eglur ac agored hwn o'r hanesiaeth ysbrydoledig wedi bod yn achlysur ffrwythlawn o wrthddadl i anghrediniaeth ddiweddar, yr hon sydd yn gwadu bodolaeth unrhyw lywyddiaeth oruchel o'r fath yn amgylchiadau dynol gan Dduw Israel, ac yn honi fod y fath arddangosiad ar ran yr ysgrifenwyr cysegredig yn bradychu teimlad anghyfeillgar tuag at, ac anghyson o'r parch cysegredig ac anmhleidiol tuag at y gwirionedd, a ddylai nodweddu yr hanesydd ymddiriedol. Hawlir ganddynt fod y dygwyddiadau wedi eu darnbigo gan offeiriaid a phrophwydi er mantais i'w ffydd genedlaethol, fel ag i wneyd yr argraff arnynt a welir mor eglur. Am hyny dadleuant nas gellir eu hystyried fel adroddiadau gwirioneddol ac ymddiriedol o ddygwyddiadau gweithredol, ond yn hytrach fel coeg-chwedlau yn ymgorphori y gred boblogaidd, fel chwedleuon gydag amcan duwiol, gan awdwyr a feddylient lai am wirionedd hanesyddiaeth nag am y daliadau crefyddol oeddent am addysgu, neu yr argraffiadau oeddent i'w gwneyd ar eu

darllenwyr. Fel hyn trinir hanesyddiaeth yr Israeliaid fel pe na bae yn hanes, ond yn unig cyfrwng rhyw ddrychfeddyliau crefyddol, gydag is-haen gymedrol o ffaith, a mwydiad helaeth o chwedl. Gwahoddir yn rhydd wialen ddeniadol beirniadaeth uchel i nithio ymaith y chwedl, ac i ogrynu y gwirionedd. Gosodant o'r naill du ddywediadau mwyaf pendant yr hanesydd cysegredig yn ddiseremoni, neu eu naddu i lawr a'u dadgymalu a'u gwyrdroi o'u hamcan eglur, heb unrhyw arweinydd arall neu fesur nag ewyllys arglwyddiaethol y beirniad. Cafodd yr erlyniad hyf a gormesol hwn ffrwyn rydd, a gellid ei erlyn gyda llai o wrthwynebiadau, oblegid yn henafiaeth a neillduaeth cymharol y llywodraeth Iuddewig ychydig oedd yn wybyddus i'r ysgrifenwyr henafol hyny, yn arbenig y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, gweithiau y rhai sydd wedi eu cadw i ni. Yr oedd Jerusalem wedi ei dinystrio gan Nebuchodonosor gan' mlynedd cyn genedigaeth Herodotus, tad hanesyddiaeth Roegaidd. Am hyny, o angenrheidrwydd, ychydig o bwyntiau a gynygia llenyddiaeth glasurol mewn cyffyrddiad a hanesiaeth gysegredig cyn yr amgylchiadau hyny. A thybygid fod adroddiadau y cenedloedd hyny a gawsant unrhyw gysylltiad â hwy, wedi eu colli yn anobeithiol.

Yn absenoldeb tystiolaethau cadarnhaol o fanau eraill, hawdd oedd taflu amheuaeth ar yr hanesiaeth gysegredig, ac i amheu cywirdeb ei dywediadau anmhorthedig. Ond y mae yr ymchwiliadau sydd wedi eu gwneyd gan ymchwilwyr diweddar i adfeilion y gorphenol wedi eu gwobrwyo â darganfyddiadau annysgwyliadwy, ond mwyaf croesawus. Y mae nifer o dystion annibynol wedi eu galw o'r Aipht, Babilon, Assyria, ac o wlad Canaan ei hunan, i egluro a chadarnhau dywediadau a chyfeiriadau yr ysgrifenwyr cysegredig, ac i sefydlu eu cywreindeb gwirioneddol, hyd yn nod mewn hysbysiadau manwl. Dichon mai y mwyaf nodedig a dyddorol o'r cyfnerthion hyn yw y rhai a roddir gan yr arysgrifeniadau Assyriaidd i ranau neillduol a geir yn Llyfrau y Breninoedd. Ychydig flynyddoedd yn ol, ychydig yn fwy a wybyddid am Ninefeh a'r breninoedd nerthol y rhai unwaith a lywodraethent y byd o'r brif-ddinas enwog hono, nag a ellid ei gasglu o frawddegau byrion o'r Beibl am danynt. Ond oddiar pan y mae palasau y breninoedd hyn wedi eu diorchuddio, a'r arysgrifeniadau wedi eu darllen, yn y rhai y rhoddant hanes manwl am eu gorchestion, a dygwyddiadau eu teyrnasiad, nid yn unig y mae ein gwybodaeth am Assyria wedi eangu yn fawreddog, ond, yr hyn sydd o werth neillduol i'n hamcan presenol, y mae genym mewn amryw engreifftiau y cyfieithiad Assyriaidd o ffeithiau gyda pha rai y mae y Beibl yn barod wedi ein gwneuthur yn gyfarwydd oddiar y safle Israelaidd.

### SALMANESER AC ISRAEL.

Y brenin cyntaf o Assyria yr hwn a sonia am amgylchiadau Israel, ydyw Salmaneser, nid yr un a warchaeodd Samaria (2 Bren. 18 : 9), ond brenin blaenorol o'r un enw. Yn ei arysgrifen dywed am fuddugoliaeth a enillodd yn ei bedwaredd flwyddyn, dros ddeuddeg o freninoedd cyngreiriedig, yn cael eu harwain gan Bin-hidri (Benhadad) o Damascus, ac yn cynwys Ahab o Israel, yn ogystal a breninoedd Hamath, Aipht, Arnad, Arabia, Ammon, ac eraill. Yn ei chweched, degfed, unfed-ar-ddeg, a phedwaredd-blwyddyn-ar-ddeg, cofnodir buddugoliaethau pellach dros Benhadad o Damascus a'i gyngreirwyr, deuddeg o freninoedd glanau y môr, neu ddeuddeg o freninoedd yr Hiltiaid; ond ni sonir am Ahab. Yn ei ddeunawfed flwyddyn, gorchfygodd Salmaneser Hazael, brenin Syria, ac yn yr un flwyddyn gwnaeth Jehu, mab Omri, yn nghyda breninoedd Tyre a Sidon, eu hymostyngiad, a rhoddasant roddion, ac arddangosiad darluniadol o genhadon Jehu yn cario barau o fetel gwerthfawr ar eu hysgwyddau, a defnyddiau o wahanol batrynau yn eu dwylaw.

Yn awr gadewch i ni weled pa beth ydyw y canlyniadau o hyn. Nid yn unig yn y cyffredin fod Benhadad yn gyf-

oeswr ag Ahab, a Hazael, a Jehu; ond ar y cof-golofnau y mae pedair-blynedd-ar-ddeg rhwng Ahab a Jehu. Yn ol llyfrau y Breninoedd gwahanir eu teyrnasiad gan deyrnasiad Ahaziah, yr hwn a deyrnasodd ddwy flynedd, a theyrnasiad Jehoram, yr hwn a deyrnasodd ddeuddeg mlynedd. Yn awr, a gwneuthur pob goddefiad dyladwy i arferiad yr ysgrifenwyr Hebreaidd o osod cyfnodau o amser allan mewn ffigyrau cyflawn, rhan o flwyddyn yn cael ei chyfrif yn flwyddyn, y mae yn rhaid fod tair-blynedd-ar-ddeg wedi myned heibio rhwng marwolaeth Ahab a dyfodiad Jehu. Am hyny nis gallasai Ahab fod yn byw pan oedd Salmaneser yn gwneuthur ei symudiadau tua'r gorllewin, oddieithr y cyntaf. Mewn perffaith gydgordiad â hyn, cysyllta y cof-golofnau ef a Benhadad yn y frwydr gyntaf, ond ni sonir am dano wedi hyny.

[*I barhau.*]

## CYMANFAOEDD CYMRU.

Dwy-flynedd-ar-bymtheg-a-deugain i'r mis hwn (Mehefin) y bum yn y gymanfa gyntaf gyda'r Bedyddwyr, yr hon a gynaliwyd yn Penybont, Llandyssil, a minau ond 11 mlwydd oed y pryd hwnw, a dau fis oed fel crefyddwr. Cefais genad gan fy nhad i fyned yno. Yr oedd genym i'w gerdded 18 milldir o ffordd, a mawr yr awydd oedd ynom i gael bod yn y gymanfa. Cyrhaeddasom yno yn brydlawn erbyn yr oedfaon cyhoeddus. Yr oedd y gynadledd y dydd olaf o'r gymanfa y pryd hwnw—y pregethu yn gyntaf. Am ddau o'r gloch yr oedd yr oedfaon i ddechreu y dydd cyntaf, pan y pregethodd yr enwogion W. Evans, Aberystwyth, a J. Roberts, Mon, Llansilin wedi hyny. Yna cyhoeddwyd y byddai pregethu yn yr hwyr mewn gwahanol fanau—dau yn mhob cymydogaeth. Y ddau oedd yn pregethu yn y pentref, allan ar yr heol, oedd y Parchn. Daniel Davies, y gwr dall, o Lundain y pryd hwnw, a Jones o'r Drefnewydd. Yr oedd Mr. Davies y pryd hwnw yn ddyn ieuanc gwrol tua 26 mlwydd oed, ei lais yn gryf ac yn nerthol, a Jones, Drefnewydd, yn nghanol ei ddefnyddioldeb, ac yn meddu ar gorph glanwaith a hardd. Boreu dranoeth yr oedd tynu mawr i ddydd mawr yr wyl. Am 7 yn y boreu yr oedd y cae lle yr oedd yr esgynlawr yn cael ei lanw gan addolwyr y Duw byw. Pregethodd yn y boreu y brodyr da Henry Davies, o Langloffan y pryd hwnw, a J. James, Pantrhydyryn, Penybont-ar-ogwy wedi hyny. Felly terfynwyd yr oedfa foreuol. Erbyn 10 yr oedd y gynulleidfa wedi cynyddu yn ddirfawr. Pregethodd y brodyr W. Richards, Penyparc, D. Davies Llundain drachefn, a J. Jones, Drefnewydd. Am 2, wele J. Edwards, Ruthyn, a Thomas Jones, Rhydwilym, a Christmas Evans, yn dyweyd yn ardderchog am Grist yn yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, &c., a phawb yn myned adref gan ganmol yr Arglwydd am nerthu ei weision, ac nid canmol y Dr. hwn a'r Dr. arall, ond Iesu yn cael y gogoniant.

Dygwyddodd amgylchiad gwerth ei grybwyll am y gymanfa hon. Yr oedd Christmas Evans yn myned yn ol i gymanfaoedd y Gogledd gyda'r Parch. T. Morris, Portsea, gwr ieuanc o Gaerfyrddin, ac yn bregethwr ieuanc y pryd hwnw. Yr oeddynt yn croesi y Traethmawr, ac yr oedd C. Evans yn isel ei feddwl wrth groesi. "Christmas Evans," ebe Morris, "bum yn y *races* ceffylau yn Mhenybont, Llandyssil, ac yr oedd yno ddau geffyl yn rhedeg *race*, un ceffyl dall, ac un ceffyl un llygad. Yr oedd y ceffyl dall yn rhedeg yn dda, ac ystyried mai y rhedfa gyntaf ydoedd; ond y ceffyl un llygad a'i cariodd hi." Daeth yr hen frawd i'w le mewn hwyl gyda y drychfeddwl, ac yr oedd yn rhaid i Mr. Morris adrodd y stori am *races* ceffylau Penybont, Llandyssil, yn nghlyw yr hen frawd, mewn difyrwch diniwed.

Cofiwyf weled hen feistr Christmas Evans yn y gymanfa hon, mewn cerbyd bychan, sef y dysgedig Davies, Castellhowell. Yr oedd, os wyf yn cofio yn dda, yn hen wr tew. Dywed-

ai y wraig wrtho, "Gwell i ni fyned adref, yr ydych wedi blino." "Na," ebe yntau, "y mae arnaf eisiau clywed beth a ddywed Christmas wrthym eto." Ac felly y bu. Hiraeth sydd arnaf am yr amser gwlithog oedd yn dilyn gweision Duw y pryd hwnw. Tywallted Duw ei Ysbryd yn helaeth ar ein pregethwyr ieuainc, yw dymuniad

*E. St. Louis.* B. J.

## R. H. EVANS A CHYMUNDEB.

*Erthygl VI.*

Dywed Mr. Evans, "Os ceuir taenellwr allan o gymundeb, y dylid edrych arno fel twyllwr." Ateb. Mae engreifftiau wedi bod o Grynwyr yn apelio am gymundeb gyda thaenellwyr, a chael eu gwrthod, am eu bod yn ddifedydd yn unig. A ydyw hyn yn profi fod y taenellwyr yn edrych ar y corph parchus hwnw o Gristionogion fel twyllwyr, &c.? Os yw, paham y cyhuddir y Bedyddwyr am wneyd yr hyn y maent hwy eu hunain yn ei wneyd? Os nad yw, paham y condemnir y Bedyddwyr am wneyd yr hyn nad ydynt yn euog o hono?

Dywedir "fod yn rhaid i'r Bedyddwyr edrych ar Spurgeon a Hall, &c., yn afreolaidd." Y mae egwyddorion cymundeb y taenellwyr yn edrych arnynt mor afreolaidd ag yr edrycha y Bedyddwyr arnynt, o herwydd eu bod yn derbyn i'w cymundeb rai yr edrychant arnynt yn ddifedydd, yr hyn a ystyrir gan daenellwyr yn gystal a Bedyddwyr yn gwbl afreolaidd. "Mae yn ynfydrwydd," meddai Dr. Wall, "na feddyliodd un enwad crefyddol erioed am dano, er cymaint o gyfeiliornadau a goleddid ganddynt." Mae yn rhy ddrwg fod y Bedyddwyr yn cael eu condemnio am beidio gwneyd yr hyn nad yw y taenellwyr eu hunain yn foddlawn ei wneyd.

Dywed Mr. E., "fod eu brawdgarwch hwy mor eang, fel y maent yn foddlon derbyn y Bedyddwyr i mewn." Atebaf, nad yw eu brawdgarwch hwy mor eang a brawdgarwch Hall, Bunyan, Spurgeon, &c., os mai wrth fwrdd y cymundeb y mae brawdgarwch i gael ei fesur, gan y derbynid ganddynt hwy y rhai a wrthodid gan y taenellwyr; ac nid yw eu brawdgarwch (er cymaint y mae Mr. E. yn honi o hono) mor eang a'r eiddo y Bedyddwyr, gan y derbynia y Bedyddwyr at fwrdd y cymundeb yr oll a ystyriant yn aelodau rheolaidd eu heglwysi, yr hyn na wneir gan y Methodistiaid Calfinaidd. Pa faint bynag o anghysondeb sydd yn nghyhuddiadau Bunyan a Hall yn erbyn y Bedyddwyr, maent yn saith mwy annghyson pan y deuant oddiwrth R. H. Evans yn eu herbyn.

Darlunia Mr. E. "Dywysog Tangnefedd" yn dweyd wrth wahanol enwadau, "Ysgydwch ddwylaw, a byddwch ffryndiau." Ond cam-ddarluniad o Dywysog Tangnefedd ydyw ei fod yn eu hanog i fod yn ffryndiau ar draul tori ei orchymynion. Efe yw'r hwn ddywed, "Pwy bynag gan hyny a doro un o'r gorchymynion lleiaf hyn, ac a ddysgo i eraill felly, lleiaf y gelwir ef yn nheyrnas nefoedd." Ac os nad yw cyfnewid gorchymyn Duw yn ei dori, (fel yr addefir gan luaws o brif ddysgedigion y taenellwyr, fod bedydd wedi cael ei gyfnewid o drochiad i daenelliad), nis gwn pa beth yw tori gorchymyn dwyfol na dynol. "Chwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi." Nid gwneyd pethau Crist ydyw cyfnewid pethau Crist, ac nid gwneyd "pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi" ydyw gwneyd rhai pethau, a chyfnewid y lleill. Cofied Mr. E. fod y "ddoethineb sydd oddi uchod yn gyntaf yn bur, wedi hyny yn heddychol." Mae heddwch, er mor werthfawr, yn costio gormod, os torir gorchymyn Duw er mwyn ei gael.

Mae ein cyfaill caredig yn enwi ychydig sydd wedi gadael y Bedyddwyr o herwydd caeth-gymundeb (meddai efe) gan arwyddo fod rhyw gynhwrf neillduol yn mysg yr enwad ar y mater, ac fod y byd yn rhy oleu i gario y fath beth a chaeth-gymundeb yn mlaen. Dylai gofio mai goleuni sydd yn gwneyd Bedyddwyr; fod bedydd babanod a

chymundeb babanod wedi cychwyn yn nechreuad yr oesau tywyll; fod yr olaf wedi ei daflu dros y drws pan ddaeth peth mwy gwrthun hyd yn nod nag yntau i mewn i'r eglwys, sef traws-sylweddiad, a bod y blaenaf wedi parhau i enill nerth hyd nes y tywynodd goleuni y diwygiad, ac o hyny hyd yn awr ei fod yn colli nerth yn gyflym.

Nid anmhriodol hefyd fuasai iddo ddweyd am y lluaws sydd yn dyfod at y Bedyddwyr oddiwrth wahanol enwadau. Gwelais hanes tri o weinidogion enwog yn ddiweddar, dau o honynt oddiwrth y *Free Will Baptists*, sef Mr. Crane a Mr. Cole, ac un arall mwy enwog fyth ddaeth atom oddiwrth y *German Reform Churc* , sef Dr. Ephraim M. Epsteim, *Professor of Hebrew, German, and Natural Science*, Helderberg College, Tiffin, Ohio. Ni fuaswn yn enwi yr ychydig hyn oni bae yr ymffrost chwyddedig mae Mr. E. yn ei ddangos o herwydd y cwpl a enwa sydd wedi gadael y Bedyddwyr flynyddau yn ol, o herwydd caeth gymundeb, meddai ef.

Adrodda Mr. E., fod "R. Hall yn darlunio y Bedyddwyr caeth-gymunawl fel sect newydd wedi codi." Nid y Bedyddwyr gododd fel sect newydd. Maent hwy yn awr yn gymwys yr un fath ag yr oeddynt ddeunaw cant o flynyddau yn ol, yn derbyn i'r cymundeb gredinwyr bedyddiedig; ond fe gododd Bunyan a Hall beth newydd, sef dadgysylltu y berthynas rhwng bedydd a chymundeb, a derbyn at fwrdd yr Arglwydd y rhai a farnent yn Gristionogion, pa un bynag a fuasent yn fedyddiedig neu beidio, yr hyn, fel y sylwyd gan Dr. Wall, sydd yn wrthuni na feddyliodd neb erioed ei wneyd. Y mae y ffaith hon yn cael ei chadarnhau gan luaws o daenellwyr heblaw Dr. Wall; mae y Bedyddwyr a'r taenellwyr yn un llais ar y pen hwn; mae y Bedyddwyr yn hen sect sydd yn henach na'r henaf dan yr oruchwyliaeth Gristionogol. Mae y grefydd Babaidd yn honi mai hi yw yr henaf; ond mae y Bedyddwyr ganoedd o flynyddau o'i blaen hi. Peidied Mr. E. a chynhyrfu am fy mod yn tystio hyn; os bydd yn amheu, gadawed i mi gael gwybod, a bydd yn dda genyf brofi fy nhystiolaeth, a hyny, yn ol fy arfer, drwy amryw o brif ddysgedigion a haneswyr taenellyddol. "Bedyddwyr caeth-gymunawl yn sect newydd!!!" Byddai yr un mor hawdd profi na chododd yr haul erioed, ag fyddai profi mai sect newydd yw y Bedyddwyr. Sylwer fy mod yn defnyddio y term "Bedyddwyr caeth-gymunawl," nid am fy mod yn eu hystyried yn fwy caeth, nac hyd yn nod mor gaeth, a thaenellwyr, ond yn unig i'w gwahaniaethu hwynt oddiwrth y "Bedyddwyr rhydd-gymunawl" a godasant tua dau can' mlynedd yn ol. John Bunyan oedd un o'r rhai cyntaf a feddyliodd am y fath *absurdity*, fel y gelwir ef gan Dr. Wall, sef rhoddi cymundeb i ddyn di-fedydd.

Darlunir y cymundeb gan ein gwrthwynebwyr fel arwydd neillduol o undeb, brawdgarwch, a chariad, rhwng Cristionogion a'u gilydd. Gellid meddwl nad yw prif ddyben sefydliad yr ordinhad, sef cofio am angau y Gwaredwr, ond ail beth yn ngolwg rhai dynion. Nid ydym yn cael ein dysgu yn y gwirionedd ein bod i feddwl dim am ein gilydd, pan yn eistedd wrth fwrdd yr Arglwydd. "Gwnewch hyn er cof am danaf fi," yw y gorchymyn;" ni ddysgir ni i gofio am ein gilydd, ond pawb i gofio am Grist; ac nid cofio am dano yn cael ei eni, ond cofio am dano yn dyoddef a marw drosom ni. Nid yw wedi ei fwriadu yn neillduol i ni ddangos ein cariad hyd yn nod at Grist, ond mor belled ag mae ufudd-dod i unrhyw orchymyn o eiddo Crist yn dangos cariad ato. Mae y cymundeb yn dangos cariad Crist atom ni yn hytrach na'n cariad ni at Grist; mae yn feithriniaeth i'n cariad at Grist, gan ein bod yn cael ein gorchymyn i gofio am dano yn dyoddef a marw yn ein lle, yr hyn, yn ol natur pethau, sydd yn ei duedd i gynyddu ein cariad at y Gwaredwr bendigedig. Nid yw yr Iesu pan yn galw ei saint yn mlaen yn y dydd olaf, yn crybwyll am hyn fel un prawf o'n cariad ato, er ei fod yn enwi llawer o bethau eraill a wnaethant drosto: "Deuwch chwi, fendigedigion blant fy

Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er seiliad y byd," canys buoch yn cymuno gyda eich gilydd, i ddangos eich undeb, a'ch cariad, a'ch brawdgarwch, at eich gilydd. Na, nid fel yna y bydd yn dweyd y pryd hyny; ond, "Bum glaf, ac ymwelsoch â mi; yn ngharchar, a daethoch ataf; bum newynog, a rhoisoch i mi fwyd; sychedig, a rhoisoch i mi ddiod." Dyma y gweithredoedd, yn nghyfrif Iesu, ydynt yn brawf o'n cariad ato ef, ac at ei saint, ac nid cyd-eistedd i gymuno gyda ein gilydd. Mae yn ffordd rhy esmwyth, *cheap*, i brofi ein cariad at Grist na'n gilydd. Mae arwyddion rhy amlwg i'w gweled yn mysg eglwysi pob enwad, y gallant gyd-eistedd gyda eu gilydd wrth fwrdd cymundeb am flynyddoedd, er mai prin y gallant ymddyddan â'u gilydd yn frawdol a charedig, tra y gallant gyfeillachu yn serchog â'u cyfeillion na ddarfu erioed gyd-eistedd â hwy wrth fwrdd y cymundeb. Mae un ymweliad â brawd neu chwaer yn eu cystudd, neu un weithred o elusengarwch i frawd mewn tlodi ac angen, yn annhraethol well prawf o gariad atynt, nag eistedd gyda hwy am flynyddoedd mewn cymundeb. Mae yn debyg mai yr amcan mewn golwg yn y cam-ddarluniad o brif ddyben yr ordinhad, ydyw gwaradwyddo y Bedyddwyr drwy eu darlunio fel rhai amddifad o gariad at enwadau eraill, a sefyll ar ffordd undeb crefyddol. Atolwg, ai y Bedyddwyr yw yr achos o'r holl ymraniadau sydd yn mysg y taenellwyr eu hunain. Er engraifft, mae y Presbyteriaid (enwad y mae Mr. E. yn arddel perthynas lled agos ag ef,) wedi ymranu yn Scotland i chwech o wahanol gyrph; yn yr Iwerddon i bump; yn Lloegr i dri, ac yn America i naw o wahanol bleidiau neu gyrph enwadol. Yn lled debyg gellir dweyd am y Methodistiaid, &c. Yn sicr nid y Bedyddwyr a'u caeth-gymundeb a achosodd yr holl ymraniadau hyn. A raid i'r Bedyddwyr, fel rhyw fwch diangol, gario pechodau holl enwadau y byd? Mae cyd-eistedd gyda eich gilydd yn achlysurol yn brawf rhy wael o'ch unoliaeth, eich cariad, a'ch brawdgarwch, tra yr ydych yn ymddryllio yn gymaint o fân ddarnau crefyddol. Rhowch i'r Bedyddwyr well esiampl o unoliaeth a brawdgarwch, cyn eu condemnio mor ddiarbed ac anghyson ag y gwnewch.

Dengys R. H. E. "fod R. Hall yn herio gwroniaid caeth-gymundeb i ddangos olion y fath ymddygiad yn yr oesoedd gynt, neu i gyfeirio at un genedl, neu sect, neu berson, fel engraifft o'r fath wahaniaeth penchwibanllyd a gormesol mewn cysylltiad â swper yr Arglwydd." Peth anhawdd ydyw dangos olion ymddygiad caredig neu angharedig at unrhyw beth cyn ei fodolaeth. Dangosed Mr. Evans fod y fath beth a sect o daenellwyr yn bodoli yn y canrifoedd cyntaf o Gristionogaeth, mi ymrwymaf finau i ddangos olion o gaeth-gymundeb yn yr oesoedd gynt. Nac anghofied Mr. Evans y gallaf brofi drwy luaws o brif ddysgedigion a haneswyr y gwahanol bleidiau taenellyddol, mai trochi oedd y dull cyffredinol o weinyddu bedydd am dri-chant-ar-ddeg o flynyddoedd. Gwir fod y Bedyddwyr yn cael eu herlid yn y canrifoedd a nodwyd, ond nid gan daenellwyr yr oeddynt yn cael eu herlid y pryd hwnw, fel y maent wedi cael yn y canrifoedd diweddaf; ond am eu bod yn ail drochi y rhai oeddynt wedi eu trochi yn eu mabandod. Senedd Zurich yn 1525 a rybuddiai y bobl i ymgadw oddiwrth y rhai oedd yn ail-fedyddio, a chosb yn cael ei phenodi ar y rhai a oddefent eu hunain i gymeryd eu hail fedyddio. Hawdd yw profi pa fodd y mae taenellwyr wedi ymddwyn at y Bedyddwyr, a'r Bedyddwyr at y taenellwyr, ar ol i'r taenellwyr ddyfod i fodolaeth; ond mae yn anmhosibl profi pa fodd yr ymddygid at daenellwyr yn nechreuad Cristionogaeth, gan nad oeddynt yn bodoli y pryd hwnw.

W. JONES.

---

**Dywedai Luther y gallai wynebu ei elynion, ond na allai esgyn yr areithfa na fyddai ei liniau yn crynu yn nghyd. Nid chwareu plentyn yw pregethu, nid peth i'w wneyd heb lafur a phryder; y mae yn waith difrifol, ac yn waith ofnadwy, os edrychir arno yn ei berthynas â thragywyddoldeb.—*Spurgeon*.**

## CYNDDELW.

(UN O'I DDYWEDIADAU.)

Yr oedd Eisteddfod i gael ei chynal yn Cendl, a Cynddelw i fod yno yn beirniadu. Prif destyn barddonol yr Eisteddfod (os nad wyf wedi cael fy ngham-hysbysu) oedd Pryddest ar Moses. Yr oedd bachgen o Penycae wedi gyru cyfansoddiad i'r gystadleuaeth, a chredai nad oedd neb o fewn cylch yr Eisteddfod a allasai ei guro; felly penderfynodd mai ei bryddest ef oedd yn oreu, a gyrodd ei frawd i'r Eisteddfod i dderbyn y wobr. Ond dadblygodd darlleniad y feirniadaeth nad oedd y beirniad a'r bardd yn unfarn o berthynas i deilyngdod y bryddest, oblegid yn lle bod yn oreu, hyhi oedd yr "olaf gwt" yn y gystadleuaeth.

Sylwai Cynddelw fod pryddest Glyn Ebbwy yn rhy faith o lawer i ateb y tipyn meddwl a'r ychydig farddoniaeth oedd yn y cyfansoddiad; fod taflu cwpanaid o laeth i'r nant, dan feddwl gwneyd "glasdwr," yn ynfydrwydd. Pan ddeallodd y brawd nad oedd ef i gael ei wobrwyo, ffromodd yn aruthr, ac wedi i'r cyfarfod derfynu aeth i'r llwyfan i alw y beirniad i gyfrif am ei *insinuations*. "Ac," meddai yn ei amddiffyniad, "yr oeddych yn dweyd fod pryddest fy mrawd yn rhy faith o lawer; ond beth yw hon at eich 'Awdl Cenedl y Cymry' chwi?—mae hono yn agos i dair mil o linellau!" "O, ie, machgen i," atebai Cynddelw, "mae cryn wahaniaeth rhwng dy frawd a mi—canu i *un dyn* yn unig y mae dy frawd, ond yr oeddwn i yn canu i *genedl fawr* a lluosog."

T. J. POWELL.

## GWAREDIGAETH HYNOD.

Cymerir yr hanesyn canlynol allan o Daith yr Archddiacon Coxe trwy Sir Fynwy: "Hydref 29, 1772, fel yr ydoedd Mrs. Williams, gwraig Edward Williams, Eurych, yn dychwelyd adref o bentref cyfagos, i dref Caerlleon, ar Wysg, tuag 11 o'r gloch y nos, gyda llusern yn ei llaw, pan oedd ar y bont goed sy'n arwain i'r dref, aeth y llif a cholofnau a rhan o lawr y bont ymaith, a syrthiodd hithau gyda y cruglwyth i'r dwfr, a hyrddiwyd hi gyda nerth y llif i lawr yr afon; ond daliodd afael yn y cledrau gyda'r rhai y syrthiodd. Ar ol cael ei chludo tua milldir a haner diffoddodd y ganwyll. Wrth fyned heibio rhai tai ar fin yr afon yn St. Julian, gwaeddodd am help, a chlywyd hi gan ryw rai; neidiasant o'i gwelyau i'w helpu, ond yr oedd grym y llif wedi ei dwyn ymaith. Ni theimlodd lawer o ofn, gan y gobeithiai gael ei gwaredu gan fadwyr y Casnewydd. Cynyddodd ei dysgwyliadau wrth weled goleuni yn y tai, a gwaeddodd yn uwch am gymorth, ond yn ofer. Wedi cyrhaedd y Casnewydd, yr hyn sydd dros dair milldir o Gaerlleon, gan fod y ganllaw ar yr hon y pwysai wedi tori, fforchogodd drawst; ac ar ol ei dal am ychydig gan wrthlif y bont, cludai y cenllif hi yn brysur tua'r môr. Yn y sefyllfa enbydus hon rhoddes i fyny bob gobaith am achubiaeth, ac ymddarostyngodd i'r dynged oedd yn ei haros. Tua milldir islaw Casnewydd canfu oleuni bychan mewn ysgraff, yn agos i'r lan. Gwaeddodd â'i holl nerth, a chlywyd hi gan feistr y llestr. Ar ol bloeddio arni, a deall ei sefyllfa, llefodd, "Cedwch eich hysbryd i fyny, byddwch yn fuan allan o berygl!" Yna neidiodd i'r bad oedd yn ei ymyl, gydag un o'i wyr, a rhwyfasant tua'r man o'r lle y deuai y waedd, ond bu cryn amser cyn iddynt ei chyrhaedd, yn mhell oddiwrth angorfa yr ysgraff. Mor dywyll oedd y nos fel na allent weled eu gilydd, a'r tonau yn chwyddo mor anferth fel y perodd y llongwyr iddi drachefn fod yn dawel, a pheidio gadael y man lle yr oedd. Yn rhagluniaethol chwalodd y cymylau, a medrodd y llongwyr rwymo y trawst y gorphwysai hi arno wrth y bad. Y fynyd hono gwanychodd grym ei meddwl, a cheisiodd ymdaflu yn mlaen yn rhy fuan; rhwystrwyd hi gan y llongwyr, a chodwyd hi o'r diwedd i'r cwch, ond ni allent gan rym y llif ymadael â'r trawst nes dyfod i Aber yr Wysg. Wedi idd-

ynt wneyd hyn rhwyfasant trwy lawer o anhawsderau tua'r lan; ac wedi cael cilfach lled dawel, arosasant yno nes y torodd y wawr, yna dygasant y wraig i'r Casnewydd.

Y mae Mr. Coxe yn rhoddi enwau llawer o wyr parchus yn y gymyd g-aeth y rhai a sicrasant iddo ef wirionedd yr hanesyn uchod. Cyfeiria yn arbenig at offeiriad wrth yr hwn yr adroddodd Mrs. Williams yr holl amgylchiadau ar ei gwely angau.

*Minersville.* L. J.

---

# PWLPUD Y WAWR.

---

## Y Darlun Teg o Sant.

PREGETH NEWYDD GAN Y PARCH. CHAS H. SPURGEON.

---

"Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni wyrais Nid ydwyf chwaith yn cilio oddiwrth orchymyn ei wefusau ef: hoffais eiriau ei enau ef, yn fwy na'm hymborth angenrheidiol."—Job xxiii. 11, 12.

[*Parhad.*]

O, GOCHELWCH RHAG DIRYWIAD.

Yr oeddym yn arfer defnyddio yr ymadrodd yna flynyddau yn ol i ddynodi dechreuad dirywiad, neu fe ddichon yr effeithiau o hono; ac yn wir, y mae dirywiad yn yr enaid yn fynych yn arwain i ddadfeiliad marwol. Mewn dadfeiliad ysbrydol ymddengys bywyd crefydd yn cilio bob yn ychydig. Nid yw y dyn yn marw trwy archoll a wana ei enw da, ond trwy wendid dirgelaidd oddi mewn iddo, a fyddo yn bwyta yr elfenau bywiol o dduwioldeb, ac yn gadael yr arwyneb allanol yn deg. Gwareded Duw ni rhag dadfeiliad. Yr wyf yn sicr, anwyl gyfeillion, na allwn, lawer o honom, fforddio i ddirywio llawer, oblegid nid ydym ddim yn rhy ddifrifol, ddim yn rhy fywydus yn awr; ond hyn ydyw un o brif ddiffygion yr eglwysi, mae cynifer o'r aelodau mewn cyflwr o ddirywiad fel mae yr eglwys yn dyfod yn fath o yspyty, yn lle bod yn wersyllfa. Nid yw llawer o broffeswyr yr hyn oeddynt ar y cyntaf. Yr oeddynt yn ddynion ieuainc addawol iawn, ond nid ydynt yn cyflawnu gweithredoedd dynion mewn oed.—Boddheir ni wrth weled blodau ar ein coed ffrwythau, ond siomant ni os na fyddant yn ymrwymo yn ffrwythau, ac ni fyddwn yn foddlawn hyn yn nod y pryd hwnw os na fydd y ffrwythau yn addfedu yn llawn. Ni fyddwn yn gwneyd gerddi er mwyn y blodau; mae arnom eisiau afalau. Felly y mae gyda gardd gras; mae ein Harglwydd yn dod gan geisio ffrwyth, ac yn lle hyny y mae yn fynych yn canfod dim ond dail.

Mae rhai yn dadfeilio *oblegid y maent yn myned yn dlawd;* gwnant hyd yn nod aros o'r addoliad oblegid hyny. Gobeithiwyf nad oes neb o honoch chwi yn dweyd, "Nid wyf yn teimlo dod i'r Tabernacl, oblegid nad oes genyf ddillad cymwys i ddod i mewn." Fel yr wyf wedi dweyd lawer gwaith, fod unrhyw ddillad yn gymwys i ddyn i ddod yma, os bydd ef wedi talu am danynt. Boed i bob un ddod yn y dillad sydd ganddo, a bydd iddo groesaw. Ond yr wyf yn gwylod am rai proffeswyr tlawd yn nyfnder eu pryder a'u trafferth, yn lle rhedeg at Dduw, yn rhedeg oddiwrtho. Mae hyn yn dra gofidus. Po fwyaf tlawd y byddoch, mwyaf yn y byd sydd arnoch angen am ddyddanwch cyfoethog ei ras. Na adewch i'r demtasiwn hon eich gorchfygu, ond os ydych mor dlawd a Job, byddwch mor benderfynol ag ef i gadw yn ffordd yr Arglwydd, a pheidio gwyro.

Mae eraill yn gwyro oddiwrth grefydd, *oblegid eu bod yn dyfod yn gyfoethog.* Dywedir na ddaw tair cenedlaeth ar olwynion i le o addoliad Ymneilltuol; ac y mae hyn wedi profi yn wirionedd gofidus mewn llawer o engreifftiau, er nad oes genyf fi ddim lle i achwyn arnoch chwi hyd yn hyn. Mae rhai personau pan y cyfodant yn y byd yn troi i fyny eu trwynau at eu cyfeillion tlawd. Os gwna rhai o honoch chwi hyny, yr ydych yn deilwng o dosturi, os nad o ddirmyg. Os gadewch ffyrdd Duw am ddull y byd, byddwch yn enillwyr bychain trwy eich cyfoeth.

Cadwed yr Arglwydd chwi rhag dadfeiliad.

Mae llawer yn dadfeilio oblegid y maent yn cydymffurfio â dull y byd; ac nid ffordd y byd ydyw ffordd Duw. Onid yw Iago yn dweyd fod "cyfeillgarwch y byd yn elyniaeth gyda Duw. Pwy bynag gan hyny sydd yn gyfaill i'r byd sydd yn elyn i Dduw."

Mae eraill yn crwydro oblegid maent yn myned i gymdeithas ddrwg, yn mhlith dynion ffraeth neu ddynion cyfrwys, neu ddynion lletygar, y rhai nad ydynt ddynion duwiol. Mae y fath gymdeithas yn beryglus. Mae dynion a fawrygir genym ni, ond y rhai *na* fawrygir gan Dduw, yn rhai tra niweidiol. Mae yn beryglus iawn i garu y rhai na fyddont yn caru Duw. Ni chaiff hwnw fod yn gyfaill mynwesol i mi ag nad yw yn gyfaill i Dduw, canys ni wnaf iddo ef, mae yn debygol, ond ychydig o wasanaeth, a gwna efe i minau niwed mawr. Boed i ras Duw eich cadw chwi rhag oeri, oddiwrth un o'r achosion hyn; a bydded eich bod yn alluog i ddweyd, "Ni wyrais."

6. Mae un frawddeg yn aros eto: "Nid ydwyf chwaith yn cilio oddiwrth orchymyn ei wefusau ef." Hyny ydyw, fel nad oedd wedi arafu yn ei gerddediad, llawer llai yr oedd wedi troi yn ol. Na foed i un o honoch chwi byth fyned yn ol. Dyma un o ofidiau penaf gweinidog, fod rhai personau yn dyfod i'n plith, ac hyd yn nod yn dyfod i'r *ffront*, y rhai, ar ol ychydig, a droant yn ol, ac ni rodiant mwyach gyda ni. Gwyddoch fel y dywed Ioan, "Oddi wrthym ni yr aethant hwy allan, eithr nid oeddynt o honom ni; canys pe buasent o honom ni, hwy a arosasent gyda ni; eithr hyn a fu, fel yr eglurid nad ydynt hwy oll o honom ni." Eto y fath ofid a ganlyn pan y gwelwn fradychwyr yn ein plith, ac yn gwybod eu tynged! Cymerwch ofal, frodyr, rhag fod yn un o honoch galon ddrwg anghrediniaeth, yn ymado oddiwrth y Duw byw. Bydded i wraig Lot fod yn rhybudd; pureiddiwch eich henaid â darnau o halen o'r golofn hono, a gall eich cadw rhag llygredd. Cofiwch y gellwch droi yn ol, nid yn unig oddiwrth yr holl orchymynion, a thrwy hyny ddyfod yn wrthgiliwr, ond y mae y fath beth a throi ymaith oddiwrth orchymynion unigol. Gwyddoch fod y gorchymyn yn gywir, ond ni ellwch ei wynebu; edrychwch arno ac edrychwch arno, ac yna ewch yn ol, yn ol, yn ol, oddiwrtho, gan wrthod ufuddhau. Nid oedd Job erioed wedi gwneyd hyny. Os oedd yn orchymyn Duw, aethai yn mlaen i ufuddhau iddo. Gall ymddangos yn anmhosibl myned y'mlaen yn llwybr dyledswydd; ond os bydd genych ffydd, yr ydych i fyned yn mlaen beth bynag fyddont y rhwystrau.

Yr oedd y dyn du yn iawn a ddywedodd, "Massa, if God say, 'Sam, jump through the wall,' it is Sam's business to jump, and God's work to make me go through the wall."—"Meistr, os dywed Duw, 'Sam, neidia drwy y mur,' dyledswydd Sam yw neidio, a gwaith Duw ydyw gwneyd i mi fyned trwy y mur." Neidiwch ati, anwyl gyfeillion, hyd yn nod pe byddai yn fur o nithfaen. Gwna Duw y ffordd yn rhydd. Trwy ffydd yr aeth Israel trwy y môr Coch megys ar hyd tir sych. Ein dyledswydd ni ydyw gwneuthur yr hyn y mae Duw yn ei orchymyn, pan y gorchymyna, ac ni all yr un niwed ganlyn. Rhoddir nerth yn ol y dydd, ond yn unig i ni floeddio, "Yn mlaen!" gan ymdrechu.

Dyna i chwi y darlun a amlinellodd Job; crogwch ef i fyny ar bared eich cof, a chynorthwyed Duw chwi i arlunio fel yr hen atbraw hwn, medr yr hwn sydd yn ddigyffelyb.

(*I barhau.*)

---

DETHOLION.

—Y ffordd oreu i Gristionogion i gadw heddwch gwastadol yn eu heneidiau yw cadw rhyfel gwastadol a'u pechodau.

—Gwybod y gwahaniaeth rhwng da a drwg a ddengys ein *doethineb*, ac ymddwyn yn ol y gwahaniaeth hwnw a ddengys ein *daioni*.

## AMRYWIAETHAU.

### DATHLU CAN'-MLWYDD YR YSGOL SABBOTHOL.

Ar y 27ain o fis Meh. dathlwyd can'-mlwyddiant yr Ysgol Sabbothol gan y Bedyddwyr Americanaidd, trwy gynal cyfarfodydd areithio, a chyfranu at gynal ysgolion yn y Gorllewin, a lledaenu yr Ysgrythyrau. Cyfrifir y can'-mlwyddiant hwn oddiwrth ysgol Robert Raikes yn Lloegr.

### CYRDDAU YR UNDEB CENADOL.

Cynaliwyd y rhai hyn eleni yn Saratoga yn yr wythnos ddiweddaf yn Mai. Nodweddid y cyrddau oll gan frwdfrydedd, undeb, a chydweithrediad. Yr oedd tôn galonogol gan yr areithiau a'r mynegiadau. Mae y rhan ystadegol o'r mynegiad yn wir ddyddorol. Yr holl swm a dalwyd i mewn i'r drysorfa yn ystod y flwyddyn, oedd, $314,860.88, o'r hyn yr oedd $24,-509.25 i'w ychwanegu at gronfeydd. Y swm i'w ddefnyddio at dreulion y flwyddyn, a dyled y flwyddyn o'r blaen oedd, $290,851.63.

### YMWELIAD UN O ENWOGION CYMRU AG AMERICA.

Fel yr hysbysasom yn barod yn y WAWR, mae y Parch. Benjamin Thomas, Narberth, D. C., yn bwriadu ymweled ag America yr haf hwn Dysgwylir ef drosodd yn nechreu Awst. Mewn llythyr ydym newydd dderbyn oddiwrtho, dywed, "Gallaf eich sicrhau yn awr, os na ddaw rhyw rwystr anorchfygol ar y ffordd, y byddaf yna tua dechreu Awst. Yr oedd ein cymanfa yr wythnos ddiweddaf yn Maenclochog, a dygodd y brawd Haddock, Blaenyffos, gynt Cwmbwrla, benderfyniad yn mlaen yn fy nghymeradwyo i eglwysi America, yr hwn a basiwyd gyda brwdfrydedd. Nid wyf yn meddwl fod ei eisiau, ond ni wna ddrwg." Mae Mr. Thomas yn bregethwr a darlithiwr o'r radd flaenaf, a bydd yn *treat* i'w glywed yn pregethu neu ddarlithio. Hysbysa ni fod ganddo ddarlithiau ar y testynau canlynol: (1.) Dafydd Evans, Ffynonhenry — cymeriad hynod. (2.) Fy Adgofion am Hynodion y Pwlpud Cymreig—dwy ddarlith ar y pwnc hwn, os bydd eisiau. (3.) Joseph Harris (Gomer), gynt o Abertawe. Hefyd bydd gan Mr. Thomas Gofiant Dafydd Evans ar werth. Yn awr gyfeillion, yn mhob man, parotowch eich hunain i glywed yr arwr enwog hwn. Os ydych am ei gael i bregethu, neu ddarlithio, anfonwch atom ar unwaith. Anogwn yr eglwysi Cymreig a'n cyfenwad i roddi derbyniad teilwng i Mr. Thomas.

### YR UCHEL-WYL YN CATTARAUGUS.

Yn hwyr y dydd, Mehefin 18fed, a ni yn dyfod oddiwrth orsaf y gledr-ffordd, nyni a nesaem at gapel y Bedyddwyr yn Freedom, Cattaraugus, ymddyddanem a ni ein hunan—Wel, meddem, y maent wedi dyfod o'r cwrdd bellach. Safem, gwrandawem; yn sicr i chwi, clywem yn hyglyw lais y brawd Owen F. Parry, Bordwell, yn pregethu y gair gyda hyfder mawr. Nesaem eto, a gwelem ochrau yr heol yn llawn o gerbydau, a meirch yn rhwymedig wrthynt, am oddeutu chwarter milldir o ffordd. Gwelem ei bod yn uchel-wyl y cyfarfod yno. Gyda chamrau buain agosaem at y drws, a thrwyddo, gan gymeryd ein lle yn y man agosaf i wrando. Yr oedd y capel eang yn llawn o wrandawyr astud—cynulleidfa ardderchog yn mhob ystyr—a'r brawd Parry yn selog yn dyweyd i bwrpas. Ond gan fod yr amser eisoes wedi cerdded yn mhell, nid hir y buwyd cyn terfynu. Aem yn mlaen cyn ymadael, a da i ni oedd cael ysgwyd dwylaw â chynifer o gyfeillion caredig, yn weinidogion ac eraill

Byddai yn ddymunol genym fanylu ar ragoriaethau y Gymanfa hon, ond ni oddef gofod y tro hwn. Bydd-

ai yn ddymunol i ambell Fedyddiwr selog a ddichon fod yn byw mewn ardal anfedyddiedig gael trem ar y fath gynulleidfa hardd ag oedd yn y lle hwn. Nid oes genym ond un neu ddwy o eglwysi yn y wlad i'w cydmaru â hon.

Priodol y gallasai y Parch. Wm. M. Evans, a ni yn ei gymdeithas, gyfeirio pan yn sefyll gerllaw y capel, a dweyd, "Frawd Griffiths, y Bedyddwyr bia'r ardal fawr hon, can belled ag y gelli weled, ac, yn wir, am filldiroedd o'r golwg." Teimlem yn falch o'r Gymanfa eleni nid yn unig o herwydd maint y cynulleidfaoedd, ond hefyd o herwydd y dyddordeb dihafal a ddangosent mewn gwrando yr efengyl. Adlewyrcha y Gymanfa yn dda ar yr eglwys, a'i safle yn y gymydogaeth. Boddhawyd y gweinidogion a'r cenadon yn fawr trwy iddynt gael eu gwahodd i giniaw a thê ddydd Sadwrn, i dy Mr. Hugh R. Roberts, diacon, a dydd Sul i dy T. Davies i giniaw, ac i dy Mrs. Rees i dê; a thrachefn ddydd Llun, i dy y diacon John W. Williams, Pwll-y-cyw, i giniaw a thê. Nid oedd terfyn ar garedigrwydd pawb oll—a'r cwbl wedi ei eneinio ag olew gorfoledd yr efengyl. Rhaid y bydd effeithiau da yn canlyn y Gymanfa hon. Boed felly.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU Y *WAWR*.

—Ha, wyr! mae y Parch. D. W. Morris wedi glanio o'r diwedd yn America; ac, medda "nhw," pregetha yn well nag erioed. Ei gyfeiriad yw, Rev. D. W. Morris, Hyde Park, Lackawanna Co., Pa.

—Mae brodyr a chwiorydd ffyddlon yn Morris Run, Pa., onide buasai yr achos wedi myned yn llwyd yn wir yno yn ystod y blynyddau celyd diweddaf. Ychydig iawn o bregethu maent wedi gael yno er's hir amser.

—Yn enw'r dyn, mae eglwys "dwt" iawn yn Arnot, Pa. Ni ddysgwyliem ddim o'r fath beth. Trwy gydweithrediad a brawdgarwch gall yr eglwys yno fod o ddylanwad mawr. Y gweinidog ydyw y Parch. D. Harris, yr hwn sydd frawd ffyddlawn a charedig.

—Y Parch. Roger Thomas sydd yn pregethu i'r frawdoliaeth fechan yn Antrim, Pa. Yr oedd ef ac eraill yn ymddangos mor dda ganddynt weled golygydd y WAWR yn eu plith am dro. Dywedent, Brysiwch yma eto.

—Gyda nerth mawr, dywedai y Parch. Edward Jenkins, Parisville, O., yn Nghymanfa Pittsburgh, "nad gwiw dysgwyl llwyddiant ar yr achos tra y byddo'r pwlpud yn drewi gan whisci, cybydd-dod yn difa, a difaterwch a bydolrwydd yn ffynu yn mhlith yr aelodau." Bobl anwyl, a ydyw hyn yn bodoli?

—Brawd ar ei ymweliad yn ddiweddar â pharthau yn Ohio, a sylwai fod atebion pur wahanol yn cael eu rhoddi i'w ofyniadau am sefyllfa yr eglwysi, ac eiddo y cymdeithasau dyngarol. Mewn perthynas i sefyllfa yr eglwysi, cwynid bron yn ddieithriad, ond am gyflwr y cymdeithasau dyngarol gosodid allan fod pethau yn dra llewyrchus. Frodyr, a ddylai y pethau hyn fod felly? Oni ddylai yr eglwysi fod ar y blaen i lesoli cymdeithas mewn pob peth sydd dda?

—Y mae trallod chwerw wedi dod i deulu Mr. John D. Hughes, Johnstown, Pa., trwy farwolaeth Miss Hughes, merch rinweddol a pharchus iawn. Ar ein hymweliad, y diwrnod o'r blaen, edrychai yn iach a siriol. "Yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

—Cyfarfyddodd Cynadledd Genedlaethol Gwerinwyr y Talaethau Unedig yn Chicago, Ill., ar yr ail o'r mis diweddaf, i benodi ymgeiswyr am yr Arlywyddiaeth a'r Is-Lywyddiaeth; ac ar ol chwe' diwrnod o lafur, a phleidleisio 36 o weithiau, dewiswyd yr Anrh. JAMES A. GARFIELD yn ymgeisydd am yr Arlywyddiaeth. Nifer y *delegates* oedd 755, gan hyny yr oedd yn ofynol cael 378 i wneyd mwyafrif. Derbyniodd Mr. Garfield 399 o bleidleisiau.

Ganwyd Mr. Garfield yn Orange, Swydd Cuyahoga, Ohio, Tach. 19, 1831. Yr oedd ei rieni yn dlawd; bu ei dad farw pan oedd ef yn ieuanc. Pan yn llanc, gyrodd ar y *towpath* i enill ychydig arian. Penderfynodd fynu dysgeidiaeth, a bu yn dra llwyddianus yn hyn. Graddiodd yn Williams College, Mass., yn 1856; efrydodd y gyfraith; etholwyd ef i Sen-

edd Dalaethol Ohio; aeth i'r fyddin Undebol fel Milwriad, yn 1861, a dyrchafwyd ef yn Major General yn 1863. Etholwyd ef i'r 38, 39, 40, 41, 42, 43, 44, 45 a'r 46 Gydgyngorfa, lle yr oedd yn flaenor y Gwerinwyr, ac yn awr y mae wedi ei ethol i Senedd y Talaethau Unedig—ac y mae yn ymgeisydd am yr Arlywyddiaeth. Er fod teimladau tra brwdfrydig yn bodoli trwy yr Undeb o blaid yr amrywiol ymgeiswyr am y penodiad, eto pan bellebrwyd y newydd o benodiad Mr. Garfield, dros hyd a lled ein gwlad, derbyniwyd ef gyda'r brwdfrydedd mwyaf, a daeth yn amlwg ar unwaith y byddai yn sicr o dderbyn holl nerth y blaid Werinol wrth yr ethol-flychau yn mis Tachwedd nesaf.

Penodwyd Chester A. Arthur, o New York, yn ymgeisydd am yr Is-Lywyddiaeth. Mae yn ddyn o gyrhaeddiadau eang, ac wedi dal amrywiol swyddi pwysig, Talaethol a chenedlaethol. Ganwyd ef yn Fairfield, Vt., Hyd. 5, 1830.

# Barddoniaeth.

## PWYSIGRWYDD CYMERIAD.

Mwy pwysig yw cymeriad
  Nag un peth yn y byd,
Dyledswydd pob dyn ieuanc
  Yw cofio hyn o hyd;
Peth ydyw y cymeriad
  A ffurfia dyn wrth fyw—
Yw cofio bod yn onest,
  A rhodio rheol Duw.

Nid cyfoeth sy'n rhoi mantais
  Na thlodi'n rhwystro'r un,
I gadw ei gymeriad
  A chofio byw y dyn;
Os byddwch am gael cyfoeth,
  A cheisio dod yn mla'n,
Rhaid ffurfio i chwi'ch hunan
  Gymeriad gloew, glân.

Nid gwisg sy'n gwneyd cymeriad,
  Nac amgylchiadau'r un,
Peth all y tlawd gardotyn wneyd"
  Yw cofio byw y dyn;
Mae byw mewn pell anialwch,
  Mewn bwthyn wrtho'i hun,
Yn gan'-mil gwell na chyfoeth,
  A pheidio byw y dyn.

Er byw mewn palas gorwych,
  A chael teganau'r byd,
Cymeriad wna foneddwr,
  O bethau pena'r byd.

*Taylorville.* THOMAS THOMAS,
*15 mlwydd oed.*

## DY FAM YW HI ER HYN I GYD.

Er gadael gwlad y gân,
  Yr hen fam wlad a'th fagodd,
Am wlad y rhyddid glân,
  Amerig eang diroedd,
Paid a'i dirmygu ar bob pryd,
Dy fam yw hi er hyn i gyd.

Er dysgu Saesneg main,
  Paid byth yn ffol ddirmygu
Iaith fil fwy melus sain,
  Hen iaith breninoedd Cymru;
Mae swyn a serch yn iaith dy gryd,
A iaith y teimlad yw o hyd.

Er gadael tyner fam
  Ar ol rhwng bryniau Gwalia,
Paid a'i hanghofio, am
  Mai wrthyt ti dysgwylia;
Os yw hi'n dlawd a gwael ei phryd,
Dy fam yw hi er hyn i gyd.

Er troi o eglwys Dduw,
  I grwydro'r byd a'i gorsydd,
O, tyr'd yn ol i fyw
  Lle magwyd di mor ddedwydd;
Mae'th le yn wag, dysgwylia o hyd,
Dy fam yw hi er hyn i gyd.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

## MWYNHA DY HUN.

Mwynha dy hun, man daw hwyl,
O bur wysiad i'th breswyl;
Bydd lawen a gwên ddigonol,
I godi'n uwch a gado'n ol,
Ffugiau a gwael ddiffygion,
Salw wyr, "oes oleu hon!"
Rhai dd'wedant yn rhydd odiaeth,
Swn i gyd, a'u gwersi'n gaeth;
O! mor isel mae rheswm,
A disail ydyw o swm;
Heb air Duw, mae llwybr dyn
O addysgiad i ddisgyn;
Duw y gair a gwyd y gwan
I fwyniant buraf anian;
A mwyniant yw dymuno
Lles arall heb ball lle bo.
Rhoddi i'r tlawd, wr eiddil,
O fodd, elusenau fil;
Olew ar glwyf o law wr glan,
Haelionus o fywiol anian,
Yw rhodd a gwen llawenydd,
Trwy iawn serch i'r truan sydd;
Nid aur a dysg, noder dawn,
Yw doniau bywyd uniawn,
Ac hanfod hapusrwydd ceinfawr,
A diddwl y meddwl mawr:
Cariad o darddiad urddas,
Yn llawn o gryf gynllun gras,
Eneiniad y galon unol –
Yw mwynhad heb ddim yn ol.

*Kingston, Pa.* JAMES R. PRICE.

## AMSER.

Mae amser yn gronicl dwyfol
I gadw holl hanes y byd;
O'r holl gynhyrfiadau rhyfeddol
Mae'n dystion o'r cyfan i gyd;
Cynwysa gyfodiad teyrnasoedd,
Gogoniant y rhai'n aeth yn llwyr;
Yn ngwres ei ieuenctyd peidiasant,
Fel fflachiad goleuni'n yr hwyr.

Mae amser fel môr mawr diderfyn,
A'i donau'n gwneyd blwyddyn bob un,
A minau fel cwch ar ei ganol,
Yn rhwyfo'r storm erwin a blin;
Ei olwg fel pruddglwyf ei hunan,
A'i ddyfroedd yn chwerwon ei blas,
A halltwyd gan ddagrau dynoliaeth,
Nes gwelwi ei drochion du-lâs.

Mae amser fel bwrdd yn y canol,
A dau drag'wyddoldeb yn ben,
Lle gwelir arfaethau'r Jehofah,
Mewn cydgyfarfyddiad di-ben;
Fe glywir archangel yn gwaeddi
Nes crynu y bydoedd i'w sail,
Amser nid ydyw ef mwyach—
Anadlaf nes diffydd yr haul.

*Bevier, Mo.* S. CHESHIRE PIERCE.

## TRI ENGLYN

Y DYLAI POB HEN WR EU DYSGU, EU COFIO, A'U HYSTYRIED YN BRIODOL.

Hen wr egwan wyf, ar ogwydd—o'r byd
I'r bedd, llys dystawrwydd;
Llithraf a rhedaf yn rhwydd;
Ah! obry ceir fi'n ebrwydd.

Trwy farw deuaf gyfarwydd â churiau
Tost, chwerwon fy Arglwydd;
O brysied, hwylied hoew lwydd,
Hyfryd, na fydded afrwydd.

I'm Duw Naf canaf 'nol cwnu meddaf
Am iddo'm gwaredu;
Byddaf y llonaf o'r llu
Eiriaswyn gyda'r Iesu.

*Hyde Park.* DAFYDD DYFED.

## ENW IESU.

Mae enw Iesu'n berlan
O fewn i'r gyfrol lân,
I'r saint a'r pur angylion
Yn sail anthemawl gân.

Pe tynid enw Iesu
O'r gyfrol werthfawr, ddrud,
Crechwenai'r holl gythreuliaid—
Ai'r ddae'r a'r nef yn fud.

LLYWARCH.

# HANESION CARTREFOL.

### CYMANFA

*Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.*

Cynaliwyd y Gymanfa uchod yn Pittsburgh, Mai 28, 29, 30. Cafwyd pregethu nos Wener gan y Parch. J. T. Griffiths, Shekleyville, a W. Evans, Tregolwyn, D. C.

Boreu dydd Sadwrn, am 10, agorwyd y gynadledd trwy weddi, gan y brawd D. Evans, Wheatland. Yn ystod y cynadleddau, penderfynwyd a ganlyn:

1. Ar ol darllen llythyrau ac ystadegau yr eglwysi, etholwyd y brawd Charles Jones, M. A., Coalburgh, yn Llywydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol; y brawd Thomas Thomas, Sharon, yn Ysgrifenydd; a'r brawd Thomas M. Mathews, Hubbard, yn Drysorydd.

2. Ein bod yn rhoddi derbyniad a chymelliad gwresog i'r brodyr R. Edwards, Pottsville, Owen Griffiths, golygydd y WAWR, John T. Griffiths, Shekleyville, Wm. M. Evans, Cattaraugus, Wm. Evans, Tregolwyn, D.C., Samuel Job, Cleveland, a John Thomas, diweddar o Gilfach Goch, D. C., i gyd-eistedd a chyd-weithredu â ni yn y gynadledd.

3. Ein bod yn rhoi derbyniad gwresog i'r brawd Wm. Evans, Tregolwyn, ar sail llythyr o gymeradwyaeth a dderbyniwyd oddiwrth y Parch. Nathaniel Thomas, Caerdydd, hyd nes y daw llythyr swyddogol oddiwrth Ysgrifenydd Cymanfa Morganwg, yr hon a gynelir yn Mehefin.

4. Ein bod yn derbyn adroddiad, ac yn rhyddhau, y pwyllgor a benodwyd i wneyd ymchwiliad i feddiant yr enwad.

5. Ein bod, yn herwydd amddifadrwydd yr eglwysi, yn gadael y pwnc ar

y bwrdd hyd y Gymanfa nesaf, ac yn cymell yr eglwysi i feddwl am dano.

6. Ein bod yn penodi y Llywydd i ysgrifenu ysgrif fer, gynwysfawr, ar y mater, er i'r eglwysi gael llwyr ddealldwriaeth ar y pwnc.

7. Ein bod yn mawr gymeradwyo y brawd Owen Griffiths yn ei waith yn dwyn allan y WAWR, cyhoeddiad mor ddefnyddiol, at ein gwasanaeth fel enwad, ac yn llawenhau yn ei lwyddiant cydmarol.

8. Ein bod yn penderfynu cael llyfr Hymnau newydd at ein gwasanaeth, fel Bedyddwyr Cymreig Americanaidd.

9. Ein bod yn barnu yn briodol i benodi pwyllgor o'r Gymanfa hon i ymgyngori â brodyr o Gymanfaoedd eraill, i gael y llyfr oddi amgylch.

10. Ein bod yn penodi y brodyr Owen Griffiths, Allen J. Morton, a C. Jones, M. A., Llywydd y Gymanfa, yn bwyllgor.

11. Ein bod yn rhoddi derbyniad gwresog i'r Parch. John Thomas, diweddar o Gilfach Goch, D. C., i'n hundeb Gymanfaol, ar sail llythyr a dderbyniwyd oddiwrth gymanfa Morganwg.

12. Ein bod yn taer gymell pob eglwys yn nghylch y Gymanfa i benodi Sabboth i gasglu at y Genadaeth, a Sabboth i gasglu at yr Athrofeydd.

13. Ein bod yn penodi y brawd Allen J. Morton fel *agent* i gymell yr eglwysi i wneyd casgliad at yr Athrofeydd yn Awst, ac at y Genadaeth yn Hydref.

14. Fod y Llywydd i benodi pwyllgor i wneyd ymchwiliad i'r achos yn Ebensburgh, sef y brodyr D. Evans, Wheatland, Allen J. Morton, Pittsburgh, a Thos. Thomas, Sharon.

15. Fod y cyfarfod tri-misol nesaf i gael ei gynal yn Palmyra, O.

16. Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal yn Mineral Ridge, O.

17. Ein bod yn gohirio y gynadledd hyd y Gymanfa yn Mineral Ridge, yn 1881.

Nos Sadwrn dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. D. Evans, Wheatland, a phregethodd y Parchn. Samuel Job, Cleveland, Edward Jenkins, Parisville, a Joseph T. Jones, Thomastown.

Dydd Sabboth, yr oedd y Gymanfa i gael ei chynal yn nghapel yr *Union Baptists*, ar heol Grant, am y meddylid fod capel y Cymry ar Chatham Street, yn llawer rhy fychan.

Dechreuwyd cyfarfod y boreu gan y Parch. Dr. Thomas, (A.), Pittsburgh, a phregethwyd gan y Parch. Charles Jones, M. A., Coalburgh, yn Saesoneg, Wm. M. Evans, Cattaraugus, a David Probert, Youngstown, yn Gymraeg.

Am 2½, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. Thomas Edwards, (A.), Pittsburgh, a phregethwyd gan y Parchn. Thomas Thomas, Sharon, a Thomas M. Mathews, Hubbard.

Yn yr hwyr, dechreuwyd gan y Parch. Gwawrfryn Evans, (A.), South Side, Pittsburgh, a phregethodd y Parchn. James F. Richards, Church Hill, Owen Griffith, Utica, a William Evans, Tregolwyn, D. C.

Prydnawn dydd Llun, drachefn, cynaliwyd dau gyfarfod yn yr hen gapel yn Chatham Street, pryd y caed pregethu am 2 o'r gloch, gan y Parchn. Samuel Job, Cleveland, Charles Jones, M. A., Coalburgh, David Evans, Wheatland; y Parch. Edward Jenkins, Parisville, ddechreuodd y cyfarfod.

Am 7, dechreuwyd gan y Parch. S. Job, Cleveland, a phregethwyd gan y Parchn. Wm. M. Evans, Cattaraugus, N. Y., a Joseph T. Jones, Thomastown.

A chymeryd pob peth at eu gilydd, cafwyd cyfarfodydd bendigedig, pregethau da, cynulliadau mawrion, a serchawgrwydd gan bawb yn gyffredinol. Priodol yw dweyd fod y brawd Morton, yn nghyda'r eglwys barchus dan ei ofal, wedi gwneyd pob darpariaeth angenrheidiol er gwneyd dyeithriaid yn gysurus yn ystod y Gymanfa. Yr oedd yr enwadau eraill wedi teimlo cymaint o ddyddordeb yn y Gymanfa, fel y penderfynasant roddi heibio eu cyfarfodydd eu hunain, a mynu rhan yn ngwyl y Bedyddwyr. Hyderwn y bydd bendith Duw yn dilyn ymdrechion diflino ei weision a'i blant.

THOMAS THOMAS, *Ysg.*

## YSTADEGAU CYMANFA OHIO A GORLLEWINBARTH PENNSYLVANIA, 1880.

| EGLWYSI. | Gweinidog. | Ysgrifenydd. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd trwy Lythyr. | Gollyngwyd trwy Lythyr. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif yr Egl. | Rhif yr Ysgol. | At Draul y Gymanfa. | At Draul yr Ysgrifenydd. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Pittsburgh, Pa | A. J. Morton | D. Ll. Jones | 2 | 7 | 23 | 5 | 23 | 4 | 167 | 55 | $22 00 | $1 00 |
| Parisville, O. | E. Jenkins | E. T. Davies | 4 | 1 | | 2 | | 1 | 56 | 65 | 3 50 | 1 00 |
| Youngstown, O. | D. Probert | J. M. Evans | 3 | 7 | 20 | 6 | 3 | 2 | 138 | | 6 00 | 1 00 |
| Mineral Ridge, O. | | E. M. Morgan | 4 | 2 | 1 | 1 | 3 | | 80 | | 4 00 | 1 00 |
| Ebensburgh, Pa. | | W. Leighty | | | | | | | | | 1 00 | 70 |
| Coalburgh, O. | C. Jones, M. A. | D. Edwards | 1 | 6 | 6 | 8 | | | 84 | 125 | 4 00 | 1 00 |
| Thomastown, O. | | E. Richards | 2 | 4 | 8 | 6 | 1 | | 60 | 60 | 2 50 | 50 |
| Sharon, Pa. | T. Thomas | J. Devereux | | 8 | 7 | 8 | 8 | | 60 | 110 | 2 00 | 75 |
| Church Hill, O. | J. F. Richards | D. T. Griffiths | 2 | 5 | 5 | 3 | 14 | 1 | 66 | 90 | 3 00 | 1 00 |
| Weathersfield, O. | J. W. James | C. Evans | | | 5 | | 3 | 1 | 28 | | | |
| Pomeroy, O. | | J. James | | | | 1 | | 1 | 23 | | 2 30 | |
| Niles, O. | | W. Williams | | | 6 | 12 | 2 | | 33 | | 1 00 | 1 00 |
| Brookfield, O. | | J. Morgan | 11 | 3 | 4 | 9 | 6 | 1 | 42 | | 2 00 | 50 |
| Hubbard, O. | T. M. Mathews | T. Parry | 6 | | 6 | 3 | 1 | | 42 | 75 | 2 66 | |
| Palmyra, O. | | J. Roach | | | | | | | 20 | | 1 00 | 80 |
| Wheatland, Pa. | D. Evans | | 3 | 5 | 3 | 5 | 1 | | 21 | 25 | 1 20 | 1 00 |
| Houtzdale, Pa | W. Evans | J. Maurice | | 10 | 8 | 4 | 1 | 1 | 57 | 40 | | |
| Hartford City, W. Va. | J. R. Jones | E. D. Sanders | | | | | | | 23 | | 66 | |
| Mason City, W. Va. | J. R. Jones | | | | | | | | | | | |
| Irwin Station, Pa. | J. Owen | T. John | 1 | 4 | 2 | 3 | | | 18 | | 2 00 | 50 |
| Dennison, O. | J. J. James | W. J. Davies | | 1 | 2 | 1 | 4 | | 33 | 40 | 85 | |
| Oak Hill, O. | T. E. Griffiths | W. W. Harris | | | | | | 2 | 26 | 30 | 2 20 | |
| New Straitsville, O. | D. B. Davies | D. A. Davies | 9 | 5 | 17 | 15 | 10 | | 90 | 118 | 7 40 | 50 |
| Cyfanswm | | | 48 | 67 | 123 | 92 | 80 | 14 | 1268 | 833 | $71 27 | $12 25 |

Yr eglwysi canlynol heb anfon llythyr na'u hystadegau i'r Gymanfa:—Centreville, O.; Bethlehem, O.; Ebenezer, O.; Vienna, O., a Pigeon Run, O.

*Gweinidogion heb Ofal Eglwysi*:—D. Nicholas (Ifor Ebbwy), Youngtown, O.; John Thomas, Niles, O., a'r hen frawd parchus, D. Jenkins, Hubbard, yr hwn yn ol pob arwyddion sydd yn ymyl terfynu ei yrfa ddaearol. Y mae wedi gadael ei 80 ml. oed, ac yn ddiweddar wedi cael *paralytic stroke*, (ond yn ysgafn,) yr hyn sydd wedi ei analluogi i fyned allan o'i dy. Mae yr hen frawd yn adnabyddus i'r enwad fel un o gymeriad da yn ystod ei oes, ac fel un sydd wedi bod yn dra defnyddiol gydag achos y Gwaredwr am tua 60 o flynyddoedd, ac felly yn wir deilwng o gydymdeimlad yn ei henaint a'i fethiant.

Ychydig cyn y Gymanfa talodd y brawd Jones, y Llywydd, ymweliad â'r hen dad, a thaer erfyniodd ar y brawd Jones ei gofio ef yn y modd mwyaf gwresog at y gynadledd oll; y carai fod yn eu plith, ond ei fod ef wedi bod yn y Gymanfa ddiweddaf ar y ddaear; fod ei waith ar ben, a'i fod yn teimlo ei hun yn ymyl y bedd. Dymunai lwyddiant mawr ar y weinidogaeth, a gwenau y nefoedd ar y Gymanfa o'i dechreu i'w diwedd.

Dangosodd y gynadledd y cydymdeimlad mwyaf dwys â'r hen frawd, a llawer yn dymuno i'r hwn sydd yn briod i'r weddw ac yn dad i'r amddifad i ofalu am dano yn ei ddyddiau olaf.

*Pregethwyr Cynorthwyol*—Thos. Probert, Youngstown, Thos. Morris, Thomastown, Samuel J. Bassett, Palmyra, D. Lloyd Jones, a D. Jones, Frostburgh.

Mae y *Report* uchod mor gyflawn ag sydd bosibl i mi allu ei roddi, yn ol y manteision sydd genyf. Byddai yn dda genyf pe byddai yr eglwysi oll yn teimlo digon o ddyddordeb yn ein Hundeb Cymanfaol i anfon eu hystadegau i mewn. Mae rhai o'r eglwysi a nodwyd heb anfon un gair atom yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf. Gobeithio y bydd iddynt feddwl yn garedig am hyn, ac anfon eu hystadegau o hyn allan, er mwyn i ni gael ystadegau ein Cymanfa yn gyflawn.

THOS. THOMAS, *Ysg.*
*Sharon, Mercer Co., Pa.*

---

### CYMANFA

### *Bedyddwyr Cymreig Wisconsin, 1880.*

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Salem, ger Oshkosh, Mehefin 2, 3.

Boreu dydd Mercher, am 10, agorwyd y gynadledd trwy weddi gan y Parch. Wm. Jones, Ridgeway. Yna etholwyd y Parch. H. C. Parry, D. D., yn Gadeirydd y Gymanfa, a R. Bennett yn Ysgrifenydd, a David James yn Drysorydd. Yna darllenwyd llythyr o gymeradwyaeth i'r Parch. H. C. Parry, D. D., oddiwrth Gymanfa Dwyreinbarth Pa., a derbyniwyd ef yn llawen ac unfrydol i'r Undeb Gymanfaol.

Yna galwyd am lythyrau yr eglwysi perthynol i'r Gymanfa, trwy y rhai y deallwyd fod heddwch a thangnefedd yn ffynu yn eu plith, a llwyddiant mewn rhai o honynt, a rhai wedi eu symud trwy weinidogaeth angau o eglwysi eraill.

Yna daeth y WAWR dan sylw, a phenderfynwyd ein bod yn teimlo gwerth, ac angenrheidrwydd am, ein cyhoeddiad Cymreig, ac yn dymuno i'n penderfyniadau blaenorol o gymeradwyaeth i'r WAWR gael sylw difrifolaf yr eglwysi, gan eu hanog i'w derbyn a thalu am dani; ac yn teimlo ein rhwymau diolchgar i'w pherchenog a'i golygydd am ei ffyddlondeb yn ei dwyn allan.

Yna daeth symudiad y Parch. R. C. Owen (Trebor) dan sylw; a phenderfynwyd ein bod yn unfrydol yn dymuno cydnabod llaw oruchel y Llywydd mawr gyda'r gostyngeiddrwydd mwyaf yn symudiad y brawd anwyl a galluog y Parch. R. C. Owen (Trebor), Dodgeville, oddiwrth ei waith at ei wobr, ac yn galaru ein colled fel Bedyddwyr Cymreig yn Wisconsin, o herwydd yr amgylchiad, ac yn datgan ein cydymdeimlad â'r weddw a'r plant galarus.

Yna daeth achos y Parch. John Evans i sylw y gynadledd. Gohiriwyd hyd 2 o'r gloch; a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. M. Evans, Dodgeville.

Am 2, dechreuwyd y gynadledd gan y Parch. R. C. Evans, Springwater. Yna daeth y mater gohiriedig dan sylw, a phenderfynwyd,

1. Fod y Gymanfa hon yn cymeradwyo eglwys Salem, Oshkosh, yn ei gwaith yn ymwrthod â'r Parch. John Evans, am ei amcan i rwygo'r eglwys, a chodi plaid yn y gymydogaeth i niweidio achos y Bedyddwyr yn y lle.

2. Nad yw John Evans yn deilwng o dderbyniad gan unrhyw eglwys Fedyddiedig yn America, o herwydd ei ymddygiadau anweddaidd ac anghristionogol.

3. Ein bod yn anghymeradwyo gwaith unrhyw eglwys Fedyddiedig i agor ei phwlpud iddo, pryd y gwyddis ei fod wedi ei wrthod gan Gymanfa Wisconsin, yn ol penderfyniad y 10fed, yn Ridgeway, Mehefin 5, 1879—gwel y WAWR am Gorph. 1879, (fel y canlyn): Ein bod yn datgan nad oes un cysylltiad yn bodoli mwyach rhwng John Evans a'r Bedyddwyr Neillduol yn Wisconsin, hyd nes y deuant i gydymffurfio a chydweithredu â phenderfyniadau cynadleddau y Gymanfa.

Penderfynwyd Fòd y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Dodgeville, yn Mehefin, 1881, yr amser i gael ei benderfynu gan yr eglwys.

Penderfynwyd gwneyd cydnabyddiaeth gyhoeddus o dderbyniad y Parch. H. C. Parry, D. D., i'n plith yn y cyfarfod 10 o'r gloch y fory, gan y Parch. Wm. Jones, Ridgeway.

Penderfynwyd gohirio y gynadledd hyd y Gymanfa yn Dodgeville.

Treuliwyd y gweddill o'r cyfarfod mewn anerchiadau oddiwrth amryw o'r gweinidogion a'r brodyr oedd yn bresenol, gan anog ein gilydd i gariad a gweithredoedd da. Cafwyd cyfarfod da iawn.

*Y Moddion Cyhoeddus.*—Am 6½ nos Fercher, dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. Hugh Hughes, Picatonica, a phregethwyd gan y Parchn. D. R. Evans, Springwater, a Wm. Jones, Ridgeway.

Am 8½, dydd Iau, cynaliwyd cyfarfod gweddio a chyngori. Dechreuwyd gan y brawd E. Ellis, Berlin, yn ddylanwadol iawn, a dilynwyd ef gan amryw o frodyr, gyda thaerineb, am i'r Arglwydd fendithio y Gymanfa. Ar ol hyny cafwyd cyngorion adeiladol iawn gan H. Hughes a William Jones. Yr oedd yn gyfarfod gwlithog iawn.

Am 10, dechreuwyd gan Wm. Jones, a phregethwyd gan Meredith Evans, a Thos. Holland, Dodgeville. Rhwng y ddwy bregeth bu cydnabyddiaeth (*recognition*) cyhoedddus i'r Parch. H. C. Parry, D. D., fel gweinidog rheolaidd yn nghyfundeb Bedyddwyr Wisconsin, yn nghyda'i dderbyniad i'r Gymanfa, ar sail llythyrau cymeradwyaeth o Gwrdd Cbwarter Morganwg, ac o Gymanfa Bedyddwyr Pennsylvania. Dygwyd y gweithrediadau neillduol hyn yn mlaen trwy weddi a deheulaw cymdeithas gan y Parch. Wm. Jones, Ridgeway, yr hwn dros y Gymanfa a ddatganai lawenydd yr eglwysi yn Wisconsin am ddyfodiad y brawd i'n plith, ac a ddymunai iddo arosiad hir a dedwydd yn eglwys barchus Salem, Oshkosh, a llwyddiant mawr i ddilyn ei lafur yn yr efengyl yn y Dalaeth hon, yn nghyda manau eraill.

Am 2, dechreuwyd gan y Parch. H. Parry, Soar, (A.), a phregethwyd gan H. Hughes, Picatonica, a H. C. Parry, D. D., ar gais y gweinidogion.

Am 6, dechreuwyd gan R. D. Evans, a phregethwyd gan Thomas Holland a Wm. Jones.

Felly terfynodd ein Cymanfa; bu y cynadleddau yn heddychol ac unol, y pregethu yn efengylaidd a gwresog, y gweddio yn daer a dylanwadol iawn, y gwrandawiad yn astud, a'r gynulleidfa yn lluosog, a'r tywydd yn ddymunol Bendith a'n dilyno yn y dyfodol, yw gweddi yr eglwys.

Dymuna yr eglwys ddatgan ei diolchgarwch i'r teuluoedd a gynorthwyasant i ddiwallu angen corphorol y gynulleidfa luosog, a hefyd i'r rhai a gyfranasant at y treulion mewn arian.

YSTADEGAU.

Salem, Oshkosh—Gweinidog H. C. Parry, D. D.; Ysgrifenydd, R. Bennett; bedyddiwyd 11; derbyniwyd trwy lythyrau, 3; adferwyd 3; rhif yr aelodau, 34.

Berlin—Gweinidog, R. D. Evans; Ysgrifenydd, John Evans; bedyddiwyd, 12; adferwyd, 2; rhif yr aelodau, 29.

Ebenezer, Springwater—Ysgrifenydd D. R. Evans; bu farw, 1; rhif yr aelodau, 7.

Ridgeway—Gweinidog, Wm. Jones; Ysgrifenydd, R. D. Jones; rhif yr aelodau, 44.

Sardis, Dodgeville—Gweinidog, Thomas Holland; bu farw, 1; rhif yr aelodau, 31.

Braidwood, Ill.—Ysgrifenydd, Joseph Evans; rhif yr aelodau, 17.

Salem y Coed—Gweinidog William Jones; rhif yn 1878, 15.

Picatonica — Gweinidog, Hugh Hughes; bu farw, 1; rhif, 12.

RICHARD BENNETT, *Ysg. y Gym.*

---

SYMUDIADAU

*A Sefyllfa Bresenol Eglwys Salem, Oshkosh.*

Flwyddyn yn ol yr oeddem yn rhifo 25. Ymneillduodd John Evans oddiwrthym, a saith o aelodau eraill gydag ef; yn ein gadael yn 17 mewn rhif. Buom yn ymdrechu cynal moddion gweddio ac ysgol Sabbothol gyda chryn ffyddlondeb. Ymwelodd y Parch. R. D. Evans â ni ddau Sabboth, ar gais yr eglwys, i bregethu. Yr oedd hyny yn ein lloni ychydig, yn ein hymddifadrwydd. Tua chanol mis Tachwedd diweddaf daeth y Parch. H. C. Parry, D. D., atom, a dechreuodd ar ei lafur gweinidogaethol gydag egni, a dechreuodd y gwrandawyr amlhau, a rhai oeddynt wedi troi eu cefnau atom ddychwelyd; ac erbyn hyn y mae rhai oedd yn wrandawyr yn unig, wedi dod yn wneuthurwyr y gair, trwy dalu ufudd-dod i orchymyn Pen yr Eglwys, trwy fyned tu allan i'r gwersyll, a chael eu bedyddio ar broffes o'u ffydd ynddo ef. Sabboth Mai 23, yn ol penderfyniad yr eglwys yn flaenorol, wedi neillduo dau o'r brodyr i'r swydd ddiaconaidd, pregethodd y Parch. H. C. Parry ar y swydd, yn nghyda dyledswyddau y swyddogion, a gosodwyd y ddau frawd yn y swydd yn ol y drefn apostolaidd, sef trwy arddodiad dwylaw gan y Dr., sef J. S. Thomas a David James. Cafwyd Sabboth cysurus ar yr achlysur. Sabboth y 30ain, am 10 o'r gloch, cyfarfuwyd ar lan y dyfroedd lle yr arferid bedyddio, ac ar ol canu mawl a darllen rhanau priodol o'r gair, a sylwadau cymwysiadol arnynt gan y Dr., bedyddiwyd 11 o bersonau ar broffes o'i ffydd yn Nghrist, a derbyniwyd hwy i undeb yr eglwys ar ol cyrhaedd y capel, yr hyn oedd olwg brydferth iawn, ac yn achos o lawenydd mawr i'r eglwys, a gobeithio yn ngwydd angylion Duw. Am 5, yn y prydnawn, cawsom bregeth rymus ar y pwnc o fedydd gan y Dr. Gwyr pawb am ei alluoedd i drafod y mater yna, ag sydd yn arfer darllen ei waith yn y WAWR.

R. BENNETT, *Ysg. yr Eglwys.*

---

CYMANFA

*Bedyddwyr Cymreig Talaeth N. York, yn Freedom, Sir Cattaraugus.*

---

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni ar yr 17eg—21ain o Mehefin. Boreu dydd Sadwrn, am 10, cyfarfyddwyd mewn cynadledd o weinidogion a chenadon. Y gweithrediadau ydynt fel y canlyn: Wedi darllen a gweddio, galwyd enwau y cenadon a gynrychiolent yr eglwysi. Dros eglwys Cattaraugus, y diaconiaid John Higgins, Daniel Morgans a John W. Williams.

Dros eglwys Remsen, Parch. John S. Jones.

Dros eglwys Bordwell, Parch. D. E. Bowen ac Owen Griffith.

Yna etholwyd swyddogion am y flwyddyn ddyfodol: Llywydd, Parch. Owen F. Parry, Bordwell; Ysgrifenydd, Owen Griffith; Trysorydd, Hugh H. Roberts, Freedom.

Yn nesaf, Penodwyd pwyllgor parhaol y Gymanfa i weithredu yn ddirprwyol mewn achosion o ddyryswch a ddichon fodoli yn ystod y flwyddyn Aelodau y pwyllgor hwn ydynt y brodyr John W. Williams, Freedom; Evan Roberts, Remsen; John R. Thomas, Bordwell; Thomas Williams, Steuben; Owen Griffith, Utica.

Wedi hyn darllenwyd llythyrau oddiwrth yr eglwysi at y Gymanfa. Y cyfnewidiadau ydynt fel hyn: Eglwys Freedom—Bedyddiwyd, 10; derbyniwyd trwy lythyr, 2; adferwyd, 1; gollyngwyd trwy lythyr, 4; bu farw, 3; rhif yr eglwys yn bresenol, 189.

Eglwys Utica—Derbyniwyd trwy lythyr, 2; adferwyd, 2; gollyngwyd trwy lythyr, 1; diaelodwyd, 1; bu farw, 2; rhif yr aelodau 64; canolrif yr Ysgol Sabbothol, 35.

Eglwys Remsen—Bedyddiwyd, 5; gollyngwyd trwy lythyr, 2; bu farw, 1; rhif yr aelodau, 81.

Eglwys Bordwell—Bedyddiwyd, 35; adferwyd, 5.

Eglwys Steuben—Bedyddiwyd, 2; bu farw; 1.

DYFYNIADAU O'R LLYTHYRAU.

Llythyr o eglwys Freedom a ddywed:

"Anwyl Frodyr—Yr ydym yn cael tori i ni yn gyson o fara y bywyd gan ein hanwyl weinidog, y Parch W. M. Evans. Credwn ei fod yn mynegu i ni holl gyngor Duw, ac yn pregethu y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Yr ydym wedi cael graddau o lwyddiant yn ystod y flwyddyn, ac i Dduw y byddo y diolch. Mae rhai wedi eu symud trwy angeu; yr hen frawd a'r diacon parchus, H. O. Roberts, yr hwn a fu o ddefnydd mawr gyda'r eglwys hon o'i chychwyniad hyd o fewn ychydig amser i'w farwolaeth; ond credwn fod ein colled ni yn elw tragywyddol iddo ef. Hefyd, y brawd Isaac H. James a gymerwyd oddiwrthym yn hollol sydyn a dirybudd. Brawd da a dirodres oedd hwn. Gwelir ei eisiau yn fawr, yn enwedig yn yr Ysgol Sabbothol. Mae yntau wedi gadael perarogl dymunol ar ei ol yn yr ardal hon trwy ei fuchedd rinweddol a chyson. Teimlwn hiraeth a cholled fawr ar ei ol. Hefyd, yn ychwanegol at hyn, ein hen chwaer Charlotte Johns, yr hon hithau oedd wedi bod yn ffyddlon tra y bu yn ei gallu i fynychu ty yr Arglwydd. Ond ymgysurwn yn y ffaith fod Pen mawr yr eglwys yn byw yn oes oesoedd, a'i fod yn alluog i alw gweithwyr eraill i'w winllan.

Yr ydym o galon yn croesawu y Gymanfa, gan hyderu y bydd o dan fendith yr Arglwydd i fod yn llesol i'r eglwys a'r gymydogaeth.

O lythyr eglwys Remsen:

"Teimlwn yn ddedwydd i'ch hysbysu fod heddwch a chydweithrediad yn ffynu yn ein plith, ond dim rhyw weithgarwch neillduol. Cynaliwn gyfarfodydd, a chawn bregethu ddwy waith bob Sabboth, a meddwn Ysgol Sabbothol, heblaw cyfarfodydd eraill yn yr wythnos.

Dros yr eglwys, WM. G. GRIFFITHS, Ysg."

Ebe llythyr eglwys Utica:

"Anwyl Frodyr—Mae yn debyg eich bod yn hysbys nad oes genym fugail ar hyn o bryd, ac felly nad yw yr eglwys yn ddifwlch. Yr ydym yn credu, pan mae eglwys yn feddianol ar weinidog da i Iesu Grist, mai dyna yr amser dedwyddolaf a mwyaf llewyrchus yn gyffredin. Yr ydym yn cael pregethu y rhan fynychaf; yr ydym wedi cael hyny pan fyddo yr eglwys yn teimlo fel y gall dalu ei ffordd; a phan na bydd pregethu, yr ydym yn cael cyfarfodydd gweddio dymunol iawn, ac arwyddion nad yw Duw yn anghofio yr hen eglwys eto, er ei bod wedi myned yn hen ac yn ddiwaith, rhagor nag y dylai hi fod; ond da i ni fod addewid y Digelwyddog o'n plaid, 'Ni'th roddaf i fyny, ac ni'th lwyr adawaf chwaith,' ac o herwydd hyny fe arweiniodd rhagluniaeth mewn modd annysgwyliadwy i raddau i ni gael cyfarfod a'r Parch D. E. Bowen, ac mae wedi bod yma am dro bellach yn pregethu yn dda iawn ac yn gymwysiadol, ac felly yn llesol ac adeiladol, ac hefyd i gyffroi meddyliau y gwrandawyr yn gyffredin, a gobeithiwn y bydd ei ymweliad â ni yn fendith yn llaw Duw er gwneuthur llawer o ddaioni.

Dros yr eglwys, JOHN M. WILLIAMS."

Y brawd Owen F. Parry a lefarai dros eglwys Bordwell fel y canlyn:

"Yr oedd yr eglwys yn Bordwell yn wan er's blynyddau, ond yn ddisymwth, ar ol y Gymanfa ddiweddaf, daeth llwyddiant anarferol—caed cymorth brodyr da yn y weinidogaeth, ac eraill, i gynal cyfarfodydd i hyrwyddo yr adfywiad. Yr oedd y cyfarfodydd gweddio yn hynod lewyrchus. Daeth teulu cyfan yn aelodau crediniol."

Cyfeiriwyd gyda pharch a theimladau dwys at y golled gafodd yr hen eglwys yn Steuben, a'r achos Bedyddiedig Cymreig yn Oneida, yn marwolaeth y brawd ffyddlon a'r diacon da, Hugh T. Jones, Steuben.

Pasiwyd fod y brodyr dyeithr canlynol i gael derbyniad croesawgar yn y gynadledd, ac i gymeryd rhan yn yr ymddyddanion mewn perthynas i les yr achos: Theodore Ellison, Attica; Parch. B. W. Thomas, Hyde Park; Parch. Joseph T Jones, Thomastown, a Benjamin Roberts, Warsaw.

Penderfynwyd, 1. Ein bod fel Cymanfa yn anog yr eglwys yn Utica i roddi llythyrau gollyngdod i'r aelodau ydynt allan, ac os gwrthoda, ein bod yn anog unrhyw eglwys Fedyddiedig i dderbyn y cyfryw fel aelodau rheolaidd.

2. Ein bod yn gwneyd cais at gyhoeddwyr Dyddiadur y Bedyddwyr Cymreig yn Nghymru, am adran ynddo at wasanaeth y Bedyddwyr Cymreig yn America, yn cynwys eu rhif a'u hystadegau.

3. Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal yn Swydd Oneida fel arferol.

4. Ein bod yn cydnabod yn ddiolchgar iawn y brawd Owen Griffith, am ei sel a'i ymdrech diflino gyda chyhoeddiad yr enwad, y WAWR, am ofalu am gynwysiad mor rhagorol ynddo o fis i fis—ac yn anog yr eglwysi i gefnogi y brawd yn ei waith canmoladwy, trwy dderbyn y cyhoeddiad.

5. Ein bod yn gohirio y gynadledd hyd y Gymanfa nesaf.

Terfynwyd trwy weddi.

Y GWASANAETH CYHOEDDUS.

Nos Iau, pregethodd y brodyr D. Bowen a J. T. Jones, Thomastown.

Am 9½, ddydd Gwener, cynaliwyd cwrdd gweddi i ddymuno am fendith yr Arglwydd ar waith y dydd.

Am 10½, wedi y gwasanaeth arweiniol, pregethodd y brodyr John Seth Jones, Remsen, a B. W. Thomas, Hyde Park, Pa.

Am 2, pregethodd y brodyr Joseph T. Jones a D. E. Bowen.

Yn yr hwyr, pregethwyd gan y brodyr B. W. Thomas ac Owen F. Parry, Bordwell.

Dydd Sadwrn, am 7 yn yr hwyr, pregethodd y brodyr John Seth Jones a D. E. Bowen.

Dydd Sul, am 9½, cwrdd gweddi gwlithog.

Am 10½, pregethodd y brodyr Owen Griffiths, Utica, a Joseph T. Jones.

Am 2, pregethodd y brodyr B. W. Thomas, (yn Saesoneg) a John Seth Jones, Remsen.

Yn yr hwyr, pregethodd y brodyr B. W. Thomas ac Owen F. Parry.

Nos Lun, caed pregethu eto gan y brodyr Joseph T. Jones, Thomastown, ac Owen F. Parry

Dechreuwyd yr oedfaon gan y gwahanol weinidogion a enwyd, yn eu tro, gyda'r eithriad o ddau, sef y Parchn. James Griffiths (A.), a W. Davies (T. C.)

Ac felly terfynodd y Gymanfa. Fel y dangoswn mewn man arall yn y rhifyn hwn, caed Cymanfa hynod o lewyrchus yn Freedom, Cattaraugus—y cynulleidfaoedd yn fwy nag arferol. Er mor lluosoced y cyfarfodydd, nid oedd y bobl yn blino—nid dim heblaw efengyl fuasai yn peri hyn. Ystyriwn fod y poblogrwydd sydd wedi nodweddi yr oedfaon o'r dechreu i'r diwedd—y caredigrwydd, y lletygarwch a'r haelioni a ddangoswyd gan y cyfeillion Bedyddiedig eleni, yn adlewyrchu yn anarferol o dda arnynt. Yr Arglwydd a dalo iddynt. Gobeithiwn y bydd ffrwythau bendigedig yn canlyn. Credwn mai iachawdwriaeth eneidiau a gogoniant Duw oedd wrth wraidd yr holl ymdrech er gwneyd y Gymanfa yn llwyddiant—gan yr eglwys gartrefol, a chan bawb eraill a gymerasant ran yn y gwaith.

OWEN GRIFFITH, *Ysg.*

---

CYMANFA

*Y Bedyddwyr yn Nwyreinbarth Pa.*

Cynelir y Gymanfa eleni gyda'r eglwys yn Minersville, Sir Skuylkill, ar yr amser gosodedig, sef yr 28, 29, a'r 30 o Awst.

Bydd y gynadledd yn dechreu am 10 o'r gloch ddydd Sadwrn, yr 28ain. Bydded i'r gweinidogion a'r cenadon fod yno yn brydlawn.

Gofaled yr eglwysi fod y cyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle ynddynt y flwyddyn ddiweddaf yn cael lle dyladwy yn eu llythyrau at y Gymanfa—Ystadegau yr Ysgol Sabbothol, enwau y pregethwyr cynorthwyol (rheolaidd), yn nghyda'r brodyr ordeiniedig rheolaidd sydd yn aelodau ynddynt.

Hefyd, dymunir ar yr eglwysi i beidio esgeuluso cyfranu at draul y Gymanfa, &c., y flwyddyn hon, gan fod amgylchiadau eglwys henafol Minersville yn isel ar hyn o bryd. Bydd y treulion, o angenrheidrwydd, yn fawr.

Hefyd, gofaled y cenadon ddod a chopi o'r WAWR ganddynt sydd yn cynwys "Y Rheolau Diwygiedig," a ddaw dan sylw i'w mabwysiadu.

J. P. HARRIS, *Ysgr.*

*Providence, Pa., Meh. 19, 1880.*

---

CYWIRIADAU.

Yn llythyr cymeradwyaethol y Parch. Jeremiah Griffiths, yn y WAWR ddiweddaf, dylasai y gair "rheolaidd" fod ar ol y gair "weinidog."

—Yn hanes Cymanfa y Bedyddwyr Gorllewinol i'r Mississippi, yn y rhifyn diweddaf, dylasid dyweyd i'r brodyr Richardson, o Dawn, ac Evans, Red Oak, bregethu am 10, boreu Sul.

---

*BEDYDDIWYD—*

*Ashland, Pa.*—Mai 16, 1880, cyd-gladdwyd gyda Christ yn y bedydd un chwaer ieuanc. Gweinyddwyd gan ein hanwyl frawd, y Parch. Jeremiah Griffiths. Eto, yn Pottsville, Mai 23, un chwaer ar broffes o'i ffydd yn y Gwaredwr mawr. Gweinyddwyd gan yr un gweinidog.

---

*BU FARW—*

MR. ABRAHAM RICHARDS.

Mewn canlyniad i ddamwain a gyfarfyddodd yn y gwaith, bu farw y brawd uchod brydnawn Sul, Ebrill 18, yn 49 oed. Pan ddygwyd ef adref y dydd Mawrth blaenorol, teimlai pawb yn obeithiol am dano ef, y buasai yn alluog i fod oddi amgylch yn llawer cynt na'r ddau frawd a anafwyd yr un adeg ac yn yr un

lle ag ef; ond nid felly y bu. Ar ei ben yr oedd efe wedi ei anafu yn fwyaf, a chydiodd *inflammation* yn y pen, yr hyn brydnawn dydd Sul a derfynodd ei oes yma. Claddwyd ei weddillion y dydd Mawrth canlynol yn mynwent y lle. Daeth tyrfa i'w angladd, heblaw aelodau y ddwy Gyfrinfa, o ba rai yr oedd yn aelod. Awd a'i gorph i'r capel, pryd y pregethwyd gan y Parch. Theophilus Jones, Wilkesbarre, yn dra phwrpasol. Wedi y bregeth, ac i un o'r cyfrinfaoedd fyned trwy ran o'i gwasanaeth claddu, awd a'r corph i'r gladdfa, lle y gosodwyd ef i orwedd hyd y boreu pan

"Bydd dorau beddau'r byd
Ar un gair yn agoryd."

Anerchwyd y dorf ar lan y bedd gan yr ysgrifenydd; wedi hyny aeth y cyfrinfaoedd trwy y gweddill o'r gwasanaeth; a chyn gwasgaru, unodd y dorf fawr i ganu yr hen benill hwnw:

"Ffarwel, gyfeillion anwyl iawn,
Dros enyd fechan ni 'madawn;
Henffych i'r dydd cawn eto gwrdd
Yn Salem lân oddeutu'r bwrdd."

Hawdd oedd gweled, wrth y dagrau fyrdd oedd yn cael eu tywallt ar lanerch oer ei orweddfa, fod un a fawr berchid wedi ei osod yno. Gadawodd Richards weddw a saith o blant i wylo ar ei ol; hefyd un ag oedd yn ddiweddar wedi ei fabwysiadu, yr hwn a wêl ei eisiau fel y lleill, oblegid nis gallai byth fod yn fwy gofalus o hono pe yn fab naturiol iddo. Mae y ddau hynaf o'i blant yn benau teuluoedd, tra mae y pump eraill yn ddibriod, a rhai o honynt yn dra ieuanc. Ond gwn y bydd i'r ieuengaf o honynt gofio tra parhao ei oes am gyngorion, gweddiau ac esiampl y tad da sydd wedi eu gadael.

Ganwyd gwrthddrych y sylwadau hyn yn Casnewydd ar Wysg, yn y flwyddyn 1831. Enwau ei dad a'i fam oedd Richard a Rachel Richards. Mae dau frawd iddo yn fyw eto, un yn Nghymru a'r llall yn Wilkesbarre, Pa., sef Mr. Enoch Richards, yr hwn sydd yn aelod dichlynaidd, ac yn pregethu yn achlysurol gyda y Bedyddwyr. Pan oedd Abraham tua 10 oed, symudodd y teulu o Casnewydd i le a elwir Pentre-Piod, ger Abersychan, Mynwy. Yr oedd ei dad yn oruchwyliwr ar ffarm o'r enw uchod. Yn y flwyddyn 1849 teimlodd Mr. Richards argraffiadau dwys ar ei feddwl. Bedyddiwyd a derbyniwyd ef yn aelod yn Noddfa, Abersychan. Yr oedd y pryd hwn tua 18 oed. Bu Richards yn aelod ffyddlon yn Noddfa, hyd nes i'r teulu symud i Morganwg, yn herwydd marwolaeth y tad. Gwnaeth y teulu ei gartref yn Morganwg, mewn lle o'r enw Maes mawr, Cwmtaf, lle heb fod y'mhell o Ffynon Taf. Yr eglwys nesaf atynt yno ydoedd Rhydfelen. Gweithiodd y brawd Richards yn ffyddlon yn Abersychan, ond gwnaeth fwy yn Rhydfelen o lawer, am fod yno fwy o'r hyn oedd efe yn gyfaddas iddo. Duw yn unig a wyr y daioni a wnaeth, trwy ei lafur, a'i ddyfal-barhad mewn gweddi, gyda'r brodyr yn Rhydfelen a'r cymydogaethau, yn ystod y blynyddoedd y bu yno. Llawer gwaith y clywyd ef yn cyfeirio gyda phleser at yr adeg hono, a'r mwynhad gafodd i'w enaid wrth fyned yn nyfnder y gauaf gerwin, trwy wlaw mawr a stormydd blinion, a thrwy y tywyllwch dudew, o fan i fan, yn nghymydogaeth y Rhyd, i gynal cyfarfodydd gweddi. Yr oedd hyn yn waith a hoffai yn fawr, a gwnaeth lawer o hono yn ystod ei fywyd. Symudodd o Rhydfelen i Lantrisant. Bu yno am bedair blynedd yn gwneyd a allai dros grefydd a gogoniant ei Dduw. Oddiyno daeth i America, lle y glaniodd yn y fl. 1871. Wedi bod am ychydig yn Mill Creek, symudodd i Gibsonburg, neu Jermyn yn awr, lle tua 4 milldir o Carbondale, Pa. Yno danfonodd am ei deulu i ddyfod ato. Wedi iddynt gyrhaedd yno symudodd y teulu oll, tua naw mlynedd yn ol, i'r lle hwn, Nanticoke, Pa. Yn ystod ei arosiad yma, gwyr pawb a ddaeth i gyffyrddiad ag ef, ei fod bob amser yn ymdrechu cadw ei arfau yn loew, a mynegu rhinweddau yr hwn a'i galwodd o dywyllwch i oleuni, yn nghyda'r oll a allai, yn mhob modd, i dderchafu enw ei Geidwad.

Fel dyn, yr oedd yn hynod gydwybodol gyda phob peth. Beth bynag y buasai yn nglyn ag ef, ymdrechai fod yn onest yn mhob peth. Nid oedd dim o'r Phariseaidd yn perthyn iddo ef. Pa un bynag ai yn y gwaith, y ty, y gymdeithas ddyngarol, neu yr eglwys, ymorchestai beunydd at y pur, y gwirioneddol, a'r didwyll. Yr oedd yn y brawd gamsyniadau a cholliadau, ac yr oedd ei fywyd, fel eraill, i raddau yn amddifad o berffeithrwydd; ond tarddai ei ffaeleddau oll o ddiffyg gwybodaeth, ac nid bwriadau drwg a chalon lygredig. Mae llawer yn y byd hwn yn cael eu parchu am nad yw pobl yn eu hadwaen; ond nid felly Richards. Siaradai pawb yn yr ardal yn barchus am dano ef, am yr adnabyddid ef gan bawb. Nid oedd yn ei natur ef i fod yn yr un gymydogaeth a neb heb ddyfod i adnabyddiaeth o hono, a ffurfio cyfeillgarwch ag ef hefyd. Nid ei gydgenedl yn unig a'i parchent, ond cenedloedd eraill yn llawn cymaint. Un parod iawn oedd i gydymdeimlo â phawb mewn amgylchiadau cyfyng. Nid hir y buasai neb yn sal heb i Richards dalu ymweliad ag ef, ac yr oedd ganddo air o gysur i bawb. Yr oedd yn naturiol o dymor obeithiol, a bu ei obeithion yn falm i lawer calon archolledig. Nid mewn geiriau yn unig yr oedd ei gydymdeimlad yn gynwysedig, ond hefyd mewn gweithred a gwirionedd. Gwir nad oedd ei amgylchiadau bydol yn caniatau iddo roddi symiau mawrion i neb, ond cyfranai i bawb mewn angen yr hyn a allai. Gwaith hyfryd gan ei enaid oedd cyfranu; y canlyniad oedd, mai anfynych yr ymwelai â neb ag oedd yn sâl neu yn dlawd, na adawai ar ei ol rywbeth ag oedd yn dangos gwir agwedd a theim-

lad ei galon dyner yn llawer eglurach na'i eiriau. Dyn hynod yn ac am ei deulu ydoedd. Nid oedd un aberth yn ormod iddo ef ei wneyd, er cysur a dedwyddwch ei wraig a'i blant anwyl. Yr oedd ef yn foddlon iddynt hwy fod yn flaenaf yn mhob peth. Os oedd rhan rhyw un o'r teulu i fod yn brinach na'r lleill, teimlai mai ei eiddo ef oedd hono. Ond er fod ei serch fel hyn yn ddirfawr tuag atynt, eto gallai geryddu yn llym os byddai eisiau. Nid oedd awdurdod y tad yn cael ei cholli yn ngharîad y tad. Teimlid mai efe oedd ben—mai efe oedd yn teyrnasu yno, ac mai dyledswydd pawb oedd ufuddhau iddo ef. Teyrnas ar raddfa fach oedd ei deulu ef, a'r brenin a'r deiliaid o honi yn byw, symud a bod, yn barhaus mewn awyrgylch o gariad a serch gwirioneddol at eu gilydd.

Fel crefyddwr, yr oedd yn meddu ar gymeriad dysglaer. Bu ei oes grefyddol, er yn ymestyn dros 30 o flwyddi, yn hollol ddifwlch. O'r adeg y bedyddiwyd ef yn Abersychan, yn 1849, hyd nes y tynodd ei anadliad o'af, Sabboth y 18fed o Ebrill, 1880, bu yn ymdrech ddidor o blaid y ffydd a roddwyd un waith i'r saint. Gallasai fabwysiadu geiriau Paul yn briodol iawn, "Mi a ymdrechais ymdrech deg," &c. Fel Cristion, y nodwedd neillduolaf ac amlycaf ynddo oedd ei ddawn annhraethol ar weddi. Pan y buasai ef ar ei liniau, teimlem ar unwaith fod un cyfarwydd â'r orsedd yn ei hanerch; a mwy nag unwaith y buom yn synu at ei ddeheurwydd yn hyn, a'r modd gafaelgar y dadleuai â Duw am wahanol fendithion ei iachawdwriaeth. Talodd y gwaith o weddio iddo yma, ond mae yn talu mwy iddo heddyw. Teimlai yn hyderus yn ei ddyddiau olaf, nad oedd canlyn Iesu, a chario ei groes wedi bod yn ofer; ond fod hyn wedi dwyn gobaith, ie, sicrwydd i'w feddiant, fod tragywyddol bwys gogoniant yn ei aros.

Dau ddiwrnod cyn ei farw, meddai wrthyf, "Frawd, bu yn arw iawn yma lawer tro, llawer o boen a gofid, stormydd blinion yn curo ar yr hen babell; hithau yn rhoddi ei fford, ond (meddai) dyma'r cysur, frawd,

'Os yw 'ngofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd,
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.'"

Diameu fod hyn wedi ei wirioneddu bob gair mewn cysylltiad ag ef, beth bynag. Rhaid i ni ei adael. Ffarwel, frawd, hyd nes cawn gwrdd ar lanerchau Seion, yn iach a diboen. Mae eich lle yn wag, swn eich gweddiau wedi darfod, mewn rhyw ystyr, ond yn fyw mewn ystyr arall; yr eglwys wedi cael colled; y teulu wedi ei amddifadu o ben gofalus; ond na wylwch, chwaer, ac na ofidiwch, blant; mae Ceidwad Israel eto yn fyw, a gofala am danoch oll. Colled sydd yma ar ei ol, colled i'r eglwys, a cholled mawr i'r teulu; ond ein colled ni a droes yn elw iddo ef.

W. F. Davies.

BODDIAD JOHN COOK.

Mehefin 12, 1880, yn afon Mahoning, ger Youngstown O., boddodd un o'r enw John Cook, mab i un a adnabyddir gan y cyffredin wrth yr enw John Cook, y *block-layer*, Rhymni, D. C. Daeth yr ymadawedig i'r wlad hon o Gymru oddeutu naw mis yn ol, ac a sefydlodd yma, gyda chefnder iddo yn y ddinas hon, a gweithiai gyda'r gofiaid. Gwr gweddw ydoedd yr ymadawedig, oddeutu 29 mlwydd oed. Mae yn debyg mai gweithio y nos yr ydoedd yr wythnos ddiweddaf, a'i fod y diwrnod y boddodd wedi bod yn gorphwys trwy ran o'r boreu, a rhyw bryd rhwng 4 a 5 o'r gloch y prydnawn, aeth ef a thri eraill i ymolchi (gan ei bod yn nos Sadwrn) islaw y dref; a thebygol fod y dwfr yn ddyfnach nag yr oedd neb o honynt yn meddwl, a hwythau heb fod yn nemawr o nofwyr, a'r canlyniad fu iddo ef golli ei fywyd yn y fan Meddylia rhai i'r *cramp* ei gymeryd, nes ei analluogi ar darawiad i helpu ei hunan, ac felly collodd ei fywyd ar unwaith, cyn i neb gael cyfle i roddi un llaw o gymorth iddo.

O, mor fyr ac ansicr yw y bywyd dynol yn y byd presenol!—fel blodeuyn mae yn ymddangos yn y boreu, ond erbyn yr hwyr wedi gwywo, a'i holl degwch wedi ei golli; a phriodol yw y geiriau hyny, "Yn nghanol ein bywyd yr ydym yn angeu." Fel hyn y cyfarfyddodd ein cyfaill ymadawedig a'i ddiwedd yn y byd presenol; ond mae wedi dechreu ar oes nad oes diwedd arni, gan fedi o'r grwn a hauodd tra yma. Dyma rybudd eto i hen ac ieuanc i barotoi, am nas gwyddom y dydd na'r awr y daw yr alwad am danom.

Sabboth, 13eg, am 4 o'r gloch y prydnawn, daeth lluaws o'n cydgenedl ac eraill at eu gilydd i hebrwng ei weddillion marwol i'r bedd, gan fod yr hin mor boeth, ac yntau wedi ei dori i lawr mor sydyn Gweinyddwyd yn y ty cyn codi gan y Parch. D. Probert, gweinidog eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn y dref, a'r Parch. D J. Nicholas wrth y bedd. Claddwyd ef yn mynwent y Bedyddwyr, yn agos i'r dref, lle gorphwys ei gorph hyd udganiad yr udgorn yn y dydd a ddaw. Cafodd gladdedigaeth parchus a theilwng o'r genedl.

Yr oedd yn fachgen diniwed, cymwynasgar, a meddyliai pawb o'i adnabyddiaeth lawer o hono. Bydd hwn yn newydd galarus i'w anwyl dad, pan gyrhaedd ef. Un o'r Lle.

---

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Gadawn hanes y Gymdeithas Frytanaidd y tro hwn, am fod cymaint o bethau pwysig eraill yn galw am ein sylw. Dywedodd yr enwog Dr. Duff

unwaith mewn cyfarfod cyhoeddus, y geiriau canlynol: "Nid ydym fel Cristionogion ond yn chwareu â'r gwaith cenadol." Ni synwn lawer at y dywediad uchod, pan yn ystyried yn ddifrifol ymddygiadau lluaws a gyfenwant eu hunain yn Gristionogion, ar un llaw, a sefyllfa druenus y byd paganaidd, ar y llaw arall.

"Chwareu â'r gwaith cenadol." Y mae rhywle tua deng miliwn ar enw y Gwaredwr yn ngwahanol wledydd Cristionogol y byd, oll o'r rhai sydd wedi proffesu cysegru yr oll a feddant i wasanaeth yr hwn a'u prynodd,—wedi dweyd, "Nid wyf mwyach yn byw i mi fy hun, ond i Grist Iesu; nid wyf bellach yn eiddo i mi fy hun, ond eiddo un arall ydwyf yn hollol. Nid myfi sydd yn byw, ond Crist sydd yn byw ynwyf." Yr ydym oll wedi addaw cario allan hyd y gallom orchymyn diweddaf Iesu i'w ddysgyblion; sef, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur," &c. Eto beth a wnawn, a beth a welwn? Mae yn America 23,000 o eglwysi Bedyddiedig, ac o'r nifer hyn nid oes ond rhan fechan yn talu sylw o gwbl i'r Genadaeth; ac yn yr ychydig eglwysi ag sydd yn rhoddi sylw i'r achos, ymddiriedir holl ofal y gwaith i ychydig aelodau, ac os na chyfrana yr ychydig hyny yn lled helaeth, ni fydd y casgliad yn werth son am dano. Nid gormod yw dweyd, pe tynai rhyw haner cant o eglwysi America, yn nghyda rhyw gant o unigolion, eu cyfraniadau oddiwrth y Gymdeithas Genadol Americanaidd, byddai yn rhaid, mewn canlyniad, galw braidd yr holl genadon adref yn union. Er addaw cysegru yr oll i Grist, a ydym yn gwneyd hyny? Mae lle i ofni nad ydym. Caria ugeiniau i'r addoliad bob Sabboth addurniadau ar eu personau a fyddant yn werth digon i gynal cenadwr i bregethu gair y bywyd i baganiaid am flwyddyn. Treulia canoedd o aelodau yn America fwy o arian bob haf, wrth rodiana o fan i fan, nag a fyddai yn eisiau i gynal dau neu dri o athrawon i wasgaru ychydig oleuni yn nhywyll leoedd y ddaear. Yr ydym oll yn euog, mwy neu lai, o wario llawer ceiniog yn hyd y flwyddyn, ar bethau sydd yn waeth na diles, a ddylasent fod yn nwylaw y truan draw mewn rhyw ddull a fuasai yn cyfarfod â'i angenion. Wrth feddwl am hyn pwy na ddywedai gyda Dr. Duff, "Yr ydym yn chwareu â'r gwaith cenadol." Nid oedd menywod Carthage yn chwareu â rhyfel pan yn tori eu gwallt i wneyd llinynau i amddiffynwyr eu dinas i osod wrth eu bwâau. Nid oedd trigolion Holland yn chwareu pan yn dryllio y cloddiau oedd yn cadw y môr draw, a gadael iddo lifo dros eu ffermydd a'u gerddi er boddi yr Yspaeniaid o'u gwlad. Nid chwareu gyda gwladgarwch oedd menywod Germani, pan yn rhoddi eu haddurniadau aur i'r llywodraeth er ei chynorthwyo i ddwyn yn mlaen y rhyfel yn erbyn Napoleon, a gwisgo rhai haiarn yn eu lle. Nid oedd y cenadwr Morafaidd hwnw yn chwareu â'r gwaith cenadol pan yn dymuno cael ei werthu yn gaethwas i'r India Orllewinol, er cael cyfle i bregethu yr efengyl i'r Negroaid. Ond os nad oedd ef yn chwareu, ai nid ydym ni yn gwneyd hyny? Mae meddwl am yr ychydig sydd yn cael ei gyflawni, mawredd yr hyn allem gyflawni pe yn wir ymdrechol, y canoedd o filiynau sydd eto i'w hefengyleiddio, ac yn ymddibynu am i'r efengyl a'r goleuni a wna hyny, ddyfod oddiwrthym ni sydd yn barod yn ei feddu, rhaid i ni gyfaddef mai "chwareu â'r gwaith cenadol" ydym wedi bod hyd yma. Ond atolwg, onid yw yn llawn bryd i roddi heibio y chwareu, a myned ati bellach o ddifrif?

---

## BASGEDAID O FFRWYTH CENADOL.

Yn Sweden, yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, derbyniwyd yn y gwahanol eglwysi, trwy fedydd, 3,384, a sefydlwyd 29 o eglwysi newyddion. Gwna hyn nifer yr eglwysi Bedyddiedig yn 300; a'r aelodau ynddynt yn 18,928. Mae dwy eglwys yn Stockhom; cafodd un o honynt 184 o ddychweledigion y flwyddyn ddiweddaf. Mae ei rhif yn bresenol yn 1,180. Dwy flyn-

edd sydd er cychwyniad y llall, ac y mae heddyw yn rhifo 150 o aelodau. Cyfrifir fod, ar gyfartaledd, tua 1,000 o blant yn ysgolion Sul y ddwy eglwys uchod ; ac yn yr holl ysgolion trwy y wlad, tua 18,000.

—Yn Ongole, yn ddiweddar, yr un Sabboth, bedyddiwyd 203, yr hyn ydoedd yn gwneyd y cyfanswm er Ionawr diweddaf, yn 1,296. Hefyd priodwyd yr un adeg, 24 pâr, ac ordeiniwyd 24 o frodorion yn weinidogion. Buwyd ddau ddiwrnod yn eu harholi hwy. Pregethwyd y *charge* gan Mr. Williams, o Ramapatam, ac offrymwyd yr urddweddi gan Mr. Canakiah, brodor o Nellore, a gweinidog yr eglwys yno. Gwna hyn nifer y gweinidogion brodorol yn Ongole yn 32. Yr oedd 25 o'r nifer a fedyddiwyd y Sabboth uchod yn Ongole, wedi teithio 40 milldir er cael y fraint o ganlyn y Gwaredwr yn y bedydd. Yr oeddynt wedi dyoddef erledigaeth chwerw yn herwydd eu proffes o Fab Duw. Yr oedd Ynad Heddwch Kristna, y rhanbarth lle preswylient, wedi eu gyru i ddyfrgist fawr, a gosod darn mawr o bren yn groes i'w gyddfau oll, ac yna eu gwthio oll i'r dwfr â hwnw. "Bedyddiai hwy," meddai ef, ac nid oes eisiau dweyd, y gwnai yr oll er eu gwawdio hwy a'r hyn a broffesent. Wedi hyn gorfododd hwy i blygu i ddelw oedd yn ymyl, o dduwies y pentref. Mewn llawer o ffyrdd eraill y poenydiodd hwy, ond aethant yn wrol ac amyneddgar drwy y cwbl, a thystiant heddyw fod cariad Crist yn gryfach na'r erledigaeth fwyaf chwerw. Ar ddydd y Pentecost pregethid y gair mewn 16 o dafod-ieithoedd; ond yn bresenol pregethir ef mewn dros 300 o honynt.

—Mae mwy o Iuddewon wedi eu dychwelyd at Gristionogaeth y flwyddyn ddiweddaf nag un flwyddyn yn flaenorol. Bernir fod, er y flwyddyn 1800, 100,000 wedi credu yn yr hwn a groeshoeliwyd, ac mae y nifer yn cynyddu yn gyflymach yn awr nag erioed. Llafuria yn bresenol 220 o genadon yn mhlith yr Iuddewon yn ngwahanol wledydd y ddaear. Yn Gaza, Canaan, mae pedair o ysgolion Cristionogol, yn yn y rhai y dysgir 150 o blant yn y gwirionedd dwyfol. Pregethir yno hefyd bob Sabboth. Y mae cenadwr Germanaidd yn Bethlehem er ys dros ugain mlynedd, a dysgwylir effeithiau daionus i ddyfod i'r golwg yn fuan.

Mae y Testament Groeg yn wers-lyfr yn ysgolion Groeg heddyw. Mae Paul heddyw, nid yn unig yn siarad ar fryn Mars, ond trwy holl Groeg. Mae plant Corinth yn cael ei gwneyd yn ddoeth i iachawdwriaeth trwy ddarllen heddyw y llythyron a ddanfonodd Paul gynt at eglwys yn yr un dref.

—Mae dwy reilffordd yn cael eu hadeiladu yn bresenol ar draws anialwch Sahara—un o Algiers i Timbuctoo, a'r llall o Senigal i'r Niger. Agora y rhai hyn wlad fawr Soudan, lle y mae 100,000,000 yn byw a marw mewn dygn anwybodaeth.

—Mae yr anturiaethwr enwog Stanley yn brysur wrth y gwaith o wneyd ffordd, 10 troedfedd o led, gyda glenydd y Congo, ac mae y cenadon yn ei ddilyn, gan blanu ysgolion a gorsafoedd cenadol, a diwallu y trueiniaid â bara'r bywyd.

—Mae Iuddew cyfoethog yn Llundain wedi prynu ty cenadol hardd yn Llundain, a'i ddodrefnu yn brydferth. Costiodd iddo £2,000. Mae yn nghanol poblogaeth o 12,000 o Iuddewon, ac mae wedi bod yn ffynonell cysur a goleuni i lawer ó honynt yn barod.

—Mae Mr. Arthington newydd roddi i Gymdeithas Genadol Llundain, bymtheg mil o ddoleri er prynu agerfad i gludo cenadon yn ol a blaen ar lyn Tanganika. Bellach mae y cenadon allan o berygl yn llywodraeth Mtesa. Yn y pentrefydd Bonny a Brass, ar orllewinbarth Affrica mae y trigolion yn brysur yn dryllio y delwau, ac mae un o offeiriaid penaf y Juju wedi dod i ymofyn y ffordd tua Seion. Mae yr agerfad Henry Venn wedi archwilio 900 milldir o'r afon Benne. Daeth ar draws trigolion lawer, yn cael eu gwneyd i fyny o baganiaid a Mahom-

etaniaid. Ce'siai llawer o'r breninoedd a'r penaethiaid am athrawon Cristionogol i'w dysgu. Mae yn drueni meddwl nad oes gan Fedyddwyr America yr un cenadwr o gwbl ar gyfandir mawr Affrica.

—Mae un cenadwr yn India ar gyfer 300,000 o bobl. Yn Tinnivelly yn ddiweddar dathlwyd pen can' mlynedd sefydliad y genadaeth yn y lle. Mae y cynydd wedi bod o 40 enaid i 60,000.

—Cenadwr yn India flynyddoedd yn ol a orchymynwyd gan drigolion y ddinas lle y pregethai i ymadael. Dywedent wrtho, os pregethai yn rhagor y lladdent ef. Yr oedd eu dwylaw yn llawn o geryg yn barod, os agorai ei enau. Yn hytrach na rhoddi i fyny wrth eu bygythiad, gofynodd ganiatad i bregethu unwaith yn rhagor, a chaniatawyd iddo. Yna aeth yntau yn syml dros hanes yr Iesu, o'i gawell i'w fedd. Ond cyn dyfod at y terfyn treiglai y dagrau o'u llygaid, taflwyd y ceryg, ond nid at y pregethwr; ac yn lle gwthio y pregethwr ymaith, ymwasgent ato i wybod rhagor am y person rhyfedd yr oedd wedi bod yn son am dano.

—Mae yn Efrog Newydd bregethwr ar gyfer pob 3,300 o'r trigolion; yn Philadelphia un pregethwr ar gyfer 1,800 o'r trigolion; tra nad oes yn China ond un pregethwr ar gyfer 1,300,000 o'r trigolion. Pe na byddai ond un pregethwr yn Efrog Newydd, ac un yn Philadelphia, byddent wed'yn ar y blaen ar China. Mae 33,000 yn marw yn China bob dydd, a braidd yr oll yn marw heb y gronyn lleiaf o obaith am adgyfodiad gwell y dydd a ddaw. Y mae meddwl fod yn marw mewn anwybodaeth bob mis dorf o bobl o'r un nifer a holl drigolion Philadelphia, a hyny mewn un wlad yn unig, yn galw yn uchel arnom i ddyblu yn ein sel a'n gweithgarwch dros efengyleiddiad y byd.

—Mae yn Japan 117 o genadon, 112 o orsafoedd, a 64 o eglwysi. Bedyddiwyd yno y flwyddyn ddiweddaf 1,083. Yr oedd hyn yn agos haner yr holl ddychweledigion yno y llynedd. Mae yno 1,081 o ysgolheigion, mewn 29 o ysgolion cenadol. Yr oedd gan y llywodraeth, yn 1874, 21,212 o ysgolion, a 1,739,422 o ysgolheigion. Mae yn Japan 68 o ysgolion Sabbothol, a 2,500 o ysgolheigion ynddynt.

—Danfonwyd cenadwr yn ddiweddar i blith Iuddewon Adrianople, o'r enw Mr. Rosenberg, ac mae ffrwyth ei lafur eisoes yn dod i'r golwg. Y mae ganddo saith yn aros am fedydd. Amlwg yw na wrthododd Duw ei bobl.

—O'r 3,814 o dramorwyr sydd yn China, mae 301 yn genadon, a'r lleill yn dilyn gorchwylion masnachol.

—Mae y flwyddyn ddiweddaf wedi bod yn neillduol am ei llwyddiant yn mhob man—newyddion dymunol yn dyfod o bob man; ac mae y flwyddyn hon yn agor gyda rhagolygon am gnwd toreithiog o lafur enaid y Gwaredwr i gael ei ddwyn i ddiogelwch. "O'r Arglwydd y mae hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

—Wele ffordd i bob eglwys i ddyblu ei chasgliadau at y genadaeth y flwyddyn hon. Danfonwch at Spencer, i Philadelphia, am flychau cenadol, a rhoddwch hwy i'r plant, a rhodd o lyfr neu rywbeth arall i'r un a ddelo a mwyaf o arian yn ol. Gwnaethum i brawf arno yma, ac yn lle casglu rhyw $5, daeth y merched bach â thros $20 yn y blychau. Gwnewch brawf ar y blychau.

---

—Da genym ddeall fod Mr. George Perry, mab y Parch. Owen F. Parry, Bordwell, N. Y., wedi dod allan mor ragorol yn y *commencement* diweddaf yn Madison University—yr oedd ar flaen y rhes. Mae y dyn ieuanc hwn yn dra addawol fel pregethwr, yn gystal ag fel ysgolaig. Aed rhagddo.

—Rhyfedd fel y mae y Bedyddwyr yn blaenori yn y dyddiau hyn! Bedyddwyr yw ein Llywodraethwyr dyfodol—James A. Garfield a Chester A. Arthur.

# Y WAWR.

CYF. V.] AWST, 1880. [RHIF. 5.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## Y DIWEDDAR MR. HUGH T. JONES, STEUBEN, E. N.

GAN GIRALDUS.

Adwaenwn Mr. Jones yn bur dda; treuliais agos i flwyddyn gron yn ei dy; cefais fanteision da idd ei farnu gartref, yn mhlith ei deulu; cefais gyfleusderau i wybod llawer am dano, fel cymydog, ac fel aelod a diacon yn yr eglwys y perthynai iddi. Daeth i fy rhan i fod yn ei gymdeithas lawer gwaith gyda brodyr yn y weinidogaeth ac eraill, yn Utica ac amrywiol fanau; gan hyny, beth bynag a ddywedaf mewn ffordd gymeradwyaethol neu anghymeradwyaethol am dano, byddaf yn gwneyd hyny i raddau helaeth oddiar adnabyddiaeth bersonol o hono, yn gystal ag oddiar argyhoeddiad cydwybodol o gywirdeb y nodweddau a briodolaf iddo.

Yr oedd Mr. Jones yn enedigol o'r Aber, ger Bangor, Sir Gaernarfon; a gwelodd oleuni dydd gyntaf yn y fl. 1802. Yn ol a ddeallwn, cafodd ei daflu ar ei adnoddau ei hun yn foreu; canys cawn ei fod er's llawer blwyddyn cyn gadael Cymru yn arfer gweithio yn y chwarel llechi yn Bethesda. Ystyriwn fod gwaith chwarel, i fachgenyn ag yr oedd elfenau o werth ynddo, yn rhagorol er dadblygu a dysgyblu y nodweddau hyny. Rhaid fod y chwarel llechi yn dda i ddadblygu y *goddefol* a'r *gweithredol.* Y mae gwedd y chwarel yn arw; mae ei llechi yn finiog; mae ei lleferydd yn daranllyd. Mae *caledwch* y graig, ac arafwch gweithrediadau yr ebill, y cŷn, a'r ordd, yn wir yn rhoddi egnion gweithredol dyn ieuanc o dan brawfion llymion. Yr oedd arbrawf y chwarel llechi gan hyny yn ysgol ardderchog i'n harwr ieuanc, ar gyfer helyntion y bywyd Americanaidd ag oedd yn ei aros ef. Wedi rhai blynyddoedd o'r ddysgyblaeth hon a roisai Rhagluniaeth iddo, yn hydref y flwyddyn 1824 cawn ef yn glanio yn America, pan yn 22 oed. Yn ystod y pum' mlynedd cyntaf ar ol ei ddyfodiad drosodd, bu yn gwasanaethu gyda'r amaethwyr Mri. Fuller a Robert Thomas, oddeutu dwy flynedd a haner gyda phob un. Yr oedd y pum' mlynedd hyn, ni dybiwn, yn ddysgyblaeth ychwanegol iddo ar gyfer y bywyd Americanaidd, ac yn cynwys gwersi mwy uniongyrchol wasanaethgar iddo ar gyfer ei fywyd dyfodol; ac efallai na chyfeiliornem wrth ddweyd fod Mr. Fuller yn dadblygu y goddefol yn Mr. Jones, a Robert Thomas y gweithredol.

"Rhagluniaeth Ior glân a theg,
Erioed a wyr ei hadeg."

Ac felly yn yr engraifft hon. Yn Hydref y flwyddyn 1829 priododd ag Ann Morris, ei weddw alarus. Y pryd hwn cytunodd am dir yn y gymydogaeth, er gwneyd fferm a chartref, yr hwn le, ar y pryd, oedd yn goedwig anghysbell; ac yno y bu ef a'i deulu o'r adeg hono hyd yn awr. A thra, am y misoedd cyntaf, yr oedd y wraig ieuanc yn ei hen gartref, arferai efe fyned bob dydd drwy y gauaf gyda'i giniaw sych, ac weithiau wedi rhewi, i'r fferm newydd i dori coed, gan ddychwelyd yn yr hwyr yn flinedig; ac nid oedd yn ormod ganddo dori coed tanwydd pan ydoedd yn nos dywell. Nid oedd hyn ond engraifft o'r llafur yr aeth ef trwyddo am flynyddau meithion wedi hyn. Dyna lle yr oedd goddefgarwch a gweithgarwch! Anmhosibl ydyw sylweddoli y filfed radd o'r chwerwderau ar bapyr; y rhai ydynt wedi profi pethau cyffelyb allant wybod oreu. Rhaid gwybod rhywbeth am auafoedd Steuben, y goedwig anghysbell yno, prinder arian yn y wlad yn y blynyddoedd hyny, teulu lluosog i'w cadw, byw mewn ty *logs*, a llawer o fanion cysylltiedig eraill—meddaf, angenrheidiol gwybod yn brofiadol am bethau felly cyn gallu amgyffred gwerth cymeriad dyn fel Hugh T. Jones.

Son am wroniaid. yn wir! Yn y blynyddau celyd hyny pan oedd fy nghyfaill Hugh T. Jones yn gwneyd cartref yn y goedwig udadwy ac anghysbell, iddo ei hun a'i deulu, y cewch afael ar wir wron! Gwron, ïe, na fynai gilio modfedd yn ol o flaen y corwyntoedd, y rhew a'r eira, ac ystormydd bywyd gwlad estronol, ag yr oedd wedi clywed am dani, fel eraill, oedd yn llifeirio o laeth a mel. Yn sicr ni allwn lai nag edmygu yn y modd mwyaf brwdfrydig berson a fedrai ddal am feithion flynyddau heb roddi ffordd a digaloni yn ngwyneb y fath rwystrau o bob math. Ond nid dyna'r cwbl; dyna y goedwig yn rhoddi y ffordd, a chyrff preiftion y coed yn gelaneddau ar bob llaw; dacw y rhew a'r eira yn gorfod bod yn wasanaethgar, er llithrigo y ffordd i'w cael ymaith. Dacw oleuni dydd yn gweithio ei ffordd i lwybr y gwron hwn, ac yn cynyddu bob cam a rydd trwy yr anialwch tywyll; dacw *fences;* dacw dda a defaid; dacw ysguboriau; dacw y ty *logs* yn dod i lawr er rhoddi lle i'w well; ïe, dacw orchfygu y byd! Ond O! ddarllenydd anwyl, mae myned tros y pethau hyn yn frasluniol fel yn watwaredd, canys nid oes modd darlunio pethau fel a nodasom. O, nac oes!—yr oedd pethau felly yn fater bywyd o dan yr amgylchiadau hyny. Gwyr hen sefydlwyr Remsen a Steuben, a ddarllenant y nodiadau hyn, fy mod yn dweyd y gwir; gwyddant yn dda; O, gwyddant!

Gallasai bydolwr dybied fod y fath fywyd llafurfawr yn myned â holl egnion, amser, meddwl, a theimlad a chalon y dyn hwn—Hugh T. Jones. Modd bynag, nid felly yr ydoedd; canys ar y chweched o Orphenaf, yn y flwyddyn 1830, dacw ef a'i briod, yr un pryd a phedwar eraill, yn cael eu bedyddio yn yr afon gerllaw Remsen, gan y Parch. Richard Roberts, yr hwn oedd yn gydweinidog ar y pryd â'r Parch. Thomas Stephens ar yr eglwys Fedyddiedig yn Steuben. Cofier fod y cam newydd hwn tua'r adeg pan oedd gofalon a llafur bydol yn pwyso drymaf arno.

Mae gweinyddiadau Rhagluniaeth, yn y chwerw yn ogystal a'r melus, ond eu hiawn ddeall, yn arwain at Dduw. Y mae'r ystorom arw yn neillduol yn peri ymholiad yn nghylch yr hwn sydd wrth y llyw. Mae pryder yn nghylch tamaid o fara i'r teulu yn gam yn nghyfeiriad cofio yr hwn sydd yn gofalu am y brain. Daeth y brawd Jones yn feddianol ar nerth newydd wrth gael gafael ar grefydd. Wrth lafurio am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol, dangosai yr un egnion grymus. Yn ngwyneb yr holl ddrycinoedd o bryd i bryd fu yn curo ar y frawdoliaeth yn Steuben, daliodd ef ei dir yn ddiysgog. Beth bynag fyddai gerwinder yr hin yn y gauafoedd, byddai ef yn bresenol yn yr addoliad. Beth bynag fyddai prysurdeb y cynauaf, neu rwymedigaethau eraill, nid esgeulusid y weddi deuluaidd. Beth bynag fyddai pynciau y dydd a'r wladwriaeth, yr oedd ganddo ef amser i siarad am yr athrawiaeth oedd yn ol

duwioldeb. Cydnabyddid ef bob amser mewn achosion o bwys yn y cymanfaoedd a'r cyrddau chwarterol a blynyddol, yn ddyn o bwysau, ac yn frawd ag yr oedd gwerth yn ei farn. Hysbys i'w adnabyddion oll ydyw fod ei ddaliadau crefyddol yn Galfinaidd. Yr oedd yr "athrawiaeth" yn wir yn fawr yn ei olwg bob amser, a'r athrawiaeth hono yn benaf oedd etholedigaeth y cadwedigion cyn bod y byd. Gwir ei fod yn Fedyddiwr selog; ond nid oedd un tant yn y weinidogaeth yn cyffwrdd â'i galon yn debyg i etholedigaeth rhad ras. Yr oedd yr athrawiaeth fendigaid hon yn fywyd ei grefydd.; ar hyd llinellau y grediniaeth hon yr oedd mwynianau crefydd yr Oen yn dylifo i'w enaid. Ac unrhyw bregethwr a wrandawai ef a fyddai yn dysgu dim yn groes i'r athrawiaeth hon, ni cheisiai gelu ei anghymeradwyaeth i'w ddysgeidiaeth. Llawer gwaith y bu ef ac eraill o enwogion y ffydd yn yr hen Gapel Gwyn yn ategu yr "*athrawiaeth.*" A chofier mai nid fel mater o gredo sych yr amddiffynid etholedigaeth, ond fel bara y bywyd, ac fel y dyfroedd bywiol; a diffyg cydymdeimlad trwyadl â'r athrawiaeth fel yr oedd yn cael ei chredu gan Hugh T. Jones ac eraill a barai wrthdarawiadau diangenrhaid lawer tro. Llawer ymgom ddifyrus a gawsom yn bersonol ag ef wrth drafod yr "athrawiaeth." Ydoedd yn hoff o fyned i'r cyfeiriad prynedigol bob amser. A pha mor wrthwynebol bynag y mynem ddangos ein bod iddo, ni fyddai byth yn colli ei dymer neu yn digio. A phan y byddai brodyr yn y weinidogaeth yn bresenol, amser cyrddau mawrion, deuai pwnc yr "athrawiaeth" wrth gwrs i'r bwrdd, a byddai megys wrth ei fodd yn cael ei wrthwynebu, yn neillduol os byddai rhyw *un* a gymerai ei blaid yn y ddadl. A theg ydyw i ni hysbysu ei fod yn dra galluog yn ei waith o amddiffyn ei hoff gredo. Gwyddai am bob adnod a'i ffafriai; gwyddai sut i'w hesbonio; gwyddai am resymau y gwrthwynebwyr, a'r modd i'w cyfarfod, yn dda.

Ni ddeallasom erioed oddiwrth ei weithrediadau fel diacon nac aelod, ei fod yn hoff o awdurdodi ar braidd Duw. Yn hyn yr oedd yn tra ragori ar lawer, canys y mae llawer yn ein dyddiau, er dinystr yr eglwysi, yn cymeryd mantais ar eu hawdurdod fel tipyn o swyddwyr, i gario allan eu hopiniynau a'u teimladau personol, a gadael i les yr achos a gogoniant Duw fod o'r neilldu. Mae anghydfodau yr eglwysi yn y dyddiau hyn yn benaf oll yn dyfod o'r cyfeiriad hunanol hwn,—ychydig bersonau am fod yn bobpeth yn yr eglwys. Ni ddylai hyn fod felly. Er y gallasai y brawd Hugh T. Jones arfer awdurdod bersonol gyda mwy o ddiogelwch na llawer, eto ni arferai wneyd hyny. Nid ydym yn dyweyd nad arferai ei ddylanwad yn fawr dros yr hyn a farnai efe yn iawn, eto nid ei farn na'i deimladau ei hun oedd y rheol ganddo, ond y gair a'r dystiolaeth.

Fel dyn a chymydog, yr oedd efe bob amser yn ddidderbyn-wyneb a phlaen. Yr oedd yn nodedig felly; os oedd yn teimlo yn arw, fe gaffech wybod hyny. Ni wyddai beth oedd gwenieithio i neb pwy bynag; yr hyn a ymddangosai, hyny ydoedd; nid oedd dim yn ddeublyg neu ragrithiol yn perthyn iddo; yr oedd yn *upright* mewn gwirionedd. Aethai yn mlaen gydag yni ar hyd llwybr dyledswydd, ac os byddai yn dyfod ar draws rhai a groesai ei lwybr, nid rhyfedd os byddai y gwrthdarawiad weithiau yn arw a llym. Yr oedd ei lais yn gryf a hyglyw, yn meddu cyfansoddiad corphorol cryf; yn meddu meddwl a chyneddfau eneidiol cryfion; a *dyn* cryf ydoedd yn mhob ystyr. Teimlid ei bresenoldeb yn y gymydogaeth, yn y teulu, yn yr eglwys, ac yn mha le bynag y byddai; cerfiodd ei lwybr trwy y byd, yr hwn yn awr allwn ei ddilyn heb gywilyddio.

Yr oedd yn wr boneddig yn ei ffordd, a phe wedi cael addysg foreuol briodol gallasai lenwi cylch pwysig mewn unrhyw gymdeithas neu alwedigaeth. Y mae ei ddarlun, yr hwn a dynodd Mr. David Jones, Utica, o hono flwyddyn neu ddwy cyn ei ymddatodiad, yn ei gynrychioli yn dda, yn yr hwn ddarlun y byddaf yn gweled gwyneb dynol

hardd; ond dim yn well nag ydoedd efe ei hun, na chwaith cystal, er mor ragorol y darlun.

Ychydig o anhwyldeb iechyd a deimlodd efe un amser, oddieithr ychydig eithriadau. Oddeutu 19 mlynedd yn ol dyoddefai yn ddwys oddiwrth walldreuliad, a phenderfynodd fyned am dro i wlad ei enedigaeth, gan ddysgwyl gwellhad; ac felly y bu. Ar y 14eg o Tachwedd, 1860, ymadawodd am Gymru, a dychwelodd ar y 30ain o Fawrth, 1861, wedi mordaith ryfeddol o dymestlog, yn ol; ond wedi ymgryfhau a theimlo yn llawer iawn gwell ei iechyd —edrychai fel dyn arall. Arosasai ychwaneg o amser yn Nghymru oni buasai fod y rhyfel cartrefol wedi tori allan yn y wlad hon. Teimlai efe bob amser ddyddordeb mawr yn nghyflwr gwladyddol a llwyddiant ei wlad fabwysiedig.

Meddai ar ddealltwriaeth naturiol cryfach na'r cyffredin, a gallai ymddyddan ar bynciau politicaidd a chrefyddol yn deilwng o fedr personau a wnaent y pynciau hyny yn destynau penodol eu hefrydiaeth.

Parhaodd i fwynhau iechyd pur dda hyd o fewn tair blynedd cyn ei arwolaeth, pryd y dechreuodd deimlo lesgedd a gwendid. Er hyny y naw mis diweddaf y bu fyw y daeth i deimo yn gyson oddiwrth ei ddolur. Tua chwe' mis cyn ei farwolaeth tybiodd y buasai myned i lan y môr am dymor yn lles iddo, trwy gynyrchu archwaeth at ymborth, a rhwyddhau ei anadl, oddiwrth yr hyn bethau y dyoddefai yn benaf. Cychwynodd o gartref gyda y bwriad i fyned i Noank, Conn., ond yn ol cyngor cyfeillion yn Utica, aeth yn nghwmni ei anwyl ferch, Miss Mary Jones, i ddinas New York, gan dybied cael yno gyfleusderau i fwynhau awyr y môr ar fwrdd agerfadau, &c. Modd bynag, yn fuan ar ol cyrhaedd yno, cyngorwyd ef gan un o brif feddygon y ddinas i ddychwelyd mor fuan ag y gallai; ac felly y gwnaeth. Ni fu nemawr dros wythnos oddi cartref, a gwaelu a wnaeth hyd ddydd ei farwolaeth. Ei afiechyd oedd clefyd y galon. Rhoddai y meddygon ar ddeall er's misoedd nad oedd gobaith am ei adferiad; ac yr oedd yntau, ni dybiwn, er's wythnosau yn deall hyny ei hunan. Er wedi cyrhaedd yr oedran mawr o 78 mlwydd, yr oedd ef yn ddigon cryf i fyw am flynyddau yn rhagor, gallesid meddwl, oni bae i'r clefyd mewnol a nodwyd gymeryd gafael ynddo.

Bu farw Mawrth 10, 1880, a chladdwyd ef Mawrth 13, yn mynwent Prospect, E. N. Cafodd gladdedigaeth barchus: yn y ty, cyn cychwyn, darllenodd a gweddiodd y Parch. John Seth Jones, a gwnaeth sylwadau pwrpasol a difrifol iawn. Cynaliwyd gwasanaeth crefyddol hefyd yn nghapel y Bedyddwyr yn Remsen, pryd y gweddiwyd gan y Parch. Hughes (A.), ac yna traddodwyd anerchiadau rhagorol gan y Parchedigion John D. Jones, J. Seth Jones, E. C. Evans, (T. C.), Owen F. Parry, a Dr. Williams. Yr oedd yr hen frawd John D. Jones yn dangos teimladau drylliog hynod ar ol ei "hen ffrynd." Gwnaeth y gwahanol lefarwyr gyfeiriadau parchus am Mr. Jones, fel dyn cywir a gonest, fel tad tyner a gofalus, a Christion a diacon ffyddlawn.

Y trydydd Sul ar ol ei farwolaeth, traddododd y Parch. John S. Jones bregeth angladdol effeithiol ar ei ol. Bydd y teulu a'r perthynasau, a llawer eraill, yn teimlo hiraeth, am dymor maith, ar ol Hugh T. Jones, ac yn neillduol ei weddw alarus, yr hon sydd yn teimlo yn dra llesg ei hiechyd yn aml.

Creda yr ysgrifenydd mai anfynych y cyfarfyddir a dyn mor ragorol yn mhob ystyr ag oedd ei gyfaill ymadawedig. Fel y dywedasom ar y dechreu, ein bod yn ei adwaen ef yn bur dda, oddiwrth y cyfleusderau a roed i ni—ac nid oes genym ond y gair goreu iddo yn mhob cysylltiad yr adnabuom ef. Yr oedd yn hynod gall yn ei deulu, dystaw, diabsen yn ei gymydogaeth, a phob amser fel yn meddu dyddordeb mawr mewn crefydd. Deallwn iddo amlygu profiad crefyddol dwys wrth agoshau at rydiau yr afon, mewn adrodd emynau ac adnodau. Fel y dywed y Gair, "Ni frysia yr hwn a gredo,"

felly yntau, nid oedd yn brysio, yn dychrynu na chyffroi wrth farw; bu farw yn wronaidd, fel gyda chydwybod dawel, ac mewn llawn sicrwydd gobaith. Rhoddodd amryw gyngorion i'w blant, yn neillduol i Miss Mary Jones, yr hon yn ffyddlon iawn a weinyddai arno trwy ei holl gystudd. Dywedai y Parch. John Seth Jones wrth ei weddw, ddiwrnod yr angladd, wedi gweled ei arch, "Wel, Mrs. Jones fach, mae gan Mr. Jones arch ardderchog." "Oes," ebai hithau, "ond dim yn rhy dda iddo ef." Digon gwir. Yr oedd ef yn deilwng o'r holl barch a gafodd yn ei salwch, yn ei farwolaeth, a'i gladdedigaeth, ac a goleddir am dano ar ol ei ymadawiad. "Ymdrechodd hardd deg ymdrech y ffydd."

Chwith ydyw genym feddwl yn aml ei fod o ran ei gorph yn mhriddellau y glyn, ond ymgysuraf yn y grediniaeth ei fod o ran ei ysbryd gyda Duw a'r Oen.

---

## HIRAETHGAN.

Cyd-eisteddai hen gym'dogion
  Mewn rhyw ffermdy yn Steuben,
Gan ymddyddan am henafgwr.
  Yn ddiweddar roed dan len,
Sef eu hen gymydog tirion
  Hugh T. Jones o nodau cun;
Adrodd am ei nodweddiadau,
  Yn ei ffordd a wnai pob un.

Ebai un, "'Rwy'n cofio'n burion
  Ddiwrnod ei fedyddiad ef,
Ann ei wraig a phedwar eraill
  A gyd-barchent ddeddfau'r nef;
Cryf y traethai y gweinyddwr
  Am eu braint o godi'r groes,
Hefyd am eu rhwymedigaeth
  Mawr i Grist hyd derfyn oes.

Hugh T. Jones a fu yn ffyddlon
  O'r pryd hwnw hyd y glyn;
Trwy bob drycin oer a chwerw,
  Cyrchu wnai i'r 'Capel Gwyn;'
Trwy bob tywydd ar yr achos,
  Ar y bryn neu yn y pant,
Para'r ydoedd yn ddiwyro,
  Ac yn deilwng iawn o sant."

Ebai'r llall, "Y gwir ddywedwch,
  Am ein hoff gymydog mâd;
Nid rhyw hawdd y cyfarfyddech
  A'i ragorach yn y wlad;
Oedd yn blaen, ac weithiau'n arw,
  Nes y brochai ambell un,
Ond 'r hyn ydoedd yn y golwg
  Hyny ydoedd ynddo'i hun.

Dwfn y teimlai 'i rwymedigaeth
  Idd ei deulu ar bob pryd,
Nes y tybiai'r llac, diafael,
  Fod e'n ormod am y byd;
Torodd lwybr iddo'i hunan
  Trwy randiroedd caled waith;
Ydoedd eirwir, pur a gonest,
  Ni chaed arno unrhyw graith."

Ebai'r trydydd cyfaill eto,
  Gyda llais hiraethlon, prudd,
"Oeddwn inau'n adnabyddus
  A Hugh Jones er's llawer dydd;
Aml ymgom ddifyrus gawsom
  Gyda'n gilydd lawer tro,
Nes y byddai'r byd a'i drafferth
  Ar y pryd yn myn'd o'n co'.

Weithiau byddai ein gwladyddiaeth
  Yn holl destyn ein hymgom;
Ar y Democratiaid rhoddai
  Bob rhyw dro ei fflangell drom;
Eto meddai barch diffuant
  I ryw rai geid yn eu plith,
Megys Seymour a'i gyffelyb,
  A gyfrifai yn ddi-rith.

Y rhan amlaf crefydd fyddai
  Yn hoff destyn genym ni;
Pan na fyddem yn cyd-weled
  'R oedd ein heddwch fel y lli';
Yn ei sel dros y gwirionedd
  A'r ymadrodd am y groes,
Gwnai gondemnio yn ddiarbed
  Athrawiaethau gau yr oes.

Buan iawn yr adnabyddai
  Wir bregethwr, cywir, call,
A'i barch iddo mwyach fyddai
  Yn frwdfrydig a diball;
Hoff oedd ganddo wneyd crybwylliad
  Am eiddilwch ambell un
Pan yn trin yr Ysgrythyrau
  Mor anghyson a di-lun.

Pan yn nghwmni rhyw bersonau
  Fyddent yn ei foddio ef,

Aml arferai ddwyn i sylw
 Ei hoff bwnc, yn iaith y nef,
Sef yr ethol a'r arfaethu,
 Gyda Duw cyn bod y byd,
A'r pwrcasu ar Galfaria,
 Trwy yr ing a'r aberth drud.

Yr athrawiaeth hon oedd bywyd,
 Corph ei grefydd ddysglaer ef;
Profai ynddi wir ddyddanwch,
 Sicrwydd gobaith am y nef;
Ynddi gwelai ras anfeidrol,
 Yn gweithredu ar bob llaw,
Yn y bywyd sydd yr awrhon,
 Hefyd yn yr hwn a ddaw."

Ychwanegai cyfaill arall,
 Gyda phwyslais yn ei dôn,
"Yn Hugh Jones ceid amryw bethau
 Am y rhai dymunwn son;
Oedd yn gyfaill cywir, ffyddlon,
 A chymydog tawel iawn,
Cryf ddinesydd a gwladyddwr,
 Ymddyddanwr gwych ei ddawn.

Hanodd o feib dewr Eryri,
 Y rhai blaenaf yn y gâd,
A'r diweddaf fu'n amddiffyn
 Annibyniaeth Cymru fad;
A pha ryfedd os oedd selog
 Dros ei fabwysiedig wlad,
Lle mae *rhyddid* yn teyrnasu,
 I bawb dynion heb nacâd.

Sain glir iachus ei barabliad
 Ddygai brofion eglur iawn
O elfenau pur ei natur,
 A hanfodent ynddo'n llawn,
Fel mae swn yr aur bathedig
 Pan yn disgyn ar y llawr
Yn arwyddo purdeb ynddo
 Nad amheuir fynyd awr.

Chwith y teimlwn ddydd yr angladd,
 Gwel'd ei gludo ef i ffwrdd,
Ac wrth gofio nad oedd gobaith
 Ar y ddaear i ni gwrdd,
Teimlwn brudd-der yn fy llethu,
 Gwelwn wagder yn y lle,
A'r gym'dogaeth oedd wahanol,
 Wedi'n awr ei golli fe."

Dyna fel yr ymddyddanai
 Ei gym'dogion am eu ffrynd;
Llawer eraill yn gyffelyb
 A hiraethant am ei fyn'd;
Yn eu plith 'rwyf fi fy hunan,
 Gyda thylwyth trist ei dy,
Ac yn benaf ei hoff weddw,
 Yn ei galar heddyw sy'.

'Nawr terfynaf hyn o ganiad,
 Gyda chalon drom yn wir,
Ond fy nghyfaill nid anghofiaf
 Tra b'wyf yn yr anial dir;
Cofiaf am ei ddynol wyneb,
 Am ei lais a'i osgedd ef,
Gan hyderu 'n gryf cael eto
 Ei gyfarfod yn y nef.

---

## DRYCH I FEDDWON.

GAN MR. LEMUEL PHILLIPS, PLYMOUTH, PA.

*Mr. Gol.*—Wrth weled cynifer o Gymry yn yr ardal hon yn ymroddi i feddwdod, a chymdeithas yn gorfod teimlo o herwydd hyny, yn enwedig yn grefyddol, meddyliais y gallai yr ychydig linellau canlynol fod yn llesol. Os ystyriwch hwynt yn haeddianol o le yn y WAWR, y maent at eich gwasanaeth.

DARLUNIAD O FEDDWYN.

Mae meddwyn yn aflonyddwch gwylder, yn ofid moesgarwch, yn ysglyfaeth cyfoeth, yn ddistryw rheswm. Efe yw goruchwyliwr y cyrfydd (*the brewer's agent*), cymwynaswr y dioty, cyfaill y cardotyn, poen i gymdeithas. Mae yn ofid i'w wraig, yn flinder ac yn ddychryn i'w blant, yn wawd i'w gymydogion, yn gywilydd iddo ei hun. Yn fyr, mae yn bibell golchion, yn ysbryd o gwsg, yn waeth na'r anifail, yn anghenfil o ddyn.

CANLYNIADAU NIWEIDIOL MEDDWDOD.

Mae meddwdod yn dyrysu y cof, yn syfrdanu y dealltwriaeth, yn clafychu y corph, yn anffurfio glendid, ac yn niweidio y meddwl. Mae yn enynu y gwaed, yn peri syched annaturiol, anadl ddrewedig, a chochni yn y llygad. Mae yn gwanhau cryfder, yn dwyn gofidiau, blinderau ac archolllion heb achos, yn llygru y gwaed, ac yn boddi yr ysbrydoedd. Mae yn cyfoethogi yr ysgerbwd ag alariadau (*surfeitings*), yn

troi y gwaed yn ddwfr, a'r synwyr yn wenwynllyd; mae yn achos o bob bryntni. Mae yfed yn anghymedrol yn dwyn clefydau yn nghyda marwolaethau anamserol. Mae llawer o bobl pan yn yfed yn dymuno iechyd i eraill, ac ar yr un pryd yn anghofio hyny iddynt eu hunain. Mae meddwdod yn ddiafol gwenieithus, yn wenwyn melus, ac yn bechod hyfryd. Mae yn waradwydd cyffredin natur, ac yn aruthrol gywilydd dynoliaeth.

ESIAMPLAU

***Allan o'r Ysgrythyr, yn dangos y ffordd y darfu i Feddwdod beri i rai syrthio drwy y cleddyf, eraill fyned yn llofruddion, eraill gael eu llofruddio a'u bradychu yn eu meddwdod, ac i lawer gael eu dinystrio yn nghanol eu pechod, difyrwch, chwareu, &c.***

Yr Amaleciaid, wedi ymwasgaru ar hyd wyneb y tir, yn cael eu taro gan Dafydd yn eu meddwdod. 1 Sam. 30: 16. Benhadad a'r deuddeg-brenin-arhugain yn cael eu gorchfygu gan Israel yn eu meddwdod. 1 Bren. 20: 16. Annuwiol wledd Belsassar, yntau yn cael ei ladd, a'r Mediaid yn cymeryd ei freniniaaeth. Dan. 5: 30, 31. Dafydd yn anfon am Urias i fwyta ac i yfed ger ei fron ef, ac a'i meddwodd, i geisio cuddio ei odineb. 2 Sam. 11: 13. Ela, ac efe yn yfed yn feddw, yn cael ei ladd gan Zimri ei was. 1 Bren. 16: 9, 10. Herod, yn ei wledd feddw, a dorodd ben Ioan. Matthew 14: 10. Uffern yn ymeangu ar yr Israeliaid yn eu gwleddoedd. Esa. 5: 12, 14. "A chalon Nabal oedd lawen iawn ynddo ef; canys meddw iawn oedd efe; a'r boreu, pan fynegodd ei wraig iddo, ei galon ef a fu farw o'i fewn, ac efe a aeth fel careg. 1 Sam. 25: 38. Bydd yn rhy faith i mi adrodd yr holl esiamplau dychrynllyd o ganlyniadau meddwdod yn y Beibl. Gobeithiwyf y bydd yr ychydig uchod yn llesawl.

BYGYTHIADAU I FEDDWON.

"Gwae y rhai a gyfodant yn foreu i ddilyn diod gadarn, ac a arosant hyd yr hwyr, hyn oni enyno y gwin hwynt. Gwae y rhai cryfion i yfed gwin, a'r dynion nerthol i gymysgu diod gadarn." Esa. 5: 11, 22. "Dan draed y sethrir coron balchder, meddwon Ephraim." Esa. 28: 3. "Deffrowch, feddwyr, ac wylwch; ac udwch holl yfwyr gwin." Joel 1: 5.

RHYBUDDION AC ANOGAETHAU.

"Canys y meddw a'r glwth a ddaw i dlodi." Diar. 23: 21. "Gwatwarus yw gwin, a therfysgaidd yw diod gadarn." Diar. 20: 1. "Ac edrychwch arnoch eich hunain, rhag i'ch calonau un amser drymhau trwy lythineb a meddwdod, a gofalon y bywyd hwn, a dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymwth." Luc 21: 34. Gallwn grybwyll amryw o engreifftiau o fygythiadau, rhybuddion, ac anogaethau Ysgrythyrol eraill; ond terfynaf yn bresenol, gan ddymuno gweled y meddwyn yn sobr, yr anonest yn onest, a'r annuwiol yn dduwiol.

---

[O Seren Gomer.]

## Y WEINIDOGAETH.

[*Parhad.*]

Nid wyf yn dweyd fod *eglwysi*, ond fod llawer mewn eglwysi, yn cael eu goddef i boeni gweinidogion da.

(*a*) Ymddygant yn angharedig at weision Crist. Ysgrifena yr anfarwol Christmas Evans fel hyn: "Nid oes genyf fwy o barch i neb ar y ddaear nag sydd genyf i ddiacon serchus, haelionus, a duwiol, yr hwn sydd yn ofalus am ddedwyddwch ei fugail, cysur y tlodion, a llwyddiant yr holl braidd. Ond dywedwyd am rai o honynt, 1. Eu bod yn cael eu llywodraethu gan egwyddorion bydol a natur hunanol. 2. Mai *arglwydd-frodyr* ydynt ar y bugail a fyddo yn yr eglwys; a hyn a wn i, er fy ngofid, am amryw o honynt. 3. Maent hwy yn cloddio dan awdurdod y gweinidog, i gael lle i'w golygiadau a'u hamcanion eu hunain. 4. Y maent yn fynych yn feilchion, yn gybyddlyd, yn taflu dwfr ar dân haelioni yr eglwys, yn lle ei enyn â'u siamplau daionus; yn feistrolgar, rhaid iddynt hwy gael eu pwnc eu hunain yn mlaen,

er rhwygo y frawdoliaeth, a thaflu yr hen fugail ar ei ben i'r ffos, heb neb i'w gyfodi, ond Iesu, y Pen bugail. . . . . Pen camp Satan ydyw gyru y diaconiaid i hel plaid yn erbyn y bugail! Y mae hyn wedi rhwystro achos Duw yn mysg y Bedyddwyr yn fwy na dim er ys 200 o flynyddau yn Nghymru. . . . Mae'n wir fod gweinidogion yn weision, er mwyn Crist i'r eglwysi; ond *blaenori* ydyw eu gwasanaeth, ac nid cael eu llywodraethu a'i blaenori gan ddiaconiaid, na neb arall." (Gwel yr ysgrif yn *Ngreal* Aberteifi, am 1827, tu dal. 77, &c.)

Dywed bywgraffydd y duwinydd mawr Jonathan Edwards: "Os gallasai neb ddysgwyl cysur ac arosiad yn ei eglwys, gallasai ef, canys yr oedd ei ddaioni a'i ddefnyddioldeb yn rhyfeddol. Deallodd Mr. Edwards fod rhai o'r bobl ieuainc a berthynent i'w eglwys, yn darllen llyfrau llygredig; dygodd yr achos ger bron yr eglwys, a gofynodd, os oedd y peth yn galw am eu sylw. Atebasant ar unwaith, fod yn rhaid edrych mewn i'r achwyniad. Pan alwyd *enwau* y troseddwyr, cafwyd eu bod yn perthyn i'r teuluoedd mwyaf cyfrifol yn yr eglwys; ac yna newidiodd amryw o'r rhieni eu meddwl, a dywedent, Na oddefent i'w plant hwy gael eu galw i gyfrif. Heblaw hyn, yr oedd Mr. Edwards am ddiwygio trefn y cymundeb yn ei eglwys, (canys arferasid caniatau cymundeb i'r gwrandäwyr dibroffes, os ewyllysient hyny). Gwrthwynebwyd ef yn ffyrnig yn hyn, ac ni oddefid iddo egluro eu syniadau i'r bobl. Y canlyniad fu, i'w eglwys ei orfodi i ymadael; ac yr oedd ar y pryd heb un gynaliaeth i'w deulu lluosog! Gwelodd y dyn da a mawr hwn gryn dlodi, canys cofnodir ei fod yn methu prynu papyr; gorfodid ef i ysgrifenu ei Nodiadau Duwinyddol ar ymylon dail ei lyfrau! Yn mhen deng mlynedd ar ol hyn, ysgrifena un o brif wrthwynebwyr Mr. Edwards gyffesiad o'i gamwedd, a'i fawr ofid, a dywed, 'Yr wyf wedi hen ddeall, mai'm dyledswydd yw ymostwng ger bron Duw, a cheisio maddeuant am fy ymddygiad annuwiol tuag at Mr. Edwards. Wrth fwrw ymaith Mr. Edwards a'i athrawiaeth, yr oeddem yn gwrthod cyngor Duw yn ein herbyn ein hunain. Yr wyf yn teimlo cywilydd ac euogrwydd; ïe, yr wyf yn dychrynu o herwydd fy mhechod, ac nis gall dim fy achub i ond y gras anfeidrol a ddangoswyd tuag at y pechaduriaid mwyaf, y rhai a fu yn bradychu ac yn llofruddio Arglwydd y bywyd! Ac yr wyf yn pryderu a wna Duw faddeu i'r eglwys am ei hymddygiad anaddas a chreulawn at weinidog mor dda a duwiol. Yr wyf yn cyhoeddi y llythyr hwn yn y newyddiaduron, gan gyffesu fy mhechod ofnadwy, a dymuno maddeuant cyfeillion Mr. Edwards, a maddeuant y Duw mawr y pechais mor arswydus yn ei erbyn!' "—*Joseph Hawley.*

Ymddygiad truenus yw eiddo yr eglwys ag sydd yn gormesu ar iawnderau y gweinidog. Ymddygir hefyd yn *anghyfiawn* tuag ato; canys gorfodir ef i wario ei eiddo ei hun, ac eiddo ei blant, er mwyn gallu byw yn y lle. A wna Iesu roddi ei fendith i eglwys ag sydd yn ymddwyn felly tuag at ei genad ef? Os yw ef yn ffieiddio anghyfiawnder yn y *byd*, pa faint mwy yn yr eglwys? Yn Nghofiant Dr. Daniel Davies (y dyn dall), ni a gawn y geiriau hyn: "Angenrheidiol iddo oedd gwario llawer o'i arian ei hun i gynal a chodi ei deulu fel y gwnaeth. Treuliodd lawer o *property* ei wraig a'i blant i gynorthwyo yr eglwys gref hon i gynal y weinidogaeth yn .u plith. . . . . Ni chymer un gymdeithas ond eglwys fantais ar unrhyw was neu swyddog, i'w wasgu i'w wasanaethu 'dan bris,' am ei fod yn feddianol ar gyfoeth yn annibynol arni hi. . . . Nid oes gan eglwys un hawl ar gyfoeth y gweinidog mwy nag ar eiddo personol rhyw aelod arall. Os barna eglwys fod dyn yn weinidog da i Iesu Grist, dylent yn ngwyneb pob gonestrwydd, ofalu ei fod yn *byw* wrth yr efengyl." Tu dal. 55. Dywed rhai, fe ddichon, fod y gweinidog yn ffol i aros yn y fath eglwys!—*Eled ymaith.* Cofier, nad peth dibwys yw symud. Nid yw yn glod i'r gweinidog na'r eglwys. Hefyd pair hyn drallod i lawer o aelodau duwiol, a gall

fod yn achlysur i galedu rhai o'r gwrandawyr, a'u taflu yn mhellach oddiwrth grefydd. Heblaw hyn, Beth os ewyllys Iesu yw, i'r gweinidog aros, i wneyd ei waith ef? Os yw yr eglwys o'i lle, a phethau eisiau eu trefnu, pwy mor gymwys i wneyd hyny a'r gweinidog gonest a ffyddlawn? Nid ymadawiad y gweinidog sydd eisiau; ond diwygiad yn yr eglwys. Rhaid i'r gweinidog lafurio, a goddef llawer er mwyn Crist. Onid dyoddefwyr yw y dynion goreu wedi bod erioed? Ni chânt yr hyn a haeddant ar law eu brodyr; ond cânt eu llwyr wobrwyo pan ymddangoso y Pen-bugail.

(*b*) Mynych y mae ysbryd y gweinidog yn cael ei chwerwi a'i gythryblu. Y mae lawer noson yn methu cysgu gan ofid. Dringa i'r areithfa dan ei bwn, o herwydd rhyw rai yn yr eglwys. Pa fodd yr edrych Iesu ar hyn? Yn lle dal breichiau y gweinidog, bydd rhyw rai yn ei lesgâu, ac yn ceisio lladd y prophwyd. Nid oes neb a wyr pa faint y mae llawer wedi ddyoddef, ie, a disgyn i'r bedd yn anamserol. "Ni chefais ofid oddiwrth fy eglwys erioed yn Llundain. Ni wyddwn y blynyddoedd hyny beth oedd methu cysgu lawer noswaith ar ei hyd o ddiffyg cydymdeimlad yn yr aelodau, yn enwedig diaconiaid. Cefais deimlo hyny lawer gwaith yn ol llaw. Yr oedd heddwch a thangnefedd eglwys Llundain i'w briodoli yn benaf i ddoethineb a phwyll ei swyddogion, yn enwedig fy anwyl gyfaill Mr. Foulkes, yr hwn fyddai yn diffodd pob ymryson cyn iddo dori allan yn fflam, a gwneyd hyny mor llwyr fel nad oedd dim perygl iddo ail gyneu, o herwydd gadael gwreichion heb eu diffoddi." (Cofiant Dr. Davies, tu dal. 165.)

(*c*) Mynych y cânt eu digaloni.—Gwrthwynebir eu cynlluniau, a chynygir rhai eraill na fydd ddim gwell, er mwyn i ryw ddynion tafodrydd gael cyfle i ddangos ei hunain. "Ond o bob tymor aflwyddianus (medd Dr. Davies) a welais er pan ddaethum atoch, hwn yw yr hwyaf, y tywyllaf, a'r mwyaf tor-calonus i mi; oblegid yr wyf yn gweled yn yr aflwydd presenol un nodweddiad galarus na welais yn ymddangos yn yr eglwys erioed o'r blaen, o leiaf i'r un graddau, ag y mae i'w ganfod yn bresenol. Y nodweddiad y cyfeiriaf ato, ag sydd yn llethu fy ngobeithion am lwyddiant, ydyw yr anweithgarwch cyffredinol a'r difaterwch hollol sydd wedi ymdaenu dros yr holl frawdoliaeth. Y mae genyf dystiolaeth fy nghydwybod, a chwithau, fy mod wedi gwneuthur amrai ymdrechion egniol, a defnyddio gwahanol foddion cyfaddas i fwrw allan y cythraul o ddifaterwch; ond hyd yma yn hollol aflwyddianus. Yr wyf wedi dyfod i'r penderfyniad fod fy ngweinidogaeth wedi colli ei dylanwad, nid yn unig ar y gwrandawyr, ond hefyd ar yr aelodau yn gyffredinol. Gan hyny, yr wyf yn barnu mai y moddion tebycaf i gyffroi eich meddwl puraidd, a chynyrchu ynoch ysbryd gweithgar a llafurus, ydyw symudiad eich gweinidog presenol, a sefydliad rhywun arall yn eich plith, yr hwn y bydd i'w weinidogaeth gario mwy a gwell dylanwad." (Llythyr y Dr. at ei Eglwys yn 1854. Y Cofiant, t. d. 52.)

(*d*) Mynych yr anghefnogir y gweinidog pan fyddo am ddyfod allan yn holl nerthoedd Gair Duw, yn erbyn drygau yr oes, a *pholitics* y dydd. Ond odid na fydd rhyw ddynion pwysig yn yr eglwys yn dweyd, "Gadewch bethau yn llonydd. Peidiwch a digio dynion, onide fe fydd pawb yn ein casâu, ac ni chawn unrhyw ffafr ar eu llaw pan fyddo eisiau," &c. Beth pe buasai Crist, yr Apostolion, gwroniaid y canol-oesau, yr hen Buritaniaid, yr hen Anghydffurfwyr, yr hen Fedyddwyr, &c., o'r un ysbryd a'r dynion y cyfeiriwyd atynt? Beth fuasai cyflwr ac agwedd ein teyrnas heddyw?

(*e*) Y mae rhai am i'r gweinidog blygu i bawb, a cheisio cadw pawb wrth eu bodd. Nid yw o un gwahaniaeth am ei deimlad *ef*; ond, er mwyn pobpeth, na ddolurier mynwesau *eraill*. Y mae llawer gweinidog wedi cael cymaint o'i boeni yn yr eglwys, nes rhoi fyny y weinidogaeth—nid rhoddi heibio *bregethu* yr efengyl; ac fe wnai eraill yr un peth pe y gwelent y ffordd yn agored. Pa gnawd—ïe, pa ysbryd, a

fedr oddef yr hyn y dysgwylir i ambell weinidog gyd-ddwyn ag ef? Peth rhy gyffredin yw dysgwyl mwy oddiwrth y gweinidog na ddylid. Dysgwylir iddo grynhoi eglwys lwyddianus a blodeuog; ïe, dysgwylir llwyddiant, pan y mae ymddygiadau llawer o'r aelodau yn milwrio yn uniongyrchol yn erbyn hyny. Gweddiai Paul ar iddo gael ei waredu rhag dynion anhywaith neu afresymol; ac y mae y weddi yna yn dra phriodol yn y cysylltiad hwn. Rhaid i'r gweinidog wneyd gwaith heb ddefnyddiau; rhaid iddo ddychwelyd pechaduriaid heb weddiau ei frodyr; a rhaid iddo dalu pris y farchnad i bawb o'i aelodau am eu nwyddau, pan nad yw ef yn cael haner ei werth, nac ychwaith yr hyn a allai yr eglwys!

(*f*) Weithiau, fe delir mwy o sylw i frodyr dyeithr nag i'r gweinidog. Telir y rhai hyny yn dda, mewn cyfarfodydd chwarterol neu flynyddol, pan fyddo tâl y gweinidog yn wael. Gwelsom eglwysi yn rhoddi mwy i'r cyfryw am un Sabboth nag oeddynt yn roddi i'w gweinidog mewn dau! Heblaw hyn, gwrandewir dyeithriaid gyda hwyl nefolaidd (?), ond y *gweinidog*, dan blygu pen, neu gyda gwyneb sarug—heb na bw na bah! "Na thwyller chwi, ni watwarir Duw; beth bynag a hauo dyn, hyny hefyd a fed efe."

(*g*) Y mae rhai eglwysi wedi ceisio *starfio* y gweinidog ymaith. Adwaenwn weinidog o'r fath flynyddau yn ol. Ar ol cryn ofid, efe a fethodd yn ei iechyd; aeth yn dlawd; a bu farw yn nghanol ei ddyddiau. Mi a roddaf yma lythyr a ddanfonodd ataf yn nydd ei adfyd, ac y mae y llythyr yn esbonio ei hun.

"C—— E——,
*Mawrth 11, 1869.*

Fy Anwyl Frawd—Mae fy ngwddf yn ofnadwy o boenus. Yr wyf mewn sefyllfa wir beryglus. Gall fod yn angeu i mi. Bum gyda un o brif *physicians* Abertawe, yr hwn yn rhad a'm *examinodd* yn fanwl; bu yn edrych fy ngwddf efo gwydrau pwrpasol, a dywedodd mai yn fy ngwddf oedd y drwg; fod *inflammation* a *consumption* ynddo. Dymunai am i mi aros mis dan ei ofal, ond nid oedd genyf fodd i hyny. Y mae genyf ei *brescription*. Gorchymynodd fi yn gaeth i aros yn fy nhy, am y ddau fis hyn; peidio siarad; a bod yn amyneddgar a llawen fy ysbryd am chwe' mis; efallai y deuwn wed'yn. Bwyta yn dda hefyd. 'Nawr, fy anwyl frawd, pa beth a wnaf? hyny yw, sut y byddwn byw? Daliais ati hyd y gallwn, rhag pwyso ar neb. Yr ydym yn ddiddyled heddyw; ond nid oes punt dros ben. Bydd genyf ychydig sylltau o'r gyflog dros ben talu *supplies*. Bydd angen sylltau yn ychwaneg arnom nag arfer—at gig *fresh* a moddion. Dim ond byw o'r blaen; mwy o gost yn awr, a llawer llai yn dod i fewn. Ofer dysgwyl o'r eglwys. Mae yn dywyll iawn. Mae fy ysbryd ar lethu gan ofid. Nid gwiw dweyd fy nghwyn wrth H——. Nid oes genyf ond troi atoch chwi, fel arfer. Y peth sydd yn taro fy meddwl yw hyn. Gwelais eraill yn llwyddianus felly—gwneyd math o *begging case*, a'i ddanfon i'r *Christian World*, a'ch enw chwi wrtho. Dweyd fy sefyllfa; fy mod wedi bod dros 16 o flynyddoedd yn y weinidogaeth; wedi pregethu dair gwaith, a theithio tua deg milldir bob Sul, am gyflog heb fod dros £45 y flwyddyn; fy mod o gymeriad da; wedi methu gan afiechyd, ac heb feddu dim tu cefn at fyw, &c. Ond i ba beth y dysgaf chwi? Gwyddoch yn well na fi. Dyma fi yn gadael y peth yn eich llaw chwi yn hollol, heb deimlo yn angharedig os na fydd i chwi gydsynio. 'Nawr y byddai help yn codi fy nghalon, cyn myned i ddyled. Yr wyf wedi casâu myned i ddyled erioed, a gwn y gwenwyna fy ysbryd os bydd rhaid dechreu yn awr. Erbyn y gall dim ddyfod i mewn fel uchod, bydd angen am danynt. Serch calon atoch, &c. Yr eiddoch, mewn ing, J——.

O. Y.—Mi ddanfonais fy *nghase* fy hun i'r *Christian World* yr wythnos hon. Ond am nad oedd neb adnabyddus, ac efallai ddim wedi ei *statio* yn dda, dychwelwyd ef gyda y *remark*, '*The editor cannot understand the case.*' Gwyddoch fod *cases* o'r fath yn y *Christian World* bob wythnos. Gellwch roi

enw y Parch. Thomas ———, C——E., fel *referee.* Gwna ef bob peth a all droswyf. Credwyf y caf o 5 i 8 swllt o'r eglwys fynychaf bob wythnos; ond y mae hyny yn llawer rhy fach, yn enwedig yn awr."

Claddwyd ysgrifenydd y llythyr galarus hwn ar yr 28ain o Fai, sef yn mhen tua dau fis. Ymwelais ag ef droion yn ei flinfyd.

(*i*) Ceisia rhai eglwysi ddyn mwy poblogaidd na'r un fo ganddynt. Nid gwell pregethwr, na gwell efengylwr—ond dyn poblogaidd,

"A man to please the sinners,
And fill the empty pews."

Awgryma eraill y dylai y gweinidog ymadael pan na fo rheswm digonol dros hyny. Yr oedd llawer gynt am gael gwared o Grist a'r apostolion. "Dos ymaith. Dos ymaith ar hyn o amser." Felly yr oedd yn oes y diwygwyr—yr oedd y *llu* am gael eu gwared o'u plith, heb un rheswm gwell na "*We don't like them.*"

Yn ei bregeth ragorol oddiwrth Num. 14 : 11, yn nghyfarfod Undeb y Bedyddwyr yn Glasgow, mis Hydref diweddaf, dywedodd Mr. Spurgeon, "Dichon fod y bobl yn dweyd, Ein gwendid mawr ni yw Moses ac Aaron. Dygasant ni o'r Aipht, a hyny yn annoeth, fe ddichon. Efallai y buasai yn well arnom pe yr arosasem yn yr Aipht. Llwyddasant gyda ni yn weddol am dymor; ond yn awr, y maent wedi ein tynu i gyflwr chwithig dros ben. Dacw Canaan; ond nis gallwn ei meddianu. Llifa o laeth a mel; ond y mae hyny yn fwy poenus, canys sicr yw na allwn ni yru ymaith y Canaaneaid, y rhai ydynt yn ei pherchenogi. Pe buasai genym ryw ddynion mwy galluog na'r rhai hyn, dichon y gallesid sicrhau y peth. Fel hyn y cwynai y bobl; ond ni ystyrient eu bod yn grwgnach yn erbyn Duw, ac yn dangos eu bod heb ffydd ynddo. Eu syniad hwy oedd, mai yn erbyn Moses ac Aaron yn unig yr achwynent. Gadewch i ni yn awr gymwyso hyn atom ein hunain. Mi a adwaenwn eglwys Gristionogol yr hon a deimlai na fedrai Duw ddangos ei allu drwy y fath weinidog ag oedd ganddynt hwy; rhaid iddynt gael un arall cwbl wahanol—ond nis gwn pa fath. Ac yn wir y mae rhai eglwysi wedi cael llawer math, ac wedi llawenhau gyda phob un yn ei dro, ond troisant bob un ymaith, braidd heb un rheswm dros hyny. Pa beth yw hyn? Onid diffyg ffydd yn Nuw? Gall ef fendithio Paul, Apolos, neu Cephas; a gall fendithio Paul, Apolos, *a* Cephas. Gall ef fendithio Moses lariaidd ac amyneddgar, er ei fod yn safndrwm a thafodtrwm; a gall wneyd Aaron yn deilwng o safle yn ei ymyl. O! pe gweddiem am fwy o'r nerth gyda'n harweinwyr, yn lle ceisio rhai eraill, gallem weled pethau mwy nag a welwn. Paham y troir ymaith y gweinidog cyn cynal cyfarfodydd gweddiau ddydd a nos? Ac yna, os na fendithia Duw ef, gadewch iddo ymadael; ond yn gyntaf oll myner gweled ein bod wedi ei daflu ef ar Dduw, a bod ein gobaith a'n cred yn Nuw y gall efe ei fendithio ef neu ni, fel y gwelo efe yn dda. Y gwir yw, nad ydym yn credu yn Nuw megys ag y dylem, ac y mae eisiau i ni wybod hyny."

SYLW.—Dyma fi yn terfynu fy llith y tro hwn. Carwn i bawb wybod nad fy amcan oedd peri dadl neu gynhwrf. Y mae fy mwriad yn amlwg drwy yr holl ysgrif. Gobeithiaf y ceir sylw at yr hyn a fu mewn llaw, ac y ceir diwygiad buan. *Reform alone will save us.*

*Risca.* T. LEWIS.

---

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

—Y mae Natur yn annyhuddgar. Os troseddir ei deddfau, nid oes faddeuant. Rhydd i ni rybudd, y mae'n wir, pan byddom ar fin troseddu, ac mor bell a hyny, y mae'n drugarog trwy beri poen. Ond os unwaith yr awn dros y terfyn, yr ydym yn syrthio i dir anobaith, ac nid oes diangfa, nid oes gwaredigaeth. Y mae deddfau y meddwl yr un mor annyhuddgar. O fewn terfynau gosodedig, yn ol grym ein galluoedd, gallwn gyda dysgyblaeth of-

alus, gyflawnu llafur dirfawr; ond os eir dros y terfynau gosodedig, nis gellir adgyfnerthu y galluoedd meddyliol. Ond yn y byd moesol y mae yn wahanol. Y mae awdwr natur yn fwy trugarog; oblegid er mor bell y gall dyn suddo i ddrygioni moesol, ond iddo edifarhau a throi at Dduw am drugaredd, y mae yn sicr o'i chael.

—Mae Mrs. Booth, gwraig y "Cadfridog," wedi bod yn darlithio yn ddiweddar yn Llundain, ar "Egwyddorion, Mesurau, ac Amcanion y Fyddin Iachawdwriaethol." Dywed, yn ol yr ystadegau cywiraf, fod llai na deg o bob cant o'r bobl weitbgar yn myned i gapel neu eglwys. Yr oedd wedi gweled y fath esiamplau o ddynoliaeth ddirywiedig mewn rhanau o Ddeheudir Cymru a Swydd Lancaster, nas gallasai gredu o'r blaen eu bodolaeth yn Mhrydain. Er cyrhaedd y cymeriadau hyn, ar ba rai nid yw gwasanaeth yr Eglwys yn cael dim dylanwad, y ffurfiodd ei gwr y Fyddin Iachawdwriaethol, ac y cymwysodd fesurau addas i eisiau y bobl. Y mae y Fyddin yn cynwys 5,000 o weithwyr digyflog, y rhai sydd yn pregethu ac yn dysgu bob Sul, a bron bob nos; 300 o efengylwyr cyflogedig, a 151 o orsafoedd.

—Pan fo pur *Lawenydd* yn llenwi fy mron,
Mae'm hysbryd yn uchel a'm calon yn llon;
Mae'r awel mor bêr, mae'r meusydd mor fwyn,
A'r oriau yn 'hedeg fel niwl dros y llwyn;
Gan hyny, gyfeillion, boem lawen a doeth,
Dymunach Llawenydd, a gwell na'r aur coeth;
A dedwydd y teulu lle mae hwn i'w gael,
Rhydd gysur i fynwes yr uchel a'r gwael.

Mor groes ydyw *Galar*, mae hwn yn pruddhau
Fy ysbryd a'm calon, na's medraf fwynhau
Un dyddan gyfeillach, na gair yn ei bryd,
Na'r awel, na'r meusydd, na dim yn y byd;
Am hyny, gyfeillion, aed *Galar* o'n bron,
Ac ynddi lletyed Llawenydd yn llon;
A'r awel fydd bêr, a'r meusydd yn fwyn,
A'r oriau a 'hedant fel niwl dros y llwyn.

I gynal Llawenydd doed *Cariad* a'i wên,
Ac yna mor ddedwydd fydd ieuanc a hen;
Cartrefol o hyd yn y fonwes lân, bur;
Gadawant yr enawg—ni hoffant y sur;
Am hyny, gyfeillion, dechreuwn mewn pryd,
I garu ein gilydd yn gywir i gyd;
Ac yna mor felus fydd oriau ein hoes,
Er 'hedeg yn gyflym, hwy 'hedant heb loes.

—Dylai pob un anadlu trwy ei drwyn, ac nid trwy ei enau. Y mae y rhai a anadlant drwy eu geneuau yn agored i afiechyd yr ysgyfaint a'r darfodedigaeth; ond y mae yr awyr wrth fyned trwy y trwyn yn cael eu buro cyn cyrhaedd yr ysgyfaint. Dylai rhieni ddysgu eu plant i arfer anadlu gyda'r geneuau yn nghauad.

—Cyfeiriodd Mr. Gladstone at yr haeriadau oeddynt wedi eu gwneuthur gan rai, i'r pwrpas nad oedd y Llywodraeth Ryddfrydig newydd yn gweithredu yn gyson â'r datganiadau y rhai yr oedd ei haelodau wedi eu gwneyd tra yr oeddynt yn blaid wrthwynebol; a sicrhaodd nad oedd dim gwirionedd ynddynt. Ei bwriad diysgog oedd cario allan eu hegwyddorion yn onest. Gofynodd i'r blaid Ryddfrydig, yn nghanol banllefau o gymeradwyaeth, beidio bod mewn brys. Nid oedd ganddynt achos i edifarhau o herwydd rhediad cyffredinol yr iaith a ddefnyddiwyd ganddynt cyn yr etholiadau. Galluogai amser—ac nid amser maith —y wlad i farnu pa un a oedd, ai nid oedd, aelodau y weinyddiaeth newydd yn ffyddlon i'r datganiadau a wnaethpwyd ganddynt yn ystod yr ymdrechfa etholiadol.

# PWLPUD Y WAWR.

## Y Darlun Teg o Sant.

PREGETH NEWYDD GAN Y PARCH. CHAS. H. SPURGEON.

"Fy nhroed a ddilynodd ei gerddediad ef: cedwais ei ffordd ef, ac ni wyrais Nid ydwyf chwaith yn cilio oddiwrth orchymyn ei wefusau ef: hoffais eiriau ei enau ef, yn fwy na'm hymborth angenrheidiol."—Job xxiii. 11, 12.

"Hoffais eiriau ei enau ef yn fwy na'm hymborth hangenrheidiol."

1. Gan hyny, *llefarodd Duw wrth Job.* A lefarodd Duw erioed wrthych chwi? Ni thybiwyf fod gan Job un tu dalen o ysgrifen ysbrydoledig. Tebygol nad ydoedd hyd yn nod wedi gweled llyfrau cyntaf Moses. Llefar-

odd Duw wrtho. Ni wasanaetha un dyn Dduw yn iawn oddieithr i Dduw fod wedi llefaru wrtho. Mae genych chwi y Beibl, a llefara Duw yn y llyfr hwnw, a thrwyddo; ond cofiwch chwi, peidiwch ag ymfoddloni yn y llythyren argraffedig, heb ddeall ei ysbryd. Rhaid i chwi geisio clywed *llais Duw* yn y llythyren.

Pan y llefara Ysbryd Duw destyn i'r enaid, pan y cymer Duw ei hunan yr addewid neu y gorchymyn, a'i anfon gyda nerth bywiol i'r galon, hyny a wna i ddyn feddu parch i'r gair: teimla ei ogoniant mawreddog, ei uwchafiaeth dwyfol; a phan y cryna wrtho, gorfoledda, ac â yn mlaen i ufuddhau, oblegid fod Duw wedi llefaru wrtho. Anwyl gyfeillion, pan y llefara, byddwch ofalus fod genych glustiau agored i wrando, canys y mae yn llefaru yn fynych, a dynion heb ystyried. Yn ngweledigaeth y nos, pan y mae cwsg yn syrthio ar ddynion, llefarodd Duw wrth ei brophwydi, ond yn awr llefara trwy ei air, gan ei gymwyso at y galon gyda nerth ei Ysbryd. Os ydyw Duw yn llefaru ond ychydig wrthym, y mae hyny oblegid ein bod yn hwyrdrwm i glywed. Nid yw calonau dychweledig byth yn hir heb sisial oddiwrth yr Arglwydd. Nid yw efe yn Dduw mud, ac nid yw efe yn nepell oddiwrthym, fel na allom ei glywed; y rhai hyny a gadwant ei ffordd, a glynu wrth ei gerddediad, fel y gwnaeth Job, a gânt glywed llawer o'i eiriau, er llawenydd a budd i'w henaid. Bod Duw wedi llefaru wrth Job oedd dirgelwch bywyd sanctaidd cyson Job.

2. Yna sylwer, ddarfod iddo *drysori yr hyn a lefarasai Duw wrtho.* Dywed yn yr Hebraeg iddo guddio gair Duw yn fwy nag y darfu iddo erioed guddio ei ymborth angenrheidiol. Yr oedd yn rhaid iddynt guddio yd yn y dyddiau hyny rhag Arabiaid crwydredig. Yr oedd Job wedi bod yn fwy gofalus i guddio gair Duw nag oedd wedi bod i guddio o'r golwg ei wenith; yn fwy pryderus i gadw mewn cof yr hyn a lefarasai Duw nag i gasglu ei gynauaf i'w ysguboriau.

3. Dysgwn oddiwrth y testyn *fod Job yn byw ar air Duw.* Cyfrifai yn well iddo na'i ymborth angenrheidiol.—Bwytâi ef. Mae hon yn gelfyddyd nad yw rhai yn ei deall—bwyta gair Duw. Mae rhai yn edrych ar arwyneb yr Ysgrythyrau; mae rhai yn tynu yr Ysgrythyrau oddiwrth eu gilydd heb drugaredd; mae rhai yn tori y bara nefol yn ddarnau mân, ac yn dangos eu medr; mae rhai yn ei bigo drosto er cael *plums*, fel plant gyda theisen; ond gwynfydedig ydyw efe ag sydd yn ei gymeryd yn fwyd a diod. Cymer efe air Duw i fod yr hyn ydyw, sef gair o enau yr Anfeidrol; a dywed efe, Mae Duw yn llefaru wrthyf fi yn hwn, a gwnaf ddigoni fy enaid arno; nid oes arnaf eisiau dim gwell na hwn, dim yn fwy cywir na hwn, dim diogelach na hwn; ac wedi cael hwn, caiff aros ynof fi, yn fy nghalon, yn ymysgaroedd fy mywyd, caiff gyfrodeddu ag anianawd fy modolaeth.

4. Ond mae y testyn yn ychwanegu ei fod yn ei hoffi yn fwy na'i ymborth angenrheidiol. Nid yn fwy na danteithion yn unig, oblegid pethau dros ben a diangenrhaid yw y rhai hyny, ond yn fwy na'i ymborth angenrheidiol; a gwyddoch fod ymborth angenrheidiol dyn yn beth ag y mae efe yn ei fawrygu yn anghyffredin. Rhaid iddo ei gael. Beth! cymeryd ymaith fy mara! medd efe, fel nas gallasid goddef hyn. Mae cymeryd ymaith y bara o enau dyn tlawd yn cael edrych arno fel y math waethaf o ddrwgweithredu; ond yr oedd yn well gan Job fod y bara yn cael ei gymeryd ymaith o'i enau, na gair Duw allan o'i galon. Meddyliai fwy o hono nag am ei ymborth angenrheidiol; a thybiwyf am na wnai ymborth ond cynal y corph; ond mae gair Duw yn maethloni yr enaid. Mae y feithriniaeth a roddir trwy fara yn darfod yn fuan, ond y feithriniaeth a roddir trwy air Duw a erys ynom, a gwna i ni fyw yn dragywyddol. Mae y bywyd naturiol yn fwy na bwyd, ond mae ein bywyd ysbrydol yn byw ar ymborth mwy ardderchog nag ef ei hun, canys mae yn byw ar fara y nefoedd, person yr Arglwydd Iesu. Mae bara yn felus i'r newynog, ond nid yd-

ym ni bob amser yn newynog, ac weithiau nid oes genym archwaeth at fwyd; ond yr hyn sydd oreu, yn ngair Duw yw, fod yr hwn sydd yn byw yn agos at Dduw yn meddu archwaeth bob amser ato, a pho fwyaf a fwytao o hono, mwyaf yn y byd y gall fwyta.

Cyffeswyf i mi lawer gwaith ymborthi ar air Duw pryd na feddwn archwaeth ato, nes i mi ddod i feddu archwaeth ato. Deuais yn newynog i'r graddau y teimlais yn ddigonol; ymddangosai fy ngwagder yn lladd fy newyn, ond fel yr adnewyddid fi trwy y gair, hiraethwn am ychwaneg. Felly mae yn ysgrifenedig, "Gwyn fyd y rhai sydd arnynt newyn a syched am gyfiawnder, canys hwy a ddiwellir;" a phan y diwellir hwy, parhant i fwynhau y fendith, canys newynant a sychedant yn wastad, er wedi eu diwallu â gras. Dim ychwaneg, oddieithr iddo fod yn hyn; ni allwch fod yn sanctaidd, fy mrodyr, oddieithr eich bod yn y dirgel yn byw ar air y bendigedig Dduw, ac ni fydd i chwi fyw arno os na fydd yn dod atoch chwi fel *geiriau ei enau*. Mae yn dra melus i gael llythyr oddi cartref pan y byddwch yn mhell; y mae yn debyg i bwysïad o flodau yn y gauaf garw. Y mae llythyr oddiwrth yr un anwyl o gartref fel peroriaeth yn dyfod i'n clustiau o dros y dw'r; ond y mae haner dwsin o eiriau o'r genau anwyl hwnw yn well na degau o du dalenau ar bapyr, canys y mae dymunoldeb mewn cysylltiad a'r edrychiad a'r llais na fedr y papyr mo'i gario. Yn awr, mae arnaf eisiau i chwi gael y Beibl i fod nid yn unig yn llyfr i chwi, ond yn udgorn yn llefaru, trwy yr hwn y mae Duw yn llefaru o bell wrthych, fel y galloch ddal ar hyd yn nod tonyddiaeth ei lais. Y mae yn rhaid i chwi ddarllen gair Duw gyda'r amcan hwn, oblegid tra byddwch yn darllen, myfyrio, a cheisio suddo eich hunan i'w ysbryd, yr ymddengys fel yn troi yn sydyn o fod yn llyfr ysgrifenedig, i fod yn llyfr llafaredig, neu arwyddol; sisiala â chwi neu darana wrthoch, fel pe buasai Duw wedi cuddio ei hunan yn mhlith ei ddalenau, ac yn llefaru yn gyfatebol i'ch sefyllfa; fel pe buasai yr hwn a bortha yn mhlith y lili wedi gwneyd y penodau yn welyau lili, ac wedi dod yno i borthi.

Gofynwch i Iesu am iddo beri i'w air i ddod yn newydd o'i enau i'ch enaid; ac os bydd felly, a chwi felly yn byw mewn cymundeb dyddiol â Christ personol, fy mrodyr, cedwch eich traed yn ei gerddediad; yna cedwch ei ffordd; yna ni bydd i chwi byth wyro neu droi yn ol oddiwrth ei orchymynion, ond cedwch fynediad da yn mlaen ar daith eich pererindod tua'r ddinas sanctaidd. Boed i'r Ysbryd Glan fod gyda chwi yn ddyddiol. Boed i bob un o honoch fyw o dan ei wlith sanctaidd, a bod yn ffrwythlawn yn mhob gair a gweithred. Amen ac Amen.

---

# AMRYWIAETHAU.

---

## LLYFR EMYNAU NEWYDD ETO.

---

Yn hanes Cymanfa Bedyddwyr Dinbych, Flint a Meirion, a gynaliwyd yn Ngholwyn, Mehefin 8—10, darllenwn y nodyn hwn:

"Bu cryn ymddyddan ar bwnc Emynyddiaeth yr Enwad yn y Dywysogaeth. Pasiwyd yn unfrydol fod cenadwri i gael ei hanfon at Undeb Bedyddwyr Cymru i'r cyfarfod a gynelir yn mis Awst yn Nghaerdydd, i ddymuno ar bwyllgor yr Undeb i gyhoeddi ar frys Lyfr Emynau at wasanaeth Cymru, gan y teimlid, ond i'r Undeb ddarparu felly, y ceir unoliaeth, gan fod lluaws o lyfrau yn bresenol yn peri anghyfleusdra dirfawr."

---

## BEDYDDWYR LLANUWCHLYN.

---

Yn y *Greal* am Mehefin, mae ysgrif ddyddorol ar Fedyddwyr Llanuwchlyn. Nodwyd y rhai canlynol wedi hanu oddiyno: Y Parch. John R. Jones, Ramoth; Parch. Ellis Evans, D. D., Cefnmawr; dau frawd—Joseph a David Richards; bu y cyntaf yn gweinidogaethu yn Dolgellau am flynyddau; symudodd wedi hyny i'r America. Bu

David Richards yn gweinidogaethu am flynyddau yn y Deheudir. Un doniol arall o Lanuwchlyn oedd y Parch. David Roberts ("'R hen *Father*"). Nodir eto y Parch. Thomas Edwards; aeth ef i'r Deheudir, ac yr oedd i gael ei ordeinio ar eglwys Sirhowy y diwrnod yr oedd yn cael ei gladdu.

## MR. SPURGEON YN EXETER HALL.

Mewn cyfarfod mawr a gynaliwyd yn Exeter Hall, Llundain, yn ddiweddar, ar ran Cymdeithas y Traethodau Crefyddol, bu Mr. Spurgeon yn llefaru i bwrpas. Dywedai, "Gwasgarwch draethodau a llyfrau can luosoced a dail yr hydref. Gadewch iddynt ehedeg ar bob awel, a syrthio i bob cartref trwy y byd, canys pwy a wyr na fydd i Dduw eu bendithio yn mhob man yr ânt. Dymunwn ofyn a ydyw pob un o honoch chwi yn ceisio gwneyd rhywbeth dros Dduw. Mae y traethodyn yn neillduol werthfawr yn fy ngolwg, oblegid ei fod yn rhoddi cyfleusdra i'r gwanaf a'r eiddilaf i wneuthur rhywbeth tuag at wasanaethu Duw. Ewch at a gwaith, a gellwch wneyd hyn os na ellwch wneyd dim arall — gwasgaru mân draethodau. Y mae yn fater sobr i ddyn nad yw wedi gwneyd dim beth bynag dros ei Dduw. Clywais am ddyn yn yr hen amser, yr hwn a arferai ddyweyd wrth ei wraig ar foreu Sul, "Mary, dyna gloch yr eglwys yn canu, dos di i'r eglwys, a gweddia drosom eill dau." Ac felly y gwnaeth; am flynyddau bu yn myned i'r eglwys, gan weddio trostynt eill dau. Un noson cafodd ef freuddwyd, a breuddwydiodd —ofergoeledd yn rhanol yn gymysgedig â'r breuddwyd—fod arno ef a'i briod eisiau myned i'r nefoedd, a daethant at y pyrth, a daeth Pedr allan i sicrhau pwy oeddynt, a phan oedd y ddau yn gobeithio cael myned i mewn, dywedai Pedr wrth y wraig. "*Ewch chwi i mewn drosoch eich dau.*" O ba le bynag y daeth y breuddwyd, cynwysa wirionedd mawr. Ni allwn ysgwyd ymaith ein cyfrifoldeb personol; ac os amcanwn wneyd hyny, collwn i ni ein hunain y fraint bersonol dragywyddol. Na roddwch gwsg i'ch llygaid na hûn i'ch amrantau nes i chwi ymddiried yn y Gwaredwr, a dechreu ei wasanaethu.

## Y FEIBL GYMDEITHAS.

Mewn perthynas i un o'r pethau hyny a gawsant eu gwneyd yn gyhoeddus yn y modd mwyaf grymus ac ymarferol o fewn yr oes hon, gellir dweyd fod y dyrfa fawr o Fedyddwyr Seisneg (eiddo America a Lloegr) yn penderfynu defnyddio y testyn cyffredin o'r Ysgrythyr—y testyn hwnw sydd yn dderbyniedig gan yr holl fyd Seisnig. Teimla pob Bedyddiwr deallus yn ddiolchgar am unrhyw gymorth, unrhyw gyfieithiad, neu argraffiad newydd a ddichon dysgeidiaeth yr oes ddarparu. Ond nid oes gan ein pobl y meddylddrych lleiaf i osod unrhyw beth arall yn lle yr hyn a elwir y testyn cyffredin o'r Beibl Seisneg. Y mae "yr Hen Lyfr Da" wedi cael ei brofi genym mewn mil o wahanol ffyrdd, y sylfaen fwyaf sefydlog i'r Bedyddwyr i adeiladu arni eu ffydd a'u hymarferiad; ac os profa yr argraffiad newydd—eiddo Lloegr ac America—ei hun yn well eto, megys ag y credwn y bydd, ni fydd gan genedlaethau Bedyddiedig y dyfodol yn sicr un rheswm i gwyno o herwydd diffyg sylfaen i'w ffydd a'u gobaith.—Allan o erthygl olygyddol yn yr *Examiner and Chronicle*, Efrog Newydd, am Mai 20, 1880. Cydnabyddir y newyddiadur hwn yn ben ar holl bapyrau Bedyddiedig y wlad hon, os nid y byd cyfan.—*Allen J. Morton.*

## CYMANFA ARFON.

Yn Nghymanfa Arfon, yr hon a gynaliwyd yn Nghaernarfon, Mehefin 17, 18, pasiwyd amryw benderfyniadau, ac yn eu plith y rhai canlynol:

"5. Ein bod yn llawenhau yn llwyddiant mawr yr anturiaeth o ddwyn allan

y *Seren Gomer Chwarterol;* ac os oes rhyw eglwys yn y Gymanfa hon heb ei derbyn, ein bod yn ei hanog i wneyd hyny yn ddioed.

6. Y dymunwn ddadgan y golled fawr ydym wedi ei gael fel Cymanfa yn marwolaeth y brawd anwyl, J. Jones, Llanberis; yn gystal a'n cydymdeimlad dwfn â'i blant amddifaid yn eu profedigaeth a'u galar ar ei ol. Ac yr ydym yn llawenhau hefyd yn fawr wrth gael ar ddeall fod eglwys barchus Sardis, yn yr hon y treuliodd ein hoffus frawd ei holl oes fel aelod a gweinidog, wedi penderfynu agor trysorfa i gael cofgolofn deilwng i "Nodi man fechan ei fedd;" ac os bydd gweddill, cyflwynir ef yn ddioed i Mrs. Jones, ei deilwng a'i alarus weddw. Fel hyn, fe welir fod drws wedi ei agor i'n holl eglwysi, a holl gyfellion lluosog yr hynaws *Hen Gloddiwr* yn mhlith pob enwad crefyddol yn ein gwlad, i ddangos eu parch i'w goffadwriaeth fendigedig, trwy gyfranu tuag at yr amcan gwir deilwng hwn. Anfoner pob cyfraniadau i Mr. Ellis Evans, Bronfferam, Dinorwig, Llanberis, ger Caernarfon.

10. Ein bod yn galonog iawn yn cymeradwyo yr amcan o gael tysteb i'r gwir deilwng Dr. Price, Aberdâr; ac yn cymell yr eglwysi hyd eithaf eu gallu i gyfranu tuag ati, gan obeithio na fydd yn ddim llai na theilwng o lafur a llwyddiant mawr oes yr hybarch Ddoctor.

11. Ein bod yn llawenhau fod y brawd Owen Davies yn dwyn allan gofiant i'r diweddar Dr. Pritchard, Llangollen, yr hwn sydd ar ddyfod allan o'r wasg, gan hyderu y bydd iddo gylchrediad helaeth yn ein plith."

## NOS SUL HYNOD YN NOLGELLAU.

Mae enw Mr. Morgans, Dolgellau, yn air teuluaidd yn mhlith Bedyddwyr y Gogledd. Y mae wedi bod yn amlwg yn nghyfarfodydd yr enwad am 37 o flynyddoedd; a pha le bynag yr elai oddicartref, byddai adgofion anwyl a sanctaidd ar ei ol, fel y byddai hiraeth am ei ail ymweliad. Ond nid oedd ei barch yn fwy yn unman nag yn ei gartref, a chyda phobl ei ofal. Yma yr oedd ei barch mawr. Y bobl oedd yn ei adnabod oreu oedd ac ydyw ei edmygwyr penaf. Ond nos Sul, Mawrth 28ain, tarawyd yr eglwys megys gan ergyd trydanol, pan y rhoddodd ein hanwyl frawd lythyr yn llaw y brawd R. Roberts, y diacon hynaf, i'w ddarllen; ond methodd gan ei deimladau, am mai llythyr *ymddiswyddiad Mr. Morgans ydoedd.* A thra yr oedd y brawd Lewis Evans yr ei ddarllen, aeth y frawdoliaeth i lefain ac wylo—pawb yn ddieithriad, fel y gorfodwyd terfynu y gyfeillach heb wneyd unrhyw sylwadau. Nid oedd neb a allai lefaru gair. Y rheswm fod y brawd wedi ymgymeryd â'r cwrs hwn yw, fod ei iechyd i raddau mawr wedi anmharu. Er mai ei ddymuniad oedd cael myned o'r pulpud i'r bedd, eto nid hyn yw ewyllys ei Dad nefol. Mae ein brawd yn diosg ei fantell swyddogol mewn heddwch â'r holl ddaear, ac yn arbenigol â'r eglwys y bu yn ei gwasanaethu mor ffyddlon a phur am yn agos i 40 mlynedd. Yr oedd natur a gras wedi ei wneyd yn fab tangnefedd.

Daeth yma o Goleg Hwlffordd, yn Hydref, 1843. Ordeiniwyd ef yn Mai y flwyddyn ganlynol, pryd y gwasanaethwyd gan Dr. Prichard, Llangollen; J. Pritchard, Cefncymmerau; R. Ellis (Cynddelw); E. Williams, Aberystwyth; E. Evans, Cefnmawr; a Samuel Williams, Nantyglo; y rhai ydynt oll erbyn hyn wedi cael y fraint o farw yn yr Arglwydd.

Er y pryd hwnw, ymroddodd mewn amser ac allan o amser i gyflawni ei ddyledswydd tuag at Dduw a dynion, fel un o weinidogion cymhwys y Testament Newydd. Mae yn gallu dweyd yn groew heddyw, nad esgeulusodd yr un cyfarfod erioed. Bu yn llwyddianus i gadw yr eglwys mewn perffaith heddwch â'u gilydd, ac ag yntau ei hun, drwy yr holl flynyddoedd; mewn gair, nid oes ganddo elyn ar y ddaear, ac nid ydyw yntau yn elyn i neb. Cafodd y fraint, yn llaw ei Dduw, o droi llawer

at gyfiawnder. Bedyddiodd oddeutu 550. Nid yw yr eglwys wedi gollwng ei gafael o hono eto; mae ei gweddïau taerion drosto am ei adferiad, ac am ei glywed; ac ni a obeithiwn y bydd tymor yr haf yn estyn iddo adgyfnerthiad effeithiol, fel ag i'w alluogi i sefyll ar furiau Seion am flynyddoedd lawer. —*Seren Cymru.*

## HELYNTION YR AMSERAU.

Yr oedd gan y Parch. R. Jones, Llanllyfni erthygl ddyddorol yn ddiweddar yn *Baner ac Amserau Cymru*, ar y testyn uchod. Dywedai:

"Onid oes genym achos i lawenychu fod trigolion Cymru wedi dyfod allan mor unfrydol a gwrol o blaid iawnderau dynoliaeth? Y mae ein llwyddiant yn destyn syndod i'r holl deyrnas, ac i fyrddiynau y tu allan iddi. Er fod agos yr holl Eglwyswyr, yr holl dwrneiod, a holl foneddigion a gwyr mawr Cymru yn gyneyd eu goreu yn ein herbyn; er hyny, trwy nawdd y Goruchaf, ni a gawson fuddogoliaeth a gofir ac a ryfeddir am oesoedd lawer. Onid yw hyn yn dangos y dylanwad mawr sydd gan Ymneillduwyr Cymru pan y delont allan yn unfrydol, fel y daethont y flwyddyn hon? Y fath syndod i'r ychydig Ymneillduwyr gorthrymedig oedd yn Nghymru gan mlynedd yn ol a fuasai meddwl y buasai gan eu holynwyr y fath ddylanwad anorchfygol yn 1880! Ond dylem gymeryd gofal neillduol i beidio ymddyrchafu a balchïo ynom ein hunain. Boed i ni gydnabod llaw y Goruchaf yn y tro rhyfedd hwn. Y mae cwymp Beaconsfield bron mor hynod a chwymp Haman; ac y mae llaw yr Arglwydd mor amlwg yn y naill ag yn y llall."

Eto:

"Y mae yn gysur mawr i amaethwyr ein teyrnas fod ein Llywodraeth yn parotoi at ddiwygio, os nad diddymu y *Game Laws*. Nid oes dim yn fwy o gamwri â ffermwyr na gorfod talu yn ddrud am dir, a bod y meistr yn mynu cadw ysgyfarnogod a gwningod i ddifa ffrwyth eu llafur o flaen eu llygaid, pan y mae bron yn berygl bywyd iddo ef, na neb o'i deulu, i aflonyddu dim ar un o honynt. Ni fu dim gormes mwy annuwiol na pheth fel hyn er dyddiau Nimrod hyd heddyw. Pan y byddo y "gwr mawr" yn codi llawn ddigon o ardreth ar ei fferm, onid yw yn beth arswydus i feddwl am dano ei fod yn gadael ysgyfarnogod, a phethau eraill, i fwyta ffrwyth llafur ei denant; an anfon canoedd a miloedd o'r rhai hyny i'r marchnadoedd i'w gwerthu er budd iddynt eu hunain! Os dewisa ein gwyr mawr droi yn farsiandwyr cwningod, bydded iddynt wneyd hyny ar eu traul eu hunain. Gobeithiaf y bydd i'n Llywodraeth fynu rhoddi terfyn buan ar y trefniant annynol a gormesol hwn."

## Y SWYDD YN MAGU BALCHDER.

Fel y mae y swydd yn bresenol—y diacon yn cael ei ddewis am byth i flaenori neu i lywodraethu—mae yna duedd neu demtasiwn gref iddo ymgodi ac ymchwyddo yn falch, ac ystyried ei hun yn uwch na'i frodyr. Nid oes gwahaniaeth faint o ras fyddo yn ei galon ostyngedig pan yn cael ei ddewis i'r swydd, y mae yn ddarostyngedig i'r demtasiwn hon, oblegid dyn yw'r goreu ar y goreu. Y mae llawer iawn wedi ymddyrchafu felly, a chan eu bod yn wybyddol o'u hawdurdod a'u gallu yn yr eglwys, ystyriant eu brodyr a'u chwiorydd, yn enwedig os byddai y rhai hyny yn dlawd, yn israddol, a diystyrant hwynt. Mae y diaconiaid hyny sydd yn ymchwyddo, ymfalchio, ac yn traws-arglwyddiaethu ar etifeddiaeth Duw, yn lle bod yn wrthddrychau serch yr eglwys, maent yn atgas gan bawb, ac yn ffiaidd yn ffroenau pawb o'r byd a'r eglwys, ïe, yn ffiaidd gan Dduw hefyd; yr ydym yn credu pe byddai newid y diaconiaid yn bod ni fyddai temtasiwn iddynt i ymchwyddo. Y mae yn bryd yn awr i ddweyd gair arall. Y mae y dosparth hwn yn yr eglwys, sef y diaconiaid, yn ddosbarth teilwng o barch dauddyblyg os byddant yn ddynion da,

ac yn y cyffredin yr ydym yn credu eu bod yn ddynion da. Y maent yn golofnau o dan yr achos, yr enwedig pan na fyddo gweinidog i gael, ac yn gwneyd eu gwaith heb un tâl am eu llafur a'u lludded. Nid oes geiriau rhy isel i gael i amlygu diacon drwg, ac nid oes geiriau rhy uchel a pharchus i'w cael i ddyrchafu diacon da a duwiol. Y mae yn drysor yn eglwys Dduw, yn anrhydedd i grefydd Crist, yn lles i'w gyd-ddynion, ac yn ogoniant i'r Duw a'i crëodd.—*Seren Cymru.*

## BRODYR YN NOSWYLIO.

Mae amryw frodyr teilwng wedi cael eu galw i noswylio yn ddiweddar yn ein plith fel enwad yn Nghymru. Ebrill 19, 1880, ymadawodd â'r fuchedd bresenol y Parch. David Price, Blaen-y-ffos, Sir Benfro. Mawr y golled a'r hiraeth sydd ar ei ol ef. Cofiwyf yn dda am dano yn pregethu mewn Cymanfa fawr yn Garn, Dolbenmawr, pan oeddwn yn fachgenyn, ar y geiriau, "Rhaid yw iddo ef gynyddu, ac i minau leihau." Yn Lerpwl yr oedd yn gweinidogaethu y pryd hwnw; yr ydoedd yr adeg hono yn ei fan goreu, a phregethai yn effeithiol a derbyniol iawn.

Eto, yr hybarch Edward Evans, Dowlais, a fu farw Mai 17eg, a chymerodd ei angladd le y dydd Iau canlynol, pan y daeth tyrfa fawr o bobl yn nghyd er talu parch i'w goffadwriaeth. Yr oedd yr heolydd o'r ty i'r gladdfa, yn llawn o bobl o bob tu, y *blinds* wedi eu tynu dros y ffenestri, a'r siopau wedi eu cau, yr hyn a brofai fod yr ymadawedig mewn parch mawr gan holl Dowlais. Teilwng oedd efe o barch. Bu yn weinidog da i Iesu Grist dros feithion flynyddau. Chwysodd lawer wrth ddyweyd am drefn cadw pechadur. Cofiwyf am dano yntau pan oeddwn yn ngwres fy nghariad cyntaf gyda chrefydd, mewn cyfarfod blynyddol yn Llanllyfni. Pregethai am 2 o'r gloch, ar ddiwrnod poeth; dywedai yn frwdfrydig ryfeddol, nes oedd y chwys yn rhedeg yn aberoedd i lawr ei ruddiau. Ei destyn oedd, "Crist yn ben uwchlaw pob peth i'r eglwys." Yn Bangor, Sir Gaernarfon, yr oedd yn weinidog y pryd hwnw. Credwyf na fu yn hir wed'yn heb symud i'r Deheudir. Yr oedd yn un o'n gweinidogion goreu.

Y Parch H. C. Howells, Clydach, sydd un arall a fu farw yn ddiweddar. Adwaenwn ef yn dda; yr edd Mr. Howells yn enedigol o Bwllheli, Sir Gaernarfon—crydd wrth ei alwedigaeth wreiddiol. Bu am flynyddau yn weinidog ordeiniedig, ac yn dilyn yr alwedigaeth hono; ond oddeutu ugain mlynedd yn ol ymgyflwynodd yn hollol i'r weinidogaeth. Bu yn gweinidogaethu yn Cefn Bychan, Sirhowy, a Chlydach, lle bu farw yn nghanol ei ddefnyddioldeb. Nid wyf yn sicr a fu yn gweinidogaethu mewn rhyw fan arall a'i peidio. Yr oedd ef yn frawd dilychwin, yn gyfaill neillduol o ffyddlon, a phregethwr da a derbyniol; byddai yn ysgrifenu llawer i'r *Tyst Apostolaidd* yn y blynyddau gynt.

Y Parch. John Jones, Llanberis, yntau hefyd a derfynodd ei yrfa. O, mor dda oedd genym fod John Jones yn dyfod heibio i bregethu, pan oeddem ieuanc gartref. Nid oedd neb yn fwy derbyniol nag ef gan bawb; a pharhaodd felly hyd y diwedd.

Fel hyn mae'r gweithwyr yn cael eu galw at eu gwobr. Yr iaith atom yw, "Byddwch ffyddlon a diymod yn ngwaith yr Arglwydd."

## PENDERFYNIADAU TEILWNG.

Mae yn dda genym weled y penderfyniadau canlynol yn mhlith gweithrediadau cynadledd Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Mynwy, yr hon a gynaliwyd yn Tregaron, ar y 26ain a'r 27ain o Mai, 1880:

"8. Gan fod ein hanwyl frawd, y Parch. T. Lewis, Risca, yn rhoddi fyny ei weinidogaeth sefydlog, ein bod yn ei anog, ac yn ei gefnogi yn yr amcan pwysig sydd ganddo mewn golwg, sef casglu a threfnu defnyddiau tuag at gael hanes cyflawn o'r Bedyddwyr yn Nghymru a sir Fynwy hyd yr amser

presenol, a'n bod yn cymeradwyo yr amcan i sylw cynadleddau cymanfaoedd ereill y Bedyddwyr yn Nghymru.

9. Fod y gynadledd hon yn taer ddymuno ar i'r Parch. E. Thomas, Casnewydd, ddwyn allan gyfrol o'i bregethau, gan ymrwymo i roddi iddo bob cefnogaeth yn eu gallu er hyrwyddo yr anturiaeth bwysig, a hyderu y bydd i eglwysi yr enwad yn gyffredinol gydweithredu yn galonog ac egniol er sicrhau iddi gylchrediad helaeth, gan ein bod yn credu y bydd y cyfryw yn gaffaeliad anmhrisiadwy gyda golwg ar ein llenyddiaeth.

10. Ein bod fel cynadledd yn cyflwyno yr amcan o wneyd tysteb i'n hanwyl frawd Dr. Price, Aberdar, i sylw yr eglwysi, gan hyderu y gwna pob eglwys, a phersonau unigol, eu goreu o'i phlaid, gan ein bod yn credu nad oes neb yn Nghymru yn fwy teilwng o gydnabyddiaeth ar gyfrif gwasanaethgarwch i'r enwad yn y Dywysogaeth."

## CYWREINBETH.

A ganlyn sydd ohebiaeth yn cynwys *relic* dyddorol o'r blynyddau gynt, pan ymadawodd Brutus oddiwrth y Bedyddwyr at Eglwys Loegr, a phan oedd P. A. Mon yn ei fflangellu am hyny. Llythyr oddiwrth Isaac Hiley at P. A. Mon ydyw. Dyma fo:

"Mr. Jones: *Syr*—Yn ol fy addewid, wele at eich gwasanaeth, erbyn ailargraffiad eich llyfr, ychydig englynion; a chan mai y cyntaf erioed i mi wneyd ydynt, diau y canfyddwch ynddynt wallau, ac hyderwyf y gwnewch eu diwygio; a byddai yn ddywenydd o'r mwyaf genyf dalu traul llinell neu ddwy oddiwrthych, yn cynwys eich nodiadau arnynt. Ydwyf, anwyl Syr, yr eiddych efo mygyr. I. H.

*Glanhafren, Mawrth 9, 1830.*

**Brutus elynus a lanwodd—ei lyfr**
**A'i lafur o lwyrfodd;**
**Twyll yn llawn a gawn ar g'oedd**
**Yn mydriad ei ymadrodd.**

**Iaith a chred, ar led erlidiodd—o frad**
**Ei frodyr a werthodd,**
**Am fydol fudd, ac o'i fodd**
**Yn ddi fraw a ddifriodd.**

**'Nol hyd nod ei fod, i fedydd—soddiad**
**Hen Suddas, yn ufydd;**
**Gwelir ef, er ei g'wilydd,**
**Gwedi ffoi a gwadu y ffydd.**

**Mal hwch, O gwelwch y gwaith,-dymchwelodd**
**I dom chwith Pabyddiaith;**
**Am boeryn bu'r dyn ar daith,***
**Hulen ac olew eilwaith.**

**Hen hwyad anfad, ynfyd—yw Dewi,**
**A dau wyneb gwawdlyd;**
**Ddoe yn frawd, heddyw'n 'i fryd**
**Ein lladd, fal Cain, pe llwyddyd.**

**Ei ddiffaith, gaswaith ffug, isel—gwrthun,**
**Gwarthus dwn ei annel,**
**Ei gamrau gwag, Gymro, gwel,**
**A'i afiechyd ef i'w ochel.**

**Cura, a phwya, a phen†—a baedda**
**Y bawddyn anniben;**
**Dod ei lun du e ar len,**
**P. A. Mon—d'wed pawb Amen."**

* I Rhufain. † Ysgrifell.

## GOFYNIAD.

*At y Parch. H. O. Rowlands, Oshkosh.*

Anwyl Syr—Carwn gael eglurhad genych, fel hen gyfaill, ar y priodoldeb neu yr anmhriodoldeb o arfer y term "*byd*" mewn gwahanol gysylltiadau, megys y "byd" dynol, anifeiliaidd, llysieuol, &c. Yn awr y gofyniad yw, Beth yw y cysylltiad priodol yn yr hwn y dylid arfer y gair? Carwn gael atebiad buan, os gwelwch yn dda. Yr eiddoch yn frawdol,

*Missouri.* Thos. J. Jones.

## MAN-LEWYRCHIADAU Y *WAWR*.

—Tua'r adeg y bydd y rhifyn hwn yn llaw y derbynwyr, dysgwylia y golygydd fod yn Ngwalia Wen, gwlad y gân. Bwriada dreulio rhyw dri mis yno. Yn y cyfamser, cymellwn ein cyfeillion yn mhob man i fod yn ffyddlawn dros ein cyhoeddiad. Byddwn yn dra diolchgar i bawb a'n cofiant yn eu taliadau yn y misoedd hyn. Anfoner pob gohebiaeth atom fel arfer, i Utica.

—Mae y Parch. John Edr:d Jones wedi gadael y Cymry, a chymeryd gofal yr eglwys Fedyddiedig yn New Hartford, ger y ddinas hon, gyda rhagolygon addawol.

# Barddoniaeth.

## ANERCHIAD I FY EWYTHR.

Fy Ewythr* yn anfon o America i ymholi am ei hen ardal enedigol, Dyffryn Tywi, wele ei Nith yn ei ateb fel y canlyn:

F' anwyl ewyrth, blin yw 'nghalon
Wrth gofnodi'ch hen gym'dogion;
Nid oes yma fawr o'r rhei'ny
'Nawr i'w cael yn Nyffryn Tywi.

Gormod gwaith im' roi desgrifiad
O'r fro hon a'i chyfnewidiad,
Ond mae canoedd wedi blaenu
O'ch ffryndiau gynt yn Nyffryn Tywi.

Mae hen deulu *Coach and horses*,
Oe'nt i chwi mor adnabyddus,
O! nid ydynt yn trigianu
Gyda'r byw yn Nyffryn Tywi.

Harri'r gwëydd a'i briod Lettis,
Frederick Evans, gynt or Ynys,
Yr hen Gabriel, 'nghyda Pali,
Y'nt yn naear Dyffryn Tywi.

Ann Richard sy'n nos-huno'n dawel,
'Rhon gynt ofalai am y capel;
John Lanpumsaint a'r hen Neli
Sy' dan d'warchen Dyffryn Tywi.

Mae teulu Lawrence o'r Gorsfelen,
Er ys amser wedi gorphen;
A thyrfa lawer fu'n anadlu
Awyr iachus Dyffryn Tywi.

Mae Mrs. Morgans o Lanbrydan,
A Morgan Proth'ro o Wernwgan,
Rees Lanrwyth ac Evan Parri
Nid y'nt i'w cael yn Nyffryn Tywi.

Mae Deio Evan, y gwaddotwr,
Wedi 'i rifo at y pentwr,
Rhys Lanon a Wil Gwmgweddi,
Wedi gado Dyffryn Tywi.

Mae teulu anwyl Owen Bowen
'Nawr yn huno dan yr ywen,
A Dafydd Williams o Drefwri,
I gyd ar goll o Ddyffryn Tywi.

Mae'r boneddigion gynt o'r capel,
Fu'n eich parchu chwi yn uchel—
O, maent hwythau wedi llamu
Gyda'r llu o Ddyffryn Tywi.

Un boneddwr noda' i'n rhagor,
Sef Mr. Davies o Gwm-Ivor,
Mae 'i wraig ac yntau wedi canu
'N iach am byth i Ddyffryn Tywi!

Gwag yw'ch llety genedigol,
Lle treuliasoch oes foreuol,
Pan dan nawdd eich hoff rieni,
Cyn cefnu ar hen Ddyffryn Tywi.

Pryd hyn eich haulwen oedd ddigwmwl,
A'ch mam yn noddfa rhag pob trwbwl;
A'ch tad anwylaf yn gofalu—
O! ddedwydd fan bu Dyffryn Tywi.

Pryd hyn ni wyddech am flinderau,
Nac am y byd yn nghyda'i groesau;
Ond gorfod i chwi ymwroli
Wedi gadael Dyffryn Tywi.

Ymladd â'r hen fyd mewn brwydrau,
Colli llawer o'ch meddianau;
Mil a mwy oedd raid wynebu
Wedi gadael Dyffryn Tywi.

Fel 'r aderyn yn myn'd ymaith
Dros y nyth, ni ddychwel eilwaith,
Felly chwithau, 'rwy'n tybygu,
Wedi gadael Dyffryn Tywi.

Rhoi ffarwel i wlad eich tadau,
Pan yn mlodau hardd eich dyddiau;
Ond tra f' ewyrth yn anadlu,
Nid anghofia Ddyffryn Tywi.

MARY EDWIN REES.

* Sef y brawd David G. Morris, yn awr Catasauqua, Pa. O'r gymydogaeth hono mae y Parch. Fred. Evans, D. D., a John ei frawd.

## DEDWYDDWCH Y NEF.

CYFLWYNEDIG I'R "WAWR" GAN MR. JOHN R. JENKINS, MINERSVILLE, PA.

O, mor hyfryd yr olygfa
Yn y dedwydd, hardd drigfanau,
'Fydd cael gweled teulu Seion
Wedi gwisgo'u gynau gwynion.

BYRDWN.

O, mor hardd fydd eu gwedd,
O, mor hardd fydd eu gwedd,
Pawb yn canu byth heb dewi,
Mewn môr didrai o hedd.

Mae yno rai o'r cynddiluwiaid,
A rhyw lu o'r patriarchiaid,
Wedi dechreu canu'r anthem
'R hon na welir arni orphen.
O, mor hardd, &c.

Gwelir Moses a'i chwaer Miriam,
'R hon fu gynt yn chwareu'r dympan,
Wrth gofio'r waredigaeth hono,
Pan yn ffoi rhag byddin Pharo.
O, mor hardd, &c.

Fe fydd Lot, fu yn Sodoma,
Yno'n melus gofio'r boreu,
Pan ddaeth angel gwlad goleuni,
Wrth arch Duw i gadw'i deulu.
O, mor hardd, &c.

Fe fydd Joel a Jeremiah,
Grasol weision y Jehofah,
Yno'n canu heb ddim galar,
Wedi eu cyrchu o bob carchar.
O, mor hardd, &c.

Ni fydd yno un Goliah
I warthruddo plant Jehofah,
Nac un Ismael mwy i'w herlid,
Oddi fewn i'r Ganaan hyfryd.
O, mor hardd, &c.

Fe geir gweled plant caethiwed
Wedi derbyn gwir ymwared,
A'r rhai welwyd gynt yn wylo,
'N awr a'r delyn rhwng eu dwylo.
O, mor hardd, &c.

Fe fydd bechgyn caethglud Judah
Wedi cyrhaedd i'r Gymanfa,
Yn eu plith bydd Daniel hynod,
'R hwn fu gynt yn ffau y llewod.
O, mor hardd, &c.

Yno mae yr hen Simeon
Wedi croesi rhydiau'r afon,
Ac mae'n dweyd yn mhlith y dyrfa,
Dacw'r gwr fu rhwng fy mreichiau.
O, mor hardd, &c.

Mae yno dorf o'r hen ferthyron,
Yno'i gyd o dan y goron,
Wedi myned yn ddiangol,
'Nawr maent fry'n y ddinas freiniol.
O, mor hardd, &c.

Mi ddych'mygaf yn y canol,
Gwelaf Paul, yr hen apostol,
Yno'n codi gerllaw'r Ceidwad,
I roi darlith ar ei gariad.
O, mor hardd, &c.

Golwg hardd fydd ar y teulu,
Rhai fu yn y llwch yn llechu,
Wedi dyfod trwy bob trallod,
'N awr mewn hedd ar wedd eu priod.
O, mor hardd, &c.

Fe fydd swn caniadau'r seintiau
Yn dadseinio'r eangderau,
Pan yn rhoddi mawl i'r Duwdod,
Am eu cannu'n ngwaed y cymod.
O, mor hardd, &c.

Fe fydd meibion hyna'r Duwdod
O, mor syn mewn dirfawr syndod,
Pan yn gwrando pêr ganiadau
Seion Duw ar ol dod adrau.
O, mor hardd, &c.

Fe fydd bechgyn y chwech aden
Yn y llu yn llon a llawen,
Wedi peidio a'u telynau,
Ac yn gwrando teulu'r doniau.
O, mor hardd, &c.

Fe geir clywed sain seraphiaid,
A'r golenbur lân gerubiaid,
Ond mwy melus a mwy hyfryd
Fyth fydd cân y rhai a olchwyd.
O, mor hardd, &c.

'R wyf yn erfyn gwelir finau,
Yn ddiderfyn yn y dyrfa,
A fy holl gyfeillion mwyngu,
Yno'n mhlith y duwiol deulu.

O, mor hardd fydd eu gwedd,
O, mor hardd fydd eu gwedd,
Pawb yn canu, byth heb dewi,
Mewn môr didrai o hedd.

---

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### CHINA.

I.

Er mwyn y darllenydd, ac i sicrhau amrywiaeth, rhoddwn y mis hwn, a dichon y nesaf, gipdrem ar y wlad hynod hon yn ei gwahanol agweddion. Cawn wrth hyn ddrychfeddwl, er fe ddichon yn anmherffaith, ar faintioli, sefyllfa wleidyddol, moesol a chrefyddol, y diriogaeth bwysicaf o'r holl diriogaethau paganaidd ag mae yr efengyl heddyw yn gwynebu arnynt.

Mae China yn wlad nad oes ei chyffelyb, mewn maintioli, cyfoeth (ond yr hwn sydd i raddau yn guddiedig eto), a hynafiaeth, a phethau eraill allesid eu henwi, ar wyneb y ddaear. Golcha y môr ei glenydd am dros 3,000 o filldiroedd. Mae ynddi anialdir eangach na'r un arall, ac mae diffrwythder yn teyrnasu arno; a dyffrynoedd mor ffrwythlawn ag y tywynodd haul arnynt erioed. Mae un o'r dyffrynoedd mawrion a ffrwythlon hyn yn meddu arwynebedd ag sydd gymaint arall a holl dir-

iogaethau yr Ymerodraeth Germanaidd. Nid yw ychwaith ar ol i un wlad yn lluosawgrwydd a maintioli anferth ei hafonydd. Mae yr Hoang-Ho, yn China, dair gwaith yn hirach na'r Ohio, tra mae yr Yangtze yn hirach na'r Mississippi, ac yn dyhysbyddu tiriogaeth ag sydd yn llawer eangach na'r oll ag sydd yn perthyn i weriniaeth Mexico. Dywedir fod un rhan o ddeg o'r trigolion yn tynu eu cynaliaeth o ddyfroedd y wlad. Yn ol yr hysbysiadau a roddir gan y teithwyr diweddaraf yn China, mae ei chyfoeth mewn glo a gwahanol fwnau, tu hwnt braidd i gyfrif. Hysbyswyd, dros 20 mlynedd yn ol, fod ei glo feusydd ugain gwaith yn fwy na'r holl feusydd glo yn Ewrop; ac nid yw adnabyddiaeth gwell â glo feusydd y wlad yn tynu dim oddiwrth y dywediad uchod, ond yn hytrach dangosa eu bod yn llawer helaethach na'r amcangyfrif a wnaed y pryd hwnw. Medda ar bob amrywiaeth a ddymunir yn uchder ei thiroedd, o wastadedd y môr i'r llinell lle y cartrefa eira oesol. Coda y ffordd fawr sydd yn rhedeg o Canton i Peking, 8,000 troedfedd uwchlaw gwastadedd y môr. Mae amrywiaeth braidd diderfyn yn ei hinsawdd. Bydd yn oer iawn ar brydiau yn Peking, tra nad yw yr hin-fesurydd ond anfynych yn myned yn is na 50 gradd yn Canton. Tyfa pob math o goed yno, ac y mae ynddi hinsawdd ag sydd yn ffafriol i dyfiant unrhyw blanigyn sydd yn dod trwy y ddaear. Nid oes ychwaith greadur wedi ei greu na all gartrefu yn gysurus yn rhai o ddyffrynoedd, afonydd, bryniau neu fynyddoedd China. Cymer China iddi ei hun un ran o dair o holl Asia, ac un rhan o ddeg o'r holl ddaear.

Gorchwyl anhawdd iawn yw cael drychfeddwl cryno ac eglur o wlad mor fawr. Beth bynag, cynorthwyir y darllenydd, fe allai, trwy i ni ddweyd fod China yn saith o weithiau gymaint a Ffrainc, yn bedair a-deugain gymaint a Phrydain Fawr a'r Iwerddon, ac yn 1,300 o filldiroedd ysgwar yn fwy na'r oll o Ewrop. Pe torid China yn ddarnau, gallwn gael o honi 104 o diriogaethau, a phob un o honynt gymaint a Lloegr, neu 176 o ddarnau oll o'r un maint a Scotland. Rhaner China yn filldiroedd ysgwar, a gosodir y milldiroedd hyny yn ben-yn-ben, cymerai i'w teithio 450 o flynyddau, a theithio 30 milldir bob dydd.

### POBLOGAETH CHINA.

Mewn gwlad fawr, os yw yn cael ei phoblogi o gwbl, dysgwyliwn yn naturiol am lawer o drigolion, ac yma ni a'u cawn hwy. Ofer yw dysgwyl am ddim fel cywirdeb mewn cysylltiad a'r oll o'r wlad fawr hon, am nad oes dim cyfrif o'r trigolion yn cael ei gadw mewn rhai manau o honi, megys Thibet a Tartary. Mae y llwythau yn y rhanau uchod yn ymfudo o fan i fan yn barhaus, ac y mae eu cyfrif yn gywir bron yn anmhosibl. Modd bynag, nid felly gyda'r hyn a elwir *China proper*. Gwir, fod llawer o ddadleu ac amheu am gyfrif y trigolion yn y wlad a adnabyddir wrth yr enw uchod. Gesyd rhai y rhif dros bedwar can' miliwn; eraill yn llawer llai na hyny. Cydnabyddir yn gyffredin mai un o'r awdurdodau goreu, os nad y goreu, ar y pwnc hwn, yw y Llys-genadwr Chineaidd yn Paris, yr hwn yn ddiweddar a ddywedodd fod poblogaeth ei wlad yn llawn 400,000,000. Ond aroswn am fynyd. Pwy fedr amgyffred y fath swm aruthrol? Wrth beth y cydmarwn y rhif uchod? Mae dwy o'r deunaw o'r trefedigaethau Chineaidd yn cynwys mwy o drigolion na'r oll o Brydain Fawr a'r Iwerddon gyda'u gilydd. Cynwysa Peking yn unig fwy o drigolion na'r oll o ynys Jamaica. Yn yr holl wlad mae yn agos ddeng waith gymaint ag sydd yn yr Unol Dalaethau; un rhan o dair yn fwy nag a fedda holl wledydd Ewrop; dau cymaint ag sydd yn Affrica, Gogledd a Deheu America, ac Oceanica, gyda'u gilydd. Cynwysa China un ran o dair o boblogaeth y byd i gyd. O bob plentyn sydd yn cael ei eni i'r byd yma mae y trydydd yn Chinead, ac yn cael canu iddo gan fam Chineaidd, ac yn gwynebu ar fywyd o'r fath druenusaf, o'i Alpha i'w Omega. O'r miloedd sydd yn cael eu taro gan angau i'r llwch bob dydd, mae y trydydd

o hyd yn Chinead. Mae 33,000 yn ddyddiol yn cael eu symud i fangre lonydd y bedd, o Chineaid yn unig. A beth am eu sefyllfaoedd yno? Dichon nad yw y swm uchod yn synu llawer ar ambell un; ond i yru y syniad adref, meddylir fod y swm uchod yn marw yn New York yn ddyddiol, byddai yr holl ddinas wedi ei diboblogi mewn oddeutu mis. Nis gellir gwneyd dim dros y llu mawr sydd wedi ei symud, ond diamheu y gellid cynorthwy llawer mwy ar y rhai sydd eto ar ol, yn ymdrybaeddu yn nhywyllwch anwybodaeth pe bae yr holl eglwysi yn teimlo dros druenusrwydd sefyllfa y Chineaid, ac yn cael eu cynhyrfu gan ysbryd a chariad yr Athraw Mawr, drostynt hwy ac eraill yn yr un sefyllfa.

CRISTIONOGAETH YN CHINA.

Mae yn dra thebyg fod Cristionogaeth wedi ymweled â gororau y wlad yn dro boreu. Yn ol haneswyr cyfrifol cawn fod y Cristionogion Nestoraidd wedi danfon cenadon yno mor foreu a'r chweched ganrif, ac yr oedd llwyddiant mawr ar eu llafur tua diwedd y seithfed ganrif; ond yn y nawfed ganrif cyfarfuasant ag erledigaeth chwerw, gwasgarwyd hwy i wahanol gyfeiriadau, a gwnaed temlau paganaidd o'u heglwysdai. Mae gan yr eglwys Babyddol genadon yno er ys amryw ganrifoedd, ond bychan iawn yw eu llwyddiant wedi bod drwy yr holl amser. Yn ddiweddar gwnaeth ymdrech egniol i ymhelaethu ei therfynau. Yn 1870 honai y Babaeth fod ganddi 404,530 o gymunwyr yn China. Cawn fod eglwys Roegaidd yn Peking er y flwyddyn 1685, a phedair blynedd yn ddiweddarach ffurfiwyd cytundeb rhwng Rwssia a China, yr hwn oedd yn cynwys, yn mhlith pethau eraill, sefydliad coleg o offeiriaid Groegaidd yn mhrif ddinas China. Ond er cael y rhyddid hwn, er ys blynyddau bellach, nid oes ymdrech o gwbl, hyd yn ddiweddar, wedi ei wneyd gan neb o'r offeiriaid i broselytio neb o'r Chineaid i'w ffydd hwy.

Y cenadwr Protestanaidd cyntaf yn China oedd yr enwog Robert Morrison. Danfonwyd ef yno gan Gymdeithas Genadol Llundain, a thiriodd yn Canton yn y flwyddyn 1807. Nis gallasai y gwaith byth gael ei ddechreu gan gymwysach dyn. Meddai Morrison ddysg a gwybodaeth helaeth, pen i gynllunio, calon i weithio, a phenderfyniad dwfn i fyned yn mlaen trwy bob rhwystrau. Pan aeth yno nid oedd pethau yn gyfleus iddo i gario yn mlaen yr hyn yr oedd wedi myned yno er ei fwyn; felly bu am beth amser yn gwasanaethu yr *East India Company*. Cyfansoddodd Eiriadur Chineaidd ar gais y Cwmni, a chyfieithodd yr holl Feibl yr un adeg. Llafuriodd Morrison yn China am chwe' mlynedd wrtho ei hun, yna ymunwyd ag ef gan yn enwog William Milne. Dyn llawn o'r Ysbryd Glan, fel Morrison, oedd Milne. Yr oedd wedi ei gymwyso gan Dduw i dreulio mewn gwlad fel China. Pan yn 16 oed treuliai oriau yn y nos mewn gweddio Duw, yn y corlanau defaid oedd ar fryniau Scotland, yn ei wlad enedigol. Yn y flwyddyn 1814 y bedyddiodd Morrison y Chinead cyntaf, a chyhoeddodd y Testament Newydd yn iaith y brodorion. Yn 1818 cyhoeddodd ef a Milne yr Hen Destament a'r Newydd yn yr iaith hono. Erbyn y fl. 1841 yr oedd 58 o genadon wedi cyrhaedd China. Bu raid i'r cenadon oll symud i'r porthladdoedd ag oeddynt mewn cytundeb â gwledydd eraill yn 1842. Yr oedd y rhai hyn yn bump o nifer. Bu yr holl genadon yn awr am 18 mlynedd yn cyfyngu eu llafur i'r pum' lle uchod. Ond yn 1860 agorwyd deg o borthladdoedd newyddion i dramorwyr yn Ngogledd China, a'r afon Yangtze, ac oddiar hyny mae braidd yr oll o'r wlad yn rhydd i neb pwy bynag. Gwnaed hyn gan y Chineaid eu hunain, ac heb eu gorfodi gan neb. Pob peth sydd bosibl i Dduw.

---

**—Bradlaugh, yr atheist, yr hwn sydd wedi cael ei sedd yn Nhy y Cyffredin Prydeinig, yw y dyn yr hwn mewn darlith gyhoeddus a gymerodd ei oriawr, ac a herfeiddiodd yr Hollalluodd i'w ladd mewn tair mynyd. Fel pe buasai hyny yn profi unrhyw beth heblaw ffolineb a chabledd Bradlaugh.**

## HANESION CARTREFOL.

CYHOEDDIADAU Y PARCH. BENJAMIN THOMAS (MYFYR EMLYN).

Dymunir ar bawb ydynt am gael gwasanaeth Mr. Thomas, i ohebu o hyn allan â'r personau canlynol:

Yn Nwyreinbarth Pennsylvania, goheber â Benjamin Hughes, Ysw., Hyde Park, Lackawanna Co., Pa.

Yn Ohio a Gorllewinbarth Pa., â D. Lloyd Jones, Ysw., 174 Wood Street, Pittsburgh, Pa.

Yn Nhalaeth New York, ag Evan Roberts, Ysw., Remsen, N. Y.

Hyderwn yn fawr y caiff Mr. Thomas y derbyniad a deilynga. Cofier mai nid yn aml y ceir mantais i glywed y fath lefarwr a Mr. Thomas. Bydded i bob eglwys wneyd y trefniadau mewn pryd. Dysgwylir y bydd y brawd wedi cyrhaedd erbyn Awst 1af neu'r 2il.

YMADAWIAD Y PARCH. C. JONES, M.A., COALBURG.

*Mr. Gol.*—Gosodir fi dan orfodaeth gysegredig i argymeryd a dweyd gair neu ddau ar ymadawiad yr hoffus a pharchus Parch. C. Jones. Mae yn wir nad yw hawl profiad personol yn fy awdurdodi i ddweyd dim am dano yn ei gysylltiadau gweinidogaethol a dyngarol yn y lle hwn, ond dweyd oddiar yr awdurdod a roddir i mi gan y farn uchel a'r teimladau cynes a fodola yn yr eglwys a'r ardal tuag ato. Yr wyf wedi bod yn siarad ag amryw yn ei gylch oddiar pan wyf yn y lle, ac yn llygad-dyst o hyawdledd eu dagrau tra yn ceisio dadgan eu teimladau dwys o barthed y bwlch a welir, y golled a deimlir yn ein cymdeithasau crefyddol a dyngarol. Yr oedd ef, yn anad neb, yn arfer bod yn nerth ysgwydd gyda phob mudiad daionus yn y lle. Gweinidogaethodd yn yr eglwys hon am yn agos i bedair blynedd, ac y mae ei drefnusrwydd clodwiw mewn cymdeithas, a'i ymdrech diflino bob amser, yn mhob amgylchiad, i ddefnyddio ei gyfleusderau i fendithio eraill â'i weithredoedd hyglodus, yn edmygadwy, a theilwng o efelychiad. Pan y cymherir hanes ei flynyddau boreuaf â'i flynyddau olaf, argymhellir ni i ddweyd fod ei enedigaeth fel Cristion yn America wedi cryfhau ei elfenau hunan-ymddyrchafol yn gymaint, nes awyddodd i osod nôd o'i flaen, at yr hwn y cyrchodd ar draul aberthiad chwys ei dalcen, trwy weithio yn galed â *phic* a *rhaw*. O'r sefyllfa isel yma y mae llawer o apostolion deall ac arglwyddi calon wedi ymddyrchafu i ben bryn anrhydedd. Trwy lafur caled ymddyrchafodd Cook anturiaethus, a Burns y bardd. Eilliwr oedd yr anfarwol Tenderton, yr hwn a gododd i fod yn Arglwydd Brif Farnwr. Hugh bach y saer maen fu Hugh Miller, darllenydd *hieroglyphics* Duw yn y creigiau; a'r llenor byth-gofus John Foster fu yn wehydd bychan. Coblerwyd llawer esgid gan Carey, apostol India; a theg yw dweyd, torwyd llawer tunell o lo gan y Parch. C. Jones, M. A., Coalburg. Duw yn rhwydd iddo yn ei faes newydd, i yfed eto'n helaeth o ffynon dysg, a bod yn ber-arogl Crist i Dduw yn y weinidogaeth. Credwyf fod ei ymadawiad o Coalburg wedi bod yn offerynol i gyneu mwy o dân cariad ar allorau serch yr eglwys a'r ardal tuag ato ef a'i briod, nag y gall holl ddyfroedd oerion pechod yn y greadigaeth ei ddiffodd. Nid bychan oedd fy nyddordeb yn nghyfarfod ymadawol Mr. Jones a'i briod, yn yr hwn yr oeddwn yn llygad-dyst o'r anrhegion tlysion a gwasanaethgar a gawsant. Ond, yn ol fy marn i, yr anrhydedd penaf i Jones a'i briod oedd y teimladau cynes a ddylifai tuag atynt o'r gynulleidfa. Nid pregethu teimladau oedd yma, ond teimladau yn pregethu. Gwelid ambell i ddeigryn gloew o ffynon serch yn gwneyd ei ymddangosiad, yr hyn sydd yn fwy o goron ar eu penau na holl *diplomas* y greadigaeth.

Fe deimlodd Jones yn moreu 'i oes
  Hunaniaeth anorchfygol,
A phenderfynodd, er pob croes,
  Gael addysgiadau buddiol;
Daeth fyny'n hy' o ris i ris,
  Mewn gallu ac arwredd,

A heddyw'n eistedd gwelir ef
Ar orsedd aur anrhydedd.

Arogli'n bêr o Iesu Grist
Y mae ei weinidogaeth,
A'i fywyd yn argraffiad byw
O'r hyn yw ei ddysgeidiaeth;
Yn nrych ei fywyd gwyn y mae
Portread o'r gwir Gristion,
A welir gan yr eglwys hon,
A phawb o'r ardalyddion.

Na foed i gwmwl ddod uwchben
Y bywyd hwn o'i eiddo,
Fel gwelir ganddo hyd ei fedd,
Ogoniant Duw'n dysgleirio;
Ei briod hoff ac ef yn un
Fo dan awenau'r nefoedd,
Nes caffont fyned trwy y llen
I wlad y pur ysbrydoedd.

G. H. (AFALWY).
*Coalburg, (gynt o D. C.)*

---

CYFARFOD YMADAWOL Y PARCH. CHAS. JONES, M. A., COALBURG, O.

Nos Lun, Mehefin yr 28ain, cynaliwyd y cyfarfod uchod yn nghapel y Bedyddwyr yn Coalburg. Wedi ethol y brawd Thomas M. Mathews Hubbard, yn llywydd y cyfarfod, y brawd Thomas Thomas, Sharon, yn ysgrifenydd, a Mr. Richard Lewis, ysgolfeistr, Coalburg, yn organist, dygwyd y cyfarfod yn mlaen yn y drefn ganlynol: Dywedodd y llywydd ei fod yn teimlo yn ddiolchgar am gael yr anrhydedd o lywyddu y cyfarfod, a'i fod yn teimlo yn llawen i weled teimladau mor gynes a charedig yn bodoli yn yr eglwys a'r ardal tuag at Mr. Jones, yr hwn oedd wedi eu gwasanaethu yn ffyddlon am yn agos i bedair blynedd. Yna rhoddodd anerchiad barddonol hynod darawiadol, yn arddangos cymwysder Mr. Jones fel gweinidog, ei ddidwylledd fel cyfaill, ei allu fel ysgolhaig, a'i fedrusrwydd fel pregethwr. Yna cafwyd cân agoriadol, "Hen Wlad fy Nhadau," yn Gymraeg a Saesneg, gan Mr. David S. Jones. Adroddiad, "Y Meddwyn," gan Mr. William Jones. Cân yn Saesneg, "Don't be angry with me, Darling," gan Miss Mary Williams. Cân, "Y Bwthyn bach To gwellt," gan Mr. Gwilym Thomas. Adroddiad, "Nid aur yw pobpeth melyn," gan Mr. Edward S. Edwards. Cân, "Yr adar yn canu Cymraeg," gan Mr. William Jones. Cân, "Y Fwyalchen," gan Miss Mary Ann Evans. Cân "Say a kind word when you can," gan Mr. John Jones, Cleveland Shaft. Cân, "Gwna bobpeth yn Gymraeg," gan Mr. Gwilym Thomas. Deuawd, "When the warbling waters flow," gan Mrs. Thomas Thomas a Miss Mary Ann Evans. Adroddiad emyn gan Mr. George Edwards; bachgenyn bach ffaeledig oedd hwn, yn sefyll wrth bwys ei ffon, ac yn adrodd yn effeithiol. Cân a chydgan, "Yr Ardd," gan Mr. William Jones a'i barti. Yn nesaf galwyd ar Mr. Evan Evans yn mlaen, un o ddiaconiaid hynaf yr eglwys, i gyflwyno ar ran yr eglwys anrheg werthfawr i'r Parch. Chas. Jones, M. A., sef cadwyn aur o'r fath oreu, gwerth $40.00. Yr oedd yn gysylltiedig a'r gadwyn ddarn aur, ac wedi ei gerfio arno, "Presented to Rev. Charles Jones, M A., by his church at Coalburg, June 28th, 1880." Galwyd yn nesaf ar Mr. William Jones, ar ran y gwrandawyr a'r ardal, i gyflwyno i Mr. a Mrs. Jones anrhegion gwerthfawr a defynddiol, sef lounge a lamp ardderchog i Mr. Jones, a chadair dlos, yn nghyd a silver butter knife, i Mrs. Jones, gwerth $27.00. Derbyniodd Mr. Jones yr anrhegion gyda'r teimladau mwyaf gwresog, a chydnabyddodd yr eglwys a'r gwrandawyr yn y modd mwyaf diolchgar am eu teimladau da, a'u caredigrwydd tuag ato, nid yn unig yn y rhoddion hyn, ond yn ystod yr holl amser y bu yn llafurio yn eu plith. Dangosodd fod yr eglwys a'r gwrandawyr yn ngwyneb tlodi amgylchiadol yr ardal wedi ymdrechu talu yn gyson fis ar ol mis at y weinidogaeth, ac fod ei galon ar ei ymadawiad oddiwrthynt yn orlawn o ddiolchgarwch iddynt, a theimladau gwresog tuag atynt. Wedi i Mr. Jones eistedd cafwyd anerchiad bywiog a chynwysfawr gan Mr. William Jones, yr hwn sydd yn un o'r gwrandawyr mwyaf cyson. Dywedai ei fod yn coleddu meddwl uchel am Mr. Jones fel ysgohaig

a phregethwr, ond mai nid yn y cysylltiad hwnw y dymunai siarad am dano, eithr yn benaf yn ei gysylltiad a'r Gymdeithas Iforaidd yn y lle. Dywedai ei fod wedi bod yn noddwr ac yn gyfarwyddwr da iddynt er cychwyniad y gymdeithas, ac y byddai i'r gymdeithas deimlo colled yn ei symudiad o'u plith, ac fod Mr. Jones yn ddyn nid yn unig i'r eglwys, ond i'r ardal yn gyffredinol. Er mwyn cael digon o amrywiaeth, a chadw dyddordeb y cyfarfod i fyny, cafwyd yn nesaf driawd, "When shall we three meet again," gan Mr. Gwilym Thomas a'i barti. Anerchiad eto gan Mr. William Williams, un o ddiaconiaid yr eglwys. Teimlai Mr. Williams eu bod yn colli gweinidog ffyddlon a da, a phregethwr rhagorol. Dymunai o'i galon i Dduw ofalu am dano, ei gynal fel seren oleu yn ffurfafen ei eglwys, a'i lwyddo yn ei ymdrechion i gael dynion at y Gwaredwr. Cafwyd anerchiadau byrion hefyd gan y Parch. John Davies (A.), Coalburg, a David S. Jones, ac yr oeddynt oll yn siarad yn ffafriol am Mr. Jones, ac yn cyflwyno iddo eu dymuniadau goreu ar ei ymadawiad o'n plith. I ddiweddu y cyfarfod canodd Mr. John J. Jones y gân ymadawol, sef y "Gadair Wag." Felly y treuliasom un o'r cyfarfodydd mwyaf dymunol, a phawb yn ymddangos wrth eu bodd, ac yn dymuno hir oes i Mr. Jones wneyd daioni. Wrth derfynu, dymunwyf o galon lwyddiant i'm brawd yn ei faes newydd, a bendith Duw a'i dilyno ef a Mrs. Jones trwy eu hoes.—*Thomas Thomas, Sharon, Pa.*

---

BERLIN, WIS.

*Mr. Gol.*—Meddyliais, yn gymaint ag nas gwelais air yn y WAWR, o'r parth hwn er's tro, yr ysgrifenwn ychydig linellau, i roddi gwybod i chwi a'ch darllenwyr ein bod yn dal yn gadarn yn y ffydd hyd yn hyn, a bod achos Crist yn llwyddo. Y Sabboth diweddaf yn Mai adferwyd dau, a bedyddiwyd un-ar-ddeg, y Parchn. Page ac Evans yn gweinyddu. Daeth torf fawr yn nghyd i lan yr afon i weled y bedydd. Ein gweddi yw ar fod i'r gwaith fyned yn ei flaen, nes y bo pawb yn ceisio iachawdwriaeth yn Nghrist. Mae ein hysgol Sabbothol yn cynyddu. Byddai yn anhawdd dod o hyd i well mynegiad nag a allwn ni roddi am y tri mis diweddaf, ac ystyried y lle a'r manteision sydd genym i gael dysgyblion newyddion. Y rhif cyffredin ydoedd 39. Rhif yr adnodau a adroddwyd oeddynt uwchlaw 6,000; ac mae aelodau yr ysgol yn ymddangos yn teimlo dyddordeb mawr yn ei llwyddiant. Llwydded Duw y gwaith. Yr eiddoch—*Samuel J. Thomas.*

---

SHAMOKIN, PA.

*Damwain Angeuol.*—Prydnawn dydd Iau, Mehefin 3, cymerodd damwain alaethus le yn ngwaith glo Henry Clay No. 1, yr hon a derfynodd yn angeuol i un o'n cydgenedl, o'r enw William Reynolds, trwy i ddarn o'r nenfwd syrthio arno pan wrth y gorchwyl o barotoi i saethu darn o'r *pillar*. Niweidiwyd ef yn y fath fodd fel y bu farw pan ar y ffordd adref.

Yr oedd yn ddyn ieuanc parchus a chymeradwy; mab ydoedd i Thomas a Margaret Reynolds, y rhai a ddaethant i'r wlad hon o Brynmawr, D. C. Buont yn trigianu flynyddau yn ol yn Minersville, Pa.; wedi hyny yn Bear's Gap, ac a ddaethant i Shamokin tua 14 mlynedd yn ol. Yr oedd y trancedig yn 25 mlwydd, 9 mis, a 17 diwrnod oed. Yr oedd yn ddyn ieuanc heinyf, bywiog, cyfeillgar, a thra pharchus, a hoff gan y lluaws, fel y gwireddwyd hyny ar ddydd ei angladd, yr hwn a gymerodd le ar y Sul canlynol, sef y 6ed.

Yr oedd yn aelod mewn amryw o'r cymdeithasau dyngarol sydd yn y dref. Perthynai hefyd i *Co. B* o'r *National Guards of Pennsyluania*, y rhai a gymerasant y flaenoriaeth yn yr orymdaith; yna yr *Odd Fellows*, tri o'r *Fire Companies*, ac yn canlyn dorf aruthrol o ddinasyddion. Hwn oedd yr angladd lluosocaf, mae'n debyg, a fu yn Shamokin erioed. Canfyddasom hefyd yn yr angladd lu o ddyeithriaid, megys perthynasau a chyfeillion

i'r teulu, o Minersville, Mount Carmel, Centralia, a Taylorville, yr hyn sydd yn eglur ddangos eu bod yn gymeradwy a mynwesol gan eu cydnabod yn mhob man.

Gweinyddwyd ar yr achlysur, yn y ty, gan y Parch. Danl. T. Davies, yn Gymraeg. Gorymdeithiwyd oddiyno i gapel yr M. E., lle y pregethwyd gan y gweinidog, y Parch. —— McMurray, yn Saesonaeg. Ar ol myned i'r gladdfa a rhoi yr hyn oedd farwol o'r ymadawedig yn y bedd, anerchwyd y dorf yn Saesoneg gan y Parch. D. T. Davies, darllenodd yr Odyddion eu llith angladdol, a thaniodd y milwyr dair *volley* dros ei fedd. Rhoddwyd ef i'w gadw hyd foreu caniad yr udgorn, pan y dymunwn y daw i fyny gyda'r adgyfodiad cyntaf. Ei le sydd yn wag yn y teulu; nid edwyn mo hono mwy. Dwys gydymdeimlwn â'i rieni a'i berthynasau galarus a thrallodus yn y brofedigaeth chwerw ac annysgwyliadwy hon.—*Ann W. Davies.*

---

TAYLORVILLE, PA.

Mae y Parch. D. W. Morris wedi ateb galwad yr eglwys uchod yn gadarnhaol, a bydd yn dechreu ar ei weinidogaeth yno y Sabboth cyntaf o Awst. —*Wm. T. John.*

---

MOUNT CARMEL, PA.

*Mr. Gol.*—Y mae genyf i'ch hysbysu ein bod wedi gorphen ein capel a'i agor oddiar yr 20fed o Gorphenaf. Pregethodd y brawd o Ashland nos Sadwrn, a'r brawd anwyl Edwards, Wilkesbarre, boreu Sabboth, yn Gymraeg, a dau o frodyr o'r dref hon am 2 yn y prydnawn, yn Saesoneg; a'r brawd Edwards o Wilkesbarre yn Saesoneg yn yr hwyr, a Thomas, Mahanoy, yn Gymraeg. Cawsom gyfarfodydd da iawn trwy y dydd. Y mae genym y lle mwyaf dymunol yn y dref i addoli yn awr.

Y mae ein capel yn agored yn awr i bwy bynag a ddel heibio, i roddi pregeth, ond nis gallwn sicrhau ond ychydig iawn o gymorth arianol i neb, ond gobeithio na fydd i neb ddiystyru dydd y pethau bychain, ond gweddio am i'r fechan fyned yn fil, a'r wael yn genedl gref. Yr eiddoch—*William T. Lawrence.*

---

CYWIRIADAU.

Yn hanes Cymanfa Bedyddwyr Ohio a Gorllewinbarth Pa., yn y rhifyn diweddaf, yn y 5ed pen., yn lle "amddifadrwydd," darllener "anaddfedrwydd." Dan y peniad *Pregethwyr Cynorthwyol*, ar ol enwau D. Lloyd Jones a D. Jones, yn lle "Frostburgh," darllener "Pittsburgh." Dylai enw Joseph T. Jones fod yn mhlith y gweinidogion heb ofal eglwysi.

Cefais nodyn o Dennison yn fy hysbysu fod Iago W. James wedi rhoddi gofal yr eglwys yno i fyny er's rhai misoedd, ac felly na ddylai ei enw fod ar gyfer eglwys Dennison fel gweinidog. —*T. Thomas.*

---

*BEDYDDIWYD—*

*Drifton, Pa.*—Mehefin 13, 1880, gan y Parch. D. R. Davies, bedyddiwyd yma dri, ar eu proffes o'u ffydd yn Mab Duw. Gwnaeth yr Arglwydd bethau mawrion cyn yma, ac yr ydym yn gobeithio trwy ffydd y bydd yn parhau yn ei ddaioni tuag atom, ac i arddel llafur ei was, ein parchus weinidog, ac ateb gweddiau yr eglwys yn gyffredinol ar ran llwyddiant y deyrnas nad yw o'r byd hwn, fel y byddo llawer eto yn dyfod i chwilio am noddfa, cyn dyfod dydd mawr ac ofnadwy yr Arglwydd.—*Daniel H. Davies.*

---

*PRIODDWYD—*

**Gorph. 10, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, John H. Evans, o Providence, a Mary Havard, diweddar o Pittston, Pa.**

**Mehefin 19, yn Mahanoy City, gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. W. H. Williams a Miss Sarah Anne James, y ddau o Shenandoah.**

---

*BU FARW—*

**Y PARCH. JOHN HARRIES, WEATHERSFIELD, O.**

**Yr oeddwn wedi meddwl y buasai rhyw frawd wedi ysgrifenu ychydig linellau am y**

brawd Harries cyn hyn, ond nid wyf yn gwybod fod neb wedi gwneyd.

Nid wyf yn bwriadu i'r llinellau hyn fod yn gofiant i'r hen frawd, ond yn unig i ddatgan gair o'm teimlad tuag ato. Gwyr llawer fod y brawd John Harries yn hen aelod gyda'r Bedyddwyr er's blynyddoedd meithion, a'i fod hefyd yn pregethu yn achlysurol; hefyd, cafodd ei urddo yn weinidog er's rhai blynyddau, ond nid wyf yn deall ei fod wedi bugeilio yr un eglwys neillduol oddiar hyny hyd ddydd ei farwolaeth, ond yn unig pregethu yn achlysurol, fel y crybwyllwyd eisoes. Yr oedd wedi chwilio a darllen llawer ar ei Feibl, ac yr oedd yn dra hyddysg ynddo, a thrysorodd lawer o hono yn ei gôf. Pan oeddwn yn weinidog yn Mineral Ridge, Ohio, yr oeddwn yn cael mantais i ymddyddan a chyfeillachu llawer a'r hen frawd, ac nid oedd dim yn fwy hoff ganddo na chael rhyw frawd crefyddol i ymddyddan awr neu ddwy am bethau byd tragywyddol. Er nad oeddwn yn derbyn pob syniad o eiddo y brawd Harries, nac yntau bob syniad o'm heiddo innau, eto yr oeddem yn gyfeillion cynes er y cwbl.

Pe buasai y brawd Harries yn meddu ar ddawn ymadrodd da i osod allan ei feddwl, gallasai fod yn bregethwr tra defnyddiol; ond yn hyny yr oedd ei ddiffyg mwyaf neillduol. Mae yn debyg fod ei iechyd yn gwaelu er's rhai blynyddau, fel nad oedd yn alluog i wneyd nemawr. Rhywbeth tebyg i'r mogiant a'r diffyg anadl oedd arno. Yn gynar yr hydref diweddaf, aeth ef a'i briod i ymweled a'u mab tua St. Louis, gan feddwl y buasai y daith yn gwneyd ychydig o les iddo, a gwnaeth hyny am ychydig, ond aeth yn waeth yn fuan, a bu farw yn lled ddisymwth, a chladdwyd ef yno ar ddymuniad ei fab, lle yr erys hyd foreu y codi. Nid wyf yn gwybod ei oedran, ond meddyliwyf ei fod dros driugain.

Yr oedd yn yr hen frawd Harries lawer o rinweddau teilwng o'r Cristion, ac nid oedd amheuaeth yn meddwl neb a'i hadwaenai nad oedd yn Israeliad, a bod marw wedi bod yn elw iddo.

Yr oedd ef a'i briod yn hynod garedig a serchog i bawb a ymwelai â hwy fel teulu. Bu yn dda gan lawer o weinidogion pan yr ymwelent â chymydogaeth Weathersfield, gael troi i dy y brawd John Harries, lle buasent yn sicr o gael pob ymgeledd a chroesaw a allasai efe a'i briod serchog roi. Bendithied yr Arglwydd ei weddw a'i blant, sydd wedi eu gadael mewn galar ar ei ol, i ymostwng i ewyllys yr Arglwydd, ac ymofyn am ran mewn Cyfryngwr, fel y byddo iddynt gael ei gyfarfod yn y nefoedd.

*Wheatland.* D. EVANS.

MRS. CATHERINE JONES.

Mawrth 2, 1880, yn Mason City, West Va., bu farw yr hen bererines Catherine Jones, yn yr oedran teg o 92 mlwydd. Ni bu ond ychydig dros wythnos yn sâl, ac nis gellid nodi ei dolur yn arbenig, ond pwysau blynyddoedd a gwendid naturiol, a'r ffaith fawr, "Yr Arglwydd a gymerodd ymaith." Bu yn hynod amyneddgar yn ei byr gystudd, a gwelid yn amlwg y misoedd diweddaf arwyddion o addfedrwydd i'r ymadawiad.

Ganwyd hi yn y lle a elwir y Gareg-ystumllaeth, *Parcel* ysgubor coed, plwyf Llanguangel, Sir Aberteifi. Aeth oddiyno i Aberystwyth, lle y bu fyw hyd ei phriodas â John Jones (un o *filitia* Sir Gaerfyrddin). Priodwyd hwy yn eglwys Llanbadarn Fawr. Yn mhen rhyw ysbaid o amser daethant ill dau tua'r gweithiau, a bwriasant eu coelbren yn Blaenafon, lle y treuliasant lawer o flynyddoedd, gan ffurfio iddynt eu hunain gymeriadau gloyw, ac enill iddynt ymddiriedaeth drwyadl. Adnabyddid hi fynychaf yno wrth yr enw Kitty'r *Incline*, am mai yn agos i *dop* yr *Incline* yr oedd yn byw, &c.

Ymfudodd hi a'i phriod i'r wlad hon yn y flwyddyn 1852; ac wedi aros ychydig wythnosau gyda pherthynasau yn Utica, N. Y., daethant yn mlaen i West Columbia, West Va. (lle oddeutu dwy filldir oddi yma), gan ymgartrefu yno hyd y flwyddyn 1861, pryd y daeth angau atynt, gan gymeryd ymaith ei hanwyl briod, gan ei gadael yn wir weddw (canys ni bu iddynt blant). Teimlai ei hunigedd a'i cholled yn fawr trwy y gweddill o'i hoes, er na bu arni eisiau dim mewn ystyr o fara beunyddiol, &c. Yn ngwyneb ei hunigedd, ei henaint a'i methiant, penderfynodd eglwys Mason City godi ty bychan iddi hi ar *lot* y capel, er mantais iddi gael yr oll o'r gwasanaeth crefyddol, ac hefyd i'r frawdoliaeth gael cyfleusdra beunyddiol i ymweled â hi, a gofalu am dani yn mhob ystyr. Felly, dan nawdd a gofal yr eglwys hon y treuliodd hi y saith mlynedd diweddaf o'i hoes, a chafodd gladdedigaeth tywysoges, yr hyn sydd yn anrhydedd i'r eglwys fechan yn Mason City.

Dranoeth i'w marwolaeth, daeth lluaws o'r gwahanol genedloedd yn nghyd i'w hebrwng i dy ei hir gartref, er fod yr hin yn oer iawn, a chynaliwyd gwasanaeth crefyddol yn y capel gan yr ysgrifenydd, yn Saesoneg, a chludwyd ei chorph i fynwent West Columbia, yn ol ei chais, i orphwys wrth ochr ei phriod anwyl hyd foreu y dadebriad mawr, pryd y deuant o'r llwch yn hoenus ar wedd eu priod Iesu. Yn ol yr arferiad yma, pregethwyd pregeth angladdol ar yr achlysur yn y capel, yn Gymraeg, yn mhen tair wythnos, oddiwrth 2 Tim. 4: 8, gan yr ysgrifenydd.

*Rhai o nodweddion Catherine Jones.*—Nis gellir dyweyd ei bod, er iddi gael oes faith, gwersi afrifed, a blynyddoedd lawer, i gynyrchu profiad, wedi dadblygu yr oll o berffeithiau prydferthion ac aruchel y ddynoliaeth! Nis gellir dyweyd fod y tyner, y mwyn, y llednais, a'r tosturiol, &c., yn deithi amlwg yn ei chymeriad, ond i'r gwrthwyneb, byddai i raddau yn arw ei hymadroddion, yn drwsgl ei hymddygiadau, ac yn annymunol ei hargraff yn fynych.

Dirgelwch i lawer oedd fod ganddi gymaint o ffryndiau, oblegid triniai yn arw ei chymwynaswyr goreu.

Yr oedd Catherine Jones wedi gwneyd *hobi* iddi ei hun o fod yn ddidderbyn-wyneb wrth bawb, dyweyd y gwir, &c., a hyny mewn gwedd dipyn yn arw, gan ymylu ar fod yn sarug, heb ystyried fod yn hawdd gwneyd hyny ag ysbryd llednais, ac â geiriau tyner-fwyn, &c. Felly yn y plygiad diweddaf o'i *hobi* yr oedd yr hen chwaer, druan, yn rhwystro teithi swynol y ddynoliaeth rhag ymddangos yn ei chymeriad personol. Ond er hyny, hoffid Grannie, fel ei gelwid, yn fawr gan agos bawb a'i hadwaenai, yr hyn a brawf fod rhyw dda yn nglyn â hi, ac arferion y dylid eu hefelychu ynddi. Yr oedd yn amlwg fod ganddi barch neillduol i bawb oedd yn caru Iesu Grist, ac yn ymdrechu byw yn deilwng o hono, yn arbenig felly weision yr Arglwydd. Difyrus oedd ei chlywed yn adrodd helyntion llawer o bregethwyr Cymru, eu llwyddiant a'u haflwyddiant, &c., yn nghyd a rhyw ffraeth ddywediadau o'r eiddynt.

Bu ei thy yn gyrchfan i lawer pregethwr ieuanc, yn ogystal a mangre roesawus i'r gweinidogion parchusaf, llawer o honynt sydd wedi ei blaenori i'r "orphwysfa;" ond y mae rhai o honynt yn glynu eto, ac yn eu plith y Parch. D. Rhys Jones, Plymouth, Pa. Clywais ef yn dyweyd fod Kitty Jones yn wir gyfeilles i weinidog, a sicr yw ei bod hi yn gwybod heddyw mai da oedd ymddwyn yn garedig tuag at y rhai a eneiniodd yr Arglwydd.

*Ei ffyddlondeb yn y moddion, &c.*—Y mae ffyddlondeb ac ymdrech i ddyfod i'r cyfarfodydd, a chynulliadau Seion, yn awgrymu yn gryf fod ffyniant Seion yn anwyl yn ngolwg y cyfryw, ac mai yno hefyd y ceir defnyddiau cysur a chynydd ysbrydol—cyngorion dwys, addysgiadau da, rhybuddion sanctaidd, a'r gwres nefol hyny ag sydd yn adroddiad y profiadau crefyddol dan driniaeth yr Ysbryd Glan, &c Gellir dyweyd am Catherine Jones ei bod yn hynod am ei ffyddlondeb i ddyfod i holl gyfarfodydd yr eglwys, yn gymaint fel yr hiraethai am adeg cyfarfod i ddod. Tra yn y cwrdd, byddai yn effro a gwrandawgar, ac yn ymddangos fel wrth ei bodd yn mwynhau gwahanol ranau yr addoliad dwyfol. Gwir mai ar y cyfarfodydd crefyddol yma yr ymddibynai am ei diwylliant meddyliol a moesol, yn gymaint nad oedd yn medru darllen drosti ei hun; ond glynai yr hyn a glywai yn ei chof, fel yr oedd ganddi doraeth o'r Ysgrythyrau, dywediadau ffraeth-bert, a llawer o hymnau y cysegr yn barod i'w hadrodd yn hwylus, &c. Rhyfedd fel y byddai yn blasu clywed am frwydr Calfaria, a'r fuddugoliaeth gyflawn gafwyd yno! Tameidiau felly yn y bregeth wnai i Catherine ysgwyd gorph ac enaid, ac i ddangos yn allanol ddylanwad crefydd fel yr oedd.

Terfynwn hyn o nodiad trwy ddyweyd fod Catherine, ni a hyderwn, wedi diengyd ar gystuddiau y glyn, ac wedi cyrhaeddyd y cartref dedwydd, yn un o'r dyrfa a ddaeth o'r cystudd mawr, a'u gynau wedi eu cannu yn ngwaed yr Oen, oll yn uno i ganu tônau eu hymwared.

AP IEUAN.

WILLIAM MATHEWS, MINERSVILLE, PA.

Yr oedd William Mathews yn gymeriad ar ei ben ei hun, yn ddyn nad anghofid wedi dyfod i gyfarfyddiad ag ef unwaith. Y mae miloedd o Gymry gwasgaredig trwy y Talaethau yn gydnabyddus a'r enw. Dyn bychan o gorpholaeth ydoedd Mathews, ac o ymddangosiad eiddil, ond gwydn o wneuthuriad, ac wedi sefyll mwy o dywydd garw na llawer a ymddangosent yn gadarnach. Yr oedd yn ddyn penderfynol ac ymddiriedol, ac wedi enwogi ei hun yn Sir Schuylkill fel casglwr trethi (*tax collector*) heb ei ail, a chyfrifid ef gan y prif swyddogion fel *model man* yn y cyfeiriad hwnw, a gwobrwywyd ef ragor nag unwaith. Nid oedd arno ofn na Gwyddel nac arall. Mynai yr hyn oedd yn ddyledus oddiar y Mollie McGuire llofruddiog, yn ogystal a'r Cymro diniwed; ni phetrusai yn nghyflawniad ei ddyledswydd, a bu yn y swydd am hir flynyddau, gan roddi boddlonrwydd mawr, ac ymgyfoethogodd yn ei alwedigaeth. Meddai ar lawer o arabedd, callineb a hunan-feddiant; ac yn ngorchwylion cyffredin bywyd yr oedd yn gallu rhagweled yn mhell, fel ag i osod i lawr sylfeini ei lwyddiant bydol. Gellir dyweyd am dano ar yr ystyron hyn, ei fod yn gallach yn ei genedlaeth na phlant y goleuni.

Genedigol oedd Mathews o Merthyr Tydfil. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1806, ac ymfudodd i'r wlad hon pan yn 24 mlwydd oed, a gwnaeth Minersville yn arosle iddo ei hun. Er ei fod wedi crwydro yma a thraw cyn ymsefydlu, eto Minersville oedd ei gartrefle. Yn Beaver Meadow yr oedd pan ymunodd mewn priodas â Martha Llewelyn, o'r hon y cafodd ddeg o blant, pump o'r rhai sydd heddyw yn fyw, mewn amgylchiadau da, wedi cyd-gyfranogi o gyfoeth eu tad.

Gyda golwg ar ansawdd grefyddol ein gwrthddrych, yr oedd yn Fedyddiwr egwyddorol mewn barn, ac ni fedrai gwraig na gweinidog newid ei olygiadau parth bedydd y Testament Newydd, a daeth yn mlaen yn anterth bywyd i arddel ac i broffesu Crist yn y bedydd. Gweinyddwyd yr ordinhad yn ngwydd canoedd o edrychwyr gan y Parch. J. P. Harris, y pryd hwnw yn bugeilio praidd Duw yn Minersville. Y mae tua 32 o flynyddoedd oddiar pan y derbyniwyd ef yn aelod eglwysig. Nis gellir dyweyd fod ei fywyd crefyddol wedi bod yn ddifwlch, ond mewn llawer o bethau wedi pallu; ond gellir dyweyd ei fod yn *earnest* gyda phob peth yr ymaflai ei law ynddo. Os yn gamsyniol, yr oedd yr un mor benderfynol, a diau ei fod wedi gweled llawer o'i gamsyniadau cyn marw, ac wedi cyfnewid ei feddwl gyda golwg ar bethau a phersonau.

Ail-briododd ryw 22 mlynedd yn ol, gan gymerod Mrs. Elizabeth Davies, o Patten's

Valley, ger Minersville, yn wraig, yr hon, fel ei wraig gyntaf, fu iddo yn ymgeledd gymwys, yn ffyddlawn weini arno hyd y diwedd, ac y mae mewn galar a hiraeth mawr ar ei ol. Y breichiau tragywyddol a'i cynalio hyd ben y daith. Do, bu Mr. Mathews farw. Bu yn graddol ddihoeni am gryn amser, ond wedi cystudd byr torwyd ef yn sydyn o dir y rhai byw, tra yn galw ar enw yr Arglwydd. Ymadawodd Chwefror 22, yn 73 mlwydd oed, ac y mae genym le i obeithio, o herwydd mawr drugaredd Duw, a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, mai pechadur wedi ei achub ydyw. Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. R. Edwards, Pottsville, a thraddodwyd y bregeth angladdol gan y Parch. John P. Harris, Providence, Pa., oddiar 2 Tim. 1 : 10. A'i le nid edwyn ef mwyach; ffordd yr holl ddaear yw'r bedd.

"Tua'r bedd o hyd 'rwy'n tynu,
Rho im' arwydd er daioni."

HEN FUGAIL.

### MRS. ELLEN DAVIES.

MR. GOL.—Daeth i fy rhan i ysgrifenu ychydig o gofiant i fy chwaer Ellen Davies, priod i Richard E. Davies, Springwater, Waushara Co., Wis., yr hon a fu farw Mawrth 5ed, 1880, wedi hir gystudd o'r darfodedigaeth. Bu yn nychu am dros ddwy flynedd, er treulio llawer ar feddygon; eto angau a gariodd y dydd; ond er hyny, credwyf fod marw yn elw tragwyddol iddi hi, er gadael priod ac wyth o blant i alaru ar ei hol, a llawer o berthynasau a chyfeillion yr un modd. Cafodd y fraint o arddel Iesu Grist mewn proffes gyhoeddus yn Afon y Llwynog, ger Berlin, gan y brawd James MacJutier; a bu am rai blynyddoedd heb gael cymdeithas â'i brodyr o ran ffydd a threfn. Bedyddiwyd hi yn mis Mehefin, 1858. Yn y flwyddyn 1860, sefydlodd yr anwyl frawd J. W. Jones, gynt, o South Trenton, yn awr yn Clay Co., Iowa, yn y lle hwn, sef Springwater; ac yn gangen o eglwys Gymreig y Coed, ger Berlin. Yn yr adeg hon y bwriodd y chwaer Mrs Davies ei choelbren gyda ychydig oedd yma, ac felly glynodd yn lled ffyddlon hyd y diwedd. Croesawodd hi a'i phriod lawer o bell ac agos, mewn cysylltiad a'r achos, ac yn ei chystudd olaf dangosodd ei hyder ac ymddiried ei henaid yn ngwaith gorphenol ein Harglwydd Iesu Grist,—sail ei chymeradwyaeth ger bron Duw; canmolai yn fawr felysdra addewidion Duw, "Na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Dywedai fel Job, fod iddi "Brynwr" byw, ac y safai ar y ddaear; "er ar ol i'm croen i bryfaid ddyfetha y corph hwn, eto caf weled Duw yn fy nghnawd." Nid oedd ei ffydd ddim yn gwanhau fel yr oedd yn agoshau at afon angau, a dywedai yn fynych nad oedd hi yn petruso pa un ai byw ai marw fyddai, os oedd Duw yn gweled hyny yn oreu; carai gael byw i orphen magu y rhai bychain a roddodd Duw dan ei gofal; eto dywedai, "Ei ewyllys ef a wneler;" ond gwanychu a ddarfu hi yn raddol; ac yn hwyr y 5ed o Fawrth, galwodd ei theulu at y gwely, a ffarweliodd yn dawel a hwynt, ac ehedodd yn gyflym i fynwes ei Duw. Merch ydoedd i David a Margaret Evans, gynt, Fuchas-wenfawr, Llanfihangel, sir Feirionydd G. C. Ganwyd gwrthddrych ein cofiant Hydref 23, 1833, ond rhoddwyd ei gweddillion i orphwys yn mynwent capel y Bedyddwr yn Springwater. Gweinyddwyd ar yr achlsyur gan y Parchn. Timothy Jones (A.), a Richard Davies (T. C.) Heddwch i'w llwch hyd foreu mawr yr adgyfodiad Yr eiddoch mewn galar.

ROBERT D. EVANS.

### MRS. SUSANNAH JONES.

Mai 18, yn ardal Youngstown, Ohio, bu farw un o'r enw Susannah Jones, yn 67 ml. oed, yr hon a ddaeth i'r wlad hon er's amryw flynyddau yn ol, ar ol merch iddi a'i mab-yn-nghyfraith, sef Evan Prydan a'i briod. Ganwyd ein chwaer yn Merthyr Tydfil. Bedyddiwyd hi yn Bristol, ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, pan yn 18 mlwydd oed. Symudodd yn mhen ychydig amser ar ol hyny yn ol i Merthyr, ac ymunodd trwy lythyr ag eglwys Seion, Merthyr, lle y bu am flynyddoedd dan weinidogaeth y brodyr Saunders a Jones; ac yno yr ymunodd mewn glân briodas ag un o'r enw Evan Rowlands. Ganwyd iddynt ddau o blant, sef Rachel a William, y rhai ydynt eto yn fyw. Bu farw Evan Rowlands pan oedd y plant yn ieuainc iawn. Yn fuan wedi hyny symudodd hi i Ogledd Lloegr, o'r lle y daeth yn ol i Benycae, ac oddiyno i America, ac yn Youngstown, O., y treuliodd weddill ei hoes, ac yr hunodd yn yr Iesu. Cyfarfu â llawer ystorm chwerw yn ystod tymor ei bywyd; cafodd waethaf y byd mewn llawer ystyr; ond trwy bob tywydd cadwodd yn wrol gyda chrefydd. Oddeutu wythnos cyn ei hymadawiad, cafodd *stroke*, nes gwneyd un ochr iddi yn wan, gan effeithio ar ei galluoedd meddyliol, ac felly y parhaodd nes i'r ysbryd ehedeg at Dduw, yr hwn a'i rhoes ef, ac nid oes amheuaeth nad yw wedi newid er gwell, a'i gwaith fydd canu mwy am ras Calfaria fryn.

Mai 19, daeth amryw o'n cyd-genedl i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol, pan y gweinyddwyd yn y ty gan y Parch. T. C. Probert, ac wrth y bedd gan y Parch. D. Probert, yna daearwyd ei chorph yn mynwent y Bedyddwyr yn Brier Hill, ger Youngstown. Yn mhen tua mis traddodwyd pregeth angladdol gan yr un yn y capel. BRAWD.

### MRS. JANE FREEMAN.

Rhagfyr 2, 1879, yn Manawa, Wis., bu farw Mrs. Jane Freeman. Gadawodd ar ei hol briod a dwy ferch, tad a mam, brodyr a chwiorydd, a llawer o ffryndiau, i alaru. Claddwyd hi yn Waukau, yn ol ei dymuniad. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y brawd Babcock.

merch ydoedd i Griffith a Catherine Thomas. Ganwyd hi yn Pen-y-Bryn, Mylldyrn, Sir Gaernarfon. R. D. EVANS.

MRS. CHARLOTTE JOHN.

Ganwyd gwrthddrych y coffa hwn mewn lle o'r enw Coed-llipo, Glynmaenllwyd, Sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1806. Merch ydoedd i John Bushell, Ysw., ffermwr cyfrifol yn yr ardal yno, yn dda allan o ran ei amgylchiadau bydol, fel ag yr oedd yn alluog i roddi dygiad da i fyny mewn dysg a diwylliant i'w ferch, Charlotte Elizabeth Bushell. Daeth yn ferch brydweddol, iraidd, o daldra yn hwy na'r cyffredin, ac mewn bri a ffafr yn y gymydogaeth. Tra eto yn ieuanc, ymwelodd yr Arglwydd yn ei ras a'i chyflwr, gan dynu ei serchiadau at Geidwad enaid—aeth at safon gwirionedd i ffurfio ei syniadau crefyddol, a chwiliodd am y bobl, yn ol ei barn hi, oedd yn crefydda agosaf i'r gair a'r dystiolaeth. Yr oedd eglwys henafol Rhydwilym wedi lledu ei gwraidd trwy yr ardal, a'i changenau yn tori allan ar y llaw ddehau ac ar yr aswy. Yr oedd achos crefyddol newydd gychwyn, ac eglwys Fedyddiedig wedi ei ffurfio yn Logyn, ac yno y bwriodd ei choelbren, yr ymwasgodd at y dysgyblion—yno y bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw—yno y derbyniwyd hi yn aelod eglwysig, ac ymhyfrydai yn aml i edrych yn ol, ac ymddyddan am le ei genedigaeth newydd.

Yn y flwyddyn 1829, ymunodd mewn priodas â John John, ac wedi byw yn gariadlawn am flynyddau yn y wlad hon a'r fam-wlad, gadawyd hi yn weddw er's blynyddau bellach, eto nid yn amddifad, gan fod iddynt bedwar o feibion ac un ferch, y rhai sydd oll yn fyw, ac mewn hiraeth ar ol eu hanwyl fam.

Daethant i'r wlad hon yn y flwyddyn 1847, a gwnaethant gartref iddynt eu hunain yn Freedom, Sir Cattaraugus. Ymunodd ein chwaer â'r eglwys Fedyddiedig yn Fish Lake, a bu yn ffyddlawn, ac yn barod i wneyd ei rhan gyda'r achos nes i'r dyddiau blin ei goddiweddyd — blynyddoedd bywyd ddechreu pwyso yn drwm arni. Wedi ei hymneillduad i drigfanu gyda ei mab ieuengaf i *Coal Settlement*, o herwydd pellder ffordd, a gwendid corphorol, anaml y cyrchai i'r moddion; ond yr oedd yr addewid yn cael ei chadw, "Ni'th roddaf di i fyny, ac ni'th lwyr adawaf chwaith." Do, bu farw a'i phwys ar ei Hanwylyd.

Yr oedd Mrs. John yn feddianol ar synwyr cryf, a thymer hawddgar; meddianai ar lawenydd heb ynfydrwydd, a sobrwydd heb bruddder; meddianai hefyd ar egwyddorion didwyll, a hollol ymddiriedol—parchai genadon y nef, a chydymdeimlai â'r gwan a'r tlawd. Yr oedd yn feddianol ar y rhinweddau uchod, y rhai wedi eu gwrteithio â dysgeidiaeth, a'u prydferthu â grâs, a'i gwnaeth yn gymydoges a berchid yn gyffredinol.

Ond hunodd yn yr Iesu, yn 73 mlwydd oed, a chladdwyd ei rhan farwol yn mynwent Ebenezer, Mehefin 25ain, y brodyr J P. Harris, Providence, Pa., a'r Parch. Mr. Cook yn gweinyddu (gweinidog y lle oddicartref). Bydded i'r Arglwydd fod yn dyner wrth y plant, a gollasant fam mor rinweddol, gan gofio nad oes yma ddinas barhaus.

"Tua'r bedd o hyd 'rwy'n tynu,
Rho im' arwydd er daioni."

BUGAIL.

---

NODION.

—Mae y golofn Aiphtaidd wedi cyrhaedd New York yn ddiogel, ac i gael ei gosod i fyny yn Central Park.

—Mae Llywodraeth Honduras yn cymeryd safle ardderchog yn erbyn honiadau y Pab i lywodraethu drosti. Nid oes braidd yr un wlad Babyddol arall yn yr hon yr amlygir y fath ysbryd o annibyniaeth yn nhrefniant materion eu hunain.

—Yr oedd gorymdaith o gymdeithasau Pabyddol, yn rhifo dros 2,000 o bersonau, yn Montreal ar y 29ain o Mehefin, yn myned o eglwys Notre Dame i'r eglwys Jesuitaidd ar Bleury Street. Yr oedd yr arddangosiad hwn yn cael ei fwriadu fel gwrth-dystiad yn erbyn gyriad yr Urdd Jesuitaidd allan o Ffrainc.

---

DYDDANION.

Cafodd nifer o weinidogion, diaconiaid, a chenadon, wahoddiad i dy Mr. John W. Williams, Pwll-y-cyw, Freedom, Sir Cattaraugus, ar ddydd Llun, dydd diweddaf yr wyl gymanfaol, Mehefin 20, 1880. Ar ol ciniaw da, cynygiodd un o'r cwmpeini fod pob un yn ysgrifenu ei enw a llinell neu ddwy o rywbeth a darawai i'r meddwl, er cofio am y tro. Ar unwaith dyma y papyr ger bron, a dyma y brodyr yn dechreu ysgrifenu, gan fyned yn mlaen, pob un yn ei dro, yn ol fel y teimlai yn barod. Dyma gynwysiad y papyr. Dylai y darllenydd ddal sylw mai mwynhad diniwed oedd mewn golwg, a dymuniad fod yr adeg yn cael ei chofio ar ol hyny gan y teulu, yn gystal a chenym ninau ddyeithriaid.—Dyma yr ysgrifeniadau:

I Williams a'i wraig hynod—boed
Diffuant yn bod. [llwyddiant
—*W. M. Evans.*

Y fi sy' ddyledusaf
I deulu Pwll-y-cyw;
Bu'r brodyr yma ar ginio,
Ond yma'r wyf fi'n byw.
—*B. W. Thomas, Hyde Park.*

[Yno yr oedd efe yn lletya.]

Bendithion mwynion Iôr
Fo'n llifo fel y môr
I'r eglwys hon;
Boed iddynt nefol wledd
Yr ochr hyn i'r bedd,
A chwrdd yn ngwlad yr hedd,
Yn Salem lon.
—*Delta.*

I'r eglwys hon dymunaf lwydd
Am ei hymddygiad hynaws,
Llaw Duw fo arnynt tra b'ont byw,
Nes cyrhaedd gwiw baradwys;
Ac yna byddant ddiogel,
Uwchlaw galluoedd Belial,
A phob hudoliaeth is y nen
O fewn y llen yn dawel.
—*Jos. T. Jones, Thomastown, O.*

O, mor siriol ydym yma,
O, mor frawdol a di-sen,
Bydded hyn i ni yn ernes
O fwynianau'r nefoedd wen.
—*Owen Griffith.*

'R wyf yn diolch fy mod i'n fyw,
Ac yn iach ar dir y byw,
I gael cwmni mor urddasol,
Gyda'r teulu yn Mhwll-y-cyw.
—*D. H. Evans, Freedom.*

Barddoni nis gallaf,
Prydyddu ni threiaf,
Er hyny dymunaf
Lwydd y teulu caredig,
Hyn o galon bur.
—*John Seth Jones.*

Dyma ni yn Cattaraugus,
Lle sy'n debyg i baradwys,
Ond rhaid 'madael 'mhen ychydig,
'R hyn wna'r meddwl yn anniddig.
—*Owen F. Parry.*

Fe wel y darllenydd mai barddoniaeth ddifyfyr yw y cwbl. Mynai y brawd caredig John Seth Jones i ni beidio cyhoeddi ei farddoniaeth ef er pobpeth; ar a wyddom, yr oedd pawb arall yn foddlawn i'w gynyrch i fyned i'r Wawr. Modd bynag pasiodd y mwyafrif ar y pryd am iddynt ymddangos mewn *print*. Mae'r cyfan i'w cymeryd yn ngoleuni yr adeg a'r amgylchiadau.

---

DULL NEWYDD O BRIODI.

Rhydd y newyddiaduron hanes am weinidog *eccentric*, mewn Talaeth Orllewinol, yn priodi pâr ieuanc yn ddiweddar, ar gân. Dyma rydd-gyfieithiad o honi, er difyrwch, os nid er lles, y darllenydd:

*Gweinidog.*

A gym'ri di y fenyw hon,
A'i chadw hi'n ddiball,
Ei chynal a'i chysuro hi,
Heb geisio menyw arall?

*Efe.*

Mi gym'raf fi y fenyw hon,
Sy'n sefyll wrth fy ochor,
Rhof iddi fwyd a dillad clyd,
Heb geisio gwraig yn rhagor.

*Gweinidog.*

Ai'n wr y bachgen ieuanc hwn
Yr awrhon chwithau fynwch,
Gan ufuddhau i'w eirchion oll,
A'i garu hyd y gellwch?

*Hi.*

Mor bell a gallaf caraf ef,
Gan ufuddhau i'w eirchion,
Ond pan am *arian* gofyn wnaf,
Rhaid iddo'u rhoi yn union.

*Gweinidog.*

Yn awr 'r y'ch chwi yn wr a gwraig,
A dedwydd fyddo'ch dyddiau,
Boed eich blynyddau *yr un rhif*
*A'r dollars* ro'wch i minau.
—*Priodwr.*

---

TEULU ADDA.

Yr oedd gwr dyeithr wedi troi i dyddyn yn Mon, o'r enw "Cae Adda;" ac mewn cyfeiriad at yr enw, gofynai i wr y ty, "Y mae yn debyg na fu yr hen Adda o Eden erioed yn byw yma?" "Nis gwn i," medd yr hen dyddynwr ffraeth; "ond y mae ei *deulu* ef yn byw yma yn barhaus."

# Y WAWR.

CYF. V.] MEDI, 1880. [RHIF. 6.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## ANERCHIAD

### AR Y DDYLEDSWYDD O GEFNOGI Y FEIBL GYMDEITHAS; A DRADDODWYD YN DDIWEDDAR YN NGHAPEL Y BEDYDDWYR, AR CHATHAM ST., PITTSBURGH, PA.

GAN D. LLOYD JONES, YSW.

Ar amgylchiad fel hwn y mae nerth a dylanwad neillduol yn yr hen benill a ganwyd mor hwyliog ganoedd o weithiau,

"Dyma Feibl anwyl Iesu, &c."

Ac amlwg i bawb yw mai dyledswydd pob Cristion, ïe pob un a gâr ledaeniad a gwasgariad y da a'r pur, yw cefnogi y gymdeithas hono, gogoniant yr hon sydd wedi ein dwyn at ein gilydd fel brodyr a chwiorydd o wahanol enwadau crefyddol ar yr adeg hon.

I. *Dylem ei chefnogi a'i pharchu am ei bod yn gosod o fewn cyrhaedd pawb y lenyddiaeth benaf, godidocaf, a chyfoethocaf.*

Bu amser pan yr oedd yn annichonadwy i'r tlawd feddu copi o Air Duw. Yn y flwyddyn 1783 (llai na chan' mlynedd yn ol) nid oedd ond ychydig iawn o gopïau o'r gyfrol ysbrydoledig drwy holl Gymru; ac nid oes neb a amheua nad eisiau mwy o gopïau o'r Beibl yn Nghymru a gychwynodd y Feibl Gymdeithas. Mewn un gymydogaeth prynodd deuddeg o bersonau *un* Beibl rhyngddynt; ac un hen wr wrth ganfod ei enw ar ddiwedd y gyfres, a wylodd yn chwerw, gan ddweyd, "O! ni ddaw i'm rhan i cyn pen deuddeg mis, a mwy na thebyg y byddaf mewn byd arall erbyn hyny." Wrth ganfod y fath newyn aeth Charles o'r Bala i Lundain er argraffu ar feddyliau y dynion da yno yr angenrheidrwydd i wasgar yn fwy cyffredinol trwy Gymru y Beibl; a dyna yr amser y cododd y Parch. Joseph Hughes ar ei draed ac y dywedodd, "Os Beibl i Gymru, Beibl i bawb o bobl y byd." Dyma ei dechreuad; nid oedd ar y cyntaf ond fel hedyn mwstard; yn awr y mae wedi tyfu yn bren cadarn. Ar y cyntaf, nid oedd ond maban gwan; erbyn heddyw y mae yn *gawr nerthol.* Ar y cyntaf nid oedd ond ffrwd fechan, ond yn awr y mae fel y cefnfor, yn golchi traeth pob gwlad. Mae *wedi* derbyn cefnogaeth, a theilynga yn *awr*, nid yn unig fawl ein gwefusau, ond aur ac arian ein llogellau, canys rhydd i bawb y wybodaeth oreu a chyfoethocaf. Os yn gyfarwydd â'r Beibl, yr ydym yn gyfarwydd â'r hanesiaeth gywiraf, a'r bywgraffiaeth mwyaf anmhleidiol.—

Gwyddom eiriau y doethaf; gwrandawn ar y caniadau mwyaf soniarus; darllenwn y farddoniaeth fwyaf coethedig, yr athroniaeth fwyaf dyfnddysg; ïe, darllenwn atebiad gras i lef y colledig. Ni roddwn i fyny y Beibl i foddio y Pab, neu ei dad yr ysbryd drwg. Mae y wybodaeth a gawn yn hwn mor amrywiol, a dylai pob gwybodaeth arall wasanaethu fel ffenestri i dderbyn i mewn oleuni claer a phurwyn y Datguddiad Dwyfol. I'r cyfreithiwr rhydd Moses y gyfraith buraf. I'r llong-adeiladydd rhydd Noah y *model* cywiraf. I'r *architect* nid oes yr un adeilad a â o flaen y deml harddwych. Nid ydym yn synu at hyn. Pwy roddodd y gyfraith?—pwy dynodd gynllun yr arch?—a phwy oedd arch-adeiladydd y deml?

Mae llyfr y gymdeithas sydd wedi ein galw at ein gilydd wedi denu sylw Lucian feddylgar, Hume ddysgedig, Gibbon ddoniol, a Voltaire ffraeth; ac ni feiddiodd un o'r cewri hyn, er maint eu dysg a'u dawn, eu ffraethineb a'u cyfrwysdra, i son am y Beibl fel llyfr amddifad o ogoniant llenyddol. Mae ei raniadau mor deg, a'i ddadblygiad yn raddol, ond cynyddol. Rhydd Genesis ddechreuad pethau; llyfrau eraill Moses, y cysgodion o Grist; Job a draetha ddyfnder hiraeth y galon am Dduw pan mewn trallod; yn llyfrau Solomon cawn ddadblygiad o ogoniant meddyliol o'r radd flaenaf; arweinia Esaiah ni o dywyllwch y caethiwed i heulwen rhyddid; sonia Ezekiel am ogoniant y deml yn y dyfodol; gwel Haggai y deml wedi ei goleuo; sonia Malachi am godiad Haul y Cyfiawnder; ac yn Matthew clywn lais Ioan Fedyddiwr yn dweyd, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Dechreua gyda chreadigaeth y materol, a therfyna gyda gogoniant yr ysbrydol. Mae pob bardd wedi drachtio o'i ffrydiau. Tyner ymaith y rhanau Beiblaidd o "Goll Gwynfa," tyner allan o Shakspeare y gemau duwinyddol sydd yn ei fritho, a chyll "Coll Gwynfa" ei nerth, a diosgir gweithiau Shakspeare o'u prydferthwch. Am farddoniaeth, darllenwch y ddeugeinfed benod o Esaiah; am uchel-fanau dychymyg sanctaidd, darllenwch Job; os am y rhamantus, darllenwch Ruth, Daniel, ac Ezekiel; ac os am weled ymresymu, trowch du dalenau Epistolau Paul. Os am wylo, byddwch yn nghwmni Jeremiah; os am fod weithiau ar ben Pisgah, ac weithiau yn y dyffryn hardd, teithiwch drwy y Salmau, lle y cewch y lleddf a'r llon yn eu gogoniant. Yn seryddiaeth y Beibl, cawn y "seren foreu eglur," a "haul y cyfiawnder;" yn ei ddaeareg, ceir "craig yr oesoedd;" yn ei lysieuaeth edrychwn ar "rosyn Saron a lili y dyffrynoedd." Pa le y cewch gymaint o synwyr cyffredin ag yn llyfr y Diarhebion? Pa le y mae bywgraffiadau fel eiddo y pedwar Efengylwr? Pa le y mae y fath ddirgelion ag a geir yn llyfr y Datguddiad? Mae yn llyfr i bawb—i'r angel tàl, a'r plentyn bychan yn yr ysgol Sul; i'r athronydd dyfnddysg a'r hen bererin anllythyrenog. Geiriau Webster ar ei wely angau oeddent eiriau Dafydd, "Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angau nid ofnaf niwed, canys yr wyt ti gyda mi, dy wialen a'th ffon a'm cysurant."

Hen lyfr bendigedig ydyw hwn; ac amcan mawr y Feibl Gymdeithas yw rhoddi hwn yn nwylaw pawb, ar ben pob bryn, ar lawr pob bro, ar fwrdd pob llong; ïe, yr amcan yw ei roddi i bawb o bobl y byd yn ddiwahaniaeth; a phan y ca pawb y gyfrol sanctaidd hon, cânt y lenyddiaeth gyfoethocaf, y wybodaeth oraf, a'r meddyliau dwyfolaf.

II. Dylem gefnogi y gymdeithas hon am ei bod yn rhoddi *y wybodaeth oreu yn mhob cyflwr o fywyd, ie y wybodaeth oreu i bawb yn eu gwahanol alwedigaethau.*

O bob llyfr, y mwyaf ymarferol yw y Beibl. Am ei fod mor ddwyfol y mae mor ddynol. Ynddo y ceir cyfarwyddiadau pa fodd i ymladd brwydr bywyd; pa fodd i wneuthur y goreu o'n talentau; pa fodd i lwyddo yn ein hamrywiol gylchoedd mewn bywyd. Dysga i ddyn ei holl ddyledswyddau; a dylai fod yn mhob ystôr, yn mhob swyddfa, yn mhob banc, yn mhob

maelfa yn Pittsburgh, ochr yn ochr a'r *Directory*. Dyma wlad y Beibl oddiar pan y glaniodd y Tadau Pererinol ar Graig Plymouth. Ar ein darnau pum' cent, ïe, ac o gylch ein haner doleri, y cawn y geiriau hyn, "*In God we trust*," (Yn Nuw yr ydym yn ymddiried.) Efallai fod hyn yn cynwys ychydig o ragrith. Mae Cyfansoddiad ein gwlad wedi ei adeiladu arno, er nad yw y gair *Duw* ynddo. Galwed ein gelynion y Beibl yn ffiloreg, y mae y ffiloreg yma wedi gwneuthur mwy o les i ddynolryw na holl oleuadau y byd gyda'u gilydd. Galwent ef yn gelwydd, y mae y celwydd hwn wedi gwneuthur mwy er arwain yr ieuainc at rinwedd, purdeb, a gonestrwydd, na'r un llyfr arall. Pa lyfr i'r masnachddyn, i'r swyddog, i'r tlawd, i'r cyfoethog, i'r athraw, i'r dyn ieuanc, yn debyg i lyfr y Diarhebion? Dyma lyfr y gegin a llyfr y parlwr, llyfr y labrwr a llyfr y meistr, llyfr y tad a llyfr y plant, llyfr y ddinas a llyfr y pentref, llyfr y brenin a llyfr y deiliad, llyfr y rhoddwr a llyfr y benthyciwr, llyfr y milwr a llyfr y morwr. Rhydd gyfarwyddiadau parth mesuriad helaeth a phwysau cywir, tafod lonydd a chalon heddychol; rhydd y wialen yn drom ar gefn y clebrwr a'r glebres, a dengys y ffwl a'r ynfyd yn eu llun a'u lliw priodol. Dywed wrth y meddwyn ei dynged, a'r godinebwr ei ddiwedd, a llefara yn nghlustiau y sobr a'r diwyd am ogoniant a gwobr. Os oes gwr ieuanc yn awyddus i wybod pa fath wraig yw yr oreu, darllened Diar. xxxi.

Pan y gofynodd y Tywysog Affricanaidd i Victoria, "Beth yw mawredd Prydain Fawr?" cydiodd y frenines yn y Beibl, a dywedodd, "Dyma ogoniant Prydain Fawr." Rhaid yw i'r hwn a gâr y Beibl lwyddo yn mha gylch bynag y llafuria. O! gymdeithas hawddgar, tyred yn y blaen, a gwasgar ar y dde ac ar yr aswy dy fendithion anmhrisiadwy.

III. Dylem gefnogi y Gymdeithas Feiblaidd *am y rhydd i bawb yr unig lyfr sydd yn arwain trwy y bywyd hwn i fywyd uwch a gwell.*

Dyma yr unig lyfr a etyb y cwestiwn mwyaf, "Pa fodd y cyfiawnheir dyn gyda Duw?" Ateba ein gwyddonwyr gwestiynau pwysig a dyrys; methant ateb llawer; ond gallwn fforddio i fyned yn y blaen heb atebion oddiwrthynt hwy; ond am gwestiynau y galon, am ofyniadau y gydwybod, *rhaid* cael atebiad. O ba le y daw? "Y nefoedd sydd yn datgan gogoniant Duw," ond nid yw y nefoedd yn ateb cri yr enaid colledig; "a'r ffurfafen sydd yn mynegi gwaith ei ddwylaw ef," ond nid yw y ffurfafen yn alluog i dawelu ystorm y gydwybod trwy ateb y cwestiwn mawr; ond trown ein golwg oddiwrth yr haul, y lloer a'r ser, y graig, y mynydd, a'r môr, a gwrandawn ar y Beibl anwyl yma. "Felly y carodd Duw y byd," &c. Arweinia Gair Duw ni yn yr anial. Dyma'r golofn niwl y dydd; dyma'r golofn dân y nos. Miloedd lawer a deithiasant yn y blaen tua'r Ganaan draw yn ei oleuni purwyn. Miloedd eto a rodiant yn ei lewyrch ef. I'r morwr, dyma y goleudy, a theifl ei oleuni yn mhell ar y môr tymestlog. I'r milwr, dyma gleddyf yr Ysbryd, yr hwn sydd yn llymach nag un cleddyf dau-finiog. I'r teithiwr, dyma lusern a oleua yn barhaus. Trigolion Ynysoedd Môr y Dê a lawenychant yn ei oleuni. Gwŷr Madagascar a ymorfoleddant yn ei wên. Preswylwyr yr India draw a ddyrchafant eu llef o ddiolchgarwch am y fath arweinydd anffaeledig. Miloedd China a ganant o'r galon am y fath rodd anmhrisiadwy; a daw yr amser i ben pan y bydd goleuni y Beibl yn llewyrchu "o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd derfynau eithaf y ddaear." Pwy na ddywed, ynte, o eigion ei galon,

I'r Feibl Gymdeithas rho'wn foliant a bri,
  Mae'n deilwng o'n diolch a'n clod;
Gwaith enwog, godidog a grasol, wnaeth hi,
  Rhagorach na dim is y rhod.

Goleuni y Beibl a wasgar ar led,
  Ffordd bywyd a ddengys i'r gwan,
O'i hynod lafurwaith, braf gynauaf a fêd,
  Ei baner a ddyrcha i'r lan.

Gwna Affric yn lân fel yr eira ar fryn,
  Rhydd ryddid i'r caeth yn mhob man,
Cofleidia mewn cariad y du fel y gwyn,
  A nertha yr eiddil a'r gwan.

Trwy'r Feibl Gymdeithas ofergoeledd a ffy,
Gan dduwiaeth ddiflana o'r tir,
Sancteiddrwydd deyrnasa mewn mawredd a bri
A'r ddaear goronir â'r gwir.

---

## R. H. EVANS A CHYMUNDEB.

### *Erthygl VII.*

Dywed Mr. Evans, "Fod yn rhaid i'r Bedyddwyr ganiatau fod ei syniadau ef a'i frodyr am natur ac arwyddocad yr ordinhad o fedydd yn gywir; fod y cnewullyn ganddynt; a bod yr holl swn a geidw y Bedyddwyr yn unig yn nghylch y plisgyn." Gyda llawer mwy o gysondeb y gall y Pab o Rufain ddyweyd wrth Brotestaniaid y rhaid iddynt ganiatau fod ei syniadau am natur ac arwyddocad y swper yn gywir, a bod eu holl swn yn nghylch y plisgyn, neu y ffurf allanol o'i gadw. Mae Duw wedi dangos mewn gwahanol oesoedd ei fod mor eiddigeddus dros ufudd-dod cywir yn nghyflawniad allanol ei orchymynion pendant, ag ydyw yn nghywirdeb y syniadau am natur ac arwyddocad y gorchymynion hyny. Os yw syniadau Mr. E. yn gywir am natur ac arwyddocad bedydd, mae ei iaith ef am fedydd yn ddirmygus, a'i ddull o'i gyflawnu yn hollol anghywir, ac anmhriodol i osod allan yr hyn y cyfaddefir gan daenellwyr ei fod wedi ei fwriadu i'w osod allan. Pa beth gan hyny mae bedydd yn arwyddocau a'i osod allan? Ni atebaf y gofyniad fy hun, ac ni chaiff y Bedyddwyr ei ateb, am y rhai y mae Mr. E. yn coleddu meddyliau mor ddirmygus; ond caiff Taenellwyr dysgedicaf a phenaf y byd, y rhai a berthynant i'r gwahanol enwadau crefyddol, ateb y gofyniad, Pa beth mae bedydd yn ei arwyddocau a'i osod allan?

Dr. Macknight: "Yn y bedydd mae y bedyddiedig yn cael ei gladdu dan ddwfr, fel un yn cael ei roddi i farwolaeth gyda Christ am bechod, fel y byddo iddo fod yn llwyr argyhoeddiadol o ddrygedd pechod, a chael ei gynhyrfu i'w gasâu fel y drwg penaf. Ymostyngodd Crist i gael ei fedyddio; hyny yw, i gael ei gladdu dan ddwfr gan Ioan, ac i gael ei godi o hono drachefn, fel arwyddlun o'i farwolaeth a'i adgyfodiad dyfodol. Yn yr un modd mae bedydd credinwyr yn arwyddlun o'u marwolaeth, eu claddedigaeth a'u hadgyfodiad." (Gwel ar Rhuf. 6 : 4.)

Yn awr, Mr. E., yr ydym ni yn cyduno a'r Dr. dysgedig uchod i'r dim. A ydych chwi yn cyduno ag ef?—a ydyw eich dyferynau chwi yn arwyddocau y pethau mawrion uchod? Os ydyw, dangoswch pa fodd y mae yn ei dangos allan; os nad yw, cyfaddefwch nad bedydd fel yr eiddoch chwi y mae Paul yn son am dano yn Rhuf. vi.

Archesgob Tillotson: "Gynt yr oedd y rhai oedd yn cael eu bedyddio yn cael eu trochi a'u claddu yn y dwfr, i ddangos eu marwolaeth i bechod, ac wedi hyny cyfodent i fyny o'r dwfr i arwyddo eu mynediad i mewn i fywyd newydd; ac at yr arferiad hwnw y cyfeiria yr apostol yn Rhuf. 6 : 4." A ydyw eich babanod chwi, Mr. E., wedi proffesu eu bod yn marw i bechod? ac a ydych chwi yn eu trochi yn y dwfr i arwyddo y farwolaeth hono?—a ydych chwi yn dweyd wrth eich gwrandawyr pan yn taenellu ar faban, fod bedydd yn arwyddo marwolaeth i bechod?—a ydych chwi yn claddu y bedyddiedig i arddangos y farwolaeth hono? Os nad ydych, nid ydym ni yn ystyried ein hunain yn rhwym o gredu fod eich syniadau yn gywir am natur ac arwyddocad bedydd.

Conybeare a Howson ddywedant, "Bedydd ydoedd drochiad; yr oedd y dychweledig yn cael ei suddo dan wyneb y dwfr, i arwyddo ei gladdiad i bechod, ac wedi hyny ei gyfodiad o'r claddiad mynydawl hwnw, i arddangos ei adgyfodiad i fywyd newydd." Eto, ar Rhuf. 6 : 4, dywedant, "Nis gellir deall y geiriau hyn heb gadw mewn cof mai trochiad oedd bedydd ar y cyntaf.

Dr. Hammond ar Rhuf. 6 : 4: "Y mae yn beth ag y mae pob Cristion yn ei wybod, fod y trochiad yn y bedydd yn cyfeirio at farwolaeth Crist; y mae rhoddi y person yn y dwfr yn gosod allan ac yn tystiolaethu marwolaeth a chladdedigaeth Crist." Os nad ydyw

Mr. E. yn gwybod fod y trochiad yn y bedydd yn cyfeirio at farwolaeth Crist, nid yw, yn ol Dr. Hammond, yn Gristion.

Esgob Hoadley: "Pe buasai bedydd yn cael ei weinyddu y pryd hwnw fel mae yn awr gyda ni, ni chawsem byth gymaint a chlywed y fath ffurf o ymadrodd a "marw a chodi" yn yr ordinhad hon."

Martin Luther: "Mae bedydd yn arwyddo marwolaeth ac adgyfodiad. Yn cael fy nghymell gan y rheswm hwn, ewyllysiwn ar i'r rhai sydd i gael eu bedyddio, i gael eu llwyr drochi yn y dwfr, yn ol meddwl y gair a chynwys yr arwyddocad."

Richard Baxter: "Cyfaddefir genym yn gyffredinol, am yr ail-fedyddwyr, fel y tystia ein hesbonwyr, fod y bedyddiedig, yn amser yr apostolion, yn cael eu soddi dros eu penau yn y dwfr, a bod hyn yn arwyddocau eu proffes a'u crediniaeth yn nghladdedigaeth ac adgyfodiad Crist, ac â'u hymwrthodiad personol â'r byd a'r cnawd, neu eu marw i bechod a'u claddu i Grist, neu gyfodi drachefn i fywyd newydd, eu claddu a'u cyfodi drachefn gyda Christ, fel y mae'r apostol yn cyfeirio yn y testyn a nodwyd."

Esgob Smith: "Claddu yn y bedydd." "Mae pawb yn cyduno i roddi y ffaith fel ei sicrhawyd ar y cyntaf, yr hon sydd lawer yn fwy cyson a'r Ysgrythyr nag y gall un ddysgeidiaeth, *theory*, wrthwynebol fod. Os oes unrhyw arferiad perthynol i'r eglwysi cyntefig yn cael ei ddysgu yn eglur, trochiad yw hwnw."

Parch. Thomas Charles, o'r Bala, gyda lluaws, a rydd i ni arwyddocad bedydd. "Mae bedydd yn gosod allan ddyoddefiadau, claddedigaeth ac adgyfodiad Crist. Mae soddiad corph y bedyddiedig yn y dwfr, neu ei daenelliad â dwfr, yn arwyddo ei ddyoddefiadau, ei arosiad dan y dwfr a arwydda ei arosiad yn y bedd, a'i gyfodiad o'r dwfr yn arwyddo adgyfodiad Crist." Mewn man arall dywed, "Mae bedydd yn gosod allan adgyfodiad y corph i fywyd o ogoniant, yn gystal ag adgyfodiad yr enaid i fywyd grasol a sanctaidd." Gwel Charles ar y gair "Bedydd." Dymunaf alw sylw y darllenydd at y frawddeg, "neu ei daenellu â dwfr," sydd yn y dyfyniad uchod. Gofynaf, Os taenellu â dwfr a wneir, pa le y ceir darluniad o ddyoddefiadau Crist, o'r aros yn y bedd, ac o'r cyfodi o'r bedd? Gan fod Mr. Charles yn dweyd fod bedydd yn arwyddocau y pethau pwysig uchod, ac wedi enwi y taenelliad gyda'r soddiad yn y bedydd fel yn eu harwyddocau a'u gosod allan, carwn i Mr. Evans (gan fod Mr. Charles yn ei fedd) ddangos pa fodd mae taenelliad ar y talcen yn dangos dyoddefiadau Crist, ei gladdu a'i gyfodi o'r bedd? Os na all ein cyfaill ddangos i ni fod taenelliad yn gosod y pethau hyn allan, rhaid naill ai na osododd Crist mo'r taenelliad yn ei eglwys, neu ynte iddo osod darluniad hollol anmhriodol o hono ei hun yn ei eglwys. Credu yr olaf nis gallwn, gan hyny ni gredwn yn benderfynol y blaenaf. Gan fod y Beibl yn ein dysgu, gyda'r holl enwogion a enwais, gydag ugeiniau a allwn ychwanegu atynt, oll gyda eu gilydd yn tystio fod bedydd yn gosod allan neu yn arwyddocau dyoddefiadau, claddu a chyfodi Crist; hefyd farwolaeth y credadyn i bechod, ei gladdu yn y bedydd i arwyddo y farwolaeth hono, a'i gyfodi yn y bedydd, i fyw buchedd newydd; wrth feddwl am y priodoldeb sydd yn y soddiad a'r dadsuddo yn y bedydd i osod allan yr holl bethau a nodwyd, a'r anmhriodoldeb sydd yn y taenelliad i osod allan ddim perthynol i Grist na phechadur, oni allwn ddyweyd, gyda Luther, Rosenmuller, Dr. Bloomfield, Kope a lluaws eraill, "fod yn ofidus fod y trochiad wedi cael ei newid i daenelliad," a thrwy hyny ddistrywio y darlun prydferth a roddes Iesu yn ei eglwys o hono ei hun. Buasai yn beth rhyfedd ac annaturiol i Grist osod darlun yn ei eglwys o'i farw, heb osod hefyd ddarlun o'i gladdu a'i godi o'r bedd, gan fod hyny mor bwysig a'r marw. Mae y Pab o Rufain wedi dinystrio y darlun o Grist yn y swper a'r bedydd. Y mae ganddynt ddarlun o Grist yn marw, mewn *pic-*

*tures* o'u gwaith eu hunain ar barwydydd eu haddoldai. Mae gan y taenellwyr ddarlun o Grist yn marw, ond nid oes ganddynt un darlun o'i gladdu na'i gyfodi. Maent wedi gwrthod y cyfnewidiad wnawd gan y Pab yn y swper, ond maent yn parhau i arfer y cyfnewidiad a wnaed ganddo yn y bedydd. Dyma y cysegr-yspeiliad mwyaf digywilydd a wnawd erioed, yw hwn; nid oedd dwyn yr aur o'r deml yn Jerusalem ond dibwys mewn cydmariaeth i droi y trochiad allan o'r eglwys, a chymeryd i mewn y taenelliad yn ei le.

Maddeued y darllenydd i mi am fod fy ysgrif wedi myned y tro hwn ar y bedydd yn hytrach na'r cymundeb; yr achos o hyny yw, fod Mr. Evans yn dweyd y "rhaid i ni gredu fod eu syniadau hwy am natur ac arwyddocad bedydd yn gywir." Ni gredwn fod eu syniadau yn gywir am natur ac arwyddocad bedydd mor gynted ag y gwelwn ef yn ymarfer bedydd sydd a chymwysder ynddo i osod allan y pethau y bwriadwyd bedydd i'w gosod allan, ac nid dim cynt, er ei fod yn dyweyd y rhaid i ni wneyd hyny yn awr.

Dichon fod llawer o ddarllenwyr fy ysgrifau yn barnu yn rhyfedd o herwydd fy mod yn dwyn yn mlaen gymaint o dystiolaethau enwogion dysgedig o'r gwahanol enwadau taenellyddol. Mae genyf ddau reswm dros wneyd hyny; y cyntaf yw, Am y tybiwyf fod gan y Corph o Fethodistiaid feddwl isel iawn am y Bedyddwyr fel enwad, ar ol darllen yn y *Cyfaill* ysgrifau Dr. Roberts ar fedydd, gyda rhai R. H. Evans ar gymundeb, ac heb weled un math o amddiffyniad o honynt eu hunain, o herwydd fod y Dr. yn gwrthod cyfle iddynt amddiffyn eu hunain. Yr ail reswm ydyw, Am fy mod yn barnu fod cyfaddefiad gwrthwynebwr, y prawf cryfaf yn mhob llys, a ellir ei gael. "Mae y dystiolaeth hon," meddai Daille, "o'u heiddynt hwy, yn werth mil o rai eraill, gan ei bod yn dyfod oddiwrth rai y barnwyf yn sicr y buasai yn well ganddynt lefaru yn wahanol." "Mae addefiadau oddiwrth ddynion nodedig o blith taenellwyr yn ddeugain gwaith mwy cadarn na phe buasai'r un rhai yn cael eu dwyn gan y rhai y mae ganddynt ragfarn yn eu herbyn."—*D. Anners.* "Pa beth sydd yn brawf llawnach na'r hwn a gyfyd oddiwrth gyfaddefiad gwrthwynebydd?—*Priestly.* Pan yr oedd Paul yn dadleu â'r cenedloedd, yr oedd yn codi ei brawfiadau o blith eu hysgrifenwyr a'u beirdd hwy eu hunain. Mr. Trefis, yn ei lythyrau at Gibbon, a ddywed, pan yn cyfeirio at ffaith neillduol, "Mae wedi ei phrofi gan y dystiolaeth oreu sydd yn bosibl, sef tystiolaeth gwrthwynebwr."

Gobeithiwyf y bydd y rhesymau uchod yn foddhaol gan ddarllenwyr fy ysgrifau, am fy mod yn gadael i ddynion eraill lefaru, ac nid fy hunan yn unig; oblegid pa beth yw ysgrifau tipyn o Of o Lansannan, i ddyfod yn erbyn Doctoriaid America? Ond pwy a feiddia edrych yn isel ar y tystion, y rhai yr wyf yn eu galw yn mlaen i gadarnhau fy materion?

Dywed Mr. E., "Fod y Bedyddwyr yn gwneyd eu hunain yn atgas yn ngolwg enwadau eraill." Dichon fod Mr. E. yn barnu teimladau eraill wrth ei deimlad ei hun, ond dywedaf nad yw y Bedyddwyr yn gyfrifol am ddylanwad eu hegwyddorion, ond am eu cywirdeb. Yr oedd crefydd yr Iuddewon yn eu gwneyd yn atgas yn nghyfrif braidd bawb arall, ond nid oedd yr Iuddewon yn gyfrifol am hyny, tra yr oedd eu crefydd o Dduw. Dywed Swift, "Mai nid mewn ymranu oddiwrth eraill mae y drwg, ond mewn ymranu oddiwrth y gwirionedd." Ar yr un pryd, mae meddwl am lwyddiant rhyfeddol y Bedyddwyr Caeth (fel eu gelwir), a chynydd mor arafaidd y Rhydd-Gymunwyr, yn peri i mi amheu tystiolaeth Mr. E. yn hyn, fel pethau eraill. Ffeithiau sydd yn hawlio crediniaeth. W. JONES.

---

—Os myni fod yn *ddoeth*, darllen a myfyria; os myni fod yn *dda*, gwylia a gweddia; os myni fod yn *ddefnyddiol*, cynllunia a gweithia; os myni fod yn *ddedwydd*, una yr holl bethau hyn yn nghyd.

## Y GADAIR SIGLO.

[BUDDUGOL.]

Ha ! llaw anwyl serch fu'n llunio—i'w
Y gu gadair siglo ; [gwaith,
A brwd aidd ei ysbryd o
A'i dilyn lle y delo.

Ynddi'r maban pan mewn poenau—a
Fel yn nef pleserau ; [fydd
Ac arni cwsg geir yn cau
Ar hynt ei wyl amrantau.

Yn hon y fam yn fwyn a fydd—yn gwau
Suo-gerdd ddieilfydd ;
Dros oes dyma'r gadair sydd
Yn ben ei hoffder beunydd.

IEUAN DWYFACH.

## SEREN GOMER.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS, D. D. (EDNYFED).

Mae swyn yn yr enw. Mae nerth yn yr enw; canys dyga ger ein bron feddyliau cyfoethog, awgrymiadau doeth, a phrofion diymwad o allu dynol a bendith ddwyfol. Pwy a all graffu ar yr enw heb feddwl am Gomer hynod ei nerth, ac am gewri eraill, y rhai oeddynt ddynion o fri ac o anrhydedd. Er i'r *Seren* fachlud, ni phallodd ei goleuni; mae ei dylanwad nerthol yn ganfyddadwy heddyw. Y fath oedd ei dysgleirdeb, fel yr ymgili dd tywyllwch anwybodaeth a chaddug ofergoeledd o'r tir. Yr oedd gan gyhoeddiad misol Gomer ran bwysig yn ffurfiad cymeriad llenyddiaeth y Cymry ar yr adeg hono. Yn y rhifynau cyntaf cawn ysgrifau galluog ar amrywiol destynau gan amrywiol ysgrifenwyr, a'r rhai hyny o'r radd flaenaf. Creodd y cyhoeddiad hwn chwaeth yn hil Gomer at ddysg, a diwygiodd dysg eu moes. Bu farw y cylchgrawn, ond nid ei egwyddorion, a da genym fod ei enw wedi ei adgyfodi gan frodyr da yn Nghymru. Nid mewn enw yn unig y mae yn byw, ond mewn dysgleirdeb.

Yn ddiweddar daeth dwy *Seren* i'm llaw, a llamodd fy nghalon o'm mewn gan lawenydd nid bychan. Gwelaf mai y Parch. Edward Roberts, Pontypridd, yw y golygydd, y Parch. J. Spinther James yw y *business manager*, a'r brawd (bum yn agos a dweyd y *Parch.*) Jenkin Howell yw yr argraffydd. "Y tri hyn." Dyma ddynion yn iawn wrth eu gwaith. Os na lwyddant yn eu hanturiaeth, ni bydd y bai arnynt hwy, ond ar Fedyddwyr Cymru.

Yn y rhifynau sydd o'm blaen, y mae erthyglau ar y pynciau canlynol: "Bedyddio dros y meirw," "Cadwraeth yr Ysgrythyrau, o'r cyfnod boreuaf hyd yn awr," "Y weinidogaeth," "Y weinidogaeth yn ei pherthynas a'r eglwys Gristionogol," "Crist yn cysgu" (barddoniaeth), "Enwogion anghofiedig y Bedyddwyr," "Bedyddwyr Rossendale," "Dylanwad Mam" (barddoniaeth), "Y corff dynol," "Deddfau iechyd da a bywyd dedwydd," "Fferylliaeth glo," "Emynau ac Emynwyr," "Cylchdrem y mis."

"Yr apostolion—neillduolrwydd a pharhad eu swydd," "Sylfaen yr Undeb Cristionogol," "Y dyn pechod," "Y Cyfieithiadau Cymraeg a Saesonaeg o'r Beibl, a rhagoriaeth y cyntaf ar yr olaf," "Yr esgyniad" (barddoniaeth), "Enwogion anghofiedig y Bedyddwyr," "Cerddorion a cherddoriaeth," "Gwroldeb crefyddol," "Yr achos cenadol a gwladlywiaeth bresenol Prydain," "Y Dwyrain yn 1877" (barddoniaeth) "Adolygiadau a chylchdrem y mis."

Dyna i chwi amrywiaeth, ac amrywiaeth sydd yn arddangos chwaeth.

Yn Rhif. I. cawn gyfarchiad y golygydd. Mae hyn i'w ddysgwyl. Yn y cyfarchiad cawn ddadblygiad o ostyngeiddrwydd mawr y golygydd; pwy fel golygydd am ostyngeiddrwydd?—Rhaid ydyw iddo ddweyd yr hen stori, a son am frodyr llawer mwy galluog a chymwys at y gwaith. Eto cyfarchiad *genuine* a gonest yw, canys Roberts, Pontypridd sydd yn cyfarch ei frodyr yn yr eglwysi, ac nid yw yn ei allu ef i fod yn anonest. Cydnabydda yr anrhydedd â'r hwn y coronwyd ef gan yr enwad yn Nghymru. Rhydd ei farn gyda golwg ar briodoleddau erthyglau

chwarterolyn. Dylent fod yn gynwysfawr, dyddorol, buddiol, eglur, a darllenadwy. Mae yn rhyddfrydig iawn, canys y mae am gael y *con* yn ogystal a'r *pro*. Fel golygydd o galon bur yn helaeth, y mae am gydnabod yr ysgrifenwyr am eu llafur. Mae Cymru wedi bod yn mhell ar ol yn hyn. Nid ar y golygwyr a'r cyhoeddwyr y mae y bai, ond ar y bobl; nid ydynt wedi rhoddi y gefnogaeth ddyladwy i lenyddiaeth, yn enwedig i eiddo enwadol. Diwygier yn hyn.

Y CYNWYSIAD.

Mae "Bedyddio dros y meirw" wedi cael ei hysgrifenu gan y Parch. Dr. Jones, o Langollen. Rhydd y testyn yn ol y cyfieithiad newydd: "Oblegid, beth a wnant hwy y rhai sydd yn cael eu bedyddio gyda chyfeiriad at y meirw? Os y meirw ni chyfodir o gwbl, paham yn wir y bedyddir hwy gyda chyfeiriad at y meirw?" Beirniada yr awdwr esboniadau rhai o'r dysgedigion, fel ysgolor addfed. Ar y gair *huper* yr hongia y cwbl. Mae yr ysgrifenydd yn amheu pa un a yw y gair yn cael ei ddefnyddio am *an ti* (yn lle). Dyma ddadl y rhai a ddywedant mai *yn lle y meirw* y bedyddir y byw. Trinia Dr. Jones yr esboniad dirprwyol mewn modd lled lym. Gwna ei farn yn glir, a dyga ysgolheigdod a naturioldeb yn y blaen er gwneuthur ei farn yn gadarn.

Mae yr erthygl ar "Gadwraeth yr Ysgrythyrau," gan y Parch. A. Williams, yn dangos llafur ac ymchwiliad. Nid ar antur y trinia ei bwnc, ac nid amser bychan a roddodd at y gwaith. Diolchwn o'n calon i'n brawd Williams o Ystrad Rhondda, am ei erthygl ragorol.

Cydia ysgrifenydd y "Weinidogaeth," yn ei waith fel meistr. Mae ganddo rai brawddegau yn ymylu ar fod yn orlym. Nid gwaith ofer fyddai i bob eglwys yn Nghymru glywed yr erthygl hon. Ystyriaeth ddwys o'i chynwysiad a wnelai les dirfawr i Seion. Dylai y gweinidogion ddiolch i'r Parch. T. Lewis, Risca, am y fath erthygl.

Yr erthygl nesaf sydd ar "Y Weinidogaeth Efengylaidd yn ei pherthynas â'r Eglwys Gristionogol." Trinia Eglwys Loegr ac Eglwys Rufain mewn modd pwyllog ond argyhoeddiadol. Ca y swydd offeiriadol ei sylw manwl; ac ar y pwnc hwn ni adawa yr un gangen heb ei thrin i berffeithrwydd. Mae ei sylwadau ar yr "Olyniaeth Apostolaidd" yn hynod o eglur. Chwal honiadau yr offeiriadaeth Rufeinig ac Anglaidd (O, am air gwell!) yn llwch mân.

Barddona Thalamus yn bur dda ar "Grist yn Cysgu."

Mae gan Spinther erthygl hynod o ddyddorol ar Richard Michael, un o "Enwogion anghofiedig y Bedyddwyr." Pwy bynag a all ddarllen yr erthygl hon, heb ddiolch i Dduw am Richard Michael, y melinydd, yr hwn a ddaeth i farw i America, sydd fel maen isaf y felin. Rhaid fod Spinther wedi gweithio yn galed anarferol i gasglu yr holl ffeithiau yma at eu gilydd. Mae yn hynod alluog gyda'r gwaith o wneyd llyfr y Croniclau yn ddyddorgar. Mae taith Spinther trwy ddyffryn yr esgyrn sychion yn cynyrchu dylanwad annhraethol. Nid yw Nefydd wedi marw.

Ysgrifena y Parch. Abel Jones Parry, o Abertawe, yn hynod o dda ar "Fedyddwyr Rossendale." Dengys ei fod yn berffaith gyfarwydd a hwy ac a'u gwaith. Pan y meddyliwn fod Mr. Parry wedi byw yn eu plith, a'i fod fel pob dyn doeth, a'i lygad yn ei ben, ni synwn gyda golwg ar ei waith yn rhoi i ni ddarlun teg a pherffaith o'r eglwysi gwir Fedyddiedig yn Rossendale. Yn ystod y deugain mlynedd diweddaf, y mae deg o Gymry wedi bod yn gweinidogaethu yn Rossendale. Ymlyna yr eglwysi yma yn ffyddlon a diysgog wrth gymundeb caeth. Mae eu capeli yn mhlith y rhai ardderchocaf yn y deyrnas. Nodweddir y Bedyddwyr yno gan haelfrydedd neillduol.

Nid yw W. Maurice, Tirzah, wedi llwyddo i gyfansoddi yn dda ar "Ddylanwad Mam." Rhy gyffredin yw y farddoniaeth i gyhoeddiad o nodwedd *Seren Gomer*.

Ffarwelia fy hen gyfaill y Parch. D. O. Edwards, ag efail y gof am dro, a chymer ei le yn swyddfa y meddyg, gan rifo esgyrn, sylwi ar guriad y galon, tremio ar y llygaid, esbonio yr arddwrn a'r llaw, traethu ar y llais, desgrifio y glust; mewn gair, darlunio y corph dynol mewn dull athronyddol ond syml. Moes eto.

Ysgrifena Iota Penfro ar "Ddeddfau iechyd da a bywyd dedwydd." Dyma ei lith gyntaf, a thraetha ar *lanweithdra*, y *doluriau* mwyaf tueddol i ddynion yn y chwarter yma o'r flwyddyn, &c. Gobeithiwyf y caiff Iota iechyd i fyned yn mlaen â'r gwaith, ac y bydd mor ddedwydd wrtho fel ag i wneyd pob tu-dalen i wenu yn ngwyneb y darllenydd.

Cawn y Parch. Taliesin T. Jones wrth ei hoff-waith; mae ganddo erthygl werthfawr ar "Fferylliaeth Glo." Ca mwnwyr goleuedig Gwalia bleser wrth ddarllen yr ysgrif hon.

Mae gan y Parch. H. Cernyw Williams bwnc dyddorol iawn, a phwnc y mae wedi syrthio mewn cariad ag ef. Y pwnc yw "Emynau ac Emynwyr." Yr wyf wedi cael y pleser o draddodi amryw ddarlithiau ar y pwnc hwn, a gwn trwy brofiad ei fod yn meddu aml swynion. Beth pe y gwnelai Cernyw gymeryd yr "Emynau a'r Emynwyr Cymreig" mewn llaw. Mae amryw lyfrau wedi eu cyhoeddi ar *Emynwyr* gwlad y Sais, ond nid oes ond y peth nesaf i ddim wedi ei ysgrifenu ar Emynwyr Gwalia.

Gobeithiwyf y danfonir amryw o enwau o'r wlad hon am *Seren Gomer*.

(*I'w barhau.*)

## IAWN CALFARIA.

Wrth fyfyrio'r Gyfrol Ddwyfol,
  Gwelir trefniant Tri yn Un,
Mewn cyfamod, cyn bod Eden,
  Uwchaf dyben achub dyn;
Tad yn gofyn iawn o burdeb,
  Mab yn ateb, Wele fi!
Llwyr berffeithiwyd cynllun bywyd
  Yn "Ngorphenwyd" Calfari.

*Dell Roy, O.* LLYWARCH.

## DATHLIAD ROBERT RAIKES.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, WILKESBARRE.

"Pob peth sydd o Dduw." "Pob rhoddiad daionus a phob rhodd berffaith oddi uchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni." Dyna lais natur, ys dywed Cowper:

"There lives and works
A soul in all things, and that soul is GOD!
* * * * * * *
Nature is but a name for an *effect*
Whose *cause* is GOD!"

O oes i oes mae llais hanesyddiaeth wedi cydgordio â llais natur. Yn nghychwyniad a llwyddiant mudiadau pwysig, nid anhawdd canfod ôl llaw Duw. Y mae enwogion y byd, mewn celfyddydau, mewn gwyddorau, mewn athroniaeth, mewn moesddysg, addysg, a chrefydd, wedi "synied y pethau sydd o *Dduw*;" er y dichon na chydnabyddwyd hyn ganddynt hwy na'u hedmygwyr. Offerynau oeddynt a godwyd yn ei amser da ef; ac felly, os ydynt i'w codi i binacl anrhydedd, a'u gwneyd yn wrthddrychau sylw arbenig, priodol cofio a chyfaddef mai yn "*nghysgod* yr Hollalluog" y mae yn gweddu iddynt sefyll. Tybiwn yr ewyllysiai Robert Raikes allu dweyd am yr oll a fu yn Llundain a manau eraill, "Hwy a ogoneddasant *Dduw* ynof fi."

Nodweddir yr hyn "sydd o'r Nef,"—o Dduw a thrwy Dduw—gan amryw bethau, yn arbenigol y tri hyn: Dyngarwch, Prydlondeb, Perffeithrwydd. Gosoder yr Ysgol Sul at y prawf, a cheir,

1. Mai dyna ei thuedd hi, sef *bendithio dynoliaeth;* ac felly nodweddir hi gan un o'r pethau sydd yn wastad i'w gael yn y darganfyddiadau o darddiad dwyfol, sef "daioni a chariad Duw tuag at *ddyn*." Meddyliwyd fod yr agerlongau, y cledrffyrdd, y pellebrau, &c., holl beirianau dyfais ddiweddar, yn erbyn y gwreng, ac o blaid y bonedd. Gwrthwynebol iddynt y caed y *lluaws*. Er engraifft, gorfu i Syr Richard Arkwright, dyfeisydd y *spinning-jenny*, ffoi o Preston i Nottingham, rhag

cynddaredd y bobl oeddynt yn rhy fyr eu golwg i ganfod fod yn hon fendith anmhrisiadwy i wlad a deiliaid Sior III. Bu hyn tua'r adeg yr oedd Raikes yn dwyn yr Ysgol Sul i sylw. Cywilydd genym nodi i'r sefydliad bendithlawn hwn gyfarfod â gwrthwynebiad, nid yn gymaint oddiwrth y byd ag oddiwrth yr eglwys. Bu y pylor, nerthol a dychrynllyd, o ryfel Cressy, yn 1340, yn wasanaethol yn llaw gormeswyr y werin; ond o dan Cromwell, ac yn rhyfel ein hannibyniaeth ni, bu hwn o du y bobl; eithr ni bu yr Ysgol Sul un amser yn ddim arall ond llawforwyn yn gweini i les y lluaws. Erbyn heddyw y mae dyben Duw yn y sefydliad clodwiw yn ganfyddadwy i bawb, ac yn cael ei gydnabod ar bob llaw. Dywedai Dr. Glasse fod, o fewn pum' mlynedd wedi ei sefydliad, nid llai na 250,000 yn mwynhau ei bendithion hi. Yn ein dydd ni, ceir yn y Talaethau Unedig 7,309,452 yn ddeiliaid ynddi —tua miliwn mwy nag a geir yn y byd cyfan y tu allan i'r wlad hon! Rhoddir y cyfanswm o ddeiliaid yr Ysgol Sul ar yr holl ddaear yn 13,801,197. (*S. S. Times*, Meh. 26, 1880.) Y mae hyn, mor agos ag y gellir cael allan, yn lled gywir; ac eto *islaw*, nid uwchlaw y nifer. Amlwg yw fod y werin yn prisio y mudiad, ac yn bendithio Duw am dano, fel peth dyngarol a da i ddynion. Awgrymasom fod darganfyddiadau a mudiadau o Dduw yn cael eu nodweddu,

2. Gan y *Prydlonrwydd* sydd yn deilliaw o *wybodaeth* yr Hollwybodol. Genir ei holl fwriadau ef, nid "allan o amser," ond fel y ganwyd Mab y Goruchaf, "pan ddaeth cyflawnder yr amser." Er engraifft, a ydyw peryglon y glowyr yn amlhau am fod y galwad am lo yn cynyddu mor gyflym? Wele y Cornywydd enwog â'r *Davy Lamp* yn barod erbyn 1815. Eto, pan ddaeth yr alwad am agerlongau i ddwyn ymfudwyr o'r Hen Fyd i'r Newydd, ac i ddwyn yn mlaen fasnach gartrefol y wlad eangfawr hon, dyna Duw yn rhoi y *secret* i Robert Fulton yn 1807, ac erbyn 1819 dyna yr agerlong *Savannah* yn gwneyd taith lwyddianus o Efrog Newydd i Lynlleifiad. O'r braidd nad oedd dyn o egwyddorion a medr Roger Williams yn *wastraff* yn Mhrydain, ond daeth i'w le priodol yn Rhode Island. Nid oedd Duw wedi ei wneuthur yn ofer.

Dywedir i offeiriad Pabaidd, yn Paris, gychwyn Ysgol Sul mor foreu a 1699, eithr nid oedd hono, ac eraill a enwir, ond "cysgod daionus bethau i ddyfod." "*Great events cast their shadows before them,*" ebe rhywun. Yr un modd, rhoddwyd i Ellmyn o'r enw Jansen syniad am y pellsyllydd (*telescope*) yn y flwyddyn 1590; ond pan ddaeth y syniad i feddwl Galileo, yn 1610, daeth gwerth y darganfyddiad i'r amlwg yn ei gymwysiad at ddybenion seryddol. Nid oedd y cwmpawd morawl o eiddo'r Chineaid, os yn deilwng o'r enw, o fawr ddyben i'r morwr; ond yr oedd yn rhaid i'r Arglwydd wrth ddyfais yr Eidalydd Gioja yn 1302, am ei fod ar fedr cychwyn Columbus i wlad y Gorllewin, o dan arweiniad y ddyfais hono. Felly os nad cwbl gywir y canodd Montgomery ar adeg dathliad Jubili Genedigaeth Robert Raikes, yn y flwyddyn 1831,

"*One* heaven-directed mind
Revealed the simple plan,"

y mae *plan* cyhoeddwr y *Glo'ster Journal* wedi ei gydnabod fel dechreuad y mudiad, a "chodiad haul" yr Ysgol Sul.

Nid cynt y gwnaed hon yn destyn sylw nag y gosododd Duw yn nghalon dynion fel Thomas Charles, o'r Bala, yn 1789, a Morgan J. Rhys, yr enwog wr o Hengoed, flwyddyn neu ddwy, o bosibl, cyn hyny, i gychwyn ysgolion felly, er lles a llwyddiant cenedl y Cymry. Os cywir y dywedai Dr. Alexander, fod hwn i'w gyfrif "*second to no discovery of our age,*" nid rhyfedd i ddynion felly ganfod ei werth mor eglur a dioedi. Yr oedd ysgolion Gouge a Hughes, a'r eiddo Jones a Mrs. Bevan, wedi profi yn fendith enfawr yn y Dywysogaeth. Barnai Morgan J. Rhys fod nid llai na 297,121 wedi eu dysgu i ddarllen Gair Duw yn y Gymraeg yn ystod y 39 mlynedd ar ol cychwyniad

ysgolion yr anfarwol Griffydd a'r foneddiges haelfrydig a fu yn famaeth mor effeithiol i'r sefydliad.

Yn amser Raikes, Charles a Rhys, yr oedd angen ategu y gwaith da a wnaed drwy y Diwygiad yn Lloegr a Chymru, a'r *very thing* i ateb y cyfryw ddyben oedd yr Ysgol Sul; dygai hon Air Duw i gyffyrddiad uniongyrchol â meddwl dyn. Nid rhyfedd i awdwr y traethawd buddugol ar "Yr Ysgol Sabbothol a'r Oes," ysgrifenu y fath frawddeg a hon: "Y cyfnod dysgleiriaf yn hanes yr Ymerodraeth Brydeinig ydyw *y cyfnod a ddechreua gydag ymddangosiad yr Ysgol Sabbothol!*"

Nodasom hefyd fel nodwedd o'r hyn y byddo Duw ynddo,

4. *Perffeithir* hwnw, yn fuan neu yn hwyr. Yr anfeidrol a'r tragywyddol *berffaith* yw efe, ac nid ydyw yn gadael ei gynlluniau ef hyd oni welo y priodoldeb o'u cyhoeddi yn "dda iawn!" Felly y bydd gyda yr hyn a osododd enw Robert Raikes mewn anrhydedd mor fawr. Ychydig a feddyliodd am ganlyniadau pwysig ac eangfaith y symbyliad dwyfol a gynwysid yn y gair "TRY." Hwn yn wir yw nodwedd y sefydliad yn mhob oes a gwlad. Syniad felly a gyffrodd feddwl Mrs. Ann Rhys—teilwng berthynas i Morgan J. Rhys—i sefydlu Ysgol Sul yn Philadelphia, yn 1815, lle y mae gan ein henwad heddyw 70 o ysgolion, a'u deiliaid dros 20,000! Yr un modd y teimlodd y Cymro Joseph W. Griffiths, a gychwynodd Ysgol Sul yn Efrog Newydd, yn 88 Division Street, mor foreu ag 1810. A oedd hon, tybed, wedi dyfod o lwynau Thomas Griffiths, gweinidog eglwys nodedig y *Welsh Tract?*

Pa ddarganfyddiad, o fewn y ganrif dan sylw, sydd wedi myned rhagddo at berffeithrwydd" yn gyflymach na'r Ysgol Sabbothol? Meddylier am addysg cyffredin, o'r amser yr awgrymodd Pestalozzi ei syniad, a'r diwygiad amlwg sydd wedi cymeryd lle o 1799 hyd yn bresenol; eto amheuwn a ydyw yr Ysgol Sul yn mhell yn ol i'r ysgol dyddiol. Dyna drydaniaeth (*electricity*) o'r adeg y gwnaeth Volta y pentwr (*pile*) hynod, yn 1782, y mae gwelliant mawr wedi nodweddu y darganfyddiad; eithr nid mwy nag yn yr Ysgol Sul. Yn 1769 y cafodd James Watt y *patent* cyntaf ar ei agerbeiriant. Gwael oedd hwnw at y peirianau sydd yn awr; ond amheu yr ydym a oes, yn y cysylltiad hwn, gynydd mwy nag a welir yn yr Ysgol Sul. Tua 40 ml. yn ol y dechreuodd Daguerre ddysgyblu yr haul i weithio fel arlunydd; y mae rhagoriaeth dirfawr yn yr arluniau heddyw ar y rhai boreuol hyny; eithr nid rhagor y gwelliant yma nag yn yr Ysgol Sabbothol. Yn lle dysgeidiaeth gyffredin, yr *Ysgrythyrau* sydd yn awr; yn lle athrawon o dan dâl, yr hyn a fu agos a llethu ysgolion Raikes, wedi iddo fyned i ffordd yr holl ddaear, wele fyddinoedd o wirfoddolion yn gwasanaethu yr achos da yn *rhad* ac am ddim; yn lle cymysgfa ddidrefn, dosrenir yr ysgolheigion yn ol eu hoed a'u cyrhaeddiadau; yn lle plant yn unig, wele ganol oed a hefyd *hen* bobl, yn yr ysgolion; yn lle darllen diamcan, wele y "Gwersi Cydgenedlaethol;" yn lle hen dônau trymaidd, dyma yr eiddo Bradbury ac eraill yn swyno yr ieuenctyd ac yn lloni yr hynafgwyr, &c. Nis gallwn lai na dywedyd, "Beth a wnaeth Duw!" Ac eto y mae llawer rhyngom a'r "*perffeithrwydd*" sydd yn ddichonadwy, ac, "os yr Arglwydd a'i myn," a gyrhaeddir cyn bo hir.

Arwyddair pob Ysgol Sul ddylai fod, "*Mwy a Gwell.*" Yr ydym am bwysleisio y gair olaf, o herwydd os byddant yn *well* deuant yn fwy. Tybiwn fod yr ysgolion yn mysg yr Americaniaid yn llawer iawn gwell, ar lawer golygiad, na'r rhai Cymreig; ac eto sicr ydym nad oes cenedl o dan y nef mor ddyledus i'r sefydliad Dwyfol hwn ag yw y Cymry.

Gydag amcan mor ogoneddus, ac mewn gorchwyl mor bwysig, yn dal cysylltiad, nid â'r byd hwn yn unig, ond hefyd â'r hwn a ddaw, "yn gwneuthur daioni na *ddiogwn*, canys yn ei iawn bryd y medwn, oni ddiffygiwn." Yma cesglir ffrwyth i fywyd tragywyddol,

"Pan y bydd
Ysgolion bydol wedi myn'd dros gof ;
Pan na bydd son am Areopagus hen,
Na *Forum* Rhufain, nac Olympus deg,
Ysgolion Athen a dysgeidiaeth Groeg,
Yn llwyr ddiystyr. Pan bydd athrofeydd,
Athronwyr ac Amheuwyr Almaen draw
Ar lwyr ddifancoll ; ie, pan y bydd
Holl ddadwrdd Eisteddfodau'r byd
Wedi diflanu, eu cadeiriau gwych,
A'u tlysau drudfawr wedi eu hysu yn nhân
Y llosgiad olaf !—Wedi hyn i gyd,
Yr Ysgol rad Sabbothol a rydd ffrwyth !
Cyfrifa ei thlysau ar ororau'r nef,
Plith per ganiadau gwynfydedig lu,
Yn mhresenoldeb bythol Duw a'r Oen."

Ein Hysgolion Sul yw gobaith yr oes a'r eglwys. Rhodder iddynt le cynes yn y galon ; anrheger hwy â galluoedd goreu y pen ; gwneler eu llwyddiant yn uchelgais sanctaidd ; gweddier dros-tynt yn ddibaid. Os marwaidd a salw fydd ein hysgolion, os *heb* ofn yr Arglwydd, *heb* gariad at eneidiau, *heb* ddyddordeb yn y gwirionedd, *heb* ysbryd cenadol a Christionogol, daw "diwrnod tywyll, du, diwrnod cymylog a niwlog" ar Seion Duw, ac ar y to sy'n codi.

O. Y. Wedi anfon yr ysgrif uchod i'r swyddfa, deallasom ei bod yn ddiweddar, ac na ymddangosai hyd y rhifyn hwn. Yn y cyfamser sylwasom ar ffeithiau dyddorol a phwysig yn nglyn a'r dathliad, a ystyriwn yn werth eu gosod fel atodiad i'r erthygl, ac yn fyr iawn :

1. Fel prawf o'r sylw *cyffredinol* a gafodd y dathliad, yr oedd Australia wedi anfon cenadon, dros 16,000 o filldiroedd o Lundain !

2. Fel engraifft o'r ysbryd *moliant* a nodweddai yr amgylchiad, nodwn y "Côr Plant" yn Mhalas Gwydr Suydenham—30,000 mewn rhifedi !

3. Fel awgrym o *ragoriaeth y cyfnod*, wele yn yr ardd ar lan y Thames gofadail i Robert Raikes yn sefyll agos gyferbyn a *Cleopatra's Needle* y tu arall i'r afon ! Cyfeiriai Llywydd y dydd, Iarll Shaftesbury, at y wers foesol sydd yn hyn—yr Aipht a NI !

4. Fel amlygiad o *werth ymarferol* y dathliad, dyna y clod a roddwyd i Gymru am ei bod wedi gosod siampl o ddefnyddioldeb y sefydliad i'r canol oed a'r hen—i efrydwyr y Gyfrol Ddwyfol, o bob gradd ac oedran.

Hefyd, awgrym Syr Charles Reed, A. S., a Llywydd Bwrdd yr Ysgolion Sabbothol yn Llundain, sef y dylid codi *fund* o £25,000, neu $125,000, er helaethu a diwygio ysgolion Prydain. Yn mysg y "*betterments*" a gymeradwyid, oedd, athrawon mwy diwylliedig, mabwysiadu y Gwersi Cydgenedlaethol, codi ysgoldai mwy cyfaddas, &c. Hyn ar hyn o bryd.

Yn ddiweddaf, cofiwn gyngor y Pregethwr Breiniol, "Beth bynag a ymafael dy law ynddo i'w wneuthur, gwna â'th holl egni." Byr yw oes dyn. Y mae Robert Raikes yn ei fedd er ys 69 mlynedd, ac ystyrid ei fod yn hynod gael *pedwar* yn fyw heddyw a fuont, yn blant, yn ysgol Raikes yn Nghaerloyw. E. E.

---

## DYN.

Dyn ydyw eithafnod creadigol yr Anfeidrol, y ffon uchaf yn ysgol bywyd, a choroniad gwaith y chwe' diwrnod. Gwrthddrych llawenydd i angelion, gwrthddrych temtiad i ddiafol, a gwrthddrych gras i Dduw. Ar gyfrif ei orucheledd ar yr holl greaduriaid daearol, dewiswyd ef yn arglwydd y belen ddaearol, yn enwydd yr holl fywolion, ac i gerdded yn unionsyth. Pan aethpwyd i greu *dyn*, galwyd sylw y Drindod at y ffaith ; penderfynwyd yn unfrydol ei wneyd ar eu llun a'u delw hwy, a derbyniodd gymeradwyaeth Duw. Duw ydyw ffynonell daioni, a gwelodd mai *da* oedd gwaith creadigol y pum' diwrnod cyntaf, ond nid oedd y cymeriad o "*da iawn*" yn ateb i neb namyn gwrthddrych y chweched dydd—dyn. Rhoddwyd llygaid i'r pysgod, archwaeth i'r eryr, arogliad i'r arth, clustiau i'r elephant, a theimlad i'r dryw fach, ond i ddyn yn unig yr ymddiriedwyd y perl anmhrisiadwy—yr enaid. Gall yr adar ganu, yr afon drydar, ond dyn yn unig a fedr ddal cymundeb addoliadol a'i Grewr. Y diafol ydyw gelyn Duw, yr angelion ydynt wasanaethyddion Duw, ond dyn ydyw

cyfaill Duw. Llefarodd y diafol drwy y sarph, Satan yn nghornwydydd Job, ond Duw trwy y dyn Crist Iesu. Ca yr adar ganu ac ehedeg yn y nefoedd gyntaf, y ser ymlwybro yn yr ail, ond y mae yn ofyncl cael dyn i esgyn i'r trydydd er chwareu ei ran ef—ei esgynlawr ef ydyw oriel aur Caersalem. Tair *act* yn *nrama* hanes y dyn—dyn yn ngardd Eden—dyn yn anialwch y byd—a dyn yn mharadwys Duw a'r Oen.

*Hyde Park.* JOHN W. GRIFFITH.

# PWLPUD Y WAWR.

## Adenedigaeth yr Eglwys.

GAN DR. CEFNI PARRY.

"Y cewch chwi, y rhai a'm canlynasoch i, yn yr adenedigaeth."—MAT. 19 : 27—30.

"Yr adenedigaeth"—Groeg, *paliggenesia;* yr hyn a olyga, dydd genedigaeth newydd. Arwydda y gair hefyd, *Adnewyddiad.* Ac felly y cyfieithir y gair gan y dysgedig John Williams, yn "*Yr Oraclau Bywiol.*" Mae yr ymadrodd yn ffigyrol, ac wedi ei gymeryd oddiwrth yr amgylchiad o eni dyn i'r byd. Yn Israel, yn gystal a phob llywodraeth yn coleddu y trefniant caethwasol, yr oedd yr hwn a enid yn gaethwas, i fod felly, hyd nes y prynid ef yn rhydd. Yr oedd dydd ei bryniad ef yn rhydd yn ddydd o adnewyddiad ar ei gyflwr iddo; yn debyg fel pe y genid ef o'r newydd. Fel yr oedd ei gyflwr caeth yn dechreu yn ei enedigaeth, yr oedd ei gyflwr rhyddfreiniol yn dechreu yn ei bryniad, yr hyn oedd iddo ef yn fath o enedigaeth newydd, neu *adenedigaeth.* Ymffrostiai yr Iuddewon nad oeddynt hwy yn gaethion, eithr wedi eu geni yn rhyddfreiniol; felly mewn hawl i holl ragorfreintiau rhydd-ddinasyddion ysbrydol. Yn ei ymddyddan mawr a rhyfedd â Nicodemus, dygodd yr Arglwydd Iesu Grist ffaith newydd a dyeithr i sylw, yr hyn na chlywesid erioed o'r blaen—yr *adenedigaeth.* "Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn." Byth wedi hyny y mae y ffaith hon yn cael ei chydnabod yn y byd; ac yn cael ei derbyn fel un o wirioneddau sylfaenol yr efengyl. GENI DRACHEFN—*gennethenai anothen;* geni oddi uchod. Golyga y gair, y cyfnewidiad ysbrydol, yn y syniad a'r teimlad, angenrheidiol i ddirnad a derbyn pethau ysbrydol; ac i fynediad gwirioneddol i gyflwr ysbrydol. *Adenedigaeth!* Defnyddir yr ymadrodd yma i osod allan y cyfnewidiad mawr a gymerodd le ar gyflwr yr eglwys dan yr efengyl. Fel yr oedd yr Iuddew i'w eni drachefn, neu ei eni oddi uchod, mewn trefn i fyned i mewn i gyflwr newydd pethau, neu i bethau y cyflwr newydd, felly yr oedd yr eglwys hefyd i'w geni drachefn, ei geni oddi uchod, neu ei "*geni o ddwfr ac o'r Ysbryd,* i fyned i mewn i bethau y cyflwr newydd. Cyflwr yr eglwys dan yr efengyl yw cyflwr yr *adenedigaeth.* Gorchwyl mawr yr Arglwydd Iesu Grist yn y bedydd oedd ail-eni yr eglwys, neu ddwyn crefydd i gyflwr newydd—*yr adenedigaeth.* Gwaith mawr ydoedd hwn, ac yn gofyn am aberth mawr; a rhaid wrth aberth eto, i ganlyn Crist i'r cyflwr hwn. Er hyny gwneir pob colled i fyny yn y wobr a addewir yn y geiriau hyn, "Bywyd tragywyddol."

I. NATUR YR ORUCHWYLIAETH. "Yr adenedigaeth."

1. *Goruchwyliaeth efengylaidd yn yr adeg.* Dywed Jacobus ac eraill, y perthyna y gair *adenedigaeth* i weddill yr adnod; ac na ddylid ei gysylltu â'r rhan flaenaf o honi. Felly darllena yr ymadrodd fel hyn: "Y cewch chwi, y rhai a'm canlynasoch i, pan eistedd Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant, yn yr adenedigaeth (neu yr adnewyddiad) eistedd chwithau hefyd ar ddeuddeg gorsedd, yn barnu deuddeg llwyth Israel."

Yn ol y synwyr yna, teflir yr *adenedigaeth* i ddiwedd oesau y ddaear; naill ai i gyflwr yr eglwys yn y milflwyddiant, neu ynte i gyflwr y gogoniant nefol, ar ol y farn fawr. Nid yw y gwreiddiol yn galw am ddarlleniad

fel yna; pryd y mae rhediad y geiriau yn dangos mai at gyflwr pethau ysbrydol dan yr efengyl, cyflwr efengylaidd yr eglwys, neu gymeriad crefydd dan lywodraeth y Messiah, y cyfeirir yn y geiriau, "Y cewch chwi, y rhai a'm canlynasoch i, yn yr adenedigaeth."

Dechreuodd yr oruchwyliaeth hon, o ail-eni yr eglwys, neu ddwyn yr eglwys i gyflwr yr *adnewyddiad*, yn ngweinidogaeth y Bedyddiwr; dygwyd hi yn mlaen yn ngweinidogaeth bersonol Mab Duw; a pherffeithiwyd hi yn ngweinidogaeth yr apostolion dan y tywalltiad o'r Ysbryd Glan arnynt, i'w goleuo a'u nerthu, i fod yn dystion i'r Arglwydd Iesu Grist yn y byd. Adeg o ail-eni yr eglwys, ac i ddwyn crefydd i gyflwr newydd ar y ddaear, ydoedd gosodiad i fyny oruchwyliaeth yr efengyl yn y byd. Crist yw *adferwr crefydd*. Ei ganlyn ef oedd yr apostolion. "Y rhai a'm canlynasoch i, yn yr adenedigaeth." Aeth Iesu Grist ei hun i'r cyflwr hwn trwy ei fedydd. Cyflawnodd bob cyfiawnder. Nid yw yr *adenedigaeth* yn golygu cyfnewidiad ysbrydol ar gyflwr moesol yr Arglwydd Iesu, fel y mae yn golygu yn achos dynion; eithr yn golygu cyfnewidiad perthynasol, ar amgylchiadau cysylltiadau y Messiah mawr. Mae bedydd yn arwyddocau edifeirwch, maddeuant pechodau, adnewyddiad natur foesol, a phuredigaeth y galon trwy ffydd, yn ei weinyddiad ar ddynion yn ufuddhau iddo. Nid oes ar yr Arglwydd angen yr un o'r pethau ag y mae bedydd yn arwyddocau yn ei weinyddiad ar ddynion pechadurus. Gan nad oedd efe yn sefyll mewn angen y bendithion ag y mae bedydd yn eu harwyddocau, methai Ioan a gweled fod un angen arno ef, fel y perffaith yn mhob dim, am fedydd i'w weinyddu arno. "Eithr Ioan a warafunodd iddo ef (i ymostwng i'w fedydd ef,) gan ddywedyd, y mae arnaf fi eisiau fy medyddio genyt ti, ac a ddeui di ataf fi?" Nid oedd Ioan yn gweled pethau yn eu lliw priodol eto; ond pan eglurodd yr Iesu iddo amcan ei genadwri, yn ei ymgymeriad a'r ordinhad, gwelodd Ioan hi yn y fan; a bu foddlon iddo. "Ond yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho ef, Gad yr awrhon; canys fel hyn (trwy wneyd hyn) y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder. Yna efe a adawodd iddo." Nid allai Ioan, fel rhagredegydd mawr y Messiah, gyflawni ei swydd yn iawn a pherffaith, heb fedyddio yr Arglwydd Iesu; ac nis gallasai yr Arglwydd sylweddoli cysgod cnawdol cyflwr gorphwysdra daearol yr eglwys Iuddewig yn Nghanaan, yn nghyflwr ysbrydol yr eglwys efengylaidd, heb iddo ei harwain o anialwch y seremoniau beichus i'r orphwysfa oedd yn aros pobl Dduw dan yr efengyl. Buasai yn gamwri a'r cysgod prydferth hwnw ei adael heb ei gyflawni; oblegid ei gyflawni oedd yn gwneyd cyfiawnder ag ef. Felly y deallir y geiriau, *plerosai pasan dikaiosune*, y rhai a ddylid eu cyfieithu, *I sylweddoli pob peth cyfreithlawn.* Yr oedd yr eglwys Iuddewig yn gysgod cyfreithlawn o'r eglwys efengylaidd, yr hwn oedd yn weddus ei sylweddoli yn mhob peth perthynol iddi, mewn pethau ysbrydol, dan yr efengyl. Felly yr oedd mynediad y genedl trwy yr Iorddonen, o'r anialwch i Ganaan, yn galw am ei sylweddoli, yn symudiad cyflwr yr eglwys o anialwch y seremoniau i orphwysfa yr efengyl. "*Yr eglwys yn y diffaethwch*" oedd yr eglwys Iuddewig. Daeth Ioan Fedyddiwr ati i'r diffaethwch, gan lefain arni i edifarhau, diwygio, a newid yn mhob dim; oblegid fod teyrnas Dduw yn ymyl, neu gyflwr ysbrydol yr eglwys gerllaw. Yr oedd Ioan yn yr Iorddonen, ac anialwch y cysgodau a'r seremoniau ar un tu iddi, a gorphwysfa ysbrydol yr addewid ar y tu arall. Daeth Iesu Grist at Ioan i gael ei fedyddio ganddo; felly i fyned o ddiffaethwch y cyflwr Iuddewig o grefydd, trwy yr Iorddonen fedyddiol, i Ganaan y cyflwr efengylaidd o grefydd. Ynddo ef, fel "*Pen corph yr eglwys*," y symudwyd yr eglwys i gyflwr a chymeriad newydd, yr hwn sydd yn sylweddoli cyflwr a chymeriad cysgodol yr eglwys Iuddewig, yn gyflawn a chyfiawn yn y cyfnewidiad mawr hwn a gymerodd le ar grefydd yn y byd. Felly nid arwydd o gyfnewidiad *ysbrydol* ar *natur foesol* Crist oedd ei

fedydd iddo ef, ond arwydd o'i *fynediad ef i gyflwr newydd* pethau—o fod yn Iuddewig i fod yn efengylaidd yn ei gymeriad, ei ysbryd a'i weinidogaeth; ac o symudiad cyflwr yr eglwys ynddo a thrwyddo ef, o fod yn Iuddewig i fod yn efengylaidd. Aeth trwy Iorddonen bedydd i sefydlu y deyrnas newydd—teyrnas Dduw—yr hon a *gyhoeddodd* Ioan, fel rhagredegydd mawr y Messiah, yn ei weinidogaeth ef, fel yr oedd yn weddus gwireddu yn gyfiawn y *cyhoeddiad* hwnw; fel, byth ar ol hyny, y mae pethau Iuddewig crefydd i'w rhoi heibio, a phethau efengylaidd crefydd yn cymeryd ei lle, "Yr adenedigaeth!"

Yr oedd gweinidogaeth a bedydd Ioan yn efengylaidd, yn ngwir a phriodol ystyr y gair; yn "Ddechreuad efengyl Iesu Grist, Fab Duw;" yn bregethiad teyrnas nefoedd; ac yn "edfryd pob peth." Ei weinidogaeth ef a ddygodd y Messiah i olwg y bobl; a'i fedydd ef a drosglwyddodd "*Ben yr Eglwys*," o ddiffaethwch yr eglwys Iuddewig i Ganaan y cyflwr efengylaidd, yr eglwys Gristionogol.

[*I'w gorphen yn ein nesaf.*]

---

# AMRYWIAETHAU.

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

—Yn niwedd y ganrif ddiweddaf nid oedd ond saith o gymdeithasau cenhadol perthynol i'r Protestaniaid. Heddyw y mae tair-a-thriugain, ac o y rhai hyn y mae saith-ar-hugain yn Mhrydain Fawr, a deunaw yn America. Yr oedd yn y maes cenadol yn nechreu y ganrif bresenol gant a deg-a-thriugain o genhadon, ac o y rhai'n yr oedd cant yn dal perthynas â'r Morafiaid. Yn bresenol y mae dwy fil a phedwar cant o genhadon ordeiniedig perthynol i Brydain ac America, ac uwchlaw tair-mil-ar-hugain o wasanaethyddion cartrefol, heblaw llu aneirif o wragedd cynorthwyol. Mae y Morafiaid yn rhoddi at yr achos cenhadol pedwar swllt a chwe' cheiniog ar gyfer pob aelod yn flynyddol, tra nad yw Eglwysi Gwladol Germani, mewn rhai manau, yn rhoddi yn agos i ffyrling y pen.

—Nid yw mater ynddo ei hun yn fyw. Y mae bywydoliaeth, pa un bynag ai mewn cell *protoplasm* neu yn y 'menydd dynol y gwelir ef, yn beth gwahaniaethol i fater, ac yn analluadwy i'w genhedlu o hono. Nid oes genym brawf fod yr anfywydol yn pasio i'r bywydol.

—Mae y meddwl yn lled gyffredin, hyd yn nod yn mhlith dynion gwybodus, mai yn y bymthegfed ganrif y dechreuwyd gwneyd llyfrau, ac y gwawriodd goleuni llenyddol, pan ddarganfyddwyd dyfais yr argraffwasg, ac mai i'r argraffwasg yn unig yr ydys yn ddyledus am ein trysorau gwerthfawr llenyddol; a chyn hyny bod cymylau dudew anwybodaeth yn gordoi holl genedlaethau y ddaear. Er hyny y mae prawfiadau o wareiddiad uchel yn Assyria dair mil o flynyddau yn ol, a bod llenyddiaeth yn blodeuo yn ninasoedd henafol Nineveh a Babylon, mor gyffredin ag yn ein plith ni y dyddiau hyn.

Dechreuodd llenyddiaeth Roegaidd yn mhell yn y cyfnod henafol. Yr oedd barddoniaeth yn y perffeithrwydd mwyaf fil o flynyddau cyn Crist. Y mae y ffurfiad cywrain a'r iaith wech yn y caniadau Homeraidd yn brawf o gyfnod maith o ddiwylliad blaenorol. Yr oedd llyfrau y pryd hyny yn cael eu hysgrifenu ar *papyrus*, ar ffurf plyglyfr o chwe' modfedd i chwe' troedfedd o hyd, ac yn cael eu copïo gan ysgrifenwyr proffesedig. Mae gan y Chineaid lenyddiaeth yn cyrhaedd yn ol 3,500 o flynyddau. Dyfeisiwyd argraffu yn China yn y chweched ganrif, naw can' mlynedd cyn i Ewrop wybod dim am hyny. Yn Rhufain henafol yr oedd llenyddiaeth o fewn cyraedd y bobl gyffredin. Cwynai Horace, yn mhell cyn y cyfnod Cristionogol, am fod ei lyfrau yn nwylaw pawb. Peth rhyfedd fyddai clywed bardd y dyddiau hyn yn cwyno am yr un peth!

Yr oedd yn llyfrfa Alexandria 700,000 o gyfrolau; ac yr oedd llyfrgellau yn lluosog yn Rhufain, Athen, Samos, a dinasoedd eraill, yn Groeg, Spain, Itali, a'r Aipht. Cynwysa y lyfrfa a sefydlodd Cystenyn yn Nghaercystenyn 120,000 o gyfrolau, a dywed ysgrifenwyr Arabaidd fod yn yr hon oedd yn Cairo 1,600,000 o gyfrolau.

—Gofynodd y diweddar Dr. Bethune i wr sarug a chybyddlyd, sut yr oedd yn dyfod yn mlaen. Atebodd y dyn: "Beth ydyw hyny i chwi?" Ebe y Doctor: "O! syr, un ydwyf fi o'r rhai hyny sydd yn cymeryd dyddordeb hyd yn nod yn y gwaelaf o greaduriaid Duw."

—Yr oedd bachgenyn yn byw gyda'i ewythr, yr hwn nid oedd yn rhoi haner digon o fwyd iddo. Un diwrnod pan yn rhodio gyda'u gilydd cyfarfuasant â milgi teneu ofnadwy. "Beth sydd yn peri i'r milgi yna edrych mor wael?" gofynai y gwr i'w nai. "Wel," ebai y bachgen, "yr wyf yn credu mai byw gyda'i ewythr y mae!"

—Bro Gwalia odidog, ber, glodadwy,
Trwy ei hardaloedd tra rhed Elwy,
Tra llef dwfr-dwfn, tra llifo Dyfrdwy,
Tra oesawg genedl, tra sio Conwy,
Ni cheir, ofnir, meddir mwy—ysblenydd,
Wiw liwgar awenydd a'i GORONWY.

—Pan oedd y Frenines Victoria yn bump-ar-hugain oed gofidiai yn fawr am nad oedd ei dyledswyddau cyhoeddus yn goddef iddi fod gyda ei merch fechan, Tywysoges Cymru, pan byddai yn dyweyd ei phader. Cyfarwyddai y rhai oedd wedi eu penodi i gario allan ei chynlluniau, yn y geiriau hyn: "Y mae yn bur eglur i mi y dylai gael ei dysgu i goleddu meddyliau mawreddog a pharchus iawn am Dduw a chrefydd; syniadau o addoliad a chariad y mae ein Tad Nefol yn ein calonogi i goleddu am dano, ac nid teimlad o ofn ac arswyd; na ddylai meddyliau am angau a'r byd a ddaw gael eu cyfleu mewn agwedd frawychus ac annymunol; ac na ddylai *eto* (nid oedd y fechan ond o bedair i bum' mlwydd oed) wybod dim am wahanol gredoau."

## DYWEDIADAU DYNION MAWR.

Nid yw y Cristion yn gweithio dros ei Dduw fel y sugniedydd (*pump*), yr hwn a ymetyl pan dynir y llaw oddiwrtho; ond fel ffynonell sydd yn fythdarddiol.—*Rowland Hill.*

Mae yr egwyddorion a argreffir ar feddwl yr ieuainc yn parhau yn gadarn ac ansigledig, fel pe wedi eu sylfaenu ar ryw ymsyniad—rhyw argyhoeddiad mewnol; ïe, hyd yn nod ar yr ewyllys. —*Plutarch.*

Cefais allan mai un o ddeugain o ieuenctyd ag sydd yn ymarfer eu hunain mewn rhinwedd, moesoldeb a chrefydd hyd bump-ar-hugain oed, sydd heb ddilyn y cyfryw fywyd hyd ddiwedd eu hoes.—*Iarll Shaftesbury.*

Yr hwn ni faddeua i eraill, a dyr y bont dros yr hon y mae yn rhaid iddo ei hun groesi.—*George Herbert.*

Ni phrofa y pregethwr o ymddangosiad annhaclus, a oddefa i'w wallt dyfu am wythnos heb osod crib ynddo, ei ewinedd heb ei glanhau, ei esgidiau heb eu duo, a'i ddillad yn aflan, ond yn arweinydd a chefnogydd tlawd i'r gwirionedd pur a sanctaidd—*H. Crosby.*

*Hyde Park.* *Cyf. "Ioan Bach,"*

## ALEXANDER FAWR.

Crachfardd o'r enw Cerilles a ddaeth at Alexander Fawr, gan ddywedyd ei fod ef yn deall fod ei fawrhydi yn haelionus i feirdd ac athronwyr, a'i fod yntau yn fardd. "Moes glywed rhai o'th gyfansoddiadau," meddai Alexander, a Cerilles a ddechreuodd adrodd rhywbeth a alwai efe yn gân. "Aros, taw," meddai Alexander, "dyma i ti arian am gau dy safn, a pheidio prydyddu dim yn rhagor."

## FFRAINC A'R JESUITIAID.

Urdd Pabyddol yw y Jesuitiaid, a sefydlwyd gan Ignatius o Loyola yn y fl. 1534, ac a gydnabyddwyd yn Urdd

crefyddol gan y Pab yn 1540. Ystyr y teitl yw Cymdeithas Iesu. Er bod hon yn un o urddau crefyddol diweddaraf y Babaeth, y mae wedi dyfod y bwysicaf o'r oll o honynt. Ychydig o wahaniaeth sydd rhwng yr urddau eraill a'i gilydd, ond yn lliw a chynllun eu gwisgoedd, eu rheolau a'u defodwasanaeth; ond am hon y mae yn wahanol iawn iddynt oll. Heblaw y telerau arferol o ufudd-dod i uwchafion, tlodi, haelioni, &c., y mae yma un amod a wna aelodau yr Urdd yn neillduol, sef eu bod yn ufuddhau i'r eglwys i fyned lle bynag yr anfonir hwy—yn genadon i ddychwelyd, neu fel arall, i gyflawni unrhyw waith a ofynir oddiarnynt er lles yr eglwys, a chysegru eu holl eiddo i hyny.

Alltudiwyd hwy o Loegr gan Iago I. Alltudiwyd hwy o Ffrainc dair gwaith cyn yn bresenol; diddymwyd hwy fel Urdd gan un Pab; ac alltudiwyd hwy yn eu tro o bob teyrnas a gwlad yn Ewrop.

Mae Gweinyddiaeth Ffrainc wedi gosod y gyfraith yn eu herbyn yn ddiweddar, ac wedi eu halltudio drwy orfodaeth o'r wlad. Mae eu halltudio wedi creu cryn gynhwrf drwy y wlad; ond y mae Ffrainc yn gwbl alluog i ofalu am ei hamgylchiadau ei hun; ac y mae wedi gwneuthur yn iawn drwy alltudio o'i gwlad elynion gwaethaf cymdeithas a chrefydd.

## GORCHYMYN ANHAWDD.

Pan oedd Mr. Jeffreys unwaith yn holi plant, efe a ofynodd iddynt, Pa un o'r deg gorchymyn oedd y mwyaf anhawdd ei gyflawni? Atebodd un mai y gorchymyn hwn, y llall mai y gorchymyn arall. Yn y diwedd gofynodd i fachgen o gylch deuddeg oed, yr hwn a atebodd, mai y gorchymyn olaf, sef y degfed, oedd yr anhawddaf o'r cwbl. Gofynodd yntau pa fodd yr oedd hyny yn bod? Efe a atebodd, "Y mae i un tlawd weled un arall yn meddu llawer o arian, llawer o ddillad, llawer o wartheg, ac yntau heb ddim, a pheidio chwenych rhan o bethau yr hwn sydd yn meddu llawer, yn beth anhawdd iawn. Nid oes neb a all wneyd y gorchymyn hwn."

## Y PABYDDION YN AMERICA.

Ychydig amser yn ol darfu offeiriad Pabaidd yn Iwerddon anfon llythyr i America, i ymofyn yn nghylch amgylchiadau Pabyddiaeth yn myd y Gorllewin. Y cyfrif a gafodd, ar ol gwneyd ymchwiliad manwl oedd, fod holl Babyddion America yn mhell islaw dwý filiwn, pan y dylasent, yn ol cyfrif y Pabyddion sydd yn ymfudo yno o'r Iwerddon a gwledydd Pabyddol eraill, fod yn agos i *bedair* miliwn—felly fod dwy filiwn o Babyddion wedi colli o'r rhai a fuasent yn Iwerddon a manau eraill, ond wedi ymwrthod â Phabyddiaeth yn America.—*Cydymaith Dyddanus.*

[Dichon fod y nifer a roddir uchod o Babyddion America yn rhy isel yn awr, ond y mae'n ffaith, yn ol achwyniadau offeiriaid Pabyddol eu hunain, fod Pabyddiaeth yn colli ei gafael ar niferi mawrion o'r bobl ieuainc yn y wlad hon.]

## HANESYN AM ROBERT HALL.

Rywbryd pan oedd efe yn Leicester, daeth Mr. Mason, New York, drosodd i Lundain i draddodi pregeth o blaid Cymdeithas Genhadol Llundain. Aeth Robert Hall yno i'w wrando. Yr oedd siarad mawr am y bregeth, a Mr. Hall yn ei hedmygu gymaint a neb. Yn fuan wedi i Mr. Hall ddyfod adref, galwodd rhyw bregethwr dyeithr ar ddamwain yn ei dy. Dymunodd Mr. Hall arno bregethu yn ei le ef y noswaith hono, gan nas gallai feddwl am bregethu ei hun mewn un wedd. Cymerodd y pregethwr arno ei fod yn wrthwynebol iawn i wneyd, gan ei fod yn golygu ei hun yn anaddas i bregethu yn lle y fath un, ac eto yn falch o'r cynyg. Gan na chymerai Mr. Hall ei nacâu, pregethodd y gwr yn y modd goreu y gallai. Ar ol darfod y breg-

eth, ymddangosai Mr. Hall yn hynod o siriol, a dywedodd na chafodd braidd erioed ei foddhau gymaint mewn pregeth. Y pregethwr yn foddhaus a synedig wrth glywed hyn, a ofynodd beth oedd yn ei bregeth yn rhoddi y fath foddhad iddo? Mewn atebiad dywedodd yntau, "Yr wyf newydd ddychwelyd o Lundain, wedi bod yn gwrando y dyn mawr hwnw, Dr. Mason, New York. Y mae wedi fy synu, ac wedi peri i mi feddwl am yr hyn a dybiwn a fuasai Paul pe clywsem ef. Ni chlywais i neb o'i gyffelyb—yr oeddwn wedi myned i'r fath iselder meddwl ar ol ei glywed, fel na wyddwn pa fodd i gynyg pregethu dim ychwaneg yn fy oes;" a chan ddyrchafu ei ben, efe a ychwanegodd yn rymus, "ond diolch i Dduw, yr wyf wedi eich clywed *chwi*, ac yr wyf yn teimlo fy hun yn ddyn eto." Y fath ergyd drom ac annysgwyliadwy oedd hyn i'r dynyn bach!

---

## LLAFUR HEN GREFYDDWYR.

Yr oedd llafur trueiniaid sychedig am air y bywyd mewn teithio i wrando y gair ryw gan' mlynedd yn ol yn annarluniadwy. Y mae yr hanesyn canlynol yn un engraifft o hyny:—"Dyn tlawd o weithiwr wrth y dydd ydoedd yn byw yn Nghaerwys, Swydd Fflint, o'r enw Peter Jones. Aethai y gwr hwn i Langeitho un-ar-ddeg o weithiau, taith o 210 o filldiroedd rhwng myned a dychwelyd. Un tro, pan oedd y dydd yn hwyrhau, a'r afonydd yn llifo gan y gwlawogydd, a chanddo yntau eto ugain milldir o ffordd i gyraedd Llangeitho, teimlai y truan ei feddwl yn min llesmeirio. Yr oedd y nos gerllaw, a'r wlad yn ddyeithr iddo. Yr oedd hefyd afon o'i flaen, a hono wedi llifo gan y gwlaw mawr. Ni wyddai Peter yn y byd pa beth a wnai. Yn ei gyfyngder, pa fodd bynag, trodd at dy fferm ar lan yr afon, a gofynodd yn ostyngedig am lety. Dygwyddodd fod pawb ond gwraig y ty wedi myned i orphwys, yr hon a ddywedodd, 'Cewch, ond nid oes yma ddim tân, a chwithau'n wlyb iawn; cewch frechtan a llaeth, a thyna daten lled oer ar y pentan.' Nos Sadwrn oedd hi; ac ebai y wraig, 'Diau eich bod yn myned i'r cwrdd yfory.' 'Ydwyf,' meddai Peter, 'da genyf gael gwybod pa fodd yr âf oddiyma yn y boreu, a dymunwn gael talu i chwi am fy llety, gan y bydd yn rhaid i mi gychwyn yn bur foreu.' Ni fynai y wraig ddim tâl ganddo. Aeth y pererin lluddedig i orphwys. Rhoes ei ddillad gwlybion ar draed y gwely i sychu, a thua thri o'r gloch y boreu cododd i gychwyn ei daith. Erbyn dyfod at yr afon lle y disgwyliai gael croesi, nid oedd yno na phont na chareg. Pan yn petruso pa beth a wnai, ac yn ofni colli y cyfarfod, daeth dyn o'r gymydogaeth heibio, a chan ddysgwyl fod y gwr yn gyfarwydd a'r rhyd, gofynodd iddo fyned trwy yr afon o'i flaen, ac y rhoddai iddo swllt. 'Na wnaf,' meddai y dyn, 'pe rhoddech y byd i mi. Ond cyfeiriwch at y pren acw yr ochr draw, fe allai yr ewch chwi drosodd.' Wedi gorchymyn ei hun i ofal rhagluniaeth, anturiodd trwy yr afon, a chyrhaeddodd y lan, er fod y dwfr yn cyraedd at ei ên yn un man. Aeth rhagddo i Langeitho, lle yr oedd Jones, Llangan, yn pregethu ar y pryd. Yr oedd yno ganoedd lawer fel yntau wedi dyfod o bell, a'u sefyllfa yn ddigon annghysurus rhwng lludded a gwlychu eu dillad; eto nid hir y buont yn gwrando nad oedd cawodydd bendith yn disgyn, a'r pererinion lluddedig hyn oll wedi anghofio eu llafur a'u lludded, yn canu ac yn molianu Duw am eu cofio yn nhrefn ei ras."—*Cydymaith Dyddanus.*

---

## GOFYNIAD.

*At y Parch. C. Jones, M. A., Mineral Ridge, O.*

Anwyl Syr—Y mae yn wybyddus i chwi, fel dyn dysgedig, nad yw yr eglwys Gristionogol, pan yn ei lle priodol, yn adnabod neb yn ol y cnawd. Yn ngwyneb hyn, a ddylai gwr a

gwraig gael eu credu yn yr eglwys pan fyddant yn dwyn yr un dystiolaeth ar yr un mater? Atebiad buan, os gwelwch yn dda. Yr eiddoch,

*Coalburg.* DAVID E. DAVIES.

# Barddoniaeth.

## LLINELLAU

Er Coffadwriaeth am MRS. ELENOR PRICE, Priod Mr. Thomas Price, a Merch Mr. D. P. Davies, Upper Lehigh, Pa., yr hon a hunodd yn yr angau Mawrth 21, 1880, cyn cyrhaedd ei 22 ml. oed.

Y mae pechod yn gwasgaru
Teulu'r ddaear ar bob llaw,
Ond fe gasgla Iesu ei deulu
Ato ei hun ryw ddydd a ddaw.
Y mae pechod wedi esgor
Ar farwolaeth yn y byd,
Ond drwy farw gwthir pechod
O derfynau'r ddae'r i gyd.

Daeth yr alwad oddi uchod
I ddwyn Elenor i'w gwlad;
Yn yr ysgol ydoedd yma,
Cartref 'n awr yn nhy ei Thad;
Tyrfa fawr sydd yn hiraethu—
Ei chyfoedion ar y llawr—
Upper Lehigh sydd mewn galar,
Drifton wyla ddagrau mawr.

Un oedd anwyl yn yr ardal,
Yn dra sydyn aeth i ffwrdd,
Ond mae genym ei thystiolaeth,
Gobaith eto i gael cwrdd;
Cwrdd heb ganu ffarwel mwyach,
Cwrdd mewn bywyd pur a hoen,
Cwrdd ar fryniau anfarwoldeb,
Yn nghymdeithas Duw a'r Oen.

Nis gall parch, na bri, na thegwch,
Ffryndiau luoedd ar bob llaw,
Rwystro'r gelyn a'i ergydion,
Dyrnodiau marwol brenin braw;
Ond mae chwerwder oer marwolaeth,
Wedi peidio yn y glyn,
Cysgod angau drodd yn oleu,
Goleu clir Calfaria fryn.

Merch rinweddol a mam ieuanc,
Hunodd yn yr Iesu byw;
Ymddiriedodd yn y Bywyd,
Bywyd ei anwyliaid yw;
O, mor bêr ei chân wefreiddiol,
Heddyw yn molianu'r Iôr;
Mae ei llais yn fwy soniarus
Gyda seintiau'r nefol gôr.

Os yw'r tafod wedi tewi
Yn nystawrwydd oer y bedd,
Gwaith ei dwylaw yn gorphwyso,
Gwag yr aelwyd, gwag ei sedd,
Llwybrau'r anial ni wna droedio,
Yn y capel ni cheir hi,
Ond mae'n fyw, er wedi marw,
Byw yn ein serchiadau ni.

Seren ddysglaer a fachludodd,
Aeth o'n golwg hwnt i'r lli',
Ond dysgleirio ar gyfandir
Anfarwoldeb mae mewn bri—
Adlewyrchu pur ogoniant
Ei Gweredwr yn y nef,
Ac yn tywallt môr o glodydd,
Heb ymatal, "Iddo Ef."

HIRAETHLAWN.

## ADGOF AM JOHN HUMPHREY.

[Bu yn Arolygydd y National Colliery, Carr's Patch, Lack. Co., Pa., am tua 18 mlynedd.]

Trwy ddamwain angeuol symudwyd fy nghyfaill
John Humphrey i'w feddrod yn nawnddydd ei oes;
Mae cofio am dano a chrybwyll ei enw
Yn dryllio fy nheimlad gan beri mawr loes.
Yn hir iawn fe gofir ei gymwynasgarwch,
I'r tlawd a'r angenus oedd hynod o hael,
Cymydog mwy tawel a chyfaill cywirach
Yn rhengoedd dynolryw nid ydyw i'w gael.

Nid gormod oedd gan y Gymdeithas Odyddol
Gydnabod ei deilwng wasanaeth i'r Urdd,
Trwy osod ei ardeb ar fur eu hystafell
Er cofio'i nawdd iddi mewn llawer o ffyrdd;
Fe lanwodd yn onest y swydd o Drysorydd,
Er lles y Gyfrinfa a buddion y tlawd;
'Doedd neb yn fwy blaenllaw i estyn cymwynas
Na neb yn barotach i weini ar frawd.

Daeth torf fawr yn nghyd ar ddiwrnod ei angladd,
I dalu eu holaf gymwynas i un
Oedd anwyl gan ganoedd o'i serchog gyfeillion,
Gan neb yn fwy felly na chenyf fy hun.
Ei weddw oedranus adawyd yn unig,
Yn nyffryn du galar yn athrist ei gwedd,
Tra cydmar ei bywyd yn huno yn dawel
Dan leni tywyllion oer gaddug y bedd.

Pwy bynag a dalo ymweliad a'r fangre
Lle gorwedd fy nghyfaill yn isel ei wedd,
Boed ysgafn ei rodiad wrth sangu y glaswellt
Sy'n tyfu yn siriol o gwmpas ei fedd;
Telored yr adar uwchben ei weddillion,
Eu cathlau soniarus yn deyrnged i'r fan,
A gwylied angylion ysmotyn ei feddrod,
Nes cyfyd y meirwon o'u celloedd i'r lan.

*Taylorville, Pa.* WM. T. JOHN.

[Argraffir ar gais perthynasau.]

## HIRAETHGAN

Ar ol fy rhieni, sef WILLIAM BOWEN, a'i wraig, o Lwynypiod, ger Llanelly. Y rhai a hunasant yn yr angeu, yn y flwyddyn 1869, ac a gladdwyd yn y Felinfoel, yn ymyl addoldy y Bedyddwyr.

O na allwn gerfio geiriau
Mewn llyth'renau pur o aur,
Ar ryw gareg, fel dangoseg
Am William a'i anwyl Fair;
Rhai hunasant yn yr angeu,
Yn llawn dyddiau bu eu hoes,
Gwedi rhodio llwybrau rhinwedd
Canlyn Crist a chodi'i groes.

Oed fy nhad oedd bedwar ugain
Deuddeg mlynedd gyda hyn;
Pump yn llai, oedd fy anwyl-fam,
Pan wynebodd ar y glyn;
Cefais ganddynt ddwys gynghorion,
I ochelyd drygau'r byd;
Cyfarwyddent fi at Geidwad,
I roi gofal f' enaid drud.

'R adeg fuont gyda'u gilydd
Yn ymdeithio yn y glyn—
Pump a thriugain o flynyddoedd,
Amser maith 'n ol cyfrif dyn;
Yn Llwynpiod, ger Llanelli,
Buont hir flynyddau'n byw,
Ac yn Adulam addolent
A mawr sel eu Prynwr gwiw.

Buont yn aelodau ffyddlon,
Ac o galon gyda'r gwaith,
Ddeg a thriugain o flynyddoedd,
Cofir hyn ryw amser maith;
Os byth ca'i fyn'd i Lanelli,
Nid hir oedaf ar un sedd,
Cyrchu wnaf i dywallt deigryn
Mewn gwir hiraeth ar eu bedd.

Cawsant fagu deg o deulu,
Ar eu hol mae naw yn fyw;
Eu cynghorion nac anghofiwn,
Ceisiwn ras a heddwch Duw;
Ymbar'town i'w hail gyfarfod
Mewn gwell byd lle nad oes poen,
Na galaru am rieni,
Ond clodfori Duw a'r Oen.

*Treorki.* DAVID BOWEN.

## NEBUCHODONOSOR.

Brenin Babel ben-felyn—o'i orsedd
Mewn arswyd a dychryn,
A droswyd gyda'r asyn
I bori gwellt fel bara gwyn.

GWILYM HIRAETHOG.

## ENGLYNION

Er Coffadwriaeth am yr Hen Frawd enwog, "TREBOR," yr hwn a orphenodd ei yrfa ddaearol yn Dodgeville, Wis.

Trebor, cerddor cywir-ddysg—yn foreu
Dyferodd ef addysg;
Dygau emau digymysg,
I enyn mawl yn ein mysg.

Nid sothach afiach, ofer—oedd cynwys
Y canau wnai arfer;
Y gwir noeth, geiriau ei Ner,
A fynai ar ei faner.

Ei fawr ddawn a'i farddoniaeth—amlygai
Aml agwedd dysgeidiaeth;
Llon wron lluniai araeth,
Yn ei phryd yn iawn a ffraeth.

Ei ffydd oedd hylwydd a helaeth—a'i sail
Oedd sylwedd tystiolaeth;
Oen Duw pan ei hunan y daeth
I ddwyn elw i ddynoliaeth.

Llawer soniai'n llwyr swynol—am *studio*
Y *Statute* Crist'nogol;
A gwefraidd nodai'r gyfrol
Roes y Nef i'r rhai sy'n ol.

Daioni i bawb dynion—oedd hollol
Ewyllys ei galon;
Hyn o fraint oedd dan ei fron,
Haelioni i'w elynion.

Ei feichio ag afiechyd—ga'dd y brawd,
A gwedd brudd dros enyd,
Ond daeth pen ar bob penyd
I Trebor bach tra bo'r byd.

Ei ysbryd diwyd, do, diau—hedodd
I'r gwiwdeg drigfanau,
A'i gorphyn oedd briddyn brau
Ostyngwyd i gist angau.

Oddi yno yn ddianaf—y daw
Yn y dydd diweddaf;
Trwy ras 'n yr urddas harddaf,
I ddal nod ddelw ei Naf.

MEREDYDD EVANS.

## BEDD-ARGRAFF

I'R DIWEDDAR DR. D J. WILLIAMS, BRYNKIR STATION. [*Buddugol.*]

Am David gofid ga Eifion—un fu
O fawr werth i gleifion;
Ac hefyd rhodiad cyfion
Gadwodd ef gyda Duw Iôn.

IEUAN DWYFACH.

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### CHINA.

II.

Bydd genym air y mis hwn eto ar China. Y mis diweddaf sylwasom ar diriogaethau eangfawr y wlad uchod, yn nghyd a'i thrigolion aml a lluosog. Mae hynodion hynafiaethol y wlad hon yn deilwng o'n sylw; a nodi rhai o honynt fydd ein gwaith yn bresenol. Mae hanesiaeth China yn ymestyn yn mhellach yn ol nag un wlad arall. Cyfrifir fod eiddo Rhufain yn cynwys tua mil o flynyddoedd, ac eiddo Groeg tua'r un faint. Cawn fod eiddo yr Iuddewon, o alwad Abraham, hyd ddinystr Jerusalem, yn ddwy waith gymaint ag eiddo Rhufain neu Groeg. Ond y mae China wedi meddu ffurflywodraeth gyfansoddiadol, a hyny yn sefydlog, am bedair mil o flynyddoedd. Mae Groeg, Rhufain, Persia, Assyria, Babilon, a llywodraethau hynafol eraill, wedi codi, llwyddo, a diflanu, tra y mae eiddo y Chineaid wedi dal ei thir trwy ddeg-ar-hugain o lywodliniau (*dynasties*). Ei deddfau, y rhai a ddeddflyfrwyd ddwy fil o flwyddi yn ol, a ddiwygir yn barhaus ganddynt bob pum' mlynedd. Cyfanwyd China yn llywodraeth 1088 C. C., a chyfnewidiwyd hi o'r ffurf warogol (*feudal*) i'r un bresenol 220 C. C., ac felly yn y cyfeiriad hwn yr oedd China ar y blaen hyd yn nod ar rai o wledydd a ystyrid yn oleu a gwareiddiedig yn Ewrop. Yn egwyddorol, mae llywodraeth China yn unbenol, ond yn ymarferol y mae yn ddemocrataidd, a chydraddoldeb pob dyn yn ngwyneb cyfraith y wlad yn cael ei gydnabod gan bawb fel egwyddor sefydlog. Mae yr haner dwsin llwythau crwydrol a ymfudasant i lanau yr afonydd Yellow a Yang-tze, o gylchoedd y Môr Caspiaidd, wedi dod yn lluosocach erbyn heddyw na deiliaid unrhyw lywodraeth arall ar wyneb y ddaear, a Peking yw y brif ddinas hynaf mewn unrhyw wlad.

Anhawdd yw cael dim er ein cynorthwyo i gael drychfeddwl am gyfnod mor faith o hanesiaeth ag sydd yn perthyn i'r wlad hynod hon. Mil o flynyddoedd cyn i Romulus freuddwydio am adeiladu "dinas y saith bryn," yr oedd y Chineaid yn bobl luosog, heddychol, a llwyddianus. Pan oedd Solomon yn nghanol ei ogoniant, yn derbyn ymweliad brenines Sheba yn Jerusalem; pan oedd y Babiloniaid yn addurno glanau yr Euphrates â'u palasau; pan oedd tyrau Ninefeh yn taflu eu cysgodion am y tro cyntaf ar ddyfroedd y Tigris; pan fygythiai Jonah ddinystr ar ddinas Ninefeh; pan oedd Esaiah yn rhagfynegu cwymp Babilon, er ei holl fawredd, a Daniel yn gweddio dair gwaith yn y dydd, a'i ffenestri yn agored tua dinas anwyl ei dadau, ac yn rhagfynegu tynged yr ymerodraethau ag oeddynt eto heb eu geni—yn ystod yr holl flynyddoedd hyn yr oedd y Chineaid yn ddiwyd gydag amaethyddiaeth, masnach, a llenyddiaeth. Yr oedd China yn saith cant oed pan gefnodd Israel ar yr Aipht a'i chaledi, a chroesi y Môr Coch. Yr oedd wedi bodoli am 1600 o flwyddi pan brophwydodd Esaiah am eu dychweliad at y Siloh. Esa. 59 : 12.

Mae y Chineaid yn gyffredin yn bobl hynod o ddyfeisgar, deallus, parod iawn i gymeryd gafael mewn unrhyw beth, a hefyd yn llawn diwydrwydd a phenderfyniad. Dygir ni yn ol gan ei choflyfrau drwy 4000 o flwyddi. Yr oedd ganddi, 1700 o flwyddi yn ol, Eiriadur o'i hiaith, yr hwn sydd heddyw yn cael ei ystyried yn safon. Y cenadon cyntaf a ymwelasant a'r wlad, a gawsant y Chineaid yn meddu gwybodaeth o'r tynfaen (*magnet*).

Dywedir gan haneswyr ac awduron credadwy, fod y bobl hyn, 200 mlynedd cyn i Abraham adael ei fro enedigol ar alwad Duw, wedi cofnodi dar-sylliadau seryddol o'u heiddo, y rhai a wirioneddir gan wyddonwyr yr oes bresenol. Haner canrif yn foreuach na hyny cawn fod creigiau Hung Shan wedi en cerfio arnynt â phin o haiarn, ffigyrau a fuasent yn dangos i'r oesau a ddel weithredoedd gorchestol peirianwyr yr oes foreu hono; ac nid oes

dim, meddir, yn helaethach neu yn anhawddach na y rhai hyn i'w canfod hyd yn nod yn yr Aipht y dydd heddyw. Pan arweiniodd Moses yr hen genedl o dir y caethiwed drwy y diffaethwch, yr oedd llenyddiaeth China y pryd hwnw yn gyfochrog ag eiddo yr Aipht, a chrefydd China yn mhell ar y blaen o'r ffurf oreu o grefydd yr Aipht. Llawn canrif cyn i fab Jesse dynu ei fysedd dros dannau ei delyn, cawn fod Wung Wang, ymerawdwr China, yn cyfansoddi llyfrau a ystyrir yn glasurol heddyw, ac a ddysgir ar y cof gan bob ysgolhaig da yn China y dydd hwn. Pan oedd Homer yn cyfansoddi ei Iliad, ac yn ei ganu o ddrws i ddrws, yr oedd beirdd China yn llwytho yr awelon â chlodydd eu hen wroniaid, beddau y rhai oeddent wedi eu gwylied yn ofalus a chysegredig am dri-ar-ddeg o ganrifoedd. Yr oedd ei llenyddiaeth wedi cyflawn ddadblygu, a hyny yn mhell cyn i'r Normaniaid freuddwydio am ymgyrch i Loegr. Cyn i Loegr gael un Edward i ysgwyd ei theyrnwialen, yr oedd plant y cydyn wedi dyfeisio, ac yn defnyddio, arfau tân, ac yn argraffu 500 o flynyddau cyn i West ddechreu anadlu, na Caxton gael ei eni. Gwnant bapyr er y flwyddyn 150 o'r cyfnod presenol, a phylor gwn ryw ddau cant o flwyddi cyn hyny. Ddeg canrif yn ol yr oedd y Chineaid yn gwerthu sidan i fawrion Rhufain, a gwisgo yr un defnydd am eu cyrph eu hunain, pan oedd brodorion yr ynysoedd Prydeinig yn eu cobiau glas, ac yn pysgota yn y badau bach oeddent wedi wneyd o helyg. Pan nad oedd son am America a'i hafonydd hirion a llydain, a'i mynyddoedd cadarn a chribog, yr oedd gan China gamlas yn 1200 cant o filldiroedd o hyd. Ei mur mawr, yr hwn sydd yn frenin y rhyfeddodau, oedd wedi ei adeiladu 230 o flwyddi cyn bod son am Titus Vespasian na'r un o'i fuddugoliaethau. Mae y mur dan sylw yn amrywio o 15 i 30 troedfedd o uchder a lled, ac â yn groes i fynyddoedd mawrion, ac ar draws dyffrynoedd llydan, ac ymestyna yn ddifwlch am 1500 o filldiroedd. Geill chwech o feirch dramwy ochr yn ochr arno. Cynwysai ddigon o geryg a chwmrwd (*mortar*) i adeiladu mur o bump i chwe' troedfedd o uchder o amgylch y belen ar ba un yr ydym yn byw. Saif ar ei ben ei hun fel campwaith celfyddydol.

Medda China 1700 o ddinasoedd caerog, muriau y rhai a ymestynant dros 6,000 o filldiroedd. Gwnelai y rhai hyn a'r mur mawr ddigon i gyrhaedd ddwy waith o Efrog Newydd i San Francisco, ac o Lynclyn Mexico i'r Llynoedd, a digon yn weddill drachefn i gau fewn yn daclus, Efrog Newydd, Philadelphia, Chicago a St. Louis. Y mae ei chamlas hiraf yn mesur dau cymaint a chamlas Erie, N. Y. Ei chamlasau, y rhai ydynt yn ddwy fil o rifedi, a ddyfrhant braidd bob rhan o'r ymerodraeth, ac wedi eu cysylltu yn y fath fodd a'u gilydd, ac a gwahanol afonydd, fel y gwnant gysylltiad dyfrol didor o Peking i Canton, a gellir danfon teithwyr o'r brif ddinas i bob dinas ag sydd yn rhywle yn y rhanau hyny a ddyfrheir gan ei mawrion afonydd.

Nid oes ceiniog o doll yn cael ei chodi ar y rhai a ddefnyddiant y camlasau hyn i deithio neu gario yn mlaen fasnach. Ceidw y llywodraeth hwynt yn ddiogel, a gwna hi eu hadgyweirio pan fydd hyny yn angenrheidiol.

Pastynir yn lled greulon bob adeiladydd na fyddo ei waith yr hyn oeddid yn ddysgwyl iddo gyflawni. Dywedir nad yw adeiladau cyhoeddus un wlad yn rhagori ar, nac ychwaith yn dod i fyny ag, eiddo China, yn y llafur mae yn ofyn, a'r amser a gymerir i'w perffeithio.

Er fod poblogaeth y wlad hon rywle o gylch 400,000,000, eto mae y mwyafrif yn alluog i ddarllen ac ysgrifenu. Mae gan y Chineaid gynllun, yr hwn sydd yn gyffredinol drwy yr holl wlad, er gwneyd eu hysgolion dyddiol yn hunan-gynaliol. Dangosir ymdrech mawr ganddynt oll am addysgu eu plant. Rhaid i bob un fod wedi graddio yn China cyn y gall ddal un swydd gyhoeddus. Cyfrifir fod tua deng mil yn dod i Peking bob blwyddyn i'r arholiadau cyhoeddus, llawer o ba rai, wrth gwrs, a fethant basio. Ond er

methu unwaith, ac fe allai ddwsin o weithiau, eto ceisiant drachefn a thrachefn nes llwyddo. Cadwant gyfrif manwl o enwau y rhai sydd yn graddio, ac mae ganddynt heddyw enwau pob un sydd wedi graddio yn ystod y pum' can' mlynedd diweddaf. Mae swyddi goreu y wlad yn cael eu dal i fyny fel anogaeth i'r ysgolheigion goreu.

Mae llenyddiaeth China yn anferthol yn ei eangder, ac mae ei llenorion yn ofergoelus yn eu parch at bob darn o bapyr, bydded ef y peth a fo, ac mor ddibwys ag y bo, os wedi ei argraffu. Mae eu parch mor fawr at y cyfryw bethau, fel mae ganddynt flychau bychain ar ochrau yr heolydd i'w derbyn, a chyflogant ddynion hefyd i fyned o amgylch i'w casglu, yn lle eu bod yn cael eu sangu i'r llaid a'u difwyno. Credir fod gwybodaeth o'i phrif weithiau llenyddol wedi ei wasgaru gymaint, fel pe dygwyddai trwy anffawd iddynt gael eu dinystrio, fod miliynau yn China allent eu hail gynyrchu oddiar eu cof.

Nid oes gan y Chineaid ond y peth nesaf i ddim o barch at dramorwyr, a chredant hefyd bethau rhyfedd iawn am danynt. Wrth gwrs nid yw hyn yn cynwys pawb o honynt. Yn mhlith pethau eraill a gredant am danynt, mae a ganlyn: Nad oes cymalau i'w cluniau, a bod eu morwyr yn gyfandroed (*web-footed*), a'u bod yn gallu gweled gan' llath i mewn i'r ddaear, a bod y cenadon yn tynu llygaid plant Chineaidd, a'u defnyddio i hudoli. Ond er eu holl atgasrwydd at dramorwyr, eto nid ydynt yn ol o fabwysiadu llawer o'r gwelliantau a welant mewn ymarferiad gan eraill. Mae China yn dyfod yn wlad bwysig mewn mwy nag un ystyr, ac mae y trigolion yn dyfod yn bobl bwysig. Daw i sylw mawr mewn ystyr fasnachol. Mae ei goruchwylwyr masnachol heddyw ar wasgar drwy bob canolbwynt masnachol o bwys yn ngorllewinbarth Ewrop, Siam, ac Awstralia, a bygythiant wneyd y Tawelfor cyn hir, yn llyn Chineaidd. Hwy sydd heddyw yn llywodraethu holl fasnach siwgr Amoy, a'r rhan fwyaf o wenith San Francisco, a'r holl fasnach *rice* sydd rhwng eu gwlad a gwledydd eraill. Yn y flwyddyn 1872 yr oedd allforion China yn ddau cymaint a'i dadforion hi.

West Point China yw y Coleg Ymerodrol yn Peking, llywydd yr hwn yw y cenadwr enwog a'r ysgolhaig rhagorol, Dr. Martin. Ceir heddyw lawer o newyddiaduron wythnosol, a chylchgronau misol, o nodwedd wyddonol, &c., yn cael eu darllen gan y rhai mwyaf poblogaidd yn mhlith y bobl.

Wrth edrych ar China heddyw, a'r hyn oedd hi 40 mlynedd yn ol, gwelwn fod cyfnewidiadau pwysig wedi cymeryd lle ynddi er gwell. Bu adeg pan oedd braidd bob peth o'i mewn yn aros yn yr un man; ond yn bresenol daw i fyny, yn araf mae yn wir, ond yn sicr serch hyny. Credwn na fydd i ni gyfeiliorni wrth ddweyd, fod cychwyniad y wlad hon i fyny i'w briodoli i raddau helaeth, os nad yn gwbl, i ddylanwad hyfryd a goleuedig Cristionogaeth arni.

Yr oedd genym lawer o bethau eraill a fwriadem eu hysgrifenu am y wlad a'r trigolion rhyfedd hyn, ond rhaid ymatal, mae eisiau ar y WAWR lewyrchu ar bethau eraill heblaw China. Hyderwn, wrth derfynu am y wlad hon, yn ogystal a gwledydd eraill,

"Nad yw eto ond dechreu gwawrio,
Cwyd yr haul yn uwch i'r lan," &c.

## HANESION CARTREFOL.

### CYFARFOD TRI-MISOL.

Cynelir Cyfarfod Tri-Misol Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania, yn Palmyra, Ohio, ar yr 17eg, y 18fed, a'r 19eg o fis Medi, 1880. Dymunir presenoldeb gweinidogion y cylch. THOS. THOMAS, *Ysg.*

*Sharon, Pa., Awst* 17, 1880.

### COAL VALLEY, W. VA.

*Mr. Gol.*—Anaml y byddaf yn ysgrifenu i'r WAWR; nid am nad oes genyf barch i'm henwad, ac i'r WAWR hefyd; O, na; y gwir yw, fod fy amser yn brin, a fy mod yn analluog i ys-

grifenu fel y carwn wneyd. Modd bynag, gwn y bydd yn dda gan ddarllenwyr eich cyhoeddiad gael clywed y modd y mae yr achos da yn llwyddo yn ein plith. O'r 25ain o Gorphenaf hyd ddiwedd y mis, nyni a gawsom bregethau bendigedig gan ein hanwyl frawd, y Parch. J. C. Givens, ac amlwg yw fod yr Arglwydd wedi arddel llafur ei was, trwy fod amryw o'r newydd yn ymofyn am Iesu yn Geidwad i'w hanfarwol eneidiau. Ar y 29ain, sef dydd Iau, cefais y fraint a'r pleser o weled ein parchus weinidog, R. P. Carpenter, yn trochi naw o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, sef chwe' chwaer a thri brawd—canys dyfroedd lawer sydd yma. Ac y mae yn dda genyf allu ychwanegu fod yma ychwaneg yn aros am yr un fraint, ac yn eu plith rai Cymry, a diolch i'r Arglwydd am hyny. Gobeithio nad yw hyn ond blaenffrwyth o'r cynauaf sydd i'w ddysgwyl yma. Y mae yma ddau gapel perthynol i'r Bedyddwyr Seisnig, ac y mae aelodau y naill a'r llall o honynt yn rhifo tua thriugain; ond y mae yr ysgolion Sabbothol yn gwahaniaethu ychydig. Rhif ysgol Sabbothol Cannelton yw 50, a Coal Valley yn 90. Yr Arglwydd o'i ras a fendithio y sefydliad daionus yma, yn nghyda llafur ei weision, i fod yn foddion i ddwyn y to ieuanc sydd yn codi i gymeryd gafael yn yr Iesu tra y mae i'w gael, yw fy nymuniad.—*John R. Jones.*

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Dawn, Mo., Ebrill 29, 1880, bedyddiwyd, trwy drochiad, ddwy ferch ieuanc ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Gweinyddwyd gan y Parch. R. M. Richardson.

Yn Utica, Mo., Mehefin 13, 1880, bedyddiwyd dwy i undeb a'r eglwys Seisnig, gan y Parch. R. M. Richardson, gweinidog. Mae y ddwy eglwys uchod yn gwisgo agwedd lewyrchus. Llwyddiant i'r gwirionedd.

*Thomastown, O.*—Mr. Gol.: Meddyliais, yn gymaint ag nas gwelais air o'r lle hwn yn y Wawr er ys tro, yr ysgrifenwn ychydig linellau i roddi gwybod i chwi a'ch darllenwyr ein bod yn gadarn yn y ffydd hyd yn hyn, a bod achos Crist yn llwyddo. Mai 9, 1880, cawsom y fraint o weled dwy chwaer yn ufuddhau i'r ordinhad o fedydd, a'r Parch. David Probert, o Youngstown, yn gweinyddu yn anrhydeddus ac apostolaidd. Hefyd, Gorph. 11, 1880, bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan Francis Argest, yr hwn sydd newydd ddod o'r Hen Wlad, ac y mae ef yn aros yn awr yn Cleveland, O. Nid yw efe yn weinidog sefydlog, eto y mae yn ddyn gwerth ei glywed; a dymuniad yr eglwys yw ar i'r gair sydd yn cael ei lefaru yma gael dyfnder daear yn nghalonau pechaduriaid. Yr eiddoch,

*Jas. W. Thomas.*

---

*PRIODWYD—*

Gorph. 5, 1880, yn Wilkesbarre, Pa., gan y Parch. E. Edwards, Mr. John S. Thomas a Miss Lizzie Powell, Parsons.

Awst 14, 1880, gan yr un, Mr. Ambrose Davies Reese, Parsons, a Miss Annie Olivia Bossler, Nazareth, Pa.

Gorph. 29, 1880, yn Wheatland, Pa., gan y Parch. D. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. William Davies a Miss Elizabeth Davies, ill dau o Sharon.

Gorph. 24, 1880, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. W. F. Davies, Mr. William Thomas a Miss Sarah George, y ddau o Nanticoke.

Gorph. 27, 1880, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. W. F. Davies, Mr. James Richards a Miss Margaretta Thomas, y ddau o Nanticoke, Pa.

Gorph. 24, 1880, yn Sterling, Pa., yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. J. J. Morris, Mr. Thomas Jones a Miss Mary McQuillen.

Gorph. 22, 1880, yn Sharon, Pa., gan y Parch. Thos. Thomas, yn nhy Mr. John Devereux, Mr. William J.

Jones a Miss Mary A. Howells, y ddau o Church Hill, O.

Awst 18, 1880, yn Sharon, Pa., gan y Parch. Thos. Thomas, yn ei dy ei hun, Mr. John L. Griffiths a Miss Sarah A. Morgan, y ddau o Girard, O.

Gorph. 27, 1880, yn nhy Mr. John R. Tudor, Chillicothe, Mo., gan y Parch. R. M. Richardson, Mr. Wm. Jones, Carroll Co., a Miss Fannie P. Swart, Dodgeville, Wis. Llwyddiant iddynt.

Awst 8, 1880, yn Houtzdale, Pa., gan y Parch. W. R. Jones, yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. Evan Wetherson a Miss Gwenllian Harrison, y ddau o Houtzdale.

Awst 17, 1880, yn Houtzdale, Pa., gan y Parch. W. R. Jones, Mr. Richard Davies a Miss Catherine Jones, yr hon oedd newydd ddyfod i ben ei thaith o Dredegar at ei chariadfab, yr hwn oedd wedi dyfod yma o'r un lle er ys ychydig amser yn ol.

Gorph. 24, 1880, yn Pottsville, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, Ashland, yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. George Owens a Miss Sarah Stephens, y ddau o'r ddinas uchod.

Dau unwyd er daioni—yw'r Owens,
Oreufab i'w hoffi,
A'i Sarah, fwyn ddyweddi,
O rywiog fron—gwraig o fri.

---

## *BU FARW—*

---

### MR. JOHN E. JONES.

Chwefror 28, 1880, yn Picatonica, Wis., bu farw Mr. John E Jones. Ganwyd ef mewn lle o'r enw Gorswan, yn mhlwyf Llanfechell, Sir Fôn, G. C., tua diwedd Rhagfyr, 1807. Mab ydoedd i William a Mary Jones. Crydd oedd ei dad wrth ei alwedigaeth. Yn mis Mai, 1830, ymunodd mewn priodas ag Elizabeth Thomas, Minffordd. Bu iddynt naw o blant, pump o'r rhai sydd yn awr yn fyw. Mab iddynt hwy, a'r hynaf sydd yn awr yn fyw, ydyw Mr. William Jones, *architect*, Lerpwl, yr hwn sydd aelod selog gyda'r Bedyddwyr. Bu eu mab hynaf farw pan yn 19eg oed, mewn lle o'r enw Llandegai. Cafodd eu mab Owen ei ddiwedd mewn pwll glo yn agos i St. Louis, Mo., lle hefyd y claddasant ddwy ferch, un yn 19 a'r llall yn 9 ml. oed. Y mae mab a merch iddynt yn awr yn byw yn Missouri, a mab a merch arall yn Wisconsin.

Yn y flwyddyn 1857 ymfudodd ef a'i deulu i America, a sefydlodd yn agos i St. Louis, Mo., lle y bu yn gweithio tra bu yno gyda Mr. John Toll, boneddwr tra adnabyddus yn ardal y *Gravois*, ger St. Louis. Am nad oedd yno achos gan y Bedyddwyr Cymreig, symudodd ef a'i deulu yn y flwyddyn 1861 i Picatonica, Wis, lle y treuliodd y gweddill o'i oes mewn heddwch a gweithredoedd da.

Ymddengys mai tua y flwyddyn 1840 yr ymunodd yr hen frawd gyntaf â chrefydd. Bedyddiwyd ef yn afon y Gareg Fawr, gan y Parch. John Robins, gweinidog yr eglwys yn nghapel y Gareg Fawr, o'r hon eglwys y daeth yn aelod selog a gweithgar. Nid hir y bu yno cyn y bu raid iddo "ledio y canu," swydd a lanwodd yn anrhydeddus yn mhob eglwys lle y bu yn ymgartrefu ynddi byth wed'yn.

Cyn hir ar ol dod at grefydd, cafodd ei ddewis i lenwi y swydd bwysig o ddiacon, i'r hon swydd y meddai gymwysderau naturiol mwy na'r cyffredin, a bu ei ddewisiad yn fendith fawr i'r eglwys yn y Gareg Fawr, a phob eglwys arall y bu ynddi byth ar ol hyny. Fel crefyddwr, yr oedd yn meddu ar sêl a gweithgarwch mwy na'r cyffredin. Ni allai oddef gweled yr achos da yn cael ei esgeuluso mewn un modd Gan nad pa fath na pha faint fyddai y rhwystrau, mynai ef gyflawni ei ran, ac nid oedd dim yn ormod ganddo ei wneuthur, os byddai yn tybied fod achos y Gwaredwr yn cael ei anrhydeddu drwy hyny. Pan ddaeth gyntaf i'r ardal hon, nid oedd achos y Bedyddwyr ond gwan iawn; yr ychydig frodyr a chwiorydd yn addoli mewn hen ysgoldy digon gwael. Ymddangosai hyn i'r hen frawd, ac eraill o ran hyny, yn anfri ar yr enwad; a thrwy ei ymdrech ef yn fwyaf neillduol, adeiladwyd capel tlws a destlus mewn lle cyfleus, yn yr hwn yr addola yr ychydig frodyr hyd yn awr. Cyfranodd yn helaeth tuag ato, a cherddodd oddiamgylch trwy y gwahanol ardaloedd i gasglu arian tuag at dalu am dano, a hyny o dan anfanteision a thrwy rwystrau mawr; ond pan welodd y capel wedi ei orphen, a thalu am dano, teimlai ei fod wedi cael tâl da am ei holl drafferth. Yr oedd yn hynod am ei garedigrwydd a'i hoffder o'r brodyr, ac ni allai oddef clywed neb yn dyweyd gair yn anmharchus am yr un o honynt. Nid wyf yn credu y gallai neb fod yn fwy ar y pen hwn nag ef. Un o feibion y tangnefedd y gellid galw yr hen frawd, yn ddios. Nid oedd dim na wnelai er mwyn dystawrwydd a heddwch Mewn gwirionedd, credwyf y dyoddefai gam mawr yn hytrach na chodi twrw. Ond nid am ei fod yn rhy lwfr chwaith, oblegid pan gredai efe fod gweithred yn un ddrwg, ac yn tarddu oddiar egwyddor felly, medrai geryddu yn ddigon llym, a gwnelai hyny felly, ond er hyny yn garuaidd.

Fel dyn, yr oedd yn un a berchid yn fawr iawn gan bawb. Yr ydoedd wedi dyfod yn

dra adnabyddus drwy yr holl ardaloedd o herwydd ei fedrusrwydd fel meddyg esgyrn. Llawer un a all ddangos gyda llawenydd olion medr yr hen frawd yn y cyfeiriad hwn, a theimlir colled fawr ar ei ol gan yr anffodusion clwyfedig.

Yr oedd rhinweddau yr hen frawd John E. Jones yn aml a dysglaer. Dywedir yn fynych ar ol dynion da fod beiau yn nglyn a hwy; ond os oedd beiau yn ein hen frawd Jones, nid wyf fi yn gwybod beth oeddynt, os nad ei ddiniweidrwydd

Bu farw yn dawel a diboen y dyddiad a nodwyd. Claddwyd ef Mawrth 1af, yn y fynwent ger y capel lle yr arferai addoli. Dangoswyd y parch a'r galar mwyaf dwys ar ei ol. Gweinyddwyd gan y Parchn. Hugh Hughes, Thomas Holland a J. T. Morris (T. C.). Felly terfynodd gyrfa yr hen wron hwn—efe a fu farw.

Ydwyf mewn galar,
THEOPHILUS POWELL.

### MRS. MARY ANN EVANS.

Mehefin 3, 1880, yn Danville, Pa., bu farw Mrs. Mary Ann Evans. Merch ydoedd i Daniel D. ac Ellen Davies, gynt o Dowlais, D. C. Ganwyd hi yn Dowlais, yn y flwyddyn 1839.

Teimlwyf gryn anhawsder i wneyd un math o gyfiawnder â chofiant ein chwaer ymadawedig, o herwydd fy nyeithrwch o honi hyd yn ddiweddar. Ond trwy gynorthwy cydnabyddion, deallwyf ei bod yn addurn o egwyddorion y Llyfr da, ac er yn ieuanc yn hyddysg yn yr Ysgrythyr Lân, yn ofni ac yn parchu Duw er yn blentyn. Yr oedd ei chymeriad o nodwedd efengylaidd, hynaws a charedig; yr oedd iddi air da gan bawb a'i hadwaenai, a chan y gwirionedd ei hun.

Claddwyd ein chwaer ymadawedig yn y bedydd Cristionogol pan yn 15eg oed, gan y Parch. Jonathan Davies, Whitten Park Swydd Durham, Gogledd Lloegr. Gofalodd gael y rhan dda yn moreuddydd ei hoes. Ei gweddi bob amser oedd, "Arglwydd, chwilia fi, a gwel a oes ffordd annuwiol ynwyf." Buan yr ymunodd mewn glân briodas gyda William Godfrey Evans, mab Godfrey ac Ann Evans, gynt o Sir Benfro.

Yn 1863 ymfudodd Mr. a Mrs. Evans i'r byd Gorllewinol hwn, ac ymsefydlasant yn Danville. Bu Mrs. Evans tra yn Danville yn aelod ffyddlon a gweithgar, yn ymdrechgar dros yr Ysgol Sabbothol, i adeiladu at eangu terfynau Seion. Caffaeliad mawr i eglwys Fedyddiedig Danville ydoedd iddi ddyfod i'w plith, a cholled annhraethol i'r eglwys yw colli ei goreuon. Cafodd gystudd hir a chaled, er Tachwedd, 1878, yr hwn a ddyoddefodd yn amyneddgar, gan ymorphwys ar "olud Crist." Pan oedd y gwenithyn wedi addfedu, rhoddwyd y cryman ynddo. Ei hafiechyd oedd y *scrofula of the bowels*.

Dydd Sadwrn canlynol, ymgasglodd tyrfa fawr i dalu eu parch olaf i weddillion ein chwaer ymadawedig. Gweinyddwyd ar yr achlysur yn Saesoneg gan y brawd J. S. Thomas, Parson, ac yn Gymraeg gan yr ysgrifenydd. Cyrchwyd i gladdfa yr odyddion, i osod yr hyn oedd farwol o'r chwaer yn y gweryd oer, hyd y dydd pan y bydd

"Dorau beddau y byd
Ar un gair yn agoryd."

Nos Sabboth, Mehefin 6ed, pregethwyd ar natur ei buchedd, gan J. S. Thomas, a phregeth angladdol gan yr ysgrifenydd. "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." J. DAVIES.

*** Dymunir ar i bapyrau Cymru godi yr uchod.

—

### CYDYMDEIMLAD A MR. W. G. EVANS, DANVILLE, PA., YN EI DRALLOD YN HERWYDD CLADDU EI ANWYL BRIOD.

Mae rhosyn bach gan wres yr haul
Yn wael, a bron a gwywo;
Rhydd cydymdeimlad wlithyn hael,
A'i wedd ddaw'n araul eto.

"Mae 'th anwyl briod yn y bedd,"
Medd profiad, "gelli wylo;"
"Hi gwyd o'i bedd yn hardd ei gwedd,"
Medd cydymdeimlad wrtho.

Mae'r ty yn wag, a'r bedd yn llawn,
"Gwir iawn," medd profiad eto;
Medd cydymdeimlad, "Paid rhoi cri,
Daw fyny wedi 'i phuro."

"'Rwyt heb dy anwyl briod 'nawr,
Yn fawr dy gwyn," medd profiad;
"Ti gei yn briod Iesu mawr,
Yn awr," medd cydymdeimlad.

"'Rwy'r fynyd hon a'm bron yn friw,"
"Gwir yw, gwir yw," medd profiad;
"O, gyfaill anwyl, llef ar Dduw—
Fe glyw," medd cydymdeimlad.

Wel, credwn gydymdeimlad da,
Mae'n gwella clwyfau profiad;
O! Dduw, rho hwn i mi 'n mhob pla,
O! caniata'm dymuniad.

*Danville, Pa.* LLWYN HOGYN.

### MR. WILLIAM J. HOWELLS.

Mehefin 26, 1880, yn Pittston, Pa., bu farw William J. Howells, yn 75 mlwydd, 7 mis a 13 o ddyddiau oed. Ganwyd ef yn Rhymney, Tachwedd 13, 1804; ond nid hir ar ol hyny y bu ei rieni cyn symud i'r Argoed, ac wedi hyny i'r Coed duon. Daeth ef a'i deulu i'r wlad hon yn y flwyddyn 1851, ac ymsefydlasant yn Minersville, Schuylkill Co., ac yn y cylch hwn y bu y rhan fwyaf o'i amser er hyny.

Cafodd y fraint o ymuno â chrefydd yn y lle uchod yn amser gweinidogaeth y Parch. J. P. Harris. Ystyriai mai braint werthfawr oedd cael crefydd Crist; ac yn wir, yr oedd yn gaffaeliad nid bychan i'r eglwys ei gael yntau

yn aelod o honi. Yr oedd yr hen frawd Howells yn ddyn dirodres, cywir ei amcan; yr oedd yn selog dros y gwirionedd, yn gadarn o blaid rhinwedd a phurdeb: a gwrthwynebai bob peth ag oedd yn anghydweddol a'r broffes grefyddol gydag egni mawr, yn enwedig meddwdod a diota.

Yr oedd ei hyder yn gryf yn Nuw. Cafodd gystudd blin a hirfaith, eto credai fod y cyfan er daioni iddo. Ei dystiolaeth oedd, y gwyddai i bwy y credodd. Yr oedd ganddo ymddiriedaeth lwyr yn nhrugaredd Duw ar sail aberth mawr y groes. Cawsom lawer cyfarfod dyddorol a melus yn ei ystafell yn ystod ei gystudd, nas gellir yn hawdd eu hanghofio.

Y Beibl oedd ei brif lyfr; yr oedd yn gyfarwydd iawn o'i gynwysiad; adroddai lawer o hono bob tro y cyfarfyddem a'n gilydd. Teimlai ddyddordeb mawr mewn hen emynau; adroddai lawer o honynt gyda blas neillduol. Y diweddaf a glywais ganddo yw yr un canlynol:

Fe gaiff yr hwn a gredo
 Ei olchi oll yn wyn,
Ei wisgo â chyfiawnder
 Y Gwr fu ar y bryn;
Fe'i dygir yn y diwedd
 O fewn i'r nefoedd fry,
Trwy haeddiant Crist ein Prynwr,
 Fu farw ar Galfari.

Erbyn hyn mae y rhagolygon bendigedig a gynwysai yr hen benill uchod wedi eu sylweddoli o berthynas i'r hen frawd teilwng W. Howells, y mae ef wedi ei olchi yn y gwaed, ei wisgo yn nghyfiawnder Iesu, ac wedi cael derbyniad croesawgar i wynfyd y nef. Nid dysgwyl yn bryderus am gyflawniad yr addewid y mae mwyach, ond cael perffaith fwynhad o honi. Cynahodd gobaith ef trwy daith ddyrus yr anialwch, ond nid oes eisiau y gras hwnw arno ef mwyach

Colloddd yr hen frawd gydmares ei fywyd yn Minersville, amryw flynyddau yn ol. Dechreu gofidiau oedd hyny, oblegid y mae tri o'r plant wedi eu claddu er pan fu farw eu mam. Dau sydd eto ar ol—un mab yn nghymydogaeth Hazelton, ac un arall, sef John Howells, yr hwn sydd wr cyfrifol a pharchus gan gylch eang o adnabyddiaeth, ac yn oruchwyliwr ar waith glo perthynol i'r P. & R. Co. yn Gilberton. Gyda y cyfaill hwn a'i deulu caredig yr oedd yr hen frawd Howells yn gwneyd ei gartref. Bydd yr Arglwydd yn sicr o dalu iddynt am eu gofal a'u tynerwch iddo yn ei gystudd maith.

Daearwyd yr hyn oedd farwol o hono yn mynwent y Bedyddwyr yn Minersville. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd, y Parchn. D. Jones, Shenandoah, ac R. Edwards, Pottsville. Yr Arglwydd a roddo ras i'r meibion i ddilyn camrau eu hen dad, ac a gynalio ein hanwyl chwaer, Mrs Howells, yn ei sêl a'i charedigrwydd crefyddol.

*Mahanoy City, Pa.* W. D. Thomas.

MR. HENRY THOMAS.

Ebrill 16, 1880, yn Oak Hill, Jackson, Co., Ohio, o anhwyldeb yr ymysgaroedd, bu farw Henry Thomas, yn 65 mlwydd oed. Ymfudodd Mr. Thomas a'i frawd, y Parch. E. E. Thomas, yn awr o Nebraska, yn nghyd a dwy chwaer, i'r wlad hon o Odre-Dewi, Treflech, Swydd Gaerfyrddin, D. C., yn y flwyddyn 1840, ac ymsefydlasant yn Oak Hill. Oddeutu dwy flynedd wedi dyfod i'r wlad hon, ymunodd Mr. Thomas mewn glân briodas â Miss Mary Davies, merch Evan Davies, o ardal Tregaron, yr hon fu yn ymgeledd gymwys a serchus iddo hyd ddiwedd ei oes. Nid wyf yn gwybod i mi weled erioed deulu mor gysurus a hapus bob amser a'r teulu hwn. Ond er cymaint eu cysuron a'r anwyldeb a fodolai rhyngddynt, daeth y gelyn diweddaf i mewn, a thorodd yr undeb, a'r brawd Thomas nid oedd mwyach. Yr oedd yn hynod o dawel a dyoddefgar yn ei gystudd, er ei fod yn dra phoenus yn y dyddiau diweddaf. Ond boreu y dydd a nodwyd diangodd i'r wlad well, lle nad oes yr un bedd yn cael ei agor byth, na neb o'r preswylwyr yn dywedyd, "Claf ydwyf."

Yr oedd Mr. Thomas a'i briod yn aelodau dysglaer iawn yn eglwys y Bedyddwyr yn Portland, Oak Hill. Colled fawr oedd colli y brawd o'r eglwys hono; yr oedd yn weithiwr difefl, ac yn Gristion da trwy ei oes; cafodd nerth i bara hyd y diwedd. Yr oedd o ddymuniad calon am i'r achos goreu lwyddo; a chan nad pwy bynag fyddai yn eisiau yn y capel, byddai ef yn sicr o fod yno Cwynai am na byddai yn teimlo mwy o ddylanwad crefydd ar ei feddwl, a byddai hyny yn peri iddo ofni; ond yr wythnos ddiweddaf symudwyd ei ofnau, a daeth i ddywedyd, "Ewyllys yr Arglwydd a wneler; mae Iesu Grist yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw."

Gadawodd briod hawddgar, dau fab ac un ferch, i alaru ar ei ol; ond credwn fod yr hyn sydd yn peri tristwch iddynt hwy yn achos o orfoledd iddo ef, na thry byth yn alar. Yr Arglwydd fyddo yn llon'd ei addewid i'r weddw, ac yn gymorth i'r plant i ymofyn am Dduw eu tad.

Fel cymydog, cerid ef gan bawb. Yr oedd yn heddychol, caruaidd, parod i bob gweithred dda. Profwyd hyny y dydd Sabboth canlynol, y 18fed—rhoddodd y gwahanol enwadau, Cymry a Saeson, y moddion arferol heibio, ac nid wyf yn cofio i mi weled y fath dorf mewn un angladd erioed. Cludwyd ei weddillion marwol i'r fynwent gan ei gyfeillion a'i berthynasau. Gweinyddwyd yn y ty gan y Parch. D. M. Evans (A.), ac ar lan y bedd gan y Parch. D S. Jones (B.). Yna dychwelodd y dorf i gapel mawr y Methodistiaid yn Portland, pryd y pregethodd Mr. Jones ar Fuddugoliaeth angau trwy Grist; a gollyngwyd y gynulleidfa gan y Parch. E. Evans, Nantyglo. D. J. L.

### MISS SARAH JANE WILLIAMS.

Gorph. 31, 1880, yn Dennison, neu Sherman, Swydd Summit, O., yn 21 ml., 9 mis a 17 diwrnod oed, o'r *typhoid fever*, Miss Sarah Jane Williams, merch i Thomas T. ac Emma Williams. Ganwyd gwrthddrych ein cofiant yn Pen-y-cae, neu Twyn-Lewis-Harri, ger Tredegar, Swydd Fynwy, D. C., Hyd. 14, 1858. Buont yn trigianu wedi hyny mewn lle a elwir y Garnddiffaeth, ger Pontypool; ac ar yr 21ain o Ebrill, 1863, cychwynasant fel teulu am America, a chyrhaeddasant i Weathersfield, Swydd Trumbull, Ohio, y 31ain o Mai, lle y buont yn trigianu am tua blwyddyn. Wedi hyny aethant i Massilon, O., lle y buont yn byw am dair blynedd; ac oddiyno i'r lle hwn; ac yma maent wedi aros hyd heddyw, ond ein chwaer ymadawedig, mae hi wedi ei symud i fythol orphwysfa, a'i thaith ddaearol wedi ei theithio. Yr oedd ein chwaer ieuanc yn grefyddol er yn blentyn, gydag enwad y Bedyddwyr yn y lle hwn. Bedyddiwyd hi (yn y lle hwn) Mawrth 19, 1871, pan nad oedd ond 12 mlwydd, 5 mis, a 5 niwrnod oed, gan y Parch, A. S. Phillips, y pryd hwnw yn weinidog yn Thomastown, O.; ac oddiar hyny hyd ddydd ei hymddatodiad, cadwodd ei chrefydd yn ddysglaer. Ac yn ystod ei byr gystudd (yr hwn a ddyoddefodd yn dawel) dywedai yn fynych, "*I am going home to heaven.*" Ac erbyn hyn mae wedi ei rhyddhau o'i phoenau ac yn mwynhau y wlad tu draw i'r bedd a bâr byth bythol mwy.

Y dydd Llun canlynol daeth tyrfa fawr yn nghyd at y ty erbyn yr awr benodedig (3 o'r gloch), ac wedi i'r côr ganu, "*Safe in the arms of Jesus,*" darllenodd a gweddiodd y Parch. Iago W. James, Hametown, O.; ac wedi i'r côr ganu dau ddarn arall, ffurfiwyd yn orymdaith, yn cynwys 29 o *buggies*, tua'r gladdfa yn Wadsworth, O. Wedi cyrhaedd yno rhoddwyd yr arch i lawr wrth ddrws y *vault*, ac wedi i'r côr ganu "*Jesus lover of my soul,*" &c., dywedodd y Parch. Mr. James fod rhai o'r perthynasau am i'r côr ganu trosodd y darn a ganwyd wrth y ty, sef "*The home over there.*" Wedi i'r côr ganu, gweddiodd y Parch. Mr. James, yna rhoddwyd yr arch yn y *vault*, lle y gadewir hi am rai dyddiau.

Nerth a gaffo ei rhieni galarus (yn enwedig ei mam, yr hon sydd yn teimlo yr ergyd yn fawr iawn) i ymdawelu goreu y gallont, gan gofio fod eu merch wedi cael ei symud er gwell; ac hefyd i gofio y geiriau, "Byddwch chwithau barod."

Byr ei rhybudd yw marwolaeth,
  Tori i lawr yn fuan mae;
Pan bo'r llygaid yn agored,
  Mewn mynydyn wedi cau;
Rhai anwyliaid oddiwrthym
  A gymerir braidd o hyd;
Nid oes sicrwydd am un eiliad,
  I ni aros yn y byd.

EILIANYDD.

*⁎* Dymunir ar bapyrau Cymru godi yr uchod, er mwyn perthynasau a chyfeillion yr ymadawedig.

### MRS. ANN EVANS, RIDGEWAY, WIS.

*Mr Gol.*—Gwelaf eich bod o hyd yn cwyno o herwydd cofiantau meithion; gan hyny amcanaf fod yn fyr.

Yr oedd ein hanwyl chwaer, gwrthddrych y cofiant hwn, yn ferch i David a Mary Davies, Rhydyfuddai, Plwyf Llanarth, Sir Aberteifi, D. C. Daeth ei rhieni i'r wlad hon pan oedd hi yn dra ieuanc, sef yn y fl. 1840. Sefydlasant gyntaf yn Pittsburgh, Pa. Wedi aros yno am ryw flwyddyn symudasant i Ridgeway, Iowa Co., Wis. Tra yn y lle hwn gwelodd Duw yn dda i ddangos iddi ei chyflwr fel pechadur, a'i hangen am Waredwr, gan roddi iddi olwg ar ei anwyl Fab fel un darparedig ar ei chyfer. Derbyniwyd hi i'r eglwys pan tua 15 ml. oed. Pan yn 21 oed ymunodd mewn cyfamod priodasol â dyn ieuanc o'r enw Wm. J. Evans, i'r hwn y bu yn briod ffyddlawn a serchog hyd angau. Sefydlasant ar ffarm yn mhlwyf Ridgeway, lle y ganwyd iddynt wyth o blant, chwech o'r rhai sydd yn awr yn fyw i gyd-alaru a theimlo eu colled, gyda eu tad a pherthynasau eraill eu hanwyl fam.

Tua blwyddyn yn ol dechreuodd ei

hiechyd waethygu, a pharhau i waelu a wnaeth er pob ymdrech a gofal meddygol i'w hadferu. Cafwyd arwyddion fod y darfodedigaeth wedi gafaelyd yn ei chyfansoddiad, ac nis gollyngodd nes terfynu yn ei hangau, a hyny mewn ychydig amser. O! afiechyd twyllodrus, pa hyd y bydd i ti dynu dy filiynau o blant dynion i'r bedd?

Bu farw Mehefin 2, 1880, yn nghanol ei dyddiau, yn 41 ml. oed, ei gobeithion a'i chynlluniadau oll. Claddwyd ei gweddillion marwol ar y 4ydd, yn nghladdfa y Bedyddwyr, pryd y gweinyddwyd, yn absenoldeb gweinidog yr eglwys, gan y Parch. E. Owens, C. Jones, a J. Davies.

Yr oedd yr ymadawedig yn aelod selog a ffyddlawn yn eglwys y Bedyddwyr yn Ridgeway er's llawer o flynyddoedd, a theimlir colled neillduol ar ei hol. Yr oedd o dymer dawel, dangnefeddus, ac yn ymgadw oddiwrth y gwendid hwnw sydd yn achosi cymaint o ofid yn yr eglwysi, sef chwedleugarwch ac ofer siarad. Cafodd ei phriod golled drom am gydmar bywyd, yr hon yn ol ei gallu, a gydgariodd feichiau a thrafferthion bywyd gydag ef gyda'r ffyddlondeb a'r ewyllysgarwch mwyaf. Ac O! mor drwm yw edrych ar ei phlant bychain ac amddifaid o un o'r mamau tyneraf a mwyaf gofalus a gollodd plant erioed.

Fel cymydoges, yr oedd yn un a gerid ac a berchid gan bawb a'i hadwaenai. Teimlai yn foddlawn i farw, yn ol ewyllys Duw, er y buasai yn caru byw i fagu ei hanwyl blant i fyny. Yr oedd ei gobaith yn gadarn yn y Gwaredwr a broffesodd am gynifer o flynyddoedd. Boed i Dad yr amddifad a Barnwr y gweddwon ofalu am ei phriod galarus a'i phlant amddifaid, yw gweddi ei

HIRAETHUS FRAWD.

### MISS SEDE JOHNS.

Mehefin 5, 1880, yn Niles, Ohio, bu farw Miss Sede Johns. Merch ydoedd i Job a Jane Johns. Bu ei thad farw rai blynyddoedd yn ol, ond mae ei mam eto yn fyw, ac wedi ymuno mewn priodas âg un o'r enw John Phillips, ac yn bresenol yn byw yn Niles, O.

Merch ieuanc oedd Miss Johns tua 22 ml. oed, gwanaidd o gorph, hyny yw, nid oedd yn wrol a chryf fel rhai, eto yn fywiog a hynod o deg yr olwg, a llawn o serchawgrwydd. Daeth allan fel blodeuyn, ond gwywodd yn fuan. Am fod ei mam yn feddianol ar fodd cafodd lawer o fanteision, mwy na llawer, er gwrteithio ei meddwl yn ngwahanol gangenau dysgeidiaeth. Yr oedd yn darllen llawer, gallai ysgrifenu, yr oedd yn deall canu wrth y nodau, a chwareu y *piano*. Yr oedd ganddi gof da, deall cryf, ac yr oedd ei hatebion yn ffraeth a synwyrol. Yn ol yr hanes yr oedd yn un o'r rhai goreu i adrodd yn yr *exhibitions;* ond llygaid gweiniaid oedd ganddi, ac o herwydd hyn bu am gryn amser yn Columbus, yn y *blind school*, er bod o dan driniaeth y meddygon. Daeth adref y *vacation*, y flwyddyn ddiweddaf, a gwaethygodd ei hiechyd, a methodd fyned yn ei hol y tro hwn. Gafaelodd yr afiechyd mor gryf yn ei chyfansoddiad nes tori yr undeb rhwng ei chorph a'i henaid; er holl fedrusrwydd meddygon, tynerwch rhieni, a phob ymdrech i'w hadferyd, gwaethygu wnaeth o hyd nes yr ehedodd ei hysbryd anfarwol i'r bytholfyd.

Mae yn llawen genyf allu dweyd ei bod wedi ymuno a chrefydd er's rhai blynyddoedd yn ol. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. C. F. Nicholson, yn eglwys Seisnig Youngstown, a daliodd ati hyd y diwedd. Bu yr ysgrifenydd yn ymweled a hi oddeutu wythnos cyn ei hymadawiad. "Wel, chwaer fach, pe bae i chwi ymadael, beth yw y teimlad?" Torodd allan i wylo, a dywedodd, "Y mae yn anhawdd i un ieuanc fel myfi i ymadael, ond os hyny mae Efe yn ewyllysio, yr wyf yn eithaf boddlon." O hyny allan cyngorai ei mam anwyl i beidio wylo, ei bod hi yn myned i well lle. Cadwodd yn ei synwyrau hyd y diwedd, fel y darfu iddi drefnu pa fodd yr oedd am i'w mam wneyd â'i phethau, ac yn nghylch ei hangladd. Yr oedd am i'w chorph gael ei ddwyn i'r i'r capel, a'r gwasanaeth i fod yno. Hunodd yr anwyl Sedi yn yr angau am

9 o'r gloch nos Sadwrn, y 5ed o Mehefin, 1880.

Dydd Llun, y 7fed, daeth amryw yn nghyd am 2 o'r gloch, a gweinyddwyd yn Saesneg gan y Parch. —— Teagarden, (Dysg.), a T. C. Probert, ac yna cychwynwyd yn orymdaith drefnus i Youngstown, a gweinyddwyd yn y capel gan y Parchn. John M. Thomas a D. Probert, yna claddwyd hi yn Oak Hill *Cemetery*, a ffarweliodd pawb a hi hyd foreu y codi cyffredinol. Yr Arglwydd ofalo am ei mam alarus a'i pherthynasau oll, ac a'u parotoa hwynt er cwrdd a'r un amgylchiad, fel y cânt oll gwrdd a'u gilydd mewn gwlad well, lle na bydd raid ymadael mwy.

D. PROBERT.

## NEWYDDION CYFFREDINOL.

—Brydnawn yr 16eg o'r mis diweddaf, darganfyddodd Mrs Rivers, ger Pittsburgh, Pa., ddyn anadnabyddus yn ei gardd yn lladrata grawnsypiau. Gwaeddodd arno, a rhedodd yntau yn uniongyrchol i gyfeiriad yr afon. Rhedodd ci mawr, a nifer o ddynion oeddynt yn gweithio ar y rheilffordd, ar ei ol. Neidiodd y dyn i'r afon i nofio i'r ochr arall, ond teimlai ei nerth yn pallu, a throdd i ddychwelyd; ond ni adawai ei erlynwyr creulon iddo ddod yn ol, a pharasant i daflu ceryg ato, nes iddo lwyr wanhau, pan y suddodd ac y boddodd. Cafodd nifer o'r dynion eu cymeryd i fyny am y weithred lofruddiog, ac y mae teimlad yn rhedeg yn uchel iawn yn eu herbyn.

—Cafodd y golofn Aiphtaidd, a elwir Nodwydd Cleopatra, a gyrhaeddodd New York yn ddiweddar, yn ol cyfieithiad o'r cerfiadau sydd arni, ei gosod i fyny gyntaf gan Thothmes III., 1,600 mlynedd C. C.; y mae gan hyny oddeutu 3,500 mlwydd oed. Gosodwyd hi i fyny yn Heliopolis, wrth y mynediad i mewn i Deml yr Haul. Cafodd ei symud oddiyno i Alexandria yn yr wythfed flwyddyn o deyrnasiad Augustus Cæsar, neu 23 mlynedd C. C.; a safodd yno yn agos i 1,900 o flynyddoedd. Y fath hanes!—a'r fath hanes sydd wedi ei wneyd yn y byd, er pan gyntaf y gosodwyd i fyny y golofn ryfeddol hon!

—Yn Geneva, Switzerland, ar y 6ed o Gorphenaf, canwyd clychau, taniwyd magnelau, a chynaliwyd gwasanaeth o ddiolchgarwch yn Eglwys Gadeiriol St. Pierre, o herwydd i'r bobl bleidleisio trwy fwyafrif mawr yn erbyn dadgysylltu yr eglwys a'r wladwriaeth. Allan o'r 13,000 o bleidleisiau a roddwyd (allan o bosiblrwydd o 17,000), nid oedd ond 4,000 dros y dadgysylltiad. Yr oedd y canlyniad yn ddyledus i raddau helaeth i hoffder y bobl i'w heglwys Brotestanaidd Genedlaethol, ac mewn rhan i'r teimlad y byddai i'r dadgysylltiad gael ei ystyried yn fuddugoliaeth Babyddol.

—Gwnaed darganfyddiad hynod yn Paris, y mis diweddaf, tra yr oeddid yn gwneyd rhyw adgyweiriadau yn y General Post Office yno. Mewn *panel* yn agos i un o'r llythyr-flychau cafwyd llythyr oedd wedi ei roddi yno trwy ryw gamgymeriad, yn lle yn y blwch, yn union 50 mlynedd yn ol. Danfonwyd y llythyr yn uniongyrchol i'r person at yr hwn yr ydoedd wedi ei gyfeirio, yr hwn, er mawr ryfeddod, oedd eto yn fyw, ac a dderbyniodd y llythyr yn ddiogel. Yr oedd yr ysgrifenwr, modd bynag, wedi marw er's llawer o flynyddoedd.

—Mae meddianiad Afghanistan gan y Prydeinwyr wedi dyfod drachefn i gyflwr difrifol. Cafodd y Cad Burrows a'i fyddin o yn agos i 3,000 o wyr, bron eu difodi, yn agos i Candahar, gan 12,000 o Afghaniaid dan Ayoob Khan, y penaeth a awyddai am fod yn Ameer. Mae y gyflafan yn fwy anffodus i'r Afghaniaid nag i'r Prydeinwyr. Yr oedd yr olaf wedi rhoddi llywodraethwr i'r bobl, ac yn parotoi i ymadael. Yn awr rhedir dros y wlad drachefn gan fyddinoedd ymosodol, ac oedir heddwch am amser anmhenodol.

—Cafodd y Parch. J. W. Parsons, cenadwr Presbyteraidd Americanaidd yn Twrci, yn nghyda gwas iddo, eu llofruddio yn ddiweddar gan y Zuruks. Gadawodd y cenadwr weddw a phedwar o blant. Mae y weddw a'r ferch henaf yn cadw ysgol i ferched yn Twrci. Ei ail ferch yw gweddw y Parch. Albert Whiting, a gollodd ei fywyd wrth gario ymborth i randiroedd newynog China. Aeth y trengedig i Twrci yn 1850.

—Gorphenodd Dr. Tanner ei orchest o ymprydio 40 niwrnod, yn New York, ddydd Sadwrn, y 7fed o'r mis diweddaf. Yr ydoedd ei ddyoddefiadau yn fawr iawn yn ystod ei ympryd hirfaith. Ar ol gorphen ei orchest ffol dechreuodd fwyta yn wancus, a dirmygai gyngor y meddygon i fod yn ofalus; modd bynag, dechreuodd wella a chryfhau, ac ychwanegu mewn pwysau yn gyflym. Dywedir y bydd iddo fyned ar draws y wlad i ddarlithio.

—Yr oedd casgliad mawr o *Knight Templars* yn Chicago, yr 17eg o'r mis diweddaf, a dywedir nad oedd llai na thuag 20,000 o honynt yn yr orymdaith, yn nghyda thriugain o *bands of music*. Ni welwyd y fath orymdaith yno erioed o'r blaen. Cynaliwyd *ball* ysplenydd ganddynt yn yr hwyr. Yr oedd gwahoddiadau wedi eu rhoddi allan i gan' mil o bersonau, ond ni chynwysai yr adeilad dros 25,000.

—Rhoddwyd y gareg olaf yn ei lle yn Eglwys Gadeiriol Cologne, y mis diweddaf. Hwn yw yr adeilad eglwysig ardderchocaf yn y byd. Dechreuwyd yr adeilad yn y 13eg ganrif, ond

gan na orphenwyd ef, syrthiodd i ddinystr, ac yr ydoedd bron yn bentwr o adfeilion pan y dechreuodd brenin Prwssia, ryw haner can' mlynedd yn ol, ar y gorchwyl o'i adnewyddu a'i orphen.

—Tra yr oedd Miss Tellie Mather, 18 oed, yn cerdded gyda boneddwr yn agos i Mount Jersey, Pa., gosododd gwreichionen oddiwrth *cigar* yr olaf, ei gwisg ar dân, yr hyn a'i dychrynodd, a dechreuodd redeg. Neidiodd boneddwr oedd yn gyru tuag ati, allan o'i gerbyd, a lapiodd wrthban o i chwmpas, ond llosgodd mor dost fel y bu farw yn fuan.

—Cyrhaeddodd parti o tua 700 o Formoniaid i New York yn ddiweddar, o Ewrop, y rhai a gawsant eu dychwelyd gan genadon Mormonaidd yn Ewrop. Yr oeddynt dan ofal *Elder*, a chychwynasant yn uniongyrchol tuag Utah. Mae y parti yn gyfansoddedig, gan mwyaf, o Swedes, Norwegians, a Danes. Yr oedd nifer bychan o Saeson yn eu plith.

—Cyrhaeddodd agerlong i New York ar yr 11eg o'r mis diweddaf o Brazil, gyda 67 o dyddynwyr Rwssiaidd angenus a thruenus ar ei bwrdd, y rhai ydynt y cwbl sydd yn weddill o gwmni o 330 a adawsant eu ffermydd yn Rwssia dair blynedd yn ol i fyned i ffarmio i Brazil. Methasant a chodi cnydau, a bu 263 o honynt feirw o angen ac afiechyd.

—Bu dyn o'r enw Steiner farw yn Hoboken N. J., y dydd o'r blaen, tra yn gwneyd ei ewyllys. Yr oedd yr ewyllys wedi ei gwneyd allan oll oddieithr ei llaw-arwyddo. Aeth yr Ynad Heddwch i ystafell arall i alw ar berson i fod yn dyst, a phan ddychwelodd yr oedd Steiner yn farw, a'r ewyllys ar y bwrdd heb ei llaw-arwyddo.

—Mae dwy efeill-ferched Mr. Norman Taylor, Lansingburgh, N. Y., pedair blwydd oed, mor hollol debyg i'w gilydd, fel nad all hyd yn nod eu rhieni bob amser eu gwahaniaethu. Y dydd o'r blaen rhoddodd y fam ddogn o physic i'r un iach, yn lle i'r un sal, trwy gamgymeriad.

—Mae llifogydd tra difrifol wedi achosi dinystr mawr yn rhandir Ratisbon, Prwssia, yn ddiweddar. Mae mwy nag ugain o bentrefi wedi eu dinystrio, a cholled o lawer o filiynau o *marks* wedi ei achosi trwy lwyr ddinystriad y cynauaf. Yr oedd 480 o filldiroedd ysgwâr tan ddwfr yn Silesia.

—Cyflawnodd Rose Waterman, lodes 13 oed, hunan-laddiad yn New York, y mis diweddaf, o herwydd ei bod yn dysgwyl cael ei gwahanu oddiwrth ei chariad, bachgen tua yr un oedran a hi. Neidiodd i lawr o ben ty, a bu farw yn y fan.

—Yn yr etholiadau diweddar yn Ffrainc, cafodd y Buonapartiaid eu trechu yn dost, a'r Clerigwyr yn waeth na hyny. Mae yn debyg y daw y blaid Ymerodrol, wrth weled yr oferedd o wrthwynebiad pellach, gyda mwy neu lai o foesgarwch, i sefyll o blaid y Weriniaeth.

—Dywed hysbysiad o Montreal fod y gwaith rhagbarotoawl yn myned yn mlaen tuag at wneuthur twnel tan yr afon St. Lawrence. Mae y dwfr yn 42 troedfedd o ddyfnder, ac y mae'r twnel i fod 40 troedfedd islaw gwely yr afon.

—Bu dynes farw yn ddiweddar yn Farmersville, N. Y., mewn canlyniad i dderbyn cic oddiwrth ddafad. Yr oedd siswrn yn llaw y ddynes, a gyrodd y cic ef i'w gwddf, gan dori y *jugular vein*, ac achosi ei marwolaeth.

—Dywedodd Wade Hampton, Seneddwr o South Carolina, mewn araeth boliticaidd ddiweddar yn Virginia, fod y De, wrth gefnogi y Cad. Hancock am yr Arlywyddiaeth, yn sefyll yn union lle y safai yn 1860.

—Cymerodd gwrthdarawiad le ar y rheilffordd, ger May's Landing, N. J., yn ddiweddar, trwy yr hwn y collodd 21 o bersonau eu bywydau, ac yr anafwyd eraill, rhai o hynynt, yn ddiau, yn farwol.

—Mae y Parch. J. A. Spurgeon, brawd y Parch. C. H. Spurgeon, yn ddyn ffodus. Mae newydd ddyfod i feddiant o gymun-rodd o $75,000, a adawyd iddo gan aelod o'i gynulleidfa flaenorol.

—Cymerwyd bachgen 7 mlwydd oed, o'r enw Samuel Neil, i fyny yn New York, ar y cyhuddiad o lofruddiaeth Dywedir iddo dro yn ol daflu William Klopper, bachgen 7 ml. oed, i'r East River. Boddodd yr olaf.

—Bu pedwar-ar ddeg o fechgyn feirw o'r *lockjaw* yn Philadelphia, mewn canlyniad i niweidiau a dderbyniasant i'w dwylaw trwy ffrwydriad pistolau bychain ar y 4ydd neu y 5ed o Orphenaf.

—Mae deuddeg o ddynion yn awr yn y carchar a elwir y *Tombs* yn New York, dan y cyhuddiad o lofruddiaeth!—y nifer mwyaf a fu yno erioed ar yr un amser dan y cyhuddiad hwnw.

—Crefftwr, 26 mlwydd oed, wedi ei ddedfrydu i bedair blynedd o garchariad, yn Cusano, Itali, a newynodd ei hun i farwolaeth mewn deng-niwrnod-ar-hugain.

—Bu Patrick Fitzgerald, o Albany, N. Y., farw mewn canlyniad i dynu dant. Cymerodd *ulceration* le, effeithiodd hyny ar yr ymenydd, a bu farw.

—Mae Gwerinwyr a Democratiaid Oneonta, N. Y., wedi prynu pabell fawr *circus* a dorodd i fyny yno yn ddiweddar, a chynaliant gyfarfodydd ynddi bob yn ail.

—Hwyliodd yn agos i 20,000 o gaban-deithwyr o New York i Ewrop y tymor presenol—ugain y cant yn fwy na llynedd.

—Un boreu yn ddiweddar galwyd ar *coroners* New York i wneyd ymchwiliadau i achosion ugain o farwolaethau sydyn a gymerasant le y nos o'r blaen.

—Sonia arianwyr Ffrengig am wneyd rheilffordd ar draws anialdir Sahara, yn Affrica, ac y mae llawer o arian wedi eu tanysgrifio eisoes tuag at yr anturiaeth hono.

—Dywedir fod Tywysog Cymru yn myned i Awstralia yn mis Hydref, ac y bydd iddo ddychwelyd trwy California.

—Amcan-gyfrifir fod oddeutu 35,000 o ymwelwyr yn treulio yr haf yn ngwahanol barthau y Catskill Mountains.

—Bu Ole Bull, y *violinist* byd-enwog, farw ar y 18fed o'r mis diweddaf, yn Bergen, Norway. Ganwyd ef yn 1810.

—Yr oedd llwydrew trwm mewn amrywiol barthau o Dalaeth New York, foreu Llun, yr 16eg o'r mis diweddaf.

—Mae cryn nifer o Jesuitiaid, a yrwyd allan o Ffrainc, wedi symud i Aberdar, D. C.

---

## DYDDANION.

—Mae y person a alwodd fotasau tynion yn gysurus, yn amddiffyn ei osodiad trwy ddyweyd eu bod yn gwneyd i ddyn anghofio ei holl drafferthion eraill.

—"Onid yw yn amser i chwi dalu yr hyn sydd ddyledus arnoch i mi?" ebai Stubbs wrth un o'i ddyledwyr. "Fy anwyl Syr," oedd yr ateb, "nid cwestiwn o amser ydyw, cwestiwn o arian ydyw."

—Mae y dyn sydd yn gwario ei amser yn y *grocery* ar y gongl, tra y mae ei wraig yn gweithio yn galed i'w gynal ef, yn alluog i ddweyd wrthych bob amser yn union beth yw angenion y wlad hon er ychwanegu ei llwyddiant.

—Meddyliodd swyddog ieuanc i ddyrysu golygydd *Figaro* trwy ofyn iddo, "Pan y cyferfydd dau ddyn o'r un oedran, a'r un gradd, pa un o honynt ddylai ymgrymu gyntaf?" Atebodd y golygydd yn dawel, "Y mwyaf moesgar o'r ddau."

—Sylwodd lodes fechan ar ei mam yn mesur brethyn trwy ei ddal i fyny at ei thrwyn ag un llaw, a'i estyn allan hyd ei braich a'r llall. Edrychai yn feddylgar am ychydig, a gofynodd—"Sut y gallwch chwi fesur brethyn yn y ffordd yna? A ellwch chwi arogli llathen?"

—Ebai gweinidog wrth gwpl ieuanc ydoedd newydd briodi: "Y mae yr ystâd briodasol yn gosod arnoch amrywiol ddyledswyddau. Rhaid i'r gwr amddiffyn y wraig, tra y mae yn rhaid i'r wraig ddilyn y gwr i ba le bynag yr elo." Ebai y wraig ieuanc, "Onid ellid newid hyny yn ein hamgylcl iadau ni? Mae fy ngwr yn myn'd i fod yn gariwr llythyrau."

—"Wel, pa bryd y daethoch chwi yn ol?" gofynai Smith i'w gyfaill Jones, yr hwn a gyfarfyddodd ar yr heol. "Nid wyf wedi bod i ffwrdd," atebai yr olaf. "Nid ydych?" atebai Smith yn anghrediniol. "Wel, yr ydych yn edrych mor wael, ac agos i farw, fel y meddyliais eich bod yn sicr wedi bod yn un o'r *watering places* am ychydig wythnosau er mwyn eich iechyd."

—Galwodd Mr. L. y dydd o'r blaen i weled boneddiges a'r hon yr oedd yn gydnabyddus, a chyfarfyddwyd ef wrth y drws gan ferch fechan y foneddiges. Gofynodd iddi i ddyweyd wrth ei mam fod Mr. L. wedi galw. Aeth y ferch fechan fyny y grisiau, ac yn fuan dychwelodd. "A ddywedaist ti wrth dy fam?" gofynodd Mr. L. "Do." "A beth a ddywedodd hi?" "Dywedodd, '*O, pshaw!*'"

—Y mae *telephone* yn cysylltu *store* Mr. A——, yn ngwaelod y dref, â'i breswylfa yn y rhan uchaf o'r dref. Un diwrnod galwodd Mr. B——, cyfaill o'r wlad, i'r *store* i weled Mr. A., yr hwn a ddangosodd y *telephone* iddo, ac i egluro ei ddefnyddioldeb, dywedodd, "Yn awr, Mr. B., siaradaf a fy ngwraig, gartref:" "Betsey, y mae fy nghyfaill Mr. B. wedi dod yma i fy ngweled." Yna dywedodd wrth Mr. B., "Gwrandewch, daw ateb yn union." Yn ebrwydd clywodd yn eglur, "Wel, er mwyn pobpeth, peidiwch a gofyn i'r awff ddod adref i ginio gyda chwi!!!"

④ Y WAWR.

CYF. V.] HYDREF, 1880. [RHIF. 7.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

# GOLYGYDD SEREN CYMRU.

(Y PARCH. J. JONES, FELINFOEL.)

Cyfaddefaf fy mod yn argymeryd â gorchwyl caled a phwysig pan yn ymgymeryd a'ch gosod chwi eich hun yn y dafol. Wel, syr, yr ydych chwi wedi cael y fraint o wneyd hyny er ys blynyddoedd, ac efallai y bydd i chwi adael hyny dros ddiwrnod neu ddau, er mwyn i'r byd gael gweled sut ydych chwi yn ymddangos ynddi; ond barned y sawl a farno, sicr ydwyf y byddwch yn bwysau rhagorol.

Mae ambell i ddyn i'w gael sydd yn anfoddlon i hyny. I gyfarfod â'r rhai hyny, dywedodd Sais wrth Ffrengwr un diwrnod, "Mor ddwl oedd ei wlad yn cyfodi coffadwriaethau i ddynion byw!" "Llawer callach na chwi," meddai y Ffrengwr; "mae eich gwlad chwi yn gwneuthur hyny wedi iddynt farw."

Mae y golygydd yn byw mewn ty pert a chyfleus, a pheirianau yn chwareu ddydd a nos ar y simneiau tu faes. Gwahanol oruchwyliaethau ydynt, medd y golygydd; ond yr olaf o Lundain sydd yn gwneyd i'r mwg ddianc o'i grafangau i rywle. Mae yma ddau barlwr, dwy gegin, ystafelloedd rhagorol i gysgu, a *study*—ac o bob myfyrgell dyma yr un ryfeddaf. Y muriau wedi eu llanw a llyfrau, a dim ond y *ceiling* yn rhydd, a dim diolch, gan fod corneli y llawr wedi eu gorlwytho â llyfrau—llyfrau o bob maint a thrwch, o'r A B C i *Algebra*, ar bob pwnc, o ddechreuad y byd hyd ei ddiwedd; ac ar ganol y ford yr oedd cwdyn wedi ei stwffio, a'i geg yn agored, a ffrwyth ymenyddiau a dwylaw dynion bach a mawr yn barod i dân. Yr oedd y farn wedi disgyn eisoes ar lawer, ac yr oedd y golygydd yn dweyd eu bod yn rhy gysegredig i neb gyffwrdd â hwynt, na chael cymaint a chip olwg ar un o honynt, er fod y ddedfryd wedi pasio eu bod i gael eu dienyddio trwy dân. Goruchwyliaeth arswydus, onide?

*Fel Person,* dyn ysgyrnog, ysgwâr o gorph, ydyw; aelodau digon cryf idd ei ddal i sefyll neu rodio; gwyneb cochlyd, a thipyn o ol y frech wen arno; llygaid sydd yn gallu cau ac agor fel y myn ef ei hun. Gwelir ef yn Llanelli ar ddydd marchnad fynychaf, a phob amser bydd torf o bobl o amgylch iddo, fel pe byddent mewn ofn ei golli. Safant a rhodiant gydag ef fel *body guard.* Ei wisg fynychaf fydd *suit* o ddillad duon, het o frethyn, isel a chrwn, ac yn aml iawn a chot fawr, a'r ddwy fotwm uchaf dan glo, a'r lleill at eu rhyddid, o'i ran ef, a phob amser a ffon yn ei law. Mae ei rodiad yn gadarn, a'i ben yn gogwyddo ychydig i'r llaw ddeheu.

*Fel Pregethwr* y mae yn sefyll yn y

rhes flaenaf; un o'r mwyaf doniol mewn iaith, wedi ei choethi; ei feddylddrychau weithiau yn amrantus, a phrydiau eraill o'r mwyaf deniadol, mwyn a chysurus. Meiddia arwain ei wrandawyr i dreigleoedd y ser; brydiau eraill teithia wyneb y ddaear, a dyg allan ei gogoniant a'i mawrwychedd, fel y mae y llygaid yn canfod rhyw ysplenedigrwydd di-ail, gan fod ei ffurfiau yn dra rhagorol ar gyfandir y meddwl. Gall ddringo i gopäau y bryniau uchelion, ac i haenau y graig ysgythrog; a gall ymbleseru yn eu sodlau gyda Hugh Miller; gall fynegu gwahanol dyfiantau y goedwig, a medr chwareu gyda gwên â blodau amryliw yr ardd. Weithiau darlunia y môr yn ei erwindeb; bryd arall arafwch grisialaidd y nant; weithiau yr ystorm ysgythrog, wedi torchi ei llewys; a phrydiau eraill yr awel esmwyth a thyner sydd yn oeri hin desog yr haf; bryd arall bydd yn mhlith yr engyl glân, yn syndod i ddaearolion; a phrydiau eraill gyda'r "gostyngedig a phur o galon." Ond drwy yr holl amrywiaethau hyn, ni chyll ei olwg ar bynciau Cristionogaeth. Y mae tiroedd yr iawn, maddeuant, cyfiawnhad a sancteiddhad, yn cael eu trafod fel gan bensaer celfydd—digon o ras yn wastad yn ei bregeth i gadw pechadur. Y mae yn llawn tân Cymroaidd; ymdrecha â'i holl egni tra yn y pwlpud, a gall pawb ddeall mai nid chwarter awr meibion Lilliput wna y tro i un o Bauliaid yr oes, fel Mr. Golygydd; ac er ei fod beunydd mewn cyrddau blynyddol, ni chlybuwyd erioed fod y golygydd wedi ffaelu cael argraff ar ei wrandawyr.

*Fel Gweinidog.*—Bydd bob amser yn barod i wneyd cymwynas, yn gofalu am ei aelodau (yn deall pawb, ys dywed Thomas, Narberth). Mae yn llawn cariad a didwylledd, ac y mae llawer iawn o ysbryd y cyfeillachawl ynddo. Y mae yn caru cymdeithas; yn meddu tuedd i beidio dweyd gair anmharchus am neb; yn gallu darllen y natur ddynol yn lled berffaith; er hyn, ni rydd ffordd heb reswm, ac ni ddymuna ddangos ei allu, na dynoethi ei nerth, nes y bydd achos. Fel gweinidog, mae digon o arafwch ynddo wrth ddysgyblu, a bydd mewn llawn parodrwydd i roddi help llaw i'r gostyngedig a'r gwan. Gall dori tameidiau toreithiog i'r cryf, a gall roi llaeth i'r rhai bach, fel nad oes eisiau i'r eglwys ofidio, pan y bydd ef yn bresenol, nad oes mwy yn y pwlpud na'r sêt fawr, a mwy yn y sêt fawr nag sydd ar lawr y capel. Mae yn cydnabod pawb ar yr heol, ac y mae y plant bach yn gofyn sut y mae. Bydd gwen y golygydd yn lloni y plant, a siaradant ag ef mewn gwylder heb eofndra. Fel hyn y dylai fod, gan mai plant wedi tyfu fyny yw gwrywod a menywod y byd; ac wedi gwneyd argraff dda ddyddiau boreuaf yr oes, bydd fynychaf yn aros yn annileadwy hyd y *diwedd.* Dyna Miss Carpelia, y ferch ieuanc wnaeth gymaint o les i weithwyr Llundain. Er ei bod o linach gyfrifol, gadawodd y palas am anialwch y brif-ddinas; a thyma ei geiriau yn un o'r cyfarfodydd mwyaf fu yno erioed, iddi fyned pan yn ddeng mlwydd oed un boreu ar neges i dy Mr. Jay, o Bath. Cwrddodd ag ef ar droedffordd yr ardd. Gosododd ei law pan yn 80 mlwydd oed ar ei phen, a dywedodd, "*May God bless you, and make you a blessing.*" Hi waeddodd allan, gan wylo, o flaen yr holl gynulleidfa, a dywedodd ei bod yn teimlo llaw gwr Duw ar ei phen drwy ei hoes, ac yr oedd yn anmhosibl iddi fyned gyda'r lluaws i wneuthur drwg. Beth welir yma? Un o'r dynion mwyaf galluog yn ei oes, fel pregethwr a gweinidog, yn medru sylwi ar blentyn heb fod yn blentynaidd, fel y mae y Gol. Y mae yn hanesydd Beiblaidd rhagorol, yn ieithwr arweinyddol, yn dduwinydd o'r mwyaf treiddgar, ac yn llawn o'r cymeriad apostolaidd yn hyn, ac yn adeiladydd y sant yn y sancteiddiolaf ffydd.

*Ei Eglwys.*—Digon yw dweyd mai eglwys y Felinfoel ydyw un o'r henaf; dyma dywysoges yn mhlith tywysogesau Cymru, megys Olchon, Ilston, Penyfai, Abertawe, Caerfyrddin, Rhydwilym, &c. Dyma un yn adeg yr erlid yn gorfod codi capel yr hen Felin ychydig latheni oddiwrth Seion, Llanelli, a

dianc i'r Allt Fawr; ac wedi cael ychydig o lonydd, cangenwyd yn ol i Seion, a sefydlwyd Eglwys y Felinfoel; a dyma lle y bu Morgan Jones, Margam (parch byth i'w enw), yn pregethu ynddo lawer gwaith. Diangodd John Miles i America, ond safodd Morgan Jones ei dir fel dyn Duw. Eglwys y bu yn myned ar hyd ffyrdd anadnabyddus i'w chyfarfodydd. Yr oedd cewri y dyddiau hyny. Y mae dros gan mlynedd er pan adeiladwyd yr hen gapel, muriau pa un sydd yn aros hyd heddyw, a pheth raid fod oedran y capel o'r blaen? Dyma eglwys ag oedd yn hen pan oedd Christmas Evans yn faban; ac yn un o gymanfaoedd y Felinfoel y sefydlwyd ei enwogrwydd fel pregethwr. Dyma eglwys sydd wedi cael y dynion enwocaf fel gweinidogion am y dau can mlynedd diweddaf yn Nghymru. Mae hi wedi cangenu allan ar y dê a'r aswy law, a'r dydd hwn yn 600 o aelodau; ac er yn hen, mae hi yn dwyn plant yn ei hen oedran, fel y mae ei llwyddiant hi yn fawr. Bedyddiwyd y flwyddyn ddiweddaf 72 gan y Golygydd. Dyma eglwys, er ei hoedran, nad oes plethiadau ar ei grudd; lliw ei gwyneb yn rhosynaidd; ei llygaid heb bwli; ei llais mor dreiddgar a'r oesau gynt, a'i rhodiad fel myrddiwn o bobl.

*Ei Gapel.*—Fel y dywedwyd, mae yr hen dô a'r hen furiau yn sefyll, ond y mae y mewnol yn hollol newydd; ac erbyn hyn, o fod yn gelwrnaidd yr olwg, mae yma un o'r trwsiadau mwyaf ag a ellir ei ganfod yn un man. Gwelir yr arluniawl a'r defnyddiol. Mae y drefn yn gymysg o Roman a Gothic, fel y mae person, wrth sefyll ar yr esgynlawr, wrth symud ei olygon o un lle i'r llall, yn cael ei adgofio o *banorama* o'r mwyaf ëang a thlws a welodd llygaid erioed. Mae'r esgynlawr, a'r Roman *arch* wrth gefn, yn ymddangos fel gorseddfainc; y coed trwy y capel y mwyaf ardderchog, o'r *pitch pine* goraf, a'r gwaith o'r celfyddiaeth mwyaf arddunol a syllodd ein llygaid arno; yr eisteddleoedd y mwyaf cyfleus i eistedd, a'r *mouldings* dros y *seats* yn Gothic, wedi eu gweithio â llaw, ac yn rhagori, i'n meddwl ni, ar y peirianau gweithiol. Mae ysgoldy a dwy *vestry*, un i'r diaconiaid a'r llall i'r gweinidog, ar ochr ogleddol y capel, yn hynod o gyfleus a thlws, a phob darpariadau gweddus ar gyfer y corff dynol. Diamheu fod gan y Gol. fys yn hyn hefyd gyda'r arlunydd, yr hwn sydd mor wylaidd a phlentyn, sef ein brawd anwyl, y Parch. H. Thomas, Abertawe. Pe byddai gan yr ysgrifenydd gant o gapeli, efe fyddai yr arlunydd; a gallaf ddweyd fod yma ffrwyth meddwl treiddgar, gwybodaeth ëang, a deall coeth mewn arlunyddiaeth celfyddydawl, i ddwyn allan gapel o fath hwn. Mewn gwirionedd i chwi, hen bobl, yn nghyd â bechgyn a merched Felinfoel, gofalwch beidio sarnu y lle drwy esgidiau â hoelion, dillad bryntion, a dwylaw aflan; ond gofalwch am dano mewn glendid. Nid ydym wrth hyn yn rhoi mwy o ogoniant ar y ty na Pherchen y ty. "Arglwydd y lluoedd yw ei enw;" ond pan aeth Efe i dynu arlun capel y Deml, gwnaeth hyny i ragori ar holl dai addoli y byd paganaidd, a chymerai ofal neillduol yn ei gadwriaeth a'i lanhad, neu ei bureiddiad. Dolur llygaid a brath i galon yw gweled ambell i gapel cyn pen blwyddyn fel ystabal ar uchelfarchnad. Cofier yn y Felinfoel, a phob man arall, fod hyn yn cael ei gynwys yn y gair Duwioldeb—Duw-debyg, ac y mae glendid corff fel glendid enaid yn dderbyniol ganddo.

*Ei Gynulleidfa.*—Dywedir fod yr hen gapel yn cynwys deuddeg cant, a'i fod yn orlawn; felly dysgwylir i hwn fwy o lawer. Felly y byddo, medd yr ysgrifenydd, a phawb drwy y wlad.

*Ei Enwogrwydd.*—Trwy lafurio, credwn nad oes un dyn yn Nghymru yn fwy enwog na'r Gol., a'r oll drwy lafur parhaus a diflino. Ni chafodd ei eni â llwy arian yn ei enau; ond gwell byth ydyw ei fod yn un o feibion llafur; ac y mae hyn yn taflu bri ar ei enwogrwydd. Cafodd addysg golegawl; ond ni allasai efe, yn fwy nag ereill, gyrhaedd pinacl enwogrwydd heb lafurio ddydd a nos. Barnai rhai, a mesurant lafur, wrth y rhaw a'r bal, y

gwaith haiarn a'r pwll glo, ac anghofiant y meddwl—yn ymdrechu pan y maent hwy yn cysgu; yn meddwl, yn symud o wrthddrych i wrthddrych pan y byddant hwy yn chwareu, nes y mae yr ymenydd yn ganfyddadwy yn yr edrychiad pruddaidd, eu bod yn dyoddef, a'r corff yn dihoeni, a da ganddo gael bedd. Heriaf bawb ar wyneb y ddaear i roi un enghraifft o fod un dyn neu ddynes, o gyfansoddiad iachus, wrth arferyd eu galwedigaeth (heb ryw gamdrefn) wedi byrhau eu hoes; ond gellir, ar y llaw arall, brofi fod ugeiniau o weinidogion wedi cael bedd yn haner eu dyddiau wrth orlwytho y meddwl drwy astudiaeth yn unig.

Mae yn enwog fel pregethwr, gweinidog, traethodwr, a gwleidyddwr; ond rhaid i'r oll fyned i'r cysgodion ar hyn o bryd, pan y cymherir ef fel Golygydd *Seren Cymru.* Mae dros 15 mil bob wythnos yn dysgwyl wrth ei ddrws am ei atebion ffraeth a synwyrgall, a'i gynghorion pwyllog a llesiol. Gwelir ffrwyth llafur mawr, a dirnadiaeth llygadgraff, i wahaniaethu yr ûs oddiwrth y gwenith, ac hefyd i ddeall natur yr ysgrifen, ai cenfigen yw y cymhellydd, ai niwed yw yr unig amcan mewn golwg; a chaiff hwnw y fraint o gael ei osod yn ei le ei hun. Porthor ydyw; ni egir y drws i neb ond gwirionedd. Gwyliedydd ydyw; ni rydd swn dyeithr—dealla yr amserau. Bugail ydyw; diogela y defaid oddiwrth y bleiddiaid. Cadben yn y fyddin ydyw, â gallu i amddiffyn neu ymosod fel y byddo yr angen. Gall honi hawl i bersonoli ei hun yn mhob cymdeithas gyhoeddus, pob cwrdd cyhoeddus, ar unrhyw bryd, mewn unrhyw le. Gwelir ef yn Nhy yr Arglwyddi, a gwelir ef yn y cwrdd plwyf; o herwydd fod golygydd yn cynwys y gair *reporter* (mynegydd), ac erbyn heddyw mae y derbyniad mwyaf gwresog a pharchus i'r golygydd. Mae ei lafur mewn cysylltiad â'r wasg yn fawr, a thrwy y wasg mae ei lafur fel gwleidyddwr wedi dyfod i'r golwg. Mae ei erthyglau ar Ryddfrydiaeth, drwy papyrau y Dywysogaeth, yn dangos llafur diflino yn cyfodi oddiar egwyddor ddiwyrni; ac y mae wedi cyhoeddi llyfr tra defnyddiol, a'r hwn oedd gwir angen am dano, ar "Etholiadaeth Cymru." Cyhoeddodd hefyd "Hanes y Waldensiaid," "Ysbrydolrwydd Teyrnas Crist," "Efrydiaeth Ysgrythyrol," "Cadwedigaeth Babanod," ac amryw lyfrau ereill. Y mae ei enwogrwydd gymaint ar gyfandir America ag ydyw yn ei fro ei hunan; oblegid awydd yr Americaniaid i ddarllen pob math o newyddiaduron, a chyfieithu o un i'r llall; a gwyddom fod dosranau o'r *Seren* yn cael eu darllen yn ngholegau enwog y wlad.

Wel, dymunwn iddo lawer o flynyddau eto i wasanaethu ei wlad a'i genedl, ac y bydd iddo, ar ddiwedd ei ddydd, glywed llais ei Feistr yn dywedyd, "Buost ffyddlon ar ychydig, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."
—*Di-enw.*—*O Seren Cymru.*

## CYWYDD I'R IESU.

[O hen Ysgrif-lyfr yn meddiant Mr. Joshua Anthony, Llanfair-ar y-bryn, ger Llanymddyfri. A ymddangosodd yn yr *Haul* am 1846. Cyflwynedig i'r WAWR gan Mr. D. G. MORRIS, Ferndale.]

Pwy sy Ben yn passio byd?
Pwy oruchaf, pur iechyd?
Pa Arglwydd yn nhop eurglod?
Pa Ior glwys a pia'r glod?
Pa Frenhin, pwy fry iawn-wych?
Pwy oreu'i gêd, pa wr gwych?
Pwy, ond IESU, Pen dwys-air,
Oreu Mab o wiw-ryw Mair?
Brenhin ar bawb a'r aned,
Brau, union, cryf, Brenhin Cred;
Brenhin dibrin, da obrwy,
Barwn mawr, heb yr un mwy.
Awdwr y grym wyd, a'r gras,
Arglwydd-walch, Ior glew addas;
Di yw ein Pen, da yw'n pwyll,
Dawn cynhes, di yw'n canwyll;
Di yw ffynnon gwirionedd,
Di-ŵyr hynt, di yw yr hedd;
Di yw'r ffordd, dewr hoff urddas,
Di yw'n grym, da yw ein gras;
Di yw'r hael, diwair helynt,
Di yw'r hap, da yw yr hynt;
Di yw pob-peth, ddifeth Dduw,
Deg urddas, di yw gwir-Dduw.

Pwy a'th edwyn, pwy ydwyd?
Byth un Duw, pa beth nid wyd!
Iesu ydwyd, oes wiwdeg!
I hawshau dyn, Iesu deg!
Iesu wrol, oes wiwrym,
Iesu Grist, wiw oesawg rym.
Llew ydwyt, llu a edwyn,
Llew gwrdd o Juda, Llew gwyn;
Llew Dafydd, oll wiw dyfiad,
Llawen yw'r iaith, llawn o rad;
Llawenydd, Llywydd, Llewych,
Llwyddiannus, foliannus fych.

Daethost o'r nef, Ner dethawl,
Dyna hap, i'n dwyn o hawl;
Dioddefaist, (ond oedd ofyd?)
Draw, Iesu, boen dros y byd;
Dygaist drom farnedigaeth,
Dygaist ddolur mal cur caeth;
Drud-brynaist, drwy waed breiniawl,
Ddyn, rhag aerwy dirwy diawl;
Nid âg aur, bennod gwiwrym,
Nid ag arian, rwyddlan rym;
Nid â main, gwyrthfain gwerthfawr,
Nid â golud, munud mawr;
Onid o roddi d'einioes,
I brynu Cred, ar bren croes;
Ac yno, yn deg anian,
Rhwydda' 'stad, rhyddheaist wan;
Digonaist, Ion, deg Ynad,
Feddwl Duw, wiw fuddiol Dad;
Dioddefaist, ffiniaist, hoff Ion,
Ddugaeth gur, alaeth greulon;
Cefaist ammharch, arw-barch oedd,
A chernodiau, chwyrn ydoedd.
Poerwyd yn d'wyneb purwyn,
Parod dwyll fu'r poeriad hyn;
Cyn it' farw, ceit arwain,
Cur yn ddrwg, coron o ddrain;
Croeshoeliwyd, cur ias alaeth,
Dy iawn gorff—'scwrsiwyd yn gaeth;
Un o dwyll yna a dyllodd
Dy ystlys, anfelys fodd;
Gollyngodd, mewn gwall angau,
Y gwaed gwirion o'r fron frau!
Dy gorph oll a archollid,
Iesu lân, a'th ais, o lid;
Ac yn ol hyn, terfyn tost,
Mawr iawn waith, marw a wnaethost;
Ac ar ol dy farwolaeth,
Codaist o'r bedd culwedd, caeth;
Dyrchefaist, cefaist, cofiwn,
Ddeheulaw Duw, gwir-Dduw, gwn;
Yno yr wyd yn Waredwr
I bawb a gais, i bob gwr,
Yn Frenhin haelwyn, hylaw,
Yn Llywydd dragywydd draw,
Yn Garwr, Dyddiwr diddan,
Yn oreu o glod, yn Ner glân,
Yn nodded iawn, yn wiwddyn,
Yn Fab Duw, yn Dduw, yn Ddyn.

HUGH LEWYS, 1658.

---

## PWYSIGRWYDD Y BEDYDDWYR YN Y BYD.

### *Erthygl VIII.*

Mae yn hysbys i ddarllenwyr fy ysgrifau, ar y canlyniad ddaeth i eglwys John Bunyan drwy iddo fabwysiadu rhydd-gymundeb, sef iddi golli ei bodolaeth fel eglwys Fedyddiedig, a throi yn eglwys daenellyddol. Gofynais, yn y cysylltiad hwnw, Pa golled fuasai i Gristionogaeth pe buasai y Bedyddwyr yn darfod fel enwad, drwy ymgolli yn mhlith enwadau eraill? Addewais y buaswn yn ateb y gofyniad yn rhai o'm hysgrifau dyfodol; a chan mai hon, fe allai, yw yr olaf ar hyn o bryd (er fod genyf lawer o bethau a ddylasent ddyfod yn gyhoeddus, eto ar law), bwriadaf gyflawni yr addewid hono yn yr ysgrif hon. Mae bodolaeth y Bedyddwyr yn bwysicach nag y tybir yn gyffredin, hyd yn nod gan y Bedyddwyr eu hunain, am y rheswm, yn un peth, mai hwy ydyw yr unig enwad sydd yn y byd a fedr wrthsefyll y gallu Pabaidd—"y dyn pechod, mab y golledigaeth"—yr hwn sydd wedi cymeryd arno i dynu oddiwrth, ychwanegu at, a newid, cyfreithiau yr Arglwydd Iesu; yr hwn mae Duw yn bwriadu ei ddileu ag "ysbryd ei enau, ac a dysgleirdeb ei ddyfodiad," sef goleuni a dysgeidiaeth yr efengyl. A phwy a all *handlo* arfau y goleuni yn erbyn y rhan hon o deyrnas y tywyllwch, ond y rhai sydd yn rhydd oddiwrth lygredigaeth ei dysgeidiaeth. Priodol y sylwa Sir Isaac Newton, mai "y Bedyddwyr ydyw yr unig enwad na ddarfu ymdebygoli neu gydymagweddu (*symbolize*) gydag eglwys Rhufain." Mae yn anmhosibl i

un enwad dan haul sydd yn ymarfer ag unrhyw gyfnewidiad a wnawd gan yr eglwys Babaidd, nac unrhyw eglwys arall, yn neddfau Brenin Seion, i ddyweyd gair yn erbyn y Pab a'i offeiriaid. A chan fod taenelliad babanod yn un o'r cyfnewidiadau hyny a wnawd gan draws-honiedig awdurdod ddynol, yr wyf yn dweyd, heb ofni gwrthwynebiad, o ba le bynag y daw, nas gall un enwad crefyddol sydd yn ei arfer, byth wrthsefyll yr eglwys Babaidd, heb son am wneuthur ymosodiad arni, am y dirmyg mae yn euog o hono drwy newid cyfreithiau teyrnas y Messiah. A chan mai y Bedyddwyr ydyw yr unig enwad nad yw yn arfer taenelliad babanod, hwy sydd i fod yn offerynau yn llaw Duw i yru cyfeiliornadau, a'r holl draddodiadau dynol, y rhai a gymysgwyd â chyfreithiau Cristionogaeth, allan o'r byd. Ystyriwyf fod yr uchod yn ymadroddion cryfion, ac yn ddatganiad eofn, gan hyny mae yn ofynol fod genyf ategion cedyrn i'w cefnogi; credaf fod y tystiolaethau addefiadol canlynol, yn dyfod oddiwrth gymaint o brif ddysgedigion yr oesau, perthynol i wahanol enwadau crefyddol, y rhai a gymellir gan eu cydwybodau (oblegid pa beth arall sydd wedi eu cymell) i dystio yn groes i'w harferiadau eu hunain, yn ddigon o sylfaen i ysgrifenu gyda'r fath eofndra. Mae yn amlwg fod yr amser wedi myned heibio yn yr hwn y gall y Butain feddwi ar waed saint y Goruchaf; mae adeg y cleddyfau a'r carcharau i'w rhesu yn mysg y pethau a fu, fel y gobeithiaf ac y credaf. Mae teyrnasoedd y ddaear wedi dyfod i ddeall yn well, nad yw egwyddorion crefydd yr Oen i'w gorfodi ar ddynion trwy rym arfau; maent wedi dyfod i ddeall, meddwl a theimlo grym y geiriau hyny lefarwyd wrth Pedr, "Dod dy gleddyf yn y wain." O hyn allan mae rhyfel gwahanol heb fod yn mhell, sef rhyfel egwyddorion; Crist yn rhyfela gyda chleddyf ei enau, yn erbyn egwyddorion teyrnas y tywyllwch, i ddarostwng yr holl gyfeiliornadau a'r dynol draddodiadau yn llwyr allan o'r byd. A chan mai y Bedyddwyr ydyw yr unig fyddin fedr, gyda chysondeb, *handlo* cleddyf yr Ysbryd yn erbyn y gallu Pabyddawl, hawdd i bob un weled pwysigrwydd yr enwad yn y byd, fel *reserves* sydd gan Dduw erbyn y frwydr.

Mae Dr. Gill yn dyfynu hanesyn o waith Mr. Crosby, am y brenin Charles II. yn galw am un Ives, gweinidog perthynol i'r Bedyddwyr yn Llundain, i ddadlu yn erbyn offeiriad Pabaidd yr hwn a dybiai mai gweinidog perthynol i'r Eglwys Sefydledig oedd Ives. Tra yr oedd yr olaf yn pwyso ar yr offeiriad, gan ddangos nad oedd ei waith yn ymffrostio yn ei hynafiaeth yn ateb dim dyben tra nas gallai ddangos fod ei arferiadau yn cael eu harfer yn yr oes apostolaidd, yr offeiriad a'i hatebodd, "fod ei wrthddadl yn llawer mwy grymus yn erbyn taenelliad babanod nag yn erbyn arferiadau yr Eglwys Gatholic," a'r hyn y cydsyniodd Mr. Ives yn rhwydd. Yr offeiriad, pan glywodd hyny, roes i fyny y ddadl, gan ddweyd, "ei fod wedi cael ei dwyllo, ac na ddadleuai ddim pellach, ei fod ef wedi deall mai i ddadlu yn erbyn gweinidog Eglwys Loegr yr oedd wedi ei alw yno, ond fod yn eglur yn awr mai pregethwr perthynol i'r Ail Fedyddwyr oedd ei wrthwynebydd." Yr ymddygiad hwn o eiddo yr offeiriad a achosodd lawer o ddifyrwch i'r brenin a phawb eraill oedd yn bresenol. Ceir yr hanesyn uchod mewn traethawd o waith Dr. Gill, teitl pa un ydyw "*Infant Baptism a Part and Pillar of Popery.*" Gwel Benedict, tu dal. 145.

Mae y Pabyddion yn dyrysu y Protestaniaid drwy alw arnynt i brofi taenelliad babanod, o ran dull a deiliaid, drwy yr Ysgrythyrau, neu ganiatau traddodiadau anysgrythyrol ac awdurdod yr eglwys, neu ei roddi i fyny, neu, os gallant ganiatau awdurdod traddodiadau anysgrythyrol ac awdurdod yr eglwys mewn un peth, paham nas gallant mewn pethau eraill? Y ffordd hon o ymresymu, fel y sylwa Mr. Stennett, a ddefnyddir gan Cardinal Du Peron yn ei adolygiad ar atebiad i'r Brenin Iago I., a chan Mr. John Ainsworth yn erbyn Mr. Henry Ainsworth, yn y ddadl rhyngddynt a'u gilydd. Yr un modd

hefyd y dadleuir gan Fisher, y Jesuit, yn erbyn Archesgob Laud. Engraifft a geir yn ddiweddar o hyn, meddai, yn y ddadl rhwng Monsieur Bossuet, Esgob Meaux a'r ysgrifenydd dysgedig di-enw, yr hwn y dywedir mai Monsieur De La Rouge, gweinidog diweddar Eglwys Ddiwygiedig yn Roan, Normandy, ydoedd. Yr Esgob, mewn trefn i amddiffyn yr arferiad o gadw y cwpan yn swper yr Arglwydd oddiwrth y bobl, yn ol awdurdod eglwys Rhufain, a dystia "fod bedydd babanod, o ran dull a deiliaid, yn anysgrythyrol, ac yn ymddibynu yn gwbl ar awdurdod traddodiad ac arferiad," i'r hyn y cydsyniodd y Diwygiwr honiedig. "Os felly," meddai yr Esgob, "paham na chydsyniech i'r arferiad o gadw y cwpan oddiwrth y bobl?"—yr hyn a gynyrchodd y cyfaddefiad gonest canlynol oddiwrth ei wrthwynebydd, "Fod bedyddio drwy daenelliad yn ddrwg-arferiad a darddodd oddiwrth Eglwys Rhufain, heb ymchwiliad dyladwy i'r mater, yr hyn, yn gystal a llawer o bethau eraill, yr oedd ef a'i frodyr yn penderfynu eu diwygio," ac a ddiolchodd i'r Esgob am ei ddarbwyllo, gan gyfaddef yn rhwydd am fedydd babanod, "nad oes dim yn ffurfiol na gorchymynol yn yn yr efengyl i gyfiawnhau yr arferiad o hono;" nad yw y rhanau hyny o'r Ysgrythyrau a ddygir yn mlaen drosto, yn profi ond yn unig ei fod yn cael ei oddef, neu yn hytrach na waherddir eu bedyddio."

Dr. Whitby a gyfaddefa "fod cyfnewidiad y bedydd o drochiad i daenelliad, heb ganiatad oddiwrth awdwr y sefydliad, nac un drwydded (*license*) unrhyw gyngor eglwysig, yr hyn mae y Pabyddion yn ei ddadlu i gyfiawnhau eu hunain drwy atal y cwpan i'r holl bobl, mae yn beth i'w ddymuno i'r arferiad eto ddyfod yn gyffredinol." (Gwel ei sylw ar Rhuf. 6 : 4.)

Karl Hillebrand ddywed, "fod yr Ail-fedyddwyr (enw ro'wd ar y Bedyddwyr mewn ffordd o wawd) yn ymroddgar i buro cymeriad yr eglwys, gan wneyd y ddefod drwy ba un y derbynir i mewn iddi, yn weithred fwy rhesymol."

Y sylw canlynol a geir mewn Testament a gyhoeddwyd yn Renish yn y fl. 1562, ar Mat. 3 : 6,—"Bedydd yr Iorddonen." "Mae y gair Bedydd yn golygu golchi, yn neillduol pan mae yn cael ei wneuthur drwy drochiad, neu drwy soddi peth dan y dwfr, yr hyn oedd y ffordd reolaidd gynt o weinyddu yr ordinhad o fedydd; ond yr eglwys, er nas gall gyfnewid dim perthynol i'r ffydd Gristionogol, nid ydyw mor rhwymedig gyda golwg ar ddysgyblaeth a defodau. Nid yn unig mae yr eglwys Gatholic, ond hefyd yr honiedig Eglwys Ddiwygiadol, wedi cyfnewid yr arferiad gwreiddiol hwn yn yr ordinhad o fedydd. Maent yn awr yn caniatau bedydd trwy dywalltiad neu daenelliad ar y person a fedyddir; ïe, mae llawer o'u gweinidogion yn bresenol yn llithro bys a bawd wleb dros ben y plentyn, neu drwy ysgwyd bys neu ddau gwlyb dros y plentyn, yr hyn sydd yn galed ei alw yn fedydd o un math. Nid yw yr Ysgrythyrau yn son ond am fedydd drwy drochiad. Tybiaeth sefydlog yr eglwys ydyw taenellu, a dylem yn hyn, fel yn mhob peth arall, ddilyn yr eglwys." (Gwel Catecism Eglwys Rhufain.)

Mae'r Archesgob Kendrick yn dyweyd, "Mae yr eglwys yn hawlio rhyddid i reoleiddio yn ol ei doethineb ei hun bob peth sydd yn dal perthynas a gweinyddiad yr ordinhadau." Nid yw dyn yn cael ei gynhyrfu gan ddim yn gymaint a syndod wrth feddwl am haerllugrwydd yr eglwys yn hawlio ei hawdurdod i reoleiddio a chyfnewid ordinhadau yr unig ddoeth, anfeidrol Dduw; y fath ddirmyg (*insult*) ar Ddwyfol ddoethineb ydyw meddwl fod yr eglwys yn gallu gwybod digon i roddi gwelliant ar waith Duw! !—ac nid yr eglwys Babyddol yn unig sydd yn gwneyd hyn.

John Calvin, ar Act. 8 : 38, a ddywed, "Hwy a aethant i waered ill dau i'r dwfr." "Yma y gwelwn yr arferiad o weinyddu bedydd yn yr hen amseroedd, oblegid hwy a roddent yr holl gorph yn y dwfr; yn awr yr arferiad yw hyn, nid yw y gweinidog ond yn taenellu y corph neu y pen. * * Mae

yn sicr nad oes dim yn eisiau genym i sylweddoli yr ordinhad; gan hyny caniataodd yr eglwys iddi ei hun ryddid i gyfnewid rywfodd yr ordinhad." Gwelir fod Calvin yn cyfaddef mai rhoddi y corph yn y dwfr oedd yr hen arferiad, fel y byddaf fi yn gwneyd, ac nid fel mae R. H. Evans yn gwneyd. Cyfaddefa John Calvin "fod yr ordinhad wedi ei chyfnewid." Mae yn dweyd hefyd o ba le daeth y rhyddid i gyfnewid, sef mai'r "eglwys ganiataodd ryddid iddi ei hun!!" Atolwg, pa beth gwaeth na hyn wnaeth Eglwys Rhufain erioed? Pa faint mwy o awdurdod sydd yn eisiau i gyfnewid y swper nag sydd yn angenrheidiol i gyfnewid y bedydd? Mae yr eglwys fedr ganiatau rhyddid iddi ei hun i gyfnewid un gorchymyn o eiddo Crist, yn alluog i ganiatau rhyddid iddi ei hun i gyfnewid cant o orchymynion Pen yr Eglwys. Dywed Calvin yn y dyfyniad uchod, "Mae yn sicr nad oes dim yn eisiau genym i sylweddoli yr ordinhad." Mi ddywedaf finau, fy mod i yn sicr fod parch i ddoethineb ac awdurdod Mab Duw yn eisiau gan unrhyw ddyn neu gorph o ddynion a ganiata iddynt eu hunain ryddid i gyfnewid un o'i orchymynion. Heblaw hyny mae cymwysder yn eisiau mewn taenelliad i osod allan yr hyn mae bedydd yn ei arwyddocau, sef dyoddefiadau, claddedigaeth ac adgyfodiad Crist, &c.

Dr. George Knapp: "Buasai yn well cadw at yr arferiad yn gyffredinol (trochiad), fel y cyfaddefa Calvin a Luther."

Dr. Starr: "Ni ddylesid cyfnewid yr hen arferiad o drochi."

Esgob Stillingfleet: "Mae ordinhadau ac arferiadau apostolaidd wedi eu cyfnewid," megys trochi yn y bedydd."

Grotius: "Mae yr ordinhad wedi ei chyfnewid o drochiad i daenelliad."

Esgob Smith: "Mae'r *basin* a'r daenell yn hollol Genevaidd yn eu dechreuad; hyny yw, dygwyd hwynt i mewn gan Calvin yn Geneva."

Tyst arall yw Samuel Johnson. Wrth son am yr arferiad Pabyddol o atal y cwpan oddiwrth y bobl yn y swper, dywed: "Yr wyf fi yn barnu fod ganddynt gystal hawl i wneyd y cyfnewidiad hwn yn yr ordinhad hono, ag sydd genym ninau i arfer taenelliad yn lle yr hen ddull o fedydd." Dywedodd Dr. Johnson wir bob gair, sef fod gan yr eglwys Babaidd cystal hawl i newid y swper ag sydd gan Brotestaniaid i arfer taenelliad babanod.

Geiseler, yn Hanes yr Eglwys, ddywed: "Dygwyd taenelliad i mewn er mwyn yr afiach."

Prof. Stuart: "Tywalltiad a thaenelliad a ddygwyd i mewn yn raddol; yr oedd bedydd yn wreiddiol yn cael ei gyflawni trwy drochiad yn enw y Drindod; mewn achos o weinyddiad yr ordinhad i'r claf, sefydlwyd taenelliad yn lle trochiad." Arwydd dda fod iechyd y ddynoliaeth yn gwella, ydyw, fod taenellwyr yn trochi canoedd y blynyddoedd hyn.

Syr John Flayer gyfaddefa: "Eglwys Rhufain a dynodd dalfyriad o'r ddwy ordinhad; yn y swper ni arferant ond y *wafer* yn unig, ac yn lle trochi sefydlasant daenellu. Yn amser y brenin Iago (meddai) aeth y bobl i deimlo yn rwgnachlyd yn erbyn yr holl hen ddefodau, a thrwy gariad at newydd-deb, a thynerwch rhieni, a gweddeidd-dra ymddangosiadol (*pretence*), hwy a roddasant heibio drochiad."

Yn awr, ddarllenydd hoff, ti weli nas gallaf ganiatau i ddim ychwaneg o'r dyrfa lefaru am yr hyfdra gymerodd marwolion y ddaear i gyfnewid bedydd ein Harglwydd. Mae y dynion a enwais yn brif ddynion perthynol i braidd bob enwad o daenellwyr yn y byd—yn Babyddion, Lutheriaid, Esgobaethwyr, Presbyteriaid, &c. Ti a weli, oddiwrth gyfaddefiadau y dynion hyn, nas gall un enwad yn y byd, sydd yn arfer taenellu babanod, sefyll bum' mynyd yn erbyn y Pab o Rufain a'i offeiriaid, i ddweyd dim yn erbyn yr holl gyfnewidiadau, a'r dirmyg mae wedi ei wneyd ar orchymynion ac ordinhadau Gwaredwr pechadur. Gweli hefyd mai fy amcan yn yr ysgrif hon ydyw dangos pwysigrwydd y Bedyddwyr yn y byd, gan mai hwy yw yr unig enwad a all wrthsefyll a gorchfygu, trwy Dduw, y

gallu Pabaidd, yr hwn nad yw yn ofni ymosodiad neb arno ond y Bedyddwyr. Llawer o ymdrech a wnawd i ddyfetha y Bedyddwyr, ond "Pyrth uffern nis gorchfygant hwynt."

W. JONES.

---

## DAMEG

### YMLADDWYR Y LLWYNI (BUSH-FIGHTERS) YN SEION.

GAN Y PARCH. CHRISTMAS EVANS.

Darfu i Bunyan ddarlunio y rhyfel ysbrydol yn gywir dros ben yn nghymeriad cyntaf ac ail tref Mansoul gan y Tywysog Emanuel—y modd y dygwyd hi o feddiant Diabolus, a'r cadbeniaid a anfonwyd gan Emanuel o lys Shaddai ei Dad, a'r modd yr ymosodasant ar y dref, a'r cadernid oedd yn eu herbyn gan Drwgbwyll ac eraill, yn ol cyfarwyddyd Diabolus, yr hwn oedd yn y castell yn Mansoul yn trigo, nes y gorfu i Emanuel ddyfod ei hun i'w fwrw ef allan, a'r pardwn a gafodd y dref, a'r ysgrif-fraint newydd, a'r gwrthgiliad a gymerodd le, a'r rhai oedd a llaw benaf ynddo, a'r anffurfiad a wnaed yn y dref, a'r modd y darostyngwyd hi yr ail waith, a'r brawdlysoedd a gadwyd, a'r dienyddio, y carcharu, a'r dianc a gymerodd le. Bu yno le brwd i'r Diaboliaid pan ddaeth Emanuel y tro cyntaf a'r ail i fyw yn weledig gyda thrigolion y dref, ond yn y gwrthryfel a'r cythrwfl, trwy hyder Mr. Caledwch, Mr. Ysgafn a gwamal, a Mr. Diflas ar wleddoedd Emanuel, Mr. Ceisio ei hunan, a Mr. Gwrthwynebu pob daioni os na ddechreuai gydag ef; ac anfynych, medd Bunyan, y dechreuai dim da yn ei benglog, "oddieithr yr adeg pan y buasai oriawr aur yn dyfod i'w logell." Yr oeddent yn sylwi arno ef mai pan y buasai y gynghanedd a'r dawnsio mwyaf y byddai efe, fel y mab hynaf, yn glaf o eisiau rhyw barch iddo ei hun, gan honi iddo ei hun fywyd glân—"Ni throseddais i erioed,"—er na bu dim harddwch ynddo ef erioed yn mhethau trymaf y gyfraith, sef ffydd, cariad a thrugaredd; ond ei ragoriaeth ef oedd bod yn fedd gwyn, a rhyw ddrewdod a malldod, esgyrn meirw oddi mewn. Pan na byddai eraill yn y ty yn cofio bron ei fod yno, gan lawenydd o fod y marw wedi dyfod yn fyw, a'r colledig wedi ei gael, byddai ef a'i ddau lygaid yn nghau, fel pe buasai yn dyfeisio rhyw ffordd, medd Bunyan, i rwystro y gwleddoedd hyn, ac i ddystewi telynau pawb. Yr achlysur hyn a wnaeth newidiad. Yr oedd hen Faer y Dref, Mr. Halogedig, wedi ei fwrw o'i swydd pan y daeth Emanuel; cyhuddwyd ef o fod yn euog o bechodau ffiaidd yn erbyn cyfreithiau Mansoul, a dewiswyd Maer newydd o roddiad Emanuel, Mr. Ofn Duwiol Efengylaidd, yr hwn oedd a gair da iddo, ac yn hyddysg iawn yn nghyfreithiau bucheddol tref Mansoul, ac yn hynod o gyfarwydd a'r dirgelion oedd yn gynwysedig yn y *charter* newydd a roddes Emanuel i'r dref. Byddai yn esbonio hon weithiau nes byddai dagrau o lawenydd yn ymddangos yn gyffredin, nes y byddai pawb yn anghofio eu hunain, fel plant bychain, gan felusder y llaeth o'r fron, heb na digter na dadl, yr hyn oedd yn peri i Mr. Balch-feddwl, *alias* Mr. Ceisio yr eiddo ei hun, *alias* Mr. Gwrthwynebu pob peth yn nhref Mansoul, genfigenu, gan ei fod wedi bod ryw fodd, yn ei olwg ei hun, a llawer mwy o awdurdod ganddo, ac yn fab henaf. Yr oedd ganddo fab wedi ei genedlu ar ei ddelw ei hun, a'i haner ef yn Ddiabolonian; ei enw oedd Mr. Dibrofiad, *alias* Mr. Gwyllt, *alias* Mr. Diweddi, *alias* Mr. Diserch i rai da, *alias* Mr. Diofn Duw a dibarch i ddyn, *alias* Mr. Bob ochr; y pethau y byddai wedi bod yn eu herbyn a elai eto drostynt; o herwydd hyny galwodd rhai ef Mr. Ceiliog y gwynt. Yr oedd ef y mwyaf selog dros ddiswyddo yr hen Faer, ond aeth wedi hyny can frwded o'i du ag y bu yn ei erbyn. Darfu i'r hen Mr. Gwrthwynebwr ymgyngori â'i fab o'r amrywiol enwau a nodwyd, oblegid yr oedd eu gwahanol ymddygiadau yn galw am y gwahanol enwau hyn, canys yn y dyddiau hyny byddai enwau yn cael eu rhoddi yn ol cyneddfau ymddangosiadol dynion mewn

cyfeillach. Cadwasant gyngor, weithiau yn nhy y tad, ac weithiau yn nhy yr hen Faer, Mr. Anghofio Duw, ac meddai Bunyan, "yn nhai rhai llwythog o bechodau." Cydunwyd i'r gwr ieuanc Mr. Diofn Duw i bigo allan wyr a gwragedd yn Mansoul ag a fernid o'r un duedd, i droi allan i ymladd o'r llwyni ag oeddynt yn amgylchu ffyrdd ac ystrydoedd a gerddi tref Mansoul. Cydunwyd ar fod iddynt geisio bob un bâr o ddillad gwyrddion, a pheidio ymddangos byth dan arfau ymosodol yn rhesi milwyr Mansoul, ond cilio oddiwrthynt pan y byddent ar y gwasanaeth, celu rhyfel y dref, a bod yn rhaid iddynt bob un i geisio dagr y tafod drwg, gwn athrod, powdwr llid, a bwledi celwydd, a llenwi eu cod filwraidd (*cartridge box*), a gosod gwydr ar wegil pob gwn, a throchi pob dagr a'i ferwi mewn gwenwyn malais, fel y byddai y clwyf yn sicr o fod yn farwol; a'r gwaith oeddent i'w wneyd oedd, rhoddi taw glan ar y gynghanedd a'r dawnsio, a'r gwledda, a'r canu, oedd yn myned yn mlaen yn y dref, ag nad oeddent hwy yn gallu ymborthi arno. Eu cynllun oedd myned allan bob yn ddau neu dri, dan lywyddiaeth Mr. Chwimwth, mab Mr. Gwrthwynebu pob peth, i holl fynedfeydd Seion, a gwylio a allent gael cyfle i bigo allan y rhai hyny oedd yn cynhyrfu y cynghanedd a'r dawnsio yn mlaen, wedi eu nodi allan ag ysbien malais, i'w saethu yn eu henwau da â saethau a bwledi athrod, fel os gellid, cauad eu safnau hwy, ac agor eich geneuau chwithau; a bod i chwi lechu tu draw i'r cloddiau yn eich dillad gwyrddion, fel y galloch chwi fod mewn cymundeb yn Mansoul â'r rhai hyny a gynygasoch eu lladd, fel na ddelo dial arnoch chwi.

Cafodd Mr. Defnyddiol, a Mr. Diniwed, a Mr. Selog, a Mr. Gweddi wresog, a Mr. Moli Duw, a Mr. Caru y frawdoliaeth, rhai o honynt eu brathu â'r ddagr wedi ei berwi mewn gwenwyn llid, ac eraill eu clwyfo yn eu penau â bwledi athrod; ond yr oeddynt wedi cael blychaid o falm yn rhai o'r gwleddoedd, yr hwn a iachaodd eu briwiau, a buont yn fwy gofalus i wisgo tarian y ffydd; a threfnodd gwir frodorion Mansoul i osod byddin allan dan olygiaeth y Cadben, Mr. Chwilio pob peth a dala yr hyn sydd dda; efe a'i fyddin a ddaliodd Mr. Chwimwth yn ei ddillad gwyrddion, ac yspienddrych ar ei wn ef, a llonaid ei bocedau o fwledi malais, y rhai a ddangosai ef ei hun. Yn mhen ychydig amser daliwyd yr hen Alexander, sef Mr. Gwrthwynebu pob daioni, a phrofwyd ef yn euog.

Yr oedd yn anhawdd iawn, medd Bunyan, gan yr hen lwynog i gymeryd y cordyn, canys yr oedd wedi dianc o law cyfiawnder lawer gwaith o'r blaen, o herwydd diniweidrwydd y Mansoul-iaid. Ac ar ol hyn aeth gwleddoedd Mansoul yn mlaen yn hoew-wych, a dienyddwyd a gwasgarwyd gwyr y capanau gwyrddion, a'r yspienddrych ar eu gynau, i ladd milwyr goreu byddin Emanuel; ac yr oedd yn amlwg, medd Bunyan (*modern* Bunyan), fod yr hen Mr. Gwrthwyneb am y flaenoriaeth, ond cwympodd ef ar Gilboa, "a bu amryw o'i frodyr bron a newynu i farwolaeth yno." Claddwyd ef gyda y dienwaededig o galon; a daeth yn fwy amlwg mai Diaboliad oedd ef, o hiliogaeth gwiberod y rhai a fuont gynt yn ddynion. Dywedodd yr Ustus Mawr, Mr. Cyfiawnder, na bu a llai o betrusder erioed yn cyhoeddi dedfryd marwolaeth ar neb yn Eden nag yr oedd ar y ddau fradwr hyn a'u byddin, y rhai a fuont yn bradychu y fyddin y tyngasent lw o ffyddlondeb iddi eu hunain, gan ladd talfilwyr penaf, a harddwch mwyaf, byddin Emanuel, yn nhref Mansoul.

Lladdodd Dafydd fradychwr Saul ar Gilboa, ac Oliver Cromwell fradychwr Castell Caerdydd; ac y mae melldith tragywyddoldeb wedi ei chyhoeddi ar ben Judas, bradychwr (y diniwed) Emanuel ei hun pan yn gwisgo cnawd ar y ddaear. Napoleon a ddaliodd wyliedydd yn cysgu ar y *guard;* yn lle ei gospi, efe a wyliodd yn ei le, ac a ddywedodd, "Trueni na chaffai milwr fel tydi gysgu digon, ond cais amser mwy cyfleus y tro nesaf."

*Cyflwynedig gan* Ab Beread.

## CAM-GYNANIAD.

*Mr. Gol.*—Credwyf fod y WAWR yn gyfrwng rhagorol i ni fel Cymry i feithrin adnabyddiaeth â deddfau ac â theithi cynaniadol ein hen iaith oleuber. Gwrthun yw clywed llawer o'n dynion cyhoeddus yn cam-gynanu geiriau cyffredin ac arferedig; diau mai difaterwch ydyw yr achos, ond dylid diwygio yn hyn, pe yn unig ond er mwyn parhau purdeb ein hen iaith gyfoethog. Heblaw hyny, y mae iaith yn un o roddion penaf y Nef i ddyn. Paham, gan hyny, y dibrisiwn hi? Dylid defnyddio yr iaith oreu i osod allan wirioneddau byth-werthfawr yr efengyl—y fendith benaf o eiddo y nef i'r ddaear.

Wele ychydig o'r geiriau a gam-gynenir genym yn fynych: "C*y*fiawnder, pechod*e*, ang*e*, marwol*e*th, meichi*e*." Byddai yr un mor hawdded dyweyd, "Cyfiawnder, pechod*au*, marwol*ae*th, meichi*au*." Byddai yn dda i'n dynion ieuainc pe arferent gynanu blaenddodiaid ac olddodiaid neu derfyniadau geiriau yn briodol. Mae fod dynion sydd wedi cael manteision dysgeidiaeth yn euog o'r diffyg hwn, yn dangos difaterwch mawr, a diffyg chwaeth.

Sylwasom yn ddiweddar ar y geiriau canlynol yn cael eu "dobio" yn arswydus: "Purd*a*b, tragywyddold*a*b, duwiold*a*b, gwyn*a*b." Dywed rhai nad yw o wahaniaeth mawr pa fath iaith a ddefnyddir, ond ei bod yn ddealladwy, os bydd y meddyliau yn briodol, grymus a mawreddog. Yr ydym ni yn barnu yn wahanol. Gwyddom mai iaith yw y wisg, ac mai y meddwl yw y corph; ond nid oes neb yn dewis gwisg garpiog o flaen gwisg gyfan a thrwsiadus. Mae dylanwad mawr gan ymddangosiad allanol yn fynych.—Gwyddom am rai o hen enwogion mwyaf athrylithgar Cymru, eu bod yn dra esgeulus parthed eu hiaith yn aml; ond yr oedd naturioldeb a bywiogrwydd eu meddyliau y fath nes cuddio y diffyg hwn i raddau mawr; ond y mae amlder manteision yr oes hon i gael addysg, yn hawlio cynydd mewn trefnusrwydd cyfansoddiadol, purdeb iaith, a godidawgrwydd meddwl. Dyna ddyben addysg; bydded i athrawon ein hysgolion Sabbothol dalu sylw i'r peth y cyfeiriwn ato; rhodder ei sain briodol i bob gair, yn neillduol y terfyniadau; gwasger yr angenrheidrwydd am hyn ar feddyliau yr ysgolheigion ieuainc. Bydd hyn yn gam at berffeithrwydd mewn darllenyddiaeth.

*Kingston, Pa.* J. R. PRICE.

---

## DYLANWAD Y BEIBL.

GAN D. A. DAVIES, NEW STRAITSVILLE, O.

Y Beibl ydyw safon rhyddid a moesau da. Mae yn wir fod y Pabyddion, yr Universaliaid, ac anffyddwyr y wlad hon yn dyrchafu eu llef yn erbyn y Beibl. Llid a chenfigen at ei egwyddorion yw yr achos, yn nghydag uchelgais personol. Maent yn meddwl y gallant enwogi eu hunain trwy eu gwrthwynebiad i'r Beibl; ond taflwn ein golwg i du-dalenau hanesyddiaeth, a ydyw gwrthwynebwyr y Beibl wedi llwyddo mewn rhyw oes i enwogi eu hunain. Taflwn ein golwg i'r gwledydd hyny lle mae Pabyddiaeth a gwrthwynebwyr y Beibl yn traws-lywodraethu ar feddyliau a chydwybodau dynion; taflwn ein golwg i'r Yspaen, Itali, Mexico, a'r Iwerddon. Mae eu sefyllfa yn druenus, er fod rhai o honynt yn dechreu ymysgwyd yn bresenol. Maent ar ol i genedloedd eraill mewn gwareiddiad; y mae oesoedd o ddallbleidiaeth crefyddol wedi lladd ysbryd y trigolion; nid ydynt yn enwogi eu hunain mewn dim ond mewn anfoesoldeb. Diogwyr, llofruddwyr, meddwon ac yspeilwyr a geir yn llawer lluosocach yn eu plith nag yn y gwledydd lle mae y Beibl a'i egwyddorion yn teyrnasu. Lle bynag mae y Babaeth yn cael dylanwad, y mae yn agos i'r drydedd ran o'r flwyddyn yn cael ei threulio i addoli y meirw; mae y trigolion yn cael eu denu oddiwrth eu gorchwylion tymorol, ac yn ymollwng i afradlonedd. Mae yr offeiriaid yn gormesu ar y tlawd, ac yn yspeilio y cyfoethog.

Mae y Beibl, ffynonell pob rhinwedd a moesoldeb, yn llyfr anadnabyddus gan y bobl, a llenyddiaeth y trigolion yn gynwysedig mewn adrodd rhyw hen chwedlau am orchest-gampau yspeilwyr a lladron pen-ffordd, neu hanes rhyw seintiau yn cyflawni gwyrthiau rhyfeddol yn eu dydd a'u tymor. Mae anwybodaeth a Phabyddiaeth fel yr eiddew a'r derw yn plethu am eu gilydd, a phob aflendid ac anfoesoldeb yn llechu yn nghysgod eu dail. Mae Pabyddiaeth yn difa cynyrch ac yn bwyta brasder y gwledydd sydd o dan ei dylanwad. Edrychwn i Rufain; mae y rhan fwyaf o'r tir yn perthyn i'r eglwys, ac mae nifer y rhai sydd mewn swyddau eglwysig mor anghyfartal i'r boblogaeth, nes mae y wlad yn ei masnach a'i hamaethyddiaeth yn cael ei gwasgu o dan feichiau trymion. Mae symiau mawrion o aur ac arian o dan gloion yn eu heglwysi cadeiriol, yn addurniadau i ddelwau, yn lle bod mewn cylchrediad yn y wlad. Medrodd Pabyddiaeth loffa llawer yn yr Iwerddon pan oedd newyn a marwolaeth yn teyrnasu yno.

Yn awr edrychwn i'r gwledydd hyny lle mae egwyddorion y Beibl yn cael rhyddid i weithio eu ffordd yn y blaen. Dacw y Beibl yn dechreu gweithio ar fynyddau Scotland, dacw yr anialwch yn dechreu blodeuo fel y rhosyn, yn gwneyd ei chorsydd yn ddolydd, a'i thiroedd diffrwyth yn feusydd ffrwythlawn—y trigolion yn ddiwyd, a llawer o honynt yn dringo grisiau dysgeidiaeth a moesau da. Edrychwn i Gymru fynyddig eto. Pa beth sydd wedi gwneyd Cymru mor enwog am ei chrefyddolder a'i moesau? Atebwn, Y Beibl. Beth sydd wedi dwyn Lloegr i'r gogoniant a'r mawredd a berthyn iddi, nes y mae ei dylanwad yn cyrhaedd pob gwlad? Y Beibl yn ei ddylanwad ar y trigolion. Beth ydyw yr achos fod y wlad hon yn cynyddu mor gyflym yn ei holl gylchoedd? Yr unig reswm yw, mai y Beibl, yn ei egwyddorion, yw safon y Llywodraeth.

---

Na werth rinwedd i brynu golud.

# PWLPUD Y WAWR.

## Adenedigaeth yr Eglwys.

GAN DR. CEFNI PARRY.

"Y cewch chwi, y rhai a'm canlynasoch i, yn yr adenedigaeth."—MAT. 19 : 27—30.

[*Parhad.*]

2. *Goruchwyliaeth Ysbrydol yn yr elfenau.* Geni elfenau newyddion yw geni cyflwr a chymeriad ysbrydol yr eglwys o'r newydd. Ni ddifodwyd yr eglwys yn adeg y cyfnewidiad mawr hwn arni; eithr adnewyddwyd hi. Ni pheidiodd eglwys i Dduw a bod yn y byd yn adeg yr adenedigaeth arni; eithr gwnaed hi o'r newydd. Ganwyd hi i gyflwr arall, gwahanol i'r hwn yr ydoedd hi ynddo o'r blaen.' "Yr adenedigaeth."

(1.) *Ganwyd hi o'r cysgodol i'r sylweddol.* Cysgod cnawdol oedd yr hen gyflwr. Sylwedd ysbrydol yw y cyflwr newydd. Nid ellir sylweddoli un cysgod cnawdol mewn cysgod cnawdol arall. Rhaid cael pethau ysbrydol i sylweddoli cysgodau cnawdol. Ffolineb yw son am i un peth cnawdol ddod yn lle peth cnawdol arall. Rhaid edrych am ordinhadau a seremoniau cnawdol i gael eu sylweddoli mewn ymarferion a bendithion ysbrydol. Nid bedydd sydd wedi dod i sylweddoli yr enwaediad cnawdol; eithr yr enwaediad nid o waith llaw yn y cnawd, ond o waith Ysbryd Duw ar y galon. Nid swper yr Arglwydd sydd yn sylweddoli oen y pasg; "ond Crist ein pasg ni a aberthwyd trosom ni." Nid uw unrhyw ymarferiad defodol a chorphorol yn sylweddoli y golchiadau seremoniol dan y gyfraith; eithr bendithion ysbrydol dan yr efengyl. "Golchiad yr adenedigaeth ac adnewyddiad yr Ysbryd Glan." *Nid cysgodau* ydyw ordinhadau yr efengyl, eithr *arwyddluniau* arwyddocaol. Cysgod sydd yn dangos y sylwedd yn dyfod; ond arwyddocad, yn dangos y sylwedd wedi dod, yn nghydag effeithiau ei ddyfodiad. Yn

y sylweddol, ac nid yn y cysgodol, y ceir yr eglwys byth ar ol yr *adenedigaeth* hwn.

(2.) *O'r deddfol i'r egwyddorol.* Rheol ffurfiol oedd ar bob peth dan y gyfraith; egwyddor dan yr efengyl. Ychydig o *maxims* sydd dan yr efengyl; *maxims* i gyd dan y gyfraith. Rhaid dilyn y rheol i'r llythyren yn y *maxims*. "Gwnel ar wneuthur o honot bob peth yn ol y portread a ddangoswyd i ti yn y mynydd," yw cyfraith *maxims*. Os na wneid pob peth yn ol y rheol, nid yw yn gymeradwy gyda Duw, pan y bo *maxims*. Nid oes *maxims* dan yr efengyl, ond bedydd a swper yr Arglwydd. Mae y rhai hyn yn orchymynion pendant, a rhaid eu gwneyd yn ol llythyren y gorchymyn, neu nid yw y peth yn cael ei wneyd o gwbl. Nid bedydd yw taenelliad babanod, ond rhywbeth arall. *Maxim* yw bedydd, a rhaid ei wneyd yn ol llythyren y gorchymyn, neu ni wneir ef o gwbl. Eto nid *maxims* ydyw corph arferion crefyddol yr eglwys efengylaidd, eithr egwyddorion. Mewn egwyddor gellir gwneyd y peth a orchymynir, a dewis y ffordd oreu a mwyaf effeithiol i'w wneyd, heb ymgadw at unrhyw *ffordd neillduol* i'w wneuthur. Nid oes teml neillduol dan yr efengyl i addoli Duw ynddi, eithr mewn unrhyw fan cyfleus, ond cael yr ysbryd a'r gwirionedd at y gwaith. Nid oes degwm i gynal crefydd yn cael ei orchymyn dan yr efengyl, eithr rhoddion gwirfoddol a geisir. Nid oes ffurfiau neillduol ar y corph yn cael eu gorchymyn dan yr efengyl mewn addoliad dwyfol, eithr agwedd briodol ar y galon. Mae yr eglwys wedi ei dyrchafu o dir y *deddfol* i dir yr *egwyddorol;* a'r egwyddor hon yw cariad. Ac y mae cariad yn rhagori ar y rheolau caethion, oblegid lle mae cariad, y mae yr Ysbryd hefyd.

(3.) *O'r bydol i'r nefol.* Pethau bydol oedd dan y gyfraith, "cysegr bydol," "gorchymyn cnawdol," "mynydd teimladwy." Nid oedd dim yn cyrhaedd yn mhellach na'r cnawd. "Hyd bureiddiad y cnawd," oedd eithaf y pethau cnawdol hyny. Nid oeddynt "yn cyrhaedd hyd wahaniad yr enaid a'r ysbryd, y cymalau a'r mer, ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon." Yn yr adenedigaeth codwyd crefydd o'r cnawdol i'r ysbrydol; o'r dynol i'r dwyfol, ac o'r bydol i'r nefol. Y cysegr yw y nef ei hun yn hon. Offeiriad wedi myned i'r nefoedd, sydd yn mherson Crist. Bendithion ysbrydol yn y nefolion leoedd, sydd yn hon. Gobaith yn nghadw yn y nefoedd yw gobaith yr eglwys yn y cyflwr newydd hwn. Mae meddwl, serch, ac ymarweddiad yr eglwys efengylaidd, yn y nefoedd; ar y pethau sydd uchod; ac nid gyda y pethau sydd ar y ddaear; oblegid yn y nefoedd y mae Crist ei bywyd hi.

3. *Tragywyddol yn y parhad o ran ei gwrthddrych.* Nid oes diwedd ar yr eglwys adenedig i fod. Nid oes newid yn perthyn iddi. Ni ddaw llesgedd byth arni—"*Teyrnas ddisigl,*" "*Nerth bywyd annherfynol,*" "*Dinas barhaus,*" "*Etifeddiaeth anllygredig, ddihalogedig, a diddiflanedig,*" "*Bywyd tragywyddol.*" Dyna ansawdd a chymeriad eglwys yr adenedigaeth. Yn adgyfodiad Crist, fel "y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw," cyfodwyd crefydd i fywyd anfarwol ac anllygredig. "Fel yr aroso y pethau nid ysgydwir." Pethau yn aros byth, heb ysgwyd, heb siglo, heb ysgogi, yw pethau yr eglwys adenedig. Ysgydwyd y ddaear a'r nef yn adenedigaeth yr eglwys, nes ysgwyd pob peth symudadwy ymaith, fel nad oes yn awr ond pethau disigl yn perthyn i eglwys yr adenedigaeth. Mae sêl y Duw byw ar ei holl ordinhadau a'i harferion, yn gystal a'i bendithion a'i rhagorfreintiau. "Ac y mae cadarn sail Duw yn sefyll."

II. Cymeriad y cymwysder. "A'm canlynasoch i."

1. *Yn nwyfolrwydd ei ysbryd.* I wneyd gwaith mor fawr ag adeni yr eglwys, o'r cnawdol i'r ysbrydol, rhaid iddo fod yn ymgysegredig, yn nwyfolrwydd ei ysbryd i ymgodi uwchlaw y cnawdol at y dwyfol. Ei ewyllys wedi ymdoddi yn ewyllys ei Dad. Ei gymundeb yn ddidor â'i Dad. Ei ysbryd wedi ymgolli yn ysbryd ei Dad. Yn

gwneuthur ewyllys Duw; yn llefaru geiriau Duw, ac yn byw yn Nuw. I allu myned i mewn i'r eglwys yn ei chyflwr newydd hwn, rhaid ei ganlyn ef yn nwyfolrwydd ei ysbryd; os nad yn berffaith, yn y duedd, yr amcan a'r ymdrech. Myned ar ei ol ef.

2. *Yn arucheledd ei hunan-aberthiad.* "*Gadael pob peth.*" Gwnaeth ef hyny. Yn hyn yr aeth yn fawr, yn uchel, ac yn ogoneddus. "Mab y dyn heb le i roddi ei ben i lawr." Yn dyfod yn dlawd o'i fodd. "Yn rhoi ei hun yn bridwerth dros lawer." Yn bod "yn ufudd hyd angau, ie angau y groes." Wrth wneyd hyn, aeth yn fwy, yn gryfach, ac yn uwch na'r byd; fel na allai y byd ei rwystro, ei hudo, na'i orchfygu. Mae yr hyn y daeth Mab Duw iddo, wedi ei wneyd yn fwy na'r hyn a adawodd. Ei hunan-aberthiad yw ei ogoniant mwyaf. Caiff fwy o fawl oddiwrth hyn na dim a berthyn iddo. I fyned i mewn i'r eglwys a sefydlwyd ganddo trwy ei hunan-aberthiad, rhaid ei ddilyn ef—"*gadael pob peth;*" mwyniant bydol, "*tai a thiroedd;*" teimladau cnawdol, *perthynasau;* anrhydedd tymorol—*gadael* y cwbl er mwyn Crist a'r efengyl. Rhaid meddu ar yr egwyddor hon, i ganlyn Crist i mewn i gyflwr newydd crefydd yr eglwys ail-enedig. "Gadael pob peth."

3. *Yn ngrym ei wroldeb moesol.* Gadawodd ef bob peth. "Bydded ynoch y meddwl yma." "Dyoddefodd y groes, gan ddiystyru gwaradwydd." "Am hyny gan ddyoddef o Grist drosom ni yn y cnawd, chwithau hefyd byddwch wedi eich arfogi â'r un meddwl; oblegid yr hwn a ddyoddefodd yn y cnawd a beidiodd a phechod." Dyma un digon gwrol i ddyoddef pob peth, heb wyro yn y duedd leiaf at bechod. Hunan-ymwadiad yw yr *act* o'r gwroldeb mwyaf. "Chwi y rhai a arosasoch gyda mi yn fy mhrofedigaethau." Rhaid canlyn Crist yn ngrym gwroldeb moesol, i adael pobpeth er ei fwyn, cyn y gellir myned i fewn i gyflwr newydd eglwys yr adenedigaeth. I wneyd hunan-aberthiad mawr rhaid wrth hunanymwadiad mawr; ac i hunan-ymwadiad mawr gofynir gwroldeb moesol mawr. Gadawodd Iesu Grist grefydd ei genedl, crefydd ei gymydogion, a chrefydd ei berthynasau, i godi crefydd newydd yn y byd; pryd y mae llawer, yn galw ei hunain yn ganlynwyr iddo, yn proffesu y cariad mwyaf tuag ato, ac yn ewyllysio cael eu cydnabod yn eiddo iddo, heb feddu cymaint o'i ysbryd, a'i benderfyniad meddwl, a'i wroldeb moesol, ag y gallent adael hen grefyddau pwdr eu sect, i dderbyn crefydd Mab Duw yn y purdeb o honi, a phlygu i awdurdod y "*gwirionedd,* megys y mae yn yr Iesu." Ond nid gormod gan rai adael pob peth er ei fwyn ef.

III. Rhagoriaeth y wobr. "Y cewch chwi."

1. *Anrhydedd moesol.* "Barnu deuddeg llwyth Israel." Braint yr apostolion yn neillduol; eistedd ar ddeuddeg gorsedd, i farnu yr Israel ysbrydol. Iddynt hwy y rhoddwyd y fraint o ddysgu crefydd yr efengyl gyntaf i'r byd; a hwynt-hwy sydd byth i fod yn llywodraethu ffydd ac arferion yr eglwys Gristionogol. Nid oes neb i fod i osod dim arferion crefyddol, dan yr honiad o ddwyfoldeb, ond yr apostolion. Rhaid i Bab, Archesgob, a Chymanfa, blygu i awdurdod y deuddeg hyn. Y maent hwy, yn eu hysgrifeniadau, i fod yn llys terfynol pob dadl, mewn pethau perthynol i ffydd ac arferion yr eglwys byth. Rhaid ymofyn â hwy. Trwyddynt hefyd, mewn ymlyniad diysgog wrth eu dysgeidiaeth, y mae yr eglwys yn *gyffredinol,* yn dyfod i'r fraint o farnu yr Israel ysbrydol, neu ddal i fyny ddylanwad crefydd bur ar y ddaear. Bydd pob Cristion wrth ymlynu yn ffyddlon wrth ddysgeidiaeth yr apostolion, fel Noah gynt, "yn condemnio yr hen fyd;" yn cymeradwyo pob crefydd yn ol y gwirionedd, ac yn collfarnu pob peth mewn crefydd nad yw o'r gwirionedd. Yn yr eglwys bur hon y mae yr awdurdod i rwymo a rhyddhau pethau, yn ol ewyllys y nefoedd ei hun. "Eistedd ar ddeuddeg gorsedd."

2. *Cyfoeth ysbrydol.* "Y can' cymaint." Nid mewn swm, ond mewn mwynhad sylweddol. *Fancy* yw pob-

peth sydd dros ben cyfarfod a'r angen. Cymaint a all pethau y byd roddi ydyw tori yr angen. Dyna y *gwir* fwynhad. Pob peth dros ben hyny blinder ydyw, mewn gwirionedd. Mae y gwir Gristion yn mwynhau y byd hwn gan' waith mwy nag y gall y digrefydd wneyd, oblegid y mae ei feddwl yn foddlawn ar yr *etifeddiaeth ysbrydol* sydd ganddo yn ngeiriau, ewyllys, a chariad Duw. "Can' cymaint."

3. *Bywyd tragywyddol.* Mae bywyd tragywyddol yn *etifeddiaeth* iddo, ac y mae ganddo *etifeddiaeth* o fywyd tragywyddol. Wrth fod yn meddu ar yr elfenau dwyfol sydd yn cymwyso i fyned i mewn i fendithion cyflwr eglwys yr adenedigaeth, y mae yn dyfod i lawn feddiant o'r pethau hyny a barhant i fywyd tragywyddol—cymeriad Crist, Ysbryd Crist, a delw Crist. Amen.

---

# AMRYWIAETHAU.

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

III.

—Nid oedd Cristionogion o unrhyw wlad, heblaw y Pabyddion, yn gallu cyfarfod yn Rhufain i addoli eu Creawdwr, hyd yn nod yn eu tai eu hunain, cyn y flwyddyn 1870, gyda'r eithriad o'r rhai hyny a aent i gapeli neillduol y gwahanol deyrngenadaethau. Ond pan unwyd Itali gan Garibaldi, a myned o'r Italiaid i Rufain, symudwyd y gwaharddiad gormesol ar unwaith. Yn mhen dwy neu dair blynedd wedi hyny adeiladwyd amryw leoedd addoliad Protestanaidd, ac mae llwyddiant a dylanwad y Bedyddwyr, y Waldensiaid, dan arweiniad y nodedig Dad Gavazzi, ac enwadau eraill, wedi peri braw a dychryn i'r Babaeth, nes yr ydys yn gweled ei chyrn yn ymwthio i'r golwg y dyddiau hyn. Ond mae tymor y Babaeth, fel gallu uwchraddol mewn gwleidiadaeth, wedi terfynu.

—Yr wyf wedi bod yn Bishopstowe, ebe Mr. Archibald Forbes, a dyna oedd yr unig le yn Affrica y cefais y Kaffiriaid yn byw mewn gweddeidd-dra. Nid oes amlwreiciaeth yn mhlith pobl dduon yr Esgob Colenso, na meddwdod. Ond y mae rhai rhinweddau yn ffynu yn eu plith, diolch i hyfforddiad yr hen Esgob anwyl; megys, gonestrwydd, glanweithdra, gwybodaeth, geirwirdeb, ïe, llenyddiaeth hefyd. Y mae gan yr Esgob argraffwasg, a'r holl waith perthynol iddi yn cael ei wneyd gan y Kaffiriaid; pob rhan, nes bydd y gyfrol—y llyfr—yn berffaith orphenedig.

—Rhwygiedig eiriau'r gwadwr—a ddi-
Faddeuai'r Iachawdwr; [oed
Eithr ei hedd dros gamwedd gwr,
Ni fwriedodd i'w fradwr.

—Yr eglwys Fedyddiedig luosocaf yw yr hon sydd yn Tinnevalley, yn India. Mae ynddi oddeutu 12,000 o aelodau. Y nesaf ati yw Tabernacl Spurgeon, Llundain. Cynwysa 4,290 o gymunwyr rheolaidd. Yr oedd cynydd yr aelodau y flwyddyn ddiweddaf yn 123. Y mae 1,200 o aelodau yn yr ysgol Sul, a 105 o athrawon; ymunodd a'r eglwys yn nghorph y flwyddyn 42 o'r aelodau. Heblaw hyn y mae Mr. Spurgeon a'i bobl yn cario yn mlaen mewn cysylltiad a'r Tabernacl 19 o ysgolion Sabbothol, yn y rhai y mae 500 o athrawon, a 5,853 o ysgolheigion. Beth yw llafur Beecher a'i eglwys mewn cymhariaeth i'r gwaith rhyfeddol hwn? Y mae hefyd at yr uchod Goleg, dan arweiniaeth Mr. Spurgeon ei hun, ac ynddo 100 o fyfyrwyr; a phob Sabboth y maent yn myned allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau i efengyleiddio. Y mae Spurgeon hefyd yn gyson ag ef ei hun yn ei dduwinyddiaeth, ac nid yn geiliog y gwynt, fel mae Beecher yn dangos ei hun yn barhaus.

—Y mae Leontine Nicolli, y Ffrengwraig enillodd y wobr am rinwedd y llynedd yn yr *Academie*, wedi bod yn *nurse* mewn gwallgofdy am ugain mlynedd. Aeth yno pan yn lodes ieuanc i ofalu am ei mam, yr hon oedd wedi colli ei synwyr, a glynodd Leontine

wrth y gwaith byth wedi hyny. Dywedodd Jules Simon, yn ei anerchiad, fod dim llai na phum' cant o wyr a gwragedd wedi adfeddianu eu synwyrau a'u rhyddid trwy ymroddiad a gwasanaeth y fyw-ferthyres hon.

—Er cymhell ei fyfyrwyr i fod yn ddeniadol yn eu dull o bregethu, adroddodd y Parch. —— yr hanesyn canlynol: "Pan oeddwn i yn Arran ychydig amser yn ol," ebai efe, "clywais am weinidog yr hwn fu yn pregethu mewn eglwys neillduol, ac ar ddiwedd y gwasanaeth taer erfyniwyd arno gan y prif swyddog i'w hanrhegu yn fuan â chwaneg o'r cyfryw bregethau, gan fod y casgliad ar ol ei bregeth ef wedi bod yn anarferol fawr. '*Dear me*,' medd-ai y gweinidog gyda balchder goddefadwy, 'faint ydyw eich casgliad arferol?' 'Y Sul diweddaf,' ebe y swyddog, yr oedd yn ddwy geiniog a dimai.' 'Faint ynte ydyw o heddyw?' ebai y gweinidog, gan ddysgwyl clywed swm lled fawr yn cael ei enwi. 'Wyth geiniog a dimai,' oedd yr ateb. 'Gwae fi,' griddfanai y gweinidog ynddo ei hun, 'oblegid myfi a roddais chwe'-cheiniog fy hunan.'

—Yr oedd ci bychan, yr hwn yr oedd ei feistres yn bur hoff o hono, yn gorwedd ar y carpet yn y parlwr, pan ddaeth gwr y ty i mewn, gan edrych ar y ci yn bur sarug. "Yr wyf newydd dalu treth y ci yna, ac nid yw yn werth y dreth," ebe y gwr. Ar amrant cododd y ci bychan i fyny, gan edrych yn hynod o swtta, a'i gynffon rhwng ei goesau, ac allan ag ef. Ni welwyd byth mo hono wedi hyny, er dyfal chwilio am dano. Beth ddaeth o hono? Deallodd yn ddiau eiriau ei feistr, ac aethant fel saethau i'w galon. *Poor fellow!*

—Bu cryn ddyddordeb yn mhlith gwyddonwyr flynyddau yn ol, pan gyhoeddwyd fel ffaith, bod tylwyth o'r teulu dynol wedi eu cael a chanddynt gynffonau. Yr oedd y Darwiniaid wedi cael gafael yn y "*missing link*" o'r diwedd! Mae y naturiaethwr Goldie yn ein hysbysu iddo ef a'i gyfeillion ddyfod i gyffyrddiad â llwyth brodorol yn eithafoedd New Guinea, yn gwisgo cynffonau celfyddydol, o wneuthuriad mor gywrain ag i dwyllo sylwedydd arwynebol. Y maent yn hollol noeth oddigerth yr addurn (?) cynffonol, yr hwn sydd laswellt plygiedig wedi ei sicrhau o amgylch eu llwynau gyda llinyn hynod o fain. Felly gellir dweyd am y gobaith a roddwyd i Ddarwiniaeth yn y dyb o fod bodau dynol cynffonog—"It is gone to *grass!*"

---

## GOFYNIAD AC ATEB.

*Oddiwrth y Parch. L. L. Rees at ei Gyfaill Mr. J. W. Edwards, Carbondale, Pa.*

*Gofyniad.*—Pa un ai y 6ed adnod o'r 14eg ben. o Ioan, neu y 30ain adn. o'r benod gyntaf o 1 Cor., sydd yn cynwys tair swydd gyfryngol Crist gyflawnaf, sef Prophwyd, Brenin ac Offeiriad?

*Ateb.*—Gyda golwg ar eich gofyniad, drwg genyf na fuaswn wedi ysgrifenu yn gynt. Wel, dyma fy meddwl ar fyr eiriau:

Mae adnod Ioan ac eiddo Paul yn brofion o'r un dosbarth. Trwy gynwysiad (*implication*), ac nid yn bendant, y profant yr un mater. Os dim, mae yr adnod yn Ioan, er nad yn gryfach, can belled ag y mae yn myned yn fwy cyflawn, yn rhoddi lle i'r tair swyddogaeth.

Mae y gair "ffordd," yn Ioan, yn gynwysfawr iawn, ac yn golygu fod Crist yn bob peth ag y mae angen ar ddyn am dano.

Os oes eisiau "brenin" yn yr Efengyl, y mae yr hwn sydd yn "ffordd" yn frenin; ac os oes eisiau archoffeiriad yn yr iachawdwriaeth, y mae yr hwn sydd yn "ffordd," yn archoffeiriad.

Hefyd, fel y "gwirionedd," y mae yn sylwedd y gynelw (*ideal*) Iuddewig. *Idea* o freniniaeth oedd yn Dafydd. Crist yw y sylwedd—y "gwirionedd." *Idea* yr arch-offeiriadaeth oedd yn Aaron. Crist yw y "gwirionedd"—y sylwedd. *Idea* o fywyd yn unig oedd

yn y waredigaeth ganlynol i dderbyniad y gwaed ar y drugareddfa—yn Nghrist mae y gwir fywyd. Fel hyn, heb un drafferth, y gellid profi holl swyddau cyfryngol Crist oddiwrth Ioan 14 : 6.

Gwelir dwy o swyddau Crist yn ddigon amlwg oddiwrth 1 Cor. 1 : 30, sef y "prophwydo," a'r offeiriadu," yn "ddoethineb," "cyfiawnder," ond nid yw y "breniniaethu" mor amlwg, os na olyga y "sancteiddrwydd" y meddwl hwn. Yn fy marn i y mae yn golygu hyn. Yr wyf yn credu mai ffordd Duw i sancteiddio yw drwy wneyd ei Fab yn "ddoethineb," fel prophwyd gwybodus i ddysgu a hyfforddi, yn gydweddol â galluoedd a theithi y ddynoliaeth yn Eden, a thrwy roddi i'w Fab ddigon o awdurdod i gysylltu â'i osodiadau ganlyniadau pwysig, yr hyn a'i dengys yn frenin yn ngwir ystyr y gair. I mi, gan hyny, mae y tair swyddogaeth yn amlwg yn yr adnod dan sylw. Ond yn ol yr olygddysg Galfinaidd, mae "sancteiddrwydd" yn golygu rhywbeth yn wahanol. Yn ol eu tyb hwy golyga sancteiddrwydd ryw gymwysiad o ras Duw ar gyflwr dyn, nad wyf fi yn ei ddeall; ac nid wyf yn cofio i mi ddarllen gwaith neb sydd yn ei ddeall, heb eithrio Davies, Tredegar, Fuller y Cymru.

Anhyall yw iddynt, gyda y meddylddrych Calfinaidd am sancteiddrwydd, weled drwy y gair dan sylw "freniniaeth" Crist. Yn ol y meddylddrych sydd genyf fi am sancteiddrwydd, a chredwyf y meddyliwch chwithau yr un modd, mae breniniaeth yn ymddadlenu yn llachar yn yr oruchwyliaeth sancteiddiol.

Nis gwn yn awr beth mwy i'w ddyweyd ar y mater hwn, mewn can lleied o le, ond os bydd rhywbeth yn dywyll, gofynwch eto, a'r hyn a all hwn efe a'i gwna, yn yr ystyr hyn, fel yn mhob ystyr arall.

Yr,eiddoch gyda pharodrwydd,

L. L. Rees.

---

—Cyfaill ffol yn fynych a wna fwy o niwed na gelyn.

## CYFREITHIAU MOSES.

Mae y *Talmud* Iuddewig yn cyfrif y cyfreithiau a roddwyd i'r Iuddewon trwy Moses, yn 613 mewn rhif; hyny yw, y rhai pendant (*positive*) yn 248, a'r rhai g meddol yn 365. "Y mae cadw cynifer o ddeddfau," meddai yr Iuddewon, "yn ddigon o waith i angel." Oblegid hyn dadleuant gryn lawer, pa un yw y gorchymyn mawr, gan dybied y buasai cadw hwnw yn ddigon o reswm dros adael y lleill yn ddisylw.

## YR EISTEDDFOD.

Uwch molawd iach y miloedd,
Beirdd dyddan, y gân ar g'oedd;
I doi yr Eisteddfod wyl,
Daw doniau diwyd, anwyl;
Hil Gomer oll, digoll dygant
Eu nerth i'w edmygu wnant;
Gwyl hen lle mae goleuni,
I fraint pob defod o fri;
A gwyr o ddysg, wladgar ddawn,
Rhai o yni yn uniawn,
Yn cwrdd i wau cerdd awen,
Liw dydd i'r sefydliad hen.
Pa ryfedd fod campwyr hyfol,
Riniau dysg ar fryn a dôl?
A Gwalia deg, fel goleu dydd,
O ogoniant ar gynydd!
A'i chôrau gwych ar y gân,
Uwch eraill, fel clych arian;
Beirdd doeth o bob urdd a dawn,
Gwyr enwog, gwladgar uniawn;
Athronwyr, rhai feithrinant,
Yn goeth y gwyddonau gant;
Rhai gadwant Gymraeg odiaeth,
A'i dawn hi rhag myn'd yn waeth;
Mae clod 'r Eisteddfod i'm clyw,
O'r eiddynt 'n eglur heddyw.

*Kingston, Pa.* J. R. Price.

## LLYTHYR CHWAER.

Mae Mr. Moody, yn hanes ei deithiau a'i lafur cariad, yn cofnodi yr hyn a ganlyn: "Yr wyf yn cofio pan oeddwn yn Nashville, tua diwedd rhyfel America, ein bod yn cadw cyfarfod

gweddi i'r milwyr, ac yn niwedd y cyfarfod daeth swyddog ieuanc yn mlaen, a dangosodd i mi lythyr a gawsai ef oddiwrth ei chwaer, yn yr hwn y dangosai bryder mawr am ei enaid, gan fynegu iddo y byddai hi bob nos, pan fyddai yr haul yn machludo, yn myned ar ei gliniau i weddio drosto ef. 'Mr. Moody,' meddai efe, 'yr ydwyf wedi gwynebu angeu mewn llawer o ffyrdd, ac wedi myned o flaen genau y cyflegr, ond nis gallaf sefyll y meddwl o weddi fy chwaer; y mae wedi dryllio fy nghalon.' Plygasom ein gliniau yn nghyd yn y fan, ac efe a ymollyngodd i weddio, gan ddywedyd, 'O Dduw, gwrando weddi fy chwaer ar fy rhan y nos hon, ac achub fy enaid.' Cafodd afael ar Iesu y noswaith hono (meddai Mr. Moody), ac yr wyf yn credu mai gweddi ei chwaer, chwe' chan' milldir oddiyno a fu y moddion i gael y fraint."

## CYFARWYDDIADAU I FEIRDD.

Ni bu neb yn barotach yn ei oes i ddysgu beirdd ieuainc na Chaledfryn. Gofynodd bardd ieuanc iddo un tro am gyfarwyddiadau i gyfansoddi barddoniaeth; a chyda sirioldeb a pharodrwydd mawr y rhoddodd iddo y cyfarwyddiadau hyn:

1. Edrychwch ar eich testyn o bob cyfeiriad.

2. Mynwch wybod beth yw prif nod eich testyn, a chofiwch ofalu am fod pob llinell yn eich cyfansoddiad yn cyd-weithio i osod y nod hwnw allan yn deg.

3. Byddwch ofalus i dynu eich cynllun yn naturiol a chymwys i'ch testyn.

4. Cofiwch am i'ch iaith fod yn seml ac eglur, ond eto yn urddasol.

5. Bydded i'ch holl fesurau fod yn gywir, llithrig, a chyfaddas i'r testyn. Na roddwch fesur trwm i ddesgrifio *llygad y dydd*, ac un ysgafn i ddesgrifio y *dderwen;* ond rhoddwch yr ysgafn i'r blodeuyn, a'r trwm i'r dderwen.

6. Tywalltwch eich holl enaid i'ch gwaith, fel y byddo eich holl gyfansoddiad yn fyw trwyddo.

7. Ysgrifenwch eich gwaith drosodd a throsodd drachefn, a phurwch ef yn burach burach bob tro yr ysgrifenwch ef. Profwch yr iaith, y mesur, y ffigyrau, y syniadau, y pêrseiniaeth, a'r cydweithiad allan; ïe, gloëwch eich holl gyfansoddiadau i'r fath raddau ag na chaffo eich beirniad le i estyn bys at frychau.—*Hwfa Mon.*

[Diau y bydd yn dda gan bob un sydd a defnyddiau bardd ynddo, dderbyn y cyfarwyddiadau uchod. Esgeuluso talu sylw i'r cyfryw reolau yw y prif achos fod cymaint o sothach diaddurn, difywyd, a diwerth, dan yr enw barddoniaeth, yn cael ei anfon i'n cyhoeddiadau. Dylai pob un sydd yn ei weled yn ormod o drafferth i gydymffurfio â'r rheolau uchod, droi ei sylw at ryw beth arall na phrydyddu. Tra nad oes nemawr ddim a ddyry fwy o fwyniant i'r meddwl coethedig na *gwir* farddoniaeth, eto nid oes dim y tröir oddiwrtho gyda mwy o ddiflasdod na *chrach*-farddoniaeth. Mae y dywediad "fod yr hyn sydd yn werth ei wneyd o gwbl, yn werth ei wneyd yn dda," yn gywir mewn modd tra arbenig pan y cyfeirir ef at gyfansoddi barddoniaeth.]

## JOSEPHUS.

Yn nechreuad y rhyfel Iuddewig yn erbyn y Rhufeiniaid, yr oedd y gwr dysgedig ac enwog hwn yn gadben ar nifer o filwyr yn Galilea. Pan y darfu Vespasian, cadfridog y fyddin yn amser Nero orchfygu y wlad hono, yr oedd Josephus yn Josapata. Ymguddiodd ef a deugain eraill o Iuddewon mewn ogof, lle y penderfynasant i ladd eu gilydd yn hytrach na rhoddi eu hunain i fyny i ddwylaw y Rhufeiniaid. Wedi bwrw coelbren pwy oedd i farw gyntaf, gadawyd Josephus hyd y ddau olaf oedd wedi eu gadael yn fwy. Yn hytrach na halogi eu dwylaw yn ngwaed eu gilydd, cytunasant i roddi eu hunain i'r Rhufeiniaid. Ar hyn cyflwynodd Josephus ei hunan i Nichanor, yr hwn a'i harweiniodd ef at Vespasian.

Yn y modd rhyfeddol yma fe arbedwyd bywyd y gwr enwog hwn, fel y gallai ysgrifenu hanesyddiaeth tra adeiladol, yr hwn sydd yn taflu llawer o oleuni ar y Gyfrol Sanctaidd. Y mae ei hanes am ryfeloedd yr Iuddewon a dinystr Jerusalem, yn esboniad o'r fath oreu ar ragfynegiadau ein Hiachawdwr ar y materion hyn.

## TYSTIOLAETH BRAHMIN.

Ar agoriad ystafell ddarllen yn un o ddinasoedd India, gofynodd Brahmin am genad i siarad. Wedi cael caniatad, efe a aeth yn mlaen i ganmol y cenadon, gan ddatgan y bendithion a'r daioni a ddygasant hwy i India. Efe a ofynodd, "Beth sydd yn peri iddynt wneyd hyn oll i ni? *Y Beibl yw yr achos.* Yr wyf wedi edrych cryn lawer iddo, y naill amser a'r llall, yn y gwahanol ieithoedd yr wyf yn dygwydd gallu eu deall. Y mae bron yr un peth yn yr holl ieithoedd. Y Beibl!—nid oes dim i'w gydmaru ag ef yn ein holl lyfrau sanctaidd, am ddaioni a phurdeb, a sancteiddrwydd, a chariad, ac am gymhellion i weithrediad rhinweddol. Yn mha le y cafodd y Saeson eu holl ddealltwriaeth, eu hyni, a'u hardderchawgrwydd mewn llywodraethu? Eu Beibl sydd wedi rhoddi y pethau hyn iddynt; ac yn awr y maent yn eu dwyn i ni, ac yn dywedyd wrthym, "Dyma y peth a'n cyfododd ni, cymerwch ef, a chyfodwch eich hunain." Y fath dystiolaeth ardderchog gan un o'r llwyth penaf a dysgedicaf o offeiriaid paganaidd! Y mae rhai o'r gwyr hyn yn troi allan yn bregethwyr galluog a ffyddlawn o efengyl Crist.

## CYNYDD MASNACHOL.

Adeiladwyd yn y Talaethau Unedig y flwyddyn ddiweddaf 45,000 o gerbydau rheilffyrdd o wahanol fathau; ond yn ol y nifer a adeiladwyd yn ystod y chwe' mis diweddaf, bydd y nifer a adeiladir eleni rhwng 50,000 a 60,000. Awgryma hyn gynydd cyffredinol masnach.

# Barddoniaeth.

## WILLIE ESAU,

Yr hwn a fu farw Gorph. 27, 1880, yn 16 ml. 7 mis ac 8 niwrnod oed. Mab ydoedd i Mr. William Esau a'i Briod, o Kingston, Pa., (gynt o Danville, Pa.)

Mae angau yn y byd,
  Fel gelyn mewn awdurdod;
Y baban yn ei gryd,
  A'r llanc, a deimla'i ddyrnod;
Ac wylo mwy am Willie mâd,
Yn drist eu gwedd, mae mam a thad.

Yn gynar iawn i'w fedd
  Aeth ef, y cyfaill siriol;
A'i enaid aeth mewn hedd
  I blith cyfeillion nefol;
Mae heddyw'n iach a llawn o hoen,
Yn ddeiliad gwlad lle nad oes poen.

Mor unig yw y ty,
  Fel pabell heb drigianydd,
A'i hoff gyfoedion hy'
  Mewn siomiant, heb lawenydd;
Mae'n chwithig iawn heb Willie bach,
O ddifyr ddawn a chalon iach.

Mae'n bywyd yn y byd
  Fel cysgod yn diflanu,
A blinder ddaw o hyd,
  Fel baich, nes bron a'n llethu;
O! codwn ein golygon fry,
A'n blinder oll yn fuan ffy.

*Kingston, Pa.* J. R. PRICE.

"Byr yw gofid llid y llawr,
Megys awr, ymgysurwn."—*Cynddelw.*

## HIRAETHGAN.

Meddyliaf fi am Gymru lon,
  Ei dynion a'i mynyddoedd,
Ac ni anghofiaf nos na dydd
  Ei threfydd na'i dyffrynoedd;
Meddyliaf hefyd am y fan
  Yn ymyl glan yr afon,
Lle mae hi'n byw, anwylaf ferch,
  A ddygodd serch fy nghalon.

Er na chaf weled mwy fy ngwlad,
  Na mam na thad na chyfaill,
Gan mai fy nhynged i a fydd
  I rodian gwledydd eraill;
Meddyliaf eto am y fan,
  Yn ymyl glan yr afon,
Lle mae hi'n byw, anwylaf ferch,
  A ddygodd serch fy nghalon.

Ni byddaf ddedwydd yn fy myw,
Mae'm bron yn wyw gan hiraeth,
Wrth feddwl beunydd am fy ngwlad,
Hen wlad fy ngenedigaeth;
Ac wrth im' feddwl am y fan,
Yn ymyl glan yr afon,
Lle mae hi'n byw, anwylaf ferch,
A ddygodd serch fy nghalon.

Ond os daw byth newidiad rhod,
A diwrnod im' gael rhydd-did,
Os pell y ffordd a drwg yr hin,
Mi rodiaf fin Llyn Tegid;
A mi a chwiliaf am y fan
Yn ymyl glan yr afon,
Lle mae hi'n byw, anwylaf ferch,
A ddygodd serch fy nghalon.

TEGID.

## DYMUNIAD Y CRISTION.

Byd trafferthus, pechadurus,
Ydyw'r byd lle'r wyf yn byw;
'Rwy'n hiraethu am gael gweled
Nef y nefoedd gyda'm Duw.

Mawr yw'r byd wy'n rhodio ynddo,
Gofid blin sydd arnaf fi
Am gael gwel'd fy anwyl Iesu,
'R hwn fu farw ar Galfari.

Byd trafferthus, pechadurus,
Byd o orthrymderau yw;
O, fy enaid, cymer gysur,
Af mewn gronyn at fy Nuw.

*Church Hill, O.* WM. GRIFFITHS.

## LLINELLAU

AR OLYGFA NOSAWL Y FFURFAFEN.

Pan fyddo pyrth yr hwyr yn ymgauedig,
Ac aden ddu y nos yn ymdaenedig
Dros swynion ac anwyldeb y ddaearen,
Cawn fyfyr dra-mawr fry yn y Ffurfafen!
Dychymyg, mewn myfyrion per-lewygol
Wibdeithia'r hyd ei llwybrau annherfynol!
O, olygfeydd mawreddog ac uchelwych
Sydd o'u hysblander yn addurno'r entrych;
Pob planed welir yn dadblygu mawredd,
Mewn ardderchogrwydd ac amrywiaeth rhyf- [edd;
Symudant oll mewn urddas a chysondeb,
Gan rymus allu'r Dwyfol bresenoldeb:
Maent oll am y siriolaf, fry, yn gwenu,
A'u hysgogiadau prydferth yn ein denu.
Mae'r lleuad dlos ar ei harianaidd orsedd,
Yn mhlith y ser fel rhyw athrawes glaerwedd;
O'i hamgylch, fel dysgyblion goleuedig,
Edrychant hwythau'n ufudd a charedig,
Mewn graddau ar ei gilydd yn rhagori,
Heb un wrth arall yno'n eiddigeddu;
Y cymyl du, fel teithwyr gorthrymedig,
Wnant ambell un am dymor yn guddiedig,
Ond pan ddaw gwyntoedd cryfion ar eu gwarau
Y cymyl ansefydlog ânt yn ddarnau;
Tra'r ser drachefn a wenant yn llawn yni,
Mewn dysglaer sefydlogrwydd er ein lloni.
Fel hyn cymylir llawer talent ddysglaer
Gan amgylchiadau duon ar y ddaear;
Ac fel cymylau hwythau awasgerir,
Tra'r gwir dalentau loewach a ddatguddir.
Ffurfafen wych, rhy fawr yw yn 'r uchelion
I wael ddychymyg wel'd ei holl ddirgelion;
Ni chrwydra'n mhell o fewn ei heangderau,
I syllu ar beirianwaith y wybrenau,
Cyn teimla'i hun ar lawr yn orchfygedig
Gan daeniad lleni dwfn ac annhreiddiedig
O fawr ddirgelion ddaw yn ddirif haenau,
I'n llethu'n llwyr cyn deall eu hansoddau.

*Coalburg.* G. H. (AFALWY.)

## BEDD-ARGRAFF

I'R DIWEDDAR MR. WM. JONES, GLANDWY-FACH, GORSAF-FEISTR LLANGEFNI.

[*Buddugol.*]

Yma i orwedd yn "Dinas Meirwon,"
Rhoed William lariaidd, gwylaidd o galon;
I hedd o'i ofid gadawodd Eifion,
Heb air o anair i'w lwybrau union;
Mae heddyw'n gwisgo'r goron—mewn gwyn- [fyd,
A'r oes a gyfyd groesawa'i gofion.

LLWYDIARTH MON.

## ENGLYN.

Medd'dod sydd bechod nid bychan—mewn [gwir
Mae'n gwario'r holl arian;
Ië, gwaeth na hyn, e dŷn dân
I enaid y dyn ei hunan.

JOSEPH DAVIES, *Rhymney.*

Oddiwrth LEMUEL PHILLIPS, *Plymouth.*

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

ASSAM.

Ychydig, mi wn, mae y rhan fwyaf o ddarllenwyr y WAWR yn wybod am y wlad hon a'i thrigolion amrywiol. Gan ei bod yn faes cenadol o gryn bwys, dichon y byddai gair yn fyr o'i hanes yn dderbyniol. Nid yw yn wlad fawr, eto mae o bosibl fwy o wahanol

lwythau ynddi nag un wlad arall o'r un maintioli ar wyneb y ddaear. Gorwedda i'r gogledd-orllewin o Burmah ac ymestyna yn yr un cyfeiriad o Burmah i odrau mynyddoedd yr Himalaya. Rhenir y wlad hon yn wleidyddol i un-ar-ddeg o ran-barthau, ond yn ddaearyddol mae yn rhanu ei hun yn naturiol i dair rhan. Achosir y rhaniad diweddaf hwn gan res o fynyddoedd sydd yn rhedeg yn groes i'r wlad, o'r dwyrain i'r gorllewin, gan adael o bob tu iddynt wastadeddau mawrion. Mae y gwastadeddau sydd i'r deheu i'r mynyddoedd hyn yn cynwys Sylhet, yn nghydag un rhan o dair o'r rhanbarth a elwir yn Cachar, a chynwysa tua 7,000 o filldiroedd ysgwar. Gwastadedd y Brahmaputra, yr hwn sydd i'r gogledd o'r mynyddoedd, a gynwysa chwech o ranbarthau, sef y Coalpara, Kamrup, Darrang, Nowgong, Sibsagor, a'r Lakimpur. Mae y gwastadedd hwn yn llawer eangach na yr un deheuol. Mae ynddo o leiaf 20,943 o filldiroedd ysgwar. A chymeryd yr holl wlad i mewn, cawn ei bod yn cynwys dros 45,000 o filldiroedd ysgwar, neu diriogaeth yn agos yr un faint a Thalaeth Pennsylvania. Wrth y ffigyrau ydym wedi nodi, gwelwn fod ei gwastadeddau yn fwy o gryn dipyn nag eiddo Massachusetts, Vermont, a New Hampshire, gyda'u gilydd. Wrth gydmaru Assam â rhai rhanau o India a China, ystyrir ei phoblogaeth yn deneu, ond gan fod ei phoblogaeth yn 4,000,000, gwelwn fod ynddi fwy, o 300,000 nag sydd yn yr oll o Loegr Newydd. Rhenir ei phobl i Hindwaid, Mahometaniaid a brodorion. Mae tua dwy filiwn a haner yn perthyn i'r ddau ddosbarth blaenaf, ac y maent yn llawer lluosocach yn y rhan ddeheuol nag un man arall. Bernir fod tua 99.7 *per cent.* o Sylhet yn Hindwaid a Mahometaniaid. Mae y ffaith eu bod hwy mor lluosog yno, a'r rhan hono gymaint yn llai na'r gwastadedd sydd yn ogleddol i'r mynyddoedd, yn gwneyd y lle gymaint arall yn fwy poblogaidd na Massachusetts, yr hon yw y Dalaeth fwyaf poblogaidd yn America yn ol ei maint.

Rhenir trigolion Assam i nifer mawr o fân lwythau, y rhai sydd yn amrywio yn eu lluosawgrwydd o ychydig ganoedd i lawer o filoedd. Maent braidd oll yn byw yn hollol annibynol, ac ar wahan y naill oddiwrth y llall. Cas beth gan y rhan fwyaf o honynt yw meddwl am gymysgu. Mae gan bob un o honynt ei diriogaeth ei hun, ei arferion ei hun, ffurf o grefydd, yn nghyda thafodiaith neillduol iddo ei hun. Mae yn eu plith hefyd amrywiaeth mawr mewn amgylchiadau. Ceir rhai o honynt yn nyfnder tlodi ac angen, a'u sefyllfaoedd heb fod lawer, os dim, yn well nag eiddo Indiaid America, tra mae llwythau eraill yn y wlad yn meddu ar well tiroedd, mwy o wybodaeth, ac mewn canlyniad yn meddu mwy o gysur. Yr ydys wedi dyfod ar draws rhai llwythau yno mor isel ac anwaraidd, fel nid yn unig y gwelid y plant heb ddillad am danynt, ond y mamau hefyd. Yn mhlith eraill, canfyddid y merched a'r gwragedd wedi eu dilladu yn weddol daclus, ond y gwyr mor amddifaid o wisgoedd a phan y ganwyd hwy. Gan eu bod mor selog dros fod ar wahan oddiwrth bawb eraill, tebyg mai fel hyn maent wedi byw, a 'does neb a wyr pa cyhyd; a mwy na thebyg mai dyma fydd eu cyflwr hyd nes daw y gwirionedd Dwyfol yn ei ddylanwad grasol i'w harwain i diroedd gwell. Yr iaith fwyaf boblogaidd yn Assam yw yr Assamaeg. Nid oes braidd un o luosog lwythau y wlad nad yw yn deall peth o'r Assamaeg; ond mae ein cenadon fwy nag unwaith wedi gorfod dysgu tafodiaeth y llwythau y byddont yn dod i gyffyrddiad â hwy er gallu gwneyd mwy o ddaioni, ac egluro ffordd Duw yn fanylach iddynt.

Yn nyffryn mawr y Brahmaputra, nid oes ond un cenadwr yn llafurio, heblaw eiddo yr *American Baptist Missionary Union.* Mae y cenadon Americanaidd wedi llwyddo yn dda er pan yn y lle, ac mae arwyddion calonogol iawn am y dyfodol. Mae gan ein brodyr o Loegr amrai genadon llafurus a dylanwadol yn Assam hefyd, y rhai sydd wedi dal yn wrol ar y maes hwn,

er gweled llawer o galedi. Daw yn wir Cymru hefyd i sylw mewn cysylltiad â'r gwaith cenadol yn Assam, ond nid nyni, y Bedyddwyr, eithr enwad parchus y Methodistiaid Calfinaidd. Yn y flwyddyn 1840 sefydlodd y Corph yn Nghymru Gymdeithas Genadol, ac yn yr un flwyddyn danfonasant genadwr allan i Cherrapoonjee, ac y mae saith neu wyth wedi eu danfon ganddynt oddiar hyny hyd yn awr. Ar y mynyddoedd sydd rhwng y ddau wastadedd a nodasom mae ein brodyr Cymreig yn llafurio. Mae hyn yn naturiol i feibion y bryniau. Oddiar y flwyddyn 1840 hyd yn bresenol maent wedi cario y gwaith da yn mlaen yn ddiorphwys, ac y mae ganddynt heddyw bump neu chwech ar y maes, a llon'd enaid o sel dros y gwaith. Yn ol adroddiad 1878, cawn eu bod wedi planu 21 o eglwysi, yn y rhai yr oedd 848 o aelodau, a 1,526 o wrandawyr. Yr oedd hefyd 1,374 o blant yn eu hysgolion Sul. Wrth yr ystadegau uchod gwelwn fod yr un nodweddion yn perthyn i'r enwad parchus hwn, ar fryniau a mynyddoedd Assam, ag sydd yn amlwg ynddynt ar fryniau Cymru a thiroedd eang America. Y Nefoedd ofalo am danynt hwy a phob cenadwr arall yn Assam, ac a lwyddo eu llafur nes cael pob un o'r trigolion o dan iau yr "un drwg," i "ryddid gogoniant plant Duw."

SWEDEN.

Yn ol yr arwyddion presenol mae y wlad hon yn dyfod yn gyflym o fod yn wlad Babyddol ac anghristionogol, yn wlad lawn o Grist a Bedyddwyr. Er dechreu Ionawr diweddaf mae ei holl eglwysi wedi eu bendithio â llwyddiant anarferol. Mae yr eglwys yn neheubarth Stockholm wedi derbyn 24 trwy fedydd. Yn Sundsvall, lle yr agorwyd capel y 3ydd o Ionawr diweddaf, mae 120 wedi eu bedyddio. Ar y 25ain o Ebrill sefydlwyd eglwys newydd yn Great Tuna, ac yr oedd yn cychwyn ei gyrfa gyda 40 o aelodau. Yr un diwrnod corphorwyd eglwys o 16 o aelodau yn Gordinge. Yr 28ain o Fawrth agorwyd capel newydd yn Norohoping, yn yr hwn y gall 600 eistedd yn daclus. Hefyd Mai 16eg agorwyd un arall yn Hemosand, a gall gynwys 300 o bobl; ac mae yr eglwysi yn y ddau le yn myned rhag blaen yn ogoneddus. Yn ol y cyfrifon a roddir gan y Parch. A. Weberg, bedyddiwyd yn Sweden y flwyddyn ddiweddaf 3,384 o bersonau, a sefydlwyd 29 o eglwysi newyddion. Mae yn yr holl wlad yn bresenol 18,928 o Fedyddwyr, yn aelodau mewn 300 o eglwysi, a 14 o gymanfaoedd; ac mae yn eu hysgolion Sul 16,336 o blant yn cael eu dysgu gan 1,581 o athrawon. Ni fu gan Dduw yn un man well dynion nag sydd ganddo yn Sweden. Maent yn taflu yr oll a feddant i'w gwaith, a theimlir gan bawb y ffaith, a nid rhyfedd fod y fath lwyddiant yn dilyn. Gweddiwn am iddynt barhau yn eu gweithgarwch, ac i Dduw barhau i'w bendithio.

KURNOOL.

Ar y 6ed o Mehefin diweddaf yr oedd yn Sul cymundeb gan yr eglwys yn Kurnool, ac ar ddiwedd yr oedfa gwnawd casgliad, yr hwn oedd yn naw o *rupees*. Y peth nesaf oedd, beth ydoedd i wneyd a hwy. Cynygiodd un o'r brodyr eu bod yn gwneyd ymdrech i gasglu rhagor atynt, a defnyddio yr oll i gynal rhyw frawd da o'u plith i bregethu yn y trefydd cymydogaethol. Penodwyd ganddynt ar frawd o'r enw Zechariah i gymeryd at y gwaith, a'i fod i gael tri o *rupees* y mis am ei lafur. Tâl bach oedd hyn, ond boddlonodd Zechariah iddo. Digon i gael ymborth a dim rhagor, oedd; a thra yr oedd efe wrth ei waith, yr oedd yn rhaid i'w wraig gynal ei hun, ac yr oedd yn foddlon gwneyd hyn trwy gymeryd gofal ysgol gartref. Mae Zechariah wrthi a'i holl egni, a'r brodyr yn gweddio am lwyddiant ar ei lafur, a gwneyd eu goreu i fod a'r tri *rupee* yn barod ar ben y mis. Yr efengyl yn cael ei derbyn yn ei hysbryd yn ogystal ag yn y llythyren yw peth fel hyn.

SANDWICH ISLANDS.

Gan y 56 o eglwysi Cynulleidfaol sydd yn yr ynysoedd hyn, yn cynwys

7,258 o aelodau, cyfranwyd y flwyddyn ddiweddaf $3,893 62 at waith cenadol tu allan i'w tiriogaethau eu hunain, neu yn agos i haner dolar yr aelod. Beth ddywedwn ni, Cymry America, am hyn?

FFRAINC.

Dywed y Parch. Mr. Fisch, o Paris, fod y gymdeithas i'r hon y mae efe yn perthyn, wedi ychwanegu 47 o orsafoedd pregethu newyddion yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, yn y rhai y mae 9,000 o wrandawyr, yr oll o ba rai oeddynt gynt yn Babyddion penboeth a selog. Rhagor ddelo eto.

---

# HANESION CARTREFOL.

---

### CYMANFA MINERSVILLE, PA.

Cynaliwyd Cymanfa Bedyddwyr Dwyreinbarth Pennsylvania yn Minersville, Swydd Schuylkill, Awst 28, 29, a 30, 1880.

Agorwyd eisteddiad cyntaf y gynadledd am 10 o'r gloch, dydd Sadwrn, drwy ddarllen a gweddio gan y brawd James R. Price, Kingston.

Neillduwyd y brawd D. S. Thomas, Lansford, yn Gymedrolwr, yn absenoldeb B. Hughes, Ysw., Hyde Park, Cymedrolwr y flwyddyn ddiweddaf, ac i orphen tymor ei wasanaeth.

Wedi galw y cyfarfod i drefn gan y Cymedrolwr, darllenwyd llythyr eglwys Minersville at y Gymanfa, yr hwn a gynwysai roesawiad cynes i weinidogion a chenadon yr amrywiol eglwysi perthynol.

Penderfynwyd, Fod y brodyr John R. Jenkins a Mark Hodgins i gydweithredu a'r Trysorydd, James Evans, Wilkesbarre, er dwyn yn mlaen y casgliadau, a thalu treulion y Gymanfa.

Penderfynwyd, Fod y brodyr canlynol i fod yn Bwyllgor Trefniadol y cyfarfodydd cyhoeddus: John R. Jenkins a Mark Hodgins, Minersville, a Thomas Howells, Hyde Park.

Y CENADON GWYDDFODOL.

Minersville—John P. Powell a John R. Jenkins.
Hyde Park—Ebenezer Lloyd a Thomas Howells.
Kingston—James R. Price a Theophilus Jones.
Lansford—John Jenkins a Daniel Jones.
Nanticoke—Samuel Powell.
Parsons—J. W. Roberts (Callestr) a Hugh Owens.
Pottsville—Richard Stephens a David Davies.
Wilkesbarre—James Evans.
St. Clair—Jas. Jones a D. D. Davies.
Shenandoah—Edward Capper.
Audenried—Thomas D. Watkins a Gideon E. Davies.
Summit Hill—Joseph Richards.
Ashland—David Vaughan a Thomas Thomas.
Mahanoy City—Thos. P. Richards a Lewis Richards.
Taylorville—Daniel Jones a George Sheldon.
Drifton—Evan J. Thomas a Lewis Francis.
Upper Lehigh—Wm. Powell.

Etholwyd yn swyddogion am y flwyddyn—D. Rhoslyn Davies, Cymedrolwr; Theophilus Jones, Is-Gymedrolwr;* J. P. Harris, Ysgrifenydd; James Evans, Trysorydd.

Darllenwyd gweithrediadau cynadledd y flwyddyn ddiweddaf.

Penderfynwyd, Fod Eben'r Lloyd, D. S. Thomas, a Wm. F. Davies i edrych dros lythyron yr eglwysi, a dwyn i mewn eu hadroddiad yn nghyfarfod dau o'r gloch.

Penderfynwyd, Fod y brodyr Benjamin Thomas, Narberth, D. C., ac R. Edwards, Pottsville, yn cael gwahoddiad i gyd-eistedd gyda ni, a chael rhyddid i siarad ar y pynciau a ddygir ger bron y gynadledd. Galwyd Mr. Thomas yn mlaen, a rhoddwyd iddo ddeheulaw cymdeithas gan y Cymedrolwr yn enw y Gymanfa, gan ddy-

---

* Gwasanaethu yn absenoldeb y Cymedrolwr *yn unig* yw swyddogaeth yr Is Gymedrolwr.

muno i'r brawd nawdd y nef a llwyddiant mawr.

Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd E. Edwards, Wilkesbarre.

*Cynadledd 2 o'r Gloch.*

Agorwyd trwy ddarllen a gweddio.

Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn y Parch. Jeremiah Griffiths, diweddar o'r Brithdir, Morganwg, i'r undeb cymanfaol ar sail llythyr cymeradwyol oddiwrth Gymanfa Morganwg.

*Y Genadaeth Artrefol Gymreig.*

Darllenwyd Adroddiad y Trysorydd, B. Hughes, a chafwyd fod mewn llaw $66.18.

Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn yr adroddiad, a bod y brawd B. Hughes i barhau yn y swydd o Drysorydd y Gymdeithas.

Penderfynwyd, Fod y brodyr B. Hughes, Wm. W. Reese a Wm. Powell i barhau yn Bwyllgor y Gymdeithas Artrefol Gymreig.

Darllenwyd y Rheolau Diwygiedig, a mabwysiadwyd hwynt un ag un gydag unfrydedd mawr.

Ychwanegwyd un swyddog, sef Is-Gymedrolwr, at swyddogion y Gymanfa.

*Gwelliant ar Erthygl 6.*—Yn lle y gair "cyflawn" yn nechreu yr Erthygl, mabwysiadwyd y gair *mwyafrif;* ac yn niwedd yr Erthygl ychwanegwyd, *tri gweinidog o'r eglwysi agosaf*, gan adael allan, "o eiddo cylch y Gymanfa."

*Erthygl 27.*—Penderfynwyd ychwanegu at yr Erthygl, *a dwy ran o dair yn pleidleisio dros wneyd y cyfnewidiad.*

Penderfynwyd, Ein bod yn cydnabod llafur, ac yn gwerthfawrogi llwyddiant y pwyllgor yn niwygiad y rheolau.

*Cwyn Eglwys Wilkesbarre.*

Penodwyd pwyllgor o dri, sef y brodyr Ebenezer Lloyd, Evan J. Thomas a Thomas D. Richards, i chwilio i fewn i gwynion eglwys Wilkesbarre yn erbyn y brawd John B. Roberts, ac eraill o'r aelodau.

*Adroddiad y Pwyllgor.*

Ar ol ystyriaeth fanwl o gais eglwys Wilkesbarre mewn perthynas i ymddygiad John B. Roberts a'r rhan hono o'r eglwys sydd yn ei gefnogi yn ei ymddygiad afreolaidd o gynal gwasanaeth crefyddol heb ganiatad, ac o anfodd yr eglwys—daethom i'r penderfyniad canlynol:

1. Ein bod yn anghymeradwyo ymddygiad y brawd John B. Roberts, a'n bod yn ei ystyried yn annheilwng o gefnogaeth fel pregethwr, os bydd iddo barhau yn y blaen i wasanaethu y blaid.

2. Ein bod yn anghymeradwyo ymddygiad y rhan hono o'r eglwys yn eu gwaith yn cynal eu cyfarfodydd heb ganiatad yr eglwys a'r gweinidog, gan yr ystyriwn hyny yn gynyg at ranu yr eglwys.

3. Ein bod yn anghymeradwyo gwaith unrhyw bregethwr yn myned i bregethu iddynt hwy, nac i unrhyw blaid arall gyffelyb.

Penderfynwyd, Ein bod yn mabwysiadu adroddiad y pwyllgor, ac yn ei ryddhau.

*Cais Eglwys Danville.*

Penderfynwyd, Fod pedwar o frodyr yn y weinidogaeth i ymweled â, a gwasanaethu eglwys Danville, bob un am Sabboth, ac i gael eu cydnabod mewn modd arianol gan Drysorydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig.

*Cais Soar, Minersville.*

Penderfynwyd. Fod cais y gynulleidfa hon i gael ei osod ar y bwrdd.

*Cais Horeb, Minersville.*

Penderfynwyd, Fod adferyd John M. Evans i waith y weinidogaeth yn cael ei adael i eglwys Minersville i weithredu yn unol â'r rheolau.

*Llyfr Emynau at Wasanaeth yr Enwad.*

Gwnaeth y pwyllgor—J. P. Harris, James R. Price a J. R. Jenkins—ei adroddiad fel y canlyn:

"Yr ydym, oddiar amryw ystyriaethau, yn cymeradwyo yr ail argraffiad o Lyfr Hymnau* diwygiedig y di-

* Gellir gwerthu yr argraffiad hwn yn America am o 50 i 60 cents: Argraffiad y pwlpud, $1.25.

weddar Barch. Joseph Harris, Abertawe, at wasanaeth y cyfenwad o Fedyddwyr Cymreig yn yr Unol Dalaethau, cyhoeddedig gan William Morgan Evans, Caerfyrddin, D. C., yn y fl. 1880.

Penderfynwyd, Ein bod yn mabwysiadu adroddiad y pwyllgor.

*Llyfr y Rheolau.*

Penderfynwyd, Fod Llywydd ac Ysgrifenydd y Gymanfa i gyhoeddi y rheolau diwygiedig a fabwysiadwyd genym yn llyfryn at wasanaeth yr eglwysi drwy y cylch cymanfaol, a bod yr eglwysi i gydweithredu â'r pwyllgor er sicrhau gwerthiad y llyfryn.

*Casglu.*

Penderfynwyd, Fod eglwys Lansford yn cael ail gynyg y flwyddyn hon i gasglu drwy yr eglwysi.

*Undeb Cymanfaol.*

Soniwyd am y priodoldeb i gael y cyfryw Undeb yn yr Unol Dalaethau, er mwyn trefn a chydweithrediad. Dygwyd cais o Missouri ger bron.

Penderfynwyd, Ein bod yn gosod y mudiad ar y bwrdd.

Gollygwyd drwy weddi gan y brawd Theophilus Jones.

Dydd Llun, am 9 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd Wm. Powell, Upper Lehigh.

*"Y Wawr."*

Adroddiad y pwyllgor, E. Edwards a D. S. Thomas:

"Tra y dymunwn gydnabod ein diolchgarwch i olygydd y Wawr am ei ymdrech a'i ffyddlondeb, yr ydym yn cymell ar yr eglwysi y ddau beth hyn:

1. Fod iddynt ystyried y cyhoeddiad yn mysg y pethau sydd yn *hanfodol i lwyddiant yr enwad* yn y cylch Cymreig.

2. Fod iddynt roddi i'r Wawr gefnogaeth trylwyr, trwy ei derbyn yn galonog, a thalu am dani mor brydlawn ag y byddo ddichonadwy. Ymdrecher at y ddau beth hyn."

Penderfynwyd, Ein bod yn derbyn ac yn mabwysiadu adroddiad y pwyllgor.

*Marw-Goffa (Obituary).*

Adroddiad y Pwyllgor, sef Theophilus Jones, J. W. Roberts (Callestr), a W. F. Davies: "Ein bod yn cydymdeimlo â'r eglwys yn Pittston, ac a pherthynasau y brawd anwyl Isaac Davies, yr hwn yn sydyn a gymerwyd oddiwrth ei waith at ei wobr. Yr ydoedd y brawd yn bregethwr cynorthwyol parchus a derbyniol er's blynyddau, ac yr oedd ei sel dros y gwirionedd a'i ffyddlondeb mawr dros achos y Ceidwad yn werth eu hefelychu. Er teimlo ein colled, eto yr ydym gyda phleser mawr yn dwyn tystiolaeth i'w gymeriad cywir a Christionogol. Dymunwn hefyd ar Dad y trugareddau fod yn Farnwr i'r weddw ac yn Dad i'r amddifaid sydd ar ol, yn nghyda llanw y bwlch sydd yn yr eglwys.

Hefyd, y brawd ffyddlon a dirodres, Abraham Richards, o eglwys Nanticoke. Hefyd y brawd ymdrechol Wm. R. Williams, o eglwys Danville, a'r brawd Wm. J. Howells, o Mahanoy, am y rhai y mae genym bob gobaith o'u mynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

Penderfynwyd mabwysiadu yr adroddiad.

*Yr Wythnos Weddi.*

Penderfynwyd, Fod yr wythnos weddi i ddechreu y Sul cyntaf yn Ionawr, 1881, ac i barhau drwy yr wythnos. Anogir yr holl eglwysi i gydweithrediad.

*Y Genadaeth Dramor.*

Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi i fwy o weithgarwch a haelfrydedd i ddanfon yr efengyl i'r paganiaid. Ein bod yn gwerthfawrogi ysgrifau y brawd W. F. Davies yn y Wawr, ac yn ei anog i barhau, drwy gyhoeddi erthygl bob mis, ar gychwyniad a llwyddiant y Genadaeth.

*Y Gymdeithas Genadol Artrefol.*

Penderfynwyd, Ein bod yn ystyried y Gymdeithas Genadol Artrefol Americanaidd yn teilyngu ein cydymdeimlad a'n cydweithrediad fel eglwysi.

*Bwrdd Addysg.*

Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi i gyfranu yn ol eu gallu y flwyddyn hon tuag at gynorthwyo y brodyr ieuainc sydd genym yn derbyn addysg yn Lewisburg ac yn Crozier.

*Y Gymanfa Gerddorol.*

Penderfynwyd, Ein bod yn cymell yr eglwysi i fwy o ddiwydrwydd gyda y Gymanfa Gerddorol; i ail ymaflyd yn eu dyledswyddau, gan y credwn fod daioni wedi, ac i ddeilliaw, o'r mudiad, sef diwygiad yn nghaniadaeth y cysegr.

*Charter i'r Gymanfa.*

Penderfynwyd, Fod y brodyr D. R. Davies, J. P. Harris, James Evans, B. Hughes, a Theophilus Jones, yn Bwyllgor i chwilio i fewn i bwnc y *Charter* yn ei holl agweddau, a dwyn ger bron eu hadroddiad yn y gynadledd nesaf.

*Tysteb y Parch. Theophilus Jones.*

Penderfynwyd, Ein bod yn rhoddi tysteb i'r hybarch frawd Theophilus Jones, Wilkesbarre, fel cydnabyddiaeth wanaidd o'i wasanaeth gwerthfawr i'r enwad am yr yspaid maith o haner can' mlynedd.

Fod dau o frodyr yn cael eu dewis, y naill yn Ysgrifenydd a'r llall yn Drysorydd, i gofnodi ac i dderbyn cyfraniadau yr eglwysi ac eraill; sef y brawd D. Rhoslyn Davies yn Ysgrifenydd, a B. Hughes yn Drysorydd.

Y taer gymellir pob eglwys i neillduo dau frawd o'u mysg i ymgymeryd a chasglu at y gyfryw dysteb, ac i ofalu am anfon y symiau a gasglant i ofal y Trysorydd, B. Hughes, Hyde Park, Pa., erbyn yr 20fed o Ragfyr nesaf.

Ein bod yn mawr ddymuno cydweithrediad pawb Cristionogion yn y mudiad teilwng hwn, ac yn hyderus gredu y caiff gefnogaeth galonog miloedd o gyfeillion Crist, a'n parchus frawd.

*Y Gymanfa Nesaf.*

Penderfynwyd, Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Lansford, ar yr amser arferol.

Gohiriwyd, i gyfarfod yn Lansford, Sir Carbon; a gollyngwyd drwy weddi gan y brawd James Jones, St. Clair.

*Cyfarfodydd Cyhoeddus,*

Dan arweiniad y brawd J. P. Harris, yr hwn a neillduwyd gan yr eglwys i'r gwaith.

Awst 28, nos Sadwrn, darllenodd a gweddiodd y brawd Thomas D. Evans, Mahanoy, a phregethodd y brodyr Ebenezer Lloyd, Hyde Park, Luc 8 : 34, a Wm. F. Davies, Nanticoke, Jonah 1: 6, a David Jones, Shenandoah, Salm 145 : 20.

Sul, am 8½ o'r gloch, cynaliwyd cyfarfod gweddio, dan arweiniad y brawd Theophilus Jones.

Am 10, agorwyd y cyfarfod drwy weddi gan y brawd B. Nicholas, Hazleton, a phregethodd y brodyr Jas. R. Price, Kingston, Actau 11 : 19—21, Wm. D. Thomas, Mahanoy, Actau 8 : 32, a B. Thomas, Narberth, D. C., Heb. 12 : 19—21.

Am 2, gweddiodd y brawd B. E. Jones, Wiconisco, a phregethodd y brodyr E. Edwards, Wilkesbarre (Seisneg), Eph. 4 : 20, 21, a D. Rhoslyn Davies, Kingston, Rhuf. 13 : 10.

Am 6, gweddiodd y brawd Jeremiah Griffiths, Ashland, a phregethodd y brodyr D. S. Thomas, Lansford, 1 Cor. 1 : 22—24, J. P. Harris, Providence, Heb. 8 : 10—12, a Theophilus Jones, Wilkesbarre, Luc 24 : 32.

Dydd Llun, 2 o'r gloch, darllenodd a gweddiodd D. Rhoslyn Davies, a phregethodd y brodyr B E. Jones, Heb. 2 : 10, a Jeremiah Griffiths, Gal. 2 : 19.

Am 7, dechreuwyd gan W. F. Davies, a phregethwyd gan E. Edwards, Rhuf. 15 : 29, a B. Thomas, Narberth, Hab. 3 : 8.

Pregethwyd hefyd y nos flaenorol i'r Gymanfa gan B. Nicholas a Theophilus Jones.

Gellir dweyd am y Gymanfa hon—"Da oedd i ni fod yno."

J. P. HARRIS, *Ysgr.*

## YSTADEGAU, &c., AM 1880.

| Enwau yr Eglwysi. | Ysgrifenyddion yr Eglwysi. | Bugeiliaid. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd trwy Lythyrau. | Gollyngwyd trwy Lythyrau. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif yr Aelodau | Canolrif yr Ysgol Sul. | Arian Traul y Gymanfa. | I'r Ysgrifenydd. | Cenadaeth Dramor. | Cenadaeth Artrefol. | Bwrdd Addysg a Lewisburg. | Cenadaeth yr Ysgol Sul. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ashland | T. M. Davies | . . . | 2 | 4 | 5 | 3 | 2 | . | 60 | . . | $2 00 | $1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Arnot | J. M. Thomas | David Harris | 1 | 2 | 8 | 3 | 7 | 1 | . . | . . | 2 00 | 1 00 | . | . . | . . | . . |
| Audenried | G. E. Davies | . . . | . | 4 | 3 | 2 | 1 | 1 | 55 | 60 | 1 00 | 1 00 | $5 00 | $5 00 | 5 00 | . . |
| Carbondale | Morgan Thomas | . . . | . | . | . . . | . . . | . | . | 22 | . | 1 00 | 1 00 | . | . | . | . . |
| Danville | William Rees | . . . | . | 1 | 3 | 1 | . | 2 | 26 | 38 | . . | 1 00 | . | . | . | . . |
| Drifton | Daniel H. Davies | D. Rhoslyn Davies | 3 | 7 | 9 | 7 | 7 | . | 61 | 70 | 2 00 | 1 00 | 8 00 | 2 00 | . . | . . |
| Frostburgh, Md. | Dim mynegiad. | | | | | | | | | | | | | | | |
| Hyde Park | B. Hughes | . . . | 2 | 9 | 44 | 10 | 10 | 2 | 389 | 450 | 10 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Jermyn | Samuel Morgan | . . . | . | 4 | 1 | . . . | . | . | 11 | 20 | . . | 50 | . . | . . | . . | . . |
| Johnstown | Josiah Davies | . . . | 1 | 8 | 13 | 10 | 6 | 2 | 67 | . . | 3 00 | 1 00 | . | . . | . . | . . |
| Kingston | Jonah A. Davies | D. Rhoslyn Davies | 2 | 2 | 14 | 3 | 5 | . | 85 | 80 | 2 00 | 1 00 | 9 00 | . . | . . | . |
| Lansford | John E. Jenkins | D. S. Thomas | 5 | 2 | 7 | 2 | . | 1 | 69 | 95 | 1 00 | 50 | 2 75 | . . | 3 00 | . . |
| Mahanoy | T. D. Evans | W. D. Thomas | 6 | 3 | 7 | 7 | 9 | 1 | 107 | 103 | 2 00 | 1 00 | 5 00 | . . | 5 07 | $4 89 |
| Minersville | D. C. Bevan | . . . | . | 1 | 2 | 10 | 6 | 1 | 58 | . . | 3 00 | 1 00 | . . | 5 00 | 11 07 | . . |
| Morris Run | John W. Phillips | . . . | . | 1 | 3 | . . | 9 | 1 | 40 | 50 | 2 00 | 1 00 | . . | . | . | . . |
| Nanticoke | W. G. Edmonds | Wm. F. Davies | 3 | 8 | 15 | 13 | 2 | 1 | 86 | . . | 2 00 | 1 00 | 8 00 | . . | 8 00 | . . |
| Olyphant | Evan Miles | B. E. Bowen | . | 1 | 6 | . . | 3 | 1 | 39 | 55 | 1 00 | 50 | 5 00 | . . | . . | . |
| Parsons | Thomas R. Thomas | . . . | 1 | 4 | 11 | 10 | 4 | 1 | 125 | 105 | 2 00 | 1 00 | . . | . . | 17 00 | . . |
| Plymouth | Peter Roberts | D. Rhys Jones | 12 | 13 | 28 | 10 | 9 | 2 | 133 | 163 | 1 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Pittston | Jacob W. Evans | . . . | 3 | 6 | 3 | 1 | 1 | 6 | 108 | 95 | 2 00 | 1 00 | 15 00 | . . | 2 50 | 2 50 |
| Pottsville | W. Taliesin Jones | . . . | 2 | 1 | . . . . | 3 | . | . | 32 | 26 | 2 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Providence | J. J. Morris | J. P. Harris | . | 3 | 13 | 11 | 14 | . | 128 | 130 | 2 00 | 1 00 | . . | . . | . . | . . |
| Shenandoah | Ed. Capper | David Jones | . | 2 | 4 | 6 | 7 | 2 | 43 | 150 | 2 00 | 1 00 | 4 75 | . . | . . | . . |
| Slatington | Dim mynegiad. | | | | | | | | | | | | | | | |
| St. Clair | T. B. Lewis | D. S. Thomas | 2 | 5 | 11 | 2 | 2 | . | 64 | 50 | 3 00 | 1 00 | 2 25 | . . | . . | . . |
| Summit Hill | Joseph Richards | . . . | 2 | 7 | 6 | . . | 1 | . | 41 | 55 | 1 00 | 50 | . . | . . | . . | . . |
| Taylorville | William T. John | David W. Morris | . | 3 | 16 | 5 | 9 | . | 110 | 130 | 3 50 | 1 00 | 74 | . . | . . | . . |
| Upper Lehigh | John M. Powell | . . . | 1 | . | . . | 6 | . | 2 | 83 | 80 | 4 00 | 1 00 | 5 00 | 5 00 | . . | . . |
| Wiconisco | Wm. Eli Davies | B. E. Jones | . | 1 | 2 | . . | 1 | 1 | 33 | 40 | 1 00 | 50 | 7 50 | 7 50 | 5 00 | 1 51 |
| Wilkesbarre | John L. Jenkins | E. Edwards | 3 | 8 | 38 | 11 | 7 | . | 124 | 155 | 2 00 | 1 00 | 11 00 | . . | 5 00 | . . |

*Nodiad.*—Cyfranodd eglwys Upper Lehigh $5.00 at y Genadaeth Artrefol Gymreig.

*Enwau Gweinidogion, Pregethwyr Cynorthwyol, a Myfyrwyr, yn Aelodau yn yr amrywiol Eglwysi.*

Ashland—Parch. Jeremiah Griffiths.
Audenried—Parch. B. Nicholas.
Hyde Park—Ebenezer Lloyd.
Jermyn—Parch. J. J. Morris—yn byw yn Houtzdale.
Kingston—Parchn. James R. Price a Theophilus Jones.
Lansford—Daniel Jones.
Mahanoy—Thos. D. Evans, a T. D. Lewis, myfyriwr.
Minersville—John M. Evans.
Parsons—John S. Thomas, myfyriwr.
Plymouth—Vaughan Richards a H. Roberts, D. H. Evans, myfyriwr.
Providence—Ed. D. Jones a D. B. Griffiths.
Shenandoah—Ed. Capper.
Taylorville—Morgan J. Watkins a Gwilym Thomas, myfyrwyr.
Wilkesbarre—John B. Roberts.

J. P. Harris, *Ysgr.*

---

Llythyr Cymeradwyaethol.

*Oak Hill, Medi 15, 1880.*

Hyn sydd i hysbysu fod y Parch. Daniel J. Lloyd yn aelod rheolaidd yn ein plith. Rhoddodd eglwys Oak Hill, Swydd Jackson, Ohio, wahoddiad i'r brawd Lloyd i ddyfod yn ol atom, ac yr ydym yn diddymu y penderfyniad a ymddangosodd yn ei erbyn yn y *Glorian* a'r *Drych*. Yr eiddoch,

T. E. Griffiths, *Gweinidog.*

---

Judson University.

*Judsonia, Ark.*

Mae Mr. Gwilym G. Thomas yn oruchwyliwr awdurdodedig o'r Sefydliad hwn. Richard S. James, *Llywydd.*

---

*PRIODWYD—*

Awst 18, 1880, gan y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., Mr. A. J. Boucher, Sampsell Station, Mo., a Miss Mattie Williams, *organist* y Bedyddwyr Americanaidd, Utica, Mo.

Awst 18, 1880, gan y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., Mr. D. W. Gibbons, Chillicothe, Mo., a Miss Ella B. Williams, Utica, Mo.

---

## NODION TRAMOR.

[O Seren Cymru.]

—Y mae cynydd Protestaniaeth yn Mexico yn cyffroi llid y Pabyddion. Yn ddiweddar cafodd amryw Brotestaniaid eu llofruddio yn Ahualuso.

—Dywedir fod Dr. Y. J. Allen, cenadwr Americanaidd yn Shanghai, China, wedi cael ei wneyd yn Mandarin, gan yr awdurdodau gwladol.

—Deallwn fod yn agos i £10,000 wedi eu haddaw tuag at y clafdy newydd yn Nghaerdydd, ac ymddengys yn awr y tebygolrwydd i'r cynllun droi allan yn llwyddiant.

—Dywed y *Mark Lane Express* fod y cynauaf yn agos a chael ei orphen. Nid oes neb yn cofio am well tywydd i gasglu yn nghyd ffrwythau y ddaear. Dywedir hefyd fod y siamplau a ddygir i'r farchnad, yn enwedig gwenith, o ansawdd dda.

—Mae y weinyddiaeth Brydeinig yn cario allan ei mesurau gyda phenderfynolrwydd teilwng o honi ei hun. Pasiodd y Mesur Claddu drwy bwyllgor y Ty Isaf yn ddiweddar. Nid yw yn bob peth y carem iddo fod, ond yr ydym yn ei dderbyn fel cynyg teg i benderfynu cwestiwn dyrys.

—Mynegiadau o Lundain a roddant ar ddeall fod masnach yn eangu yn gyflym. Nid yn unig mae y newyddion o America yn ffafriol, ond y mae *orders* helaeth wedi eu derbyn o wledydd eraill; ac y mae pob arwyddion y gwelir, cyn pen mis eto, welliant mawr yn ein masnach â gwledydd tramor.

—Pan yn anerch yr offeiriaid yn Croydon, yn ddiweddar, darfu i Arch-

esgob Caergaint hysbysu ei obaith, wedi i'r teimlad o boen a allai gael ei achosi gan fesur y claddfeydd basio, y byddai i Eglwyswyr ymdrechu, mor bell ag y galluogai y mesur hwynt i wneyd hyny, i feithrin gwell teimlad rhwng Eglwyswyr ac Ymneillduwyr.

— Ymddengys fod locustiaid yn gwneyd dinystr arswydol yn neheubarth Rwssia; ac yn rhandir Rasachs yr oedd 5,000 o ddynion yn ceisio eu cadw allan o'r gwenith. Yr oeddynt mor dewion ar y rheilffordd rhwng Tiflis a Poti, fel nad oedd yr agerbeiriant yn alluog i symud modfedd yn mlaen, o herwydd fod y saim o'r locustiaid wedi iro y cledrau nes oedd yr olwynion yn troi arnynt ond heb symud yn mlaen. Maent wedi llwyr ddifa nifer mawr o'r meusydd dan ydau.

—Ymddengys fod yr arferiad o ddenu merched ieuanc o'r wlad hon i Brussels a threfydd eraill ar y Cyfandir, yn cael ei gario yn mlaen i gryn helaethder. Unwaith y llwyddir i ddenu merched ieuainc, trwy ddal o'u blaen ryw fanteision personol, i adael gwlad eu genedigaeth, pan gyrhaeddant Brussels, neu ryw dref arall yn Belgium, neu Ffrainc, cymerir hwy i swyddfa gofrestrol yno, a cheisir ganddynt lawnodi papyr, ac yn ddiarwybod iddynt, cofrestriant eu hunain fel puteiniaid cyhoeddus. Cyflogir hwy wedi hyn i ryw buteindy, a chedwir hwynt yno fel caethion, fel nas gallant ddianc. Y mae cofeb yn cael ei pharotoi ar y mater, ac i gael ei chyflwyno i Iarll Granville, amcan yr hon yw ymdrechu cael gan ei arglwyddiaeth i edrych i mewn i'r mater, a rhoddi atalfa ar y drafnidiaeth waradwyddus hon mewn cyrff ac eneidiau ein merched ieuainc.

---

## NOS.

[Tybir fod a ganlyn yn un o'r Englynion goreu yn yr iaith. Y pencerdd Gwallter Mechain sydd yn darlunio Nos, yn Ngwymp Llewelyn.]

Nos dywell yn dystewi,—y caddug
Yn cuddio'r Eryri,
A'r haul yn ngwely'r heli,
A'r lloer yn arianu'r lli'.

## NEWYDDION CYFFREDINOL.

—Bu farw, Hydref 24, yn sydyn, yn nhy Mr. Owen Baxter, Utica, N. Y., y Parch. Jas. Griffiths, Cattaraugus, (gweinidog perthynol i'r Annibynwyr,) yn 78 ml. oed.

—Dywed y *Baptist Weekly*: "Dywedir fod pob gweinidog a bregethodd yn Manhattan Beach yr haf diweddaf, wedi derbyn $50 am ei waith oddiwrth gwmni yr hotel. Mae hyn yn brawf ychwanegol o ddoethineb rhagorach plant y byd hwn. Mae llawer o blant y goleuni yn talu y nesaf peth i ddim."

— Dinystriwyd Manhattan Market, New York, yn ddiweddar trwy dân, gyda cholled o rhwng un a dwy filiwn o ddoleri. Dywedir mai hwn oedd yr adeilad marchnad godidocaf yn y byd. Yr oedd yn 800 troedfedd o hyd, a 200 o led, a safai ar lawr o *cement* a orchuddiai bedair erw o dir. Dywedir nad yw yn debyg y gwel New York eto yn fuan adeilad o brydferthwch cyffelyb. Tybir iddo gael ei osod ar dân.

—Hysbysiad o Santa Fe, Medi 8, a ddywed i yrwr cerbyd a dau deithwyr gael eu lladd gan yr Indiaid, 16 milldir o Fort Cummings. Cymro oedd un o'r teithwyr anffodus, o'r enw Isaac Roberts, diweddar o Granville, N. Y. Danfonwyd milwyr ar ol yr Indiaid.

—Gadawodd yr agerlong "Vera Cruz" New York ar y 25ain o'r mis diweddaf, yn rhwym i Havana a Vera Cruz, gyda 82 o bersonau ar ei bwrdd. Tuag un o'r gloch, brydnawn Sadwrn, yr 28ain, pan tua 30 milldir oddiwrth oror Florida, tarawyd y llestr gan gorwynt angerddol, yn nghyda'r gwlaw mwyaf dychrynllyd, gan ei thaflu bron ar ei hochr. Yn fuan yr oedd y tonau can uched â'r *smoke stacks*, a golchent yn fynych dros y llestr, ac erbyn yr hwyr yr oedd y prif ystafelloedd yn haner llawn o ddwfr, a'r dodrefn yn nofio ar ei wyneb. Oddeutu 2 o'r gloch boreu Sul daeth ton fawr ar fwrdd y llong, yr hon a ddiffoddodd y tân, ac a ataliodd y peiriant. Rhoddwyd y *dummy* ar waith, a gweithiodd yr holl ddynion gyda'r *buckets* am tuag awr, ond nid oedd yn ateb un dyben, gan fod y dwfr yn dyfod i mewn yn barhaus; yna dechreuodd y teithwyr wisgo eu *life-preservers*. Yr oedd y golygfeydd mwyaf calon-rwygol ac annesgrifiadwy i'w canfod o hyn allan tan tua 6 o'r gloch boreu Sul, pan y torodd y llestr yn ei chanol, ac y disgynodd i'r eigion. Golchwyd tua 25 o bersonau i dir yn fyw, ar oror Florida, a boddodd yr oll o'r lleill yn y dyfroedd dyfnion.

—Darfu i dymestl angerddol yn Paris, Ffrainc, ar yr 8fed o'r mis diweddaf, daflu eglwys gadeiriol Notre Dame yn bentwr o adfeilion. Tarawyd y "Palace des Thermes," a adeiladwyd yn y bedwaredd ganrif, gan fellten, ond heb lawer o niwed iddo.

—Dywed y *Times* o India, na lusgwyd cerbyd Juggernaut (un o arwydd-luniau mwyaf nodedig paganiaeth) drwy heolydd Puri, y flwyddyn hon, fel arferol, ar y 9fed o Gorphenaf. Mae rhyw ddirgelwch yn nglyn â'r esgeulusdod hwn, ond geilw y brodorion ef yn "weithred o esgeulusdod anfaddeuol ar ran swyddogion ymyrgar y Llywodraeth." Mae yr egeulusdra hwn yn fwy pwysig o herwydd, yn ol y gyfraith grefyddol, neu arferiad, os na lusgir y cerbyd at y Goachidi Mandir ar y 9fed dydd o'r *car festival*, rhaid i ddeuddeng mlynedd fyned heibio cyn y gellir ei ddefnyddio drachefn. Gallwn obeithio y bydd i lygaid y bobl gael eu hagor ddigon i roddi terfyn ar y weithred ffol hon o eilun-addoliaeth cyn yr el heibio y deuddeng mlynedd nesaf.

—Mae llywodraeth Itali yn codi cofgolofn i Victor Emanuel, yr hon a gostia $1,300,000.

—Bu farw y Parch. William Adams, D. D., LL. D., yr hwn am lawer o flynyddoedd a fu yn weinidog anwyl a pharchus eglwys Bresbyteraidd Madison Square, New York, ac am y saith mlynedd diweddaf yn Llywydd Union Theological Seminary, yn yr un ddinas. Bu farw yn ei haf-breswylfod, ar Orange Mountain, Awst 31. Yr ydoedd wedi bod yn glaf iawn am rai wythnosau, ac nid oedd ei farwolaeth yn annysgwyliedig. Nid oedd neb mwy enwog yn perthyn i'r enwad Presbyteraidd na Dr. Adams, o ran ei gyrhaeddiadau, a'r oll sydd yn myned i wneyd i fyny y boneddwr, y dysgawdwr, y Cristion, a'r gweinidog enwog; a pherchid a cherid ef yn fawr gan Gristionogion yn gyffredinol.

—Enw y llys-genad Groegaidd yn Rhufain yw Mr. Papparigopoulo.

—Mae gofid yn y Vatican. Darfu i'r Pab o Rufain, yn ei lafarawd ar yr 20fed o Awst, ddwyn i sylw y Cardinaliaid, fod y rhwygiad rhwng Belgium a'r Vatican yn dangos angerddoldeb y filwriaeth a ddygir yn mlaen yn erbyn yr eglwys, gyda'r amcan o ddidoli y bobl Gristionogol oddiwrth yr Esgobaeth Sanctaidd. Mae efe yn ystyried gollyngdod ymaith ei *Nuncio* (llys-genad) gan Lywodraeth Belgium yn "sarhad ar Ficer Iesu Grist." Ond y mae peth gwaeth i ddygwydd i'r Pab gwrthdystiol, druan. Dywedir fod Ffrainc yn bwriadu rhoddi terfyn ar ei pherthynasau cenadwriaethol â'r Vatican. Byddai Llys Ffrengig heb *Nuncio* Pabaidd yn newydd-beth yn Ewrop, ac mae y posiblrwydd o hyny yn dangos mor gyflym y mae gallu politicaidd a dylanwad yn ymadael â'r Babaeth, yn Ewrop.

—Lladdodd dyn ieuanc o'r enw James De Garrete, yn byw yn Danville, Va., ei chwaer, am iddo ei chael mewn puteindy. Y mae efe wedi ei ddedfrydu i'w grogi ar y 29ain o fis Hydref.

Bu Mary Welsh farw yn ddiweddar yn Seymour, Conn., yn 107 mlwydd oed.

—Dyn ieuanc 20 oed, o'r enw Joseph Pierce, yn byw yn Leroy, Jefferson Co., N. Y., yn deall y geiriau Ysgrythyrol hyny yn llythyrenol, "Ac os dy lygad dehau a'th rwystra, tyn ef allan, &c.," "Ac os dy law ddehau a'th rwystra, tor hi ymaith," &c., a wnaeth ymgais i dynu allan un o'i lygaid, ond rhwystrwyd ef. Y diwrnod nesaf aeth i'r *woodshed*, dododd ei law ar y *block*, a thorodd ymaith ei fysedd â *hatchet*. Meddyliodd wed'yn nad oedd wedi tori digon ymaith, ac y dylasai dori ymaith yr holl law, gan fod ei lygad a'i law yn gwneyd iddo bechu. Triniwyd ei glwyfau gan feddyg. Ofnid er's rhai wythnosau fod ei synwyrau yn ymadael. Dygwyd ef i'r Lunatic Asylum, yn Utica.

—Dywedir y bydd i'r "*Passion Play*," yn arddangos dyddiau olaf Iesu Grist ar y ddaear, gael ei actio yn Booth's Theatre, yn New York, ar yr 16eg o Tachwedd. Dygir ef ger bron y cyhoedd dan drefniant Henry E. Abbey. Ni oddefir cymeradwyaeth (*applause*). A oddefir hyn yn New York?

—Adroddir fod y Llywodraeth Germanaidd wedi rhoddi gorchymyn i yru ymaith y Jesuitiaid a ymfudasant i Alsace Lorraine.

—Cymerodd ffrwydriad dychrynllyd le foreu yr 8fed o'r mis diweddaf mewn pwll glo yn Sir Durham, Lloegr, trwy yr hwn y collodd 165 o bersonau eu bywydau. Seaham Pit y gelwir y pwll. Y mae ar oror Môr y Gogledd, a thua pum' milldir o Sunderland. Drwy y ddamwain hon gwnaed 76 o wragedd yn weddwon, a 284 o blant yn amddifaid. Cafodd 400 o geffylau hefyd eu lladd.

—Mae y Parch. O. B. Frothingham, gweinidog Unitaraidd yn New York, wedi rhoddi fyny y weinidogaeth. Wrth son am dano fel pregethwr, dywedai y New York *Herald*:—"Pedwar congl-faen ei gredo ydynt, ddarfod i Dduw wneyd llawer iawn o gamgymeriadau; nad yw y Beibl yn werth ei ddarllen; fod Crist yn fwy neu lai o dwyllwr, a bod anfarwoldeb yn ffugiol. Ar y sylfeini hyn adeilada dy yn yr hwn nid oes dim i'w fwyta neu yfed, a tho yr hwn sydd yn gollwng dwfr i mewn rhwng pob *shingle*. Ymddengys fel y dyn a lifiodd ymaith y gangen ar yr hon yr oedd yn eistedd, dan yr esgus o ysgythru y pren."

—Mae gan Rwssia 650,000 o bendefigion etifeddol, a 380,000 o rai ag y bydd eu teitlau yn diweddu gyda hwy.

—Yn y Talaethau Unedig, yn ystod y fl. 1879, mae y Post Office wedi trosglwyddo 246,000,000 o *postal cards*, ac amcan-gyfrifir y bydd i'r nifer godi yn ystod y flwyddyn hon i 300,000,000.

—Mae California yn gobeithio cael ei rhestru yn fuan yn mhlith y Talaethau cotwm, a sieryd am adeiladu *factories* ar unwaith i weithio i fyny y cotwm.

—Dywedir mai y Parch. Phillips Brooks, o Boston, yw y gweinidog Americanaidd cyntaf a bregethodd yn Westminster Abbey o flaen y frenines.

—Mae nifer mawr o Negroaid Iuddewig wedi eu darganfod yn Affrica, yn agos i gyffiniau Barbary.

—Sicrhaodd *peddler* yn Wisconsin bob prynwr teisen o'i sebon, ond iddo ei defnyddio nes cyrhaedd ei chanol, y ceid yno $5 yn aur. Torodd y prynwyr y teisenau yn agored, ac ni chawsant ddim arian o'u mewn. Atafaeliwyd y twyllwr. Dadleuai y pedler, ddarfod i'r prynwyr, wrth dori i mewn i'r sebon, yn lle ei ddefnyddio yn y modd arferol, droseddu teleran y gwerthiad, a chan hyny nas gallent yn gyfreithlon ddwyn cwyn yn ei erbyn. Penderfynodd yr Ynad fod yr amddiffyniad yn gadarn, a gollyngodd y carcharor yn rhydd.

— Sonir am adnewyddu hen gyfraith yn Boston, yn gofyn am i bob math o gerbyd gario goleuni yn y nos.

—Mae enillion yr amrywiol reilffyrdd yn y wlad hon yn dangos fod masnach yn gyffredinol yn cynyddu yn gyson.

—Ai Cymry yw y rhai'n? Un Sul yn ddiweddar, yn Leadville, Colorado, saethodd Gomer Richards (gynt cadben yr heddgeidwaid yno) un Edward Jones yn farwol. Yr oedd y dynion wedi cweryla. Dywedir i Jones daflu ceryg at Richards, yr hwn mewn ad-daliad a daniodd arno.

—Darfu ymchwiliad, yn Baltimore, Md., ddatguddio y ffaith ddarfod i Negro gwallgof o'r enw Moses Carter, gael ei gadw wedi ei gadwyno wrth y llawr mewn *garret* am ddwy flynedd, gan ei wraig.

—Bu yr Arlywydd Hayes, gyda nifer o gyfeillion, yn ymweled â California y mis diweddaf. Cafodd groesawiad brwdfrydig yn mhob man lle y bu. Dywedir ei fod yn cynllunio taith o amgylch y byd yn fuan ar ol gorpheniad ei dymor Arlywyddol. Dywedir y cymerir ef mewn cadlong perthynol i'r Llywodraeth.

—Cyflawnodd dau neu dri o ddynion hunanladdiad yn ddiweddar trwy daflu eu hunain i'r afon Niagara, uwchlaw y rhaiadr ofnadwy. Perthynai un o honynt i Utica, N. Y.

—Gwerthodd y Llywodraeth dros wyth miliwn o erwau o'r tiroedd cyhoeddus yn ystod y flwyddyn arianol ddiweddaf.

—Hysbysir am farwolaeth pedwar-ar-hugain o weinidogion yr eglwys Bresbyteraidd Ogleddol er cyfarfod y General Assembly yn Mai diweddaf.

—Suddodd yr agerlong *Aurora* ar y môr yn ddiweddar pan ar ei thaith o Oporto i Southampton. Collodd 50 o bersonau eu bywydau.

# DYDDANION.

—Pan ofynwyd i blentyn, Pa rai oeddent dair gwledd fawr yr Iuddewon?—atebodd ar unwaith gyda'r parodrwydd mwyaf, "Brecwast, cinio, a swper."

—Ryw dro yr oedd yr Archddiacon Dennison yn cael ei wasgu yn lled galed mewn dadl, eto yr oedd yn benderfynol i ddal ei dir goreu y gallai; ac o'r diwedd collodd ei wrthwynebwr ei amynedd, a gwaeddai allan, "Edrychwch yma, syr, a ydych chwi yn caniatau fod dau a dau yn gwneyd pedwar?" "Nid wyf yn barod i wneyd caniatad o'r fath bwysigrwydd," ebai yr Archddiacon, "hyd nes y rhoddwyf i'r mater yr ystyriaeth fwyaf trwyadl; weithiau tybir fod dau a dau yn gwneyd dau-ar-hugain.

—"Cymer dri allan o chwech, faint fydd yn weddill?" gofynai athraw i fachgen lled ddwl. "'D wn i ddim," oedd yr ateb. Yna er mwyn ei helpu, ebai yr athraw, "Pe bae genyt ti chwe' afal, a phe gofynwn i am dri o honynt, pa sawl afal fyddai genyt ti wed'yn?" "Chwech." "Sut felly?" "Am na wnawn i mo'u rhoi nhw i chwi."

—Y budd o adferteisio yn ddioedi. Collodd dyn sypyn o arian. Yr oedd yn ddyn synwyrol, a rhoddodd hysbysiad yn y newyddiadur ar unwaith. Yn y boreu cafodd yr arian—yn ei fotasen.

—Ryw dro, yn rhyw le, pan y cesglid arian at adeiladu addoldy, deuwyd a'r *subscription list* at siopwr lled gyfoethog, a gofynwyd iddo am ei gyfraniad. Tanysgrifiodd ei enw a'r swm yn y dull hwn:

Samuel Spriggs, (yr unig le yn y dref lle y gellwch brynu un-pwys-ar-ddeg o siwgr am ddolar,) ................ $5.00

—Gwnaeth teiliwr Germanaidd gôt i ddyn ieuanc, ac erbyn ei threio cafwyd ei bod lawer iawn yn rhy lac; ond esgusododd ei hun trwy waeddu allan, "Mae y gôt oll yn iawn—y dyn ieuanc sydd yn rhy fain."

## WILL YOU MEET ME AT THE RIVER?

Words and music by T. J. LAWRENCE.

Will you meet me at the river? Meet me on the blissful shore?
Where the pains of life are over, Where we'll meet to part no more.

*Chorus. Duet.*
Yes, I'll meet you at the river, Meet you on that blissful shore;

*Full Chorus.*
There we'll sing with our Re - deemer, Praising him for - ev - er more.

Friends are waiting at the river,
Waiting on the other shore;
They are waiting with their Savior,
Soon we'll meet to part no more.
Yes, I'll meet you, &c.

They are singing at the river,
I'm redeemed through Jesus' blood,
Giving praises to their Savior,
Glory, glory be to God.
Yes, I'll meet you, &c.

# Y WAWR.

CYF. V.] TACHWEDD, 1880. [RHIF. 8.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## COFIANT MR. D. S. ROBERTS (DAFYDD DYFED), HYDE PARK.

GAN Y PARCH. J. P. HARRIS, PROVIDENCE, PA.

Cofir gyda brwdfrydedd mawr am hyawdledd yr areithiwr; doeth-fesurau y gwladweinydd; gorchestion y gwladgarwr, a buddugoliaethau y milwr ar faes y gwaed. Edmygir awen y bardd; diwydrwydd yr hanesydd; cywreinrwydd yr arliwydd, a threiddgarwch yr athronydd. Teimlir yn eu marwolaeth, galerir yn ddwys am danynt, a defnyddir aur ac arian, dyfais a llafur i enwogi eu coffadwriaeth, er nofio eu henwau i lawr i'r oesoedd dyfodol.

Y mae yn wahanol iawn gyda golwg ar y dyn duwiol, er mai efe yw y buddugwr mwyaf o bawb, yn "fwy na choncwerwr;" a'r dyngarwr penaf, gan mai Cristionogaeth sydd i wareiddio y byd, a dedwyddoli dynolryw. Y mae efe yn dechreu ei yrfa yn ddisylw o du y ddaear; yn ymdrechu am y gamp uchel yn ddystaw, ac yn gorphen ei yrfa yn dawel, mewn tangnefedd.

Nid poblogrwydd yw y nod y mae efe yn cyrchu ato—ei weled gan ddynion, a chael canmoliaeth y lluaws; ond gwasanaethu ei genedlaeth; ymorchestu y mae, pa un bynag ai cartref ai oddicartref, am fod yn gymeradwy gyda Duw, gan wybod fod y defnyddioldeb penaf yn gysylltiedig â'r duwioldeb mwyaf.

Ganwyd gwrthddrych ein cofiant ger Abergwaen, yn Sir Benfro, Dyfed, Awst 5, 1819. Mab ydoedd i Stephen Roberts ac Elizabeth ei wraig. Yr oedd ei berthynasau o du ei dad yn ddynion cyfrifol, yn dda arnynt yn y byd, ac felly yn ddylanwadol mewn byd ac eglwys. Symudodd ei rieni i Rymney pan oedd Dafydd yn fachgenyn wyth mlwydd oed; ond yr oedd golygfeydd rhamantus Abergwaen wedi gadael y fath argraff ar ei feddwl ieuangaidd fel yr oeddent wedi aros yn annileadwy hyd y diwedd, a charai ymddyddan yn aml â'r ysgrifenydd am olygfeydd swynol ei faboed.

Ni chafodd y bachgen "Dafydd Dyfed" nemawr fanteision addysg yn moreu ei oes, a chwynai o'r herwydd yn aml; dywedai ei fod yn methu dysgyblu ei feddwl wrth ei ewyllys, fel y carai; eto daeth yn feddyliwr cryf, ac yn hoff iawn o lenyddiaeth gwlad ei dadau. Yr oedd yn *self-made man* yn ngwir ystyr y gair; fel bardd a llenor yr oedd wedi cyrhaeddyd safle gymeradwy, a chydnabyddid ef gan y frawdoliaeth farddol fel un o honynt eu hunain. Yr oedd ynddo awydd a thueddfryd cryf at hanesion hynafiaethol, fel ag y mae rhai o'i erthyglau yn y new-

yddiaduron yn profi; a gwyr yr Iforiaid yn dda am ei allu yn y cyfeiriad hwn.

Yr oedd ein brawd wedi cael addysg grefyddol o'r iawn ryw ar yr aelwyd; wedi ei anog mewn gair a gweithred i "gofio ei Greawdwr yn nyddiau ei ieuenctyd;" a daeth yr angen i'r teimlad un diwrnod; daeth yn wasgfa arno gyda golwg ar ei gyflwr—mater ei enaid yn gwasgu yn drwm arno. Do, cafodd ei hun yn bechadur colledig, ac yn y cyfyngder hwnw trodd ei olwg i Galfaria, a gwelodd Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd; gwelodd werth yr aberth yn ei wiwdeb mawr, a theimlodd rinweddau y gwaed sy'n glanhau oddiwrth bob bai. Ymwasgodd at bobl yr Arglwydd, a phenderfynodd roddi ei hun i'r Arglwydd, ac yna i'w bobl; ac yn Jerusalem, Rhymney, y bu hyn. Bedyddiwyd ef ar broffes o ffydd yn yr Arglwydd Iesu, gan Levi Thomas, gweinidog yr eglwys y pryd hwnw, a daeth yn gyfranog o freintiau ty yr Arglwydd—yn frawd yn Nghrist.

Ymunodd mewn priodas â Sarah Jeremy, ar y 6ed o Mai, 1844, yr hon fu iddo yn ymgeledd gymwys hyd y dydd y daeth angeu i'w gwahanu. Braint oedd iddo gael cydmares bywyd ag ydoedd yn gyffelyb iddo ei hun mewn haelfrydedd a charedigrwydd Cristionogol; un yn rhagori o ran tiriondeb a hynawsedd ei thymerau. Dywedodd wrthyf lawer gwaith, na fuasai yr hyn ydoedd, oni bae cymorth ei anwyl briod; ni fu dau yn caru yn fwy cywir erioed. Ni fu iddynt blant, ond cawsant fod yn rhiaint i ddwy ferch ei brawd, y rhai a adawyd yn amddifaid yn marwolaeth eu tad yn 1861. Ond cafodd Lizzie a Maggie artref yn nhy a chalon D. S. Roberts a'u modryb. Y maent heddyw, yn nghyda'u teuluoedd, yn dwys alaru gyda'n chwaer amddifad, ar ol yr hwn oedd yn anwyl iawn ganddynt oll.

Yn Nhredegar, Sir Fynwy, yr oedd ein brawd yn cartrefu pan ymfudodd i'r wlad hon; ac yr oedd ganddo adgofion melus am eglwys Siloh trwy ei holl yrfa. Yn Johnstown, Sir Cambria, y dechreuodd ei yrfa yn America, ond nid hir y bu yno, rhyw ddeuddeg mis, cyn iddo symud i Hyde Park, Pa.; ac y mae oddiar y symudiad hwnw ryw ugain mlynedd bellach. Yn Hyde Park yr arosodd, y llafuriodd, ac y gorphenodd ei daith. Gwelodd lawer o gyfnewidiadau ar yr eglwys yno yn ystod yr ugain mlynedd hyny; gwelodd ei sefydliad yn Scranton (er nad ydoedd yno pan ddechreuwyd yr achos), a'i symudiad i Hyde Park. Gwelodd hi yn isel ac yn llwyddianus; yn ychydig nifer, ac yn lluosog iawn, megys y mae y dydd hwn. Tra yn adeiladu y ty presenol, a'r eglwys dan fugeiliaeth J. P. Harris, cynelid cyfarfodydd neillduol yr eglwys yn nhy Mr. Roberts. Yr oedd ei ddrws ef yn agored bob amser i dderbyn arch cyfamod yr Arglwydd, a bendithiwyd ef, megys Obed-edom gynt.

Yr oedd llafur yr ymadawedig yn cael ei werthfawrogi yn fawr fel gweithiwr yn yr Ysgol Sul, gan ei gyd-athrawon, a chan y dosbarth a ddysgai efe; cafodd amlygiad o hyn mewn anrheg werthfawr ag y teimlai yn falch o honi. Yr oedd yn ffyddlawn yn ei holl gylch, ac yn mhob cylch eglwysig. Gwasanaethodd swydd diacon yn yr eglwys am flynyddoedd, gyda chymeradwyaeth mawr. Rhoddodd lawer o'i sylw ac o'i amser i wasanaethu, gyda gradd helaeth o bwyll ac addfwynder. Do, bu y brawd Roberts yn hynod o ddiwyd a manwl yn ei gylch swyddogol—lles yr achos, a'i gyfrifoldeb i Ben mawr yr eglwys yn ei gymell. Teimlai fod trefn a chysur eglwysig yn ymddibynu cryn lawer ar lafur a gofal a hunan-ymwadiad y diaconiaid.

A gadael y swydd o'r neilldu, yr ydoedd gwerth a phwys ei gymeriad neillduol fel Cristion, yn deilwng o efelychiad; yr oedd ganddo barch calon i'r Beibl a'i wirioneddau; ac mae hyn yn profi purdeb ei grefydd; hoffai ddarllen, ac ymhyfrydai yn Ngair ei Dduw; darllen yn fyfyriol a sylwgar wnai efe; darllen i gofio, a chofio i wneyd. Yr oedd gair y Llyfr yn cael lle yn y galon, yn dyfod yn fywyd yn yr enaid, ac yn weithgarwch yn y fuch-

edd. Cristion byw oedd efe, yn caru gwaith ei Feistr. Yr oedd gostyngeiddrwydd yn nodwedd uchel yn ei gymeriad, yn amlwg yn ei eiriau ac yn ei ymddygiad. Dyma addurn ei gymeriad, wedi ymdrwsio oddi fewn â gostyngeiddrwydd; un wedi b~d yn athrofa yr hwn a ddywedodd, "Deuwch ataf fi, a dysgwch genyf, canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon."

Teimlodd lawer o ddyddordeb yn yr Urdd Iforaidd; yr oedd yn un o'r rhai blaenaf yn sefydlu Urdd Ifor Hael yn America, a gweithiodd yn ddiwyd a ffyddlon yn mhlaid llwyddiant y gymdeithas Gymreigaidd, ddyngarol hon, hyd ei fedd. Fel dyn pwyllog, tangnefeddus, a swyddog teilwng o'r ymddiried a osodwyd ynddo, mae'r frawdoliaeth wedi ei cholledu yn ei farwolaeth.

Yr oedd Mr. Roberts yn llawn o elfenau gwir gyfaill; wedi iddo unwaith ymgydnabyddu a rhoddi ymddiriedaeth mewn dyn, deuai yn gyfaill iddo, a chyfaill na wnelai dim ond bradwriaeth neu droseddiad deddfau cyfeillgarwch, ei ddadgysylltu; ymlynai wrth ei gyfaill drwy y tew a'r teneu, y teg a'r garw, a'i amddiffyn ar ei gyfaill yn ei gefn yn gystal ag yn ei wyneb; a meddai ar ddigon o wroldeb cyfeillgarol i fynegu gwendidau a beiau ei gyfaill wrtho ei hun, ac nid wrth arall. Yr oedd Mr. Roberts yn un o'r brodyr mwyaf cyfeillgar, a'i ffordd yn enillgar iawn mewn cyfeillach. Y dynion goreu, mwyaf crefyddol, tebycaf i'r Blaenor mawr, oedd ei gyfeillion anwylaf; carai ymddyddan am waith gras ar ei gyflwr—am hen wirioneddau y Beibl ag ydynt yn agos a bod yn *obsolete* yn awr, gan ddosbarth a gam-enwir yn athronyddion. Yr oedd ei ffydd yn ansigledig ac ansigladwy yn y Datguddiad Dwyfol, a hen drefn y cadw wrth fodd ei galon; ond gwas anfuddiol yn ei olwg ei hun ydoedd, ond gwerthfawr yn ngolwg ei Dduw; llesg ac egwan ynddo ei hun, ond mwy na choncwerwr drwy yr hwn a'i carodd.

Dyn manwl iawn ydoedd yn nefnyddiad ei amser; byddai ei oriau hamddenol—ni fynai oriau segur—yn sicr o gael eu treulio mewn darllen rhyw lyfr da—i fyfyrio a chyfansoddi ar ryw destyn neu gilydd. Weithiau byddai yr awen yn ei gymell i farddoni—llenyddiaeth hanesyddol bryd arall yn denu ei fryd—nis gallai fod yn segur—diwyd oedd gyda phob peth; a "llaw y diwyd a gyfoethoga."

Os meddyliwn am ei haelioni, ei gydymdeimlad â'r tlawd a'r rheidus, yr anffodus, y weddw a'r amddifaid, daw y nodwedd hwn yn amlwg yn ei lafurus gariad—yn ei lafur personol gyda'r gwaith. Yr oedd ymgeledd yn ei dy (bwthyn y bardd, fel y galwai ef) i bererinion Seion, ac yn arbenig i weinidogion yr efengyl; a hoffai ddangos caredigrwydd i'r brodyr ieuainc oedd yn parotoi i'r weinidogaeth. Yr oedd ei enaid yn llawenychu yn llwyddiant y genadaeth, ac yn helaethiad terfynau teyrnas yr Emanuel. Yr oedd ei grefydd yn ymddangos yn ei ffrwythau—pren yn dwyn ffrwyth toreithiog ydoedd, a'i weithredoedd yn ei glodfori yn y porth.

Ond bu farw, wedi dyoddef cystudd trwm am bum' wythnos, o'r eisglwyf ac enyniad yr ysgyfaint. Methodd medr meddygol, a phob tiriondeb o eiddo y teulu, ei adferyd; bu farw boreu dydd Iau, Medi 9, yn 62 mlwydd oed. Torwyd ef i lawr yn dwysen addfed, ac yn mawr awyddu am ei ddatodiad; yr oedd wedi ei lwyr enill 'gan swynion y byd arall—wedi colli pob gafael ar y ddaear; ei ymarweddiad yn y nefoedd—wedi colli ei afael ar ei gyfeillion mwyaf mynwesol, ac, fel Simeon gynt, wedi colli ofn marw, a'r Mab mawr yn mreichiau ei ffydd, a Iesu Grist, canolbwync gogoniant, y cyfaill goreu, yn cael ei anwylo ganddo, yr hwn oedd yn bob peth, ac yn mhob peth iddo yn ei oriau olaf. Teimlai fod rhwymyn y fodrwy briodasol ar gael ei dori, ond fod undeb priodas y cyfamod tragywyddol i bara byth. Ein colled ni oedd ei elw ef; colled mawr, ond elw mwy. Yr ydym wedi colli ei weddiau, ei gyngorion dwys, a'i brofiad nefol—colled i'w deulu, i'w briod, i'r eglwys; colled i'r gymanfa, ac i'r cyfenwad; ond elw iddo ef—llawenydd ei Ar-

glwydd; llawenydd digymysg, wedi dianc o wlad y cystudd mawr, wedi ei olchi yn y ffynon, a'i gannu'n wyn yn ngwaed yr Oen.

Ddydd yr angladd darllenodd a gweddiodd y brawd J. P. Harris, Providence, wrth y ty; yn yr addoldy, gweddiodd y brawd D. W. Morris, Taylorville, a phregethodd J. P. Harris oddiar Luc 2: —, a siaradodd y brawd John Evans, R. I., yn bwrpasol iawn yn yr iaith Saesneg, a gweddiodd y Parch. E. B. Evans (A.); ar lan y bedd siaradodd D. W. Morris wedi darllen gwasanaeth claddu yr Iforiaid gan T. D. Davies, Ysw., Hyde Park. Felly y gorphwysa ein brawd. Efe a aeth i dangnefedd.

D. S. Roberts, dwys, arabawl,—cyfaill
Ac Ifor penigawl;
Ei eiddo ef—meddai hawl
Yn y bridwerth ysbrydawl.

D. S. o'i fodd da was fu—a rhodiodd.
Ar hyd llwybr ymwadu;
Ei orchwyl oedd cynyrchu - ffrwythau mel,
Y llwyn isel yn ngwinllan Iesu.

Ei yrfa hyd y terfyn - a redodd
Drwy rwydau y gelyn;
Ei arbed wnawd a'i dderbyn
Yn y nef, a'i gannu'n wyn.

Yr afon ddofn nid ofnodd—drwy'i thonau,
Yn angau diangodd;
Yn yr hafan y glaniodd,
Aeth yn ëwn i fewn o'i fodd.

Er wylo ni cheir ei weled—hoff frawd,
Daeth y ffrwyth yn addfed;
Gwely'r ddae'r, Ow! 'r galar dd'wed,
Darfu dydd "Dafydd Dyfed."

O, fy mrawd, bu dy rawd yn anrhydedd,
Yn wir enwog a llawn o rinwedd;
Gem yn dy goron yw y gwirionedd,
Yn angau nofiaist i fôr tangnefedd;
Dy foes fu'n lân hyd dy fedd—gorchfygwr
Yw'r gwir filwr yn mro gorfoledd.

J. P. Harris (*Ieuan Ddu*).

## Y PLA YN LLUNDAIN YN 1665.

Ymddengys fod yr hyn oedd waethaf yn mhob dolur wedi ei grynhoi yn y pla hwn. Nid oedd holl ymdrech y meddygon ond ofer a diles. Yr oedd mor gryf ag angau, ac yn angau ei hunan i bob clefyd marwol arall. Yr ydoedd cyffyrddiad â'r claf, ie, edrychiad arno yn unig, yn angeuol. Yr oedd ei arwyddion mor ddisymwth, fel y bu llawer teulu yn eistedd mewn dedwyddwch wrth eu pryd bwyd, a phan welent ysmotyn y pla yn dechreu cochi ar y gwyneb, ymwasgarent oddiwrth eu gilydd am byth. Torwyd holl gylymau cymdeithas ganddo. Pan welai y mamau nodau yr haint ar eu rhai bach wrth y fron, taflent hwy oddiwrthynt gyda'r braw mwyaf. Chwilid am y lleoedd dirgelaf yn nodded; rhai a aethant i longau, ac angorasant yn mhell yn y môr; ond yr oedd gan yr angel a dywalltai y phiol, droed ar y môr, yn gystal ag ar y tir sych. Nid oedd un gilfach yn rhy anial i'r haint ymweled â hi; ni allai neb ymguddio lle na allai y pla eu canfod; neb ffoi lle na allai y y trychineb eu dal. Yr oedd fel pe buasai y Nef wedi edifarhau gwneuthur dyn, ac am gymeryd ymaith yr holl hil ag ysgub dinystr. Anghofiwyd cyfiawnder gwladol, cauwyd i fyny y llysoedd barn; ffodd ceidwaid carcharau ymaith, gan adael y carcharorion yn eu gefynau. Cytunodd yr euog a'r dieuog mewn cyngrair, i aros yn eu celloedd er mwyn diogelwch. Tyfai glaswellt yn y marchnadleoedd; y gwartheg a ymwibient ar hyd y meusydd gan frefu a synu pa le yr oedd eu perchenogion. Daeth y cigfrain i'r ddinas, a nythent, heb i neb eu haflonyddu. Ni chlywid swn o un man—o weithfa na masnachdy. Am dro nid oedd masnach mewn dim ond mewn eirch, &c., a chyn hir darfyddodd hyny. Yr eglwysi a chapeli oeddynt a'u drysau yn agored o led y pen, ond ni elai pregethwr na gwrandawr i nemawr o honynt; at y bedd yr oedd gyrfa pawb. Teflid y physigwr a'r neb oedd dan ei ofal i'r un pentwr; cludid y cymun-roddwr a'i etifeddion yn yr un gert i dy eu hir gartref. Er bod dorau yn agored, a choffrau heb undyn yn eu gwylio, nid oedd neb yn lladrata; ni chlywid son am drosedd na rhinwedd—y pla! y pla!! oedd yn llenwi meddyliau pawb. Yn nghyrau y ddinas cyfarfyddid a minteioedd o gŵn yn udo, wedi colli eu per-

chenogion; trengai meirch a'u penau wrth y rhastal wag, am nad oedd neb i ofalu am danynt. Ni wnai hen gyfeillion ond edrych ar eu gilydd pan ymgyfarfyddent. Ni ofynai yr echwynwr am ei ddyled mwy, a darfu pob ymgecraeth rhwng cymydogion. Gwelid plant amddifaid dinodded, digartref, yn cerdded oddiamgylch, a chanfyddid llawer o honynt yn feirw yn nghonglau yr heolydd.

Nid yn Mhrydain yn unig yr ymddangosodd y pla yn ei gynddaredd; teithiodd dros drydedd ran y ddaear, megys cysgod cwmwl, fel pe buasai Rhagluniaeth am daflu digofaint am ryw bechod ar y byd, yr hwn oedd yn llosgi megys tân difaol.—*Hen Lyfr.*

## FFURF-WASANAETH (LITURGY).

GAN Y PARCH. LLEWELYN REES, JOHNSTOWN, PA.

Mae i Gristionogaeth, fel i bob peth arall a fedd fodolaeth benodol, ei nodweddion neillduol a gwahaniaethol. Wrth y nodweddion neillduol hyn yr adnabyddir hi, ac ynddynt y ceir seiliau ei holl hawliau i sylw a derbyniad. Un o'i nodweddion neillduolaf yw yr hon a gyflwynir i'n sylw yn y gyferbyniaeth darawiadol sydd rhyngddi a'r sefydliad Moesenaidd, sef hollol amddifadrwydd o rwysgfawredd allanol. Wrth ddarllen y gosodiad hwn, fe wêl y darllenydd meddylgar mai nid Cristionogaeth fel y dadlenir hi yn y sefydliadau gorwych, chwydd-deitlawl, ffugiol, a ystyrir yn Gristionogol gan filoedd yn awr, a feddylir; ond y Gristionogaeth syml a orwedda yn dawel, yn wythien auraidd yn mywyd a dysgeidiaeth y puraf a'r gostyngeiddiaf erioed—Iesu Grist a'i apostolion. Ymddadblyga Cristionogaeth bur mewn symlrwydd ac ysbrydolrwydd; tra yn wrthgyferbyniol yr ymddadlena goruchwyliaeth y "llythyren sydd yn lladd," yn rhwysgfawredd allanol defodaeth. Gelwir hyn gan yr Apostol yn "llythyren yn lladd," yn wrthgyferbyniol i'r ysbryd neu yr efengyl sydd yn bywhau. Gorfodid ysbryd yr addolwr dan y ddeddf i chwilio gyda manyldeb crefyddol am gyfryngau defodaeth, trwy ba rai y gallai gyflwyno ei wasanaeth i'r Jehofah mawr; ond gwahanol i hyn yw gwasanaeth Cristionogaeth. Mewn cwbl ymddibyniaeth ar addewidion Duw, ac mewn ymddiriedaeth drwyadl y cânt eu gwrando gan eu Tad, ymgasgla y "freninol offeiriadaeth" dan y Messiah at eu gilydd mewn cariad cynes, chwyddawl a dylifol, ac o ffynon orlifol calon lawn a gyflwynant yn ddibaid i Dduw aberth o weddi a mawl. Llawenydd, tangnefedd, a chariad sydd yn gyforiad yma; eu haddoliad sydd yn ymdywalltiad rhydd a gwirfoddol (*spontaneous*) calonau cyffyrddedig gan gariad Duw, a dylanwad ysbryd y gras.

Beth a feddylir wrth ffurf-wasanaeth neu ddefodaeth? neu beth yw y deffiniad athronyddol goreu o honynt? Fe feddylia yr annibynol ei feddwl, wrth gwrs, drosto ei hun, fel y dylai. Dyma yn bresenol yw meddwl yr ysgrifenydd: Defodaeth yw cylch allanol i weithredu, yn mha un mae y gweithredydd yn teimlo awdurdod uwchraddol sefydlydd, ac arferiad yn symbyliad mwy i'w feddwl weithredu, nag a ga oddiwrth bresenoldeb egwyddor gynwynol y ddefod ei hun. Pe dylanwadid ar ddyn gan egwyddor bwysig gynwynol yn y ddefod, cyfodid gan hyny y ddefod i fod yn fath o reidrwydd moesol, yr hyn ar unwaith a roddai le uwch yn ein meddwl i'r peth, na defod yn unig. Ni elwir bwyta, yfed, a gwisgo, ac anadlu, yn ddefodau, am fod egwyddor bwysig ynddynt sydd yn eu gwneyd yn anhebgorol reidiol i fodolaeth. Gwir y gellir edrych ar fath neillduol o wisgo, cerdded, a siarad, yn ddim ond defod; ond nid felly cerdded, gwisgo, a siarad, ynddynt eu hunain. Gwir fod bedydd a swper yr Arglwydd yn

ordinhadau o dan sêl Freninol — yr awdurdod uchelaf wedi eu sefydlu; ond pe na fuasai ychwaneg na hyny i'w cyflwyno i'n sylw fel pethau pwysig i'w cadw—pe na buasai egwyddor gymhellol i'w cadw yn yr ordinhadau eu hunain, at yr hon y gelwir ein sylw yn fynych yn y Gair, syrthiasai y ddwy ordinhad i'r un crebwyllradd (*category*) a seremoniau Israel. Mae y rhai a ufuddhant i'r ddwy ordinhad soniedig, yn unig am eu bod yn sefydliadau Brenin, neu am eu bod yn arferion y cyfundeb y perthynant iddo, yn eu darostwng i gylch defodaeth allanol gnawdol; yr hyn oedd gwir gyflwr y gyfran hyny o Israel ag oedd yn amddifad o ffydd i ddangos ystyr eu defodau. Dilys genym fod y Cristion goleuedig ar fater yr ordinhadau yn teimlo braint efengylaidd, yn gystal a rhwymedigaeth foesol, yn nglyn a hwy; cyfyd y rwymedigaeth foesol i ufuddhau o'r ffaith eu bod yn sefydliadau Pen yr eglwys; ond cyfyd y fraint o ufuddhau o'r teimlad hapus a gynyrchir yn yr ufudd-dod, yn herwydd priodoldeb naturiol yr ordinhadau ynddynt eu hunain i ddangos cydgyfarfyddiad cyflwr meddwl a chalon yr ufuddhawr, os nad yw yn rhagrithiwr, a rhyw egwyddor hawliol ar broffeswr yn y gyfundraeth y mae yr ordinhadau yn rhan o honi. Mae egwyddor yn yr efengyl a hawlia farwolaeth enaid i bechod cyn y gall ddyfod yn ddeiliad iddi; ac y mae yr hwn sydd wedi marw i bechod, ac wedi ei oleuo yn iawn yn nyben bedydd fel y dysg Paul a Phedr ef, yn teimlo y fath gyfaddasrwydd yn ffurf yr ordinhadau i arddangos ei deimlad a chyflwr ei galon drwy ras, fel y teimla fod yr ordinhadau nid yn unig yn bethau yr efengyl, ond hefyd fod yr efengyl yn yr ordinhadau. Ar ba dir arall y gellir cyfrif am lawenydd mawr dychweledigion y Pentecost a'r eunuch, nis gwn.

Y teimlad y gallai fod yn fuddiol gan ddarllenwyr y Wawr gael trem ar y pryd y dechreuwyd ffurf-wasanaeth, &c., a barodd i mi gymeryd y mater hwn i ysgrifio ychydig arno.

1. *Yr oes y dechreuwyd ffurf-wasanaeth yn y cyfnod Cristionogol, yr amgylchiadau dan ba rai y dechreuwyd ef, a chymeriad yr oes hono.*

Awdurdod o safle uchel iawn ar y mater dan sylw yw Rabiniaid teitlawl Rhydychain; a methant hwy ddyddio dechreuad ffurf-wasanaeth yn mhellach yn ol na'r bedwaredd ganrif. Dywedant y gellir olrhain eu ffurf-wasanaeth can belled yn ol a'r ganrif grybwylledig; a thaera eraill i ganol y bumed. Wel, chwareu teg iddi, mae yn cyrhaedd yn mhell—mae yn bur hen—ei gwallt sydd wyn, a'i phen a'i hysgwyddau sydd grymedig tua'r llawr, o ba le y daeth. Ac fel y mae arfer rhai hen ddynion, seilia hithau ddadl ar ei henaint, fod ganddi hawl i grediniaeth a derbyniad. Gofyna yn llyfndeg, a'i phwys ar ei ffon, am dderbyniad croesawus i gapelau a theuluoedd. Wel, yn gyfiawnder iddi, teg yw dweyd ei bod yn hen—yn ddigon hen i'w chyfrif yn mhlith yr hynafiaid; mae mor hen fel na fyddai achos iddi rwgnach pe byddai farw yn fuan. Ond er hyn mae miloedd yn y wlad hon ac yn Ewrop yn credu nad yw henaint ynddo ei hun yn gwneyd dyn yn eirwir a doeth—fod hen beth, fel ambell i hen ddyn, yn well offeryn yn llaw y diafol na pheth ieuanc. Haerant yn ddigywilydd yn wyneb hen ffurf-wasanaeth a'i holl gyfoedion, eu bod bedwar cant a phedwar ugain mlynedd yn rhy ieuanc i'w rhestru yn efengyl yr Hwn y mae ef yn Alpha ac Omega iddi. Mae llawer o bethau da ag nad ydynt yn efengyl; mae gwahaniaeth rhwng fod gwrthddrych yn beth efengyl, a bod efengyl yn y gwrthddrych; ac os ydyw felly gyda phethau da, pa faint mwy y mae felly gyda phethau drwg? Pa faint yn well ei fod yn hen, os nad yw ddigon hen? a pha faint gwell yw peth ieuanc, os nad yw ddigon ieuanc? Nid oes dim yn Gristionogaeth ag nad yw yn gofoed a hi, ac o dan sel ysbrydoliaeth, na dim yn Dduw nad yw yn ddiddechreu fel efe.

Nodweddid yr oes y ganwyd ffurf-wasanaeth ynddi, gan yr anwybodaeth a'r dirywiad mwyaf. Y pryd hwn yr oedd y "dyn pechod" wedi cyrhaedd

oedran pwysig--yr oedd goleuadau a dybid yn bwysig newydd fachludo yn ngorllewin angau—Ambrose, Augustine, Gregory, Basil, a Chrysostom, gan adael yr eglwys mewn tywyllwch mor annhreiddiadwy i'r golygon, fel nad yw wedi gallu ymryddhau o hono hyd y dydd hwn.

Yn mhlith cynyrchion neillduol a dyeithrol y cyfnod dan sylw—y bedwaredd ganrif—gellir enwi, ffurf-gredoau, neu gyffesion ffydd, wedi eu hawdurdodi gan gyngorau anysbrydoledig; dyddiau sanctaidd, megys Nadolig, &c.; arferid cwyr-ganwyll, halen, mel, a gwin, yn ngweinyddiad bedydd. Yn yr amser gogoneddus (?) hwn y dechreuwyd taenellu ar fabanod, ac y penodwyd y Pasg a'r Sulgwyn fel adegau neillduol i fedyddio arnynt. Dygwyd byrddau i arferiad a elwid allorau; mewn gwir, tueddai pob peth yn y ganrif hon at ddadblygu cyfbendodaeth; yr oedd "corn bychan" Daniel wedi ymgyrhaedd i faint diogel; "dyn pechod" Paul wedi cyrhaedd cyflawn oed; a hi, gwraig syrthiedig yr Oen yn ei gwisg borphor ac ysgarlad, yn addurniedig gan aur a meini gwerthfawr, ac yn marchogaeth ar fwystfil lliwiedig, annaturiol, a saith ben a deg corn iddo, sydd yn dechreu enill sylw edmygol y byd ati yn ei hymddangosiad allanol pompus, ac yn mywiogrwydd ei hieuenctyd. Nid oedd bywyd proffeswyr crefydd yn y cyfnod hwn, fel y mae yn rhesymol meddwl, yn fymryn gwell na'u crefydd ddirywiedig; cynwysai yn unig rinweddau ffugiol o fath ag a ddygwydd yn mywyd meudwy. O wroldeb Cristionogol a rhinweddau y pedair canrif flaenorol, nid oedd yn gymharol ond ychydig o honynt; ond yn eu lle ceid cyfriniaeth, ofergoeliaeth, a phob rhywogaeth o lygredigaeth yn drefn y dydd. Dyna i ti, ddarllenydd, gip-olwg i fewn i gymeriad oes enedigol ffurf-wasanaeth; a hi, yn nghyda'r credo dynol-ordeiniedig, oedd yn hiliogaeth naturiol llygredigaeth yr oes. Y fath oedd anwybodaeth clerigwyr y ganrif hon, fel na allasai llawer o honynt ysgrifenu eu henwau; ac fel y gallent weinyddu yn y moddion gyda gradd o briodoldeb, rheidiol oedd darparu math o ffurf ystrydebol i'r gwasanaeth. Y rhai ni fedrent wneyd ffurf iddynt eu hunain, a fenthycent un eu cymydogion, neu a geisient gan eu cymydogion galluog i hyny eu cynorthwyo i wneyd un iddynt. Fel hyn esgynodd gwraig yr Oen i orsedd bwystfil; ac wedi gosod heibio wisg hardd, bur, ddilychwinedig ei phroffes wreiddiol, a aeth i ddilladgell yr archdwyllwr, ac a ddaeth allan er ei chywilydd, ac a ymddangosodd yn ngwydd Asia, Ewrop, a'r byd yn y wisg arwyddol o'i chymeriad yn ol Dat. 17 : 4, 5.

Yn yr olwg gyffredinol hon ar lygriad yr eglwys, nid ydym am i neb ddeall nad oedd gan Dduw ddynion pur y pryd hwnw, fel bob amser, i'w enw; ond rhaid edrych arnynt yn fwy fel unigolion nag fel cynulleidfaoedd; a rhaid edrych am buredd cymeriad y tystion yn fwy yn y goleuni o ddidwylledd egwyddor calon, a dyben bywyd, nag yn y goleuni o berffeithrwydd efengylaidd pob syniad yn eu credo. Yr oedd pawb, fwy neu lai, yn rhyw ystyr neu gilydd, wedi ymlygru. Yn y llygredigaeth mawr soniedig, daeth credoau sectarol a ffurf-wasanaeth i gael lle Gair Duw; a daeth yn arferiad pur gyffredinol i ddirymu gorchymynion Duw trwy draddodiadau rhyw dadau neu gilydd. Yn yr oes hon hefyd yr ymlithrodd y meddwl i'r eglwys y gwnai capeli heirdd foddio yn fawr yr hwn ag nad oedd ganddo yn nyddiau ei gnawd "le i roi ei ben i lawr." Hefyd yn y cyfnod hwn hoffai y wraig a'r wisg ysgarlad *actio eaves-droppers* dan fargod y chwareudai. Hoffodd yn fawr y gerddoriaeth oedd yno, a dan ei swyn penderfynodd hithau gael offerynau cerdd i'w themlau, a chael côr canu detholedig er arwain y bobl i'r arferiad, rhy gyffredin yn awr, o addoli Duw trwy ddirprwy. Rhyfedd i'r eglwys syrthiedig a hollol lygredig weled y priodoldeb o'r pethau uchod, os ydynt yn iawn, a'r eglwys burach yn y cyn-ganrifoedd, pan oedd ei hathrylith ddyfeisgar heb ddirywio cymaint, fethu gweled hyn! Buasai yn dda pe cyfyngasid y cyflwr uchod i'r bedwaredd

ganrif yn unig, yn lle ei fod, fel y gwelir yn bresenol, wedi gwasgu ei argraff ar bob cyfnod o hyny hyd yn awr, nes y mae y canu yn neillduol wedi syrthio i ddwylaw yr ychydig a ystyrir sydd yn *artistes* yn y gelfyddyd, a chorph y gynulleidfa yn llonydd a digyffro, fel pe na fuasai Duw yn dysgwyl oddiwrthynt hwy aberth mawl! A fydd y cyfryw yn foddlon i betbau fod felly yn y nefoedd, wys? Gyda yr eithriad o'r arferiad o addoli saint a delwau, clust-gyffes, traws-sylweddiad a gweddwdod clerigwyr, ac efallai ychydig bwyntiau eraill, gellir dweyd fod ffurfwasanaeth Eglwys Loegr yr un a'r un Babyddol, a bwriadwyd hi yn y ddau gysylltiad yn wreiddiol i ddiwallu diffyg gweinidogion anwybodus y rhai ni allent gario yn mlaen yn ddichlynaidd yr addoliad hebddi; fel y bwriadwyd y byrdreithiau (*homilies*) i gyfarfod diffyg y naw o bob deg clerigwyr, y rhai ni allent wneyd tipyn o bregeth eu hunain. Bu yn rhaid i'r fam a'i merch wrth ryw *Frutus* yn mhob oes. Ond chwareu teg i glerigwyr Rhufain a Lloegr, nid ydynt ar benau ei hunain yn y diffyg diweddaf a nodwyd, fel y gwyr aml i *so-and-so* yn mhlith Ymneillduwyr. Yn unol â ffurf-wasanaeth Rhufain a Lloegr, mae babanod yn cael eu hadgenedlu a'u himpio i gorph Crist pan fedyddir hwy; a'r oll a drengant ac a gleddir ganddynt a ddodir i lawr, "pridd i'r pridd, lludw i'r lludw, mewn gwir ddiogel obaith am adgyfodiad i fywyd tragywyddol." Mor uchelfreintiawl yw y plant a enir i'r Lwysbenaeth Seisnig; a deublyg freintiawl y rhai a gleddir ganddi!!

[*I barhau.*]

---

## Y LLAFAR-BEIRIANT.

Pwy, pwy ydyw hwn sy'n llefaru
 Heb enau na thafod, fel dyn?
Offeryn mor syml a dinod
 O ran ymddangosiad a llun:
'Rwy'n clywed lleferydd hen gyfaill
 Sy'n gorwedd yn meddrod y glyn,
Adwaenaf ei lais yn mysg lluaws—
 Paham, a pha fodd y mae hyn?

Y meddwl diderfyn ei allu
 Sydd wedi anrhegu y byd
A pheiriant rhyfeddol a chywrain,
 Er dangos ei gynydd o hyd;
Mae'n ail i beirianwaith y Crewr,
 Llefara bob iaith ar ol dyn
Mor llithrig a chroew, mor debyg
 I'w dafod leferydd ei hun.

Mae'n chwerthin mor ysgafn ei galon,
 Ac wyla yn uniawn fel dyn,
Fel pe yn feddianol ar deimlad,
 A chalon ac ysbryd ei hun;
Gall ganu mor beraidd a'r goreu
 O felus gerddorion ein gwlad,
Ac adrodd mor hyawdl a'r plentyn
 Yn adrodd ei gwyn wrth ei dad.

Fe geidw hyawdledd areithwyr
 Galluog, dysgedig y byd,
Pob pwyslais, eu tôn a'u pesychiad,
 Gofnoda yn gywir o hyd;
Llefara y peiriant gyfrolau
 I swyno yr oesau a ddel,
Tra'r tafod fu yn eu llefaru
 Gan angau yn nghlo o dan sêl.

Mor hyfryd i'r plant ar yr aelwyd
 Fydd clywed llais tyner llawn hedd
Y fam oedd mor anwyl yn siarad
 Fel pe o waelodion y bedd;
Bydd gwrando'r cyngorion a'r weddi,
 Fel gynt wrth yr allor yn nhref,
O'r peiriant yn hynod effeithiol,
 Tra hi gyda Christ yn y nef.

A melus gan filoedd fydd clywed
 Gair olaf eu plentyn o'r glyn,
A'r gân a arferai ei chanu
 Fydd anwyl a gwerthfawr pryd hyn;
Trwy gymorth y peiriant llefara,
 Fe erys adgofion o hyd
Yn fyw am ein câr a'n hanwyliaid,
 Tra hwynt yn y dyffryn yn fud.

Yn ddiau y gallu Anfeidrol
 I'r hyf feddwl dynol a roes
Ddrychfeddwl o'r peiriant llefaru,
 Prif gampwaith gywreiniaf yr oes;
Dedwyddwch a chysur dynoliaeth
 Yw dyben bendithion y Nef—
Boed tafod y peiriant llefaru
 Yn moli ei enw mawr ef.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

## ARAETH AR Y BEIBL.

GAN MR. J. W. WILLIAMS, FREEDOM, CATTARAUGUS, N. Y.

Gyda'r priodoldeb mwyaf y gellir ystyried y Beibl yn arglwydd ar bob llyfr arall. Y mae hanfod pob llyfr arall ag sydd o werth yn deilliaw o hwn. Dyma ffynonell wreiddiol dysgeidiaeth. Y mae addysg a llenyddiaeth bur wedi derbyn eu bodolaeth mewn modd uniongyrchol o'r oraclau dwyfol. Sylwn ar y Beibl mewn pedwar o ystyriaethau.

1. *Y Beibl yn ei Ddwyfoldeb.*—Y mae y gyfatebiaeth sydd yn bodoli rhwng llyfr natur a llyfr datguddiad yn profi hyn. Er cymaint o ddarganfyddiadau sydd wedi eu gwneyd yn mhob cangen o wybodaeth ddynol, mewn Daeareg, Daearyddiaeth a Seryddiaeth, &c., nid oes yma ddim yn gwrthdaro yn erbyn tystiolaeth anffaeledig Gair Duw. Os gellir profi trwy ddaeareg fod y byd yn filiynau o flynyddoedd o oedran, nis gall byth fyned yn mhellach yn ol na *date* y Beibl, sef "Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear." Os gellir drwy gyfrwng seryddiaeth esgyn i'r nef, a phwyso a mesur y planedau megys mewn clorianau, dywed y Beibl mewn iaith eglur, mai gwaith bysedd yr Anfeidrol ydynt, y rhai a ordeiniodd efe. Y mae llyfr natur a llyfr datguddiad yn cyduno i amlygu mai'r un awdwr sydd i'r ddau. Os trown i'r Beibl ei hun, cawn ddigon o brofion o'i ddwyfoldeb. "Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw," &c. "Gan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un brophwydoliaeth o'r Ysgrythyr o ddeongliad priod. Canys nid trwy ewyllys dyn y daeth gynt brophwydoliaeth, eithr dynion sanctaidd Duw a lefarasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glan." 2 Tim. 3: 16, 17; 2 Pedr 1: 20, 21.

2. *Y Beibl yn ei Henafiaeth.*—Yn y Beibl yr ydym yn cael yr hanesyddiaeth foreuaf. Yma y cawn wybod pa fodd y daeth *chaos* cymysglyd i drefn a phrydferthwch, trwy ddylanwad yr Ysbryd Dwyfol, ag oedd yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd. Yma y cawn hanes dechreuad y teulu dynol yn mherson y pâr dedwydd yn ngardd Eden. Gosodwyd dyn yno yn arglwydd y greadigaeth. Yma y ceir hanes y codwm erchyll a'i ganlyniadau dinystriol ar ddynolryw. Trwy y Beibl gallwn gael golwg ar y cynddiluwiaid, a boddiad y byd â diluw; gwaredigaeth Noah a'i deulu; cymysgiad yn ieithoedd yn Nhwr Babel; galwad Abraham o Ur y Caldeaid; arweiniad y genedl i'r Aipht, ac allan oddi yno, &c. Y mae mwy o hanesiaeth wir werthfawr ac angenrheidiol i sefydlu cymdeithas ar safon ddiogel, mewn ychydig benodau yn Llyfr Genesis, nag sydd yn holl gyfrolau hanesyddiaeth y bydysawd

4. *Y Beibl yn natur ei Addysg.*—Un o amcanion penaf Gair Duw ydyw dyrchafu y byd dynol o'i gyflwr colledig, i fod yn ffafr y Jehofah. Nid yn unig y mae y Beibl yn cynwys y drychfeddyliau mwyaf aruchel a barddonol, ond hefyd y mae yn dadblygu y syniadau mwyaf pur yn eu dylanwad ar gymeriad moesol ac ysbrydol dyn. "Fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda," ydyw arwyddair dysgeidiaeth y Beibl. Os gofynir, "Pa fodd y glanha llanc ei lwybr?" gellir ateb, "Trwy ymgadw yn ol dy air di." Wrth ddilyn addysg y Beibl y mae dynolryw yn ymddyrchafu oddiwrth y gwael at y gwych; oddiwrth y daearol at yr ysbrydol a'r nefol; ac oddiwrth yr halogedig at y rhinweddol a'r sanctaidd. Ymgadw at wersi moesol y Beibl ydyw safon cynydd, llwyddiant, a dedwyddwch cymdeithas.

4. *Y Beibl yn ei Ddylanwad.*—Nid oes un llyfr mewn bod yn meddu cymaint o ddylanwad ar feddwl a chalon dyn a'r llyfr godidog hwn, a roddwyd gan Dduw i reoleiddio dynoliaeth. Beth sydd wedi chwalu y cymylau duon a fuont yn hongian yn ffurfafen y byd moesol? Onid pelydrau tanbaid Haul y Gwirionedd Dwyfol? Beth sydd wedi gwareiddio y paganiaid anwar, a lladd dylanwad eilun-addoliaeth? Onid dylanwad y Beibl? Beth sydd wedi bod yn foddion i ddwyn mil-

iynau i waeddi allan, "Beth sydd raid i ni ei wneuthur fel y byddom cadwedig?" Onid dylanwad y Beibl yn llaw yr Ysbryd Glan? Y mae y Beibl yn meddu dylanwad ar bob gradd o ddynion, o'r brenin ar ei orsedd at y distadlaf yn y wlad. Am hyny ein dymuniad ydyw, Bydded

"Beibl i bawb o bobl y byd"

---

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

IV.

—Y mae'n syndod fod dynion deallus ac ysgrifenwyr rhagorol, yn parhau yn y dyddiau hyn, wedi'r holl fanteision gramadegol a geiriadurol, rhagor yr hyn a fwynheuid haner can' mlynedd yn ol, i ysgrifenu yn wallus mewn perthynas i'r Enwedigaethydd yn llywodraethu y llafariad *i*. Yr wyf yn sylwi ar hyn yn ein gwahanol gyhoeddiadau Cymreig yn barhaus. Sylwer yn fanwl ar y cyfarwyddiadau canlynol; a byddai yn ddoeth i bawb nad ydynt yn gyfarwydd ynddynt eu cofio yn ofalus a'u trysori yn eu cof:

1. Nid yw y llafariad *i* byth i'w defnyddio yn nghyfansoddiad berf na rhagferf yn yr amser presenol; megys, *To be*, *i* fod. 2. Nac yn Arddodiad o flaen berfau sicrhäol, yn cyfateb i *that is it;* yr hyn yn wrthun iawn a arferir gan bregethwyr ac ysgrifenwyr wrth gadarnhau *i* fod y peth a'r peth. Cymerer enghraifft Ysgrythyrol:—2 Cor. 5: 19; sef "bod Duw yn Nghrist yn cymodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." 3. Nid yw y llafariad *i* byth i ddilyn yr yr Enwedigaethydd (*Nominative*), pan ei blaenorer ganddi, o flaen y ferf. Enghraifft Ysgrythyrol, fel hyn:—"Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn?" "Gosodwyd i ddynion farw unwaith." "Gad yn gyntaf i'r plant gael eu digoni." Act. 17: 30. "A Duw—sydd—yn gorchymyn i bob dyn yn mhob man edifarhau"—nid *i* edifarhau. Yn yr enghreifftiau hyn, *Crist*, *dynion*, a'r *plant*, ydynt yr Enwedigaethydd; ac am eu blaenorir gan yr Arddodiad *i*, yr hwn a eilw rhai yn Rhoddedigaethydd, bwrir yr unrhyw allan ar eu hol bob amser o flaen y Perwyddiaid; y berfau ydynt *dyoddef*, *marw*, *cael*, ac *edifarhau*. Yr un modd, nid yw i flaenori yr Enwedigaethydd pan ei dilyner; megys, "Gosodwyd dynion i farw." 4. Eithr pan ei harferir o flaen y ferf yn yr amser dyfodol, ni ellir gwneyd rhagferf o honi, amgen Arddodiad a fydd, yn ateb i'r *to* neu *for* yn Saesnaeg; megys, "Codi i folianu yr Arglwydd." "Wedi eu galw i fod yn saint." Ac o'r achos yma y dyweda Dr. W. O. Pughe, ei bod bob amser yn yr "amser dawedadwy." 5. Cystraweniad brawddegau a'i bwria hi allan, am y rheswm uchod; sef na pherthyna i ferf na rhagferf; megys, "Brys sydd arnaf *i* fyned i'r pen." Yma mae yr *i* yn ormodol gan yr Esgob Richard Davies. "Yr oedd yn bleser ganddynt *i* son am dano;" Felly yma hefyd. Ceir enghraifft wallus yn Act. 26: 1—"Y mae cenad (caniatâd) i ti *i* ddywedyd drosot dy hunan." Gan y dyweda rhai gramadegwyr na pherthyna i'r Gymraeg achosion (*cases*), hawsaf i'r ysgrifenydd Gymreig a fydd gochelyd y bai hwn yn wastad, drwy adael allan un o'r ddwy *i*, naill ai o flaen neu ar ol yr Enw a'r Rhag-enw; megys, "Rhaid *iddo* Ef gynyddu, ac *i* minau leihau"—nid *i* leihau. Os ni fydd yr *i* o flaen yr Enw neu y Rhag-enw, yna daw i mewn yn rheolaidd fel Arddodiad o flaen y ferf; megys, "Dynion a osodwyd i farw," &c. Y gwall hwn sydd anhawddach ei ochelyd na beiau ymadrodd cyffredin, am ei fod yn fwy cuddiedig, yn debyg i'r ddwy Negidydd. Ond dylid ei ochelid gan bob ysgrifenydd i'r wasg, a phob siaradwr cyhoeddus.

—"Pan yn dewis gwraig," ebai y *Phrenological Journal*, "bydded i chwi gymeryd eich llywodraethu gan yr ên." Y gwaethaf yw, *wedi* dewis felly, yr ydys yn agored i lywodraeth y genau byth wedi hyny!

—Mae yn annichonadwy terfynu dy-

lanwad dyn da, yr hwn yn ychwanegol at ei gymeriad moesol uchel, sydd feddianol hefyd ar gyrhaeddiadau nad ydynt gyffredin yn y gwahanol ganghenau Dysg. Y mae ei bresenoldeb yn dyhidlo llewyrch pa le bynag yr elo, ac yr ydym yn teimlo pan yn ei wyddfod ataliad ar unrhyw duedd ynom at ysgafnder a gwag-ymadroddion.

—Un o'r dynion goreu a mwyaf llafurfawr yn ngwaith ei Feistr mawr, yn ninas New York, yw y Parch. Stephen H. Tyng, Ieu., gweinidog Esgobyddol. Newydd ddychwelyd o Ewrop, lle y bu er adnewyddu ei iechyd, wedi gorweithio yn mhob achos daionus, rhydd ei argraffiadau ar yr hyn a welodd yn Lloegr, Ffrainc, Itali, Switzerland, &c.; ac yn neillduol ei ymweliad â Mr. Spurgeon. Y mae ganddo feddwl uchel iawn am bregethwr mawr y Bedyddwyr, gyda'r hwn y treuliodd lawer diwrnod hyfryd yn yr haf. Ystyria Spurgeon yn ddyn mwy galluog na Gladstone, a chanddo ddylanwad eangach. Pregetha bob Sul i bum' mil o bobl—pregetha Gristionogaeth iachus, sylweddol ac ymarferol; a thrwy offerynoliaeth y *Liberation League*, cyfundrefn llyfr-werthol, ac argraffiad ei bregethau yn ieithoedd y byd bron, hyd yn nod y Chineaidd a'r Japanaidd, effeithia ddylanwad mwy byd-eang a nerthol nag un dyn arall yn Prydain Fawr na'r Iwerddon. Camsyniad mawr yw tybied, fel y gwna llawer o'r Americiaid, ei fod mewn unrhyw fodd yn ymdebygu i Beecher. Mewn gwirionedd, anhawdd meddwl am ddau ddyn mor hollol wahanol. Nid yw ychwaith yn cael ei amgylchu a'i gefnogi gan ddynion cyfoethog, fel ag y mae Beecher. Y mae ei gynulleidfa yn cael ei gwneyd i fyny bron yn hollol o fasnachwyr bychain, a phobl mewn amgylchiadau cymhedrol. Y mae pris yr eistedd-leoedd yn isel, ond mae yr eisteddyddion mor lluosog, fel y telir iddo yn hawdd gyflog uchel—amryw filoedd o bunau yn flynyddol, a chyfrana y cyfan mewn elusenau; gan fyw ei hunan yn hollol ar yr elw deilliedig oddiwrth ei lyfrau. Pregethodd Dr. Tyng ei bregeth gyntaf ar ol ei ddychweliad gartref yn eglwys y Drindod Sanctaidd, i dyrfa fawr, oddiar y geiriau, "Yr Arglwydd yw fy nerth a'm tarian." Salm xxviii. 7.

—Ffydd fywiol wreiddiol ar weddi—heb [lid,
Fydd a blode' arni;
Ffydd heb un awr ddiffoddi,
Ffydd gref â i'r nef a ni.

Fel pren pêr dalier rhwng dolydd—a [ffrith,
Yn dwyn ffrwyth meluswydd;
Felly pob gweithred ddedwydd,
Glân a phur a ganlyn ffydd.

---

## Y GELFYDDYD O YSGRIFENU.

Teithiwr o'r enw Mr. Mariner, wrth adrodd hanes ynysoedd Tonga, a rydd ddarluniad difyr o'r syndod mawr a achoswyd yn meddyliau rhai o drigolion yr ynysoedd hyny wrth weled effeithiau y gelfyddyd o ysgrifenu, am y tro cyntaf. Yr oedd Mr. Mariner, yn mhen ychydig ar ol iddo gael ei gymeryd yn gaeth gan yr anwariaid, wedi ysgrifenu llythyr â dwfr a phylor wedi eu cymysgu, ar ddernyn o bapyr a gawsai gan un o'r brodorion, gan obeithio y buasai yn foddion i'w ryddid gael ei adferu iddo; ac yr oedd wedi rhoddi y llythyr hwn yn ngofal un o'r penaethiaid, gan ddymuno arno ei roddi i feistr y llong gyntaf a ddelai i'r ynys. Ond pan glywodd Finnow, y brenin, am yr amgylchiad hwn, efe a ofnodd fod drygioni ar droed, ac a anfonodd yn uniongyrchol at y penaeth a feddai y llythyr, i beri iddo ei roddi iddo ef. Pan roddwyd ef yn ei law, medd yr hanes, edrychodd arno yn fanwl ar bob tu; ond o herwydd ei fod yn methu dirnad ei amcan, rhoddodd ef i un Jeremiah Higgins, yr hwn oedd yn dygwydd bod gerllaw, a gorchymynodd iddo hysbysu pa beth oedd ei ystyr. Nid oedd Mr. Mariner, yr hwn a'i hysgrifenodd, yno ar y pryd. Cymerodd Higgins y llythyr, ac er mwyn peidio anfoddloni y brenin, dywedodd nad oedd yn cynwys dim ond dymuniad ar fod i ryw un o forwyr Lloegr

ddyfod i erfyn ar ei Fawrhydi i ollwng Mr. Mariner a'i gydwladwyr yn rhydd-ion, gan ddywedyd fod y trigolion yn dirion tuag atynt, ond eu bod yn dy-muno yn fawr, pe gallent, ddychwelyd i'w gwlad enedigol. Ymddangosai y dull hwn o drosglwyddo meddyliau yn rhyfedd iawn i Finnow. Cymerodd y llythyr drachefn ac edrychodd drosto yn fanwl; ond yr oedd y rhyfeddod yn mhell uwchlaw ei amgyffred. O'r diwedd anfonodd am Mr. Mariner, a cheisiodd gadddo ysgrifenu rhywbeth eilwaith. Gofynodd yntau pa beth a ewyllysiai efe iddo ei ysgrifenu. Dy-wedodd y brenin, "Gosodwch fi i lawr." Ysgrifenodd Mr. Mariner yr enw Fin-now ar bapyr. Yna anfonodd y bren-in i gyrchu Sais arall, yr hwn nid oedd yn bresenol ar y pryd; ac wedi gor-chymyn i Mr. Mariner droi ei gefn, ac edrych ffordd arall, rhoddodd y papyr i'r Sais, a dywedodd wrtho am fynegu pa beth oedd arno. Darllenodd yntau enw y brenin yn uchel. Ar hyn cip-iodd Finnow y papyr o'i law, ac ed-rychodd arno gyda syndod, gan ei droi yn ol ac yn mlaen, a syllu yn fanwl ar bob cwr o hono. O'r diwedd dywed-odd, "Nid yw hwn yn debyg i mi, nac i un dyn arall. P'le mae fy ngoes-au? pa fodd yr ydych yn deall mai my-fi y mae yn feddwl?" Yna heb gym-eryd amser i wrando ar un eglurhad, gorchymynodd i Mr. Mariner ysgrifenu rhywbeth arall; a rhoddodd ddigon o waith iddo am dair neu bedair awr i ysgrifenu enwau gwahanol ddynion, a lleoedd, a phethau, y rhai a ddarllenid gan y Sais arall. Yr oedd hyn yn ddi-fyrwch anghyffredin i Finnow ac i'r rhai oedd gydag ef, yn enwedig o herwydd fod y brenin weithiau yn dywedyd rhyw hanesion carwriaethol yn nghlust Mr. Mariner, y rhai a osod-ai efe i lawr yn gyflawn, ac a ddarllenid yn uchel gan y Sais arall, yr hyn a berai i rai o'r benywod oeddynt yno i wrido yn barhaus; ond nid oedd un o honynt yn digio, o herwydd bod eu syndod oblegid dyeithrwch y peth yn gorchfygu eu holl nwydau eraill. Nis gallent ddyfalu pa fodd yr oedd eu hen-wau a'u hanesion yn cael eu tros-glwyddo mewn ffordd mor ddirgel-aidd.

O'r diwedd meddyliodd Finnow ei fod wedi cael allan pa fodd yr oedd y cwbl yn cael ei wneuthur, a dywedodd wrth y rhai oeddynt o'i gylch ei bod yn ddigon hawdd iddynt ddyfeisio nod-au am bob peth a welent, a bod pob un o honynt yn gwybod nodau y llall. Ond dywedodd Mr. Mariner wrtho y gallai efe ysgrifenu un peth, pe buasai heb ei weled erioed. Yna ceisiodd y brenin ganddo yn ddystaw osod i lawr yn nghylch Toogoo Ahoo, yr hwn a laddasai efe, a Tooba Nuha, lawer o flynyddoedd cyn dyfodiad Mr. Mari-ner i'r ynys. Gwnaethpwyd hyn, a darllenodd y llall yr ysgrifen. Synodd Finnow yn fwy o lawer am hyn, a dy-wedodd mai dyma y peth rhyfeddaf a welsai efe erioed. Yna dymunodd ar-no ysgrifenu am Tarky, llywydd am-ddiffynfa Bea, yr hwn na welsai Mr. Mariner na'i gymdeithion erioed, ac yr oedd un llygad i'r llywydd hwn yn ddall. Pan ddarllenodd y llall enw Tarky, gofynodd y brenin pa un a yd-oedd yn ddall ai peidio. Dywedodd Mr. Mariner nad oedd efe wedi gosod i lawr ond arwyddion am ei enw, ac nad oedd wedi rhoddi dim darluniad o'i gorph. Yna dywedodd y brenin wrtho yn ddystaw am osod i lawr Tar-ky, a'i lygad aswy yn dywyll, yr hyn a wnaeth efe, a darllenwyd ef gan y llall, er mawr syndod i bawb.

Dywedodd Mr. Mariner wrtho, eu bod mewn llawer rhan o'r byd yn an-fon cenadwriaethau i bellder mawr yn y dull hwn; a phan fyddai y papyr wedi ei blygu a'i selio, nad oedd yn bosibl i'r cludydd ddeall beth a ysgrif-enasid arno, a bod hanesion cenedl-oedd yn cael eu trosglwyddo yn y dull hwn o oes i oes, heb fod ddim yn waeth wrth eu cadw. Cyfaddefodd Finnow ei bod yn ddyfais ragorol, ond ychwanegodd ei bod yn dda nad oedd y cyfryw beth yn ynysoedd Tonga; oblegid pe buasai, na allesid dysgwyl am ddim ond terfysgoedd a bradwr-iaethau; a'i bod yn debyg iawn y bu-asai ef mewn perygl am ei fywyd cyn pen mis.

Cymerwyd yr hanesyn blaenorol o hen lyfr, argraffedig 1702.—*Lewis Jones, Mi-nersville.*

# PWLPUD Y WAWR.

## Gwel yr Adeilad.

*Pregeth a Draddodwyd yn Nghymanfa Cattaraugus, Mehefin, 1880.*

GAN Y PARCH. D. E. BOWEN (DELTA).

"Ac yr ydwyf finau yn dywedyd i ti, mai ti yw Pedr, ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys; a phyrth uffern nis gorchfygant hi."—MAT. 16 : 18.

Llefarwyd y geiriau hyn gan y Dysgawdwr mawr mewn cynadledd fechan gyda ei ddysgyblion. Yr ydoedd yr Iesu mwyn yn boblogaidd yn ei weinidogaeth; cawn ei gynulleidfa yn rhifo *pum' mil o wyr* ar achlysuron arbenig, *heblaw gwragedd a phlant*. Y mae y gwragedd a'r plant yn cyfansoddi dwy ran o dair o'r cynulliadau cyhoeddus yn gyffredin; felly gellir cyfrif ei gynulleidfa yn bymtheg mil. Yn y cyfarfodydd bach neillduol yr ydoedd y gymdeithas yn fwyaf cydnaws, nefolaidd, a dyddorol. Cwrdd pen Tabor oedd y goreu a gynaliwyd ar y llawr—*select company* oedd yno. Y lle y cynaliwyd y cyfarfod hwn oedd tueddau Cesarea Philippi. Ebai yr Iesu, "Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i, Mab y dyn?" Mae dynion yn meddwl yn uchel am eu cadfridogion a'u llywiawdwyr; ond pa beth yw eu tyb am Fab y dyn? O, ebe y dysgyblion, nid ydynt yn medru cytuno yn eu syniadau am danat ti. Mae enwad lluosog o'r farn mai y *trochwr* a bregethai yn yr anialwch ydwyt. Plaid arall sy'n credu mai diwygiwr mawr Carmel ydwyt, yr hwn a laddodd y gau brophwydi gynt. Dyma enwad Elias. Mae enwad arall yn dal mai hen brophwyd y galarnadau ydwyt, gan dy fod yn wylo cymaint. Ac nid oes neb yn gwadu nad ydwyt yn un o'r prophwydi. Rhyfedd fel yr oedd dynion yn amrywio fel hyn am un gwrthddrych syml, sylweddol, a gwirioneddol, a ymddangosai i bawb yn yr un arddull nefol! Gwelwn oddiwrth hyn y dichon dynion dybied yn uchel am y gwirionedd, a bod yn hollol gyfeiliornus! Yr ydoedd y pleidiau amrywiol uchod yn cymharu y Ceidwad mad i'r dynion goreu fu ar y ddaear erioed; eto yr oeddynt hollol gamsyniol. Dichon adnabyddiaeth ranol ddadblygu syniadau uchel am Grist; ond ei wir gymdeithas yn unig, dan ddylanwad y goleuni dwyfol, a ddichon ddadlenu ei wir gymeriad. "Pwy, meddwch chwi, fy mod i?" Dyna y pwnc hanfodol i iachawdwriaeth. Iawn adnabyddiaeth o Grist Iesu yn Arglwydd, a ffydd ddiffuant ynddo yn unig a geidw i fywyd tragywyddol. Dacw y brawd brwdfrydig Pedr yn neidio ar ei draed, gan ddatgan golygiadau y cyfarfod yn unfrydol, sef, "Ti yw Crist, Mab y Duw byw." Pedr, nid trwy had Abraham y cefaist ti y grefydd yna; ond fy Nhad a adlewyrchodd oleuni a gwawl ysbrydol i gelloedd tywyll dy galon. A thi a gei ofal agoriadau teyrnas nefoedd. Dim ond i ti roddi gorchymyn ar y ddaear, bydd wedi ei selio yn y nef; bydd awdurdod freiniol i'th eirchion a'th rwymedigaethau; a chei agor dorau y deyrnas nefol o flaen yr Iuddewon a'r cenedloedd.

Ni olygir yma agoriadau *hades*, sef y bydoedd anweledig; ceidw yr Iesu mawr yr awdurdod hono yn ei law ei hun. "Y mae genyf agoriadau uffern a marwolaeth," ebai efe wrth Ioan yn Patmos. Nid gweinyddiaeth ddirprwyol a weinyddir gan y Cyfryngwr bendigedig, trwy ymerodraethau eangfawr y bydoedd tu draw i'r llen.—"Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear."

Penawd ein pregeth yw "Gwel yr adeilad."

I. *Yn ei sylfaen.* "Y graig."

II. *Yn ei feddianydd.* "Fy nghynulleidfa."

III. *Yn ei gynydd.* "Adeiladaf fy nghynulleidfa."

IV. *Yn ei ddiogelwch.* "Galluoedd y byd anweledig nis gorchfygant hi.

I. *Y sylfaen.*

Dyma yr ail ystyriaeth ddifrifol yn nghyswllt ag adeilad. Tynu y cynllun ydyw y cyntaf. Tynwyd y *plan and specifications* o'r adeilad gorwych yma yn y cyngor hedd,

> "Cyn bod Eden ardd na chodwm,
> Bythol fwriad Duw at ddyn."

Dadlenu y sylfaen oedd anturiaeth o anfeidrol bwys. Pob sylfaen greuedig ydoedd yn rhy dywodlyd i orphwys arni am eiliad. Ebai'r Ceidwad ceinwych wrth Simon, "Ti ydwyt gareg;" ond cofier, ni sylfeinir adeilad ar gareg unigol; adeiladu ty ar ben careg fyddai orchwyl gwallgofus! Cysylltir y ceryg â'u gilydd efo cymrwd, iddynt ymlynu yn lew; ond rhaid i'r oll orphwys ar y graig ddisigl, neu fyned yn deilchion yn rhyferthwy y corwyntoedd dinystriol. Yr Iesu bendigedig yn ei ddwyfol berffeithiau yw y graig ni syflir gan ruthr angau du. Diysgog ac ansymudadwy yw "y graig hon." Gwybydder fod geiriau y testyn, yn yr iaith ei llefarwyd, yn cynwys y deongliad uchod yn eglur. Bradychiad gwarthus o eiddo y cyfieithwyr er dyrysu a dallu y werin, ydoedd cyfieithu un gair, a throsglwyddo y llall. Pa reswm a eill fodoli dros gyfieithu *Petra*, a gadael *Petros* yn anghyfiaith? Mae y gareg yn cyfranogi o ansawdd y graig; oddiwrth y graig y deillia ei theithi adamantaidd. Darn o'r graig ydyw, ac ar y graig y sylfeinir ei bri.

Methodd y *gareg* a dal o dan forthwyl llances gyfrwys y llys, heb fyned yn chwilfriwiedig; ond daliodd y "*Graig*" yn gadarn o dan holl forthwylion cyfiawnder a gordd anferth anwn obry, a holl ebillion llymion ellyllon y fall! Hyrddiwyd y cleddyf trwy y pridd meddal, ond difiniodd wrth daro y graig. "Gollwng ef yn rhydd, mi a gefais iawn," medd llais cyfiawnder. O, fy enaid, gorphwys ar y sylfaen hon!

> "Un Oen Naf yn iawn hefyd,
> Un chwerw boen iachâ y byd."

II. *Ei meddianydd.* "Fy eglwys."

Dyma yr holl eiddo sydd gan Iesu yn ein byd, ar ol yr holl chwys a gwaed. Mae ei braidd ef yn dringo pinaclau yr Alpau, Cadair Idris, neu'r Wyddfa, tra y pora geifr anwn y dolydd meillionog a'r llanerchau llad. "Y rhai nid oedd y byd yn deilwng o honynt, yn crwydro mewn anialwch a mynyddoedd, a thyllau ac ogofeydd y ddaear." Eto, y mae yr Iesu yn arddel ac yn cydnabod ei etifeddiaeth.—"Fy eglwys," "fy ngardd," "fy ngholomen," "fy nyweddi." Ac wele adsain Seion: "Eiddo fy anwylyd ydwyf fi, ac ataf fi y mae ei ddymuniad ef." Eglwys Rhufain, eglwys Groeg, eglwys Loegr, ebe nhw; ond "Fy eglwys" ebai'r Iesu. Fy eiddo i ydyw wrth destament y Tad; mi a'i prynais hefyd a'm priod waed; mi hefyd a'i gwaredais o grafangau hyll ellyllon Gehena.

Rheidiol yw sylwi pa fath gyfansoddiad arddelir gan Grist fel ei eiddo arbenigol ei hun; ac a arddelant Iesu fel gwir Fab Duw. "Gofyn i mi," ebe'r Tad, "a rhoddaf y cenedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant." Paham y darfu y cyfieithwyr drosglwyddo y gair gwreiddiol yn y fan yma, yn lle ei gyfieithu? Mae yn eglur i bob efrydydd ystyriol, mai nid gair Cymreig yw *eglwys; ecclesia* yw y gair Groeg. William Salisbury a rydd *eccles* yn ei gyfieithiad ef. Mae gwahanol orgraff o'r gair gan amrywiol awduron, ond yr un gair ydyw ganddynt oll. Dywed y Sais *church* am dano; ond nid oes un Sais uniaith yn gwybod pa beth a olygir wrth yr ymadrodd. Y mae y gair *church* wedi tarddu o'r gair Celtaidd *kirk.* Ysgotiad ydoedd Iago I., dan awdurdod yr hwn y dygwyd allan y cyfieithiad awdurdodedig. Nis medrai y Sais ddeall y Celt, am hyny swniodd ryw beth cyffelyb ar flaen ei dafod llyfn a lleddf. Ystyr y gair yw *galw allan;* felly y rhai a gyfansoddant etifeddiaeth Crist ydynt alwedig, etholedig a ffyddlawn. Rhai a gydnabyddant urddasolrwydd dwyfol Iesu o Nazareth fel y gwir Fessiah, gan dalu gwarogaeth ddiffuant i'w ddeddfau, ac ufudd-dod diledrith i'w orchymynion pendant ydynt. "Y rhai hyn yw y rhai sydd yn dilyn yr Oen pa le

bynag yr elo." Nid mympwyon di-sail yw eu credo. Mae y Crist hanesiol wedi ei weddnewid a'i sylweddoli fel cyfangorph hanfodol anfarwoldeb ei hun. Mae yr undeb a fodola rhwng Crist a'i eiddo yn ddaublyg. "Pwy sydd genyf yn y nefoedd ond tydi?" ebe'r ddyweddi ffyddlon, "ac ar y ddaear ni ddymunais arall gyda thi." O, mor drefnus a gofalus y mae hi yn addurno ei bwth â *photographs* ei hanwylyd!

"Mi welaf yn medydd fy Arglwydd
Ogoniant gwir grefydd y groes;
Ei gladdu a'i godi'n Dduw cadarn,
'N ol myned dan lafur a loes;
Mae'n ddarlun o angau'r Cyfryngwr,
A gerfiwyd mewn cyfrol o ddw'r,
Mae Seion yn cadw'r portread,
I gofio am gariad y gwr."

Mae y priodfab yn taro tannau y delyn aur mewn cydgan awenyddol a gwefreiddiol, sef,

"Wrth brynu pechadur â thaliad mor ddrud,
Mi gefais fy nghladdu mewn afon o lid."

III. *Ei chynydd.*

Iesu Grist yw y pen adeiladydd arbenig. Mae pob aelod yn weithiwr ar yr adeilad; a gweinidogion cymwys y Testament Newydd yn neillduol. Trwy y Gair bywiol, a'r ordinhadau arwyddluniol, a dylanwad effeithiol yr Ysbryd Glan, yr adeiledir Seion Duw. Dyma balas breninol, mangre preswylfod y Duwdod ei hun. Nid yw y gwaith wedi ei atal na'i ohirio ar y deml ysbrydol hon am un eiliad, o ddyddiau Abel gyfiawn hyd yn bresenol. Mae'r Iesu yn casglu y meini o bedwar ban y byd.

"Pwy a wyr na welir finau,
Pwy a wyr na chaf fi fyw?
Mawr yw'r gwaith i'm gwneyd yn barod,
Ond nid gormod i fy Nuw!"

IV. *Ei diogelwch.* "Pyrth uffern nis gorchfygant hi."

Dywedir fod mympwyon yn mhlith y Rabbiniaid Iuddewig am byrth Gehena, a miliynau o engyl dinystriol yn eu gwarchod; felly y darllenwn yn y Talmud a'r Targum Iuddewig. Nid wyf yn canfod fod yr Arglwydd Iesu wedi sylfeinu yr un athrawiaeth ar ddynol draddodiadau; ac ni cheir yr un dyfyniad o eiddo yr athronwyr paganaidd yn ei holl ddysgeidiaeth ef. "Myfi yw y ffordd, y gwirionedd a'r bywyd," ebai efe. Mae ei holl ddysgeidiaeth yn ddwyfol, gwreiddiol a hanfodol berthynol iddo ei hun. Ei olygiad yn y fan yma ydyw, nas dichon y tywysogaethau, yr awdurdodau, a'r galluoedd cythreulig yn eu holl gyfrwysdra, a'u cyngrair uffernol, byth ddifodi ei deyrnas, na lladd un enaid neillduol sydd wedi ymddiried yn ffyddiog ar ei haeddiant anfeidrol ef. Ni fedr angau na'r bedd orchfygu am byth aelodau bywiol yr Iesu; er iddynt fyned i lawr a malurio mewn tir anghof, eto codir hwy i fyny i deyrnasu yn dragywydd gyda'r Concwerwr mawr. Mae yr athrawiaeth a gyhoeddwyd yma hefyd yn anfarwol; ni ddiflana gwirionedd yn dragywydd. Nid yw y geiriau hyn yn sicrhau parhad un gynulleidfa neillduol, ond profant y bydd i deyrnas ysbrydol Iesu barhau tra môr a thra mynydd.

Mae tros ddeunaw cant o flynyddoedd er pan lefarwyd y testyn, ac mae holl *artillery* y fagddu wedi arllwys eu cynwysiad anwnawl yn erbyn Seion Duw; er hyn oll y mae yn fwy llewyrchus a llwyddianus heddyw nag erioed.

"Llawer sy'n darogan aiff Seion i'r dim,
A hithau 'n cynyddu yn fwy-fwy ei grym."

Mae ei fawrhydi Satanaidd wedi dyhyspyddu ei arfdy mewn ymladdau gwaedlyd yn erbyn y saint, a'r erlidwyr creulon wedi tyngedu yn enw y duwiau y gwnaent ddiddymu teyrnas Iesu oddiar y ddaear. Deg erledigaeth Rhufain baganaidd, dichell a bradwriaeth y "dyn pechod," a'r gau brophwyd; gwrthgiliadau proffeswyr, a chynddaredd y fall, oll wedi methu llwyr orchfygu achos Iesu ar y ddaear. Ac nid yw yr holl offerynau dinystriol a arferir yma, ond gyru y plant yn nes i dy eu tad. Heddyw y mae y byd cyfan yn agored o flaen efengyl hedd. Gosodir ei deyrnas i fyny yn y Dwyrain draw, Gogledd, Deheu a Gorllewin a estynant eu dwylaw yn brysur at

Dduw am ymwared trwy waed yr Oen a'i ddwyfol rinwedd.

"At yr orsedd mewn gweddi,
A gwaed y Mab gyda mi."

Mae holl ddarganfyddiadau gwyddoniaeth yn is-wasanaethgar i ledaeniad yr efengyl—cledrau yn croesi y cyfandiroedd, yr agerlongau yn croesi y moroedd, rhaffau trydanawl yn cylymu y gwledydd yn nghyd, a'r peiriant parablu yn cael ei berffeithio. Rhwymir Satan yn fuan, a theflir ef i'w bwll ffwrndwll, uffern dân.

# Adran yr Adroddwr.

## Y FFORDD I WNEYD CYFEILLION.

(*I'w Adrodd gan Athrawes ac un o'i Hysgolheigion.*)

ANNE.—Wel, Mary, pa beth sydd genych yn eich 'ffedog?

MARY.—Mae genyf afalau a gerllyg, a phob math o ffrwythau. Ac O! y maent mor addfed a phrydferth.

A.—Wel yn wir! Ac yn mha le y cawsoch hwy, fy nghyfeilles ieuanc?

M.—Mam Jane Pughe a'u rhoddodd hwy i mi.

A.—A gaf fi ofyn am beth y rhoddodd hwy i chwi, Mary?

M.—Am i mi helpu Jane gyda'i gwersi.

A.—Gwnaethoch yn garedig iawn. Ond os bydd i Jane gael rhai i wneyd ei gwersi o hyd, tyfa i fyny yn ferch fach ddwl ac anwybodus.

M.—Iē; ond y mae Jane lawer yn fwy galluog a gwybodus na mi.

A.—Os felly, beth oedd yr achos fod arni eisieu i chwi wneyd ei gwersi?

M.—Yr ydych yn gwybod iddi fod yn sâl iawn, ac ni allasai yn hawdd wneyd ei gwersi; felly, pan welais ei gwyneb llwyd a'i llaw fach deneu, meddyliais y buaswn yn ei chynorthwyo.

A.—O! yn wir. Gwnaethoch yn garedig iawn, ac y mae eich ymddygiad wedi fy moddio yn fawr. Ond beth ydych yn fwriadu wneyd a'r holl ffrwythau yna?

M.—O! yr oedd genyf lawer chwaneg pan y cychwynais o dy Mrs. Pughe. O! yr oedd genyf lawer iawn.

A.—Yn wir! Ond beth ydych wedi wneyd a hwy?

M.—Rhoddais hwy i ferch fach a adwaenwn.

A.—Gadewch i mi gael gwybod pwy oedd hi?

M.—Lodes fechan ydoedd a arferai fod yn gas iawn wrthyf. Byddai yn wastad yn fy ngwthio oddiar y llwybr, ac yn gwneyd gwyneb hyll arnaf.

A.—A rhoddasoch beth o'r ffrwythau dymunol iddi?

M.—Do; gymaint ag a welwch yn fy 'ffedog yn awr.

A.—Yn awr, dywedwch wrthyf beth oedd yr achos i chwi roddi y fath bethau dymunol i ferch fach ag oedd wedi ymddwyn yn angharedig tuag atoch?

M.—Achos fy mod yn meddwl y buasai hyny yn peri iddi wybod fy mod yn dymuno bod yn garedig wrthi, ac y bydd iddi, efallai, beidio bod mor gas ac anfoesgar wrthyf eto.

A.—Da iawn, Mary, yr ydych yn ferch fach dda iawn.

M.—Am ba beth?

A.—Yr ydych wedi dysgu yn gynar iawn y ffordd iawn i wneyd cyfeillion.

M.—A ydwyf fi? O, 'r anwyl, nid oeddwn yn gwybod.

A.—Ond yr ydych. Dywed eich Beibl am i chwi orchfygu drygioni trwy ddaioni, a dyna yr hyn ydych wedi bod yn wneyd. O, ïe, gadewch i mi wybod pa beth a ddywedodd y ferch fach angharedig wrth dderbyn eich rhodd?

M.—Mi griodd yn hidl, a d'wedodd fod yn ddrwg ganddi ei bod wedi ymddwyn mor angharedig tuag ataf, ond y byddai iddi o hyny allan fy ngharu i.

A.—Dangosa hyny fod caredigrwydd

wedi troi eich gelyn yn gyfeilles, oni wna?

M.—Gwna yn wir! Ac yr oeddwn yn teimlo mor llawen fy mod wedi llwyddo, achos mi hoffwn i bawb allu fy ngharu yn anwyl iawn.

A.—Nid rhaid i chwi byth ofni methu cyrhaedd hyny, tra y bydd i chwi barhau i arfer yr un modd i wneyd a chadw cyfeillion. (*Wrth y gynulleidfa.*) Onid all rhai o honoch ddysgu gwers bwysig a gwerthfawr oddiwrth ymddygiad a chynllun y ferch fach hon? Gallwn ddysgu doethineb o eneuau plant a rhai yn sugno. Bydded i ni wneyd ein gelynion yn gyfeillion; ac os bydd iddynt hwy ein taraw ar y rudd ddeheu, trown atynt yr aswy hefyd. Dyma orchymyn yr Iesu—a allwn ni wneyd yn well na dilyn ei gyfarwyddiadau yn fanwl a ffyddlôn?

---

### TYLOTY 'R UNDEB.

Yn mha le, a neb yn sylwi,
  Mae'r amddifad bach dinam—
Serch i'w feithrin wedi oeri,
  Draw yn meddrod tad a mam;
Estron caled iddo'n gweini,
  Yntau'n methu codi 'i law
Fach i atal un camwri?
  Yn Nhyloty'r Undeb draw.

P'le mae'r wyryf archolledig,
  Ymddiriedodd galon bur,
I'r hudolwr gwael ffoedig,
  Feddai deimlad fel y dur?
Ag ochenaid siom ac adfyd
  Sua 'i bychan tlws i daw:
Sylwedd breuddwyd ei hieuenctyd
  Yw Tyloty'r Undeb draw.

P'le mae'r afiach llesg, yn ceisio
  Ymladd celyd frwydrau chwyth—
Llaw tylodi wedi selio
  Gobaith ei adferiad byth?
Ar ol llafur ber-oes chwerw,
  Yn y gwynt ac yn y gwlaw,
Parotoa 'i hun i farw
  Yn Nhyloty'r Undeb draw.

Wedi brwydro driugain mlynedd,
  Yno mae'r henafgwr gwan,
Welodd amser buasai 'n rhyfedd
  Ganddo feddwl am y fan;
Drysau hawddfyd gauent rhagddo,
  Rhyddid siglodd ffarwel law;
Rhosydd Moab bywyd iddo,
  Yw Tyloty'r Undeb draw.

Ond pan egyr gwawrddydd olaf,
  Emrynt tanllyd foreu Duw—
Ddaw a'r bywyd gollodd oesau
  Yn ei ol i ddynolryw;
Gwel, yn hedeg i'r gorseddau
  Dysglaer ar y ddeheu law,
Deyrniaid Gwynfa o feddrodau
  Mynwent oer y Tloty draw.

---

## AMRYWIAETHAU.

### MORDAITH I GYMRU.

Cafodd y Parch. W. M. Evans, ei fachgen, ac Ioan Fedyddiwr, Mrs. Elizabeth Williams, Freedom, Cattaraugus; Miss Williams, New York; y Parch. W. J. Williams, Newburgh, O., a'ch annheilwng was, fordaith hyfryd i Gymru—y môr yn dawel, dawel drwy yr holl fordaith—y cwmpeini yn ddymunol dros hen. Buom ar y môr dros ddau Sabboth. Yr oedd ar y bwrdd offeiriad eglwys Episcopalaidd, a darllenai efe wasanaeth ei eglwys y ddau foreu Sul. Yr oeddym ninau fel Cymry yn hiraethu am rywbeth gwell. Yr ail Sabboth penderfynasom gael gwasanaeth Cymreig. Yr oeddym oddeutu pump ar hugain o Gymry, a rhai o'r cwmpeini yn gallu canu yn dda. Ar y cyntaf bwriadem gael gwasanaeth Cymreig mewn lle unigol o'r neilldu; ond daeth ein bwriad i glustiau ein cymdeithion, a rhaid oedd cael gwasanaeth Cymreig ar y bwrdd, yn nghanol teithwyr y cabin. Credem y gallem dynu eu sylw mewn canu, canys yr oedd Miss Williams yn un o aelodau Côr Mawr Llundain gynt. Dechreuodd Williams yn Gymraeg—pregethodd Giraldus yn y ddwy iaith, haner-yn-haner, a diweddwyd yn Gymraeg gan y Parch. W. M. Evans. Y dystiolaeth gyffredinol oedd, ein bod wedi cael cwrdd da.

Gwelsom ryfeddodau y Crewr mawr yn y dyfroedd dyfnion. Dyddorol iawn

i ni oedd gweled pysgod mawrion yn chwareu oddiamgylch i ni, a morfil mawr yn y pellder un diwrnod, fel pe buasai yn ceisio poeri i wyneb yr haul. Dyfalai Mr. Evans, Mr. Williams a ninau, fod yr agerdd-beiriant nerthol a yrai y llong, yn swn ei weithrediadau yn dweyd, fel yr aem yn mlaen, "Myn'd tua Chymru, myn'd tua Chymru;" ond nid oeddym yn deall ei iaith cystal wrth ddychwelyd. Yr oeddym mewn llong ardderchog, y *Spain*, o'r *National Line*. Ni allasai neb ddymuno gwell llong, gwell swyddwyr, na gwell cyfleusderau. Dyna deimlo yn dda yr oeddym wrth agosâu i olwg tir yr Ynys Werdd, ond yn teimlo yn llawer, llawer gwell wrth ddyfod i olwg mynyddoedd Cymru, wedi bod o'u golwg am amryw flynyddau. Pan yn agosau at lanau Cymru, nid oedd fawr myned i lawr y cabin, nac oedd, nac oedd, yr oeddym yn rhy brysur yn ceisio darllen y glanau, a pha fynydd oedd hwn a'r llall. Y mae calon dyn yn dyner ar adeg fel hono; ond nid oedd y llong, ryw sut, gan fawredd ein hawydd am lanio, yn myned yn haner digon cyflym.

Erbyn myned at enau afon Lerpwl, nid oedd yno ddigon o ddwfr i nofio ein llong fawr, gan fod y llanw allan ar y pryd. Yna rhaid oedd myned mewn agerdd-long fechan, pawb o deithwyr y cabin. Ac er fod yr hin yn annymunol i'r eithaf, yr oedd pawb mewn teimladau da iawn. Nid hir y buom heb lanio yn Lerpwl, a myned trwy archwiliadau y *Custom House*. Wel, dyna ryfedd! fel yr oedd pob peth yn edrych! Oeddym fel yn syllu ar olygfeydd gwlad estronol. Dyfalem weled lawer o'r *comic* afrosgo; ac nid hir y buom heb gael ar ddeall ein bod ni yn cael edrych arnom ganddynt hwy fel *Americans*. Dyna i chwi! Cawsom bob ymgeledd gymwys yn nhy y Cymro Gwyllt, yr hwn a ddaeth i fyny â'n dysgwyliadau goreu am dano. Ond nid oedd i ni arosfa hir. Rhaid oedd cychwyn yn fuan, wrth gwrs, tua Chymru. Ymadael yn Nghaer. Mr. Evans a'i fachgen yn myned i'r Deheudir, a Mr. Williams a minau yn myned tua Chaernarfon. Dyna deimlo yn brudd yr oeddym wrth ymadael, er ein bod yn myned gyda dymuniadau ein calon.

---

## UNDEB BEDYDDWYR CYMRU.

Mewn llai na phythefnos ar ol i ni gyrhaedd Lerpwl, yr oedd cyrddau mawrion blynyddol yr Undeb i fod yn Nghaerdydd, Awst 10, 11, 12. Yr oedd genym wir ddymuniad i fod yn bresenol ynddynt, ond y pwnc oedd sut y gallem fforddio myned yno, a ninau eisiau cael ysgwyd llaw a chyfarch ein perthynasau oll yn Ngogledd Cymru. Modd bynag, yr oedd yn rhaid i ni gael myned i gyrddau yr Undeb—mwynhau ychydig ddyddiau tua'r hen gartref yn Sir Gaernarfon—a dyma ni yn cychwyn ar ddiwrnod teg a hafaidd, yn nghwmni Richard Williams, Ysw., Garn, un o'r lleygwyr goreu fedd yr enwad yn Ngogledd Cymru, ac un o gyfeillion boreu oes. Cychwynem gyda'r Cambrian Railway, sydd yn uno a'r Mid-Wales Railway, i lawr i Dowlais a Merthyr, a chyda llinell y Taff Vale. Wel, dyna brydferthwch! Yr oedd Cymru yn deg yn mhob man ar ein llwybr! Yr oedd fel Paradwys. Yr oedd y meusydd fel gerddi, o'r lliw a'r harddwch penaf erioed. "Wel, taid anwyl, Richard Williams," meddwn, "gwelwch draw, mewn difri', onid yw yr olygfa acw yn swynol?—yn enw'r anwyl ni welais erioed Gymru yn edrych mor swynol." "Edrychwch, Owen Griffith," meddai fy nghyfaill, "dyma amgylchoedd dihafal—dyma amgylchoedd Llanbrynmair—mae yr hen gapel ffordd yma yn rhywle—gadewch i mi weled"—ffrystiai y tren—"O, dyma fe; dyma yr hen gapel." Ond nid gwiw dechreu adrodd y canmol a'r rhyfeddu. Dyna wnaem ar hyd y ffordd. Yn Nghaerdydd, yn nghapel y Parch. N. Thomas, cyfarfuom yn gyntaf â Dr. Hugh Jones, Llangollen. Agorodd y llwybr ar unwaith i ni gael eistedd wrth y byrddau er diwallu angen corphorol. Ond nid oedd modd bwyta, gan y cyfarch ar bob llaw. "*Dear me*, sut yr ydych er's amser

maith, Giraldus bach?" meddai y naill ar ol y llall. Parai hyn oll i'r hen galon yma gynesu a thoddi. "Gweddol iawn, wir," meddwn, "'rhoswch i mi gael eich gweled yn iawn." Gorphenwn fwyta gyda hyn. Nid oedd modd troi heb gyfarfod a hen adnabyddion, ac amryw o gyfeillion neillduol y dyddiau gynt. Hen gyd-fyfyrwyr Hwlffordd, yr oedd amryw o honynt hwy yma, rhy luosog i'w henwi yn awr. O, mor dda oedd genyf eu cyfarfod hwy! Yn wir, yr oedd prudd-der hiraethlon yn myned tros ein hysbryd—gweled cymaint o effeithiau amser ar bersonau! —gwallt gwyn a chymdeithion henaint yn dra amlwg ar lawer oeddynt ifainc y tro'r blaen y gwelswn hwynt.

Hwyr y dydd cyntaf darllenodd y y Parch. L. Jones, Treherbert, bapyr cynwysfawr ar Feddianau yr Enwad. Dywedai Mr. Jones, "Nad oedd genym ond pedwar capel yn 1700, ond yn awr mae genym 620, yn werth £488,-615"—cynydd lled dda mewn capeli, mewn cant a phedwar ugain mlynedd. Parod oeddym i ddweyd, "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion." Yna, gan y Parch. W. Edwards, Cefnmawr, cafwyd papyr gwerthfawr ar "Y cynllun goreu i dalu dyled addoldai." Mae dyled fawr ar yr enwad. Sylwodd y Parch. Lewis Jones, ei fod yn ymyl cant a deugain mil o bunau; ond pe carid allan gyfarwyddiadau Mr. Edwards, dileid y cwbl cyn pen nemawr flynyddau.

Yn ddiweddaf cafwyd araeth ddyddorol gan y Parch. J. Jenkins, Trefdraeth, ar "Hawl y Gymdeithas Adeiladu ar Eglwysi Cymru." Mae y Gymdeithas hon yn gwneyd gwaith da. Rhoddodd fenthyg 900 punt i'r eglwysi yn ddilog y llynedd, a dosranodd y pwyllgor newydd dros 1,000 o bunau rhwng 13 o eglwysi cyn gadael Caerdydd.

Am 11, ddydd Mercher, cafwyd araeth ardderchog, teilwng o hono ei hunan ac o'r achlysur, gan y Parch. R. Jones, Llanllyfni, Llywydd yr Undeb, ar "Y Bedyddwyr a'u Dyledswyddau." Ni chlywsom yr anwyl R. Jones erioed yn well. Yr oedd yn finiog ar yr enwadau weithiau, ond eto mewn teimladau Cristionogol. Nid oedd o un dyben i neb feddwl tramgwyddo wrtho.

Yn canlyn, cafwyd papyr yn llawn o ffeithiau gwerthfawr, gan y Parch. B. Evans, Castellnedd, ar "Y Bedyddwyr Cymreig yn eu perthynas a'r Enwadau.

Am haner awr wedi chwech yr un dydd, traddododd y Parch. W. Rees, Blaenafon, araeth rymusfawr ar "Agweddau peryglus Llenyddiaeth yr Oes."

Yn nesaf dyma Spinther yn dringo i fyny. Geiriad ei destyn ef oedd "Yr Egwyddorion a oblygir mewn Anghydffurfiaeth yn ngwyneb sefyllfa bresenol Eglwys Loegr." Yn sicr yr oedd Spinther yn dda. Teimlem y buasai yn dda genym pe buasai dynion blaenaf yr enwadau yno yn gwrando y papyrau hyn. O! yr oeddynt yn rhagorol.

Nid dyna y cwbl; dyna Dr. Jones, Llangollen, yn dilyn gyda phapyr gwir werthfawr ar "Y cynllun Dwyfol o efengyleiddio y byd."

Am haner awr wedi deg, ddydd Iau, rhoddodd y Parch. J. Jones, Felinfoel, hanes helaeth a manwl am "John Myles a'i Amserau;" a darllenodd y Parch. O. Davies bapyr meddylgar ar "Lywodraeth Duw ar y byd, o dan yr efengyl."

Clywsom yr oll o'r areithiau, ond y mae brys arnom am eu cael mewn argraff; byddai yn werth i bob Bedyddiwr Cymreig i'w cael a'u darllen.

Traddodwyd dwy bregeth ragorol nos Iau, gan y brodyr Evans, Treffynon, a Morris, Aberystwyth. Cynaliwyd amryw gyrddau eraill mewn cysylltiad a'r Undeb. Cwrdd Dirwestol nos Lun o dan lywyddiaeth Alfred Thomas, Ysw., Caerdydd, pan gafwyd araeth Gymreig gan y Parch. A. J. Parry, Abertawe, ac un Saesneg gan y Parch. G. Davies, Llangollen. Ac am haner awr wedi tri, ddydd Mercher, darllenodd y Parch. I. Thomas bapyr gwerthfawr ar "Werth a hawliau y Gymdeithas Ddirwestol." Cynaliwyd cyfarfod blynyddol y Drysorfa Adeiladu, pan etholwyd swyddogion a phwyllgor am y flwyddyn bresenol. Ac am 2, dydd

Mercher, cynaliwyd cwrdd blynyddol Cymdeithas yr Hen Weinidogion, pan y cafwyd fod rhif yr aelodau ar y pryd yn 129, a fod 11 wedi derbyn cymorth oddiwrthi yn y flwyddyn derfynol. Gwelir fod llu mawr o weinidogion Bedyddwyr Cymru heb fod yn aelodau ynddi. Er mwyn denu ychwaneg i ymaelodi, penderfynwyd na roddir Rheolau 5, 7 a 20 mewn grym o hyn i Mawrth nesaf, er mwyn rhoddi cyfleusdra i weinidogion dan 50 i ymaelodi yn ystod yr amser, heb dalu oldaliadau. Cyflwynasom gais rhai o Gymanfaoedd Bedyddwyr Cymreig America o flaen yr Undeb, sef cael lle i'w hystadegau yn eu Dyddiadur, a chydsyniwyd yn unfrydol â'r cais. Nac oeded Ysgrifenyddion y gwahanol gymanfaoedd i anfon eu hystadegau i Rev. Owen Davies, Caernarvon.

Ofnwn y bydd llawer yn synu wrth weled fod ein rhif fel Bedyddwyr Cymreig can lleied yn y wlad hon.

Dymunem ychwanegu un gair am yr *Undeb*. Tystiolaethwn i ni gael boddhad neillduol yn y gweithrediadau trwyddynt. Y mae yr Undeb yn gwneyd gwaith mawr yn Nghymru. Mae wedi gwneuthur, ac fe wna eto. Y mae yn dyrchafu a grymuso gweithrediadau yr Enwad yn anghyffredin. Llwyddiant iddo. Ffurfio yr Undeb hwn ydyw y peth goreu y mae Bedyddwyr Cymru wedi wneyd er's llawer dydd.

## PEDWAR DIWRNOD YN LLUNDAIN.

Cyfarfuasom ein tri—y Parchn. Wm. M. Evans, W. J. Williams, a golygydd y WAWR, yn Llundain, yr olaf am y tro cyntaf erioed, i fod yn y lle mawr hwnw. Wel, wel, nid gwiw dechreu myned dros bethau rhyfedd a welsom. Dyna ddinas fawr ydyw hi. Gwelsom yr *Houses of Parliament*, *Westminster Abbey*, y *British Museum*, yn yr hwn le yr oedd sylweddau cyrph Aiphtaidd tair mil o flynyddau o oed. Gwelsom y *Zoological Gardens*, y *Bank of England*, *St. Paul's Cathedral*—buom ar ben copa uchaf *dome* y *Cathedral*. Teimlem yno fel ar ben mynydd uchel. Buom yn y *Tower of London;* aruthrol ddyddorol yw y lle hwnw—gwelsom lle torwyd penau breninoedd a breninesau. Da fuasai genym gael gwell arweinydd na'r Gwyddel a gawsom. Nis gallem ddeall yr hen greadur. Yr oedd gan y cwmpeini a'n dilynai well arweinydd o'r haner. Gwelsom gapel hardd Mr. Landels—buom yn llanw pwlpud y capel hwnw—ein tri yn ein tro. Yr oedd yn myned o dan adgyweiriad, a throesom i mewn. Y mae Mr. Landels yn mhlith enwogion y Bedyddwyr yn y brif ddinas. A fuoch chwi yn nghapel Mr. Spurgeon? Do, wrth gwrs; O, do; buom yn hwnw ar nos Iau, a gwrandawem bregeth dda yno. Yr ydoedd Mr. Spurgeon ei hun yn absenol, yn cael ei luddias gan afiechyd. Yr oedd y gynulleidfa yn llenwi y llawr isaf a'r *gallery* gyntaf. Y mae y capel hwnw tu hwnt i ddim a ddychymygasem, o ran maint, cyfleusderau, a'r hyn ddylai capel fod. Teimlem yn dra siomedig o beidio cael y cyfleusdra i wrando ar y pregethwr mawr. Y fath ddyn yw hwnw! Nid tebygol y ceir neb i lenwi y fath gapel anferth â phobl ar ol ei ddydd ef. Rhaid fod dylanwad daionus y fath ddyn yn aruthrol fawr.

Wedi treulio yn frysiog bob awr a mynyd o'r pedwar diwrnod i dremio ar ryfeddodau Llundain, rhaid oedd i ni foreu Sadwrn i gychwyn tua Chymru —Evans i Abermaw, Williams i'r Deheudir, a Giraldus i Langollen.

## Y PARCH. B. THOMAS (MYFYR EMLYN) YN UTICA.

Daethom adref yn yr adeg i gael ymgyfarch ag ef, a'i glywed yn llefaru. Yr oedd ein dyddordeb yn ddeublyg neu yn driphlyg. Yn gyntaf oll, yr oeddym ein dau yn gyd-fyfyrwyr yn Hwlffordd, ryw ugain mlynedd yn ol, ac yn gyfeillion mawr; a pheth arall ydoedd ei ddoniau ardderchog; a pheth arall eto, nid oeddym yn gwybod yn iawn sut yr oedd yn teimlo yn America, &c. Pregethodd yma deirgwaith

Sabboth, Hydref 17, yn nghapelydd y gwahanol enwadau—capel y Bedyddwyr yn un o honynt; a darlithiodd nos Lun yn yr unrhyw, ar rai o enwogion Cymru. Aeth drwy ei holl waith yn rhagorol, ac i fyny â'n dysgwyliadau penaf. Rhoddodd foddlonrwydd mawr cyffredinol. Nid ydym yn tybied wedi y cwbl ei fod cystal pregethwr a Christmas Evans, fel y myn rhai brodyr da yn Pennsylvania dystiolaethu (maddeued y cyfryw i ni am wahaniaethu oddiwrthynt). Nac ydyw, nac ydyw! *Dear* anwyl! Christmas Evans ydoedd y pregethwr mwyaf a welodd Cymru erioed, ac efallai a wel byth. Yr oedd efe yn *Vesuvius* danllyd fawr o dalent, wedi ei eneinio i'r graddau helaethaf gan ras y nef. Dywedasom wrth y brawd Thomas, wrth ei ganmol, ar ol dod i'r ty, nad oeddym yn ei ystyried, fel rhai brodyr, i fyny â Christmas Evans. "Wyt yn ddoniol iawn, Thomas, ond nid wyt i fyny â'r hen wron! Nac wyt, wir?" "Wel," meddai yntau, "nid wyf am gael fy ystyried felly. Nid oes genyf help os oes rhai yn fy ystyried fel efe, neu uwchlaw iddo. Ond cofia di, Giraldus (ebe fe) mae genym lawer o bregethwyr yn awr yn Nghymru i fyny â Christmas." Atebwn inau, "Bobl anwyl! nac oes. Beth sydd ar y bobl! Mae arnaf chwant wrth glywed peth fel hyn, gofyn i ddechreu, Pa le y mae 'yr hen hoelion wyth' wedi myned? heb son am dano ef, yr hwn a roddes Gymru o ben-bwygilydd ar dân o fawl a gorfoledd i'r Goruchaf Fod.

Gwn y bydd i'n cyfaill Mr. Thomas gymeryd hyn oll yn y teimladau goreu. Gwyr ef yn burion, a gwyddom ninau hefyd, fod iddo ddigon o allu i sefyll ar ei deilyngdod ei hun.

## "LLAW-LYFR MOLIANT."

Casgliad yw hwn o Emynau a Thonau at wasanaeth cynulleidfaoedd y Bedyddwyr, detholedig gan Bwyllgor dros Gymanfa Arfon. Y Tonau wedi eu cynganeddu a'u trefnu gan J. H. Roberts, A. R. A. (Pencerdd Gwynedd), Bangor. Mae Golygydd *Seren Gomer* yn canmol y llyfr yn fawr; ac y mae genym ninau air am dano. Yn ystod yr adeg yr oeddym yn Nghymru y cyhoeddwyd ef, a gwyddom i bum' mil, sef yr argraffiad oll, i gael ei werthu yn llwyr mewn mis o amser. Y mae ailargraffiad yn y wasg, a bydd allan yn fuan. Y mae rhai miloedd o archebion am yr ail-argraffiad yn barod mewn llaw. Peth arall, mae yn rhyfeddol o rad—swllt, am y nodiant newydd, a deunaw ceiniog am yr hen nodiant. Y mae genym un copi o hono; ac oni bae fod Cymanfa Minersville wedi cymeradwyo llyfr arall, buasem ni yn cymeradwyo hwn.

## YR ETHOLIAD.

Bydd dydd Mawrth nesaf yn ddydd pwysig, yn ddiau, ond hyderwn yn ddydd o lawen chwedl, pan wybyddir ei ganlyniadau yn ngwersylloedd y Gwerinwyr. Efallai na fu etholiad o ganlyniadau mor bwysig er's rhai blynyddau. Y mae y Democratiaid wedi gwneyd eu goreu i ladd poblogrwydd Garfield; ond y tebygolrwydd yw mai yn eu herbyn eu hunain y daw y saethau i daro. Nid oes dim yn werth ei ddefnyddio fel arfau yn mrwydrau gwladlywodraethol ond arfau gwirionedd. Y gwir a saif byth. Y mae yn dda genym i ni allu cyrhaedd adref mewn pryd o Gymru i roddi ein *vote* o blaid egwyddorion Gwerinol—egwyddorion tegwch, teyrngarwch, rhyddid a chrefydd.

## PHILADELPHIA.

Ymddangosodd yn *Seren Cymru* am Hyd. 7, y nodiad canlynol:

"Y mae yn ninas Philadelphia haner cant o eglwysi Bedyddiedig, a'r oll yn *gaeth gymunwyr* (neu yn hytrach yn wir fedyddwyr)—eglwysi cryfion a lluosog, y rhan amlaf o honynt; a'r oll wedi cychwyn oddiar foncyff Cymreig. Y mae yn syndod fod tri o'r gweinidogion yn Ninas y Cariad Brawdol, ac

y maent yn mhlith enwogion y ddinas yn dysgleirio, tri wedi eu magu yn Sir Benfro, wedi derbyn addysg foreuol yno, a'r tri yn feibion i dri gweinidog nid anenwog o'r un Sir; nid amgen B. D. Thomas, mab i'r diweddar B. Thomas, Narberth; George E. Rees, mab i'r diweddar John Rees, Harnoldsdown, ger Hwlffordd; ac Alfred Harris, mab i'r diweddar James Harris, Tabor, Dyfed, yr hwn er's blynyddau bellach a orphenodd ei daith ar y cyfandir hwn." J. P. HARRIS.

*Providence Pa.*

## TYSTEB Y PARCH. THEOPHILUS JONES.

Mae yn dda gan ein calon fod y Gymanfa wedi cymeryd yr achos teilwng hwn mewn llaw. Pan y mae y dysteb yn cael ei gosod fel hyn o flaen yr enwad, dylai fod rhywbeth teilwng yn cael ei wneyd, i loni calon ac ysbryd yr hen batriarch anwyl a'i briod hoff yn mhrydnawn eu hoes.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae y Parch. E. Edwards, Wilkesbarre, Pa., wedi cymeryd gofal eglwys gyfrifol Coatsville, West Chester Co., a bydd yn dechreu ar ei weinidogaeth y trydydd Sabboth yn Tachwedd.—Teimlir colled ar ol Mr. Edwards yn y maes Cymreig. Dymunwn lwyddiant a chysur i'n brawd hoff yn ei faes newydd. Cofied am y WAWR.

—Yn *Seren Gomer* am Hydref mae erthygl ragorol gan Christmas Evans, na welodd oleuni dydd erioed o'r blaen, yn cynwys "Hanes y Bedyddwyr yn Mon." Dechreuwn gyhoeddi yr unrhyw yn ein rhifyn nesaf.

—Dysgwyliwn y bydd rhyw frawd medrus yn Wisconsin, yn cymeryd mewn llaw yn fuan i ysgrifenu cofiant teilwng i'r hybarch a'r anwyl frawd Thomas Holland, Dodgeville. Bydd yn dda genym roi y lle goreu yn y WAWR i'w gofiant ef. Yr oedd ef yn anrhydedd i'w enwad, i'w grefydd, ac i'w genedl. Mae dwy o chwiorydd parchus o'r lle, Mrs. Margaret Roach a Mrs. Ann Howells, wedi anfon i ni Hiraeth-ganau ar ei ol. Diolchwn iddynt am eu teyrnged hwn o barch i'w gweinidog anwyl yr hiraethant ar ei ol. Caiff y penillion ymddangos yn y rhifyn nesaf, oeddynt yn rhy ddiweddar i'r mis hwn.

—Mae y Parch. J. P. Harris, (Ieuan Ddu), yn anfon atom i ddweyd y bydd iddo ysgrifenu cofiant yn fuan i'r chwaer hawddgar ymadawedig, Mrs. B. Hughes, Hyde Park.

—Byddwn ni a llawer eraill yn y wlad hon yn teimlo yn hiraethus ar ol Ednyfed.

—Da genym weled yr hysbysiad yn y WAWR ddiweddaf am ddychweliad i'w hen gartref, at ei frodyr, y Parch. Daniel J. Lloyd, Swydd Jackson, Ohio.

# Barddoniaeth.

## GOLWG AR GYMRU O AMERICA.

E welais America fawr
O Gymru fy ngwlad—gwlad sydd well,
Ond gwelaf hoff Gymru yn awr
O diroedd America bell;
Chwanegu wna pellder ei swyn,
Fel rhosyn 'mysg drain y mae'n dlos,
Neu lili wen-ruddiog mewn llwyn,
Neu seren ar ddwyfron y nos.
Mae'n werth dyfod yma bob cam,
Er gweled pell degwch fy ngwlad,
Lle huna yn dawel fy mam,
Lle gorwedd mewn oerfedd fy nhad,
Lle cwsg fy angyles, fy ngwraig,
Fy Margaret byth anwyl i mi,
Yn ymyl ei baban mewn craig,
Ar lanau'r hen Deifi a'i lli',
Lle mae fy anwyliaid yn byw,
Gobeithio yn fyw ac yn iach,
Fy Bessie a'm Ieuan yn syw,
Fy Willie a'm ffel Maggie fach;
Nid ydyw fy mhellder o'm gwlad,
Yn denu na newid fy mryd,
Na, na, y mae calon eich tad
Yn curo yn gywir o hyd.
Naturiol a chyflym rhydd lam
Tuag atoch yn fynych, rai bach,
Ac ofna rhag i chwi gael cam,
Gweddia ar Dduw eich bod iach.

Os trefn yr Ior yw i mi
I farw yn mhell o fy ngwlad,
O cofiwch o hyd, drosoch chwi
Bu gweddi ddiweddaf eich tad.
Gwnaf frysio yn ol ar fy hynt,
Boed pobpeth yn ffafriol a llon,
Bydd wrthyf drugarog, O wynt,
Bydd lefn dy gefn, O don!

O, cofiwch elfenau, mai Cymro wyf fi
O serch anorchfygol a chariad di-frad,
'R wy'n foddlon i farw, ond bydded i mi
Gael beddrod yn rhywle yn Nghymru, fy ngwlad.

Fy ngwlad fendigedig ac uchel dy glod!
Pe byddai rhyw fai ynot ti,
Gwnawn faddeu yn union, maddeuant yw'm nod,
A ydwyt yn maddeu i mi?

Cydfaddeu a wnawn, cydgladdwn bob drwg
Yn Ngwerydd yr Iawn heb ddigder na gwg,
Dechreuwn ail-fyw mewn serch dinacâd,
Yn ngwenau ein Duw, hen Gymru fy ngwlad;
Tydi yw fy mam, dy fab ydwyf fi,
Fy nghariad sydd fflam byth byth atat ti,
Rho gariad i'th blentyn yn awr O fy mam,
A boed i'n calonau gydgwrddyd mewn fflam!
A derbyn yn ffol bur gusan fy serch,
A dyro un 'n ol fel mynych gwna merch.
Cydganwn yn burol tra yma yn byw,
Mae cariad yn swynol a dwyfol fel Duw!
O fy ngwlad, O fy ngwlad, bu i ti well meibion,
Ond dim mwy o gariad yn llosgi mewn calon!

Fy enaid o hyd mewn gweddi fawr, fud,
A drosot i fyny at Grewr y byd,
A dyma ei swm a'i sylwedd tra thrwm,
O bob-da na fydded hoff Walia yn llwm!
Ond chwified dy faner mewn rhinwedd a bri,
Ai bywyd neu angeu a ddygwydd i mi,
Fy nghalon fel cwmwl eheda trwy'r nen,
A thor mewn bendithion yn fyrdd ar dy ben!

*Awst* 4, 1880. MYFYR EMLYN.

---

## LLONG-DDRYLLIAD PAUL.

(DYFYNIAD O BRYDDEST.)

O! wele'r llong yn awr ar ben ei thaith;
Do, gwthiwyd hi ar hyd ei llwybr llaith,
A gorphwys mae ar ryw dywodlyd fan,
Yn syth fel saeth y glynodd ger y lan.
Yn sydyn clywid trwst fel taran gref,
A'r adsain yn chwyrnellu hyd y nef;
Yn hollti'n ddwy mae'r llong, a'r eigion gwyllt
Fel rhwygawl gledd ei hochrau'n ddarnau hyllt,
A'r gwyr yn draphlith, nofiant am y tir,
Gan fraw eu ffordd nis gallant wel'd yn glir;
Mae darn o'r llong uwchben y tonau dig,
Ac arno Paul a'r hen ganwriad drig;
Y carcharorion gyda'r milwyr sydd,
A dyfal wyliant ffordd i ffoi yn rhydd;
Y milwyr hyfion a'u calonau dur,
A gyd-edrychent â golygon sur;
Pob un a'i arf yn barod yn ei law,
Am ladd y carcharorion oll heb fraw,
Rhag iddynt ffoi yn y cyffroad blin,
Eu difa'n llwyr a wnaent fel prenau crin.

Yr hen ganwriad dewr, edrychai'n syn,
A gwedd-newidiodd oll pan glywodd hyn,
A'i lais yn hyf, llefarodd yn eu clyw,
Mai rhaid oedd arbed pawb a'u cadw'n fyw,
O herwydd Paul, y prif garcharor, sydd
Yn rhwym o sefyll yn y frawdle fydd
Yn Rhufain deg, prif-ddinas fawr y byd,
A chyfiawn farn gan Cesar yn ddigryd,
Am ddysgu'r byd i fyw yn hollol groes
I'r ddysg a gawn gan ddynion mawr ein hoes.

Yr awr ddiweddaf yw, mae pawb yn brudd!
Ac angau gwelwlas yn eu gwylied sydd;
Ond ofer yw ei gais, mae arfaeth Duw
Yn sicrhau y byddant oll yn fyw;
Ond rhaid ymdrechu'n ddewr cyn cyraedd glan
A phawb yn ddiogel welir yn y man;
Ar estyll culion dacw rai yn myn'd,
Pob un a all afaela yn ei ffrynd;
Mae cyfeillgarwch'n awr fel aur mewn gwerth,
A chalon rydd i galon fwy o nerth.

Mae Paul â dwysder angel ar ei wedd,
A'i wên obeithiol fel y wawr mewn hedd;
Apostol yw, mae fel ei Feistr mawr
Ar fôr Tiberias yn y gyfyng awr;
Mae Duw'n ei ddal, ac yntau'n dal yn Nuw,
Uwch ofnau prudd, fel Cristion ffyddiog yw;
Mae'r gwir addolwr yn y dymestl flin,
O feddwl llon, fel yn yr hafaidd hin,
Mae ef yn byw mewn myfyr yn y nef,
A'i gysur yw, bod Duw yn gwrando'i lef.

*Kingston, Pa.* JAMES R. PRICE,
(*Iago Morganwg.*)

---

## Y DIWEDDAR D. S. ROBERTS,

("DAFYDD DYFED,") HYDE PARK, PA.

Yn hwyr oes gwir flaenor hedd—a wysiwyd
I feusydd tangnefedd;
D. S. Roberts arabedd,
Hwn a'i foes wyna ei fedd.

I fwynhad lle na cha eisglwyf* nyth—aeth
Ar ei hynt unionsyth;
Ond try ei gofiant tragyfyth,
Ei sêl a'i barch i'n sylw byth.

Rhed awen yr hen frawd Dewi—heddyw
Mewn pereiddiach yni,
Yn nghlyw Ion—yn ngoleuni
Engyl nef englyna hi.

DEWI OGLE.

* Pleurisy, o'r hwn ddolur y bu farw.

## LLINELLAU PRIODASOL

I Mr. T. O. RICHARDS a Miss MAGGIE HARRIS, merch y Parch. J. P. Harris (Ieuan Ddu), Providence, Pa.

---

T. O. Risiart ei wir asen—gafodd
Mewn gwiwfad wraig lawen;
Miss Harris, dyma seren
Oleua'i nos, loewa'i nen.
DEWI OGLE.

Ior a'i wenau tirionaf—i'w hundeb
Fyddo'n bendith sicraf;
Dalied i'r fynyd olaf
Lwybr eu hoes fel boreu haf.
GWYDDERIG.

Maggie'n ddyfal ofala—am ei phen,
Mae'i phwys arno'n bena';
Y ddwy aden ddyweda,
Yn awr wyt ddyn Risiart dda.
CALLESTR.

Un hygar ydyw Maggie—yn fendith
Fo'i hundeb â Tommie;
Caru iawn fo'n coroni
Hyd y bedd ei hanedd hi.

Hedd y Nef eiddunaf fi—i'r ddau lwys
Paradwys priodi;
Dan ei bron boed yni a bri—da b'ont
Nes y glaniont ar risiau goleuni.
EI RHIAINT.

---

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA

### JAMAICA.

Gan ein bod yn barod wedi rhoddi yn fyr ychydig o hanes cychwyniad yr achos cenadol yn India, China, a Japan, dichon nad annyddorol fyddai i ni sylwi ar y "cerbyd" yn cychwyn yn y wlad uchod hefyd. Mae Jamaica wedi ei rhanu yn dair o siroedd, sef Middlesex, Surrey, a Cornwall, a chynwysant dri-ar-hugain o blwyfau. Mesura yr ynys 180 miildir o hyd, a 60 o led. Darganfyddwyd hi gan Columbus ar y 3ydd o Fai, yn y fl. 1494.

Nid i ni fel Bedyddwyr y perthyn yr anrhydedd o ddechreu efengyleiddio Jamaica. Perthyn hyny i'r Morafiaid, y rhai a ddanfonasant genadon i'r ynys yn 1754. Beth bynag, aeth Bedyddwyr yno heb fod yn faith ar eu hol. Yn y flwyddyn 1772, dygwyd un o'r enw Mr. George Lisle i Kingston, prif ddinas yr ynys; dyn du ydoedd, a chaethwas gyda hyny. Yr oedd Lisle wedi bod yn weinidog ar eglwys Fedyddiedig yn Georgia, yr Unol Dalaethau. Yn fuan canlynwyd ef gan dri o aelodau ei eglwys, sef Mri. Moses Baker, Gibbs, a Robinson. Yn union wedi cyrhaedd Kingston dechreuodd Lisle ar ei hoff waith, a chynorthwywyd ef yn fawr gan y brodyr a'i dilynasant ef. Y Wesleyaid a ddanfonasant genadon i'r ynys yn y flwyddyn 1789. Ni ddanfonodd Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr yr un yno hyd y flwyddyn 1813, pan ddanfonwyd Mr. John Rowe i gynorthwyo a chydweithredu â Mr. Baker. Ordeiniwyd Mr. Rowe i waith y weinidogaeth gan yr enwogion Fowler, Sutcliff, a Ryland. Pan gyrhaeddodd Mr. Rowe Jamaica, cafodd yr achos mewn sefyllfa annhrefnus iawn, llywodraeth eglwysig ar lawr, swper yr Arglwydd heb ei weinyddu er ys tair blynedd, a phawb o'r aelodau yn rhodio yn eu ffyrdd eu hunain. Yr oedd Mr. Baker wedi ei rwystro i bregethu er ys mwy nag wyth mlynedd, felly anwybodaeth eilwaith wedi cymeryd lle y goleuni. Trwy egni mawr daeth Mr. Rowe mewn amser byr yn alluog i draddodi iddynt air y bywyd, a dwyn pethau i fwy o drefn. Nid oedd ei gynulleidfa ar y cyntaf ond bychan iawn, er hyny yr oedd yn perthyn iddi amrai ddynion gwynion tra chyfrifol. Ond nid hir y bu ef ychwaith cyn ei atal, a hyny heb un rheswm. Beth bynag, gan ei fod yn meddu cymeriad mor dda, cafodd ail-ymaflyd yn y gwaith. Mawr y llawenydd a deimlai am y fraint a'r rhyddid i fyned yn mlaen, ond ychydig o amser gafodd i fwynhau y rhyddid, oblegid ar y 7fed o Fehefin, 1815, tynodd ei anadliad diweddaf, ac ehedodd ei enaid pur i "ardal lonydd yr aur delynau."

Yn Tachwedd, 1814, danfonodd y Gymdeithas allan un o'r enw Mr. Lee Compare a dau eraill o aelodau Broadmead, Caerodor, y rhai oeddent ddynion hylaw iawn gyda'r ysgol Sabbothol. Wedi dyfod i Kingston, cafodd Mr. Compare ei hun yn nghanol canoedd o

Negroaid Bedyddiedig. Wedi ymchwiliad manwl cafodd na allasai roddi cymundeb i fwy na thua 200 o honynt, o herwydd eu cyflwr anwybodus. Wedi bod yn ddiwyd yn eu dysgu, yr oedd ganddo yn mhen ychydig fisoedd eglwys yn rhifo 400 o gymunwyr teilwng. Yn herwydd gwaeledd ei iechyd danfonodd Mr. Compare at y Gymdeithas gais am gynorthwywr, a danfonwyd allan Mr. Coultart. Wedi glaniad Mr. Coultart ymadawodd Mr. Compare am Georgia, U. D., er mwyn ei iechyd. Treuliodd weddill ei oes yn y Dalaeth uchod yn pregethu i'r Indiaid. Bu llwyddiant anarferol ar weinidogaeth Mr. Coultart am amser maith ar ol ei laniad. Aeth y capel yn rhy fach; adeiladwyd un ag oedd yn fwy. Cynyddodd yr eglwys nes bu raid ei rhanu yn ddosbarthiadau. Yn 1818 danfonwyd dau eraill allan, sef Mri. Christopher Kitching a Thomas Codden. Aeth Codden i Spanish Town a Kitching i Kingston. Wedi llafurio yn ddiwyd am flwyddyn galwodd y Meistr mawr ar Kitching adref, a mawr yr hiraeth oedd yn Kingston ar ei ol. Dywedir fod pum' mil o Negroaid yn ei angladd, a'r dagrau gloewon yn treiglo dros eu gruddiau duon i'r llawr ar ol eu *massa* anwyl. Yn y flwyddyn 1820 llosgodd ty y genadaeth yn Spanish Town i'r llawr, a bu agos i Mr. Codden golli ei fywyd yn y fflamau. Yn yr amser byr yr oedd Mr. Codden wedi bod yn Spanish Town yr oedd wedi enill pawb i'w garu; mewn gair, yr oeddent yn ei garu fel eu heneidiau eu hunain. I ddangos hyn, dywedir fod dynes Negroaidd, yn amser y tân, yn ddiflin yn cario dwfr i ddiffodd y tân, yn holi yn fynych, "Pa le mae gweinidog fi?" Ni wyddai neb y pryd hwnw ei fod yn ddiogel, a dywedodd rhyw un wrthi ei fod yn sicr o fod wedi llosgi a marw yn y tân. Pan ddywedwyd hyn wrthi syrthiodd i lawr a bu farw yn y fan.

Yn y flwyddyn uchod dychwelodd Mr. Coultart o Loegr, lle yr oedd wedi bod am dro er mwyn ei iechyd. Ymsefydlodd yn Kingston, a dechreuodd achos hefyd yn mhlwyf Manchioneal, tua 63 milldir o Kingston. Yn fuan cododd gapel yn Kingston, yn ddigon mawr i gynwys tua dwy fil o wrandāwyr, a byddai yn cael ei lanw ar nosweithiau o'r wythnos. Yr oedd gan Dr. Ryland olwg fawr ar Manchioneal, a llwyddodd i gael un o aelodau Broadmead eto i fyned allan yno yn genadwr, sef Mr. Thomas Knibb, genedigol o Kettering. Wedi cyrhaedd Jamaica cafodd Mr. Knibb Coultart yn wael iawn ei iechyd, ac yn herwydd hyny arosodd yn Kingston i'w gynorthwyo. Yr oedd gan Mr. Coultart eglwys o ddwy fil a saith cant o aelodau. Mae yr hanes a yrodd Mr. Knibb yn ol yn ddarluniad cywir, allwn feddwl, o sefyllfa pethau yno. Meddai: "Mae y gynulleidfa yn Kingston yn fawr iawn. Chwi synech weled mor astud y gwrandawant y gair yn cael ei bregethu iddynt. Edrychant mor astud a phe heb wrando am iachawdwriaeth erioed o'r blaen, a fel pe bae eu bywyd yn ymddibynu ar eu bod yn dal ar bob gair a leferir. Nid anghofiaf byth yr ail Sabboth a dreuliais yma. Yr oedd yn Sabboth cymundeb, a llawer i'w bedyddio. Yr oedd y bedydd i fod yn gynar yn y boreu; dyna'r arferiad, am fod amgylchiadau yn galw am hyny. Yr oedd y bedydd i gymeryd lle yn y môr, lle rhagorol, am fod y bedyddiedigion mor lluosog. Awd allan i lan y môr tua phump o'r gloch yn y boreu, ac er ein syndod yr oedd yno lu mawr wedi ymgasglu yn barod—rhai wedi cysgu dan goedydd oedd yn yr ymyl drwy y nos er gallu bod yno mewn pryd. Yr oedd yno luaws mawr o gychod wedi eu llenwi ag edrychwyr, yn gwneyd haner cylch am bellder allan i'r môr, o fewn yr hwn yr oedd y bedydd i gymeryd lle. Gosodwyd y bedyddiedigion yn ddwy res ar y traeth, y menywod ar un llaw a'r gwrywod ar y llaw arall. Yr oedd y menywod oll mewn gynau gwynion, a'r gwrywod mewn llodrau duon a chrysau gwynion. Canent yn swynol a chyda hwyl neillduol pan byddai y bedyddiedig yn cael ei godi o'r dwfr. Y nifer a fedyddiwyd oedd cant a deuddeg a deugain; yr oedd pedwar ug-

ain yn fenywod. Yr oedd llawer mwy nag a fedyddiwyd yn gofyn am fedydd, ond gwrthodasom, am na ystyriem hwynt wedi eu haddysgu yn ddigonol. Mae y cenadon oll yn dra gofalus pwy a fedyddiant. Nid oes cymellion i neb yma i ragrithio, oblegid nid ydynt i ddysgwyl dim ond anmharch ac erledigaeth. Yn y prydnawn gweinyddwyd swper yr Arglwydd, ac yr oedd yn amlwg fod y Brawd Hynaf wrth y bwrdd, ac yn dywedyd, 'Tangnefedd i chwi.'"

Yn y flwyddyn 1823, danfonwyd pump o genadon yn ychwanegol allan. Yn eu plith yr oedd un o'r enw Mr. Ebenezer Phillips, yr hwn y mis cyntaf wedi ei laniad a fedyddiodd gant ac wyth-a-deugain o bersonau. Yn Ebrill, 1824, terfynwyd gyrfa lafurus Mr. Thomas Knibb gan angau. Gadawodd le gwag, a galar mawr ar ei ol. Ond yr oedd yr hwn a ddywedodd wrth y dysgyblion gynt, "Ni adawaf chwi yn amddifaid" ag un yn barod i lanw y lle gwag, a'r un hwnw yn frawd naturiol ac ysbrydol i'r ymadawedig, sef yr enwog William Knibb, am yr hwn y bydd genym air y tro nesaf, os yr Arglwydd a'i myn.

### Y GWAITH YN MYNED RHAGDDO.

Bedwar ugain mlynedd yn ol nid oedd yn holl wledydd paganaidd y byd ond 50,000 o Gristionogion; yn awr mae 1,650,000. Y pryd hwnw nid oedd yn cael eu casglu yn flynyddol at y genadaeth dramor ond $310,000; yn bresenol mae $6,250,000. Y pryd hwnw nid oedd ond 70 o ysgolion Protestanaidd; yn bresenol y mae 12,000 o honynt, a 400,000 o ysgolheigion ynddynt. Ddechreu y ganrif bresenol nid oedd y Beibl wedi ei gyfieithu ond i 50 o ieithoedd; erbyn heddyw darllenir ef mewn 226 o ieithoedd, a rhyw 148,000,000 o gopiau o hono wedi eu gwasgaru.

### BRENINESAU YN DYFOD YN FAMAETHOD.

Yn ddiweddar cysegrwyd yr addoldy breninol yn Antananrivo, Madagascar. Yr oedd y frenines a'i phrif weinidog yn bresenol. Ar yr achlysur darllenodd y prif weinidog i'r gynulleidfa hanes troedigaeth y frenines, yr hwn oedd wedi cymeryd lle mewn canlyniad, nid o wrando yr un cenad yn pregethu, ond yn unig darlleniad ystyriol o *hwn*, meddai, gan ddal i fyny gyfrol fechan o'r Ysgrythyr Lân ag ydoedd wedi ei hargraffu gan y Feibl Gymdeithas Brydeinig a Thramor yn 1865.

### TELOOGOO, ETO.

Bedwar ugain milldir i'r gogledd-ddwyrain o Ongole, ac yn agos i afon y Kristna, mae 400 yn aros am ganiatad i ddyfod i Ongole i gael eu bedyddio. Mae y lle hwn 25 milldir yn mhellach yn y wlad na'r orsaf bellaf oedd dan ofal y brawd Clough o'r blaen. Dywed Mr. Clough mewn llythyr yn ddiweddar, na wyr beth i wneyd o'r canoedd sydd yn dylifo atynt o bob man, os na chânt gynorthwy o ryw le yn fuan. Llefwn ar i Dduw godi gweithwyr at y gwaith.

### CANLYNWYR Y GAU BROPHWYD YN DERBYN Y GWIRIONEDD.

Yn Marsh, canolbarth Twrci, mae diwygiad mawr wedi tori allan. Yn mis Ebrill diweddaf torodd tri chant allan i lefain, beth i wneyd i fod yn gadwedig. Yn nwyreinbarth Twrci mae cyffro byw hefyd—naw o orsafoedd newyddion wedi eu sefydlu, yr hyn a wna 116 yn yr holl wlad. Rhifir yn Twrci yn bresenol 11,749 o Brotestaniaid.

### GWAITH RHAGOROL MEWN UGAIN MLYNEDD.

Yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, dywedir ar awdurdod dda, fod y Cristionogion yn Tinnevelly wedi cynyddu o 28,151 i 53,536, a phlant yr ysgolion o 7,431 i 13,428, pregethwyr o 9 i 58, a'r cyfraniadau o $2,000 i $10,000 yn flynyddol. Bedyddiwyd yno y flwyddyn ddiweddaf 1,500.

### BYWGRAFFIAD GWERTHFAWR.

Ar gareg fedd y dyn da y Parch. John Geddis, yn ymyl capel bach cenadol Ameitum, Môr y De, mae y bywgraffiad canlynol: "Pan ddaeth ef yma

'doedd yma ddim Cristionogion; pan ymadawodd 'doedd yma ddim paganiaid."

---

# HANESION CARTREFOL.

---

### Llythyr Cymeradwyaeth.

*Eglwys Iesu Grist o Fedyddwyr Neillduol, yn cyfarfod yn Church Hill, O., at Unrhyw Eglwys o'r un Farn a Threfn:*

Dymunwn hysbysu fod y dygiedydd, ein hanwyl frawd, y Parch. J. F. Richards, yn aelod rheolaidd o'r eglwys hon, ac yn weinidog i Iesu Grist yn ol trefn ein henwad; wedi ein gwasanaethu fel gweinidog, o Ionawr 1, 1877, hyd yn bresenol, Medi 19, 1880; ac ar ei gais trosglwyddwn ef i'ch gofal brawdol a Christionogol chwi. A Duw yr heddwch a ychwanego trwyddo beunydd at eich rhif, o'r rhai a fyddant gadwedig, ac a'ch llwyddo yn mhob daioni. Dros yr eglwys,

D. T. Griffith, *Ysg.*

*Dyddiedig Medi* 19, 1880.

---

### Sefydliad Gweinidog.

*Johnstown, Pa.*—Barchus Olygydd: Ychydig fisoedd yn ol penderfynodd eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn y lle uchod gael rhyw frawd da i'w bugeilio yn yr Arglwydd. Caed cyfarfod o'r eglwys i ystyried y mater, gweddiwyd llawer y noson hono, yn gystal a rhai wythnosau yn flaenorol i hyny, am i'r Cyfarwyddwr mawr eu cyfarwyddo i wneyd dewisiad doeth a da; ac wedi dwys ystyried y mater ac ymgyngori llawer, daethpwyd i'r penderfyniad, o unfryd calon, heb gymaint ag un llais gwrthwynebol, i roddi galwad i'r gweinidog diwyd a llafurus, y bugail tyner a gofalus, y Parch. Joseph T. Jones, Thomastown, Ohio, gynt; ac ar ol dwys ystyriaeth, derbyniodd yr alwad, a dechreuodd ar ei waith ddydd Sabboth, Hydref 3, 1880, ac er mwyn gwneuthur pob peth yn weddaidd ac mewn trefn, penderfynwyd cynal cyfarfodydd er sefydlu y brawd parchus, ddydd Sabboth, Hydref 17eg, 1880, a gwasanaethwyd gan y Parch. Allen J. Morton, Pittsburgh, a chafwyd cyfarfodydd bendigedig. Credwn yn onest a chydwybodol y clywem swn yn mrig y morwydd yn y cwbl. Gwnaeth y brawd Morton yn rhagorol, a gobeithiwn a gweddiwn am i'r had da a hauwyd gymeryd dyfnder daear yn nghalonau pawb a'i clywodd, ac y bydd iddo ddwyn ffrwyth i fywyd tragywyddol. Dymunwn hefyd am i lwyddiant mawr fod ar weinidogaeth ein hanwyl frawd Jones, ac y bydd ei arosiad yn hir yn ein plith.

Barchus Olygydd, fy nymuniad i o'm calon yw, am i lafurus gariad ein brawd fod yn foddion llwyddianus dan fendith y Nef, i ddwyn y rhai hyny yn ol i'r ddeadell a'r gorlan, y dylasent fod ynddi—y rhai hyny a broffesant eu hunain yn Fedyddwyr egwyddorol, ond sydd a'u henwau yn britho llyfrau eglwysig enwadau taenellyddol! Dychweled y cyfryw rai, fel y byddont yn gyson â hwy eu hunain, ac â gair y digelwyddog Dduw, [illegible]rth yr hwn y bernir, y pwysir, ac y mesurir pawb o'r byw a'r meirw yn y dydd mawr hwnw. Yr eiddoch yn frawdol—*Thomas J. Price, Johnstown, Pa.*

---

### Y Parch. Fred. Evans, D. D. (Ednyfed).

Mr. Gol.: Hysbys erbyn heddyw i'r rhan luosocaf o'ch darllenwyr fod y cyfaill trylwyr, y siaradwr ffraeth, y pregethwr poblogaidd a'r darlithydd hyawdl a doniol uchod, wedi cefnu ar America, croesi y Werydd, ac erbyn hyn wedi glanio yn Ngwlad y Cenin. Cynaliwyd cyfarfod ymadawol yn ei hen eglwys yn Franklin, Pa., nos Sul, Hydref 3; ac yn ol fel y dywed yr *Independent Press* a'r *Evening News*, ni welwyd y fath gynulleidfa erioed mewn addoldy yn y dref hono o'r blaen. Haner awr cyn amser y gwasanaeth cyhoeddus i ddechreu yr oedd pob cwr o'r adeilad wedi ei lanw, a chanoedd yn gorfod troi eu cefnau, am y methent gael mynediad i mewn. Yr oedd yno ugeiniau o bobl perthynol i enwadau y

Presbyteriaid, y Methodistiaid a'r Episcopaliaid; dynion o bob gradd a sefyllfa wedi dyfod yn nghyd i ddangos eu parch a'u hedmygedd o un ag oedd wedi llafurio yn eu plith am chwe' mlynedd gyda'r fath lwyddiant anarferol. Oddiamgylch i'r areithfa yr oedd blodau prydferth ac amryliw. Am saith o'r gloch wele Ednyfed yn gwneyd ei ymddangosiad yn y pwlpud. Dechreuodd y Parch. J. Davis, Illinois, y cyfarfod trwy ddarlen rhan gymhwysiadol o Air Duw, a'r cor yn canlyn trwy ganu anthem bwrpasol, ac yna gweddi ddwys ac effeithiol gan Mr. Davis. Wedi canu drachefn wele y gweinidog ar ei draed ac yn cyhoeddi ei destyn—"Pryn y gwir, ac na werth." Syllai pob llygad arno. Yr oeddent wedi dyfod yno efallai i wrando ar y pregethwr am y tro olaf, yr hwn oedd wedi eu swyno a'i bregethau bywiog, meddyliau ehedegog a barddonol, yn awr yn ffarwelio a hwynt. Y bregeth gyntaf a draddododd yn Franklin oedd ar y testyn hwn; ac ar ddymuniad pobl ei ofal y pregethodd hi y noson olaf. Yr oedd cryn wahaniaeth yn nifer y gynulleidfa y ddwy noson. Pan ddechreuodd ar ei lafur yno, yr oedd y gynulleidfa yn fechan, yr adeilad heb ei orphen, a'r ddyled yn fawr; ond erbyn hyn y mae yno gapel ardderchog, eglwys boblogaidd, a'r ddyled wedi ei chlirio. Bedyddiodd 212, a derbyniodd trwy lythyrau, ac oddiar dir gwrthgiliad 76, yn gwneyd y cyfanswm o 288 o ychwanegiad at rifedi yr eglwys mewn chwech mlynedd o amser. Nid rhyfedd fod ei dalent yn cael ei hedmygu, a'i lafur ei werthfawrogi. Dywedai newyddiaduron Franklin na fu un dinesydd mwy parchus, na gweinidog mwy cymeradwy yn y dref erioed; ac y mae yn hawdd gan Gymry America gredu hyny, oblegid nid dyn i'r enwad Bedyddiedig yn unig oedd Dr. Evans, ond dyn i bawb ydoedd. Pan fyddai eisiau darlith dda ar Fethodistiaid Cincinnati, danfonent am Ednyfed bum' cant o filldiroedd oddiyno i ddyfod i ddarlithio iddynt. Os byddai eisiau arweinydd bywiog mewn Eisteddfod Genedlaethol, Ednyfed fyddai raid ei gael er cyflawni y gorchwyl. Ond wele Ednyfed, a fu am agos i bedair blynedd ar ddeg mor boblogaidd yn ein plith, wedi cefnu arnom. Yn wir o'r braidd y credwn mai ffaith ydyw; ond yr ydym yn dra hyderus mai yn ol atom y daw eto heb fod yn hir; ac y mae yr eglwys yn Franklin yn foddlon aros am flwyddyn heb weinidog er rhoddi mantais iddo wneyd ei feddwl i fyny yn hollol pa un a erys yn Nghymru ai peidio.

Bobl Maesteg, Cymru, gwnewch yn fawr o hono am y tymhor byr y bydd gyda chwi. Yr ydych wedi cael un o fechgyn goreu yr areithfa, y cyfaill mwyaf anwyl a gafodd yr ysgrifenydd yn ngwlad y gorllewin; anhawdd, a rhy anhawdd yw tewi, a dyweyd, Ffarwel!

D. Lloyd Jones.

*Pittsburgh, Pa.*, Hydref 12, 1880.

---

### Cyfarfod Tri-Misol

*Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.*

Cynaliwyd y cyfarfod uchod yn Palmyra, Ohio, Medi 17eg, 18eg a 19eg, 1880. Am 2 o'r gloch dydd Sadwrn agorwyd y gynadledd gan y brawd Joseph T. Jones, Johnstown. Yn absenoldeb y Llywydd rheolaidd, sef y Parch. C. Jones, etholwyd y brawd Allen J. Morton, Pittsburgh, yn Llywydd am y presenol.

Penderfynwyd y pethau canlynol:

Fod y brawd John Thomas, diweddar o Niles, i gael llythyr gollyngdod o'r gymanfa hon i ymuno a chymanfa yn y Gorllewin.

Fod y brawd Edward Jenkins, Parisville, i gael ei ryddhau o'r cyfrifoldeb o gasglu at gapel Niles ar ol iddo orphen casglu yn Niles a Warren.

Fod y gynadledd yn awdurdodi eglwys Niles yn nghyda'r brodyr L. Mathias, Mineral Ridge, a Jenkins, Parisville, i benodi brawd arall i orphen y gwaith o gasglu.

Fod y brawd ieuanc Gwilym Thomas, o Athrofa Judsonia, Arkansas, yn cael caniatad i ymweled ag eglwysi y cylch i gasglu at yr Athrofa uchod. Dymunem i bob eglwys yr ymwelo a hi

ei dderbyn yn wresog a gwneyd eu goreu dros yr Athrofa y mae yn cael yr anrhydedd o'i chynrychioli.

Gan nad oedd neb yn gofyn am y cyfarfod trimisol nesaf, penderfynwyd fod yr eglwys gyntaf a anfono at yr Ysgrifenydd am dano i'w gael.

Gan fod eglwysi y cylch mor aml yn cael eu twyllo gan bregethwyr afreolaidd, taer ddymunir ar i bob eglwys yn nghylch y Gymanfa hon dalu sylw neillduol i reol yr unfed ar ddeg, yr hon sydd yn darllen fel y canlyn: "Na fyddo derbyniad i un pregethwr yn eglwysi y Gymanfa hon heb fod ganddo lythyr oddiwrth yr eglwys y perthyna iddi; ac oddiwrth y cwrdd trimisol, yn ei gymeradwyo o ran ei gymeriad cyffredinol, ac o ran ei gymwysderau gweinidogaethol.

Dygwyd y gwasanaeth cyhoeddus yn mlaen yn y drefn ganlynol:

Nos Wener, am saith o'r gloch, pregethodd y brawd B. Thomas (Myfyr Emlyn), D. C., yn alluog a phwrpasol iawn.

Nos Sadwrn, am saith o'r gloch, pregethodd y brodyr Joseph T. Jones, Johnstown, ac Allen J. Morton, Pittsburgh.

Dydd Sabboth cynaliwyd y cyfarfodydd 10 a 2 o'r gloch yn yr awyr agored. Am 10 pregethodd y brodyr Thomas Thomas, Sharon, ac Allen J. Morton, Pittsburgh. Am 2 pregethodd y brodyr A. Phillips, Church Hill, yn Gymraeg, a Morton yn Saesonaeg. Am 6, yn y capel, pregethodd y brodyr Thomas Morris, o Athrofa Granville, Ohio, Gwilym Thomas, o Athrofa Judsonia, Arkansas, a Joseph T. Jones, Johnstown.

Dechreuwyd y gwahanol gyfarfodydd gan y brodyr Gwilym Thomas, Thomas Morris, A. Phillips a J. T. Jones. Da genym allu dyweyd i ni gael cyfarfodydd rhagorol, a phregethu galluog a dylanwadol. Yr oedd yr hen frawd Jones, diweddar o Thomastown, yn ei hwyliau goreu. Blin genym golli y brawd anwyl hwn o gylch y gymanfa hon, oblegid y mae yn frawd gwir deilwng, yn bregethwr galluog, ac yn sefyll yn uchel yn ngolwg ei frodyr yn y weinidogaeth, ac hefyd eglwysi y cylch yn gyffredinol. Dymunwn Dduw yn rhwydd iddo yn ei faes newydd, a bendith y nefoedd fyddo ar ei holl ymdrechion.

Hyfrydwch oedd genym weled agwedd mor ddymunol ar y frawdoliaeth fechan yn Palmyra. Ymddangosai pawb wrth eu bodd mewn llawn bywyd, a phenderfyniad i fyned rhagddynt mewn daioni. Mae eu rhagolygon yn wir obeithiol. Y mae ganddynt organ o'r fath oreu yn y capel, a chanu rhagorol, yn cael ei arwain gan y brawd D. Rees, diweddar o Church Hill, a'r brawd Ed. Jenkins, Parisville, yn pregethu ei oreu yno bob prydnawn Sabboth. Gobeithio y bydd i'r cyfarfodydd uchod adael argraff ddaionus ar yr ardal yn gyffredinol. Derbynied ein cyfeillion yn Palmyra ein diolchgarwch gwresocaf am eu caredigrwydd a'u sirioldeb tuag atom yn ystod ein harosiad yn eu plith.

THOMAS THOMAS, Ysg.

*Sharon, Pa.*

---

BERLIN, WIS.

Cynaliodd eglwys y Bedyddwyr gyfarfod pregethu yn y lle uchod ar ddyddiau Mercher ac Iau, Medi 22, 23, pan y pregethwyd gyda nerth a dylanwad mawr gan y Parchn. H. C. Parry, D.D., Oshkosh; E. H. Page, Berlin; R. D. Evans, Springwater, a W. T. Williams, Berlin. Cafwyd cyfarfodydd rhagorol, pregethu ardderchog, gwrandawiad astud, a chanu da iawn. Teimlid fod yr Arglwydd yno yn mysg ei bobl. Y mae eglwys Berlin mewn cyflwr crefyddol siriol, a llawer wedi eu hychwanegu at yr achos yn ddiweddar. Yr Arglwydd a fendithio bregethiad gair ei ras er adeiladaeth i'r eglwys yn y ffydd, ac i ddychwelyd pechaduriaid at y Ceidwad mawr.—*J. E. Thomas.*

---

*BEDYDDIWYD—*

**Yn Springwater, Wis., Awst 29, 1880, bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. R. D. Evans, gweinidog.**

Yn Ashland, Pa., Hydref 17, 1880, gan y Parch. J. Griffiths, bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn ol y cynllun apostolaidd.

Yn Providence, Pa., Hydref 17, ychwaneg egwyd at yr eglwys 15 o aelodau. Bedyddiwyd 6 gan ein parchus weinidog, J P. Harris. Y mae dau eto yn aros, gan ddysgwyl yr un fraint; yr achos yn gwisgo agwedd lewyrchus ar hyn o bryd. Mae gwelliantau wedi eu gwneyd yn allanol, ac arwyddion boddlonrwydd Duw arnom.—*Aelod.*

Mr. Gol.—Dylaswn nodi yn fy epistol diweddaf fod yn Coal Valley, W. Va., eglwys Fedyddiedig arall perthynol i'r bobl o liw, a bod ganddynt eglwys gref, weithgar a diwyd; ac mae yn dda genyf allu ychwanegu, fod yr hyn a welsom ac a glywsom ddoe yn brawf amlwg ei bod i fyny a'r cymeriadau crybwylledig. Dymunol a hyfryd ar brydnawn Sabboth, Medi 26ain, ydoedd gweled pymtheg yn ufuddhau i'r bedydd trwy drochiad, yn ol gorchymyn Pen mawr yr eglwys, sef deg brawd a phum' chwaer, ac y mae ychwaneg eto yn aros yr un fraint. Rhif yr eglwys yw 70, a'r Ysgol Sabbothol yn rhifo 80. Yr Hwn sydd wedi eu harddel a'u harddelo eto, yw dymuniad —*J. R. Jones.*

## *PRIODWYD—*

Hydref 16, 1880, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn ei dy ei hun, Mr. David Hughes a Miss Mary A. Davies, y ddau o'r dref uchod.

Pur ydyw stâd priodas—aur emawg
Rwymyn glân gymdeithas,
Er arddel cywir urddas,
Uniawn gred anian a gras. J. G.

Hydref 7, yn Providence, Pa., gan y Parch. B. W. Thomas, Hyde Park, Mr. T. O. Richards, Wilkesbarre, a Miss Maggie, merch y Parch. J. P. Harris (*Ieuan Ddu*), Providence.

Ebrill 26, 1880, yn Plymouth, Pa., gan y Parch. D. R. Jones, yn ei dy ei hun, Mr. John L. Jones a Miss Sarah Price, y ddau o Plymouth.

Gorph. 23, 1880, yn Plymouth, Pa., gan y Parch. D. R. Jones, yn ei dy ei hun, Mr. Samuel Heycock a Mrs. Mary Thomas, y ddau o Plymouth.

Medi 17, 1880, yn Pittston, Pa., gan y Parch. D. R. Jones, yn nhy Mr. Samuel Edwards, Mr. William D. Evans a Miss Elizabeth Griffiths, y ddau o Pittston.

Medi 27, 1880, yn Plymouth, Pa., gan y Parch. D. R. Jones yn ei dy ei hun, Mr. Taliesin Waters a Miss Annie Hopkins, y ddau o Pontypridd, D. C., ond yn awr o Plymouth.

Medi 30, 1880, yn Plymouth, Pa., yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. D. R. Jones, Mr. Thomas R Richards a Miss Sarah Williams, y ddau o Plymouth.

## *BU FARW—*

### MR. JOHN MORGAN.

Medi 18, 1880, yn Brookfield, O., John, mab i Mr. John Morgan, diacon, yn 21 ml. oed. Gadawodd weddw ieuanc, 16 mlwydd oed, tad tyner, brawd a chwaer, a lluaws o gyfeillion, i alaru ar ei ol. Claddwyd ef yn Centre Brookfield, Medi 20fed. Yr oedd yr angladd yn anghyffredin o fawr. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. Charles Jones, Mineral Ridge; Jas. Richards, Church Hill, a John P. Davies, Coalburgh.

Yr oedd John yn aelod gyda'r Foresters, a throisant allan yn gryno i'w gladdedigaeth. Maent yn deilwng o barch am y parch a ddadblygasant i'w brawd.

Yr oedd John hefyd yn aelod o eglwys Fedyddiedig Brookfield, O. Yr oedd yn fachgen hynaws, caredig, ac o gymeriad ardderchog. Nid yn aml y ceir aelod mor dawel yn ngwyneb gwahanol amgylchiadau, mor ufudd yn mhob dim, mor ymdrechol yn ngwahanol agweddau yr achos da, mor onest a didwyll bob amser, ac mor dalentog mewn rhai cyfeiriadau. Pe y caniatesid iddo einioes, diau y buasai yn un o gewri Seion. Ond Ow! mae yn ei fedd. Cafodd yr eglwys golled. Er cymaint ei obeithion a'i ragolygon, gwywodd fel blodeuyn. Cysured yr Arglwydd y lluoedd sydd yn galaru ar ei ol, a bydded yn nawdd i'w dad, brawd a chwaer, a'r rhelyw o'r perthynasau.

*Mineral Ridge, O.* Charles Jones.

### BESSIE WALTERS.

Hydref 8fed, yn Catasauqua, Pa., o'r *scarlet fever*, Bessie, merch David a Maria Walters, yn 2 flwydd, 8 mis a 24 niwrnod oed. Cydymdeimlir yn fawr â'r teulu yn eu trallod. Claddwyd hi yn mynwent y lle uchod ar yr 11eg. Gweinyddwyd gan y Parch. W. D. Thomas, Mahanoy City. Yr eiddoch, &c.,

W. D. Thomas.

### MRS. LEAH PARRY.

Medi 11, 1880, yn Upper Lehigh, Luzerne Co., Pa., Mrs. Leah Parry, gwraig y brawd siriol Joseph Parry, yn 55 mlwydd oed. Dyoddefodd ein hanwyl chwaer gystudd trwm am amryw wythnosau gydag amynedd mawr; eto yr oedd ei marwolaeth yn sydyn ac annysgwyliadwy. Câ yr eglwys a'r gymydogaeth golled fawr ar ei hol. Yr oedd fel Dorcas, yn ddiarebol am ei chymwynasgarwch a'i helusengarwch.

Yr oedd yr ymadawedig yn ferch i Thomas

ac Ann Price, Blaenafon, D. C., lle y ganwyd hi. Symudodd ei rhieni i Lanelli, Brycheiniog, pan oedd ein chwaer yn 9 mlwydd oed. Collodd ei mam pan yn ieuanc iawn, fel y gorfu iddi wynebu ar y byd helbulus hwn yn lled amddifad. Ymunodd mewn priodas â'r brawd Parry pan yn 19 mlwydd oed. Buont fyw yn Llanelli 13 mlynedd; ond gwnaeth marweidddra y lle iddynt symud oddiyno i Aberdar; wedi hyny i New Tredegar, ac wedi rhai blynyddau yno daethant i America. Ymsefydlasant yn Audenried, ac oddiyno i Upper Lehigh a'r cylchoedd; yma y bu farw, a chofir yno am dani am amser maith.

Fel mam, yr oedd yn ofalus iawn o'i phlant. Cafodd 14 o honynt. Mae 9 o honynt eto yn fyw. Ca y rhai hyn golled fawr ar ei hol. Yr oedd gan ei phlant olwg a gafael mawr ar eu mam hefyd; yr oedd eu gweled a'u clywed ar ddydd yr angladd yn profi hyn.

Fel gwraig, yr oedd yn siriol a gofalus, ac yn ymgeledd gymwys yn ngwir ystyr y gair. Mae ein brawd trallodus yn dechreu gweled ei heisiau Colled fawr i'r teulu oll oedd ei cholli. Duw pob gras fyddo yn nodded iddo ef a'r plant, ac a'u paroto i gyfarfod â hi yn ngwlad y gwynfyd draw.

Cafodd ein chwaer y fraint o wneyd proffes o'i ffydd yn Mab Duw yn foreu. Bedyddiwyd hi pan yn 17 mlwydd oed, gan y Parch. Mr. Phillips, gweinidog yr eglwys yn Daren Felen, ac y mae ei ffydd wedi bod yn ddiysgog yn ei Cheidwad hyd ei bedd. Mae yn dda genym fod amryw o'r plant yn dilyn ei hesiampl. Hyderwn y bydd marwolaeth eu mam yn foddion i ddychwelyd y gweddill o honynt i fabwysiadu ac anwylo crefydd eu mam.

Claddwyd rhan farwol ein chwaer y Llun canlynol, yn nghladdfa y lle. Daeth tyrfa luosog yn nghyd i ddangos arwydd o barch i'r teulu galarus yn eu trallod. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. W. D. Thomas, Mahonoy, a'r brawd Nicholas, Hazleton.

*Upper Lehigh, Pa.* LEWIS FRANCIS.

MISS LIBBIE WILLIAMS.

**Awst 27, 1880, Miss** Libbie Williams, merch Mr. a Mrs. William Williams, Orangeville, Swydd Wyoming, N. Y., yn 20 mlwydd a 2 fis oed, ar ol yn agos i saith mis trwm a phoenus o salwch, yr hwn a ddyoddefodd yn hynod o amyneddgar.

Y dydd Llun canlynol, ymgasglodd tyrfa luosog iawn i weini y gymwynas olaf iddi, pryd y cyflawnwyd y gwasanaeth crefyddol yn y ty ac ar lan y bedd yn dra difrifol gan y Parch. Mr. Sheerer, Warsaw. Rhoddwyd ei chorph i orphwys wrth ochr ei brawd bychan, a'i dau daid a'i nain, sef William ac Elizabeth Williams, Coed, gynt o yn agos i Remsen, a Hugh Williams, sef tad ei mam. Yr oedd hi yn ferch ieuanc rinweddol mewn mwy nag un ystyr. Yr oedd yn hynod am ddysgu, ac yr oedd ar y blaen i'w chyfoedion, a'i holl hyfrydwch oedd cyfranu addysg i eraill. Bu am rai trymorau yn athrawes mewn ysgol ddyddiol, a meddai gymwysderau neillduol. Yr oedd yn amyneddgar, hynaws a hawddgar, yn caru pawb, a phawb yn ei charu hithau. Yr oedd fel brenines a mam i'w hysgoleigion. Yr oedd wedi gwneyd proffes o Iesu Grist er's tua thair blynedd yn ol, ac ymuno trwy fedydd ag eglwys y Bedyddwyr Seisonig yn Warsaw, a gellir dywedyd ei bod wedi byw yn deilwng o'i phroffes. Ei hymddyddanion gwastadol oedd am y cysuron a'r mwynhad sydd i'w cael yn ngwasanaeth Iesu Grist. Trwy ei chystudd a'i hir nychdod, dyma oedd yn ei chynal i ddyoddef yn dawel a dirwgnach, y gobaith da trwy ras fod ganddi Brynwr byw; a Chyfaill a lŷn yn well na brawd.

Tua mis cyn ei hymadawiad, daeth ei hewythr, sef William H. Williams, Freedom, i ymweled â hi, a mawr oedd y cysur a fwynhai wrth ymddyddan am grefydd, a'r angenrheidrwydd i'w meddianu yn moreu oes. Dymunai gael byw er gwneyd rhywbeth dros Iesu Grist yn y byd; ond os ewyllys yr Arglwydd oedd ei chymeryd ato ei hun, ei bod yn foddlawn. Siaradai am ei hymadawiad gyda y fath dawelwch a'r hyder, gan ymorphwys ei henaid ar Iesu Grist; a phan oedd ei hewythr yn ymadael, dywedai gyda gwên siriol, "*Good bye, uncle; if we don't meet here, we shall meet in heaven.*" Ychydig cyn iddi ymadael, galwodd am ei thad a'i mam, ei brawd a'i modryb, ac a'u cyngorodd yn ddifrifol iawn i fyw yn dda, a charu Iesu Grist, fel y byddai iddynt ddyfod ati i fyw; yna trodd oddiwrthynt, wedi ffarwelio â hwynt, gan ddywedyd, "*O, heavenly Father, take me now! Jesus, receive me.*" Drachefn, gofynai i'w mam a wnai hi ei chymeryd yn ei breichiau; a phan oedd ei phen yn gorphwys ar fynwes ei mam, cymerodd ei henaid ei hedfan i fynwes Iesu.

Nid rhyfedd fod hen ac ieuainc yr ardal wedi dyfod i'w chynhebrwng, a bod dagrau yn treiglo dros bob grudd wrth iddynt basio heibio i gymeryd yr olwg olaf. Hawdd y gellid dywedyd fod teimlad dwys yn mhob mynwes ar ol ymadawiad un ag oedd mor gu. Yr oedd ei dylanwad yn fawr yn y gymydogaeth, a hyderaf y parha ei dylanwad yn hir i berarogli yn y teulu a'r ardal yn gyffredinol. Rieni anwyl, na wylwch ac na alerwch, "O herwydd plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd, ei wobr ef yw ffrwyth y groth."

Daeth angeu, hen elyn, a'i gerbyd dychrynllyd,
Ein hanwyl Eliza a fynai gymeryd;
Ynddi ymaflai heb ollwng, yn ddiau,
Nes myn'd a'r un anwyl o gôl ei pherth'nasau;
Pan byddo yr undeb agosaf yn rhwygo,
Mae'n adeg nas gellir ei gollwng yn ango';
Os ydoedd yn ddedwydd yn nghwmni rhieni,
Mae'n filwaith dedwyddach yn ymyl yr Iesu;
Nac wylwch, rieni, os cafodd yr angeu
Lysieuyn daearol, ca'dd Iesu 'r rhan oreu.

T. ELLISON.

ANNE CHARLES.

Mai 3, 1880, yn Church Hill, Ohio, Anne, merch fechan i Morgan Charles a'i briod, yn 7 mlwydd oed. Claddwyd hi yn nghladdfa Church Hill. Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. J. F Richards.

MORGAN CHARLES.

Eto, Mai 6, 1880, bu farw Morgan Charles, bachgen ieuanc, mab y rhagddywededig Morgan Charles, yn 18 mlwydd oed. Claddwyd yntau yn yr un lle, a gweinyddwyd gan y Parch. J. F. Richards. Bu farw y ddau heb ond ychydig o gystudd. "Fel blodeuyn y daw allan, ac efe a gilia fel cysgod, ac ni saif."

DAFYDD.

---

MARWOLAETHAU YN HYDE PARK, PA.

---

D. S. ROBERTS, LEWIS WILLIAMS, A MRS. B. HUGHES.

Yn ystod mis Medi, y mae angau wedi bod yn ymweled â ni, ac wedi cymeryd tri o'r praidd goreu o'r gorlan, y ddau frawd da, D. S. Roberts a Lewis Williams, a'r chwaer elusengarol Mary Hughes, priod y brawd B. Hughes, arolygydd tanddaearol y D. L. & W. C. Co. Y mae hwn yn fwlch na lenwir mo hono yn fuan. Amheu yr wyf a [illegible]s yma gystal tri, a chymeryd y cyfan at eu gilydd. Yr oedd Lewis Williams yn frawd ffyddlon, yn ddyn mwyn, heb ganddo ddrwg i'w ddywedyd am neb, na neb am dano yntau. Cael ei ddiwedd yn y gwaith a wnaeth ef, trwy syrthiad glo arno Gweinyddwyd yn ei angladd gan y brodyr J. P. Harris a Theophilus Jones.

Yr oedd D. S. Roberts yn Ivor o rywogaeth Ivor Hael, yn G.istion gloyw a diacon gweithgar. Yr oedd hefyd yn llenor gwych; bu yn gyd-fuddugol â rhai o brif englynwyr y wlad hon. Parlys ac enynfa a'i lladdodd ef. Gweinyddwyd yn ei angladd ef gan y brodyr B. W. Thomas, J. P. Harris, D. W. Morris a Theophilus Jones. Y mae yr hyn oedd farwol o'r ddau frawd yn gorphwys yn mynwent Hyde Park.

Yr oedd y chwaer Hughes eto yn un o ragorolion y ddaear. Bu yn dda i dlodion lu, ac eiriolodd ar ran troseddwyr lawer. Dangosodd dydd ei hangladd deimlad y dref a'r cymydogaethau ar ei hol. Yr angladd mwyaf a welwyd yn Hyde Park na Scranton erioed. Yr oedd dros gant o gerbydau, heblaw yr holl *street cars*, a'r dorf oedd ar draed. Claddwyd ei rhan farwol yn y Forest Hill. Yr oedd wedi colli ei hiechyd er's tro. Dyfrglwyf derfynodd ei hoes yn y diwedd. Bydd llawer pregethwr, fel Golygydd y WAWR, yn teimlo yn ddwys ar ei hol—llawer o honynt gafodd lety cysurus yno. Gweinyddwyd yn ei hangladd gan y brodyr canlynol—B. Bowen, Olyphant; B. W. Thomas, D. W. Morris, Theophilus Jones a J. P. Harris. Heddwch i'w llwch.

EBEN LLWYD.

---

## ENGLYNION

Ar ol y Ddiweddar MRS. B. HUGHES, Hyde Park, Pa., yr hon a fu farw Hyd. 9, 1880.

---

Daearwyd cym'doges dirion—un fu
Yn fam dyner-galon,
Ac i'w hangenog gym'dogion
Yn rhyfedd hael y profodd hon.

Ni fu erioed am ei haelfrydedd—neb
Yn uwch na'n chwaer lanwedd;
Ac ni fu un gwreng neu fonedd
A gerid fwy o gryd i fedd.

Bu yn dirfawr boeni—fel yn y dw'r,
Gan flinderus oedi;
Ond er pob loes, cafodd groesi
Yn iach i'r lan o'r chwerw li'.

Y dyn a welwyd dan hoelion—ydoedd
Hyfrydwch ei chalon;
A cha'dd 'i dal yn ymchwydd y don
Yn nghol ei deg angelion.

Ca'dd gystudd hir, ond milfil hirach—fydd
Yr oes i fyw'n holliach;
Bydd ddiofid heb wedd afiach,
Yr un fel a'r angel pur iach.

Fry'n canu gyda'r llu llawen—hi geir
Yn ei gwisg laes glaerwen;
Ni fedd y dyrfa lon addien
Un fwy hardd o fewn y nef wen.

*Kingston, Pa.* RHOSLYN.

---

## NODION.

---

—Neidiodd cath o ben y Washington Monument, rai dyddiau yn ol—uchder o 160 troedfedd. Cyrhaeddodd y ddaear yn ddiogel, ond rhedwyd ar ei hol a lladdwyd hi gan gi.

—Mae nifer o foneddigesau ieuainc yn Rutland, Jefferson Co., N. Y., wedi ffurfio eu hunain yn "Garfield and Arthur Club," ac wedi codi polyn.

—Cafodd Arg. Mountmorris ei lofruddio yn yr Iwerddon, gan rywun anhysbys, ac y mae gwobr o £1,000 wedi ei chynyg am ddaliad y llofrudd.

—Cymerodd y seremoni o osod i lawr gonglfaen y golofn Aiphtaidd le yn Central Park, New York, ar y 9fed o'r mis diweddaf, gan y *Masons*, yn mhresenoldeb miloedd o wyddfodolion.

—Er 1865, mae dyled gyhoeddus y wlad hon wedi ei lleihau $888,093,104.58.

# Y WAWR.

CYF. V.] RHAGFYR, 1880. [RHIF. 9.


Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd. "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## COFIANT MRS. MARY HUGHES,

### DIWEDDAR BRIOD Y BRAWD B. HUGHES, HYDE PARK, PA.

GAN Y PARCH. J. P. HARRIS, ("IEUAN DDU.")

"The sweet remembrance of the just
Shall flourish when he sleeps in dust."

"Siomedig yw ffafr, ac ofer yw tegwch; ond benyw yn ofni yr Arglwydd hi a gaiff glod."—Diar. 31:30

Y mae bywgraffiadau gwragedd crefyddol wedi eu cofnodi yn anrhydeddus yn Llyfr Duw; a diau fod bywyd wedi ei gysegru i wasanaeth yr Arglwydd yn deilwng o gofnodiant manwl. Yr ydym am gael lle i wrthddrych ein coffa ar lechres y *gwragedd duwiol;* "fel y rhai hefyd pan oedd yr Iesu yn Galilea a'i dilynasant ef, ac a weinasant iddo, a gwragedd eraill lawer a ddaethant gydag ef i fyny i Jerusalem."

Yr oedd Mrs. Hughes yn ferch i Benjamin ac Elizabeth Davies, o'r Llwydcoed, ger Bryn Mawr, Sir Frycheiniog. Ganwyd hi yn y fl. 1824, ac unwyd hi mewn priodas â B. Hughes, Ebrill 25, 1845, a buont yn cyd-dynu dan yr iau nes i angeu dori'r ddolen briodasol. Daethont i'r wlad hon yn 1848, ac wedi aros am rai misoedd yn Schuylkill, symudasant i Hyde Park yn 1850, lle y gwnaethont eu cartref Americanaidd. Yma yr ymunodd Mrs. Hughes ag achos y Gwaredwr. Cynelid y moddion crefyddol y pryd hwnw yn Scranton; yno yr oedd y ty addoliad, ac yno yr oedd y gwasanaeth cyhoeddus, ac yno y bedyddiwyd ein hanwyl chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y brawd J. W. James, a daliodd gyffes ei gobaith yn ddisigl hyd y diwedd.

"Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig; ond enw y drygionus a bydra." "Y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth." Er wedi marw, mae y chwaer hon "yn llefaru eto." Mae y *painting* ardderchog sydd yn meddiant y teulu yn ardeb cywir o'r dyn allanol; ond amcenir at nodweddion ei chymeriad crefyddol yn y byr-gofiant hwn—y rhinweddau a flagurasant mewn duwiolfrydedd, fel ag i gymell eraill i'w hefelychu yn gwneuthur daioni; a'r hwn neu yr hon sydd yn gwneuthur daioni, o Dduw y mae. Ymanog i gariad a gweithredoedd da yw gwaith y Cristion yn yr ymddyddan a'r gyfeillach grefyddol. Wrth eu ffrwyth yr adnabyddir hwynt; h. y., wrth eu buchedd a'u gweithredoedd; gan mai ffrwyth neu weithredoedd yw y prawf o dduwioldeb, yr ydym am ddwyn cymeriad ein hanwyl chwaer at y prawf; yr hwn a orchymynodd ein Harglwydd i ni edrych am dano yn eraill; felly hefyd yr un profion, sef gweithredoedd da, a

orchymynodd efe i ni ddangos i eraill, fel ein hadnabyddid wrth ein ffrwythau. "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich *gweithredoedd da* chwi." Nid clywed geiriau da ein chwaer a wnaed, ond gweled ei gweithredoedd da, a gogoneddu ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. Trwy ein geiriau y mae darllen y meddwl, a thrwy ein gweithredoedd y mae darllen y galon. Nid caru ar air ac ar dafod yn unig yr oedd hi, eithr mewn gweithred a gwirionedd.

Yr oedd Mrs. Hughes yn feddianol ar synwyr cyffredin cryf, ac ar dymer hawddgar. Er fod rhagluniaeth, gweithgarwch, a diwydrwydd, wedi ei gosod mewn amgylchiadau dymunol a chysurus, eto ni welwyd yr un cyfnewidiad ynddi—ni wnaeth newid ei chyfeillion a'i chyfeillesau; yr hen gyfeillion profedig, a phlant angen, oedd y rhai yr ymlynai wrthynt hyd ei bedd. Yr oedd ei chalon a'i llaw yn barod i gyfranu at bob achos teilwng; a'i chlust bob amser yn barod i wrando ar lef yr angenus. Ty agored oedd ei thy hi i roesawu gweinidogion yr efengyl; gyda sirioldeb y derbyniai hwy i'w thy—y gwahoddai hwy at ei bwrdd llawn; ac ni anghofiai letygarwch, a bydd hir gofio ei hawddgarwch lletygar gan lawer, yn mhell ac agos. Credwn ei bod yn derbyn llawer o gysur iddi ei hunan drwy ei hymdrech i gysuro eraill, gan ddwyn ar gof eiriau yr Arglwydd Iesu, ddywedyd o hono ef, mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn.

Gofalu gwneyd ei gwaith ei hun oedd y chwaer hon, ac nid gwaith rhywun arall; yr hyn a ymddiriedodd yr Arglwydd iddi wneyd, hi a'i gwnaeth; ac y mae wedi derbyn cymeradwyaeth y Meistr, perchenog y talentau, "Buost ffyddlon ar ychydig, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." "Ac mi a glywais lef o'r nef yn dywedyd wrthyf, Ysgrifena, Gwyn eu byd y meirw, y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont oddiwrth eu llafur; a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt." Dat. 14: 13.

Nid peth cyffredin oedd fod y ddau frawd a bregethasant yn yr angladd wedi cael eu harwain at y geiriau crybwylledig fel testyn; eto nid oedd achos i synu, gan fod perthynas agos rhyngddynt a nodweddion cymeriad yr ymadawedig. "Chwiliodd y Pregethwr am eiriau cymeradwy; a'r hyn oedd ysgrifenedig oedd uniawn, sef geiriau gwirionedd." Preg. 12: 10.

Aeth ein chwaer a'i chyfoeth moesol gyda hi i fyd yr ysbrydoedd. Gwasanaethu ar y ddaear, a'i thrysor yn y nef; yma yn mhlith blodau gwywedig, ac yn myd y llygredd, ond yr oedd coron anniflanedig yn nghadw iddi yn y nefoedd; yma mewn cystudd, yno yn mhlith y rhai a sancteiddiwyd; byw i'r Arglwydd, ei Chraig a'i Phryniawdwr, yma—yn gorphen ei gyrfa yn wynfydedig—"marw yn yr Arglwydd." Yn canlyn mae'r buddugoliaethau a enillodd, y cysuron a weinyddodd—ei gweithredoedd yn ei chanlyn hi. Mae y rhai hyn yn anfarwol, ac yn dynodi graddau y gogoniant. Do, ffarweliodd a phob cystudd, cefnodd ar bob gelyn; goddiweddodd lawenydd a hyfrydwch; cystudd a galar wedi ffoi ymaith; y mae yn mwynhau llawenydd digymysg heddyw. Byd cymysglyd yw gwlad y cystudd mawr. Y mae wedi cyfarfod a'i hanwyl Daniel yn y wlad well, yr hwn oedd newydd ei blaenu dros yr Iorddonen, ac felly wedi ei llwyr ryddhau oddiwrth ofalon a phryder y llawr, yn canmol Duw a'r Oen yn mhrydferthwch sancteiddrwydd, ac yn gweled ei ffyrdd yn ei Ragluniaeth ddoeth yn gyfiawn, ac yn berffaith oleu. Llawer gwaith y sylweddolodd hi yn ei phrofiad eiriau y bardd ar wely marw:

"O! fy Iesu bendigedig,
Unig gwmni f'enaid gwan,
Yn mhob adfyd a thrallodion,
Dal fy ysbryd llesg i'r lan."

"O fryniau Caersalem ceir gweled
Holl daith yr anialwch i gyd," &c.

Fel hyn yr ysgrifena brawd parchus yn y weinidogaeth atom:

WILKESBARRE, Tach. 1, 1880.

AT Y PARCH. J. P. HARRIS.—*Anwyl Frawd*—Deallwyf fod ysgrifenu coffadwriaeth ein hanwyl chwaer ymadawedig, Mrs. B. Hughes, Hyde Park, wedi syrthio i'ch rhan chwi.

Meddyliais nad anmhriodol fyddai i mi, fel un sydd wedi bod yn dra adnabyddus a'r chwaer er's mwy nag ugain mlynedd, ac wedi bod yn weinidog i'r eglwys o'r hon yr oedd yn aelod, anfon ychydig linellau atoch i ddatgan fy marn a'm teimlad gyda golwg ar ei nodweddion fel gwraig rinweddol a Christion ffyddlon. Yr wyf yn meddwl y gellir ei rhestru gyda y gwragedd duwiol y sonir am danynt yn y Gair Sanctaidd.

Yn ei theulu yr oedd yn hynaws a gofalus. Bum yn lletya fwy o weithiau nag y gallaf gyfrif yn nhy y brawd Hughes. Nid wyf yn cofio erioed, tra y byddai hi yn ymddyddan a'i phriod, i mi ei chlywed yn dyweyd gair sarug, na gweled edrychiad sur ar ei gwyneb. Fel mam, yr oedd yn hynod dirion a gofalus. Edrychid arni fel cymydoges fel un o'r rhai mwyaf caredig, teimladwy a chymwynasgar, a diau y gall llawer un gofio ei haelioni gan edmygu ei choffadwriaeth. Gallaf fi, yn nghyd a lluaws o genadon Crist, dystio fod ein hanwyl chwaer yn un o ragorolion y ddaear. Byddai bob amser yn serchog a gofalus i'n gwneyd mor gysurus ag oedd modd, pan yn aros dan ei chronglwyd, a theimlir fod ei lle yn wag iawn yn y cylchoedd yr oedd yn troi ynddynt. Yr oedd ei bywyd yn gysegredig, a'i diwedd yn dangnefedd.

Ei brawd hiraethlawn, &c.,
THEOPHILUS JONES.

Yn y WAWR, Cyf. III., Rhif. 5, am Awst, 1878, dywedir:

Am Mrs. Hughes ni phetruswn ddyweyd, na fu dirionach na charedicach dynes na hi. Mae tlodion, druain, luoedd yn Hyde Park a manau eraill, yn gwybod yn eithaf da ein bod yn dyweyd y gwir, a cholled i lawer fyddai ei cholli hi. Y mae wedi bod fel mam i lawer un amddifad. Gyda thiriondeb a brawdgarwch Cristionogol y derbyniai bob amser i'w thy weision Iesu Grist. * * *—GOL. Y WAWR.

Ysgrifena y Parch. E Edwards, Wilkesbarre, atom fel y canlyn:

ANWYL FRAWD HARRIS—Da genyf gael ar ddeall eich bod yn parotoi ysgrif goffadwriaethol am Mrs. Benjamin Hughes, Hyde Park, y chwaer ardderchog a ddiangodd yn ddiweddar i dy ein Tad yn y nef. Wedi blynyddoedd o adnabyddiaeth â hi, ac yn gymaint na chefais y fraint o fod yn yr angladd, dymunwyf roddi yn y fan yma fy nhystiolaeth ei bod yn wir foneddiges, a'i bod yn Gristion yn dwyn delw Crist. Ni raid i mi ei chanmol; yn ei chartref, yn yr eglwys, yn y dref, canmolodd Mrs. H. ei hun, nid mewn geiriau, ond mewn gweithredoedd da. Fel y Dyn o Nazareth, a'r ddysgybles a'i henw Tabitha, o Joppa, ymhyfrydai hon mewn gwneyd "elusenau." Diau fod llawer oedd yn canlyn ei gweddillion tua'r gladdfa, gan wylo, wedi derbyn cymwynasau ar ei llaw pan ydoedd hi yn fyw. Gresyn na buasai Pedr gerllaw yn Hyde Park, i osod Mrs. Hughes "ger bron" y rhai hyn, a cher bron ei pherthynasau oll, "yn FYW." Gresyn na ellid anfarwoli ar y ddaear wragedd o nodweddion Dorcas, a'r chwaer Mrs Hughes!

Yn ein hymweliadau diweddar â hi, ei hynodrwydd ydoedd, "amyneddgar mewn cystudd!" Dywedai wrthym fod arni hi "chwant i ymddatod," ond ei bod yn aros hyd amser da Duw. Gwelwyd llawer yn ddysglaer fel gweithwyr yn y winllan, eto yn myned o dan gwmwl fel goddefwyr o'i ewyllys Ef. Haws dywedyd, "Felly, O Dad," pan yn dwyn beichiau bywyd, na phan yn dyoddef cystuddiau blin.

Yr Arglwydd a fyddo "yn gymorth hawdd ei gael" i fy mrawd hoff sydd wedi cael colled mor fawr, ac hefyd i'r genethod sydd wedi eu hamddifadu o'r fath fam!

Yr eiddoch yn Nghrist,
E EDWARDS

Do, bu ein chwaer hoff farw—anadlodd ei hanadliad olaf Hydref 8fed, yn y 56ain flwyddyn o'i hoedran, a daearwyd yr oll oedd yn farwol o honi ar bwys beddrod ei hanwyl fab, yny *Forest Hill Cemetery.* Dyoddefodd lawer; bu yn nychu ac yn dihoeni am dair blynedd; gwasgodd ei hafiechyd yn drwm arni; ond er hir ddyoddef, yr oedd yn amyneddgar mewn cystudd, a dysgwyliai yn ymarhous am derfyn ei thaith, a'r awr i fyned adref. Yr oedd wedi colli ofn marw, ac mewn cymod â'r drefn fawr. Ei anhwyldeb oedd dolur y galon a'r dyfrglwyf. Trodd pob dyfais feddygol allan yn fethiant; bu farw mewn tangnefedd, a'i phwys ar ei Hanwylyd.

Ymgasglodd tyrfa luosog o bell ac agos i'w hebrwng i dy ei hir gartref—yr angladd lluosocaf a welwyd yn Hyde Park; arwyddion amlwg o alar yn gordoi y cynulliad, a phrofion amlwg fod un a gerid yn gyffredinol wedi gorphen ei gyrfa. Yr oedd holl gerbydau Scranton, Hyde Park a Providence, wedi eu cyflogi at wasanaeth y dyrfa. Wrth y ty darllenodd a gweddiodd y brawd B. Bowen, Olyphant; yn yr addoldy darllenwyd rhanau cymwys o'r Ysgrythyr gan y brawd B. W. Thomas, Jackson Street; pregethodd y brodyr Theophilus Jones, Wilkesbarre, yn Saesoneg, a J. P. Harris, Providence, y ddau oddi-

ar yr un testyn; ac ar lan y bedd cyfarchwyd y gwyddfodolion gan B. W. Thomas.

Cydymdeimlir â'r brawd Hughes trwy yr eglwysi a'r wlad yn gyffredinol yn ei amddifadrwydd wedi colli priod ei ieuenctyd, ac un a gerid mor anwyl gan wreng a chyfoethog. Y mae pump o ferched yn fyw i gyd-alaru a'u tad ar ol colli mam dyner a gofalus; y mae tair o honynt yn y sefyllfa briodasol, a'r ddwy ieuengaf gyda eu tad. Yr Hwn sydd yn llywodraethu yn mreniniaeth dynion fyddo yn nodded ac yn ymgeledd iddynt oll. Amen.

---

## UNOLIAETH NATUR.

---

### I.

Mae y *Contemporary Review* am y misoedd diweddaf yn cynwys ysgrifau ardderchog gan y *Duke of Argyll*, ar Unoliaeth Natur (*The Unity of Nature*). Ymdrechwn yma roddi rhai o'r prif feddyliau ynddynt o flaen ein darllenwyr.

Mae cyfundraeth Natur, yn mha un yr ydym yn byw, yn peri i ni feddwl am dani fel un gyfundraeth. Mae yn gadael argraff felly ar y meddwl; ac oblegid hyny yr ydym yn siarad am dani fel y greadigaeth. Nid ydym yn meddwl fod eisiau profi fod Natur yn gwneyd argraff fel hyn ar y meddwl. Byddai yn burion, modd bynag, dilyn yr argraff hon i'w ffynonell. Mae un peth yn sicr: beth bynag a wnaeth gwyddor, neu mae yn wneuthur, i gadarnhau drychfeddwl dyn am unoliaeth Natur, nid gwyddor, fel y deallir hi yn bresenol, sydd wedi ei gychwyn. Yr oedd y drychfeddwl yn bodoli yn mhell cyn i wyddor, yn yr ystyr bresenol, gael ei geni. Neu, mewn geiriau eraill, bodolai y drychfeddwl cyn i wybodaeth am bethau materol gael ei chyfansoddi yn wyddor. Yr oedd gan dduwinyddiaeth, yn ddiau, fwy i'w wneuthur â'r argraff hon am natur. Rhaid fod y drychfeddwl am unoliaeth Natur, a dweyd y lleiaf, mor hened a'r syniad am un Duw. Mae llenyddiaeth a thraddodiadau Iuddewig yn dryfrith o ymadroddion yn dysgu y syniad hwn.

Wrth ddilyn aml-dduwiaeth yr Aipht i'w ddechreuad, gwelir ei fod wedi tarddu oddiwrth y syniad am un Duw; gwnaed aml-dduwiau o briodoleddau un Duw. Ond dichon i rai ddadleu fod y drychfeddwl am unoliaeth Natur yn hynach na'r syniad am un Duw. Atebwn, nad yw hyn o un gwahaniaeth can belled ag y mae ein hamcan presenol yn myned; o'm rhan fy hun nid wyf yn credu fod y syniad am un Duw yn moreu y byd wedi cyfodi oddiwrth ddamcaniaethau athronyddol, neu fel canlyniad i feddu syniad am unoliaeth Natur.

Beth, gan hyny, ydyw unoliaeth Natur? A ydyw yn ffaith, neu ynte dychymyg? A ydyw yn sylwedd, neu yn lledrith? Yn mha ystyr y gallwn ddweyd fod nifer annherfynol ac amrywiaethol o bethau er hyny yn un? Y radd gyntaf mewn gwybod unrhyw beth ydyw adnabod gwahaniaeth—yr hyn sydd yn agor y drws i wybodaeth briodol o unrhyw bethau ydyw gwybodaeth o berthynasau rhwng pethau a'u gilydd. A chan y gall pethau fod yn dal perthynas a'u gilydd mewn ffyrdd aneirif, sef mewn ffurf, mewn maintioli, neu mewn sylwedd, neu mewn safle, neu yn moddau eu dechreuad, neu yn neddfau eu tyfiant, neu mewn gwaith neu mewn swyddogaeth—fel ag y mae rhifedi annherfynol ac amrywiaethol o ffyrdd trwy ba rai y gellir olrhain allan unoliaeth. Wrth chwilio i mewn i'r perthynasau hyn yr ydym yn esgyn i fyny megys ar hyd grisiau—ac y mae y gallu i ddringo i fyny yn ymddibynu ar ein gwybodaeth o bethau, a hefyd ar ddadblygiad y galluoedd meddyliol hyny trwy ba rai yn unig y gellir darganfod y berthynas uchelaf rhwng pethau a'u gilydd.

Mae yn hawdd iawn boddloni ar ddirnadaeth gyffredin a mwyaf eglur o'r perthynasau fo rhwng pethau a'u gilydd, ac hyd yn nod ymwneyd â hwy i'r fath raddau nes bod yn analluog i ddirnad a gweled y perthynasau uchelaf a llai gweladwy ydynt yn cyf-

ansoddi unoliaeth uchelaf Natur. Mae yn eithaf posibl i ryw berthynasau newyddion gael gormod o sylw—y rhai fo yn dod i'r golwg trwy fanwl ddadgymalu pethau oddiwrth eu gilydd, a hyny oblegid eu bod yn newyddion—ac iddynt gael sylw felly yn mhell uwchlaw eu teilyngdod. A mwy na hyn, gellir dywedyd gyda llawer o wirionedd, fod y perygl hwn yn mwyhau am ryw amser beth bynag, yn ol fel mae gwyddor (*science*) yn cynyddu. Fel y mae gwybodaeth yn ymledaenu a gwrthddrychau newyddion yn dyfod o flaen ymchwiliad, mae perygl myned ar ol y gwrthddrychau newyddion. Mae i bob athronydd neu ymchwilydd ei ddosran, a gall pob un fod yn foddlon ar yr unoliaeth a ganfyddai yn ei faes neillduol ei hun, a bod yn hollol ddall i'r unoliaeth sydd uwchlaw iddo, agosaf ato. Ac y mae yn eithaf posibl fod syniad boreuol dyn am unoliaeth Natur, a'i grediniaeth mewn un Duw, yn amgyffrediad uwch a chyflawnach o'r gwirionedd nag a gyrhaeddir yn gyffredin gan y rhai a ymgollant wrth ymchwilio i fanylion. Yn hyn y cawn enghraifft o lawer, o waith greddfau naturiol y meddwl yn myned o flaen ymchwiliad, a myned o flaen gwyddor, gan adael dim ar ol i ymchwiliaeth gyfundraethol i wneuthur, heblaw cadarnhau trwy brawfion ffurfiol yr hyn oedd o'r blaen wedi ei deimlo a'i wybod er's amser maith. Mae unoliaeth Natur yn argraffu ei hunan ar feddwl dyn mewn amrywiol ffyrdd. Daw i'r meddwl oddiwrth ddibyniaeth cyfrodeddol pob peth ar eu gilydd, yr hyn a wna iddynt ymddangos yn rhanau o un gyfundraeth. Ac hyd yn nod pan y mae y cysylltiad yn syrthio yn fyr o ddibyniaeth, neu unrhyw berthynas weledig, mae yr un argraff o unoliaeth yn cael ei chyfleu yn y cyfatebiaethau cywrain a ganfyddir yn mhob man, y rhai nad ydynt yn llai rhyfedd pan mae yr achos neu y rheswm o honynt yn anhysbys.

Bwriadwyf yn y benod hon nodi allan rai engreifftiau o unoliaeth yn Natur, y rhai ag y mae ymchwiliad wedi taflu goleuni ychwanegol, a gweled pa mor bell y maent yn ein cario.

Mae un arwydd o unoliaeth, ag sydd ynddo ei hun yn ein cario yn mhell iawn yn wir. Hon ydyw yr un a roddir i ni yn y rhwymau drwy ba rai mae y byd hwn yn cael ei gylymu wrth fydoedd eraill amgylchynol iddo. Nid oes yn hyn ddim lle i ddychymyg. Y mae'r gwirioneddau sydd yn datguddio hyn wedi eu profi trwy rym eglurhadaeth diymwad. Mae y ddaear yn rhan o beirianwaith mawr y nefoedd. Mae y nerth neu y nerthoedd ydynt yn rheoleiddio y peirianwaith hwn yn nerthoedd a geir nid yn unig yn ein cyfundraeth heulog ni, ond maent, fel mae lle i gredu, yn bodoli trwy yr holl wagle; rheoleiddiant, fel y dywed serydd-wyr, symudiad ein haul ni gyda ei holl blanedau, oddiamgylch rhyw ganolbwynt pellenig, am yr hwn yr ydym yn anwybodus am ei natur a'i le. Modd bynag mae y nerthoedd hyn yn bodoli yn gyffelyb ar arwynebedd y ddaear hon ei hunan. Mae arddangosion materol oll o dan eu dylanwad.

Pe na buasai unrhyw amlygiadau o unoliaeth heblaw hwn, buasai hwn braidd yn ddigon; canys mae yr unoliaeth a gyfleuir yn mheirianwaith y nefoedd, yn wir, yn unoliaeth ag sydd yn cynwys pob peth yn gyflawn ynddo ei hunan. Mae adeiladwaith ein cyrff, gyda phob peth sydd yn ymddibynu arno, yn cael ei reoleiddio gan yr un nerth, ddeddf, pwys a thyniad ag sydd wedi penderfynu ffurf a symudiadau miliynau o fydoedd. Mae pob rhan o'r organ ddynol yn gyfryw ag a ddistrywid ar unwaith pe byddai nerthoedd, pwys, a thyniad yn newid neu fethu.

Ac nid deddf pwys a thyniad ydyw yr unig allu cyffredinol sydd yn ffynu yn mhlith y bydoedd. Mae un arall—goleuni—y cenadwr siriol, melusfwyn a nefol hwnw ag sydd yn dyfod atom o eithafoedd gwagle. Hwn sydd yn dyweyd wrthym y cyfan a wyddom am fydoedd eraill, ac yn rhoddi i ni yr oll a fwynhawn o felusderau bywyd a phrydferthwch yn ein byd ein hunain. Ac y mae un peth yn cael ei ddatguddio am unoliaeth gan Oleuni, na ddatguddir gan ddeddf pwys a thyniad. Cawn gan ddeddf pwys a thyniad

ddrychfeddwl am *fesur* ei weithrediad, ond ni rydd i ni syniad am *fodd* ei weithrediad. Gwyddom i fanylrwydd y rheolau yr ufuddha iddynt; ond ni wyddom ddim am y modd y mae y gwaith yn cael ei wneyd. Ond gyda golwg ar Oleuni, y mae genym syniad, nid yn unig am fesur, ond am fodd ei weithrediad.

Wrth geisio rhoddi darnodiad o oleuni, mae anhawsderau mawr yn cael eu teimlo, canys y mae yr elfen sydd yn cyfansoddi defnydd goleuni yn anweledig, ac ni ellir deall dim am dani ond trwy resymiad mwyaf manwl—rhesymiad wrth gwrs yn sylfaenedig ar brofiad gweladwy. Ni allwn weled yr elfen oleuol ond pan y byddo yn symud, ac hyd yn nod y pryd hwnw, ond pan byddo yn symud mewn cyfeiriad neillduol, tuag atom ni. Pan y byddo yr elfen hon yn llonydd, yr ydym mewn tywyllwch hollol, ac felly yr ydym pan y byddo ei symudiadau yn brysio heibio i ni ond heb ein cyffwrdd. Addefir nad oes dim yn dangos gallu ymchwiliadol y meddwl dynol yn fwy na'r wybodaeth mae wedi ei gael am natur a gweithrediad goleuni. Dysgir nad yw goleuni yn ddim amgen na chryniad tonawl elfen neillduol. Mae yn awr ychwaneg na haner canrif er pan y synodd Thomas Young y byd gwyddonol trwy dystiolaethu am y cyfrwng goleuawl ein bod i synied am dano fel yn canfod ei ffordd trwy fater oll mor rhydd ag mae awyr yn symud trwy winllan o goed. Mae hyn yn awgrymu elfen deneu ryfeddol. Ond ni ellir dweyd am yr elfen hon ei bod yn deneu, yn mha un y mae ton yn cael ei throsglwyddo gyda chyflymder aruthrol goleuni. Yn lle hyny, mae yn rhaid fod ei gronynau yn meddu yr agosrwydd mwyaf i'w gilydd pan y mae cryniad yn cael ei gario trwyddynt drwy dewder o 186.000 o filldiroedd mewn un eiliad. Gan hyny, y mae Syr J. Herschell wedi tystio fod yn rhaid syniaw am yr elfen oleuawl, nid fel awyr, neu fel hylif, ond yn hytrach fel peth caled—yn yr ystyr hwn o'r hyn lleiaf, nad ellir syniaw am ei gronynau fel yn bosibl iddynt newid lleoedd, neu drosglwyddiad corphorol o'u lleoedd apwyntiedig a neillduol yn y greadigaeth. Diwedd yr holl ymchwiliad yw hyn, fod y ddaear hon yn y cysylltiad agosaf gyda y bydoedd mwyaf pellenig yn y gwagle, yn y cysylltiad agosaf hwn trwy gyfrwng a gyffyrdda ac a amgylchyna bob peth, a'r hwn sydd yn wastadol yn trosglwyddo o un byd i'r llall y cryniadau lleiaf a dderbynia. Gan hyny mae deddfau a chyfansoddiad goleuni, hyd yn nod yn fwy na deddf pwys a thyniad, yn cyfleu y syniad am y greadigaeth fel un—un, hyny yw, trwy rinwedd cysylltiad peirianol agosaf, a ffyniant un cyfrwng cyffredinol.

---

## FFURF-WASANAETH (LITURGY).

GAN Y PARCH. LLEWELYN REES, JOHNSTOWN, PA.

[*Gorpheniad.*]

2. Ymdrechwn ddangos, yn nesaf, *Fod addoli Duw wrth ffurf-wasanaeth awdurdodedig yn wrthwynebus i natur ac ysbryd yr efengyl.*

O dan y ddeddf ystyrid yr addolwyr yn dan-oedog a gweision. Hyd yn nod Moses fawr, nid oedd yn fwy na gwell na gwas yn nhy Dduw; canys y ddeddf yn hyn, mwy nag mewn ystyriaethau eraill, ni wnai ddim yn berffaith. O dan yr efengyl mae yr addolwyr wedi cyrhaedd cyflawn oed—ddim yn weision mwy, ond meibion; y rhai ag nad oes achos i'w duwiolder crefyddol wrth gylch cyfarwyddedig defodaeth ffurf-wasanaeth, "Canys lle mae Ysbryd yr Arglwydd, yno mae rhyddid;" yn llawnder eu calonau yr esgyna eu gweddiau a'u mawl yn mwg yr arogldarth peraidd at orsedd Duw a'r Oen.

Yn hyfryd y cyffyrdda Crist â'r mater hwn, pan yr awgryma wirionedd dyfodol ag oedd ar ddyfod yn bresenol, i feddwl y wraig wrth y ffynon, sef, fod addoliad gwirioneddol i Dduw yn yr ysbryd i gymeryd iddo ei hun le addoliad ffurfiol ac arwynebol Samaria a Jerusalem. I'r rhai a fynent gorphori ffurf-wasanaeth gydag addoliad rhydd yr efengyl, gofyna yr Apostol, "A dderbyniasoch yr Ysbryd drwy weithredoedd y ddeddf, ynte wrth wrandawiad ffydd? A ydych chwi mor ynfyd, gwedi i chwi ddechreu yn yr ysbryd, a berffeithir chwi yr awrhon yn y cnawd? Sefwch gan hyny yn y rhyddid a'r hwn y rhyddhaodd Crist ni; ac na ddalier chwi drachefn dan iau caethiwed." Wrth y gosodiadau hyn, a'u cyffelyb mewn manau eraill yn yr Ysgrythyr, gwelir mai nid wrth ymlynu wrth ddefodaeth a ffurf-wasanaeth, ond drwy ufudd-dod ffydd, y derbyniodd y Galatiaid (hen Gymry) yr ysbryd; a hefyd fod defodaeth yn addasach i'r cnawd nag i'r ysbryd, ond mai y gwrthwyneb sydd wir am yr efengyl; fod perffeithrwydd yn gyrhaeddadwy dan yr olaf, tra nad ydyw dan y blaenaf; fod yr efengyl wedi rhyddhau yr ysbryd oddiwrth gaethiwed gormes—fod Crist wedi rhoddi i'r Cristion ryddid yn ystyr helaethaf y gair, fel nad oes hawl gan un dyn, cynulleidfa, nag un cyfuniad o gynulleidfaoedd, rwymo o dan iau feichus enaid un gwir gredadyn.

Yn holl ysgrifeniadau Paul mae yn amlwg fod pob tuedd ddadblygol at gorphori nodwedd ddefodol y ddeddf gyda sefydliadau rhydd yr efengyl, yn cael ei gerydd llymaf; ni fyddai hyn ar y goreu ond cyfnewid sylwedd am gysgod; gwybodaeth ei hun am ddim ond delw gwybodaeth; mewn gair, "cwympo oddiwrth ras" fyddai hyn. Darllened rhyw ddau sydd o flaen fy meddwl y *paragraph* uchod drosodd a throsodd—gwna les iddynt, os nad ydynt wedi gwneyd "amod ag angau, a chyngrair ag uffern," y mynant ymddigoni ar olchion yr Aipht, yn lle ar "hen yd y wlad." Yr Arglwydd Iesu hefyd a ddangosa anghydrywioldeb ieuo ffurf-wasanaeth deddfol Iuddewiaeth gyda dim o'r grefydd rydd a rhwydd a fwriadai ef sefydlu, drwy gymharu y cyntaf i hen ddilledyn, a'r olaf i ddilledyn newydd, yr hyn pe cysylltid hwy, a brofai yn ddistryw i'r rhan oraf o'r ddau—y dilledyn newydd. Gellir edrych ar yr hen ffurf-wasanaeth a defodaeth yn ngoleuni y gydmariaeth mewn mwy nag un o ystyron—fel hen beth, llwm; neu sych a chrebachlyd, fel hen gostrel ledr, o nemawr gwerth ar y goreu, ond gyda golwg ar y dyben y bwriedid hi, o werth dim i Gristion goleuedig. Yn yr agwedd yr ymbresenola ynddi ger ein bron, nid annhebyg yw i'r olwg mewn ystyr arall a gafodd Joshua ar y Gibeoniaid, a ddaethant, meddynt hwy, o wlad bell i wneyd cyfamod ag ef. Er gwireddu eu dywediad, iddynt ddyfod o wlad bell, yr oedd o bwys iddynt ddangos y buont yn hir ar eu taith; ac er gwireddu hyn, rheidiol oedd i bob peth o'u cwmpas ymddangos yn hen; o ganlyniad, yr oedd ganddynt hen sachau ar gefn eu mulod, hen gostreli gwin rhwygiedig, wedi eu cylymu rywsut â llinynau; hen esgidiau am eu traed, a hen ddillad cyfunryw am danynt, a gweddill eu hymborth yn hen a llwydaidd. Nid annhebyg i hyna yw cyflwr unrhyw ffurf-wasanaeth dynol awdurdodedig, pan gymharer ag addoliad pur, cynesol, hunan-ffrydiol a gwirfoddol yr efengyl. Yn ei weddiau, nid ymddengys fod ein Harglwydd yn cydnabod rhag-gynllun. Yr oedd yn ei weddi neillduolrwydd priodol iddo ei hun; yr oedd yr achos a'r achlysur o'r weddi yn awgrymu y modd. Gyda golwg ar y weddi a ddysgodd Crist i'w ddysgyblion, pan ofynasant, "Arglwydd, dysg ni i weddïo," &c., yr hon yn gyffredin a elwir y *pader*, nis gellir ar dir teg ac Ysgrythyrol ei golygu yn yr un ystyr ag y desgrifiwn ffurf-wasanaeth yn yr ysgrif hon, oblegid, 1. Nid yw yn cael ei geirio yr un fath yn y ddau fan y crybwyllir hi yn y Testament Newydd. Gwahaniaetha y geiriad o honi gymaint yn y ddau fan fel y meddylia rhai nad yr un weddi yw. Os nad yr un weddi ydyw, mae yn anmhosibl gwybod pa un o'r

ddwy fwriadai Crist i fod yn ffurf-weddi. Os golygai Crist i'r *pader*, fel y ceir hi yn y ddau fan, fod yn ffurfiau safonol o honi, paham y gwna y mynych arferwyr o honi ei hadrodd mewn un o'r ddwy ffurf yn wastad? Os un yw y weddi, er y rhoddir hi mewn dau eirweddiad gwahanol, mae yn rhaid na fwriadai Crist iddi fod yn ffurf-weddi yn yr ystyr yr arferir hi mewn areithfeydd, ac y dysgir hi i blant yn ein dyddiau ni. Fel gweddi, diamheu ei bod yn cynwys yr oll oedd ar y dysgyblion y pryd hwnw ei eisiau. Mae yn deilwng o sylw, nad oes un crybwylliad am y weddi hon yn llyfr yr Actau, nac yn yr Epistolau a Datguddiad Ioan. Yr wyf wedi cymeryd y drafferth i chwilio hyn allan drosof fy hun Dywedir i ni hefyd gan y rhai a ddylent wybod, nad oes son am dani gan Clement, Polycarp, na chan un o dadau boreuaf yr eglwys Tybir mai Justin Martyr yw y cyntaf a sonia am dani. Yn awr, os rhoddodd Crist y weddi hon i fod yn ffurf-weddi safonaidd mewn geirweddiad, yn gystal ag mewn ysbryd, mae yn anghyfrifadwy paham na fuasai son am dani yn y tymor hirfaith uchod, a hyny gan ddynion ysbrydoledig, a chan rywun yn yr eglwys yn adeg ei phurdeb apostolaidd. Os arferid y weddi fer hon fel rhan o'r gwasanaeth cyhoeddus neu ddirgelaidd, mae yn anghyfrifadwy na fuasai yn ystod dau cant o flynyddau ryw grybwylliad am dani! Gyda phob dyledus barch i farnau eraill, ymddengys i'r ysgrifenydd fod y weddi fer hon yn addasach i oes neillduol nag i bob oes, ac i ddosbarth neillduol o ddysgyblion nag i'r holl saint. Mae prif a dymunol agwedd o Gristionogaeth yn ddiffygiol ynddi; megys enw y Gwaredwr, ei angau, ei gladdedigaeth, ei adgyfodiad, ei esgyniad, ei goroniad cyfryngol, ei eiriolaeth, a'r ddarpariaeth Gristionogol fendigedig o gynorthwy yr Ysbryd Glan i'r rhai a'i ceisiant. Pa weddi Gristionogol ellir offrymu yn gymeradwy gan y nef heb synied yr agwedd uchod i'r efengyl? Pa Gristion goleuedig yn awr, o unrhyw iaith, a ymgynygiai at weddio—at yru deiseb i'r llys fry—heb roi sel o swyddfa y gyfryngwriaeth fawr arni? Chwithig iawn genyf oedd clywed pregethwr Wesleyaidd yn yr areithfa yn gweddio. Gweddiai yn gyntaf weddi yn enw Crist, gan gyffesu ei fai, a datgan ei ymddiried yn haeddiant y groes; yna i orphen, dywedai y *pader* ddi-Grist, ddi-waed, ddi-Ysbryd Glan, &c. Tebyg iawn yw hyn i ddyn yn *mailio* dau lythyr i'r un gwr; gosoda stamp ar y cyntaf, a thafla y llall i fewn heb yr un. Pe bwriadid y weddi hon i'r holl saint, yn mhob oes, ai tybed na roddid enw Crist, yr hwn yn unig yw y fynedfa i bob peth a dderbynir i'r nef o dan yr efengyl, wrthi? Ychydig cyn i'r Iesu farw, dywedodd wrth ei ddysgyblion, "Hyd yn hyn ni ofynasoch ddim yn fy enw i. Gofynwch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn." Cyn esgyn i ogoniant cawn iddo ddyweyd, "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear," &c. Yn ngwyneb y datganiad breninol hwn, gellir penderfynu na esgyna yr un weddi i'r nef, a dychwelyd mewn atebiad cyfoethog o fendithion gras, ag nad â yno yn enw y Mab.

"Prif destyn holl ganiadau'r nef
Yw iddo ef â'i haeddiant."

Ni wna pader y dysgyblion gynt y tro yn awr—mae rhy fach o efengyl ynddi. Yr oedd hono yn gwneyd y tro gyda Duw yr hen oruchwyliaeth; ond ni wna y tro gyda yr un Duw fel y darllenir ei gymeriad yn nheyrnas ei Fab. "Beth bynag a ofynoch i'r Tad yn fy enw i, efe a'i rhydd i chwi," ydyw y drefn yn awr. Yr oedd arddull ac ysbryd gweddi yr apostolion, yn gystal a'u hathrawiaeth, yn cyfranogi yn gwbl o natur yr oruchwyliaeth yr oeddynt yn byw dani. Er eu bod yn pregethu yr un efengyl, eto nid yn yr un geirweddiad bob amser. Gwel Pedr ar y Pentecost, a Phedr yn mhorth Solomon. Wel, tebyg yw ei bod felly yn aml gyda hwy fel gweddiwyr. Dysgai yr apostolion y saint i weddio yn ddibaid—i barhau mewn gweddi—i weddio a thalu diolch dros bob dyn, &c. Yn awr, sut mae yn bosibl i ddeisebau

a diolchiadau braidd annherfynol eu rhif, dros nifer braidd annherfynol o amrywiaethau o angenion, gael eu cyflwyno mewn un ffurf osodedig o ddeiseb? A oes rhaid i Gristion pan gyfyd angen newydd i'w feddwl, aros heb weddio nes daw ffurf eiriol gyfaddas i'w angen iddo o ryw *Vatican* neu *conclave?* Gweddiau yr apostolion i gyd, fel yr ymddengys, oeddynt fyrfyfyr, yn cael eu hachlysuro gan eu hamgylchiadau ar y pryd; ac yr oedd geirweddiad y weddi, fel ei thymer, mae'n debyg, yn ateb i natur eu hangen ar y pryd. A oes achos iddi fod yn wahanol—a yw yn bosibl iddi fod yn wahanol a bod yn llwyddianus, gyda ni, rhagor yr hyn fuodd gyda dynion penaf ysbrydoledig teyrnas fawr Brenin y breninoedd ac Arglwydd yr arglwyddi?

---

# PWLPUD Y WAWR.

## Hunan-Aberth Cristionogol yn brif Elfen Angenrheidiol er Canlyn Crist.

GAN Y PARCH. E. JENKINS, PARISVILLE, O.

"O hyny allan y dechreuodd yr Iesu ddangos i'w ddysgyblion fod yn rhaid iddo fyned i Jerusalem, a dyoddef llawer gan yr henuriaid a'r archoffeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a'i ladd, a chyfodi y trydydd dydd," &c. . . . "Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei ddysgyblion, Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned fi," &c. —MAT. xvi. 21—27.

Yn y cyd-destynau hyn gwelwn bortread o amcanion a chynlluniau urddasol; neu y dwfn-dreiddiol a'r arwynebol mewn cymdeithas—Iesu am y tro cyntaf yn hysbysu i'w ddysgyblion ddybenion mawrion ei ddyfodiad, a'i fywyd yn y byd; sef myned i fyny i Jerusalem i farw. "O hyny allan y dechreuodd yr Iesu ddangos i'w ddysgyblion fod yn rhaid iddo ddyoddef llawer, a marw, a chyfodi y trydydd dydd." Yr oedd y drychfeddwl hwnw yn hollol newydd, a gwrthwynebol i feddwl Pedr; am hyny y dywedodd wrtho, gan ei geryddu ef, Na foed hyn i ti; paid son yr un gair wrthym am farw yn awr, Arglwydd; beth wyt yn ei feddwl! son am ddyoddef a marw, a tithau yn dy lawn nerth corphorol, a hefyd newydd gychwyn dy gynlluniau a'th fwriadau teyrnasol fel brenin ar Israel; na fydded hyn i ti beth bynag. Gwell o lawer fuasai i ti beidio dechreu son yr un gair wrth neb am dy gynlluniau newydd, os wyt ti yn meddwl marw yn awr; ä y cyfan i ben bythol. Adn. 22.

Ebe Iesu wrth Pedr, Dos yn fy ol i, Satan (hyny yw, y gwrthwynebydd), canys yr wyt yn sefyll o'm blaen i, rhyngof a'r groes, a thrwy hyny rhyngof a chyflawniad y cynlluniau mawreddog sydd yn fy nghalon, y rhai sydd raid i mi eu sylweddoli drwy ufudd-dod dyoddefol; am hyny tro oddiar fy ffordd, Pedr, canys ar yr arwynebol yr edrychi di—synied y pethau sydd o ddynion, ac nid y pethau sydd o Dduw. Minau wyf yn edrych ar y dwfn-dreiddiol, sef y pethau sydd o Dduw, ac nid o ddynion. Adn. 23. Hyn oedd yn nghalon Iesu.

Gwelwn yn nesaf, fod bwriadau mawreddog a da yn cyflwyno i'w perchenogion lawenydd a gorfoledd cyfartal i'r rhwystrau a fyddant ar y ffordd i'w cyflawniad sylweddol. Gwelir hyn yn hanes bywyd y dyn hynod hwnw, Columbus, yn narganfyddiad y cyfandir Americanaidd; hefyd yn hanes Galileo, yn ei ddrychfeddwl mawreddog am droad y ddaear; a'r un fath yn helyntion meddyliol mawreddog yr holl oesau.

Yn ol yr un raddfa ddyrchafol, Efe oedd y gweithiwr mwyaf dedwydd a rodiodd ddaear Duw erioed. Hwn, am y llawenydd a osodwyd iddo, a ddyoddefodd y groes, gan ddiystyru y gwaradwydd. Meddai Paul yr apostol, "A orfoleddodd arnynt, arni hi." Canys yr oedd digon o wir fawredd yn nghynlluniau a drychfeddyliau Iesu i ddal ei ysbryd a'i deimladau uwchlaw pob ton a gurodd i'w erbyn hyd y gair Gorphenwyd o dan y goron ddrain. Da oedd ganddo wneuthur ewyllys yr hwn a'i hanfonodd.

Sylwn eto, Nad ydyw y meddyliau arwynebol yn alluog i amgyffred y mawreddog a'r ardderchog yn y fath fwriadau. Methent a deall ac amgyffred y fath feddyliau a'r cynlluniau urddasol hyn, sydd wedi peri i'r byd yn mhob oes ddiwygiadwy, ac yn ngwyneb pob darganfyddiad gwelliantol, i wrthryfela yn ei erbyn, a phenderfynu llabyddio pob diwygiwr allan o'r byd.

Arweinir ni yn awr yn naturiol at wreiddyn y mater, sef, Fod sylweddoliad personol o'r bwriadau a'r cynlluniau mawreddog hyn bob amser o angenrheidrwydd yn gysylltiedig a hunanaberth. "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded ag ef ei hun, a chyfoded *ei* groes, a chanlyned *fi.*" Os myn neb ymsymud o'r arwynebol, oddiwrth y synied y pethau sydd o ddynion, ar fy ol i, drwy borth yr hunan-ymwadu, i fewn i deml fawr y *dwfn-dreiddiol,* i synied y pethau sydd o Dduw, ymwaded ag ef ei hun, cyfoded ei groes, a chanlyned fi.. Rhaid cyd-ddyoddef gyda Christ cyn cyd-deyrnasu; ni chaniata ef goron y bywyd heb ymdrech deg ffyddlondeb; rhaid myned i lawr gydag ef cyn y gellir yn rheolaidd ddyfod i fyny gydag ef.

Y mae yma dair gweithred yn cael eu hargymell gan Grist ar ei holl ganlynwyr, a'r tair i fod yn bersonol i bob un a'i canlynant ef. "Ymwaded ag ef ei hun, cyfoded ei groes, a chanlyned fi."

1. Ymwaded ag ef ei hun. Nid a'i hunaniaeth greadigol, ar yr hon y bu delw Duw; ond yr hunan hwnw sydd wedi ei greu a'i ffurfio gan y natur ddynol ei hun, tu cefn i'r awdurdod dwyfol, ac am hyny yn anghyfreithlawn yn ol barn y llys nefol, ac o ganlyniad rhaid yw ei ddiddymu yn llwyr oddiar ffordd gras.

Mae y creadur hwn yn agos ac anwyl iawn gan bob dyn; caiff y lle goreu a'r lle cynesaf, a'r parch mwyaf, yn mhob amgylchiad, ac yn herwydd hyny gorchwyl lled anhawdd yw troi y gwr mawr allan o'i dy; ond rhaid iddo fyned, a'i groeshoelio wrth groes Crist, ac yna ei gladdu yn meddrod anghofiant bythol, cyn y gellir cael trefn dda ar bethau y ffydd, a chadwedigaeth yr enaid. Ffurfir bodolaeth hwn gan dair o elfenau pwysig, sef hunan-feddyliaeth, hunan-arferiaeth, a hunan-elw. Gellir yn rhwydd ganfod ei holl aelodau adranol yn gwreiddioli o'r tair elfen uchod—"chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder bywyd."

*Hunan-feddyliaeth*—wrth yr hyn y golygir, nid yr hawl annibynol o feddwl a barnu drosto ei hun, ond yr hunan-dybiaeth, yr hunan-farn, yr hunanopiniynau, yr hunan-ragfarn, yr hunangynlluniau a'r bwriadau a ffurfir yn groes i feddwl Crist, mewn arweddion crefyddol, tebyg i eiddo Pedr am ei Arglwydd; synied y pethau sydd o ddynion, yn ddynol, ac nid y pethau sydd o Dduw, sef y dwyfol; yna daw y meddyliau dynol yn brif reolau crefyddol, a syniadau hunan-feddwl dynol yn dod yn erthyglau ffydd ac ymarweddiad. Gwelir yr hunan-feddyliaeth dynol hwn, synied y pethau sydd o ddynion, yn rhedeg yn llinellau awdurdod dynol, o *conclave* cêl-gymanfaol y Pab yn Rhufain, drwy holl gysylltiadau cyngorfaol yr holl gyrph eglwysig gwladol. Gwreiddiolant oll yn y tir llygredig hwn. Peth chwithig, onide, yw y syniad fod y dynol yn llywodraethu y dwyfol, y dyn yn myned yn uwch na Duw, Crist i'w lywodraethu gan Petr. O, hunan ryfyg ac ynfydrwydd llysoedd gwladol yn myned yn fwy awdurdodol na'r llys nefol. Onid o'r ffynonell lygredig hon o hunanfeddyliaeth y tarddodd holl heresiau yr oesoedd, yn Babaidd, Mahometanaidd a Mormonaidd?

Ymwadu a *hanan-arferiaeth* pechadurus o fyw, sef byw yn ol y cnawd, byw yn ol helynt tywysog llywodraeth yr awyr. Y mae i bob egwyddor ei gallu ysgogol a gweithredol, ac y mae i bob gweithred ei harddangoseg ansoddol er egluro o ba gymeriad moesol y bydd yr ysgogydd gwreiddiol, "Canys wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt;" a phan fyddo hunan-feddyliaeth a'i llaw wrth y llyw yn ysgogi a threfnu yr holl wasanaeth, naturiol dysgwyl oddiwrth hunan-arferiaeth mai dynol, anianol,

cnawdol, cythreulig, yw ei holl ffrwythau ymarferol. Rhaid yw, gan hyny, ymwrthod, ymwadu, a chael y ddau at groes Grist, a'u hoelio wrthi hi.

Eto, ymwaded a *hunan-elw;* nid ag elw teg a gonest, fel gwerth am werth; ond yr elw budr, yr elw cas yn ffroenau pur gwirionedd, yr elw a gesglir ar draul diraddio deddf lân yr efengyl, yn nghydag urddas tegwch cydrhwng dyn a dyn, fel plant un tad. Yr egwyddor hono y sonia Crist am dani yn y cydadnodau hyn, sydd a'i gorwanc am enill byd, ïe, yr holl fyd os medra, yr hon sydd a'i safn agored fel morfil, nid yn unig i lyncu Jonah, druan, tlawd, ond yr holl fyd os gall. Onid yw y tueddfryd anghymedrol hwn am fudr elw wedi rhedeg i eithafoedd enbydus yn ein dyddiau ni? Y mae y byd a'r eglwys fel pe wedi meddwi o dan y dylanwad ffol hwn. O! 'r anghenfil ofnadwy! pa sawl gwyneb gwelw sydd wedi ei rychio gan dy ewinedd ysglyfaethus?—pa sawl gweddw ac amddifad sydd heddyw yn wylo yn chwerw dost o dan dy ddwylaw crafangawl? a pha sawl calon sydd heddyw ar dori yn herwydd dy galon-galedwch di, a'th orawydd am fudr elw—i enill yr holl fyd.

Er dilyn Crist, rhaid ymwadu a hwn yn mhob safle, swydd, galwedigaeth, a masnach, yn y rhai yr enillir y budr elw. Ni chytuna yr Arglwydd Iesu â neb a ddianrhydeddo ei ddeddf bur.

Yr ail weithred a argymellir: "A chyfoded ei groes." Cyn y gellir symud yn mlaen ar ol Crist yn llwyddianus, rhaid cyfodi y groes; nid croes Crist a olygir yn y fan hon, oblegid efe a gododd hono ac a'i cariodd i ben y bryn, ac a fu farw arni hi. Am hyny nid oes angen ar neb gyfodi hono byth mwy.

Ond wrth yr arwydd-enw croes, yn y cysylltiad hwn, y deallir y peth a fyddo yn rhwystr i ddilyn Crist; y peth ag sydd yn y natur lygredig yn groes i deyrnasiad Iesu yn y meddwl; y peth ag sydd yn groes i'r hen deimladau dynol ei roddi i fyny er mwyn Crist a chadwedigaeth yr enaid. Beth gan hyny sydd yn rhwystr i'r dysgybl ddilyn ei Athraw da? Hunan-feddwl, hunan-arferiad, a hunanelw, y tri trawst mawr hyn sydd ar y ffordd—rhaid cyfodi y groes hon. "A chyfoded *ei* groes," y groes berthynol i'r canlynydd ei hun; nid creu croes, fel y gwna llaweroedd, ond cyfodi yr hon sydd yn barod yn bodoli. Wel, pa beth a wneir o honi hi wedi ei chyfodi? Nid ei chario hi; O, nage, canys y mae yn rhy bwysig i'w dwyn yn mhell ar hyd ffordd sancteiddrwydd; ond ei thaflu hi o'r neilldu. Symud yr hunan ymaith yn llwyr, "Gan roddi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu," fel y gellir yn rhwydd redeg yr yrfa ar ol Iesu, y Pentywysog a pherffeithydd y ffydd, a chanlyned fi. Yn awr wedi cyfodi y rhwystr oddiar y ffordd, dyma fantais yn awr i gychwyn yn iawn. Ond heb wneuthur hyn anmhosibl dechreu y daith yn weddus, heb son am ei gorphen hi.

Y drydedd weithred: "A chanlyned fi." Nid ei hunan; Canlyn di fi, Petr, ac nid dy hunan, onide byddi yn sicr o ddyfod i'r fagl; byddi yn fuan wedi tramgwyddo ar draws dy hunan; ti dy hunan fydd yr unig achos os cwympi ar y ffordd; am hyny canlyn fi bob cam o'r daith. Gall Iesu Grist yn ddiofn ddywedyd wrth ei holl ganlynwyr, Deuwch ar fy ol i. Cynygia Iesu dair mantais arweiniol i'w ddilyn ef ar y daith newydd a bywiol hon ar ei ol ef.

1. Ei air sanctaidd. Yn hwn y mae datguddiad o'i feddwl dwyfol; felly dyma feddwl Crist i'r canlynwyr, yn lle eu hunan-feddwl, i'w tywys a'u llywodraethu ar hyd y ffordd; "A phawb a rodiant yn ol y rheol hon, tangnefedd arnynt, ac ar Israel Duw."

2. Ei Ysbryd Glan i'w tywys oddiwrth bob arferiad pechadurus, yr hunan cnawdol, llygredig, at wir sancteiddrwydd buchedd. Efe a'ch tywys i bob gwirionedd—ar fy ol i.

3. Ei esiamplau pur, y rhai a roddodd ef, fel y canlynem ei ol ef, yn y rhai y condemniodd efe bob hunan elw budr yn llys ei hunan-aberthiad mawr. Nid rhoddi ei amser a'i dalent, a'i fwyniant personol drosom ni a wnaeth efe yn unig, ond rhoddodd ei hun o'i fodd i fyw, dyoddef a marw yn ein lle.

Felly canlynwn ef yn ol ei Air, ei Yspryd, a'i esiamplau pur, yn hytrach na myned ar ol ein hunan ddinystriol; ac os collir yr elw budr bydol wrth wneuthur hyn, na ddigalonwn ddim, oblegid nyni a enillwn drysorau tragywyddol yn ei le, Canys Mab y dyn a ddaw yn ngogoniant ei Dad, â'i angelion; yna y rhydd efe i bob un yn ol ei weithred.

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

V.

Y bachgen heinif, iraidd oed,
Mor gryf ei gefn, mor chwim ei droed!
Ei lygad yn gwreichioni sydd,
Tra chwardd, tra llama fel yr hydd;
Ei enau o ddanedd ydynt lawn,
I falu 'i fwyd, a'i dreulio'n iawn;
Y gwrid sy'n chwareu ar ei foch,
Yr hon sy'n hardd fel rhosyn coch;
Ni foddia'i farf ef yn ei fyw—
Arwyddion y'nt mai ieuanc yw.

Fe glyw'r ehedydd yn y nen,
Ei wallt sydd drwchus ar ei ben;
Fe deifl â'i law y bêl yn bell—
Nis gellid braidd ei dal yn well;
Ac wedi blino'n hwyr y dydd,
Ei gwsg fydd drwm, a melus fydd;
Ei anadl sydd lawn a chref,
Breuddwydio'n ddedwydd iawn mae ef;
Ei gariad wêl, ei llais a glyw—
Arwyddion y'nt mai ieuanc yw.

Mae'n cofio geiriau'r lodes lân,
Ac edrydd iddi aml gân;
A serch o fewn ei fynwes sydd,
Yn fyw o dân bob nos, bob dydd;
Fe ddring i fyny'r goeden fawr
I ysgwyd iddi'r ffrwyth i lawr;
A neidia nes y syna'r ferch,
A chusan wed'yn selia'i serch;
Nis gall'sai 'i rwystro yn ei byw—
Arwyddion y'nt mai ieuanc yw.

Ac weithiau yn yr haf y mae
Yn tawel orwedd ar y cae,
Gan wrando ar yr adar mân,
Yn mrigau'r coed yn pyncio'u cân;
Ac yna, cyfyd at ei waith;
Ni theimla fod y dydd yn faith;
Ac am ei fod yn gryf a hoen,
A trwy ei orchwyl yn ddiboen;
A chwardd ar rwystrau o bob rhyw—
Arwyddion y'nt mai ieuanc yw.

—Y mae mwy na dwy fil o flynyddoedd wedi myned heibio er pan ddyfeisiwyd y Ddeiliadeb gan y brenin Servius, yr hwn fu cyn hyny yn gaethwas. Dyn rhyfedd oedd Servius. Esgynodd drwy rym ei athrylith o'r ors i'r orsedd. Efe yw awdwr y gyfundrefn Rufeinig ystadegol, a thad diwygwyr dilynol. Cariwyd allan y cynllun defnyddiol o gyfrifiad trwy ystod y Werin-lywodraeth, ac yn mhell yn amser yr Ymerodraeth; eithr yn nghyfnod y rhuthrgyrch Gogleddol rhoddwyd ef heibio. Collwyd hyd yn nod y meddylddrych o hono. Ni roddodd breninoedd dwl, hurt, y canol-oesoedd a'u holafiaid sylw yn y byd i ystadegau. Yn amser Siarls II., ac mor ddiweddar a theyrnasiad Sior III., nis gwyddid beth oedd poblogaeth Prydain; a'r unig ffordd i ddyfalu poblogaeth Ffrainc yn amser y Bourboniaid, oedd trwy ystyried y difrod dychrynllyd a wnaed yn eu rhyfeloedd diderfyn. Nis gallai neb ddweyd faint oedd poblogaeth Llundain yn amser Dr. Johnson, na rhifedi trigolion Paris. Ond yn niwedd y bedwaredd-ganrif ar-bymtheg, y mae enw, poblogaeth, cyfoeth ac arferiadau pentref distadlaf y Mynyddoedd Creigiog yn wybyddus i'r holl fyd. Yn mhen pob deg mlynedd ceir gwybod faint o gynydd sydd wedi cymeryd lle yn y deg mlynedd sydd wedi myned heibio, yn mhob dosbarth a changen o wybodaeth sydd yn dal cysylltiad â'r hil ddynol. Y mae sefydliad Servius, a ddyfeisiwyd mewn capitol fechan Lladinaidd, ac a gollwyd yn yr Oesau Tywyll, wedi dyfod yn ddangoseg o gynydd rhyfeddol y cyfnod diweddar hwn.

Y mae adnewyddiad y ddyfais ddefnyddiol o gyfrifiaeth, i'w phriodoli i'n hynafiaid a ddaethant i sefydlu Gweriniaeth yn y Byd Newydd; oblegid yn mhlith yr amryw awgrymiadau a gymerasant oddiwrth y Republicaniaid

Rhufeinig, y mwyaf gwerthfawr yw y *census*. *Wedi* ei fabwysiadu yma, a'i gyfnewid o bum' i ddeg mlynedd, cymerwyd y cynllyn i fyny gan ein cefndrid yn yr Llen Wlad, ac yna gan wledydd Ewrop.

Mae cynydd yr Unol Dalaethau yn y deg mlynedd diweddaf, mewn rhifedi a chyfoeth, yn fwy nag y bu ar unrhyw gyfnod cyffelyb o'r blaen. Rhagfynegir fod y boblogaeth yn 50,000,000. Yn 1870, yr oedd yn 38,000,000. Yn 1860, o flaen y gwrthryfel, yr oedd yn 31,000,000. Y mae ychwanegiad o yn agos i ugain miliwn mewn ugain mlynedd; a'r tebygolrwydd yw, y bydd genym boblogaeth yn ymylu ar gan' miliwn cyn diwedd y ganrif bresenol.

—Y mae y drydedd ran o'r Bedyddwyr sydd yn Nhalaeth New York yn byw yn y dinasoedd; a thair rhan o bedair o'r holl arian a gyfranir a ddeuant oddiwrthynt hwy. Cyfranwyd yn agos i ddeg mil o ddoleri i gynorthwyo eglwysi gweiniaid, ac ymdrechir dyblu y swm yna y flwyddyn ddyfodol.

—Dygwyddodd fod Arglwydd Palmerston, pan yn Brif Weinidog, a'r hyglod Esgob Samuel Wilberforce, yn talu ymweliad ar yr un amser yn nhy cyfaill yn y wlad. Boreu Sul aeth y ddau i'r eglwys, y Prif Weinidog mewn cerbyd, a'r Esgob ar draed. Pan yn dychwelyd o'r eglwys yr oedd yn gwlawio yn lled ddwys; ac wrth fyned heibio i'r Esgob estynodd Palmerston ei ben allan, gan ddweyd mewn dull lled gellweirus,

"Mor wynfyd yw y dyn nid â
I droedio ar ei daith."

Mewn eiliad, yn ddifrifol, ac mewn llais cryf, dwfn, uchel, ebai'r Esgob,

"Na saif yn ffyrdd gwatwarwyr ffol,
Nac efont eistedd chwaith."

Mab i'r anfarwol Wilberforce, yr hwn a wnaeth gymaint dros y dyn du, oedd yr Esgob uchod, ac un o'r dynion mwyaf talentog yn mhlith yr Eglwyswyr.

—Deugain mlynedd yn ol, nid oedd ond tri o bersonau wedi eu troi at Gristionogaeth yn China; y mae yno heddyw bymtheg mil.——Y mae dros dair mil o lodesi Hindwaidd yn derbyn addysg Gristionogol.——Lledaenwyd tair miliwn ar ddeg o dudalenau o lenyddiaeth Gristionogol yn Twrci y flwyddyn ddiweddaf.——Cyfranir pymtheg dolar yn flynyddol ar gyfer pob dyn, dynes, a phlentyn, yn yr Eglwys yn Erzeroum. "Eheded yr efengyl hedd," &c.

—Y cam yn fyr, a'r troed yn drwm,
Ysgwyddau'n fain, a'r cefn yn grwm,
A phantiau mawr lle bu y foch,
Oedd gynt yn gwisgo'r rhosyn coch;
Ffenestri'r ty sy'n t'w'llu'n awr,
Nid all celfyddyd helpu fawr;
Y genau'n drigle'r danedd fu,
Sy'n awr yn wag fel ogof ddu;
Y farf yn gwynu ar yr ên—
Dyna arwyddion myn'd yn hen.

Y pen yn hurt, y clyw yn drwm,
Y gwallt yn gado'r coryn llwm;
Y llaw'n grynedig ac yn wyw,
Yn ffaelu symud yn ei byw;
Y cwsg yn ysgafn iawn yn awr,
Yn effro mae ar ben pob awr;
Yr ana'l yn ddiffygiol sydd,
A pheswch blin bob nos, bob dydd;
Y trwyn yn nesu at yr ên—
Dyna arwyddion myn'd yn hen.

Y cof ni ddeil ond pethau gynt,
Ffy 'r pethau newydd fel y gwynt;
Tywyllu mae y deall cry';
Y serch a'r chwant yn marw sy';
Nid ellir dringo'r adeg hon,
Mae'n dda cael cerdded gyda'r ffon,
Neu eistedd wrth y bwrdd yn awr,
I droi dalenau'r Beibl mawr;
Y dw'r a dreigla ar hyd yr ên—
Dyna arwyddion myn'd yn hen.

Y ceiliog rhedyn sydd yn faich,
Mor dda cael help gan ryw gref fraich;
Nid oes un blas ar bethau tlws;
Nid eir fawr ffordd oddiwrth y drws;
Y babell ddaliodd lawer gwynt,
Y corph aeth drwy beryglon gynt,
Sydd yn adfeilio'n gyflym iawn,
Er pob cymhwysder, er pob dawn;
'Does dim a all gynhyrfu gwên—
Dyna arwyddion myn'd yn hen.

# Adran yr Adroddwr.

## "LLE MAE EWYLLYS MAE GALLU."

[O'R GERMAN.]

ROLANT.—Sut yr y'ch chwi, Huw Dafydd? Mae arnaf eisieu myn'd i daith fechan, ac yr ydw i wedi d'od atoch i ofyn am fenthyg eich ceffyl.

HUW.—Ni f'asai dim yn rhoi mwy o bleser i mi, Rolant anwyl, oni b'asai fod yn rhaid i mi fyn'd â thair sachaid o yd i'r felin, i'r wraig acw; 'does ganddi yr un llychyn o flawd.

R.—'Dyw y felin ddim yn myn'd heddyw; clywais y melinydd ei hun yn dweyd, pan oeddwn yn d'od heibio, nad oedd digon o ddw'r i falu.

H.—Yn wir? Câs ydi hyny hefyd. Ond 'does dim i wneyd ond myn'd nerth y carne i'r dre' i nol ychydig o flawd, onite bydd fy ngwraig mewn tymer anfad.

R.—Gallaf arbed y drafferth yna i chwi; y mae gen i sached o flawd da gartre', a chewch fenthyg faint a fynoch o hono.

H.—Ha! wna'ch blawd chwi mo'r tro i'r wraig acw—y mae hi mor *barticular*.

R.—Pe ba'i hi felly ganwaith, mae hwn yn siwr o'i phlesio, ran genych chwi y prynais i o; ac yr oeddych yn dweyd ei fod y gore a werth'soch erioed.

H.—O, os gen i y cawsoch chwi o mae yn siwr o fod yn dda—fydda i byth yn cadw eiddo sâl. Gymydog anwyl, chwi wyddoch nad oes neb yn leicio gwneyd cymwynas yn well na fi; ond gwrthododd y ceffyl ei wair y bore, ac y mae arnaf ofn nad yw yn ffit i fyn'd.

R.—Peidiwch ofni; rhof ddigon o gerch iddo ar y ffordd.

H.—Yr ydym yn myn'd i gael niwl, a bydd y ffyrdd yn llithrig iawn. Hwyrach mai syrthio a wnewch, Rolant, a thori eich gwddw.

R.—'Does dim peryg'; mae eich ceffyl chwi yn bur ddiogel. Onid oeddych chwi yn son just 'rwan am ei yru nerth y carne?

H.—Mor hynod o anlwcus; mae fy nghyfrwy, welwch chwi, yn dipiau mân, a'm ffrwyn yn cael ei thrwsio.

R.—Yn ffodus, y mae gen i gyfrwy a ffrwyn gartre'.

H.—Ffitia eich cyfrwy chwi byth mo'm ceffyl i.

R.—Wel, câf fenthyg un Shôn William ynte.

H.—Nonsens, ffitia hwnw ddim gwell na'ch un chwi.

R.—Af i fyny at *groom* y Plas Coch. Mae ef yn gyfaill i mi. Byddaf yn siwr o gael un a'i ffitia o blith ugain.

H.—Byddwch, mae'n debyg gen i, fy nghymydog. Welwch chwi, 'does neb yn cael mwy o bleser na mi wrth wneyd cymwynas i gyfaill, a b'asech yn cael y ceffyl o 'w'llys fy nghalon oni bai ei fod heb ei drin er's pythefnos. Nid yw ei fwng wedi ei gribo chwaith. Pe gwelid ef yn y sefyllfa hon ni chawn haner ei werth am dano pe dymunwn ymadael âg ef.

R.—Gellir trin ceffyll mewn ychydig amser; ni fydd y bachgen acw fwy na chwarter awr wrtho.

H.—Gwir, gwir: ond 'rwan y mae yn taro i fy meddwl, y mae eisieu ei bedoli.

R.—Wel, nid yw y gôf ond tri drws oddiyma.

H.—Felly yn wir.—Gôf gwlad i fy ngheffyl i! Ni f'aswn yn ymddiried fy mul iddo. Na, rhaid cael gôf Syr Watcyn i'w bedoli yn iawn.

R.—Mae'n dda genyf hyny, o herwydd 'rwyf yn myn'd heibio ei ddrws, ac yna caf ei bedoli y pryd hwnw.

H.—[*Gwel ei was o'r neilldu, a geilw arno.*]—Harri, Harri.

HARRI—[*Yn dyfod ato.*]—Be' sy, meistar?

H.—O: y mae fy nghymydog Rolant Risiart eisieu benthyg Jack. Gwyddost fod briw gymaint a'm llaw ar ei gefn. [*Mae yn wincio ar y gwas*]. Dos i edrych ydi o wedi mendio. [*Harri yn gwneyd arwydd ei fod yn

*deall, ac yn myned ymaith.*] Gobeithio ei fod erbyn hyn. Os ydyw, câf y pleser o wneyd cymwynas i chwi. Rhaid i ni gynorthwyo y naill y llall yn y byd yma. Pe b'aswn yn eich gwrthod ar unwaith, b'asech chwithau yn gwneyd yr un peth â minau ryw dro eto. Ond y mae cymaint o natur dda ynof fel 'rwyf bob amser yn barod i helpu cyfaill mewn angen. [*Harri yn dychwelyd.*] Wel, Harri, sut mae'r briw?

Harri.—Sut y mae o, meistar? Yr oeddych yn son am faint eich llaw—lled fy nghefn ddyl'sech dd'eyd; nid ydi'r anifel druan yn ffit i fyn'd yr un cam. Ac heblaw hyny, yr oeddwn wedi ei addo i Ifan Dafydd i fyn'd a'i wraig i'r dre.

H.—Gymydog anwyl, mae'n ddrwg gen i fod pethau yn troi allan fel hyn. B'asai yn well gen i na'r byd pe gall'swn roi benthyg y ceffyl i chwi. 'Rwy'n wir ofidus drosoch, Rolant anwyl.

R.—'Rwyf finau yn ofidus drosoch chwithau, anwyl Huw. Derbyniais nodyn oddiwrth stiwart Castell-y-waen, yr hwn sydd eisieu fy ngweled ar fusnes a drôai yn elw i ni i'll dau. Dywed ond i mi ei gyfarfod yno haner dydd y gesyd i mi ran fawr o'r goedwig i'w thaflu i lawr. Byddai hyny yn werth cryn lawer i mi, a rhyw bymtheg neu ugain punt i chwithau, ran 'roeddwn wedi meddwl am danoch—ond——

H.—Faint! pymtheg neu ugain punt ddarfu chwi dd'eyd?

R.—Fe allai ragor; sut bynag, gan nad ydi'ch ceffyl yn ffit i fyn'd, âf at Lewis y saer i ofyn am fenthyg un.

H.—Chwi a'm digiwch am byth, os ewch, ran mae fy un i at eich gwasanaeth yn hollol. Ydych chwi yn meddwl y gwnawn ei wrthod i'm cyfaill pena'?

R.—Ond beth a wnewch am flawd?

H.—O! gall y wraig wneyd yn burion am bythefnos.

R.—Onid ydi'ch cyfrwy yn dipiau?

H.—Am yr hen un 'roeddwn i yn siarad. Mae gen i un arall, a ffrwyn newydd spon hefyd. Ni rydd dim fwy o bleser i mi nag i chwi gael eu hiws am y tro cyntaf.

R.—Felly, a fyddai yn well i mi gael ei bedoli yn Rhiwabon gan ôf Syr Watcyn?

H.—Na, raid i chwi ddim. Wrth gofio, cafodd ei bedoli y dydd o'r blaen gan y gôf yma, just er mwyn rhoi treial arno; ac, iddo gael cyfiawnder, efe a lwyddodd yn hynod dda.

R.—Ond beth am y briw mawr sy ar gefn yr anifel druan, fel y dywed Harri?

H.—Fe adwaen i y rôg yn dda—caboli y mae. Briw!—mi ddaliaf â chwi beth a fynoch nad yw yn fwy na'm bys bach.

R.—Sut bynag, rhaid trin tipyn arno, o herwydd d'wedsoch na thriniwyd mo hono er's——

H.—Trin yn wir! dymunwn wel'd Harri yn peidio ei drin am ond un diwrnod.

R.—Rho'wch dipyn o gerch iddo, ynte; o herwydd oni dd'wedsoch iddo wrthod ei wair y bore?

H.—Do; ond wyddoch chwi beth oedd yr achos o hyny. Digon o gerch oedd ganddo. Peidiwch ofni; efe a'ch cluda mor fuan ag yr eheda yr aderyn. Mae'r ffordd yn sych—dim arwyddion niwl chwaith—taith bleserus i chwi, ac uwchlaw pobpeth llwyddiant gyda'r stiwart. Dowch, dowch, neidiwch i fyny—peidiwch colli mynyd—mi a ddaliaf eich gwarthol—nerth y carne, nerth y carne, bellach, Rolant anwyl.

---

## YSTRYWIAU MISS MORGAN.

CYMRO BACH.—ALLAN O "HANES CWM GWENEN.

Dafydd Morgan a Shân ei wraig oeddynt bobl gysurus iawn arnynt yn y byd, ac yn yr eglwys. Yr oedd Dafydd Morgan yn ddiacon defnyddiol iawn, yn gofalu am achosion yr eglwys ac am gysur y gweinidog. Nid oedd neb yn y wlad yn fwy o gyfaill i Mr. Williams, yr hen weinidog, na Dafydd Morgan. Ond daeth Miss Morgan (ei unig blentyn) adref, wedi bod ryw dalm o amser yn y *boarding school* yn anghofio ei hen foesau, ond nid yn dysgu rhai newyddion—yn colli ei Chymraeg, ond nid yn

dysgu un iaith arall; ac yn neillduol yn colli ei hoffder i wrandaw yr hen weinidog, a phob hyfrydwch yn yr hen dy cyfarfod, a chyfeillach hen gyfeillion Mr. a Mrs. Morgan, &c. Yr oedd yr hen bethau, mewn gwirionedd, wedi myned heibio gyda Miss Morgan; ac ni wnelai un peth y tro ond myned i'r Llan (fel yr oedd yn myned tra yn y *boarding school*); oblegid, meddai Miss Morgan, "*There all the respectable people go.*" "Beth sydd ar y lodes?" meddai Dafydd Morgan. "O," meddai Shân Morgan, "rhaid ei gadael hi i fyned i'r Llan weithiau er mwyn cyfeilachu â'r bobl ifainc '*spectal* yn nheulu Squire Pompous" Ond y peth cyntaf i'w wneuthur oedd—cael *party* o'r hen gymydogion, a'r meibion a'r merched gwladaidd yn nghyd, i gael gweled a chlywed Miss Morgan. Nid oedd hi gymaint am eu gweled hwy; ond eisieu dangos ei hun yr oedd Miss Morgan, ac hefyd yr oedd eisieu i'r pethau gwirion diddysg o'r wlad ei chlywed a'i gweled yn mwrddro miwsig ar y *piano*. Gwahoddwyd yr hen weinidog yno, ac hefyd ddyn ieuanc "go beithiol" iawn gydag ef, o'r enw Mr. Spruce, yr hwn oedd newydd adael y coleg, ac eisieu lle arno i osod ei berson i lawr. Hoffodd Miss Morgan y dyn ieuanc yn anghyffredin, ac ni soniodd mwy am y Llan; a chwareu teg i Miss Morgan hefyd, yr oedd y Parch. Mr. Spruce yn ei hoffi hithau tu hwnt i bobpeth, yn neillduol wrth ei chlywed yn adrodd fel yr oedd yn medru dawnsio a chware ar y *piano*. Clywwyd Mr. Spruce yn "*soliloquisio*" fwy nag unwaith,—"*She is a charming creature! She will make an excellent wife for a minister.*" Llawer o'r cyffelyb ymadroddion a ddiangent dros wefusau Mr. Spruce, heb yn wybod iddo! Yr hen bobl a fethent ddeall pa gymhwysder mewn gwraig i bregethwr, nac i dyddynwr, oedd medru dawnsio, &c.; ond beth mae rhyw hen ddynionach yn wybod am yr oes oleu hon, y *march of intellect? &c.* Rhaid rhoddi chware teg i'r hen bobl hefyd; yr oeddynt dros ddysgeidiaeth dda mewn gwybodaeth gyffredinol am bethau buddiol; ac, oddieithr rhyw globyn a fyddai mor ddwl a llo, a'i ben mor dew a phen tarw seithmlwydd, nid oeddynt am ddywedyd un peth yn erbyn miwsig, ond yn erbyn ei fwrddro. Aeth pob peth heibio prydnawn y *party* heb lawer o helynt; a gwahoddwyd y gŵr ieuanc, y Parch. Mr. Spruce, i aros y nos hono yn nhŷ Mr. Morgan. Dim allan o le yn hyny.

Dranoeth ar ol y *party* dywedai Miss Morgan, "*Papa, I don't like that old-fashioned minister of yours at all.*" "Beth sydd ar y ferch?" ebe Dafydd Morgan. "Beth! ddim yn hoffi Mr. Williams, ein hen weinidog duwiol, yr hwn sydd wedi bod fel tad iddi hi a minau, ac i haner pobl y wlad hon? Nid oes gwell pregethwr yn y Dywysogaeth." "Yn wir," ebe Mrs. Morgan, "mae yr hen ddyn wedi colli i bregethu yn anghyffredin yn ddiweddar." "*Oh, Papa,*" meddai Miss Morgan, "*he is so old fashioned in his dress and manners, and talking that old Welsh language always; I cannot understand such gibberish. I wish we had no Welsh in the country!*" "Wel, wfft i'r lodes!" meddai Dafydd Morgan. "Yn wir," meddai Mrs. Morgan, "mae y Saesneg yna lawer yn feinach na'r hen iaith yma; pe bawn i ddim ond medru, mi siaradwn i Saesneg o hyd gyda Miss Pompous ac Eliza." Rhaid i chwi ddeall for Miss Morgan wedi gwneuthur cyfnewidiadau yn ei hen enw gwladaidd. Elizabeth oedd ei henw; ond yn yr ysgol, cyfarfu ag Eliza, a Louisa, ac Arabella, a meddyliodd yn union wrth weled amryw enwau, y buasai Eliza Arabella Louisa Morgan yn swnio yn beraidd iawn; ac yna aeth ei henw, o dipyn i beth, yn Eliza A. L. Morgan! Aeth Miss Morgan yn y blaen:—"Oh, Papa, what a difference between the Rev. Mr. Spruce and that old *ginidog*, as you call him! I could not help blushing for the old man at table yesterday. What a hum drum party we should have had if the Rev. Mr. Spruce had not been there. How fortunate it was for us that he came! The Rev. Mr. Spruce is quite the gentleman! Did you notice his step, mamma? I am

sure he can dance. O! how melodiously he sang! Indeed, mamma, I thought the piano never sounded so well as it did with the Rev. Mr. Spruce's voice, when he sang 'Sweet Eliza, sweet.' And was it not enchanting, mamma, to listen to his conversation. He is quite a parlor companion. When I asked him if he took cream in his tea, what a graceful bow he made with the answer,—that he took three drops and a half, and about one-third of another! Now, mamma, was not that a very nice distinction, indeed? But, when I asked your old *ginidog*, as you call him, Oh, my! what an answer." * * Effeithiodd dywediadau Miss Morgan ar Mrs. Morgan; effeithiodd Mrs. Morgan ar feddwl Mr. Morgan; a dywedai Mr. Morgan yn y cyfarfod eglwysig fod eisieu *cynorthwywr* i'r hen weinidog; a'i fod ef yn tybied y deuai y Parch. Mr. Spruce atynt, os byddai iddynt roddi galwad unfrydol a thaer iawn iddo!

# Bwrdd y Golygydd.

## EIN GWEINIDOGION YN NGHYMRU.

Mae amgylchiadau gweinidogion wedi gwellhau yn fawr yn Nghymru yn ystod y pymtheg mlynedd diweddaf. Mae y cyfnewidiad er gwell y fath fel y gellir ei ganfod ar unwaith. Amryw flynyddau yn ol digon llwyd a chyffredin ydoedd amgylchiadau llawer un. Cawsom gyfleusderau i alw heibio amryw o'n prif weinidogion, a dymunol i ni oedd eu cyfarch mewn sefyllfaoedd mor gysurus. Galwasom heibio y Parch. Robert Lloyd, Casbach, Mynwy, hen gyd-fyfyriwr yn Hwlffordd. Y mae ef yn barchus, yn boblogaidd, a defnyddiol iawn, gartref ac oddicartref. Cartrefa gerllaw y pentref, mewn palasdy—palasdy, meddwn, canys nis gwyddom am enw mwy priodol. Wedi agoshau at y ty ac edrych cryn lawer o gwmpas, gwnaethom ein hunain yn hysbys yn y drws, a chawsom dderbyniad llongyfarchiadol i mewn i ganol teulu lluosog, siriol ac iachusol. Yn nghwrs yr ymddyddan, wrth son am y cyfrifoldeb sydd yn gorphwys ar rieni i ddwyn eu plant i fyny yn briodol, amlygai Mrs. Lloyd fod hyny yn gorphwys yn fawr ar ei meddwl. Yn y man aeth y brawd Lloyd a fina' i roi tro i wel'd hen gyfeillion—i wel'd y capel ardderchog sydd ganddo. Treuliasom noswaith ddymunol yn ei gartref, ac ymadawsom dranoeth gyda chalon hiraethlon.

Yn nesaf galwasom gyda y Parch. Timothy Thomas (Cefn Bassaleg gynt) yn awr Casnewydd. Mae efe a Mrs. Thomas yn edrych yn dda a chysurus. Y mae Mr. Thomas wedi rhoi heibio weinidogaeth sefydlog, oblegid oedran, a gwasanaetha yr eglwysi amgylchynol ar y Suliau.

Pregethwr da a chyfaill cywir ydyw Mr. J. P. Davies, sydd yn weinidog yn Nghaerphili. Galwasom gydag ef, a chawsom amser da, yn enwedig pan yn galw yn nhy un o'r hen chwiorydd perthynol i'w eglwys, a gwrando arni yn adrodd ei helynt pan ddaeth lleidr ryw noswaith yn ddiweddar i'w thy. Synem at yr hunan-feddiant a'i meddianai fel yr adroddai.

Y Parch. James G. Davies, Beulah, ger Abercarne, sydd hefyd yn llafurio yn dderbyniol. Brwdfrydig oedd ein hymweliad ag ef. Wel, mae ef a Mrs. Davies yn cael llawn digon i fwyta, canys mae eu gwedd yn dangos. Nid rhyw waith rhwydd ydyw iddynt hwy symud, yn neillduol symud yn fuan. Gwnaethom i Mr. Davies ddyfod gyda ni i weled yr hen gapel, yr hwn sydd bron yr un fath byth a hefyd. Yr hen bwlpud yr un fath—y seti yr un fath—na, y meinciau, ddylem ddweyd, canys prin y gellir galw yr eisteddleoedd yn seti—pob peth yr un fath. Na, wir,

maent wedi cael *nwy* i oleuo yr hen Dabernacl. "Tyr'd 'nawr," ebai Mr. Davies, tra y safem yn yr hen bwlpud. "Na, wir, gad i ni aros i syllu tipyn ar yr hen gapel anwyl." A syllu y buom gryn lawer. Os ydyw y *capel* bron yr un fath, nid felly y fonwent!—mae hono wedi newid ei gwedd, ac amlhau yn fawr ei meini a'i cholofnau!

Y Parch. John Williams sydd yn gwasanaethu yn hen eglwys Dr. Thomas, Pontypool. Daeth Mr. Davies, Beulah, gyda ni i ymweled ag ef.—"*How-de-do*" mawr. Pa ryfedd, hen gyfeillion.

Rhaid i ni beidio anghofio crybwyll am ymweliad a'r enwog Dr. Price, Aberdar. Ni chawsom fwy croesaw yn un man. Y mae efe yn dal yn ei boblogrwydd a'i barch o hyd. Pregethasom ein goreu yn ei gapel ar nos Fawrth i lonaid y lle o bobl—neb yn gwrando yn well na'r Dr. Price. Gan mai yn ei dy ef y lletyem, cawsom fantais i gael ymgom werthfawr. Tranoeth aeth a ni i ddangos lleoedd o ddyddordeb. Aeth a ni trwy yr ysgoldai ardderchog sydd yn Aberdar, a gwnaed i'r plant fyned trwy eu hymarferion, &c., er dyddordeb nid bychan i ni. Wedi hyn aeth a ni trwy y Park, sydd yn addurn, yn fwyniant ac iechyd i Aberdar—hefyd yr *hospital* sydd yn ei gwr pellaf. Cofiwn gyda hoffder am ein hymweliad a'r anwyl Ddr. Price. Caffed flynyddau lawer eto i fod yn ddefnyddiol yn ei hen gartref.

Gwelwn fod y crybwylliadau hyn yn myned yn faith, a rhaid bod yn fyr.

Ar ein ffordd tua Chastellnedd mwynhasom gwmpeini y Parch. Benjamin Evans; y mae efe newydd ysgrifenu llyfr heb ei fath ar Fedydd, yn meddu ffordd newydd o drin y pwnc. Dylai Bedyddwyr America gael pob i gopi o hono. Addawodd Mr. Evans ysgrifenu yn fisol i'r Wawr, ar helyntion yr Enwad yn Nghymru. Bydd ein darllenwyr yn falch o hyn.

Buom yn Abertawe hefyd; pregethasom yn nghapel y Parch. A. J. Parry. Mae Mr. Parry yn un o'r gweinidogion mwyaf myfyrgar, gweithgar a defnyddiol, a fedd yr enwad. Byr oedd yr ymgom, gan ei fod yn myned oddi cartref i "gwrdd mawr."

Tranoeth yn Nghaersalem Newydd. Y Parch. J. Thomas, gynt o Birkenhead, yw y gweinidog. Capel mawr, hardd—cynulleidfa fawr, meddir—Mr. Thomas yn barchus a llwyddianus iawn. Synem fod yr hen Omeraeg yn dal ei thir cystal yn y cymydogaethau hyn. Pawb yn siarad Cymraeg, o'r lleiaf hyd y mwyaf. Pobl yn dweyd fod y Gymraeg i ddarfod! Na, nid mor hawdd!

Deuwn i'r Gogledd yn awr. Nis gallwn ond enwi rhai gweinidogion, gan eu rhif: Dr. Hugh Jones, Athraw Coleg y Bedyddwyr yn Llangollen, sydd yn sefyll yn uchel iawn trwy holl Gymru. Mae yn amheus genym a oes un yn cael ei anwylo gan yr Enwad yn fwy nag efe; dichon nad oes neb gymaint. Mae hwn yn ddyn gwir ddymunol. Dyn ydyw Dr. Hugh Jones sydd wedi bod yu dringo i fyny o fachgendod hyd yr awr hon. Dringodd, i ddechreu, o ganol teulu Methodistaidd at y Bedyddwyr. Dringodd i'r areithfa, neu yn hytrach fe'i gorfodwyd ef i ddringo yno; wed'yn i'r Athrofa, pryd y daeth yn ysgolhaig gwych; wed'yn i'r weinidogaeth; wed'yn yn Brif Athraw Coleg Llangollen. Yr ydym wedi gwneyd cais ato i ysgrifenu Egluriadau Ysgrythyrol i'r Wawr, yn fisol, am flwyddyn. Gobeithiwn y cydsynia.

Y Parch. Owen Davies, Caernarfon, a saif yn uchel. Y gorchwyl penaf, diweddaraf a wnaeth oedd ysgrifenu Cofiant Dr. Prichard, Llangollen.—Canmolir y gwaith yn fawr.

Y Parch. Robert Jones, Llanllyfni, a ddeil yn rhyfedd o dan bwys blynyddau. Dyna wron ydyw ef. Yn ei gapel y dywedasom ychydig gyntaf pan yn Nghymru. Mae ei lais yn gryf; mae yn frwdfrydig; mae yn pregethu yn rymus, yn gweddio yn daer, yn rhoddi emynau allan i'w canu gyda sêl, gan daflu y llinellau megys i eneuau a chalonau y bobl; ie, eu taflu, oblegid y mae yn rhoddi hergwd i'r llyfrau emynau ar ddiwedd pob odl, tuag at y bobl, gan roddi pwyslais cyfatebol. Patriarch o'r iawn ryw ydyw.

Y Parch. Joseph J. Williams, Rhyl, eto, mae yntau yn gysurus, siriol, a thra defnyddiol. Gydag ef y galwasom gyntaf. Nid yw y dyfodol byth yn dywyll gydag ef; edrych efe ar yr ochr oleu. Dyna ydyw y doethaf, hefyd, o ran hyny.

Oeddym yn awyddus am weled Lleurwg, ac yn Nghaerdydd daeth hyny i'n rhan. Mae yn dal yn dda heb heneiddio, ac mor boblogaidd ag erioed.

Nid gwiw i ni ddechreu enwi pawb yr hoffem eu crybwyll. Mae gan yr Enwad nifer ardderchog o weinidogion yn bresenol yn Nghymru. O, ïe, ni ddylem anghofio Spinther; mae efe yn ymroi ati o ddifrif weithian er's blynyddau, ac y mae ei lafur yn cael ei werthfawrogi. Os aiff yn mlaen fel hyn yn hir eto, nis gwyddom i ba le y dringa.

Pan yn Nghaernarfon aeth y brawd William Evans, Cattaraugus, a minau i gapel y Bedyddwyr, i weled hen bwlpud Christmas Evans yno, a'r hen gadair freichiau yn yr hon yr eisteddai. Tynem ein dwylaw ar hyd ymylon yr hen bwlpud, ac ar hyd freichiau yr hen gadair. gan y barnem i ddwylaw Christmas Evans fod lawer gwaith yn y manau hyny.

Peth arall, mae capelydd y Bedyddwyr wedi gwellhau a lluosogi yn annghyffredin yn nghorph y pymtheg mlynedd diweddaf. Mewn gair, mae arwyddion llwyddiant yn dra amlwg ar yr Enwad yn bresenol yn Nghymru, yr hyn na ellir ddweyd, i'r un graddau, beth bynag, am un o'r enwadau eraill.

## Y PARCH. W. M. LEWIS, M. A., PONTYPOOL.

Hydref 18fed, yn Davos Platz, Switzerland, bu farw y Parch. W. M. Lewis, M. A., Llywydd Coleg Pontypool. Yr oedd ef a'i briod hoff yn aros yn y lle hwnw er mis Mehefin diweddaf. Yr oedd Mr. Lewis yn awyddus iawn i adferyd ei iechyd (a dyna amcanai ei ymweliad â Switzerland), fel y byddai yn alluog i argymeryd ei ddyledswyddau yn yr Athrofa, yn mha un y teimlai y fath ddyddordeb a phleser; ond cafodd ei siomi yn ei ddymuniad; ataliwyd ei nerth ar y ffordd; cymerwyd ef ymaith yn nghanol ei ddyddiau, a diffawyd gobeithion goreu ei fywyd gan ddwylaw oerion angau. Dygwyd ei gorph ef i Gymru, a chladdwyd ef yn nghladdfa Caerfyrddin.

## TYSTEB Y PARCH. THEOPHILUS JONES.

Da genym ddeall fod rhestr y tanysgrifiadau at y dysteb hon yn myned rhagddi. Hysbysir ni fòd eglwysi Dyffryn y Wyoming, Pa., yn dechreu gweithio yn rhagorol; rhoddir y mater o flaen y bobl yn ymarferol, a dyna sydd eisiau. Hyderwn y bydd y Bedyddwyr Cymreig trwy y wlad yn teimlo bwrw eu hatling i mewn at y dysteb deilwng hon. Ofn sydd arnom fod yr amser yn rhy fyr. Oni fyddai yn well estyn yr amser, cyn dirwyn y peth i derfyniad?

## TRALLOD MEWN TEULU.

Tachwedd 12, derbyniasom y nodyn hwn oddiwrth y Parch. Llewelyn Rees, Johnstown:

"*Anwyl Frawd*—Mae ty trwm, galarus iawn gyda ni. Wn i yn y byd sut mae dweyd wrthych. Y ddoe cludwyd cyrph dau o fy anwyl blant i anedd lom y bedd. Y *diphtheria* tost aeth a hwy. Fy merch anwyl, brydferth, dalentog, Kate Winifred, oedd yn 11 ml. oed yr yr 17eg o Mai diweddaf; a'm bachgen anwyl, llon, ac i'm tyb, gobeithiol iawn, fel ei chwaer, ond heb gael amser i ymddadblygu cymaint, oedd yn 7 ml. oed er y 16eg o Ionawr diweddaf. Bu anwyl Kate farw rhwng pedwar a phump boreu ddoe, a fy anwyl Llewelyn Lloyd a fu farw oddeutu pedair awr ar ol ei chwaer. Claddwyd y ddau gyda eu gilydd yn yr un bedd. Daeth torf yn nghyd i'w hebrwng i'r ogof anghynes. Dangosodd fy hen eglwys, fel praidd, ac eglwysi yr Annibynwyr a'r Methodistiaid Calfinaidd

a'u gweinidogion galon gynes, eu parch a'u cydymdeimlad, mewn ffordd effeithiol tuag atom fel teulu. Diolch byth iddynt; fe wyddant hwy y tâl Duw iddynt. Yr eiddoch mewn gofid dwys, LL. REES."

## LLAW-LYFR MOLIANT.

Yn canlyn ceir penderfyniad Cyfarfod Chwarterol Arfon mewn perthynas i'r Llaw-Lyfr:

4. Fod y Gynadledd hon yn datgan ei llawenydd yn llwyddiant mawr yr anturiaeth o ddwyn allan y Llaw-Lyfr Moliant, yr hyn a brofir gan y ffaith fod yr argraffiad cyntaf o 5,000 o gopiau wedi ei werthu mewn llai na phum' wythnos o amser, ac archebion am 2,000 yn rhagor wedi dyfod i law. Dymunwn gyflwyno ein diolchgarwch i'r Pwyllgor am eu llafur gydag ef yn rhad ac am ddim, a chymeradwywn eu gwaith yn dwyn allan argraffiad diwygiedig o hono yn ddioed.

## MAN-LLEWYRCHIADAU.

— Derbyniasom gerdyn oddiwrth Ednyfed ar ei laniad yn Lerpwl, yn dweyd iddo gael mordaith faith. Bu dri Sabboth ar y môr, ond pob peth yn ddiogel. Y ddamcaniaeth bresenol ydyw, Ai tybed yr erys Ednyfed yn Nghymru? Y farn fwyaf gyffredin ydyw, Na wna.

—Cynaliwyd cyfarfodydd yn Salem, Maesteg, ar ddyddiau Sul a Llun, Tach. 14, a 15, i'r dyben i sefydlu y Parch. Fred. Evans, D. D., gynt o Franklin, Pa., yn weinidog yr eglwys uchod. Bu cyfarfodydd pregethu am 10, 2, a 6, y Sul, ac am 10 a 2 dydd Llun. Cynaliwyd cyfarfod anerchiadol nos Lun, pryd y cymerwyd rhan gan nifer mawr o enwogion, yn nghyda gweinidogion y cylch.

—Mae y Llaw-Lyfr Moliant y crybwyllasom am dano, yn debyg o fod yn boblogaidd yn mhlith y Bedyddwyr Cymreig yn y wlad. Mae eglwys Hyde Park, Pa., wedi tanysgrifio eisoes am 175 o gopiau. Mae eglwysi eraill, yn Nyffryn Wyoming, yn myned i'w gael. Derbyniasom lythyr oddiwrth y Parch. William Jones, o Ridgeway, Wis., yn dweyd ei fod yn gyfryw lyfr ag y mae eglwysi y Gorllewin yn sefyll mewn angen am dano. Dymunwn ar bawb fydd am y Llaw-Lyfr hwn anfon atom yn ddioed. Yr ydym wedi anfon i Gymru am amryw ganoedd o hono yn barod.

—Y mae gwrthwynebiad gweinidogion yr efengyl i actio y *Dyoddefaint*, (fel y bwriedir gwneyd yn fuan) mewn chwareudy yn New York, wedi cael ei amlygu yn benderfynol o'r pwlpudau, yn ddiweddar. Ond fel y mae mwyaf galarus, nid yw yn debygol y gallant lwyddo i rwystro y fath gabledd.

# Barddoniaeth.

## Y STORM.

Mae'r gwynt yn uchel ruo,
  O'r arswyd sydd yn awr!
Codymu wna a'r goedwig gref
  A'r Castell uchel mawr.

Eu gwrthwynebiad cyndyn,
  Wna iddo wisgo gwg,
A rhua'n groch fel bwystfil dig
  Neu ffyrnig yspryd drwg.

Mae'r gwynt yn uchel ruo
  Fel llewod yn eu ffau,
O'i flaen y cwymp a phlyg y coed,
  A ffoa tô y tai.

Mae'r gwynt yn uchel ruo
  Fel cawrddyn ar ol gwin,
Nid gwiw i neb i siarad gair
  Na sibrwd ond ei hun.

Pob llais sydd wedi boddi
  Yn nghefnfôr llais y gwynt,
A chalon fawr y cread sydd
  Yn curo'n gynt a chynt.

Mae'r gwynt yn uchel ruo.
  A rhua'n uwch o hyd,
E' bair i'r sêr i ffoi yn wyllt,
  A chryna seiliau'r byd.

A chwmwl ar ol cwmwl,
  Gyflymant ar eu hynt,
Gan neidio dros y lloer a'r sêr,
  Am y cyntaf gyda'r gwynt.

Mae'r gwynt yn uchel ruo,
  A rhua yn y coed,

Fel pe b'ai myrdd o ellyll
  Mewn rhyfel fwya' 'rioed.

Mae'r gwynt yn uchel ruo,
  Pa beth dybygech yw ?
Ond gwas yr Hwn a wnaeth y byd,
  Ac hen chwibanogl Duw ;

Neu ffangell fawr y Nefoedd,
  I yru tir a môr,
I godi gyda brys i wneyd
  Ewyllys ddoeth yr Iôr.

Mae'r gwynt yn uchel ruo,
  Chwibana'n nhwll y clô,
A minau'n diolch yn ei glust
  Am dŷ a thân a thô.

Mae'r gwynt yn uchel ruo,
  A chwyno yn y ddôr,
O Dduw, ai adsain yw o gwyn
  Cyfeillion ar y môr.

Mae'r gwynt yn uchel ruo,
  A yw 'i ruadau certh
Yn dweyd rhyw chwedl am fy mrawd
  Tylawd wrth fôn y berth !

Mae'r gwynt yn uchel ruo,
  Nes chwyrn gynhyrfu'r aig,
Ust ! beth yw'r 'screch, ai llongwr sydd
  Yn llefain am y graig !

O, angel "plant y tonau,"
  Dos a fy nheimlad i,
At grwydryn t'lawd dianedd,
  A'r morwr ar y lli !

Mae'r gwynt wedi dystewi,
  Ai wedi crygu mae,
Neu dreulio ei nerth allan
  Ac yna llwyr lesghau ?

O, na, ond Duw a'i daliodd
  Yn ebrwydd a difraw,
A llonydd daeth pan deimlodd
  Yr Hollalluog law.

MYFYR EMLYN.

---

## ENW YR IESU.

O ! enw bendigaid yw enw yr Iesu,
Nid teilwng un arall â hwn ymgystadlu ;
Mae'n sefyll ei hunan yn mhlith pob rhyw enwau,
Yn bur fel yr haul, tra'r lleill yn llawn brychau.
Llewyrchion y sêr yn gyflawn a giliant,
Pan wasgar yr haul yn y nen ei ogoniant,
A mawredd pob enw yn hollol ddiflana,
Pan sonir am enw 'r hwn gynt fu 'n y wasgfa.
Dywedwyd am dano cyn ei ymgnawdoliad
Gan saint a phrophwydi, y buasai 'i ddyfodiad
Yn rhyddid i gaethion, a bywyd i feirw,
I'r enaid a gredai mewn ffydd yn ei enw.
Am Iesu cyhoeddwyd yn foreu, " Fe siga,"
A chodai yn " Brophwyd," a " Llew o lwyth Juda ;"
Yn " Seren o Jacob," yn " wreiddyn o Jesse,"
Er iddo fodoli cyn byd yn y gwagle ;
Er ei eni mewn amser, mae'n " Dad trag'wyddoldeb,"
" Cyngorwr," " Duw Cadarn," a " Thywysog" mewn purdeb,
Yn " Brynwr," a " Noddfa," a " Chraig" amddiffynol,
Rhag cleddyf cyfiawnder a saethau y diafol ;
Yn " Haul y Cyfiawnder," yn llawn meddyginiaeth,
I wella 'r hyn fethodd yr Hen Oruchwyliaeth ;
Nid yw a gyhoeddwyd ond hynod o fychan
O'r hyn a ddadblygwyd gan Iesu ei hunan,
Pan ddaeth i gyflawni y prophwydoliaethau,
A rhoi i'r byd sylwedd yn lle y cysgodau ;
Gwnaeth waith sydd yn deilwng o'r enw roed iddo,
Gorphenodd y cwbl, ni roddodd ddim heibio,
A llefodd y Duwdod, a chrynodd y ddaear,
" Hwn ydyw fy Anwyldeb," "Gwrandewch ar ei lafar."
Wel, bellach cyhoeddir ei ingoedd a'i angau
A'i godi 'n goncwerwr o'r bedd yn mhen tridiau ;
Ac esgyn mewn cwmwl i ganol gogoniant,
Yn sicrwydd derbynir pob dyn yn ei haeddiant.
Nid rhyfedd fod Seion yn hoffi ei enw,
Efe yw ei gobaith rhag barn y dydd hwnw ;
Mae 'i enw ef iddi yn nerth ar y rhiwiau,
Yn gân yn ei galar, a balm idd ei chlwyfau ;
Mae'n canu am dano, ac yn ei gyhoeddi,
Ac ynddo bob amser cyflwyna ei gweddi.
Cynygir yn hwn i bawb edifeirwch,
Maddeuant, llawenydd, 'n lle galar a thristwch;
Mae'n ddychryn cythreuliaid yn swyn i angelion,
A chludir ei glodydd ar gefn yr awelon,
Nes synu'r bydysawd, a'i swynion anfeidrol
Barhant yn eu grym am holl oesau'r dyfodol.

*Nanticoke, Pa.* RHODYNOG.

---

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### WILLIAM KNIBB A JAMAICA.

Yn y flwyddyn 1824 ymadawodd y gwr da uchod am Jamaica, a chanlynodd amrai o genadon enwog a gweithgar ef rhwng hyny a'r flwyddyn 1831. Nid oes genym yn awr amser i roddi hanes neb o honynt, na dweyd dim am eu llafur caled yn y blynyddoedd hyny. Ond er rhoddi i'r darllenydd ddrychfeddwl gwanaidd o sefyllfa yr ynys yn

1831, dywedwn fod yno 24 o eglwysi rheolaidd a llewyrchus, a gweinidog gan bob un o honynt, ac ynddynt oll 10,838 o aelodau, a'u cynydd rhydd y flwyddyn hono yn 1,931. Tua diwedd 1831 cymerodd aflonyddwch ac ymgodiad brawychus le yn mhlith Negroaid yr ynys, y rhai oeddynt gaethion. Yr oedd mawrion y tir yn cyhuddo y cenadon, ac yn dweyd mai hwy oedd yr achos o hono. Dywedent eu bod yn euog o anog y caethion i godi mewn gwrthryfel yn erbyn eu meddianwyr, ac i fynu eu rhyddid. Ond wedi ymchwiliad manwl i'r achos, methwyd a chael fod cymaint ag un yn euog o'r cyhuddiad brwnt a maleisddrwg. Yn mis Rhagfyr, 1831, y clywodd Mr. Knibb gyntaf am y terfysg. Yn fuan wedi clywed, galwodd y brodyr cenadol at eu gilydd, ac anogodd hwynt oll i alw cyfarfodydd neillduol yn eu gwahanol eglwysi, er anog y caethion i beidio cymeryd rhan er dim mewn unrhyw derfysg, a dangos iddynt oddiwrth Luc 13: 6, y ffrwythau oedd crefydd Crist yn eu gofyn. Er hyn i gyd yr oedd eu gelynion yn parhau i'w cyhuddo o'r un peth, ac i'w gwneyd yn euog, os oedd modd yn y byd. Ni feiddiai y cenadon gyfarfod eu gilydd mewn un man, na ddywedid mai cynllunio mewn cysylltiad a'r gwrthryfel yr oeddynt. Yr oedd Mri. Knibb, Whitehome, Abbot, a Gardner, yn agor addoldy yn Montego Bay un tro, a hwnw wedi ei bwrcasu ganddynt dri mis cyn hyny. Ond eu dyben yno, meddai eu gelynion, oedd gosod caethion y lle ar y llwybr sicraf i gyrhaedd buddugoliaeth ar eu meistriaid, er i Mr. Knibb yn un o'r cyfarfodydd draddodi araeth benodol yn erbyn i un aelod Cristionogol gymeryd rhan yn y gweithrediadau. Aeth y swn ar led yn mysg y caethion, fod *Ysgrif eu Rhyddhad* wedi ei llaw-nodi gan frenin Lloegr, ac ar y ffordd o Brydain i Jamaica, yr hon fuasai yn eu gwneyd oll yn ddynion rhyddion y Nadolig oedd wrth y drws Pwnc rhan o araeth Mr. Knibb oedd darbwyllo yr aelodau i fyned at eu gwaith ar ol Nadolig fel arfer, ac mai anwiredd oedd yr oll a daenwyd am "Ysgrif eu Rhyddhad." Er holl ymdrech y brodyr da hyn i osod i lawr y terfysg, hwy, yn ol barn meistriaid y tir, oeddynt ei brif achoswyr. Y canlyniad o'r farn gyfeiliornus hon am danynt, achosodd iddynt gael eu herlid a'u carcharu. Llosgwyd hefyd eu haddoldai mewn amryw fanau, a bu i'r ystormydd blinion yr aethant drwyddynt yn 1832 dynu llawer o ddagrau o lygaid carwyr yr achos goreu yn Jamaica.

Meddyliodd llawer un mai dinystr bythol ar achos y Bedyddwyr ar yr ynys fuasai hyn—y cenadon yn cael eu carcharu, yr addoldai yn cael eu llosgi yn gyd-wastad a'r llawr, a'r praidd yn cael eu gadael heb neb i'w bugeilio. Ond dangosodd y Duw mawr y medrai ef yn yr amgylchiad hwn, fel llawer o'i flaen, wneyd i gynddaredd dyn ei folianu. Y cenadon fuont yn y carcharau yn y cyfwng uchod, oeddent y Mri. Gardner, Burchell, Knibb, Abbott, Whitehome, Kingdon, Taylor, a Barlow. Rhifedi yr addoldai a losgwyd oeddynt 14, y rhai, yn nghyda meddianau eraill, perthynol i'r cenadon, a wnaent i fyny golled o £23,208. Enwau y lleoedd yr oedd addoldai ynddynt, oedd, Salter's Hill, Falmouth, Montego Bay, Savanna, La Mar, Ridgeland, Rio Bueno, Stewart's Town, Brown's Town, St. Ann's Bay, a Chapel Eboney. Dichon y bydd yn dda gan rai, er cael drychfeddwl o deimladau y Cristionogion ar y pryd, gael y talfyriadau canlynol o lythyr a ysgrifenwyd gan eglwys Falmouth, at eu brodyr yn Mhrydain Fawr:

"*Oddiwrth Eglwys y Bedyddwyr yn Jamaica at Gristionogion Prydain Fawr:*

"Gwyddoch erbyn hyn yn dda am ein trallod fel cenadaeth ac eglwysi ar yr ynys hon. Mae ein haddoldy ni ac addoldai eraill wedi eu llosgi yn gydwastad â'r llawr, a'n hanwyl weinidog, Mr. Knibb, yn y carchar. Aeth yno yn dawel, ond nid am ei fod yn euog, ond er mwyn yr Hwn a fu farw er achub y byd colledig.

"Yn ystod y tri mis diweddaf yr

ydym wedi derbyn erledigaethau o bob math—wedi ein hamddifadu o foddion gras, Sabboth ar ol Sabboth, heb un gweinidog i draethu i ni eiriau y bywyd tragywyddol. Flwyddyn yn ol arferai amryw o honom fyned i Eglwys Sefydledig Lloegr, ond yr oeddym yn y tywyllwch y pryd hwnw; buasem yno eto oni b'ai i'r Ymneillduwyr ddod a phregethu i ni. Pan yn yr Eglwys Sefydledig meddem enw Cristionogion, ond yn hollol ddyeithr i grefydd fywiol. Carwn bawb sydd yn caru enw Iesu Grist mewn purdeb a gwirionedd; a dymunem fel eglwys na fyddo un moddion heb ei ddefnyddio genych a duedda i ledaenu teyrnas yr Emanuel mawr yn y wlad bechadurus hon.—Gwnaeth ein gweinidog yr oll a allai i draethu i ni holl gyngor Duw, a hyny yn ddi-os oedd y trosedd a gyflawnodd fel ag i gael ei garcharu. Ni phetrusodd un amser i ddywedyd fod pawb yn bechaduriaid yn ngolwg Duw, pa un bynag ai tlawd ai cyfoethog, isel neu uchel oeddynt. Pregethai efe y gwir fel y mae yn yr Iesu; ond rhy lym oedd hwnw i fawrion pechadurus Jamaica. . . . . Bydd i ni eto ddyoddef llawer at yr hyn ydym wedi ei ddyoddef yn barod, oblegid mae y penderfyniadau sydd wedi eu pasio gan ein gwrthwynebwyr yn y gwahanol blwyfau yn dangos hyn, ac nis gallwn lai na dysgwyl iddynt gael eu cario allan pan feddyliom am y dynion sydd yn gwneyd i fyny y *Colonial Church Union.* Yr oeddem, yn Ebrill, pan losgwyd ein capel, yn 885 o aelodau, y rhai ydym yn bresenol oll fel defaid ar wasgar. Gofynwn eich cydymdeimlad a'ch cynorthwy i godi ein capel eto, fel y gallwn gael yr hwn sydd wedi bod yn gofalu mor anwyl am danom am ddwy flynedd, yn ol atom pan ddaw yn rhydd o'r carchar."

Yn yr adeg dan sylw yr oedd yn rhaid i'r cenadon oll i gael hawl-ysgrif oddiwrth y llys gwladol, cyn y gallasent bregethu yn un man yn Jamaica. Dadleuai yr ynadon fod yn rhaid iddynt gael un yn mhob plwyf, er fod yr Uchaflys wedi barnu fel arall. Ac er hyn oll aent yn y blaen yn ol eu hewyllysiau erlidgar eu hunain, gan atal gweis Ion i draddodi y genadwri sydd yn dwyn bywyd tragywyddol i oleuni. Syna llawer, mi wn, fod ysbryd fel hwn yn cael ei ddangos a'i oddef o dan lywodraeth Prydain oleuedig, yn y ganrif bresenol. Rhag i neb gredu ein bod yn lliwio yr amgylchiadau, gosodwn ger bron y darllenydd lythyr a anfonwyd gan ddau ynad, o flaen y rhai yr oedd Mr. Dendy wedi bod ar brawf, at geidwad carchar Sir Surry, Kingston, Jamaica:

"*Jamaica, S. S., St. George.*

Derbyniwch i'ch cadwraeth gorph Walter Dendy (yr hwn a gyhuddwyd o bregethu yn nghapel y Bedyddwyr yn Anatto Bay heb hawl-ysgrif,) ac yr ydych i'w gadw ef mewn cadwraeth ddiogel hyd nes y rhyddheir ef trwy weithrediad addas y gyfraith.

A roddwyd dan ein dwylaw a'n seliau ni ar Chwef. 27, 1833.

(Arwyddwyd) JOHN BELL,
JAMES SHENTON.

At Geidwad Carchar Swydd Surry, Kingston."

Hyn, ddarllenydd, yn y 19eg ganrif, a chan swyddogion Prydain, a'r swyddogion hyny yn proffesu canlyn yr Oen i ba le bynag yr elo.

Dywedodd rhywun fod natur y ceiliog yn y cyw bob amser, ac mae yr uchod yn dweyd fod natur y fam yn y ferch hefyd, ac mai gormod goleuni yn Mhrydain heddyw yw yr unig achos na fyddai y natur lygredig, anghristionogol ac erledigaethus hono yn yr amlwg heddyw, fel y bu yn Mhrydain, yn ogystal ag yn Jamaica a manau eraill flynyddau yn ol. Cawn fod yr efengyl i raddau dirfawr yn llwyddo hyd yn nod yn y cyfnod erledigaethus dan sylw; oblegid yn Hydref, 1832, cawn fod un Mr. Clark yn bedyddio 77 yr un dydd, ac yn y mis Rhagfyr dilynol, 42. Yn mis Ionawr, drachefn, 53. Dyna nifer lled dda ar adeg fel hono, mewn cyfnod mor fyr a thri mis. Mae hanes yr efengyl yn mhob man yn cadarnhau y gosodiad, "na lwydda yr un offeryn a lunir yn ei herbyn."

Yn y nesaf, yr hyn a ddyga yr oll a

fwriadwn ei ysgrifenu ar Jamaica i derfyniad, am y presenol, bydd genym air am ryddhad caethion yr ynys, cysylltiad Mr. Knibb a'r mudiad, a gwaith y Negroaid yn priodoli y cyfan i ddygiad yr efengyl i'r ynys, a gwasgariad goleuni dros y wlad gan y cenadon.

LLWYDDIANT Y GENADAETH DRAMOR.

Dywedir fod mwy na 10,000,000 o aelodau Cristionogol yn y wlad hon, a bod y rhai hyny yn cyfranu dros $2,500,000 er cario yn mlaen y gwaith cenadol. Mae gan y gwahanol gymdeithasau cenadol Americanaidd 700 o genadon ar y maes, heblaw cynorthwyon brodorol; ac mae ganddynt 177,783 o gymunwyr wedi eu henill oddiwrth baganiaeth. Cynyddodd y cymunwyr y flwyddyn ddiweddaf dros ugain mil.

CONGO.

Robert Arthington, Ysw., Leeds, Lloegr, a roddodd yn ddiweddar £4,000 i'r Gymdeithas Genadol Seisnig, i redeg agerfad ar yr afon Congo, yn Affrica. Dywedir yn awr fod brenin y Congos wedi proffesu ffydd yn y Gwaredwr.

FFRAINC.

Mae llwyddiant wedi bod mewn cysylltiad a'r Gymdeithas Genadol yn y wlad uchod yn y misoedd diweddaf. Casglwyd 302,463 *francs* y flwyddyn ddiweddaf. Mae gan y gymdeithas sydd wedi cymeryd at ganolbarth y wlad 325 o orsafoedd cenadol a lleoedd i bregethu. Graddiodd naw o ddynion ieuainc o'r Athrofa Dduwinyddol y flwyddyn ddiweddaf. Gwerthodd Cymdeithas y Traethodau 260,000 o draethodau yn yr un amser. Sefydlodd y Gymdeithas Efengylaidd 47 o orsafoedd newyddion yno y flwyddyn ddiweddaf, yn y rhai y mae 9,000 o eneidiau yn dyfod yn nghyd bob Sabboth i wrando gair y bywyd. Cymdeithas Feiblaidd Paris a wasgarodd 11,392 o gyfrolau o'r Hen a'r Newydd Destamentau.

— Dywedir y bydd Cristionogion cenadol, erbyn diwedd y flwyddyn hon wedi cynyddu yn India, Ceylon a Burmah, dros 200,000 yn y deng mlynedd diweddaf—yr holl gynydd yn bum' cant o filoedd.

—Dywedir fod eilun-addoliaeth wedi lleihau mwy yn yr haner can' mlynedd diweddaf na'r mil blaenorol i hyny.

—Y flwyddyn ddiweddaf cyfranodd dau-ddeg o bersonau yn America ac Ewrop, $3,000,000 rhyngddynt.

---

## HANESION CARTREFOL.

CYMANFA DWYREINBARTH PA.,

*Ei Chyfrifon Arianol gyda'r Trysorydd, James Evans, Wilkesbarre.*

1879.

| | |
|---|---|
| Medi 20. Derbyniwyd oddiwrth yr eglwysi at y treulion, | $46 00 |
| Mewn llaw tuag at dalu am ysgrifenu llyth. cymanfa, | 5 00 |
| Casgliadau ar ddyddiau y gymanfa.............. | 29 96 |
| | $80 96 |
| Talwyd allan............ | 30 45 |
| Mewn llaw o Parsons..... | $50 51 |

1880.

| | |
|---|---|
| Awst 28. Yn Minersville, derbyniwyd oddiwrth yr eglwysi ................ | $59 50 |
| Casgliadau.... .......... | 24 64 |
| | $84 14 |
| Talwyd allan............ | 51 00 |
| | $33 14 |
| Mewn llaw o Parsons .... | 50 51 |
| Yn y Drysorfa .......... | $83 65 |

J. P. HARRIS, *Ysg. y Gym.*
*Providence, Pa., Tach. 1, 1880.*

---

Y PARCH. B. THOMAS (MYFYR EMLYN) YN LANSFORD, PA.

*Mr. Gol.*—Ymwelodd y dyn hynod hwn a'r lle uchod ddydd Sadwrn, Hyd. 30. Pregethodd y Sul canlynol am 10

o'r gloch, yn alluog a phwrpasol iawn, ar y cymwysder o wneyd Crist yn Waredwr pechadur. Yn yr hwyr, yn Seisneg, i dyrfa hynod o luosog, o wahanol genedloedd, gyda nerth a dylanwad mawr, a'i bwnc oedd Athrawiaeth yr Efengyl, ei chyfaddasrwydd i gyflwr dyn, a'i hardderchawgrwydd tra rhagorol. Cafodd yr Americaniaid wrando y *Welsh Boy* yn traddodi iddynt y gemau mwyaf gwerthfawr o fwnglawdd y Gymraeg mewn gwisg Saesneg, nes iddynt edrych yn syn y naill ar y llall. Nos Lun, wele dyrfa luosog o Gymry y lle a lleoedd eraill; wedi crynhoi i gapel y Bedyddwyr, i'r dyben o wrando ei ddarlith enwog ar Enwogion y Pwlpud Cymreig. Wedi aros tipyn yn amyneddgar—pawb yn hiraethu am ei weled —rhyw ddeng mynyd i wyth o'r gloch wele Myfyr yn gwneyd ei ymddangosiad. Dyn o faintioli lled fawr—deddfau iechyd megys yn dawnsio ar ei berson; yr elfenau, yr anianau, fel yn ei wylio. Wedi iddo gymeryd ei sedd, etholwyd y Parch. Morlais Hughes yn Llywydd; agorodd y cyfarfod trwy araeth fyr ond cynwysfawr; yna galwodd ar y darlithydd i ddechreu. Dechreuodd trwy ddweyd, mai yn mhob gwlad y megir glew. Aeth trwy ei holl waith yn rhagorol, yn unol a'n dysgwyliadau. Yr enwogion oeddynt—Thomas John, Cilgeran; Danl. Jones, Tongwynlais; Caleb Morris Williams, Blaen-Maen, ac eraill. Beiddiwn ddyweyd mai dyma un o'r darlithiau mwyaf campus a draddodwyd erioed.

Diffyg mawr llawer o'n darlithwyr yw, eisiau mwy o wreiddioldeb; mae y naill wedi dilyn y llall, nes mae y goreu yn bethau gwael, marwaidd, a dieffaith. Mae y ddarlith hon yn beth newydd o ran gwreiddioldeb, yr hyn sydd brawf o feddwl annibynol, yr hyn sydd raid ei gael cyn meddu yni ac effaith. Mae Myfyr Emlyn hefyd wedi dangos ei hun yn feistr trwyadl yn y dull o ddesgrifio, neu ddynwaredu. Y mae yn dwyn yr hen gymeriadau a'u nodweddion yn fyw ger ein bron fel nas gellir eu hanghofio. Yr ydym wedi gwrando llawer o ddarlithiau o dro i dro, ond ynddynt nid oedd nemawr ddim werth i un gofio; ond dyma ddarlith sydd yn argraffedig ar ein meddyliau. Mae yn cydio yn y pwyntel yn hyf a diofn, a thyn ddarlun o'n blaen yn y fan; y mae gartref yn mhob man. Dymunwyf iddo lwyddiant i derfynu ei daith Americanaidd yn anrhydeddus; a bydded i'r elfenau fod yn dyner, nes iddo gyrhaedd tir ei wlad enedigol, ac iddo oes hir i wasanaethu ei genedl. Terfynaf gyda yr englyn canlynol o eiddo "Paran," Lansford:

Amlwg yw Myfyr Emlyn—llwyr enwog,
'N holl ranau ei destyn:
Yn mhob lle efe a fyn
Addoliad idd ei ddylyn.

*Lansford.* NATHAN.

O. Y. Yr oedd Mr. Thomas yn teimlo yn gartrefol yn y lle uchod, yn gymaint ag iddo letya gydag un ag oedd wedi fedyddio flynyddau yn ol, sef anwyl briod D. H. Lewis, a'r hen wraig ei mam, Phebe Jones, ac amryw o'r un Sir ag ef.

---

TYSTEB Y BRAWD THEOPHILUS JONES, WILKESBARRE PA.

Cyfraniadau personol tuag at dysteb yr hybarch Theophilus Jones:

| | |
|---|---|
| B. Hughes, Hyde Park ....... | $10 00 |
| Parch. T. J. Phillips, Plymouth, | 10 00 |
| D. D. Davies, Pittsburgh...... | 5 00 |
| John R. Jones, Minersville.... | 5 00 |
| Parch. D. Rhoslyn Davies, Kingston ....... ........ | 10 00 |
| Parch. O. Griffith (golygydd y Wawr), Utica............. | 10 00 |
| Parch. E. Edwards, Wilkesbarre | 5 00 |

Da genym gael ar ddeall fod undeb a chydweithrediad yn yr eglwysi i wneyd y dysteb yn deilwng o'n hanwyl frawd, ac yn anrhydedd i'r enwad y perthynwn iddo. Boed felly.

Y PWYLLGOR.

---

BRAIDWOOD, ILL.

*Barchus Olygydd*—Anfynych y mae gair o'r lle hwn i weled ar du dalenau y WAWR; gan hyny gobeithiwyf na fydd i chwi omedd caniatau i'r ychyd-

ig linellau hyn gael ymddangos yn ei goleuni.

Y mae achos crefydd yn mhlith y Bedyddwyr yn bur flodeuog yma ar hyn o bryd; dim ond i ni edrych yn ol o hyn i ddechreu y flwyddyn, y mae yma rai wedi eu derbyn trwy fedydd, ac amryw wedi eu derbyn trwy lythyrau; ac yr ydym wedi cael y fraint o gyfeillachu gyda rhai wedi bod ar daith yn ngwlad y moch a'r cibau; ac yr ydym fel eglwys trwy hyny yn teimlo yn fwy gwrol a chalonog i rwyfo yn mlaen yn nhaith yr anial.

Hefyd y mae drws capel y Bedyddwyr yn Braceville wedi ei ail agor, yr hwn oedd wedi bod yn nghau er's amser yn herwydd iselder masnach ac arafwch y gweithfeydd glo. Yr oedd amgylchiadau yn gorfodi y trigolion i fyned i ffwrdd, er eu galluogi i gael lleoedd i enill eu bara beunyddiol, ac felly fe aeth cymaint o'r Bedyddwyr i ffwrdd nes yr oedd yr ychydig oedd yn weddill yn analluog i gadw cyfarfodydd yn rheolaidd, a chauwyd y drws i fyny. Ond yn awr y mae Braceville yn fwy bywiog nag y bu erioed, a llawer o'r hen drigolion wedi dychwelyd. Felly ail-ddechreuwyd cynal gwasanaeth crefyddol yn nghapel y Bedyddwyr, a gweinidogaethir yn y ddwy eglwys—Braidwood a Braceville—yn bresenol gan y Parch. John Thomas, diweddar o Niles, Ohio. Ei gyfeiriad yn bresenol yw: Rev. John Thomas, Braceville, Grundy Co., Ill.

Y mae y gweithfeydd glo yn myned yn y blaen yn dda yma—digon o waith a gweithio bob dydd. Yr eiddoch,

JACOB T. GRIFFITHS.

---

## CYFARFOD YMADAWOL Y PARCH. E. EDWARDS, WILKESBARRE, PA.

Wedi clywed fod y brawd anwyl Mr. Edwards yn gadael y maes Cymreig, ac yn myned i fugeilio eglwys Seisonig Coatsville, Pa., penderfynodd brodyr da yn y weinidogaeth, yn nghyd a'r eglwys yn Wilkesbarre, alw cyfarfod cyhoeddus, er rhoddi cyfle i'w luosog gyfeillion yn y cylch hwn i ganu yn iach iddo, a datgan eu teimladau da tuag ato. Cynaliwyd y cyfarfod nos Lun, Tachwedd 15fed. Erbyn haner awr wedi saith o'r gloch, yr oedd y capel yn llawn o bobl—rhai wedi dyfod o Pittston, Parsons, Kingston, a manau eraill. Heblaw Bedyddwyr, gwelsom yno lawer o aelodau parchusaf yr Annibynwyr a'r Methodistiaid. Yr oedd ei frodyr gweinidogaethol yn lluosog yno hefyd. Neillduwyd y brawd B. Hughes, Hyde Park, Pa., yn Llywydd, a W. F. Davies, Nanticoke, yn Ysgrifenydd. Wrth agor y cyfarfod, dywedodd y Llywydd fod yno lawer i gymeryd rhan yn y cwrdd, a bod arno ef ei hun a llawer eraill eisiau ymadael adref am 9 o'r gloch; o ganlyniad, ychydig fynydau oedd amser pob un o'r siaradwyr i fod. Dywedodd yn mhellach, ei fod ef a Mr. Edwards yn hoff iawn o'u gilydd er pan oeddent yn blant, yn cyd-chwareu ar fryniau Cymru. Meddai syniadau uchel am Mr. Edwards fel dyn a phregethwr, ac edrychai i fyny ato yn mhob ystyr ond un, sef mewn ystyr gorphorol. Yr oedd ef ar y blaen mewn corph, ond Mr. Edwards mewn meddwl. Dywedai nad oedd yn teimlo yn ddrwg at Mr. Edwards am hyny o gwbl, ond fod dymuniadau cynesaf ei galon yn myned gyda Mr. Edwards i Coatsville, fel ag yr oeddent wedi bod drwy ei oes.

Y Parch D. R. Davies, Kingston, a ddywedodd, ein bod fel enwad yn y cylch hwn yn colli un o'r dynion goreu a feddem—y buasem yn gweled ei eisiau yn fawr mewn mwy nag un cylch. Hefyd, fod ei symudiad yn golled i'r gymydogaeth, ac i ddinas Wilkesbarre yn gyffredinol—iddo fod yn ddiwyd a llafurus er yn y lle, ac yn hynod barchus, a charedig at bawb yn y cylch cymdeithasol a gweinidogaethol. Yr oedd wedi bod yn nodedig o lafurus fel gweinidog, a hyderai fod llawer o ddedwyddwch a chysur yn ei aros yn ei le newydd, a llwyddiant mawr yn y dyfodol ar yr hâd a hauwyd ganddo yn nghanol anfanteision mawrion yn Wilkesbarre.

Y Parch. J. P. Harries, Providence, Pa., a ddiolchodd nad oedd wedi dyfod o Providence i gladdu Mr. Edwards, ond yn hytrach i godi ein Ebenezer, fel yr oedd enw y brawd anwyl yn awgrymu, i ddangos mai hyd yma yr oedd Duw wedi ei ddal a'i gynal. Teimlai ein bod yn colli drwy ei symudiad o'n plith, nid yn unig cymydog da, dinesydd anrhydeddus, Cristion rhinweddol a dylanwadol ei fuchedd, pregethwr cadarn a goleuedig, ond hefyd llenor ac ysgolaig addfed, a hyny mewn un iaith yn ogystal a'r llall. Wrth ddywedyd hyn yr oedd yn datgan barnau llawer o lenorion goreu y genedl am y brawd anwyl Mr. Edwards, heblaw ei farn ef ei hun. Hyderai fod parch mawr yn aros Mr. Edwards a fydd yn deilwng o'i safle fel gweinidog da a Christion dysglaer. Yn ddios mae Cymry yr Hen Wlad yn parchu eu gweinidogion yn llawer mwy na Chymry America, ac mae Saeson America ar eu blaen hefyd. Felly yr oedd ar un llaw yn teimlo yn falch fod Mr. Edwards yn symud, tra ar y llaw arall yn teimlo yn wir ofidus.

Y Parch. J. R. Price, Kingston, a ddywedodd—Mai yr argraff a wnaeth Mr. Edwards ar

ei feddwl ef 25 mlynedd yn ol, pan glywodd ef gyntaf, oedd, mai pregethwr brwdfrydig ac efengylaidd ydoedd, ac wedi clywed Mr Edwards lawer gwaith wedi hyny, nad oedd wedi cael achos i newid ei farn am dano. Nid teg, meddai ef, oedd barnu gweinidogaeth neb wrth y llwyddiant fyddo arni, ac nad teg barnu eiddo y brawd Edwards. Mae gweinidogaeth llawer un wedi dwyn ffrwyth lawer pryd na byddont hwy yn agos i'w fwynhau. Cynyrchodd peiriant englynu Mr. Price y ddau englyn canlynol i Mr. Edwards:

Yn ddiwyd o wirfodd hauа—hâd y gair,
Ryw yd gwych gynyrcha;
Hedd o'i lafur ddylifa
I'r cyhoedd fel dyfroedd da.

Duw Israel fo'n hael o hyd—i Iorwerth,
I'w arwain rhag drygfyd;
Boed y nef iddo hefyd
Iawn fodd wedi hyn o fyd.

Y Parch. T. C. Edwards (*Cynonfardd*), Kingston, a ddywedodd—Fod llawer o athroniaeth yn y pwnc o ymadael ond ei ddeall yn briodol. Dylai pob dyn ddeall pa bryd, pa fodd, a phwy, ac i ba le y mae yn ymadael. Fod yn well aros yn y badell ffrio, er ei bod yn boeth yno, na myned o'r badell ffrio i'r tân; fod yn well gadael pob lle ar ein holau yn agored nag yn gauad. Nid oedd ef yn credu fod Cymry America yn waeth at eu gweinidogion na Chymry yr Hen Wlad. Gwir fod mwy o newid yma, ond credai ef mai da, ac nid drwg i weinidog ydoedd hyny—ei fod wrth hyny yn cael llawer o fwynianau na chelai wrth aros drwy ei oes yn yr un man. Yr oedd ef a Mr. Edwards wedi bod yn cyd-weinidogam amryw flynyddoedd yn Wilkesbarre; ac er fod un yn Fedyddiwr a'r llall yn Annibynwr, eto nad oedd hyny wedi bod yn un rhwystr iddynt fod yn gyfeillion mynwesol, a chydweithwyr dros y Meistr mawr, a gwyddai mai gwaith hawdd oedd iddynt ddymuno llwyddiant y naill y llall.

Y Parch. O. Griffith, Utica, N. Y., a ddywedodd—Ei fod ef yn falch fod Mr. Edwards yn myned at y Saeson—y bussai yn gaffaeliad mawr iddynt gael pregethwr fel efe i'w plith. Ystyriai Mr Edwards yn bregethwr gwir dda, a gwyddai yn dda y byddai yn addurn i'r weinidogaeth Seisnig yn y dyfodol, fel yn y gorphenol. Pan yn Nghymru yn ddiweddar, gwelodd ei bod wedi gwella llawer yno ar weinidogion i'r hyn oedd hi yno flynyddoedd yn ol. Hoffai weled sefyllfaoedd ei frodyr yn America yn gwella hefyd, fel na fyddai eisiau i neb o honynt fyned i faesydd estronol i lafurio. Na fyddai Mr. Edwards byth yn ddedwyddach yn Coatsville nag y dymunai ef iddo fod.

Yr ysgrifenydd a ddywedodd—Na fu erioed yn nghyfeillach Mr. Edwards heb deimlo ei fod yn mhresenoldeb dyn gwir dduwiol. Po fwyaf oedd yn ymwneyd ag ef, mwyaf oll yr oedd yn ei hoffi, ac uwch o hyd oedd ei syniadau am dano. Credai fod lle da yn ei aros yn Coatsville, ond nid gwell nag oedd Mr. Edwards yn ei haeddu, ac nid gwell na'i ddymuniad yntau iddo.

Mr. Lewis S. Jones, Goruchwyliwr gweithiau glo Wilkesbarre, a ddywedodd—Ei fod ef, nid fel gweinidog yn canmol gweinidog, nac fel Bedyddiwr yn canmol Bedyddiwr, ond ei fod yno, er yn Fethodist selog, i dalu parch i weinidog Bedyddiedig, nid am ei fod yn weinidog, ond am ei fod yn gymdeithaswr pur, yn gymydog cynes-galon, ac yn weinidog ag oedd a'i eiriau a'i fuchedd yn arogl bywyd trwy y lle. Nid Bedyddwyr yn unig oedd yn canmol Mr. Edwards, ond pawb fel eu gilydd. Un ffaeledd oedd yn perthyn iddo, dim yn meddu digon o dda y byd hwn i gyfateb i'r galon haelionus oedd yn ei fynwes. Yr oedd ganddo galon a digon o le i bob un gwir angenus o'i mewn. Rhoddodd Mr. Jones anrheg i'r brawd Edwards o ddwy gyfrol o'r *Boston Monday Lectures*, gan Joseph Cook.

Y Parch. Mr. Thomas (M. C.), Wilkesbarre, a ddywedodd—Fod yn hawddach barnu a gwneyd chwareu teg â dyn ar ei ymadawiad o le, nag ar ei ddyfodiad iddo. Yr oedd cydweinidogaethu â Mr. Edwards yn y lle wedi rhoddi mantais dda iddo i'w adnabod mewn mwy nag un cysylltiad, ac yr oedd yn dda ganddo allu tystiolaethu ar ei ymadawiad na chafodd ynddo erioed ond yr hyn oedd yn peri iddo feddwl yn uchel iawn am dano. Gwyddai ei fod yn ymadael a dymuniadau goreu ei galon ef, Methodistiaid yr ardal, a phawb a'r a wyddai efe am danynt, yn ei ddilyn i'w faes newydd.

Y Parch. B. W. Thomas, Hyde Park, a ddywedodd—Fod ambell un yn awr ac eilwaith wedi dringo i'r pwlpud ag oedd wedi bod yn fwy o warth nag o ogoniant iddo, ac nad yw pawb, o bosibl, ag sydd ynddo heddyw yn deilwng o hono—fod llawer o bethau yn ofynol i wneyd gweinidog cymwys y Testament Newydd. Yn y brawd parchus Mr. Edwards, yr oedd bob amser wedi gweled un ag oedd yn deilwng, fel dyn a gras Duw yn ei galon, ysgolaig, meddyliwr, ac yn mhob ystyr arall. Yr oedd yr anwyldeb mawr a deimlai at Mr. Edwards yn peri iddo ymadael ag ef mewn tristwch. Hyderai y bydd i'r efengyl bur a draddododd yn Wilkesbarre, o galon wedi ei chyd-dymeru â'i gwirioneddau mawrion, ddwyn ffrwyth toreithiog wedi iddo ymadael, ac i'r un Duw ag a fu yn nerth iddo drwy ei oes, fod yn enau a doethineb iddo hyd derfyn ei oes.

Yn nesaf, galwyd ar Mr. Edwards. Dywedodd, y byddai iddo ddechreu yn y canol, gydag ef ei hun. Yr oedd *suit* ragorol o ddillad am dano, oedd wedi gael gan ei frodyr a'i chwiorydd cyn ymadael, yr hyn, meddai, oedd yn fwy nag oedd erioed wedi ei gael gan y Saeson. Diolchodd yn garedig am danynt, a theimlai yn ddiolchgar hefyd i'w frodyr yn y weinidogaeth—brodyr a chwiorydd perthynol

i enwadau eraill—i'w gymydogion a'i gyfeillion lluosog yn y lle, a phawb, am eu caredigrwydd iddo, a'u teimladau da tuag ato.

Y Parch. Theophilus Jones, Wilkesbarre, a roddodd law o ffarwell i Mr. Edwards dros y cyfarfod. Pan oedd Mr. Jo es yn gwneyd hyn, saethai y dagrau o lygaid lluaws o'r gwyddfodolion. Yr oedd yn hawdd gwybod fod un a fawr berchid ganddynt yn ymadael â hwy.

Bu yn amser marwaidd ar fasnach yn ystod gweinidogaeth ein brawd yn y lle; er hyny, trwy ei ymdrech diflino, talodd tua mil o ddoleri o'r ddyled oedd ar y capel, a dyblwyd rhif yr aelodau, ac nid gwaith bychan oedd hyn mewn lle a chymaint o anfanteision ynddo. Gallwn ddyweyd yn ddiofn, fod ein brodyr Seisnig yn Coatsville yn cael yn Mr. Edwards un o weision ffyddlonaf a mwyaf didwyll y Meistr mawr. Preswylydd y berth fyddo yn amddiffyn iddo, ac a fendithio ei lafur hyd ei fedd, ac yn y diwedd a'i derbynio at y ffyddloniaid fry, a rhoddi iddo etifeddiaeth a chyfran yn mhlith y rhai a sancteiddiwyd.

Dros y cyfarfod,
W. F. Davies.

---

## *BEDYDDIWYD—*

*Dennison, neu Sherman, Ohio.*—Sabboth, Tachwedd 6, 1880, cawsom yr hyfrydwch o weled dau, sef gwr a gwraig, yn cael eu bedyddio trwy drochiad yn yr afon ger y lle hwn. Gweinyddwyd yr ordinhad gan y Parch Iago W. James, Hametown, O. Yr oedd y brawd a'r chwaer uchod yn aelodau gydag enwad yr Annibynwyr er's blynyddau.—*W. J. D.*

---

## *GANWYD—*

Hydref 6, 1880, yn Hametown, O., mab i Mr. a Mrs. James ac Elizabeth Carrick. Gelwir ei enw ef Willie.

---

## *PRIODWYD—*

Tach. 20, yn Danville, Pa, gan y Parch. J. P. Harris, Providence, William Godfrey Evans a Naomi Davies, ill dau o Danville.

I William a'i anwylyd—erfyniaf
Hir fwyniant newyddfyd;
Eu hanedd fo'n hedd o hyd,
Ac enfawr byth eu gwynfyd
Ieuan Ddu.

Medi 18, gan y Parch. E. Edwards, John Lovell ac Anna Maria Thomas, o Pittston, Pa.

Medi 20, gan y Parch. E. Edwards, Wm. Howells a Margaret Hopkins, Wilkesbarre.

Medi 22, gan y Parch. E. Edwards, Evan P. Davies, Parsons, a Mary Ann Evans, merch Jas. Evans, Wilkesbarre, Pa.

Hydref 30, gan y Parch. E. Edwards, Wm. D. Thomas a Hannah Lewis, o Wilkesbarre.

Tachwedd 17, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. W. F. Davies, Mr. Jenkin Williams a Miss Margaret Davies, y ddau o Nanticoke, Pa.

Hydref 30, yn Houtzdale, Pa, gan y Parch. W. R. Jones, Mr. Michael Divens a Miss Elizabeth Gibbie, y ddau o Houtzdale.

Tachwedd 24, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris (*Ieuan Ddu*), Mr. Peter Williams, o West Nanticoke, ac Elizabeth, merch Wm. Gwynne Jones, Y. H., Plymouth, Pa.

Duw Iôn, a phob daioni,—yn eiddo
Fo iddynt rhag cyni;
Pete ar bwys ei lwys Lizzie—redo ar
Ei yrfa hygar wedi arfogi.
Ieuan.

Hyd. 28, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. D. Jones, Mr. Samuel Rogers a Miss Lizzie Thomas, Centralia.

Hyd. 29, yn Shenandoah, Pa., gan y Parch. D. Jones, Mr. John Rogers a Miss Sarah Jane Griffiths, Hazelton.

---

## *BU FARW—*

MRS. ANNE MORGANS, PROVIDENCE, PA.

Mae bywyd rhinweddol mewn byd o lygredd yn teilyngu coffadwriaeth parchus, am ei fod yn arddangosiad o ras Duw, ac o duedd i nerthu gweiniaid Seion ar eu taith tua'r Ganaan dragywyddol. Ië, y mae ein hanwyl chwaer, Anne Morgans, wedi rhedeg ei gyrfa, wedi cadw'r ffydd, a derbyn coron cyfiawnder. Dechreuodd ei gyrfa grefyddol yn ieuanc, a chadwodd hyder ei gobaith yn ddisigl hyd y diwedd. Er pob symudiadau, yr oedd Duw, ei chraig, yn aros yr un, a'i chartref yn y nefoedd, lle y mae yn gorphwys oddiwrth ei llafur, a'i gweithredoedd wedi ei chanlyn.

Ganwyd gwrthddrych ein coffa yn Mhontarddulas, yn y flwyddyn 1833. Merch ydoedd i Thomas ac Ann Jones. Mae ei thad wedi ei blaenu er's blynyddoedd i fyd mawr yr ysbrydoedd; ond mae ei mam eto yn fyw, a phwysau blynyddoedd yr einioes yn gwasgu yn drwm arni, a daw y boreu yn fuan y ca'r ferch a'r fam gyfarfod yn y wlad well, a hono yn un nefol. Glyn Nedd oedd lle yr ail-eni, ac yno yr ymunodd â r eglwys Annibynol pan yn 16 ml. oed. Symudodd y teulu oddiyno i Heol-y felin, Aberdar. Yn y flwyddyn 1850, daeth Mrs. M. a'i chrefydd gyda hi yno, gan fyw yn

deilwng o'i hymrwymiadau i'r Arglwydd, ac i'r gymdeithas grefyddol. Ymunodd mewn priodas â John T. Morgans yn y fl. 1862, a symudasant i Mountain, Ash, lle y buont am ddwy flynedd, ac o'r hwn le yr ymfudasant i America yn 1864. Yn Providence y syrthiodd coelbren y teulu hwn, gan wneuthur eu cartref yn y lle. Treuliodd hi ei bywyd Americanaidd yma, oddieithr yr ychydig amser y bu yn aros yn Taylorville. Tra yn y lle olaf, ymunodd â'r eglwys Fedyddiedig. Cafodd ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw yn y flwyddyn 1869, a bu yn ymdrechol a difwlch hyd ei bedd. Yr oedd yn awyddus i gario ei rhan o faich arianol y frawdoliaeth. Yr oedd ganddi barch mawr i weision Crist er mwyn eu gwaith, a gwnelai bob peth oedd yn ei gallu i'w gwneyd yn gysurus. Cydymdeimlai â'r tlawd a'r anffodus, cyd-ddygai eu beichiau, ac felly cyflawnai gyfraith Crist. Yr oedd ei hiechyd yn gwaelu er's rhai blynyddoedd, ac yn aml yr oedd yn analluog i fyned i byrth merch Seion; yr oedd caethder anadl a gwendid corphorol yn ei lluddias, eto nid achwynai ar y drefn fawr. Mewn modd siriol y croesawai ei chyfeillion crefyddol. Yr oedd yn chwaer gariadlawn, yn wraig hawddgar a gofalus—yn ddyoddefgar mewn cystudd, ac yn dyfal-barhau mewn gweddi,

" Nes daeth yr awr i hedeg gartref,
O ofidiau'r byd a'i blâ."

Dan bwys ei chystudd treuliodd ddiwrnodau helbulus, a nosweithiau blinion, nes yr ymlithrodd i donau yr afon, a'r Cyfaill goreu yn agos ati, yn oleuni ac yn iachawdwriaeth i'w henaid, pan oedd priod a châr yn gorfod cilio yn ol. Do, hunodd yn dawel yn yr Iesu, wedi dau fis o gystudd, yn 47 mlwydd oed.

Ddydd ei hangladd, gweddiodd y brawd T. G. Jones, Taylorville, a phregethodd y brawd J. P. Harris. Y mae yr oll sydd farwol o honi yn gorwedd yn meddrod y teulu yn mynwent Washburne St., Hyde Park. Yr Arglwydd yn nhiriondeb ei drugaredd fyddo yn nawdd ac yn ymgeledd i'r galarwyr oll, ac yn enwedig i'w hanwyl briod a'i mam oedranus. Bydded i'r ergyd a rwygodd yr undeb priodasol ddwyn ein hanwyl gyfaill i undeb ffydd â Mab Duw, fel na byddo gwasgariad yn nydd y gwasgaru. Amen.

Bellach y mae yn ei chartref,
Gyda'r Iesu yn y wledd,
Wedi dianc ar bob gelyn,
Yn mwynhau trag'wyddol wledd;
Wedi ennill goruchafiaeth,
Wedi enwog gario 'r dydd,
Yn ei gwendid ca'dd ei nerthu,
O'i chadwynau daeth yn rhydd.

Y mae 'n awr yn gorfoleddu
Yn ngherddoriaeth gwlad y gân,
Wedi ei golchi yn y ffynon,
A'i gwisg ddrud yn berffaith lân,
Gan fyfyrio a rhyfeddu
Mawredd cariad Tri yn Un
Yn cynllunio a pherffeithio
Grasol iachawdwriaeth dyn.

BUGAIL.

MRS. MARY SIMMONDS.

Hydref 30, 1880, yn Tower City, Pa., bu farw ein hen chwaer Mrs. Simmonds, yn nhy ei merch, priod Mr. David Edmunds, yn yr oedran o 83. Ganwyd hi yn Sir Frycheiniog, D. C., Rhagfyr, 1797. Priododd â Mr. Thomas Simmonds yn 1819.

Ymfudasant i America yn 1851. Blaenodd mab a merch hi. Bu farw ei phriod yn New Philadelphia, yn 1857. Yr oedd yn fam i ddeg o blant, pedwar mab a chwe' merch, tri o'r rhai fu farw yn Nghymru, cyn eu dyfodiad i America, a dau yn y wlad hon. Bu farw ei mab hynaf yn Shamokin, ddwy flynedd yn ol, a merch, gwraig David Andrew, fu farw yn Tower City, yn niwedd 1872. Mae y gweddill o'i phlant yn byw yn Swyddi Schulkill, Northumberland a Lackawanna, Pa. Mae ar ei hol 28 o wyrion, a 25 o orwyrion. Bu fyw 19 o flynyddoedd yn New Philadelphia. Bu yn aelod cyson am 40 o flynyddoedd gyda y Bedyddwyr. Mae wedi gadael ar ei hol lawer o berthynasau na enwyd, a lluaws o gyfeillion twym-galon yn y cylchoedd.

Claddwyd hi ddydd Mercher olynol, yn mynwent y Bedyddwyr yn Belmont, yn medd ei phriod. Nos Fawrth cyn claddu, aeth tua 15 o'r aelodau o Wiconisco, saith milldir, i gadw cwrdd yno, o barch a chynesrwydd ati. Pregethodd yr ysgrifenydd yno oddiar y geiriau, " Bu dda genyf eistedd o dan ei gysgod, a'i ffrwyth oedd felus i'm genau." Yr oedd wedi dewis yr ysgrifenydd er's cryn amser i bregethu yn ei hangladd. Gwnaeth y Parch. Mr. Powick (M. E.) ychydig o nodiadau gyda yr ysgrifenydd yn y ty, yn yr iaith Seisonig. Cychwynwyd yn foreu dranoeth gyda'r *train*, a chyrhaeddasom Pottsville erbyn 9, y boreu, lle yr oedd llawer o'i chyfeillion wedi dyfod i'n cyfarfod. Claddwyd hi yn y prydnawn. Yn y capel cyn claddu, siaradodd yr ysgrifenydd a'r brawd R. Edwards, Pottsville, a phregethodd Mr. Powick oddiar y geiriau, " A pha ryw gorph y deuant ?" &c

Yr oedd yn hen chwaer dawel, heddychol, ddystaw a theimladwy. Bu farw a'i phwys ar ei Cheidwad. B. E. JONES.

EMELIA WHITEHEAD.

Hydref 21, yn Ocean Mines, ger Houtzdale, Pa., Emelia, merch Mr. Thomas Whitehead a'i briod, yn 5 mlwydd a haner oed. Claddwyd hi yn Phillipsburgh, y Sabboth canlynol, pan y gweinyddwyd yn y ty ac wrth y bedd gan y Parchn. W. R. Jones a W. Evans.

Dyma y seithfed blentyn i'r teulu uchod golli yn ystod eu gyrfa. CYFAILL.

# Newyddion a Nodion.

GAN J. EDRED JONES.

Yr ydym yn bwriadu neillduo rhan o'n gofod yn y dyfodol i goffâu am, ac i wneyd sylwadau ar rai o'r pethau, yn wladol ac eglwysig, fyddo yn tynu mwyaf o sylw y cyhoedd. Ac yr ydym yn addaw ymdrechu ein goreu i wneyd yr adran hon yn ddyddorol ac yn adeiladol i ddarllenwyr y Wawr. Gan fod ein hamser yn brin y mis hwn, ni chawn sylwi ond ar ddau beth yn unig.

Prif bwnc y Talaethau yn y misoedd diweddaf oedd,

YR ETHOLIAD ARLYWYDDOL.

Bellach y mae hwn drosodd am y pedair blynedd nesaf; a chan fod y frwydr fawr wedi ei hymladd, buddugoliaeth ardderchog wedi ei henill, a bod mwg y magnelau politicaidd wedi ei chwythu ymaith erbyn hyn, y mae yn amser cyfleus i ni yn bresenol i daflu bras olwg dros yr ymgyrch. Y mae yn hysbys i bawb, o'r plentyn i'r henafgwr, mai'r ddau brif ymgeiswyr am y gadair Arlywyddol oeddynt y Cadfridogion Garfield a Hancock—y naill yn cynrychioli y blaid Werinol, a'r llall y blaid Ddemocrataidd. Yr oedd y ddau wedi hynodi ac enwogi eu hunain yn ein rhyfel cartrefol. Yr oedd y ddau yn sefyll yn uchel yn ngolwg y wlad, nid yn unig fel swyddogion milwrol, ond hefyd fel dynion o dalentau dysglaer, cymeriadau uchel fel dinasyddion, a chymwysderau i lanw y swydd Arlywyddol yn anrhydeddus. Y mae yn deilwng o'n sylw *ni* hefyd, fod y ddau yn dal rhyw gymaint o gysylltiad—pell neu agos—â'r enwad y perthynwn iddo. Yr oedd tad y Cadfridog Hancock yn aelod o ddylanwad, ac yn ddiacon parchus yn eglwys y Bedyddwyr yn Norristown, Pennsylvania, hyd ddydd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le tua thair blynedd yn ol. Ac mae'r Cadfridog Garfield yn aelod blaenllaw gyda y corph parchus o Ddysgyblion, gan bregethu yn achlysurol, fel y byddo amgylchiadau yn caniatau. Gan nad yw y corph hwn yn ystyried dim ond trochiad y crediniol yn fedydd, dichon y gallwn edrych ar Garfield fel perthynas agos i ni. Y mae yn deilwng o sylw pellach yn y cysylltiad hwn, fod tad yr Is-lywydd etholedig hefyd, y diweddar Dr. Arthur, wedi bod yn ei ddydd yn weinidog enwog yn rhengau y Bedyddwyr am lawer o flynyddoedd.

Ond er fod y ddau ymgeisydd yn sefyll yn uchel yn ngolwg y cyhoedd, nid ydym am i'r darllenydd gasglu oddiwrth yr hyn a ddywedasom ein bod yn ystyried y ddau yn gydradd o ran cymeriadau moesol, profiad gwladwriaethol, nac yn y cymwysderau gofynol i lanw y swydd, er lles cyffredin y genedl, yn neillduol yn yr argyfwng pwysig presenol. Tra nad yw Hancock wedi cael dim profiad fel gwladweinydd, y mae Garfield wedi cael blynyddau o hyny yn Nhy y Cynrychiolwyr yn Washington; ac yno yr oedd ei alluoedd meddyliol, ei gymeriad gonest, a'i ddylanwad areithyddol, yn cael eu cydnabod gan ddynion blaenaf y ddwy blaid, ac edrychid arno fel blaenor naturiol y blaid Werinol yn y Ty. Cydnabyddir gan ei wrthwynebwyr fod y Cadfridog Garfield, trwy ei wybodaeth, ei ddysgeidiaeth, a'i gyfarwydd-der â holl achosion y wladwriaeth, yn un o'r rhai addasaf i fod yn Arlywydd a etholwyd erioed.

Mewn *moesoldeb* yr oedd gwahaniaeth dirfawr rhwng y ddau ymgeisydd, yr hyn sydd, neu a ddylai fod, yn bwnc pwysig yn ngolwg pob Cristion. Fel y sylwasom yn barod, y mae un o honynt yn ddyn o broffes ac o fywyd Cristionogol, tra y dywedir gan y rhai a'i hadwaenant oreu, fod y llall yn nodedig am ei gabledd. Dywedai golygydd newyddiadur, yr hwn a ymladdodd ei oreu o'i blaid yn ystod y *campaign*, fod Hancock yn *rhegu*, tra yr oedd ei wrthwynebydd yn *gweddio*. Eto iawn yw cydnabod, mai y ddwy blaid yn fwy na'r ddau ymgeisydd oeddynt ar brawf o flaen llys y cyhoedd. Dywedodd R. Ingersoll, yn un o'i areithiau tanllyd yn ninas New York, yn gellweirus, os nid yn gableddus, na ddaw y blaid

Ddemocrataidd i lywodraethu yr Undeb eto tra byddo'r Hollalluog yn fyw!

Ond er mor uchel ydyw Garfield yn ngolwg y werin, fel Cristion a gwladweinydd, nid oes un ymgeisydd am yr Arlywyddiaeth erioed wedi cael mwy, os cymaint, o'i gamliwo, ei faeddu, ac anwireddu am dano, o'r dydd y neillduwyd ef yn Chicago hyd nes yr etholwyd ef. Nid oedd unrhyw fryntni, anwireddu, ac enllibio, a fedrai calon ddychymygu, a thafod draethu, a phin ysgrifenu, nad yw blaenoriaid y blaid Ddemocrataidd wedi bod yn euog o hono; ac er gwarth oesol i'r blaid hono yr ydym yn gorfod cofnodi hyn. Nid yn unig hyny, ond ychydig cyn yr etholiad esgorwyd ar y *plot* duaf, mwyaf mileinig, maleisddrwg a dieflig, a allai y galon fwyaf anrasol feichiogi arno, sef ffugio llythyr uwch enw y Cadfridog Garfield at berson dychymygol, er mwyn ei ddarostwng yn ngolwg y wlad, tynu pleidleisiau oddiwrtho, a thrwy hyny beri iddo golli y dydd yn ei ymgais. Bu rhai o brif ddynion y blaid wrthwynebol yn flaenllaw yn lledaeniad, os nid yn ffurfiad, y cynllun bradwrus a diegwyddor hwn; ac erys yn flotyn du annileadwy am yr oes hon o leiaf ar gymeriad y blaid a fu yn euog o'r fath ddrygioni; ac edrychir ar y rhai fuont a llaw yn ei ffurfiad a'i ledaeniad fel ar ddynion annheilwng o gymdeithas boneddigion. Y mae rhai o'r *dupes* wedi cyfaddef yn barod ddarfod iddynt dyngu yn anudon, ac maent er's dyddiau mewn carchar yn aros eu prawf; ond mae lle i ofni y gall y *principals* ddianc, am eu bod yn gyfoethog, &c. Ond er gwaethaf yr holl ddichellion, malais, celwyddau, *forgeries*, a'r *solid South*, cododd y werin yn ei mawrhydi i ddangos yn effeithiol ei hatgasrwydd at y fath weithredoedd, yn gystal a diffyg ei hymddiried yn y blaid Ddemocrataidd, trwy ethol gyda mwyafrif mawr James A. Garfield yn Arlywydd.

Wedi y cwbl, mae hyn yn profi nad yw y cnewyllyn politicaidd yn bydredig. Y mae egwyddor onest yn mynwes y bobl; a phan mae llygad bytheffro y genedl yn gweled fod sarhad personol, enllib, celwyddau a *forgeries*, yn cael eu defnyddio, yn lle rhesymau, egwyddorion, a theilyngdod, er trechu ymgeisydd teilwng, dangosant eu hatgasrwydd at y fath fryntwaith melldigedig.

Y mae canlyniad yr etholiad diweddar yn llawn o wersi addysgiadol yn y cerydd llym a gynwysant; a phe buasai ein gofod yn caniatau, gwnaethem rai sylwadau pellach ar rai syniadau eglur, ond anghyffesedig, yn *mholitics* y dydd—cuddiedig yn awr o dan haenen deneu o *expediency*, ond deuant yn *brominent* cyn hir.

Dichon mai y pwnc sydd yn tynu mwyaf o sylw y byd gwareiddiedig yn awr yw

CYFLWR TERFYSGLYD YR IWERDDON.

Creadur hynod o aflonydd ydyw y Gwyddel lle bynag y byddo yn cartrefu; a phan yr ydym yn ysgrifenu, y mae rhan fawr o'r Ynys Werdd fel crochan berwedig, ac nid oes neb yn gwybod beth fydd canlyniad y twrw, y terfysg, a'r aml lofruddiaethau gwaedlyd sydd yno yn bresenol. Ar hyn o bryd y mae pethau yn ymddangos yn hynod o dywyll, a'r wlad mewn cyflwr arswydus. Yn ein bryd ni, y mae *achos—hen achos*—i'r terfysg presenol. Y mae y genedl Wyddelig wedi, ac yn cael ei gorthrymu yn dost. Llethir hi rhwng dau faen—y Babaeth, a'r Tirfeddianwyr. Rhwng y ddau, mae ei chyflwr yn andwyol er's oesoedd, a chedwir hi yn barhaus mewn dygn dlodi, a hwnw yn cynyddu o hyd. Y mae llawer o'n darllenwyr yn gwybod yn brofiadol beth yw cyflwr tenantiaid i lawer o dirfeddianwyr gormesol, beilchion, dideimlad a diegwyddor, yn Nghymru; ond nid yw cyflwr tenantiaid Cymru, yn ddiau, i'w gydmaru â chyflwr yr un dosbarth yn yr Iwerddon. Nid oes ond ychydig iawn o'r tir-feddianwyr yno yn byw yn y wlad. Treuliant eu cyfoeth yn Lloegr, neu ar y Cyfandir. Yr unig *interest* sydd iddynt hwy yn y wlad yw brasder y cyfoeth a ddylifa iddynt oddiwrth eu tiroedd, a hwnw yn cael ei wasgu allan trwy bersonau sydd yn methu cael digon o laeth a

phytatws, bara haidd ac ysgadan, i gadw corph ac enaid yn nghyd, tra nad yw eu tir yn gyffredin yn ddigon da i anifeiliaid fyw ynddynt. Nid rhyfedd felly fod y wlad yn myned yn dlotach bob blwyddyn, a'r tenantiaid yn myned yn fwy aflonydd.

Dechreuodd y cyffroad presenol yn 1878, a'r amcan mewn golwg y pryd hwnw oedd cael gostyngiad yn y rhenti; ond fel yr oedd y mudiad yn myned rhagddo, a'r ysbryd yn cynhyrfu, daethant yn raddol i hawlio diddymiad tirfeddianaeth. Ni ddaeth y "*Land League*" yn allu yno hyd yr Hydref diweddaf, pan oedd y gauaf agosâol yn bygwth y trigolion â newyn. Yna dechreuodd yr "*Home Rulers*" ar bwnc y tir, ac oddiar hyny mae y tir-feddianwyr yn ei chael hi yn ddidrugaredd. Cafodd amryw o honynt, a'u stewardiaid, eu llofruddio yn llechwraidd, ac mewn gwaed oer, ac mae bywydau eraill mewn perygl. Y mae y bobl wedi cynddeiriogi cymaint fel na oddefir i'r cnydau gael eu casglu oddiar rai *estates*. Ni oddefir i neb gymeryd fferm un a ddifeddianwyd o honi am wrthod, neu am ei fod yn analluog i dalu y rhent, ac ni ddangosir trugaredd i neb sydd yn bleidiol i'r meistri.

Y mae gweinyddiaeth Gladstone wedi bod yn bleidiol i'r bobl. Yn 1870 pasiodd ddeddf oedd yn ffafriol iddynt—deddf oedd yn anghefnogi difeddianiad anghyfiawn, ac un oedd yn rhoddi cyflawn dâl i'r tenant, pan yn cael ei ddifeddianu, am y gwelliantau a wnaed ganddo ar y fferm. Heblaw hyn, yr oedd yn rhoddi hawl i'r llywodraeth i gynorthwyo tenantiaid tlodion i brynu eu ffermydd pan fyddai y tir-feddianydd yn foddlon i werthu, ond ni fu llwyddiant ar y mesur hwn ryw fodd neu gilydd.

Y mae *Liberals* Prydain, am yr haner canrif diweddaf, wedi ymgynyg, o dro i gilydd, at fesurau a dueddent i ysgafnhau pwys y baich oedd yn gwasgu mor drwm ar y wlad, a diau y cynygia y weinyddiaeth bresenol i basio mesurau newyddion ychwanegol yn y Parliament nesaf; ond pa un a ant at wraidd y drwg sydd gwestiwn amheus, ac y mae yn amheus hefyd a ellir pasio unrhyw fesurau yn bresenol a fyddant yn foddhaol i'r genedl Wyddelig.

Tra nad ydym ar un tir yn canmol nac yn amddiffyn y troseddau ysgeler, a'r llofruddiaethau gwaedlyd a gyflawnir yn yr Iwerddon, eto nis gallwn gau ein llygaid ar y ffaith fod y trigolion wedi eu darostwng i'r cyflwr mwyaf gresynus, yn rhanol gan ddeddfau natur, ond yn benaf gan orwanc dynion diegwyddor, hyd nes y maent heddyw yn wrthddrychau teilwng o dosturi a chydymdeimlad y byd. Er nad oes genym lawer o barch i'r dosbarth israddol o'r genedl Wyddelig, eto mae ein teimlad yn rhedeg yn naturiol at y ci isaf mewn ymdrech am fywyd, yn neillduol pan mae yr uchaf yn hen *Bulldog* mawr, tew, esgyrnog a chryf, a'r llall yn gorgi bychan, teneu, gwanaidd, a haner newynog. Cyfiawnder a chwareu teg i bawb, yw ein harwyddair ni.

---

## BYR-EBION.

---

—Mae cynulleidfa o Iuddewon yn New York, yn ddiweddar, wedi newid eu diwrnod i addoli o ddydd Sadwrn i ddydd Sul, ac wedi mabwysiadu amryw gyfnewidiadau eraill.

—Mae dinas Jerusalem i gael ei goleuo â nwy yn fuan, ac y mae rheilffordd ceffylau i redeg i ben mynydd yr Olewydd.

—Mae John Shepherd, tyddynwr yn agos i Peoria, Ill., wedi cadw yn ffyddlon adduned a wnaeth yn 1860, i beidio eillio ei farf na thori ei wallt hyd onid etholid Arlywydd Democrataidd. Mae ei *whiskers* yn cyrhaedd i lawr at ei ganol, a cheidw ei wallt mewn plethiadau. Mae ganddo yn awr bedair blynedd yn ychwaneg i adael i'w wallt dyfu.

—Mae cymdeithas o ferched Mormonaidd amcan y rhai oedd diogelu iddynt eu hunain wyr a ymfoddlonent ar un wraig, wedi cael ei darganfod a'i thori fyny yn Salt Lake City. Yr oedd yr aelodau wedi ardystio i beidio priodi un dyn a fynai fwy nag un wraig. Yr oedd pump o wyresau Brigham Young wedi ymuno â'r gymdeithas.

—Daeth Ellmyn yn San Francisco yn ddiweddar i feddiant o $50,000 yn sydyn, collodd ei synwyrau, aeth ar *spree*, ac ymgrogodd; ond torwyd ef i lawr yn fyw, ac y mae yn awr yn alluog i fyned o gwmpas drachefn.

# Y WAWR.

CYF. V.] IONAWR, 1881. [RHIF. 10.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## HANES Y BEDYDDWYR YN MON.

GAN CHRISTMAS EVANS.

Ebai Spinther, wrth anfon yr hanes hwn i olygydd *Seren Gomer:*

"MR. GOLYGYDD—Yr wyf yn teimlo fy mod heddyw yn anfon ysglyfaeth lawer i chwi, sef gwaith Christmas Evans ar Fedyddwyr Mon, na welodd oleuni dydd erioed o'r blaen. Y mae y gwreiddiol, yn llaw-ysgrif yr awdwr, yn awr yn fy meddiant, yn nghyd ag ysgrif ddyddorol iawn arall o'i eiddo ar ddechreuad y Bedyddwyr yn Lleyn. Mae y cwbl at wasanaeth *Seren Gomer*, a gwn y bydd i'w miloedd darllenwyr osod mawr-bris ar y fath drysorau. Gyda'r gair hwn yr wyf yn cymeryd fy nghenad, er rhoi lle i 'Esgob Mon.'"

### RHAN I.

Darfu i'r Bedyddwyr yn y Deheudir drefnu cenadon i ddyfod i bregethu yr efengyl i'r Gogledd o gylch y flwyddyn 1775; canys yr oeddynt amryw yma yn pregethu a bedyddio yn y fl. 1779. Yn y blynyddoedd a ganlyn, bu amryw o weinidogion y Bedyddwyr yn dra ymdrechol a llafurus yn pregethu yr efengyl, ac yn corphori cynulleidfaoedd bychain trwy amryw barthau o sir Gaernarfon, a siroedd Dinbych, Meirionydd, a Mon. Y cenadon cyntaf a ddaeth i sir Fon oedd Mr. David Evans o'r Dolau, tad i'r gweinidog presenol o'r un enw sydd yn y Dolau; David Evans o Faesyberllan yn bresenol, eithr o'r Graig, yn y Castellnewydd, yr amser hwnw; Mr. Zechariah Thomas o Aberduar; Mr. David Jones o Bontypwl; William Williams, Ysw., o Aberteifi; David Morris a Thomas Morris; John Evans o Gilfowyr, wedi hyny o'r Roe, yn sir Gaernarfon; David Hughes; yn nghydag amryw eraill llai eu dawn, eu diwydrwydd, a'u henwogrwydd.

Pan y daethant y troion cyntaf yn eu teithiau trwy sir Fon, cawsant dai cyfarfodydd y Methodistiaid a'r Independiaid yn agored; ond nid gweddus ydoedd dysgwyl pethau i barhau felly yn hir iawn.

*Hanes Ebenezer, yn Mon.*—Yn lled fuan bedyddiwyd 10 neu 12 yn mhlwyf Llangefni; ac felly gosodwyd sail, neu yr ychydig o feini cyntaf yn eglwys y Bedyddwyr, yn Ebenezer, yn sir Fon; ac heb fod yn hir adeiladwyd y ty cyfarfod yr hwn a elwir Ebenezer, yr hwn sydd o fewn chwarter milldir i bentref Llangefni, ac yn y plwyf o'r un enw. Adeiladwyd y ty hwn yn y fl. 1781, yr hwn oedd y ty cyfarfod cyntaf a adeiladwyd gan y Bedyddwyr yn yr holl

Ogledd-dir, oddieithr ty cyfarfod y Glynceiriog, yn sir Ddinbych.

Parhawyd i fedyddio dros amryw flynyddoedd. Bedyddiwyd Hugh Williams, Tanybryn; Richard Dafydd; Hugh Jones o'r Feillionen; William Roberts, Merddyn Hafod; Dafydd Williams o'r Ffridd; Robt. Williams o Gildwrn; ac Evan Hughes y Felin. Yr oedd y gwyr uchod, yn nghyda'u gwragedd, yn aelodau yma, a gellir eu hystyried fel tadau i'r achos yma; buont yn ddefnyddiol lawer ffordd, ac y mae y rhan fwyaf o honynt yn parhau hyd y dydd hwn, neu'r flwyddyn 1812. Byddai Dafydd Williams o'r Ffridd, a William Roberts o Ferddyn Hafod, yn arfer lletya y gweinidogion. Buont hefyd yn pregethu ac yn tori bara, cyn codi y tŷ cyfarfod, yn Nhrefollwyn, plwyf Llangefni, a'r pregethwyr yn cael llety yno gydag un a elwid Grace Powell. Bu un William Edwards, o'r un plwyf, yn dra defnyddiol yn yr eglwys hon ar ei dechreuad, ond hwn a wrthgiliodd wedi hyny. Bu un Henry Jones y Gof hefyd yn dra defnyddiol amryw flynyddoedd, ond symudodd ei le, ac aeth ymaith o'r gymydogaeth, ond y mae ef yn parhau gyda chrefydd hyd yma.

Heb fod yn hir iawn wedi corphori yr eglwys, rhoddodd alwad i Seth Morris, aelod a phregethwr o Eglwys y Graig, yn Nghastellnewydd-yn-Emlyn, i fod yn fugail arnynt. Daeth yn fuan yn arosol yn eu plith hwynt. Ac yn fuan wedi iddo ef sefydlu, daeth gwr ieuanc o'r enw Thomas Morris i fyny o'r Deheudir, fel pregethwr teithiol; mynai amryw iddo aros yn y wlad yn gynorthwywr i Seth Morris, ac yr oedd eraill yn wrthwynebol i hyny. Yr ydoedd Seth Morris yn wr duwiol ac yn bregethwr sylweddol. Yr oedd Thomas Morris yn ddyn tra doniol, ond nid cymaint oedd yr arwyddion ei fod yn ddyn gostyngedig ac yn rhodio gyda Duw. Fel yr oedd drysau newydd yn agor trwy amryw barthau y wlad, ffurfiwyd cangen newydd yn y lle a elwir y Capel Gwyn, yn mhlwyf Llechylched; yno yr oedd amryw o aelodau tra defnyddiol, yn enwedig Evan Williams, Cefnysgwydd, &c.—Gosodwyd yr achos i fyny yn Nghaergybi, Llanfachreth, Llanrhyddlad, neu Cemlyn Amlwch, Capel Newydd, Llanfair, Beaumaris, a Phen-y-carneddi. Er nad oeddynt ond ychydig mewn rhifedi, mewn rhyw fodd tyfodd annghydfod, fel yr aethant yn ddwy blaid—rhai o ochr Seth Morris, ac eraill o ochr Thomas Morris. Bu yma chwerwder mawr yn yr achos. Cynaliwyd llawer o gyfarfodydd i gynyg heddychu; ond yn lle hyny, chwanegu yr oedd y terfysg a'r anfoddlonrwydd. Bu Mr. Joshua Thomas o Llanllieni mewn cyfarfod unwaith yn cynyg terfynu y ddadl. Cynaliwyd y cyfarfod hwnw yn Llanfachreth, ac yr oedd Mr. Owen Rees o Gaerfyrddin yno yn y cyfamser; ond ni allent gael y ddwy blaid at eu gilydd. Geiriau pigog a arferid gan y naill blaid at y llall, ac yr oedd y ddwy blaid yn tybied eu bod yn sefyll dros ogoniant Duw. Mae yn anhawdd gweled dichellion cyhuddwr y brodyr yn y fath amserau. Parhaodd yr eglwys yn ddwy ran dros amryw flynyddoedd yn yr achos; ond heb fod yn hir bu farw Seth Morris, a bu y terfysg yn achos iddo lwfrhau a blino yn fawr, os nid yn angau iddo. Ac yn fuan priododd Thomas Morris ddynes ddigrefydd, rhedodd i ddyled, a thynodd lawer o waradwydd mewn llawer ffordd. Gwrthodwyd ef gan ei blaid ei hun, a symudodd i fod yn weinidog yn y Twyngwyn, sir Forganwg; ond ychydig y bu ef yno yn ddiwaradwydd. Y diwedd a fu iddo gael ei wrthod gan y brodyr yno. Daeth yn ol i'r Gogledd. Bu yn aros dros ryw enyd yn sir Gaernarfon, ac yn pregethu lle y caffai dderbyniad. Symudodd, ac aeth drosodd i'r America, efe a'i deulu. Nid oedd yn arddel fawr o grefydd yno; ond nid hir y bu cyn iddo farw, yn rhywle yn Nhalaeth New York. Duw a wyr pa fodd yr ymdarawodd ef yn y byd mawr a'i enw tragywyddoldeb.

Bu y terfysg uchod yn dra gofidus yn yr eglwys hon. Diamheu ei fod wedi bod yn foddion yn llaw cyhuddwr y brodyr i rwystro teyrnas nefoedd yn mlaen yn mysg y Bedyddwyr. Trwy

hyn, yn nghyda phethau eraill, aeth yr achos yn isel ac yn ddirmygus iawn yn y wlad. Arosodd sawyr y terfysg hwn ar ysbrydoedd y brodyr yn rhy aml yn yr eglwys tros hir amser, megys ol llifogydd mawrion ar y ddaear, wedi i'r storm fyned heibio. Rhyfedd iawn yw ffordd rhagluniaeth. Mawr ydoedd y profiadau y dygwyd yr eglwys hon trwyddynt. Cafodd lawer o'i blino gan rhyw bersonau a gododd i bregethu o'i mysg ei hun; a'r rhai hyny wedi hyny yn syrthio i anfoesoldeb, gwarth, a gwaradwydd. Bu hyn yn foddion i iselu cymeriad yr achos yn sir Fon.

O gylch ugain mlynedd i'r flwyddyn hon, 1812, y rhoddodd yr eglwys alwad i'w bugail presenol, sef Christmas Evans. Yr oedd ef yn enedigol o sir Aberteifi, yn mhlwyf Llandyssul. Cafodd ei fedyddio yn eglwys Aberduar. Daeth i fyny i'r Gogledd-dir fel pregethwr teithiol; a chafodd alwad i aros yn Salem yn Lleyn, yn sir Gaernarfon.

Yno y cafodd efe ei ordeinio, gan John Evans o'r Roe, a Thomas Morris. Priododd yno hefyd ag un o'r merched tlodion oedd yno wedi proffesu crefydd gyda'r Bedyddwyr. Arosodd yno tua dwy flynedd. Dihunwyd trwy ei weinidogaeth ef yno rai ugeiniau; rhai o honynt a unasant â'r Methodistiaid; a bedyddiwyd yno o gylch deugain neu haner cant.

Ond darfu i'r eglwys yn Mon fod yn daer iawn arno i ymadael â Salem yn Lleyn, a dyfod atynt hwy, yr hyn o'r diwedd y cytunwyd arno. Cafodd ryw fwthyn bychan i fyw yn sir Fon; rhoddodd ei holl lafur i'r weinidogaeth, a bu yn ddiwyd ac ymdrechol iawn. Llafuriodd lawer i ail heddychu yr amryw gangenau â'u gilydd, a darostwng yr anghydfod y soniwyd am dano uchod—ol ac argraff yr hwn oedd eto fel ol y frech wen ar wyneb yr achos. Llwyddodd Duw ef, i raddau pell, i sefydlu heddwch ac undeb yn yr eglwys, rhwng yr amrywiol gangenau â'u gilydd, fel y cytunasant oll i fod yn yr un cymundeb, a chyd-gynorthwyo ei weinidogaeth ef; ac felly y mae pethau yn aros hyd heddyw.

Canlynodd pethau yn raddol ag sydd yn haeddu eu cofnodi yma; sef chwanegiad doniau, adeiladu tai cyfarfodydd, sefydlu cyfarfodydd misol a blynyddol, chwanegiadau at yr eglwys, ei dull a'i threfn presenol; enwau ei gweinidogion o'r dechreuad hyd yn awr; y pethau mwyaf gofidus a gyfarfu â'r eglwys hon yn amser ei bugail presenol, sef Christmas Evans; ysbryd ymraniad, ac ysbryd myned i'r America; hanes pob cangen, a'r aelodau mwyaf cynorthwyol.

*Chwanegiad Doniau.*—Yr oedd doniau yn fychain, a'r pregethwyr derbyniol yn anaml iawn pan y daeth C. Evans atynt. Yr oedd un Richard Michael, gwr genedigol o sir Fon, ac un wedi ymadael oddiwrth y Methodistiaid, yn llefaru yn y Sir hon y pryd hwnw. Yr oedd wedi ei ordeinio yn Beaumaris, ac yr oedd yn dra diwyd a ffyddlawn yn ol ei ddawn; yn mynych deithio trwy y Gogledd yn gyffredin. Yr oedd ef yn cael ei ystyried fel dyn da gan lawer. Aeth drosodd i'r America, pan aeth Morgan Rees i osod sefydliad Beulah i fyny yn Nhalaeth Pennsylvania; ond er maint ei awydd i fyned yno yn ei hen ddyddiau, cafodd weled mai siomedig a chyfnewidiol ydyw pob peth o dan haul; bu farw pen ychydig o ddyddiau wedi iddo dirio yn America, a gadawodd wraig a dau neu dri o blant ar ei ol, heb fedru dim Saesneg, mewn gwlad ddyeithr. Aml ddrygau a all ddygwydd i'r cyfiawn yr ochr hyn i'r bedd. Gadawodd ei fraint a'i ddefnydd ar ol yn Mon, ac ni chafodd ond angau yn y wlad hono. Perygl mawr ydyw gadael ein lle a'n braint er neb golygiadau bydol pa bynag. Yr oedd hen wr o'r enw Richard Williams, y Crydd, yno yn llefaru. Nid oedd ei ddawn ond bychan, ac yn lled annerbyniol. Robert Williams, o'r Aberffraw, oedd yno hefyd yn llefaru. Rhoddodd ef y gwaith i fyny, ac aeth i gymundeb y Methodistiaid, lle y mae hyd heddyw; ond nid ydyw yn pregethu. John Hughes, Glanygors, a fu yn llefaru hefyd gyda'r Bedyddwyr yn Mon dros rai blynyddoedd, ond trodd allan yn annymunol; syrthiodd i anfoesoldeb; mae yn aros yn ei wrth-

giliad hyd heddyw, heb ddim argoel am ei adferiad. Bu un Hugh Davies o gerllaw Amlwch yn pregethu; paräodd ef wrth y gwaith hyd angau, a diweddodd ei ddyddiau yn llafurio gydag ychydig o frodyr tua Llanrwst, yn sir Ddinbych. Bu Nathaniel Williams, gwr o'r Deheudir, yma yn pregethu; byddai ef yn arfer gwaith meddyg. Ymadawodd ef yn fuan wedi iddo gael galwad i aros yn yr eglwys hon. Darfu iddo yn lled fuan wedi hyny ymuno â'r Bedyddwyr Arminaidd yn y Deheudir. Richard Morgan, o Beaumaris, a fu hefyd yn mysg y Bedyddwyr yn sir Fon. Rhoddodd y gwaith heibio cyn marw, eithr arosodd yn aelod. Nid defnyddiol na derbyniol iawn ydoedd efe fel pregethwr. Ellis Roberts, o Beaumaris, a fu yn arfer ei ddawn i bregethu. Mae yn fyw yn bresenol; ond nid yw yn aelod na phregethwr. Gobeithio yr ymwelir ag ef eto.

Yn awr ni a gymerasom olwg ar ychwanegiad doniau gweinidogaethol at yr eglwys hon wedi sefydliad C. Evans yn eu plith hwynt, yn dechreu yn y fl. 1791, ac yn cyrhaedd hyd y fl. 1812, yn cynwys o gylch ugain mlynedd o amser. Yn union ar ei ddyfodiad ef i sefydlu yn yr eglwys hon, cytunasom oll i gadw cyfarfod o ympryd a gweddi, fel Ezra (viii. 21) ar lan afon Ahafah, i alaru o herwydd yr holl derfysg a'r ymryson, a'r anffrwythlondeb mawr a fu yn ein plith y blynyddoedd o'r blaen. Cynaliwyd y cyfarfod hwn mewn ty lle yr arferid pregethu genym yn Llanerchymedd. Bu rhyw fesur o wyneb yr Arglwydd arnom o hyny hyd heddyw; ond mae genym achos mawr i ddywedyd, "*O, ein culni!*" hyd heddyw hefyd; eithr diamheu fod daionus law Duw wedi bod gyda ni. Y'nghylch yr amser hwn, sef y fl. 1791, y dechreuodd Hugh Williams o Lanrhyddlad, yr hwn oedd y pryd hwnw yn byw ar ei dir ei hun, yn y plwyf o'r enw Llanrhyddlad. Yr oedd ef, a'i wraig Rose Thomas, yn aelodau amryw flynyddau o'r blaen, ac wedi bod yn gynorthwyol iawn i'r achos yn nghwr arall y wlad, pan oeddynt yn byw yn Llanddaniel. Yr oedd Hugh Williams yn ddyn hardd yn ei fywyd, ac o dymerau heddychol, ac yn dra derbyniol yn ei weinidogaeth. Bu ef, ac y mae yn parhau i fod hyd heddyw, efe, a'i wraig a'i deulu, o lawer iawn o gynorthwy i'r achos, amryw ffyrdd. Mae ef wedi ei ordeinio er's amryw flynyddoedd, ac yn byw yn y tyddyn a elwir Bodwyn, yn mhlwyf Llanrhyddlad. Nyni a gawn grybwyll eto am y gangen sydd yn y plwyf hwnw.

Ar ei ol ef cyfododd Edmund Francis i bregethu, gwr ieuanc o Amlwch. Bu yn llefaru yn dderbyniol am amryw flynyddoedd, ac ordeiniwyd ef; ond llyncodd Ymraniaeth, a chiliodd oddiwrthym ni, ac unodd a'r Bedyddwyr Albanaidd; ac y mae yn byw yn bresenol yn Nghaernarfon, ac yn gweinidogaethu i'r blaid hono. Dyma golled.

John Michael, gwr ieuanc o blwyf Llanfugail, yntau hefyd a alwyd i'r weinidogaeth yn y gangen sydd yn mhlwyf Llanfachreth. Gwr ieuanc gwyliadwrus, hardd yn ei fywyd, a derbyniol yn ei ddawn yn yr eglwysi. Y mae yntau hefyd wedi ei ordeinio er's amryw flynyddoedd.

John Morgan, gwr ieuanc o Beaumaris, a alwyd hefyd i'r weinidogaeth, ac ordeiniwyd ef; mae yn parhau yn llafurus. Bendithied yr Arglwydd ef â llawer o'i Ysbryd.

Richard Rowland hefyd a alwyd i arfer ei ddawn—gwr priod yn byw yn mhlwyf Llanfaelog, mewn lle a elwir Bodrowydd. Mae ef yn lled afiachus er ys talm, ond yn llefaru yn barhaus ar droion, ac yn dra defnyddiol yn y gangen sydd yn y Capel Gwyn, yn mhlwyf Llechylched. Nacaodd gymeryd ei ordeinio. Mae ef yn dra defnyddiol mewn amryw ffyrdd.

John Roberts, Penysarn, gwr ieuanc yn byw yn agos i Amlwch, sef mewn pentref a elwir Penysarn. Gwr ieuanc hardd yn ei fywyd, doniol a derbyniol yn y weinidogaeth, yn dra llafurus a diwyd, ac yn ddefnyddiol mewn amryw ffyrdd. Mae hefyd wedi ei ordeinio er ys talm o amser, ac yn perthyn i'r gangen sydd yn Amlwch.

Robert Williams, gwr ieuanc a alwyd

i'r weinidogaeth yn ddiweddar, sydd yn dra gobeithiol.

Richard Roberts, gwr yn byw wrth y Capel Newydd, yn mhlwyf Llandyfrydog, sydd yn dra defnyddiol a gobeithiol.

Robert Owen, hefyd, gwr priod o blwyf Llanddonen, yr hwn sydd yn llafurus a ffyddlon, ac wedi ei ordeinio er ys amryw flynyddoedd. Mae ef yn bresenol yn byw yn Llangefni.

Wrth ystyried fod y pregethwyr presenol yn hardd yn ei bywyd, ac yn dderbyniol yn y weinidogaeth, ac o dymherau heddychol, gellir ystyried hyn fel arwyddion er daioni. Coded Pen Mawr yr Eglwys luaws mawr eto o weithwyr i'w gynauaf, a rhodded wres haul a rhinweddau y gwlith a'r cawodydd sydd yn perthyn i'r cyfamod, fel yr adferer yr yd ysbrydol yn mhob man, fel y byddo y maesydd yn gwynu i'r cynauaf. Casgler llafur enaid Mab Duw yn nghyd gyda brys.

Bydded daionus law ein Duw ar y pregethwyr presenol, fel y byddont ffyddlon i adeiladu muriau Jerusalem, ac i adeiladu y deml na thynir mo honi i lawr gan y Rhufeiniaid. Mae gwaith mwy ei bwys gan weinidogion yn bresenol, i gasglu eneidiau at Iesu Grist, a'u hadeiladu ynddo, nag a fu gan Ezra a Nehemiah wrth adeiladu yr ail deml.

---

## CRIST YN GANOLBWYNT Y BEIBL.

GAN Y PARCH. LL. REES, JOHNSTOWN, PA.

### I.

Mae i bob cyfundrefn ei chraidd (*centre*), o ba un y derbynia ei chyfeiriad bodolaidd a gweithredol. Yr haul yw canolbwynt y gyfundrefn blanedawl, o ba un y derbynia ei chyswy sefydlog. Ymddibyna cyfundraeth y Beibl ar ei holl ranau, fel y gwna pob cyfundraeth arall. Heb gadw golwg ar hyn profir fod deall y Beibl i un pwrpas llesol can belled oddiwrth allu yr enaid dynol ag ydyw deall unrhyw gyfundrefn arall gyda yr un diffyg. Fel y mae yn anmhosibl deall defnyddioldeb llaw a throed, neu unrhyw aelod arall, ar wahan i feddu meddylddrych am safle y gyfundrefn gorphorol i gyd, y mae yn anmhosibl deall defnyddioldeb rhanau unigol o gyfundrefn yr Oraclau Ysbrydoledig, heb fod a llygad ar y gyfundrefn i gyd. Os gwir hyn, yr hyn gredwn ei fod, amlwg yw y dylai pawb yn yr areithfa ofalu nid yn unig fod cysondeb eu gwahanol bregethau, ond cysondeb gwahanol ranau y bregeth yn amlwg a deallus; a dylai fod meddwl pob gwrandawr awyddus am iachawdwriaeth yn manwl chwilio am gysondeb yn gyntaf oll wrth wrandaw, gan, fel y tybiwn yn sicr, mai cysondeb yw un o'r profion cryfaf, os nad y cryfaf, o wirionedd yr hyn a draethir. Ymddengys ein gosodiad yn wir hefyd drwy gydnabod cywirdeb y wireb ganlynol a grybwyllir yn aml gan anffyddwyr, sef, "Fod gwirionedd yn gyson ag ef ei hun; fod yr hyn sydd gyson ag ef ei hun yn gyson â'i holl ranau; fod yr hyn sydd gyson â'i holl ranau yn gyson ag ef ei hun." O herwydd gwirionedd y gosodiad hwn yw, y gellir deall y Testament Newydd wrth yr Hen Destament, a'r Hen Destament wrth y Newydd; y gellir deall Moses, Aaron, y sarph bres, y graig, &c., wrth Grist, a Christ wrth y rhai'n.

Anwyl ddarllenydd, mae yn ddiau dy fod fel yr ysgrifenydd, wedi arfer credu fod Iesu Grist yn un mawr—ei fod yn Alpha ac Omega, yn Ddechreuad ac yn Ddiweddiad, yn Gyntaf ac yn Olaf. O ba beth? ti a ofyni i mi. Atebaf, O bob dysgeidiaeth a gwyddoniaeth; o bob doethineb a gwybodaeth; o'r holl greadigaeth—y ddirnadaeth anhysbyddol, y cyfanfyd; o bob rhagluniad daearol a nefol Feiblaidd; o holl gynlluniau natur, rhagluniaeth, a gras, efe yw y cyntaf a'r olaf. Wrth gwrs efe yw holl "Oracl Duw." Yn gydweddol a'r hyn a osodwyd, gellir yn rhesymol syniaw, mai efe yw Dechreuad, Canol, a Diweddiad y Beibl. "Y Dystiolaeth" am yr Iesu yw ysbryd y brophwydoliaeth, a chorph yr holl hanesiaeth gysegredig. Pan oedd congl-faen y cyfanfyd i'w gosod, chwar-

elwyd hi allan o ddim, a llunweddwyd hi wrth *square* a *phlumb-line* anfeidrol ddoethineb a chelf. Yr Iesu yw yr un a dorodd ar ddystawrwydd ofnadwy tragywyddoldeb fel "Gair" Duw. Pan lefarodd gyntaf, llanwyd tragywyddoldeb â'i lais, a llanwyd anedd y nefau gan adlais moliant yr Arglwydd. Ceir y geiriau hyn gan Fab ac Arglwydd Dafydd mewn personoliad o ddwyfol ddoethineb: "Yr Arglwydd a'm meddianodd i yn nechreuad ei ffordd, cyn ei weithredoedd erioed. Er tragywyddoldeb y'm heneiniwyd, er y dechreuad, cyn bod y ddaear. Pryd nad oedd dyfnder y'm cenedlwyd, cyn bod ffynonau yn llawn o ddyfroedd: cyn sylfaenu y mynyddoedd, o flaen y bryniau, y'm cenedlwyd; cyn gwnenthur o hono ef y ddaear, na'r meusydd, nac uchder llwch y byd. Pan barotodd efe y nefoedd, yr oeddwn i yno: pan osododd efe gylch ar wyneb y dyfnder: Pan gadarnhaodd efe y cymylau uwchben; a phan nerthodd efe ffynonau y dyfnder: Pan roddes efe ei ddeddf i'r môr, ac i'r dyfroedd, na thorent ei orchymyn ef: pan osododd efe sylfeini y ddaear: Yna yr oeddwn i gydag ef, megys un wedi ei feithrin gydag ef: ac yr oeddwn yn hyfrydwch iddo beunydd, yn ymlawenhau ger ei fron ef bob amser; Ac yn llawenychu yn nghyfaneddle ei ddaear ef; a'm hyfrydwch oedd gyda meibion dynion."

Arferai yr hen bobl waeddi "Diolch" calonog gyda yr ysgrythyr aruchel hon. Nis gwn pa fodd y gall un meddwl ystyrbwyll a diragfarn amheu hunaniad y ddoethineb soniedig yn yr ysgrythyr uchod a'r *Logos*—y "Gair"—yn Ioan I.—Yr hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw—yr hwn oedd yn Dduw—"Trwy yr hwn y gwnaethpwyd pob peth, ac heb yr hwn ni wnaethpwyd dim ar a wnaethpwyd." Fod pob peth wedi ei greu iddo ef, yn gystal a chanddo ef, a brofir yn amlwg, yn neillduol yr Epistolau Paul. Efe gan hyny yw Creawdwr, yn gystal ag etifedd, pob peth. Efe yn awr yw y "Gair" ymgnawdoledig—y datguddiad goreu a llawnaf o'r galon Ddwyfol. Fel y cyfryw, gellir yn rhesymol ddysgwyl ei fod yn ddyfnach na neb yn nghariad y Jehofah—wedi ei "eneinio ag olew gorfoledd y tu hwnt i'w gyfeillion" uchaf. Mae ei Dad yn ei garu yn fwy na phawb a phobpeth; yn fwy na phob dyn; yn fwy na'r holl angelion. Mae efe yn ddysgleirdeb gogoniant y Jehofah; ac yn "wir lun" neu gymeriad "ei berson ef." Yn wyneb yr holl dystiolaethau hyn naturiol yw meddwl fod y Beibl i gyd, o Genesis i'r Datguddiad, yn dal perthynas agos iddo. Am yr Iesu, yn rhyw ffordd, yr ysgrifenodd ei haneswyr; ac yn ei hamryfal weledigaethau, gweled yr Iesu wnaeth y prophwydi, er o bosibl nad oeddynt hwy bob amser yn deall hyn. Digon tebyg mai priodol fuasai i'r Iesu ddweyd wrth Moses a'r prophwydi, lawer tro, fel y dywedodd wrth yr hwn a anwyd yn ddall: "Myfi, yr hwn wyf yn ymddyddan â thi, yw hwnw."

Mae ein testyn y tro hwn yn ein harwain yn uniongyrchol at, i, a thrwy, y Beibl. Arferid dweyd mai "Y Beibl yw llyfr y llyfrau"—Duw y llyfrau—y ffynon o ba un y derbynir ysbrydoliaeth a chynwysiad gan bob llyfr da arall. O, 'r lluoedd o enwau dysglaer y sydd na welsid byth mo honynt ar bapyr fel eiddo athronwyr, duwinyddion, a beirdd, oni bae yr hen lyfr dan sylw. Y Beibl yw llyfrgell y Cristion. Mae yn llawn amrywiaeth, ac felly yn cyfateb i ogwyddiad naturiol y meddwl cyffredinol, ac i chwaeth yn ei hamryfal deithi. Dylid edrych arno, er ei ddeall, yn ei wir gymeriad, fel cynyrch rhyw haner cant o awdwyr, naill ai yn uniongyrchol ysbrydoledig, neu yn ddwyfol arweiniedig, i ddethol ac adrodd yr holl ffeithiau a dygwyddiadau angenrheidiol er goleuo a diwygio teulu dyn yn mhob oes. Mae yn traethu ar holl destynau y meddwl dynol—ar lenyddiaeth, gwyddoriaeth, a chelfyddyd. Mae yn helaeth mewn hanesyddiaeth, bywgraffiaeth, amseryddiaeth, daeardraeth hynafol, a challineb (*prudence*) dynol. Yn mhlith ei awdwyr byth-enwog ceir haneswyr, athronwyr, areithwyr, a beirdd. Mae y rhai hyn hefyd yn ddetholedig o bob cylch a galwedigaeth mewn cymdeithas. Yn

eu plith ceir pysgotwyr, tir-drinwyr, bugeiliaid, celfyddydwyr, gwleidyddwyr, deddf-roddwyr, milwyr, offeiriaid, a breninoedd. Yn ei gynwysiad llawn ceir testynau dyddorus iawn i ddinasyddion yr Aipht, Chaldea, Media, Persia, Groeg, a Rhufain. Ysgrifenwyd rhai o'i gyfrolau yn Hebraeg, Chaldeaeg, a Groeg, gyda geiriau a brawddegau wedi eu mabwysiadu o holl ieithoedd hynafol pedair llywodraeth gyffredinol y byd. Mae yn llyfr pob oes, a phob iaith wreiddiol ar y ddaear; a medda yn gyflawn ddarpariaeth at bob cyflwr y gall plant dynion fod ynddo. Mewn argraffiad cyhoeddus na phersonol ni welais hyd yn ddiweddar y Beibl fel y dylai fod. Nid yn unig dylai enwau y gwahanol awdwyr fod wrth eu gwaith, ond dylai eu gweithiau ymddangos o dan eu penawd priodol, yn eu trefn amseryddol, hyd y gwyddys, a rhagymadrodd agoriadol iddynt, tueddol at dynu sylw at, ac agor deall y darllenydd o barthed y cynwysiad. Wedi cael hyn, ymgyfyd y cwestiwn yn naturiol, Pa fodd y gellid yn llwyddianus fyfyrio y gyfrol ysbrydoledig? I gyfarfod ymofyniad o fath hwn, dylai cynllun y Beibl i gyfranu addysg gael y sylw mwyaf. Fod gan y Beibl gynllun addysg, sydd mor sicr a bod gan natur ei chynllun wrth ba un y mae yn rhaid ei deall. Anmhosibl deall natur ond wrth y cynllun a awgryma natur; a llai na phosibl yw deall y Beibl ond wrth y cynllun a awgryma. Mae hyn hefyd yn wir am bob cyfundraeth a gwyddor adnabyddus i ddyn. Er fod ysgrifenwyr y Beibl yn lluosog ac amrywiol, yn byw am gyfnod maith, eto arweinid hwy gan yr un Ysbryd; ac heb chwarter amgyffred y ddyfais ddwyfol gynwysedig yn y rhan a gyfranasant at y *canon*, rhoddasant eu hysgrif-bin i lawr, a buont feirw. Diau mai ysbrydoliaeth yr un Ysbryd yw y Beibl, a gwaith llawer o is-wasanaethwyr, y rhai a weithredent yn hollol annibynol ar eu gilydd; ac er fod undeb yr Ysbryd i'w weled ar ei holl du dalenau, eto nodweddir ef drwyddo gan ddull ymadrodd ac arddull amrywiol, arwyddawl o wahanol ac amrywiol is-awdwyr. Os oes cynllun gan y Beibl, beth yw? Y mae yn llyfr rhyfedd, yn ddiau. Mae yn llafar Duw ac yn gorph i dderbyn ei anadl. Nodweddir ef gan holl amrywiaeth cyfansoddiad. Mae iddo ei orchymynion a'i addewidion, ei athrawiaeth a'i gyngorion, ei areithiau a'i bryddestau. Mae y rhai hyn i gyd wedi eu trefnu ar un cynllun mawr, sef *llinell famaidd a thadol Crist yn ol y cnawd.* Cynllun y Beibl, gan hyny, er ei ddeall, yw dod o hyd i Grist—hyd iddo fel canolbwynt yr oll—fel pob peth y Beibl; ac wedi ei gael, dal gafael annatodadwy ynddo. Fel y mae dringo corph y pren yn arwain i'r cangenau oll—yr uchaf yn gystal a'r isaf, felly mae dringo Crist yn arwain i holl gangenau hanesyddiaeth, athroniaeth, duwinyddiaeth, a barddoniaeth y llyfr dwyfol. Mae holl hanesiaeth gysegredig, holl ffeithiau ac ysgrifdystiau Beiblaidd, yn gysylltiol â hanes un teulu dynol o ddechreu amser. Mae gan hanesiaeth Feiblaidd un linell gyhydeddol yn rhedeg drwyddi, o Genesis i Malachi; ac oddiyno yn mlaen hyd at, a thrwy weledigaethau y dysgybl anwyl Holl ffeithiau, dygwyddiadau, gorchymynion, addewidion, a phrophwydoliaethau y llyfr dwyfol, a dyfant allan o wahanol ddygwyddiadau i linell achyddol un gwr, yn cyrhaedd i lawr drwy tua thri ugain a deg o bersonau. Nid yw yr holl hanesyddiaeth Feiblaidd ond dadblygiad o ffortiwn un o deuluoedd y ddaear. Dylai llinach y Messiah fod mor hysbys gan Feibl fyfyrwyr—a dylai pawb fod felly—ag *alphabet* iaith eu mam. Nid yw yr hyn a ddywedir am eraill yn y Beibl, na pherthynent i linell y Messiah, neu i deulu Seth, yn y cynfyd, Sem yn yr eilfyd, neu Isaac a Jacob wedi Abraham, ond peth a gyflwynir i sylw ac a ddadblygir pryd a lle yr oedd tystiolaeth fanwl am gyn-linach y Messiah yn ei wneyd yn rheidiol. Wrth yr hyn a ysgrifenwyd gwelir fod holl gynllun yr adroddawd Beiblaidd wedi ei dynu gyda golwg ar y Messiah. Teulu yr Iesu yn ol y cnawd ac yn ol yr Ysbryd yw yr unig un y rhydd gofrestriad llawn o hono. Mae yn dechreu gydag Adda,

mab cyntaf Duw; ac yn diweddu gyda yr Ail Adda. Yr Adda cyntaf a grewyd o'r forwyn ddaear; a'r Iesu, y cyntaf-anedig, a anwyd o'r forwyn Fair, a chyntaf-anedig oddiwrth y meirw, yw ei ddechreuad a'i ddiweddiad can belled ag mae a fyno ei hanesiaeth ag ef.

---

## "MI A GLYWAIS YN FY NGWLAD."

2 BREN. X. 6.

Tri theimlad sydd yn meddianu dynion mewn oedfaon—cael yno gymaint a'r dysgwyliad, a boddloni; cael llai na'r dymuniad, a chablu; a chael mwy na'r mynegiad, a chlodfori. Daeth brenines Seba i Juda, i wrando Solomon yn dysgu y dyrfa. Mynegwyd pethau mawrion iddo, a chafodd ganddo lawer mwy. Dymunaf finau i fy ngwlad awyr o dêr awelon; blodau o bur brydferthion; corlanau o ddefaid cyfebron; dolydd yn demlau meillion a briallu, i gyflwyno arogl byw i lys nefolion. Mae yr hanes a glywais yn fy ngwlad yn ormod i mi gyhoeddi; ond gwrandewch:

1. *Mi a glywais yn fy ngwlad y gweddiau taeraf.*—Magwyd fi ar aelwyd yr addoli; yr oedd yr anedd yn "dy gweddi," a byddai fy nhad yn "wylo wrth ddrws pabell y cyfarfod," ac yn dwyn "anrheg i'r ofnadwy." Beibl Peter Williams fyddai brenin y ty, yn dysgu ac yn deddfu deg neu ddeuddeg o deulu. A gwelais i y Gelli-lednais, gerllaw i Gaerfyrddin, ac yno yr oedd Peter Williams yn aneddu. Gwelais Landyfeiliog, ac yno mae Peter Williams wedi ei gladdu; a gwelais y maen ar ei fedd yn cwyno, "Nid fy ngelyn a'm difenwodd i," a Peter Williams yn achwyn ar y camwri. Pedwar bedd yn fy ngwlad a fuont yn fy nenu—bedd Joseph Harris, gyda Ieuan Ddu, bedd Christmas Evans yn serenu, bedd Dafydd Ionawr yn prydyddu, a bedd Peter Williams yn melldithio y diaelodi. Eithr nid y beddau a welais, ond y gweddiau a glywais yn fy ngwlad, oedd gyda mi. Rhy anhawdd anghofio agoriad capel yn Llanelli yn 1840—deunaw cant yn addoli, a gweinidog y Felinfoel yn dechreu drwy weddi. Yr oedd amryw o ddynion amlwg yr eglwys hono wedi eu claddu ychydig cyn gwyl y cysegru, a dwedai y gweddiwr, "Arglwydd, ti a weli angeu yn diffoddi y canwyllau a fu yn llewyrchu, ond y mae digon o olew a thân gyda thi i enyn mil o lampau newyddion; a gwna hyny heno." Erbyn hyny dyna ddwy o wragedd yn diosg eu gwar-leni, canoedd yn gwaeddi, ac un hen ddiacon yn curo ei ffon ar lawr y ty, megys un yn taro y tabwrdd i swyno y dyrfa o "Horeb, tua mynydd Seir a Cades Barnea." Dyna y tro cyntaf erioed i mi weled aflonyddu, neidio a llamu wrth addoli.

Elai brawd i bregethu a chasglu drwy fro Morganwg, a gwelais y gwenith ynddi yn uwch na fy mhen. Prydnawn gwlyb a gafodd i gyrhaedd yr addoldy. Eisteddai dyn yn ymyl y tân, yn ymddangos yn wyllt, yn byw dan gronglwyd o wellt, ac heb gymoni ei wallt â chrib er pan y bu yn marchnad Caerphili, yn rhodio i'r Rhydri neu ar y "Maen Chwyf," gyda llyfryn, yn dilyn y "sarph dorchog." Efe a alwyd i ddechreu yr oedfa drwy weddi, a dywedodd ynddi, "Dyma dy was bach di, Arglwydd, gyda ni; ond y mae yn ymddangos yn wan i'w ryfeddu, a'r gwlaw wedi ei wlychu, ond paid a gadael iddo i ddigaloni. Mae y cwar yma yn galed gyda ni, a'r meini ynddo yn *sound*, ie yn *sound* ofnadwy; ond y gwr a'r *fatchen*, dere heibio i ni, tylla o'i blaen hi, rho di y powdwr dani, gollwng y tân i losgi, a rhyddheir y meini yma. Mae Seion yn sych drwyddi; crea dy was yn gwmwl iddi, a dyfera arni ddigon o ddafnau i foddi y diafol cyn yfory." Dyna y weddi a gafodd Amenau dirifedi; hwyliodd y brawd i draddodi, a bu yn gwmwl yn dyferu.

Hir y bydd cofio a son am weddi hen ddiacon adnabyddus iawn i mi. Ar nos Sadwrn cyn y cyrddau mawrion, yr oedd cwrdd gweddi yn y festri, a dywedai Jonadab ynddi, "Arglwydd, dyma ni gyda dy fusnes di, a phaid di a'n gadael ni yma dan ein dyrnau i ddyrysu, na gadael ein brodyr y dydd

y fory i fod *dump damp* yn traddodi, ond digarega di y ffordd o flaen y *whilberi.*" A dranoeth, yn yr addoldy, hawdd fu addoli, rhwydd y pregethu, a nefolaidd y canu. Ac am a wn i yr oedd y dyben yn gywir, y galon yn union, a'r weddi a grym ynddi.

2. *Mi a glywais yn fy ngwlad y pregethu doniolaf.*—Rhaid i'r byw lonyddu, a myned i Abarim i godi Aaron, i Rama i godi Samuel, ac i Salem i godi Dafydd, ac i Timathserah i godi mab Nun, y byddaf fi, neu ail wrando y meirw yn ymadroddi; ac nid St. Bernard yn berwi, na Pedr y Mynach yn gwallgofi, na'r Pab Urban yn gyru y miloedd i'r lladdfa sydd gyda mi, ond telynau trugaredd yr efengyl yn fy ngwlad a glywwn i. Mi a glywais Davies, Clydach, yn fy moddloni; Davies, Llangloffan, yn difrifoli, a Davies, Abertawe yn y dyrfa yn gwreichioni. Mi a glywais Jones, Merthyr, yn afon lifeiriol; Jones, Caerdydd, yn blodeuo y ddol; a Jones, Caerfyrddin, a chynfrodorion Paradwys ganddo i ddaearolion. Mi a glywais Jenkins, Coginan, yn araf rodio; Jenkins, Caerodor, yn bloeddio; a Jenkins, Hengoed, yn dirfawr swyno. Mi a glywais David Thomas, Aberafon, yn ddifyrus; Benjamin Thomas, Penrhywgoch, a'i delyn ddawnus, a J. D. Thomas, Felinfoel, yn wr ieuanc medrus. Mi a glywais Roberts fawr, o Dredegar, yn malurio muriau Gehenna; Roberts, Dowlais, yn awel o Wynfa; a Roberts, Dinbych, yn lliwio y lili yn Mhalestina. Mi a glywais Williams, Aberystwyth, yn arabeddu; Williams, Llangloffa, yn agor y trysordy, a Williams, Blaenywaen, yn darlunio anian yn gwisgo ei choron. Bu i Bontypridd un James Richards yn rhagori; yn Llanwenarth, un Francis Hiley yn fywyd i gymanfa Mynwy; ac yn Arfon, un Robert Ellis, yn Gad i orfodi y llu.

3. *Mi a glywais yn fy ngwlad y canu pereiddiaf.*—(1.) Anianolion yno yn canu—Agora y gog gwrdd y gwanwyn, mwyalchen ddefnyddia y delyn, a'r ehedydd o'r sofl i'r ser yn esgyn, a salm ganddi, i alw y boreuddydd i godi trwy haf y flwyddyn 1861; bu yr eos yn Aberpengwm yn odli, yn Baglan yn dwsmelu, ac yn Margam yn cadw jubili. (2.) Awenyddion ynddi. Af i Lanwnda, yno y canwyd, "Tra dalio'r lamp i losgi;" i Landeilo Fach, yno canwyd "Y dyfroedd mawr a'r tonau;" ac i Bantycelyn, yno y canwyd emynau a wnant i angelion gusanu y fro drwyddi, ei dolydd ter a'r gerddi. (3.) Aruchel gerddorion ynddi; Dr. Joseph Parry, a David Jenkins yn Jeduthim iddi; Asaph Ebwy, a Caradog, yn Mhalas yr Haul, a fu yn canu y Saeson i ddystewi. (4.) Annheg fyddai gadael "merched cerdd" heb eu nodi—ei Susannah Davies, ei Miriam Williams, a'i Martha Harris, ac R. A. M. yn ei nodweddebu. *Royal Academy of Music* yw hyny, neu Rhosyn Amana, i Merari. Ac yn fy ngwlad y mae Madam Pattey, a Chraig y Nos yn neuadd i arglwyddes y dydd i ganu.

Ah! fy ngwlad, Llyfr y Salmau yw dy berthi, *Music Hall* yw dy erddi, ac anadl dyddanwch a geir yn dy chwaon di. Ynot ti y mae rhyddid a deyrnasa, golud a ddylifa, a gwynfyd a gana. Peth cyffredin ynot ti yw eglwysi yn naw cant o niferi—dy genadon yn gewri, a dy gerddorion yn llu.

*Hyde Park.* D. W. MORRIS.

---

## UNOLIAETH NATUR.

GAN Y DUKE OF ARGYLL.

### II.

Fel yr awgrymwyd yn barod, ein hamcan yn yr ysgrifau hyn ydyw ceisio rhoddi ger bron y darllenydd Cymreig *syniadau mawreddog* yr awdwr enwog mewn arddull Gymreig, yn hytrach na cheisio gwneyd hyny mewn cyfieithiad llythyrenol, caeth, trwy ddilyn yr arddull ddofn Seisnig.

Mae Natur yn gosod argraff uniongyrchol o unoliaeth ar feddwl yr arsyllydd. Yr oedd yr argraff yma am unoliaeth Natur yn cael ei gwneyd ar feddwl dyn cyn i wyddor gael ei geni, oddiwrth yr amlygiadau o drefn a dibyniaeth a welir ar unwaith yn mhob

cyfeiriad. Amcana yr awdwr yn ngoleuni gwyddor i ddilyn yr argraff hon i'w ffynonell, er gweled pa mor bell y mae yn gorphwys ar ffeithiau, a pha mor bell y mae yn cael ei chryfhau gan ddarganfyddiadau newyddion gwyddoniaeth. Gwelwn wrth fyned yn mlaen fod yr awdwr yn gosod pwys mawr ar natur gwybodaeth. Dywed rhai fod gwybodaeth yn gynwysedig yn hollol mewn darganfod perthynasau pethau â'u gilydd; ond y mae y dystiolaeth hon yn anghywir; er hyny y mae yn wir mai darganfyddiad gwahaniaeth ydyw *sylfaen* hanfodol gwybodaeth. Y mae darganfyddiad gwahaniaeth rhwng pethau a'u gilydd yn blaenori darganfyddiad tebygolrwydd rhwng pethau a'u gilydd. Mae yn dda cofio, gan hyny, na ellir ychwanegu gwybodaeth trwy esgeulusdod gwirfoddol o annhebygolrwydd a fodola rhwng gwrthddrychau. Mae gwyddonwyr yn colli y ffordd ac yn cam-arwain yn fynych yn y dyddiau hyn trwy roddi pwys gormodol ar ryw ddarganfyddiad newydd, pan mewn gwirionedd na fydd y cyfryw beth newydd ond peth dibwys mewn cymhariaeth i bethau eraill perthynol i'r un gwrthddrych. Pan y gwelir rhyw debygolrwydd, efallai y bydd annhebygolrwydd yn llawer mwy amlwg ac yn llawer mwy pwysig.—Meddylier fod y gwyddonwr yn gweled rhyw debygolrwydd mewn rhan o wrthddrych, i elfen neillduol, pan na fyddo hyny ond nodwedd fechan mewn cymhariaeth i'r pethau annhebyg ynddo. Mae yr awdwr yn dwyn y mater hwn i sylw yn fynych fel yr êl yn mlaen, a sylwa fod rhai gwyddonwyr yn rhoddi pwys gormodol ar ryw amlygiadau bychain anmherffaith a broffesant eu bod yn eu gweled o ddechreuad bywyd mewn elfenau, pan na fydd yr amlygiadau hyny ond dibwys ac arwynebol, ac yn *gwahaniaethu* mwy oddiwrth yr hyn yw bywyd na'r hyn y mae yn tebygoli iddo. Bydd yn burion i'r darllenydd ddal y sylwadau blaenorol mewn cof, wrth ddilyn yr awdwr yn ei sylwadau penigamp ar Unoliaeth Natur.

Yn ein herthygl gyntaf nodwyd am ddau rwymyn sydd yn uno natur, sef deddf pwys a thyniad goleuni. Yn ychwanegol dysgir fod gwres yn mhlith y rhwymau hyn. Mae yn hysbys yn bresenol fod yr *ether* sydd yn gyfrwng trosglwyddiad goleuni, yn gyfrwng trosglwyddiad gwres hefyd, tra y mae yn meddu y gallu o ysgogi neu i atal ffurfiad gelfyddydol elfenau. Mae yr arbrawfiadau drwy ba rai y mae y tri math hyn o ysgogiadau hylifol yn cael eu gwahanu, a phob un o honynt yn amlygu ei nodweddion gwahaniaethol yn dra hysbys yn awr. Gyda y rhai hyn eto mae nerthoedd trydaniaeth yn meddu rhyw berthynas agos, yr hyn sydd yn myned yn mhell i brofi moddau tebyg o weithrediad mewn rhyw elfen gyffredinol. Wrth ystyried fel y mae yr holl ffurfiau a wisga mater yn y byd anghyfansoddiadol a chyfansoddiadol yn ymddibynu ar eu gilydd—wrth ystyried fel y mae bywyd ei hunan yn ymddibynu arnynt, ac fel y mae yn cyneu neu yn diffoddi, yn ol fel y byddont yn bresenol mewn cyfartaledd dyladwy—mae yn anmhosibl, yn nghanol yr holl niferoedd mawrion hyn o nerthoedd ydynt wedi eu cylymu yn nghyd mor agos, peidio teimlo ein bod yn sefyll yn agos iawn yn wir at ryw weithredydd ymledaenol, os nad cyffredinol, yn mheirianwyith mawr Natur. Y darganfyddiad o gymaint o arddangosion cysylltiedig—arddangosion mor amrywiaethol, yn ysgogi mor wahanol trwy yr un cyfrwng, ydyw yr un mwyaf rhyfedd ac addysgiadol o holl ddarganfyddiadau diweddar gwyddoniaeth. Cynysgaedda i ryw raddau sylfaen faterol gadarn, ac un rheswm digonol mewn rhan, o'r hyn lleiaf, o'r argraff gyffredinol o unoliaeth y mae agweddion Natur yn ei adael ar y meddwl. Canys y mae yr holl waith a wneir gan yr un offeryn yn gyffredin yn dwyn olion yr offeryn hwnw, fel erfyn, arno. Mae pethau a wneir o'r un defnydd, beth bynag fyddont, yn sicr o debygoli yn y neillduolion hyny fo yn deilliaw o'r un defnyddiau, neu o rai tebyg, ac o foddau cyffelyb o weithredu. Ac mor belled, gan hyny, mae yn hawdd deall y cyfatebiaeth

parhaus ac agos a ganfyddir yn yr arddangosion lluosog cysylltiedig â gwres, goleuni, trydaniaeth, gweithrediad celfyddodol a bywydol. Ond er mai defnyddiad o'r un a'r unrhyw weithredydd yn nghynyrchiad effeithiau amrywiol, yn ddiamheuol, ydyw un achos o'r unoliaeth gweledig a nodwedda Natur, nid ydyw yr *unig* achos. Y mae yr un cyfatebiaethau agos yn bodoli pan na ellir olrhain allan yr arddangosion i'r un a'r unrhyw weithredydd. Fel hyn mae y modd y caria yr awyrgylch swn, yn debyg iawn i'r modd y mae *ether* yn cario goleuni; ond mae yr *ether* a'r awyrgylch yn weithredyddion tra gwahanol, ac y mae tebygolrwydd y deddfau ag mae tonau y naill a'r llall yn ufuddhau iddynt i'w briodoli i ryw achos arall a mwy cyffredinol o unoliaeth, nag unrhywiaeth defnydd. Mae yr achos mwy cyffredinol hwn i'w ganfod yn ddiamheu mewn un ddeddf gyffredinol, yr hon a benderfyna ffurfiau ysgogiad yn yr oll o Fater, ae yn neillduol mewn mater hylifol. Ond yn sicr, nid yw yr unoliaeth hwn sydd yn gynwysedig mewn un cyfrwng trosglwyddiad, hyd yn nod pe ceid allan ei fod yn fwy cyffredinol, ond y gris isaf o'r ysgol a'n caria i fyny at unoliaeth o natur mwy perffaith. Mae fod un offeryn yn cael ei ddefnyddio i ddwyn oddiamgylch fil o wahanol effeithiau, nid yn unig heb ymyriaeth a dyryswch, ond gyda y fath berthynas rhyngddo a gweithredyddion eraill, fel ag i arwain i gyfuniad perffaith yn yr effaith—y mae y fath gyfuniad o wahanol weithredyddion mewn gweithiad allan un ffaith, yn dyweyd am ryw unoliaeth tu cefn i'r cwbl —hyny yw, mae pethau fel hyn yn cyfeirio at unoliaeth mewn cyfaddasiad a llywodraethiad—yn cyfeirio at unoliaeth yn y gallu a roddir i ddechreu mewn gweithrediad ac yn nghyfaddasiad y gwrthddrychau ar ba rai y gweithreda.

Mae yn eglur fod unoliaeth effaith a dardda allan o'r ysgogiadau amrywiaethol a lluosog fel hyn, yn unoliaeth sydd yn gorwedd yn hollol tu cefn i unoliaeth materol yn unig, ac y mae i'w ddilyn hyd at ryw gyfaddasiad a chynlluniad a fodola wrth wraidd yr holl symudiadau. Gwyddom mewn perthynas i donau swn, nas gellir effeithio cyd-darawiad rhyngddynt, ond trwy ddefnyddiad cywrain o'r offerynau —cryniadau pa rai ydynt achos a mesur y tonau awyrawl, y rhai yn eu cyfuniad a gyfansoddant beroriaeth berffaith. Ac felly, yn gyffelyb, gallwn fod yn sicr fod cydgordiadau gwres, goleuni, ac ysgogiad celfyddydol, yn cael eu heffeithio; y maent yn mhlith rhifedi ac amrywiaeth dirifedi o ysgogiadau y rhai sydd yn hawdd eu gwahanu a'u taflu o'u lle, yn effaith rhyw gyfaddasiad rhwng yr elfenau gweithredol a weithredant ar y mân ronynau a gyfansoddant yr *ether*, cryniadau amrywiaethol ond cydgordiadol y rhai a gyfansoddant y goleuni.

Yn mhellach, fel y rhaid fod y cyfaddasiad hwn yn agos rhwng yr *ether* a'r cyrph fo yn ei ysgogi, felly hefyd y rhaid i gysylltiad cyfaddasol agos fodoli rhwng cryniadau yr *ether* a'r gwrthddrychau materol ar y rhai y gweithreda gyda y fath ddylanwad grymus. A phan ystyriwn rif a natur pethau y rhaid i'r cyfaddasiad hwn fod yn eu cynwys, gallwn, efallai ffurfio rhyw ddrychfeddwl beth yw y rhwymyn a'r bont a fodola rhwng arddangosiadau aruthrol yr wybrenau ac arddangosiadau lleiaf y ddaear. Canys rhaid i'r cyfaddasiad hwn fod yn berffaith rhwng yr amrywiol bethau hyn—yn gyntaf, yr elfenau tanllyd yn yr haul, y rhai a drosglwyddant y gwahanol gryniadau mewn cyfartaledd gwahanol; yn nesaf, cyfansoddiad y cyfrwng ag sydd yn alluog i'w trosglwyddo heb ymraniad, cymysgiad, na rhwystriad; yn nesaf, cyfansoddiad ein hawyrgylch, heb anffurfio, dyrysu, na diffodd y tonau; ac yn ddiweddaf, cyfansoddiad y ffurfiau hyny o Fater ar y ddaear sydd yn cyd-ateb, pob un yn ol ei ddeddfau ei hun, i'r cyffyrddiad a dderbynia oddiwrth donau, y gwres, y goleuni, a thrydaniaeth.

---

—Pwy a ŵyr werth amser?

# PWLPUD Y WAWR.

## Moses yn Ddeugain Mlwydd Oed.

GAN PARCH. A. WILLIAMS, YSTRAD RHONDDA.

"Trwy ffydd, Moses, wedi myned yn fawr," &c.—Heb. xi. 24—26.

Dyma'r bachgen y sonir am dano yn yr adnod flaenorol, erbyn hyn wedi dyfod yn ddyn. Moses bach yn Foses mawr; a'r hwn a amddiffynid *gan* Dduw, yn dyfod allan yn amddiffynwr *dros* Dduw a'i achos.

Cynwysai oes Moses gant ac ugain o flynyddoedd. Gellir rhanu y blynyddoedd hyn i dri chyfnod cyfartal—40 mlynedd yn llys y brenin—40 mlynedd yn nhir Midian—a 40 mlynedd yn arweinydd y genedl o'r Aipht i Ganaan.

Dechreu ar yr ail gyfnod y mae yma, sef ei ymadawiad a'r Aipht y tro cyntaf—cyntaf, am iddo ymadael â hi ddwywaith, sef i dir Midian, y'nghyda dwyn y genedl tua'i gwlad. Mae cyfnod o 40 mlynedd wedi cyfryngu rhwng yr amgylchiad yn yr adnod flaenorol a'r hwn a grybwyllir yn y testyn.

Mae Moses erbyn hyn wedi myned yn fawr, yn ddigon mawr i farnu a gweithredu drosto ei hun. Mewn modd goddefol y daw i'n sylw yn adn. 23ain, ond yn weithredol yma; cael gweithredu arno yr oedd pan yn blentyn, "pan *anwyd*," "a *guddiwyd* dri mis gan ei rieni;" ond yma gweithredu *arno* ac *o hono* ei hun y mae. Ffydd ei rieni sydd yn gweithredu arno pan yn fachgen, ond gweithredu *yn* a *thrwy* ei ffydd ei hun y mae wedi myned yn fawr. Mae y geiriau gan hyny yn cyflwyno i'n sylw WIR GREFYDD, yn ei nodweddau, yn ei thymor, ac yn ei sail; ac yn y drefn hon yr edrychwn arnynt.

I. *Gwir grefydd yn ei nodweddau.*—Mae yma dri gair yn gosod allan nodweddau gwir grefydd.

(1.) *Gwrthod.*—Mae gan bawb sydd yn ewyllysio bod yn ddysgyblion i Grist ryw bethau i ymwrthod â hwynt. Dim gwahaniaeth pa mor anwyl fyddant yn eu golwg, na pha mor dyn fyddant wedi ymgylymu am y serch, os yn myned yn erbyn teimlad a gorchymyn Duw, rhaid ymwrthod â hwynt. Yr oedd gan Moses gynifer o bethau i ymwrthod a hwynt, fel y tybiwn na fuasai dim ond gwir grefydd yn cyfreithloni y cyfnewidiad. Yr oedd cysylltiad perthynasol Moses a merch Pharao *wedi* sicrhau iddo bethau mawr yn y gorphenol; y cyfoeth mwyaf, y safle anrhydeddusaf, y ddysgeidiaeth gyflawnaf, &c., ac nid yw y naill na'r llall o'r pethau hyn ynddynt eu hunain yn niweidiol. A diau fod ei ragolygon dyfodol yn ddysgleiriach fyth—y freninfainc, y goron, &c. Nid ychydig o ddylanwad sydd gan *un* o'r pethau a nodwyd ar y meddwl dynol; mae yr ymdrech a ddangosir er sicrhau cyfoeth, &c., yn profi fod gan bob *un* o honynt le mawr yn y meddwl. Ond er eu bod yn eiddo naturiol i Moses, efe a'u gwrthododd. Mae y gwrthodiad yn un llwyr iawn—"a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh." Nid yn unig y cyfoeth, y safle, &c., a wrthododd, ond y berthynas hefyd. Nac anghofied y darllenydd ei bod yn parhau yr un fath. Mae cyfnewidiad cyflwr yn cynwys llwyr ymwrthodiad â phob pechod. Rhaid tori'r fraich, tynu'r llygad, &c., os yn rhwystr i fod yn ddilynwyr Duw fel plant anwyl.

(2.) *Dewis.*—Nid gadael ei safle o orfodaeth, a chymeryd rhywbeth a ddygwyddai, a wnaeth. Na, dyna oedd ei ddewisiad. Yr oedd ei ddewisiad yr un mor llwyr a'i wrthodiad. Dewisodd bobl yr Arglwydd.

(*a*) *Yn eu cymeriad.*—"Pobl Dduw." Mae rhywrai yn y byd yn mhob oes ag y mae yr Arglwydd yn Dduw iddynt; a beth bynag ddywedir am danynt, hwy ydynt ragorolion y ddaear yn nghyfrif y nefoedd.

(*b*) *Yn eu cyflwr.*—"*Adfyd* pobl Dduw." Mae rhywbeth yn swnio yn chwithig yn hwn. "Adfyd" yn gysylltiedig a'r cymeriad goreu!—y cymeriad sydd yn fendith i'r byd, ac yn addurn i gymdeithas yn dyoddef adfyd!! Iē, ddarllenydd, dyma ran eu phiol hwynt yn mhob oes; "Os ewyll-

ysia neb fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, efe a erlidir;" ond gwell hyny na chael mwyniant pechod dros amser. Mae "adfyd pobl Dduw," a "mwyniant pechod dros amser," yn ymadroddion cyferbyniol, a'r ddau yn ogyhyd eu parhad. Dros amser y mae adfyd yn gyfran pobl Dduw. Beth wedi hyny? Tragywyddol bwys gogoniant. "Nid yw dyoddefiadau yr amser presenol hwn yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant a ddatguddir i ni." Cyflwr a *date* penodol yn perthyn iddo ydyw mwyniant pechod drachefn. Beth wed'yn? Tragywyddol boen a gwae dan lid Duw. Bydd ddoeth, ddarllenydd yn dy ddewisiad.

(3.) *Barnu.*—Nid cynhyrfiad y foment effeithiodd ddewisiad Moses, ond myfyrdod dwys, a barn addfed. Mae yr Arglwydd yn cymell dynion i arfer eu synwyr a'u doethineb mewn materion crefyddol. "Tyred a gwel,"—"Chwiliwch yr Ysgrythyrau,"—"A wyt ti yn deall y pethau yr wyt yn eu dardarllen?" &c. Y rheswm fod cynifer o gamgymeriadau yn cael eu gwneyd, ydyw diffyg bwrw'r draul, a barnu yn briodol. Mae pen goleu a deall clir mor hanfodol i grefydd iawn ag yw calon gynes ac ysbryd uniawn. "Cynyddwch mewn gras a gwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist." Mae Moses yn cymeryd clorian barn yn ei law; yn y naill ben gesyd bethau goreu y ddaear, "trysorau yr Aipht," &c.; yn y llall rhydd bethau gwaethaf crefydd, "adfyd pobl Dduw," "dirmyg Crist," &c. Y *result* ydyw, "gan farnu yn *fwy* golud," &c. Creadur hynod am olud yw dyn; gadawa ei deulu am Australia, er mwyn golud; perygla ei fywyd ar y moroedd, a threiddia i galon y ddaear er mwyn golud, &c.; ond daeth Moses o hyd i faes golud rhagorach, lle mae golud gwell a pharhaus yn gorwedd yn blygion o'i fewn. Dirmyg Crist ydyw prif faes y Duwdod i gyfoethogi anfarwolion ar gyfer y byd a ddaw:

"Can's yn ei groes ceir coron,
Ac yn ei wawd ceir bri,
A thrysor yn ei gariad
Sydd fwy na'n daear ni."

"Gan farnu yn fwy golud *ddirmyg* Crist."

II. *Gwir grefydd yn ei thymor priodol.*—"Wedi myned yn fawr." Dengys y frawddeg hon nad oedd neb ond efe ei hun yn gyfrifol am y dewisiad a wnaeth; yr oedd wedi myned yn fawr. Yr oedd yn fawr mewn mwy nag un ystyr. Mewn dyddiau—yn llawn deugain mlwydd oed. Yn fawr mewn dysg a dawn—yn gyfarwydd yn holl ddoethineb yr Aipht. Yn meddu ar brofiad addfed o wynfyd amserol pleserau pechod, ac adfyd byr-barhaol pobl Dduw. Nid oes a fyno crefydd â dyn nes iddo fyned yn fawr—yn ddigon mawr i farnu a gweithredu drosto ei hun. Ymwneyd â dyn fel bôd meddyliol a deallol y mae yr efengyl; ac at y serch, yr ewyllys, a'r gydwybod y mae hi yn apelio ei hegwyddorion; ac hyd nes y daw y cyneddfau hyn yn alluog i dderbyn argraffiadau, a gweithredu oddiar rydd ewyllysiad, nid oes lle i dybied eu bod o fewn cylch galwad yr efengyl. Mae lle i gredu pe chwiliem yr eglwysi, fod rhifedi y gwir grefyddwyr yn llawer iawn llai na'r cyfrif a roddir yn y mynegiadau blynyddol. Pe tynid allan o'u mysg y rhai sydd heb fod yn fawr (neu yn analluog i gredu), y byddai lleihad nid bychan mewn llawer eglwys. Cyn y gellir cadw y llinell derfynol rhwng byd ac eglwys yn amlwg, dylid gwylio rhag ei llenwi â chrefyddwyr digrefydd. Dynion yn gwybod am gyfnewidiad cyflwr—am ddylanwad gras yn cyfnewid eu cyflwr i ddelw Duw—neu yn ol y testyn, dynion wedi myned yn fawr yw unig ddeiliaid priodol yr eglwys ar y llawr.

Os wedi myned yn fawr y mae dyn i ddewis galwedigaeth, cydmar bywyd, &c., sicr y dylai fod yn fawr cyn dewis yr hyn sydd bwysicaf yn ei hanes; ac efe ei hun ddylai ddewis, ac nid neb arall drosto. Buasai yn anmhosibl i Moses gael neb cystal a'i fam i'w fagu; buasai yn anhawdd cael neb gwell na merch Pharaoh i'w ddysgu; ond o bawb ar y ddaear, efe ei hun oedd y cymhwysaf i ddewis crefydd bersonol, yr hyn a wnaeth wedi myned yn fawr.

III. *Gwir grefydd yn ei sail ddigonol.* "Trwy ffydd." Yr oedd gan weithredoedd Moses obenydd esmwyth i bwyso arno—"ffydd." "Ffydd yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio," &c. Mae gan ffydd lygaid clir i weled yn mhell—can belled a thaledigaeth y gwobrwy. Nid oes digon o drwch yn niwloedd gorthrymderau y ddaear i rwystro i weled trwyddynt; yr ydoedd eiddo Moses yn treiddio trwy "drysorau yr Aipht," trwy "adfyd pobl Dduw," a thrwy "fwyniant pechod dros amser." Ond pan eu planodd ar "daledigaeth y gwobrwy," cafodd le i aros, a gorphwys yn dragywydd. Mae Moses, er's mwy na thair mil o flynyddoedd, yn syllu ar ryfeddodau gwlad y dydd, ond y mae mor bell o weled trwyddynt heddyw a'r fynyd gyntaf erioed. Bydded ei ran ef yn fraint i bawb o ddarllenwyr y WAWR.

*Hydref 6, 1880.*

---

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

VI.

—"Darllen llawer sydd flinder i'r cnawd," ebe Solomon. Mae'n debyg fod blinder Solomon wedi tarddu o ffynonellau gwahanol iawn i lawer o ddarllen; onide, ni buasai yn niwedd ei ddyddiau yn llefain, Gwagedd yw'r cyfan! Na, nid blinder sydd o ddarllen llawer, ond adloniad, hyfrydwch, eangiad y meddwl, a meithriniad yr enaid. Ond! Rhaid fod y darllen yn iawn, yn cael ei gario allan fel y dylid cario allan bob gorchwyl—yn synwyrol. O! y fath fendith anmhrisiadwy ydyw chwaeth at ddarllen. Pan byddi wedi dy gau yn dy ystafell gan afiechyd; wedi dy ymddifadu o bobpeth a weinyddai fywiogrwydd i'th ysbrydoedd a hyfrydwch i'th feddwl, y mae genyt drysor na all neb na dim dy amddifadu o hono. Os bydd trymder dy glyw yn dy analluogi i ddeall y bregeth a'r ddarlith, gelli estyn dy law a mwynhau athrylith Robert Hall a Christmas Evans, a lluaws o ardderchogion yr areithfa. Os, fel John Foster, yn analluog i fynychu y cysegr, fel cynt, gelli agor unrhyw un o'i gyfrolau, a chai o'th flaen wledd o'r pasgedigion mwyaf breision.

Y mae un fantais arbenig gan yr hwn sydd yn cael ei gyfyngu i'w lyfrgell yn unig am feithriniad meddwl ac ysbryd, sef, y gall ddewis ei gwmni, yr hyn nis gall wneyd bob amser, allan o honi. Y mae darllen un cyfanwaith aruchel, megys Lycides Milton—ei ddarllen nes ei ddeall yn drwyadl, ei feistroli yn hollol, yn efrydiaeth mwy gorphenedig na myned trwy holl ysgrifau Milton yn arwynebol. Felly hefyd gellir dweyd am bob awdwr clasurol Cymreig.

—Y mae Gwirionedd yn gadwyn euraidd sydd yn dal y daearol wrth y nefol, sydd yn rhoi sêl y nefoedd ar bethau daearol, ac yn argraffu anfarwoldeb arnynt.

—Y mae y Bregeth ar y Mynydd yn cyhoeddi moesoldeb sydd wedi ei sylfaenu mewn bucheddiad yn hollol; y safon wrth yr hon y mae yr hyn sydd yn iawn, a'r hyn nad yw yn iawn, yn cael eu penderfynu gan syniad bucheddol perffaith. Mae y safon hon i'r holl hil ddynol, a'i gwreiddiad yn nghymdeithas y ddynoliaeth yn cynwys cydymffurfiad personau i'r ddeddf sydd yn rheoleiddio bywyd yr hil ddynol yn gyffredinol. Nid yw y ddeddf foesyddol hon i gael ei difuddio; ac nis gall dim a ddywed Herbert Spencer, na neb arall, byth newid y syniad ysbrydol o'r hyn sydd yn iawn, a'r hyn nad yw yn iawn.

—Yr oedd hen gwpl wedi cyrhaedd eu can' mlwydd, a chanddynt dair o ferched; bu yr ieuengaf farw yn ddibriod, yn 72 mlwydd oed. Yr oedd yr hen fam yn ei galar ar ei hol, fel nad oedd modd ei heddychu; rhaid mai hon oedd *pet* y fam oedranus, oblegid ar ei dychweliad o'r cynhebrwng, dywedai wrth ei gwr, yn nghanol ei dagrau a'i hocheneidiau: "Dywedais wrthyt bob amser, Shon, nas gallem byth fagu y plentyn yna!"

—Pan agorodd y Barnydd Smith, Connorsville, Tennessee, y Llys un boreu, dechreuodd trwy ddyweyd: "Y mae William Henry Smith yn cael ei gyhuddo o ymosodiad ar ei dad." Y dydd o'r blaen yr oedd y Barnydd wedi taro ei dad i lawr gyda phastwn, ac efe ei hun oedd o flaen y fainc. Ychwanegodd ei Anrhydeddusrwydd: "Mae y prawf yn ddiamheuol; ac nid wyf yn hollol sicr na ddylwn anfon fy hun i garchar am ddeg niwrnod. Ond gan mai hwn yw fy nhrosedd cyntaf, ac yn sicr yr oeddwn wedi cael llawer i fy nghyffroi, mi a osodaf ddirwy o ddeg dolar arnaf." Felly anrhydeddwyd y gyfraith!

—Y mae llawer afon fwy na'r Euphates; ein Mississippi, yn hwy o un ran o dair, a chwaneg; oblegid, tra nad yw hyd yr Euphrates ond deunaw can' milldir, mae y Mississippi dros dair mil o filldiroedd. Ond nid oes afon yn yr holl fyd o amgylch enw yr hon y mae dyddordeb yn clysdyru i'w chydmaru a'r Afon Fawr Euphrates. Mae y prydferth a'r aruchel yn gymhlethedig yn y golygfeyd a'u cylchyna. Pa ddyffryn sydd mor llawn o swynion hanesyddol a dyffryn yr Euphrates? Nid oes un. Yn y dyffryn prydferth hwn y mae disgynyddion yr Hebreaid a wrthodasant ddychwelyd gyda Esoras, yn byw. Bagdad yw eu prif breswylfa. Mae y gwragedd yr harddaf o holl ferched y byd. Yn agos i Babilon mae bedd Ezekiel, ac ar ei gyfer y lyfrgell fwyaf yn y Dwyrain. Yr oedd ynddi rai o'r ysgrif-lyfrau hynaf yn y byd, ac yn eu plith pum' llyfr Moses, wedi eu copio gan wyr i Aaron. Poblogid un rhan o'r dyffryn gan Hanesyddion, olyddion y Cristionogion boreuol. Mewn rhanau eraill ceir Mahometaniaid, Tyrciaid, a Saraceniaid. Yr oedd y Saraceniaid, plant Ismael, yn noddwyr y celfyddydau, ac yn symbylu gwareiddiad. Yn y man lle mae y Tigris a'r Euphrates yn cydgyfarfod, yr oedd lleoliad Gardd Eden, wedi ei benderfynu trwy gloddiadau diweddar. Dau gan' milldir i fyny yr Euphrates ceir adfeiliadau Babilon. Y mae Twr Babel yn sefyll hyd heddyw. Nid oedd dim yn flaenorol yn debyg i'r ddinas a gynlluniodd Nebuchodonosor; ac efe oedd un o brif adeiladwyr y cyn-oesoedd. Yr oedd Babilon yn berffaith sgwâr, ac yn driugain milldir o amgylchedd. Yr oedd wedi ei hamddiffynu â chylchffos ddofn, i'r hon yr arllwysid dyfroedd y Tigris a'r Euphrates. Yr oedd iddi wal dri chan' troedfedd o uchder, cant o byrth pres, rhodfeydd bymtheg milldir o hyd; tri chant o leoedd (*squares*) pedwar-ochrog, a pharc yn nghanol pob un o honynt. Fel mae y darganfyddiadau diweddar a geir yn barhaus trwy gloddio lleoedd nodedig, yn cadarnhau gwirionedd hanesyddol y Beibl!

—Y mae y Parch. George F. Pentecost, yr hwn fu unwaith yn weinidog eglwys y Bedyddwyr yn Hanson Place, Brooklyn, N. Y., wedi derbyn galwad i eglwys Gynulleidfaol Tomkins Ave., yn yr un ddinas. Am y tair blynedd diweddaf y mae y gwr parchedig wedi bod yn efengyleiddio, heb ofal unrhyw eglwys, ac am y ddau fis diweddaf bu yn cynal adfywiadau yn Yonkers, N. Y. Ymddengys i'r pwyllgor fu yn ymddyddan ac yn ymgyngori â Mr. Pentecost, gael eu llwyr foddloni am iachusrwydd ei ddaliadau. Mae'n wir iddo ddyweyd, ond iddo gael ei ddewis, y byddai yn well ganddo enwi baban heb ddefnyddio dwfr arno,

> **A thaenellu 'i dalcen ronyn,**
> **Cyn rhoi'r goron ar ei goryn.**

Eithr os dymuna y rhieni ddefnynau o ddw'r, pob peth yn dda; nid oedd ganddo wrthwynebiad. Pum' mil yn y flwyddyn yw y cyflog, a chwech wythnos o seibiant yn yr haf. Dyma gyflawniad eto o brophwydoliaeth Wm. Jones, Jennieton, Wis., am dueddrwydd rhydd gymundeb.

—Yr oedd Whiston un tro yn ymddyddan a'r Arglwydd Gangellydd King, yr hwn a ddygwyd i fyny yn Ymneillduwr, ond a gydymffurfiodd; cyfododd dadl rhyngddynt yn nghylch arwyddo erthyglau nad ydys yn eu credu, er mwyn enill dyrchafiad. Cyf-

iawnhawyd hyn gan y Canghellydd; "O herwydd," ebe efe, "ni ddylem golli ein defnyddioldeb er mwyn pethau bychain." Whiston, yr hwn oedd o feddwl hollol wahanol, a ofynodd i'w Arglwyddiaeth, "A oeddynt yn ei lys ef yn caniatau y fath hoced-waith?" Atebodd, "Nac ydym." "Yna," ebe Whiston, "meddylier fod Duw mor gyfiawn yn y byd nesaf ag yw fy Arglwydd Ganghellydd yn y byd hwn, pa beth a ddeuai o honom?"

—Drwy'r newyn draw o'r niwaid—at yr
Tro unwaith dy lygaid; [Iawn
Yno y ffoi—O! na phaid,
I brynu bara enaid.

# Adran yr Adroddwr.

## GOLYGFA AR OL BRWYDR.

Marchogais dros faes y frwydr yn fore; yr oedd ein byddin ni wedi dyfod i fyny i'w feddianu, ac yr oedd yr olygfa arno tu hwnt i ddarluniad. Wrth fyned i'r maes yn y pwynt lle yr oedd ein magnelau wedi eu gosod, daethum ar draws niferi o geffylau meirw ac yn marw, y rhai gyda'r gyrwyr a'r gynwyr oeddynt yn gorwedd yn bentwr ar eu gilydd, a'u gynau dynoethedig, eu cistiau pylor wedi eu chwythu i fyny gan y gelyn, a'r cwbl yn dangos golygfa o anrhaith. Yna daeth y pwynt lle yr oedd ein gwyr traed. Yr oedd y ddaear am filldiroedd wedi ei gorchuddio â'r cyrph mathredig, a'r rhai oedd yn marw, yr hyn a ddangosai gyda'r fath egni arswydus yr oedd ein dynion wedi myned yn mlaen, a chyda'r fath egni yr oeddynt wedi eu gwrthwynebu. Yr oedd dynion wedi eu mathru yn mhob modd a ellir ei ddychymygu, i'r nifer o ddeng mil, o fy mlaen yn daenedig. Ni soniaf am boenau ein pobl glwyfedig ein hunain yn bresenol, ond awn i ochr y gelyn o'r maes, lle y mae haner y nifer yn gorwedd. Yr oedd yno ddynion a'u breichiau, coesau, a'u dwylaw wedi eu saethu ymaith, cyrph wedi eu rhwygo, a wyneb-ddulliau wedi eu gwyrdroi, ac wedi duo. Yr oeddwn yn gallu edrych ar hyn oll yn ddigyffro, ond nid allwn lai na thosturio wrth y clwyfedigion. Yr oedd yno un truan a'i gefn wedi tori, yn ceisio myned yn mlaen drwy help ei ddwylaw, gan lusgo ei goesau ar ei ol, i fyned allan o'r rhychau yd ag yr oedd y gwlaw y nos o'r blaen wedi eu llanw. Yr oedd yma hefyd un a'i ddwy goes wedi eu saethu ymaith, yn ymegnio gosod ei gorph mathredig i sefyll yn erbyn dryll oedd wedi ei wthio i'r ddaear. Yr oedd yno fachgen prydferth un-ar-bymtheg oed, a chanddo wallt tlws, yn gorwedd a'i ddwy goes wedi eu tori, ei haner yn y dwfr, ei ddanedd wedi eu cau yn dŷn, ewinedd ei ddwylaw wedi suddo yn ei gnawd, a'i holl gorph yn dirgrynu gan ing, ac wedi cysgu gan oerni. Yn yr amgylchiad hwn, aeth fy nhosturi yn drech na fy nigter, a disgynais, tynais ef o'r dwfr, a rholiais ef mewn gwrthban, am yr hyn yr ymddangosai yn dra diolchgar. Un o'r pethau mwyaf tarawiadol a welais ydoedd dau frawd (bechgyn) wedi eu clwyfo, y rhai oeddynt wedi cydymlusgo, ac un o honynt wrth geisio gwneuthur gobenydd i'r llall gyda gwrthban, wedi cwympo, ac yr oeddynt wedi meirw a'u breichiau am eu gilydd, a'u bochau yn nghyd. Ond fe â'ch calon yn glaf wrth glywed y pethau hyn, megys yr aeth fy nghalon inau wrth eu gweled; gan hyny ymataliaf.

## CATHL I'R EOS.

(GAN ALUN.)

Pan guddio nos ein daear gu
O dan ei du adenydd,
Y clywir dy delori mwyn,
A chôr y llwyn yn llonydd;

Ac os bydd pigyn dan dy fron,
Yn peri i'th galon guro,
Ni wnei, nes toro gwawrddydd hael,
Ond canu a gadael iddo.

A thebyg it' yw'r Feinir war,
Sydd gymhar gwell na gemau;
Er machlud haul, er hulio bro
A miliwn o gymylau;
Pan dawo holl gysurwyr dydd,
Hi lyna yn ffyddlonaf;
Yn nyfnder nos o boen a thrais
Y dyru lais felusaf.

Er dichon fod ei chalon wan
Yn delwi dan y dulid,
Ni chwyna i flino ei hanwyl rai—
Ei gwên a guddia'i gofid;
Ni phall ei chân drwy'r ddunos faith
Nes gweled gobaith golau,
Yn t'w'nu, megys llygad aur
Drwy bur amrantau'r borau.

# Bwrdd y Golygydd.

## YCHWANEG AM GYMRU.

Yr ydym yn rhwym o ddweyd gair yn mhellach am Gymru; hyny yw, am Gymru fel y gwelsom bethau yno yn ddiweddar; canys mae y meddwl, y myfyrdod, y dychymyg, yn ehedeg yno o hyd. Rhyfedd iawn fel mae hen adgofion ac argraffiadau yn bywiocau, yn gloewi, ac yn ymddangos i'r bryd o'r newydd, yn debyg fel pe bae llen dew o lwch wedi ei ysgubo ymaith oddiar len y cof.

Yn nghyfarfod mawr yr Undeb, yn Nghaerdydd, dygwyd, fel yr hysbysasom, y pwnc o "Addysg Uwchraddol i Gymru," i sylw, a phasiwyd penderfyniadau brwdfrydig yn cefnogi yr unrhyw. Yn nghymdeithas y Parch. Mr. Morris, Aberystwyth, deallasom fod cael y flaenoriaeth mewn cynhyrfu y wlad o blaid y mater hwn o bwys yn ngolwg amryw o'n prif weinidogion, yn nghyrddau yr Undeb. Ymfalchiem yn hyn o beth, canys amlygai bresenoldeb elfen werthfawr yn nghymeriad corph bwysig o Gristionogion. Myn rhai mai y Methodistiaid Calfinaidd sydd wedi arfer blaenori mewn symudiadau cyhoeddus a dueddent at wellhau y genedl. Yn bresenol, modd bynag, mae y rhod wedi troi, fel y cawn engraifft o hyny yn y mater dan sylw yn Nghaerdydd. Os oeddym ni ar ol yn hyn, cofier mai nid o herwydd dyeithrwch ac estroneiddiwch moddion gwelliantol i'n hegwyddorion, nac ychwaith i gwrs ein hanes, ond yn hollol i ddiffyg cyfrwng, neu sefydliad addas a phenodol i weithio allan bethau o'r fath yn ymarferol. Y mae yr Undeb, modd bynag, wedi gollwng yn agored argae oedd o'r blaen megys yn gronedig. Nid peth dibwys yn y cyfeiriad daionus hwn oedd blaenori mewn mater mor hanfodol i lwyddiant pobl, ag yw mater addysg. Eto i gyd yr oedd y symudiad amserol hwn mor naturiol i'r Bedyddwyr ag anadlu; oblegid pwy a ddysgwylid i flaenori mewn cymhell moddion addysg, ond y bobl hyny sydd yn rhoddi cymaint pwys ar gomisiwn ein Harglwydd—Ewch i'r holl fyd, a "*dysgwch*" yr holl genedloedd, fel y cam cyntaf mewn gwneuthur dysgyblion i Iesu Grist.

Da oedd genym weled y Parch. Abel J. Parry, Abertawe, yn meddu y fath safle anrhydeddus mewn cysylltiad a chymdeithas sobrwydd a dirwest. Cawsom y pleser o'i wrandaw ef yn Mhwllheli yn traddodi anerchiad pwrpasol a grymus ar y pwnc. Cyfarfod mawr poblogaidd oedd hwn o dan nawdd amryw o oreugwyr y Sir, perthynol i'r gwahanol enwadau, heb eithrio Eglwys Loegr. Mae Mr. Parry yn sefyll yn y cysylltiad hwn yn awr yn Nghymru yn debyg fel y safai yr hybarch John Prichard, D. D., Llangollen, yn yr oes o'r blaen. Er hyny na thybier fod Mr. Parry yn sefyll ar ei ben ei hun yn hollol yn y peth hwn, canys y mae cymdeithas ddirwestol o dan nawdd Undeb Bedyddwyr Cymru, ac amryw o'n

gweinidogion yn bleidwyr selog iddi. Pwy, wrth ystyried y fath alanastra y mae meddwdod wedi ei wneyd yn Nghymru, yn ngwersylloedd Seion, ac hyd yn nod yn rhengau gweinidogion enwog a thalentog, na ddymunai o'i galon weled sobrwydd a chymedroldeb yn ffynu yn gyffredinol?

Un prydnawn, mewn agerfad, croesem afon Menai, yn nghymdeithas dwy chwaer i ni, Margaret ac Ellen, gyferbyn a chastell Caernarfon, er cael y boddhad o droedio am awr ddaear Mon. Y pryd hwnw cawsom ymgom fechan ag offeiriad eglwys Tremadog. Adnabyddai fi, meddai, fel Americanwr. Ni ddarfu i ni dynu ein diddosben yn ei bresenoldeb, na gwneuthur rhyw foesgyfarchiad neillduol iddo, er ei fod yn offeiriad Eglwys Loegr. Ystyriwn fy hunan cystal ag yntau, wrth gwrs. O ran hyny nid oes cymaint o ryw "*siapsia*" yn cael eu gwneyd yn bresenol yn Nghymru mewn ffordd o gyfarchiadau ac ymostyngiad ag a fyddai gynt. Nid wyf yn cofio i mi sylwi ar un hen wreigan, na neb, yn gwneyd "cwrtsi," fel cynt, i neb pwy bynag.

Mab y diweddar Barch. John Jones, Llanberis, sef y Parch. E. E. Jones, gweinidog Rhosybol, Mon, sydd yn debyg o droi allan yn bregethwr cymeradwy iawn fel ei dad. Y mae fod eglwys Porthmadog yn siarad am roddi galwad iddo, fel un peth, yn arwyddo ei enw da fel dyn ieuanc gobeithiol. Cawsom y pleser o fwynhau ychydig oriau yn ei gymdeithas ef. Tybiem y gwelem lawer iawn o debygolrwydd ynddo yn rhagorion cymdeithasol ei ymadawedig dad.

Dylasem fod wedi cofnodi yn gynt enw y Parch. W. Evans, Cefncymerau, Sir Feirionydd, yr hwn er's llawer blwyddyn, bellach, a'n cyd-gladdodd gyda Christ yn y bedydd. Nid ystyrir ef yn meddu ar ragoriaethau pregethwrol ei hybarch dad, sef y Parch. Evan Evans, y Garn, gynt; eto cydnabyddir ef yn bregethwr efengylaidd, buddiol, ac adeiladol. Mae wedi bod yn weinidog yn y lle uchod er's deng mlynedd ar hugain o'r hyn lleiaf, ac wedi bod yn barchus, defnyddiol a llwyddianus yno trwy yr holl flynyddau.

Yn Lerpwl, galwasom gyda ein gweinidogion yn y dref fawr hono—y Parchn. Charles Davies, Walter Samuel, John Davies, Bootle—(pregethasom yn ei gapel ef; brawd anwyl, caredig, ydyw)—a L. W. Lewis. Mae'r gweinidogion hyn yn ymddangos yn gysurus a defnyddiol iawn.

Y Parch. John Williams, Colwyn, G. C., Garn gynt, a welais yn Nghwrdd Chwarter Ffestiniog; dyn da a Christion cywir, a phregethwr cymeradwy, yr ystyrir ef. Y mae wedi cael trallodion teuluaidd lawer ar hyd y blynyddau, gan waith angau yn ei amddifadu o'i anwyl wraig a'i blant.

Daeth i'n rhan i gael clywed y Parch. William Jones, Abergwaen, (mab Alltud Glyn Maelor), yn pregethu amryw droion, ac unwaith yn nodedig o dda, yn nghwrdd blynyddol Pwllheli. Ei destyn oedd yn Esaiah, am Dduw yn maddeu. Penau ei bregeth oeddynt—Athroniaeth maddeuant; Barddoniaeth maddeuant, a Cherddoriaeth maddeuant. Doniol a dylanwadol iawn, yn wir.

Nis gallwn ymatal ('does mo'r help), crybwyll am y dyddorion canlynol ar brif heol Pwllheli, G. C., sef y *Crier* a'r *Royal Mail.* Y *Crier* oedd gwladeiddyn syml, gyda'r gloch, yn gwneyd yn hysbys arwerthfa oedd i fod yn fuan mewn ffermdy yn y gymydogaeth. Adroddai mewn arddull ac iaith werinol ddiniwed, y pethau oeddynt i fod ar werth, o'r anifeiliaid goreu a mwyaf, i lawr at y "perchyll bach"—o'r esmwyth-gerbyd i lawr at y "ferfa olwyn." Aem allan i ddrws y ty lle yr oeddym, a gofynem lle yr oedd y "ffair fawr" i fod, ac atebai yntau ni yn ddigon parod, er fod hyny yn tori ar linyn ei stori.

Mewn perthynas i'r *Royal Mail,* nid oes genym ond dweyd, rhag i neb gamsynied, nad oedd yn amgen i gerbyd bychan dwy olwyn, yn cael ei dynu gan asynyn hir-glustiog, yn cael ei yru gan werinwr syml, gyda darn o bren cryf yn ei law, yr hwn a ddaliai uwch-

ben yr anifail, fel yn gymhellydd iddo i wneyd y goreu o'i ffordd. Wrth holi, deallem mai *Royal Mail* Lloegr ac Aberdaron ydoedd, yr hon a urddasolid gan arwyddion breninol y Llywodraeth.

## CYDNABYDDIAETH.

Mae gan olygydd y WAWR i gydnabod yn ddiolchgar gefnogwyr y cyhoeddiad ag ydynt wedi eu helpu yn yr wythnosau diweddaf mewn anfon i mewn eu tanysgrifiadau o bell ac agos, ac hefyd am y sirioldeb a'r caredigrwydd a ddangosir iddo ar ei deithiau trwy y wlad. Mae yn galondid mawr i ni gael ar ddeall fod cymaint i'w cael ag ydynt yn cydymdeimlo â ni yn y cyfrifoldeb dirfawr sydd arnom mewn dwyn allan yn rheolaidd gyhoeddiad yr Enwad. Mae ein *dymuniad* am wasanaethu yr Enwad trwy y cyfrwng hwn yn gryf a difrifol, a chredwn nad oes neb yn ein plith y mae eisiau dyweyd wrtho mewn perthynas i fywyd y cyhoeddiad, "Na ladd."

## ORDEINIAD.

Rhagfyr 16, ordeiniwyd Mr. T. C. Probert, mab yr hybarch D. Probert, Youngstown, O., yn weinidog yr eglwys Fedyddiedig Seisnig a elwir *Duck Creek Baptist Church*, Mount Lookout, Cincinnati, O. Cymerwyd rhan yn y gwaith gan brif weinidogion y dref. Rhoddodd Mr. Probert foddlonrwydd mawr i'r pwyllgor arholiadol, a saif yn uchel yn meddyliau a theimladau aelodau ei eglwys. Mae Mr. Probert yn ddyn ieuanc o gymeriad dilychwin, o argyhoeddiadau difrifol, yn efengylydd tirion, a diau y profa yn meddu ar gymwysderau lawer i fod yn weinidog cymwys y testament newydd. Dymunwn lawer o lwyddiant iddo yn ei faes dyfodol.

**—Glaniodd wyth o'r Jesuitiaid a yrwyd allan o Ffrainc, yn New York, ddydd Sul, y 5ed o'r mis diweddaf.**

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—*The Cambrian* sydd gyhoeddiad Seisnig dau-fisol a ddygir allan yn Cincinnati, O., gan Mr. D. I. Jones, yn cynwys Hanes, Bywgraffiaeth, Llenyddiaeth, a Newyddion Cyffredinol cenedl y Cymry. Pris $1 y flwyddyn. Ymddengys hwn yn gynyg rhagorol a chanmoladwy i wasanaethu ein cenedl ni. Gellir ei gael trwy anfon at D. I. Jones, 172 Race Street, Cincinnati, Ohio.

—Mae eglwys newydd ei sefydlu i'r Bedyddwyr yn Girard, O.

—Addawa y Parch. D. W. Morris, Taylorville, Pa., ysgrifenu yn gyson i'r WAWR.

—Mae eglwys Mineral Ridge, O., wedi sirioli yn fawr o dan weinidogaeth y Parch. C. Jones, ac ymddengys Mr. Jones a'i briod yn dra chysurus yn eu lle newydd.

—Ymddengys fod pawb am gael y "Llaw-lyfr Moliant." Cofier ein bod yn dysgwyl cyflenwad o'r llyfr hwn yn fuan o Gymru.

—Ysgrifena Dr. Jones, Llangollen, atom, gan ddweyd fod yn anmhosibl iddo gydsynio â'n cais, sef ysgrifenu yn fisol i'r WAWR Eglurhadaeth Ysgrythyrol. Gyda llaw, da genym hysbysu y bydd ysgrif dda o'r natur yna gan Dr. Cefni Parry yn ein nesaf.

—Arwyddair y WAWR ydyw, tangnefedd, heddwch, a brawdgarwch. Y mae'n ddrwg genym fod elfenau croes i hyny yn ffynu mewn manau. "Parhaed brawdgarwch" yn y lleoedd ydynt yn "nghwlwm tangnefedd."

**—Mae yr erledigaeth y mae yr Iuddewon wedi ei gael yn ddiweddar yn Germani, yn arddangosiad trist o'r dallbleidiaeth, anoddefgarwch, ac anwybodaeth sydd eto yn bodoli yn meddyliau dynion cyhoeddus.**

**—Mae y Pab yn cyfranu $60,000 y flwyddyn tuag at gynal 52 o ysgolion a osodwyd i fyny yn Rhufain, dan lywodraeth y Vatican, i'r dyben o wrthweithio ysgolion Protestanaidd a Chenedlaethol.**

# Barddoniaeth.

## ENGLYNION

ER COFFADWRIAETH AM Y PARCH. THOMAS HOLLAND, DODGEVILLE, WIS.

GAN H. C. PARRY, D. D. (CEFNI.)

Am Holland y mae wylo—a hiraeth
O herwydd ei briddo;
Seion fwyn geir yn cwyno,
Ofer lef ar ei ol o.

Mwy siriol na threm y seren - ydoedd,
A'i nwyd yn nef elfen;
Araeth bur weithiai o'i ben,
Efengyl i'n prif angen.

Ei barch a'i gyfarch gafodd—heb lygriad,
Ei boblawgrwydd ddaliodd;
Enw iddo gynyddodd,
Yn yr un man, yr un modd.

Yn Dduwinydd o anian—y'i cafwyd,
Yn dwyn cyfoeth allan,
O grothau mwngloddiau glan,
Dianaf, Duw ei hunan.

Chwiliai, yn ddiwyd, uchelaf—addysg,
Y Datguddiad llawnaf;
Esponiai wersi penaf,
I'n lles ni, ewyllys Naf.

Gair Ion, safon gwirionedd—crefyddol,
Cryf oedd, ato, 'i duedd;
Lluniai, mewn llawn amynedd,
O lin hwn, ei gred lân wedd.

Athrawiaeth cred a bedydd—a ddaliai,
Yn ddilwgr mewn crefydd;
Credai, a chyffesai'r Ffydd,
O galon, heb gywilydd.

Rhodiai yn ddiwaradwydd—ar lenyrch
Pur oleuni'r Arglwydd;
A sant, gwir deilwng o swydd
Y didor athraw dedwydd.

Llenwai ei ddiwyll anian—o hwyliau
Nefolaidd, yn gyfan;
A'i enaid ynddo'i hunan,
Nofiai i lys y nef lân.

Ein brawd! mae ein calon yn brudd - o'i farw,
A theimlwn fawr gystudd;
Y dywarchen, du orchudd,
Heddyw roed ar ei hardd rudd.

Ac er rhoi ei gorff i'r graian—lle'r hun
Holl wraidd ei frau anian;
O'i rwym caeth yr aeth ei ran
Anfarwol i'r nef eirian

E ddaw Holland o'i fedd, eilwaith—heb ol
Un bai, ond yn berffaith;
I'r Iesu 'i fawl, drwy'r oes faith,
Ddyry, mewn newydd araith.

## HIRAETHGAN

Ar ol y PARCH. THOMAS HOLLAND, Gan Mrs. ROACH, Dodgeville, Wis., sef merch i'r ymadawedig TREBOR.

Ein bugail hoff, pa beth a ddaeth,
A barodd i ti fyn'd yn gaeth,
Dan gloion angau, 'r gelyn du,
A'th eisiau yma fel y bu?

Gwrandewch, ddeadell fechan fwyn,
'Rwyf am gael ateb hyn o gwyn:
Y Duw gwir ddoeth a drefnodd hyn,
'Rhwn farw 'i Fab ar ben y bryn.

Wel, fugail mwyn, beth ddaw o'r praidd
Fu tan d' arweiniad i'r porfeydd?
Nid oes o fewn ein cynull-fan,
Anwylach un wrth raid i'r gwan.

Braidd bychan, na thralloder chwi,
Daw eich ymwared oddi fry;
Ymborthwch yn y meusydd pur,
Duw a'ch arddelo am y gwir.

Clybuwyd llef a galar mawr,
Wylofain ac ochenaid 'nawr,
Yn mhlith dy deulu yma sydd
Yn unig iawn o ddydd i ddydd.

Mae Tad 'r amddifaid eto'r un,
Cânt loches tan ei aden gun,
Fe wrendy ar ochenaid wan,
A ddaw o'r fynwes friw i'r lan.

Mae Sardis 'nawr mewn galar wisg,
Trwy golli ein Holland teg o'n mysg,
'R areithfa'n wag o'r doniau byw,
Fu'n dadleu'n deg holl gyngor Duw.

Nid oes gan neb o deulu'r llawr
Ddim un addewid ond yn awr
Yr iechydwriaeth fawr yn Nghrist,
A gwyd eich meddwl gwanaidd, trist.

Wrth gofio am ei gywir sain
Yn darllen ac egluro'n gain,
Ein hathraw doeth i'n dysgu fu,
A throsom dyrcha'i weddi fry.

Yn nechreu mis Mehefin mwyn,
'R oedd gwyl Oshkosh yn cael ei dwyn,
I'r daith myfi a'm mab a'm chwaer,
Ein bugail dewr oedd megys caer.

'R ol cyrhaedd i'r Gymanfa'n llon,
Caed gweinidogaeth bur yn hon;
Bu raid i'n Holland dreulio'r Sul
Yn naws y gwres ga'wd yn yr wyl.

Pan yn dychwelyd 'nol o'r daith,
Wrth ymgom d'wedai yn ei iaith,
Wel, gwmni bach, 'rwy'n dweyd i chwi,
Mai byr yw'r amser yma i mi

Mawr fu ein braint o'i gwmni ef,
Ei wrandaw'n traethu am y nef,
Yn y Gymanfa olaf un,
Yr ochr hyn, i'r anwyl ddyn.

Mae ein calonau yma'n friw,
Pan yn cydgwrdd i dy ein Duw,
Ar Sabboth wyl yr ordinhad,
Ni chlywn ei lef am werth y gwaed.

Mae ef yn gwledda'n nhy ei Dad,
O swn y byd a'i ddirfrawr frad,
Mewn gwell cymundeb gyda'r saint
Sydd fry yn moli am y fraint.

## ETO.

GAN MRS ANN HOWELLS, DODGEVILLE, WIS.

Gwyn fyd y gwas gofalus, gwiw,
Aeth adre'n iach yn llaw ei Dduw,
'Nol treulio'i nerth pan ar y llawr,
Y'ngorchwyl maith ein Harglwydd mawr.

Gwyn fyd yr hardd weinidog fu
Yn ffyddlon yn gwas'naethu'n gu;
Gwobrwya byth ei Brynwr byw
Ei ymdrech deg yn achos Duw.

Daeth diwedd o'i lafurus waith,
Ca'dd groesaw mwyn i'r gwynfyd maith,
Gwledda ar fwrdd ei Brynwr fry,
O fewn ei hardd freninol dy.

Ni chaf ei groesaw mwy i'm ty,
Na'r un ymddygiad fel y bu,
Ond rhwyfo wnaf tua nawdd fy Nuw,
Nes myn'd i'r nef lle mae e'n byw.

## Y MAES CENADOL.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### JAMAICA.

Yr oedd ein cenadon yn cael eu herlid mor ddidrugaredd gan yr awdurdodau yn Jamaica, yn ystod y blynyddoedd 1832—34, fel y daethant i benderfyniad ei bod yn llawn bryd dod allan yn agored yn erbyn caethwasanaeth, yr hyn a wyddent oedd yr achos gwreiddiol o ddwyn arnynt yr helbul oeddent ynddo, a hefyd y prif rwystr yn erbyn llwyddiant eu gwaith fel cenadon i Iesu Grist. Yn Mai, 1832, bu cyfarfod o'r holl genadon, i ystyried beth oedd oreu i'w wneyd; a phenderfynwyd yn unfrydol fod Mr. Wm. Knibb i fyned drosodd i Loegr, ac uno ag un Mr. Burchell, ag oedd yno yn barod wedi dechreu ymladd dros ryddid caethion Jamaica a manau eraill. Cyrhaeddodd Knibb Loegr y mis canlynol. Wedi iddo gyrhaedd, galwyd cyfarfod yn nghapel Spa Fields, a thraddododd Mr. Knibb araeth yn yr hon y dangosodd eu sefyllfa hwy fel cenadon, sefyllfa y negroaid fel caethion, yn nghyda'r anmhosiblrwydd i Jamaica fyned rhagddi fel rhanau eraill o'r ddaear, tra yr arosai pethau fel yr oeddynt. Dangosodd nad dim llai na diddymiad llwyr o gaeth-wasanaeth roddai dawelwch i'r wlad a chyfiawnder i'r dyn du. Creodd araeth Mr. Knibb deimlad neillduol yn mynwesau pawb oedd yn bresenol, a llifodd i galonau eraill, lledaenodd drwy yr holl eglwysi, ac aeth yn gyffredinol dros y wlad. Parhaodd yr ystorm o deimlad oedd yr areithydd wedi gynhyrfu dros y caethion, i chwythu gyda nerth mawr, nes yn Awst, 1833, i ddeddf yr egwyddor-wasanaeth gael ei phasio gan y Senedd. Nid buddiol fyddai i mi roddi ger bron y darllenydd yr hyn oedd y ddeddf uchod yn ddwyn i'r Negroaid; digon yw dweyd nad oedd yr hyn oedd Mr. Knibb ac eraill am gael iddynt, ac nad oedd, o'i chymharu â llwyr ryddhad, ond seren yn ymyl yr haul. Eto edrychid arni fel toriad gwawr, a bod dydd llwyr ddiddymiad caethwasanaeth yn dilyn yn sicr, ac felly yr oedd.

O'r adeg y sefydlwyd deddf yr egwyddor-wasanaeth hyd y cwbl ryddhad, dangosodd y Negroaid eu bod yn gwbl addas i lywodraethu eu hunain, yr hyn beth a amheuid yn fawr gan yr holl blanigwyr. Wedi i'r ddeddf gael ei phasio, yn Awst, bu Knibb yn ddiwyd yn casglu arian tuag at ail adeiladu yr addoldai drylliedig yn Jamaica.

Teilwng i ni grybwyll yn y fan hon i Senedd Prydain roddi at y gwaith £2,510. Rhwng hyn a symiau oeddys wedi eu casglu trwy y wlad, yr ydoedd

gan Mr. Knibb tua £13,000 yn dychwelyd i Jamaica. Yn gynar yn 1834 dychwelodd Knibb a Burchell i hen faes eu llafur, a chawsant y croesaw mwyaf brwdfrydig gan eu brodyr, a'r Negroaid yn gyffredinol. Meddai Mr. Knibb am ei groesawiad: "Yr oeddem bron cael ein gwthio yn ol i'r dwfr pan diriasom, gan eu caredigrwydd. Cymerasant fi i fyny yn eu breichiau, canent, llefent, a chwarddent; nis gwyddent beth i'w wneyd, gan y llawenydd a'r gorfoledd oedd yn eu mynwesau."

Yn mis Mawrth, 1834, cynaliwyd y Gymanfa gyntaf gan y Bedyddwyr yn Jamaica. Parhaodd am dri diwrnod. Oddiwrth y cyfrifon a ddygwyd i mewn cawn fod 52 o orsafoedd cenadol gan y Bedyddwyr yn yr holl wlad y flwyddyn hono, 13,795 o aelodau, o'r rhai yr oedd dros 2,000 wedi eu bedyddio y flwyddyn flaenorol. Yr oedd yn agos i 4,000 o blant yn yr ysgolion Sabbothol. Yr oedd y cenadon wedi priodi 1,457 o bârau yn yr un amser. Pan basiwyd deddf yr egwyddor-wasanaeth, yr oedd Mr. Knibb ac eraill ag oeddent yn teimlo dros y Negro, yn edrych ar hyny fel cam pwysig yn yr iawn gyfeiriad; eto i gyd gwelai nad oedd yn rhagori cymaint ar gaeth-wasanaeth pan yn cael ei chario allan yn Jamaica, ag oedd yn ymddangos pan yn cael ei phasio yn Mhrydain. Meddyliai Mr. Knibb yn fynych am y ddeddf, a gwelai bechadurusrwydd y rhai hyny oedd yn dal egwyddor-weision yn fwy-fwy o hyd. Yr oedd rhai o'i aelodau ef yn Falmouth yn dal egwyddor-weision. Methai gael ei feddwl yn dawel, ac wedi gweddio ar Dduw yn daer am gyfarwyddyd, penderfynwyd ganddo ddwyn y mater o flaen yr eglwys, a gadael y canlyniadau fod beth fuasent. Wedi siarad ar y cwestiwn ryw noson, gyda nerth a dylanwad oddi fry, cafodd fod yr oll ag oedd yn ei eglwys, oddigerth tri, yn foddlon cyhoeddi jubili i'w holl weision, yr hyn a wnaethant. Tua yr amser hwn danfonwyd erfyniad gan tua 2,200 o'r Negroaid at Senedd Prydain Fawr, am eu rhyddhad cwbl a hollol. Dygodd Mr. O'Connell ef ger bron y Ty. Byddai yn dda genyf, pe gofod yn caniatau, osod yr erfyniad crybwylledig yma, er i ti, ddarllenydd, gael darluniad o gyflwr truenus y dyn du yn Jamaica, yr adeg hono. Beth bynag, trwy ddylanwad erfyniadau fel yr uchod, ac ymdrech diflino carwyr dyn, yn annibynol ar liw ei groen, cariwyd mesur yn y diwedd i roddi perffaith ryddid iddynt oll, o'r lleiaf hyd y mwyaf.

Ar y dydd cyntaf o Awst, 1838, yr oedd y jubili i gael ei chyhoeddi. Pan ddaeth y dydd, mae dychymygu yn filmyrdd hawddach na darlunio teimladau y Negroaid tlodion, pan glywent y cadwynau yn datod, y llyffetheiriau yn ymollwng, a'r beichiau trymion yn syrthio, y fflangellau gwaedlyd yn cael eu gosod o'r neilldu am byth; pan deimlent eu bod yn ddynion rhyddion, yn meddianu eu hunain, ac yn ddeiliaid mor gyflawn o lywodraeth Prydain a neb pwy bynag. Treuliwyd dydd Mercher, Awst 1, 1838, gan y Negroaid mewn gorymdeithio, canu a molianu am y rhyddid oedd wedi dod i'w gafael. Yn hwyr y dydd ymdyrent i'r capelau i adrodd eu profiadau pan yn gwynebu ar y sefyllfa newydd oedd o'u blaen. Dyma i ti eiriau un brawd du o Falmouth, eglwys Mr. Knibb. William Kerr oedd ei enw:

"Gyfeillion anwyl, yr wyf yn sefyll i fyny i gydnabod ein diolchgarwch llwyraf i drigolion Lloegr am anfon yr efengyl i ni. Unwaith yr oeddem ni yn ddall, ond fe agorodd yr efengyl ein llygaid ni. Unwaith yr oeddem yn fyddar, ond fe agorodd yr efengyl ein clustiau. Yr efengyl a'n dygodd i weled y dydd hwn; yr efengyl a'n gwnaeth yn rhydd. Nid oes a wyr beth ydym wedi ei weled a'i ddyoddef, ond yr efengyl a ddygodd i ni lawenydd. Yr y'm yn bendithio Duw, yn bendithio y Frenines; yr y'm yn bendithio y Rhaglaw, a thrigolion Lloegr am y llawenydd ydym yn ei fwynhau. Cofiwn fel y buom yn y planigfeydd siwgr, o godiad haul hyd wyth o'r gloch y nos. Pan fyddai yr haul yn poethi, neu y gwlaw yn disgyn, yr oeddem ynddo i gyd. Llawer o'r un lliw a ninau

ar ein hol, ac eraill o'n blaen. Ein hunain yn cael ein fflangellu, a'n gwragedd o flaen ein llygaid yn cael eu curo fel cwn; a phe dywedasem air cawsem ein trin yr un modd, a'n gosod mewn cadwynau; ond, diolch i'n Tad nefol, yr y'm yn awr yn rhyddion."

Newydd gael ei choroni yn Frenines oedd Victoria pan basiwyd y ddeddf i ddiddymu caeth-wasanaeth yn Jamaica. Yr oedd yn un o'r deddfau cyntaf a law-nododd y Frenines ieuanc; ac y mae un o'r Negroaid yn Falmouth yn cyfeirio at hyny. Diolchodd i Dduw fod menyw wedi gallu gwneyd yr hyn oedd breninoedd Lloegr wedi methu, neu ddim am ei wneyd.

Nis gallwn dreulio rhagor o amser yn awr gyda'r ynys hon, er ei fod yn faes dyddorol iawn; yn unig dywedwn cyn terfynu, i lwyddiant anghydmarol daenu dros Jamaica, yn mhob ystyr, wedi rhyddhad ei chaethion. Nid oes maes cenadol arall, oddigerth Teloogoo, wedi talu cystal yn rhif y dychweledigion, a'r maes hwn. Mae pethau mawrion wedi cael eu rhoddi i Jamaica, a rhyfedd ydynt yn ein golwg ni.

---

MANION O'R GWAHANOL FEUSYDD.

*Ffrainc.*—Dywed y cenadwr da Mr. Reveillaud, nad oes mwy nag un o bob deg o wir Babyddion yn mhlith trigolion Ffrainc heddyw.

*Italy.*—Mae yn perthyn i'r *Southern Baptist Board* 12 o weinidogion ordeiniedig, 13 o efengylwyr, a 1,635 o gymunwyr yn Italy.

—Dywed y Marquis of Bath, os daw y Bulgeriaid i afael bywyd ysbrydol, bydd y clod am hyny yn perthyn fwyaf i gwmni bychan o genadon o America.

—Mae ein brodyr yn Jamaica wedi colli 40 o gapeli ac ysgoldai drwy yr ystorm a chwythodd yn ddiweddar dros yr ynys, yn nghydag eiddo arall, i'r swm o $80,000.

—Yn Jaffa, mae llafur y chwaer dduwiol Miss Arnott yn llwyddo tu hwnt i bob dysgwyliad. Yn 1863 nid oedd ganddi yn yr ysgol ond 14 o ysgolheigion; yn 1869, dim ond un yn unig oedd yn byrddio ganddi; yn bresenol mae ganddi 50 yn byrddio, a 150 yn ymdyru ati am addysg bob dydd.

—Mae *consul* y wlad hon wedi hawlio dedfryd marwolaeth i gael ei phasio ar lofruddwyr y cenadwr rhagorol Dr. Parsons, yr hwn oedd wedi myned yno o'r wlad hon.

—Yn y diwygiad sydd wedi tori allan yn Marash, Canolbarth Twrci, mae mwy na thri chant wedi eu symud o farwolaeth i fywyd, a dywedir nad yw y diwedd eto. Mae y rhai hyn oll yn bobl "awyddus i weithredoedd da," fel y dengys y ffaith, eu bod er eu dychweliad wedi codi dau cant ar hugain o ddoleri, er cychwyn athrofa i ferched. Mae hyn yn dweyd cyfrolau, wrth ei ystyried mewn cysylltiad â Thwrci.

—Mae brawd cyfoethog yn Lloegr wedi rhoddi $5,000 er cychwyn gwaith cenadol yn Affghanistan. Sonir hefyd am ail gychwyn yr achos da yn hen orsaf Chittagong, yr hon sydd er ys rhai blynyddau bellach wedi ei rhoddi i fyny gan y Bwrdd Americanaidd.

—Dywedir fod arwyddion am newyn eto yn India Priodolir mynychdra pethau fel hyn yn India i'r ffaith fod cymaint o'r tir yn cael ei ddefnyddio i godi *opium*. Dr. Christlieb a ddywed, mai un o'r pethau mwyaf ei angen yn India yw cenadon meddygol i fenywod cyfoethog a thlawd.

— Ychwanegodd Mr. Arthington, Leeds, ei rodd genadol o saith i ugain mil o ddoleri, yn ddiweddar.

—Yn Fuh-Kien, un o'r rhanbarthau lleiaf ag sydd yn perthyn i China, mae 15,000,000 o boblogaeth, a 90 o ddinasoedd caerog. Prif ddinas y rhanbarth yw Foo-chou, gyda phoblaeth o 2,000,000, ac yn yr hon mae cenadon wedi bod yn llafurio am 30 o flwyddi. Daliwyd ati i bregethu yno am 11 ml., ond yn yr amser hwnw ni ddychwelodd neb, na gobaith fod neb ar ddyfod. Dywedodd y Gymdeithas "fod yn rhaid rhoddi y maes i fyny." "Na," meddai Mr. Wolfe, y cenadwr, "ni

roddai y maes i fyny." Yn mhen ychydig fisoedd wedi hyny dychwelodd tri, a thri drachefn; ac yn 1869, yr oedd yn Foo-chou dair mil yn credu yn Mab Duw.

## HANESION CARTREFOL.

### CYMANFA DALAETHOL

*Bedyddwyr Seisnig Pennsylvania.*

Mae gan Fedyddwyr Seisnig y Dalaeth Gymanfa Dalaethol, amcan yr hon ydyw cyflawni gwaith cenadol drwy gynorthwyo gweinidogion i bregethu i eglwysi gweiniaid, a sefydlu eglwysi mewn lleoedd newyddion. Dyddiau Mercher a Iau, Rhagfyr 9, 10, cynaliodd Cymanfaoedd French Creek ac Oil Creek, Pa., gyfarfodydd yn Titusville ar ran y Gymanfa uchod. Daeth amryw o weinidogion a lleygwyr yn nghyd, a chafwyd cyfarfodydd rhagorol.

Traddodwyd anerchiadau ar wahanol bynciau gan y brodyr canlynol:— "Angenion Eglwysi Gorllewinbarth Pa.," gan y Parch. G. W. Whitman, Meadville. "Y rhwystrau sydd yn ffordd llwyddiant yn yr eglwysi," gan y Parch. W. B. Skinner, Johnstown. "Pa fodd i gyflawni angenion eglwysi amddifaid," gan y Parchn. J. T. Griffiths a J. M. Ray. "Hawliau Pennsylvania ar haelionusrwydd yr eglwysi," gan y Parch. W. H. Conard, Ysgrifenydd Gohebol y Gymanfa.

Cawsom dair pregeth. Nos Fercher pregethodd y Parch. W. H. Conard, oddiar Marc 14: 9. Boreu dydd Iau, am 11, pregethodd y Parch. B. D. Thomas, o Philadelphia, oddiar Barn. 1: 19 a Mat. 17: 19. Nos Iau, pregethodd y Parch. G. E. Rees, o Philadelphia, oddiar Haggai 1: 2.

Canmolid pregethau y ddau Gymro yn fawr; yr oeddwn yn teimlo yn falch o honynt; dyma y tro cyntaf iddynt ymweled â'r rhan hon o'r Dalaeth, a gwnaeth eu hymweliad argraff rhagorol ar yr Americaniaid. Fel y canlyn y siarada y Titusville *Herald* am eu pregethau. Am bregeth Thomas dywed: "'God in relation to spiritual success,' was the fundamental thought of the sermon, and its grand and beautiful lessons were brought out with an inspiring eloquence and logical force which formed a rich intellectual and spiritual feast for the audience."

Am bregeth Rees, dywed: "A sermon of such rare ability and searching power as it is seldom the privilege of a Titusville audience to listen to."

Gobeithio y cawn eu gweled eto cyn hir. Credwn y gwna y cyfarfodydd les. Dylai fod mwy o gydweithrediad rhwng yr eglwysi Cymreig a'r Gymanfa hon nag sydd. J. T. G.

### ANRHEG I WEINIDOG.

Cyflwynwyd *overcoat* yn anrheg i'r Parch. J. P. Harris, Providence, Pa., gan E. D. Jones, Ysw., a'r cyfeillion caredig fuont yn cyd-gyfranu tuag ati, am yr hon mewn cynesrwydd y diolchodd y derbynydd yn y llinellau canlynol:

Rhagluniaeth sydd yn trefnu,
  Darparu yw ei gwaith
Ar gyfer angen dynion,
  A lluoedd daear faith;
Mae meibion hael Rhagluniaeth
  Yn llaw Rhagluniaeth 'nawr,
O gariad yn cynesu
  Eu bugail mewn côt fawr.

'Rwy'n caru'r anrheg siriol
  Er mwyn ei gwerth a'i gwaith;
Er mwyn y rhoddwyr hefyd,
  Boed iddynt fendith faith;
Af mwyach drwy y tywydd,
  Y gwyntoedd oer a'r gwlaw,
Gan ganmol gwyr Rhagluniaeth,
  A rhodiaf yn ei llaw.

IEUAN DDU.

*Providence, Pa., Mawrth 15, 1880.*

### TYSTEB YN JOHNSTOWN, PA.

Wedi dychweliad y brawd anwyl, y Parch. D. H. Jones, M. A., cyn-weinidog y Bedyddwyr Cymreig yn y lle hwn, i'n plith, ar ol bod ar daith ymweliadol â'r Hen Wlad, a rhanau o gyfandir Ewrop, penderfynwyd gan ei gyn-eglwys fyned o gylch y gorchwyl oeddynt wedi ei fwriadu wneyd cyn ei ymadawiad tua blwyddyn yn ol, oni

b'ai rhwystrau, sef ei anrhegu â phwrs godidog ac arian ynddo, fel arwydd fechan iawn o'n teimladau tuag ato, yn nghyda dangos i'r byd y fath safle anrhydeddus oedd ef wedi enill yn marn a chalon pobl ei ofal. Felly ar nos Fawrth, Rhag. 7, 1880, ymgynullodd lluaws i gapel y Bedyddwyr Cymreig, i sylweddoli eu bwriad. Canwyd emyn, a gweddiwyd gan y Parch. E. W. Jones (A.), yna neillduwyd y brawd B. F. Watkins, *foundry boss* y Cambria Iron & Steel Co., a diacon parchus o'r eglwys, yn Llywydd, a Mr. Thomas J. Price yn Ysgrifenydd. Ar ol anerchiad agoriadol gan y Llywydd, cawsom anerchiadau gan y Parchn. J. T. Jones, gweinidog presenol yr eglwys, T. C. Phillips (T. C.), ac E. W. Jones (A.), yn nghyda Mr. E. W. Jones, *weigh master;* yna anerchiad byr, a chân, "Hen Wlad fy Nhadau," gan yr ysgrifenydd, a'r gynulleidfa yn uno yn y cydgan. Anerchiadau eto gan Mri. D. R. Jones, T. Morgan (diaconiaid), a J. M. Williams; yna cân, "When there's love at home," gan y Mri. T. Jones a W. Lewis; yna adroddiad y "Psalm of Life," (Longfellow), gan yr ysgrifenydd. Yna deuwyd at ran bwysicaf y cyfarfod, sef cyflwyno y dysteb. Galwyd ar Mrs. Vincent i roddi am wddf y Parch. D. H. Jones bwrs sidanaidd hardd yn cynwys y swm arian, yn nghanol cymeradwyaeth frwdfrydig y gynulleidfa. Cydnabyddodd Mr. Jones yr anrheg mewn araeth dyner a thoddedig iawn, yn llawn gwyleidd-dra a gostyngeiddrwydd. Dangosai ei fod wedi ei drechu dan y teimladau da a arddangosid tuag ato. Gwnaed y pwrs a chasglwyd yr arian gan dair o chwiorydd ieuangaf yr eglwys, sef Misses Rebecca Watkins, Maggie Lewis, a Martha Davies, a chawsant bob serchawgrwydd pan yn casglu. Yr oedd yr oll o'r anerchiadau yn dda, a'r oll a ddywedwyd yn cyd-dystiolaethu i gymeriad pur a difrycheulyd Mr. Jones, fel dyn, yn gymdeithasol, moesol, a chrefyddol, ac fel gweinidog da a ffyddlawn i Iesu Grist, a phregethwr galluog a goleuedig yr efengyl. Ar ol canu yr Hen Ganfed gan y gynulleidfa oll, a gofyn y fendith gan ein gweinidog parchus, J. T. Jones, aeth pawb i'w ffyrdd eu hunain yn llawen.

Yr oedd y Parch. D. H. Jones wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys y Bedyddwyr yn Ton-yr-Ystrad, Cwm Rhondda, D. C., ac atebodd yntau yn gadarnhaol, cyn dychwelyd o'i ymweliad o'r Hen Wlad, ac addawodd fod yn ol erbyn diwedd y fl. 1880, ond yr wythnos ddiweddaf anfonodd yn ol i hysbysu yr eglwys na wnai ddychwelyd, am fod yn well ganddo gartrefu yn y wlad hon; ac mae yn dra thebyg mai yma yn Johnstown yr erys dros dymor, beth bynag, ac os bydd rhyw rai am ohebu ag ef, cyfeirier i'r lle uchod.

*Johnstown, Pa.* THOS. J. PRICE.

Dymunir ar i *Seren Cymru* godi yr uchod. T. J. P.

---

MYFYRWYR TREFECCA YN NEWID EU TRIGFA.

Tref fyw ei masnach yw Abertawe; tref yr henafiaethau yw Aberavon, a thref dra hynod yw Aberdar. Dyna dref y gweithfaoedd a'r capeli, yr Eisteddfodau a'r canu; ac yno mae Brythonfryn, yr awenwr; Isaac Thomas, yr archyddwr, a swyddfa y *Gwladgarwr;* ac yno y mae llithiau Golygydd y *Gwladgarwr* yn gyfoladwy, yn darawiadol, a gwerth eu darllen unwaith a dwy. Mae fy nghyfaill caredig Llyfnwy, Hyde Park, yn derbyn y *Gwladgarwr*, a chyda y parodrwydd mwyaf yn rhoddi benthyg pob rhifyn i mi. Fe daeth felly y rhifyn am Hydref 15, 1880, i'm llaw, ac ynddo hanes Myfyrwyr Trefecca yn cael eu tueddu i newid eu trigfa—ymadael â'r Trefnyddion, i gadw y gorchymynion, cyffesu eu ffydd, a myned ar ol Iesu yn y bedydd.

1. Pwy a fedyddiwyd? Mr. David Evans, genedigol o'r Bettws, Cross Inn, yn Sir Gaerfyrddin, aelod gyda y T. C. yno, pregethwr gyda yr un Cyfundeb, a myfyriwr yn Athrofa Trefecca. Dyna un. Yr ail oedd Mr. Thomas V. Evans, o Landybie, aelod o'r un enwad, myfyriwr yn yr un coleg, a

brawd i'r Parch. Fred. Evans, D. D., gynt o America, ac yn awr o Salem, Maesteg, a'r Parch. John Evans, Rhode Island. Adwaenaf y tri brawd, eu rhieni anrhydeddus a'u chwiorydd mâd. Fred. yw y ffraethebaf, John y mwyneiddiaf, a Tom y talaf o'r tri; ac efe oedd un o'r ddau a fedyddiwyd y mis diweddaf oddiwrth y T. C., a rhaid i'r Proffeswr Howells, Dr. Harris Jones, a phenaethiaid Trefecca, foddloni heb y rhai hyn.

2. Paham eu bedyddiwyd? Dyna addoldy eang Calfaria, Aberdar, yn orlawn o gynulleidfa nos Fawrth, Hydref 11, 1880. Tystiodd y brawd David Evans yn gyntaf, a Thomas V. Evans yn ail, mai nid ysfa nac asbri, nid tramgwydd na siomi, ac nid mursendod na methu, a'u tueddodd hwy i roddi y cam o gorlan y Trefnyddion i geulan egwyddorion eraill, ond argyhoeddiad dwys o'u dyledswydd i blygu i'r bedydd a ordeiniodd Iesu—ei ddeiliaid yn rhai yn credu, ei ddull yn soddi a'i ddybenion i anrhydeddu Arglwydd y ty. Dyna dystiolaeth ddiamgudd y myfyrwyr hyn cyn eu bedyddio; ac yr oedd y nef yn sylwi, daear yn craffu, ac efallai anwn ei hun yn cynddeiriogi. Y mae ufuddhau o'r galon i bur egwyddorion yn anfoddloni drwg ysbrydion; ond gwell plygu er i bawb wgu.

3. Pwy a'u bedyddiodd? Turfab, Ynyslwyd, ddechreuodd, drwy ddarllen y Memrwn, a gweddi; y Parch. Thomas Jones, Carmel, yn cyfarch y dyrfa; ac yn arwain y ddau bregethwr ieuainc i'r bedyddfan yr oedd Dr. Price, gweinidog Calfaria, ei hun. Diau i'r Dr. Thomas Price fedyddio llu mawr yn y bedyddfan hwnw o'r blaen, a dichon mai hwn oedd y bedydd rhyfeddaf yn ei oes lafurfawr. Dau ddyn ieuanc o'r un ardal wedi eu magu, o'r un cyfundeb wedi eu codi, o'r un enw wedi eu nodi, ac o'r un athrofa wedi eu hyfforddi, a'r ddau yr un adeg yn cefnu ar eu cyfeillion, ac yn rhedeg yn ffordd gorchymynion Iesu.

4. Pa beth yn awr wedi y bedyddio? Fedyddwyr Cymru, derbyniwch y brodyr yn ddiragfarn. Troedigion atoch chwi oedd Dr. John Gale, nid Gill, ond Gale, yr ieithegwr; Alexander Carson, y manylwr; Judson, y cenadwr, a Daniel Davies, yr arch-bregethwr, o Abertawe. Troedigion atoch chwi oedd yr hynod Samuel Morgan, Nantyglo; y duwiol James Michael, Pont-hir; y swynol Benjamin Williams, Maesyberllan; ie, cofiwch, dyfod oddiwrth enwad arall wnaeth y clodfawr Christmas Evans atoch chwi, ac yr oedd yn pregethu gyda y Presbyteriaid yn hir cyn ei fedyddio. Troedigion atoch chwi yw y ddau frawd o Drefecca, a pheidiwch eu dirmygu, ond eu magu, eu coleddu a'u mynwesu. Drefnyddion dewr, ymroddwch i chwilio y Llyfr ag y mae yn dda genych am dano; gwrandewch arno, a gofynwch iddo ei feddwl am fedyddio. A chwithau, fy mrodyr ieuainc, ymwrolwch i wynebu trallodion; ac os na ddeuant, goreu oll fydd hyny; ond os byw yn hir, cewch adwaen y Canaaneaid yn eich gyrfa, "y profi yn Massah, a'r gynen yn Meribah." Eto ymwrolwch ac ymgryfhewch, a byddwch ddewrion yn y fyddin. D. W. M.

---

MINERSVILLE, PA.

Tach. 28, 1880, cynaliwyd cyfarfodydd adferiad y brawd John M. Evans i gyflawn waith y weinidogaeth. Pregethwyd gan y Parchn. W. D. Thomas, Mahanoy, a D. Jones, Shenandoah, am 10. 2, a 6. Cawsom gyfarfodydd rhagorol—y brodyr yn eu hwyliau goreu, a'r Arglwydd yn gwenu ar ein cynulliad. Dros yr eglwys,

D. C. BEVAN.

---

GOMER, GER RED OAK, IOWA.

Cawsom yr hyfrydwch o wrando y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., nos Fercher, Tach. 24, yn pregethu gyda nerth a dylanwad anarferol, oddiwrth Mat. 12 : 31, 31. Ar y nos Lun ganlynol, traddododd ddarlith ar y testyn, "Elfenan Dedwyddwch Teuluaidd." Gallwn ddweyd yn ddigon dibryder, fod Mr. Richardson yn bregethwr da, yn feddyliwr mawr, ac yn ddarlithiwr ardderchog; mewn gair,

gallwn ddweyd ei fod yn fawr yn mhlith mawrion. Byddai yn werth i bawb i wneyd ymdrech i'w glywed. Dymuniad pawb yma yw am iddo beidio bod yn hir cyn talu ymweliad â ni eto, a Duw pob gras a'i bendithio, ac a'i gwnelo yn offeryn yn ei law i argyhoeddi tyrfa fawr yn y dyfodol. Dyben y ddarlith oedd i gynorthwyo ein hanwyl frawd, y Parch. W. Evans, yr hwn sydd wedi cael colledion mawr, a llawer iawn o gystudd yn ei deulu oddiar pan y mae yma. Ond i'r hwn sydd yn llywodraethu pob peth y byddo'r diolch, y maent wedi cael gwellhad.

OBED EVANS.

---

NEWYDD GALARUS.

*Arnot, Tioga Co., Pa., Rhagfyr 21, 1880.*—MR. GOL.—A fyddwch chwi mor garedig a gadael i'r ychydig linellau canlynol ymddangos yn eich Cyhoeddiad gwerthfawr, er mwyn i gyfeillion y Parch. David Harris, ein hoff weinidog, gael gwybod ei fod wedi cyfarfod a'i ddiwedd heddyw (dydd Mawrth, 21ain cyfisol), drwy i gwymp o lo syrthio arno? Bu farw yn mhen ugain mynyd wedi ei gael yn rhydd o dan y cwymp.

Bydd yn cael ei gladdu ddydd Iau nesaf, y 23ain cyfisol, yn Jerry Flats; yr angladd i gychwyn am 10 o'r gloch y boreu o Arnot. Gan ein bod yn ofni fod yr amser yn brin y tro hwn, bwriadwn ymhelaethu yn y nesaf, os caniatewch ei ymddangosiad.

JOHN M. THOMAS.

---

*BEDYDDIWYD—*

*Nanticoke, Pa.*—Cawsom y pleser yn ddiweddar, wedi pregeth bwrpasol ar y pwnc, o weled ein hanwyl weinidog yn claddu pump o bersonau yn y bedydd. Yn hwyr yr un dydd, drachefn, dychwelodd dwy oddiar dir gwrthgiliad. Rhwng bedyddiedigion, dychweledigion, a dyfodiaid trwy lythyrau, mae ein heglwys wedi cynyddu yn agos i ugain er y Gymanfa ddiweddaf. Mae hyn yn galondid mawr i'n hanwyl weinidog a ninau i fyned rhagom dros y Meistr Mawr. Gweddiwn eto, Arglwydd, dyro drachefn.—*Aelod.*

Yn Providence, Pa., gweinyddwyd yr ordinhad o fedydd gan ein parchus weinidog, J. P. Harris, yn y lle hwn, Rhagfyr 6ed. Tra yn bedyddio, daeth un o'r gwrandawyr yn mlaen gan broffesu ffydd yn Nghrist, ac ymrwymai i fod yn ddysgybl iddo. Ar hyn yntau a aeth i waered i'r dwfr ac a fedyddiwyd. Bedyddiwyd un arall yma ryw dair wythnos yn ol. Fel hyn, mae'r dyfrllyd fedd yn ymagor o'n blaen yn aml, ac amryw yn cael eu hychwanegu at rif yr eglwys.—*T. M.*

---

*PRIODWYD—*

Tachwedd 27, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris (*Ieuan Ddu*), William T. Sharples a Margaret Williams, oll o'r lle hwn.

Yn dra hoff a didrafferth—y byddont
Hyd y bedd yn gyfnerth;
Mae gwiwdeb mewn undeb a nerth,—yna
Eu byw redfa dan yr iau fydd brydferth.

Tachwedd 25, 1880, yn Minersville, Ohio, yn nhy Mrs. Rea, mam y briodasferch, gan y Parch. J. R. Jones, Mr. Thomas Lloyd, a Miss Lizzie Rea, y ddau o'r lle uchod.

Tachwedd 23, 1880, gan y Parch. D. R. Jones, yn nhy perthynas y briodasferch, Mr. John T. Jones a Miss Ann Morgan, y ddau o Plymouth, Pa.

Rhagfyr 3, 1880, gan y Parch. D. R. Jones, yn nhy y briodaswraig, Mr. William E. Thomas a Mrs. Mary Thomas, y ddau o Plymouth, Pa.

Rhagfyr 4, 1880, yn nhy brawd y briodasferch, Mr. Henry Beddoe, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. George Hopkins a Mrs. Catherine Thomas, y ddau o Nanticoke, Pa.

---

*BU FARW—*

Y PARCH. THOS. HOLLAND, DODGEVILLE, WIS.

Buasem yn caru i gofiant ein hanwyl frawd fod wedi ymddangos yn gynt; ond gan nad oeddym yn gwybod nemawr o hanes y rhan foreuol o'i oes, a neb yn y cylch hwn yn gwybod dim o hyny, oedais nes cael gweled ei frawd, Mr. John Holland, Bangor, yr hwn a welais yn ddiweddar, a chefais ganddo yr hyn oedd angenrheidiol arnaf.

Mab ydoedd ein hoffus frawd ymadawedig i Robert a Phœbe Holland, o Laneilian, Sir Ddinbych. Yr oedd yr hen bererin John Lloyd, blaenor parchus yn eglwys y Bedydd-

wyr yn y lle uchod, yn daid iddo. Yr oedd Thomas yn henaf o wyth o blant. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1824. Dangosai pan yn dra ieuanc awydd cryf at ddarllen, a hoffai fyned i'r Ysgol Sabbothol. Yr oedd yn un o ddysgyblion Thos. Hughes (*Tan*), yr hwn oedd yn un o'r rhai mwyaf ffyddlawn gyda y sefydliad daionus hwnw, yr hwn sydd wedi bod o gymaint o fendith i'r byd, yn enwedig i blant tlodion, oblegid ni chafodd gwrthddrych y cofiant hwn ond tri mis o ysgol ddyddiol yn ei fywyd, felly prin y gallasai fod yn alluog i ddarllen ei Feibl oni buasai yr Ysgol Sabbothol; dysgodd ynddi, nid yn unig ddarllen yn dda, ond daeth i wybod cryn lawer yn nghylch egwyddorion y grefydd Gristionogol, y rhai nid ymadawsant byth o'i feddwl. Tua deugain mlynedd yn ol, yr oedd ein hoff ymadawedig Trebor yn Llandudno, a Tan yn Llanelian, a'r ddau yn llawn o zel dros yr Ysgol Sabbothol, ac weithiau byddai y ddau yn cyfarfod gyda eu hysgolion mewn gwahanol fanau i adrodd penodau a Salmau, yn nghyd a dadleu pynciau y grefydd Gristionogol, a byddai Thomas Holland yn un o'r rhai mwyaf galluog yn y gorchwyl hwnw, er ei fod y pryd hwnw yn lled ieuanc

Gydag amaethwyr y treuliodd ei amser yn Nghymru, mewn gwahanol fanau yn Siroedd Dinbych a Fflint. Tra yr oedd yn gwasanaethu yn Gallt Melud, Sir Fflint, y cafodd olwg ar ei gyflwr fel pechadur, ac hefyd ar y Gwaredwr darparedig ar ei gyfer, yn ei holl ddigonolrwydd a'i ewyllysgarwch i'w achub, a rhoddodd ei hun, a derbyniwyd ef yn aelod yn eglwys y M. C. yn y lle. Edrychid arno gyda chymeradwyaeth mawr fel dyn ieuanc gobeithiol iawn. Treuliodd wyth neu ddeng mlynedd mewn gwahanol fanau yn y cylchoedd mewn diwydrwydd mawr. Tra yr oedd yn gwasanaethu ei feistriaid y dydd, yr oedd yn llafurio yn galed y nos am wybodaeth o wirioneddau y Beibl. Darllenai yn awyddus bob llyfrau da fyddai yn ei gyrhaedd er ei gynorthwyo i ddeall yr Ysgrythyrau, a meithrin egwyddorion crefyddol; felly drwy ymdrech caled a diwydrwydd neillduol, daeth i feddiant o lawer o wybodaeth, Feiblaidd, yn enwedig. Dysgodd y Pedair Efengyl, llythyr at yr Hebreaid, a'r rhan fwyaf o'r llythyr at y Rhufeiniaid, fel y gallai eu hadrodd o'i gôf. Mae hyn yn dangos nid yn unig lafur mawr, ond hefyd archwaeth dda, oblegid mae y rhanau a nodwyd y rhai mwyaf pwysig ac angenrheidiol eu deall mewn trefn i gael golwg gywir ar y gyfundraeth Gristionogol. Nid rhyfedd ei fod, fel Apolos, yn un "cadarn yn yr Ysgrythyrau," gan ei fod yn "gwybod yr Ysgrythyr Lân o'i ieuenctyd," fel Timotheus; a dyma oedd yn gwneuthur i fyny ei amddifadrwydd o fanteision dysgeidiaeth athrofäol, ac yn achosi ei fod yn bregethwr mor sylweddol a chymeradwy, a gweinidog da i eglwys Iesu Grist

Yn y flwyddyn 1855, daeth i'r penderfyniad i ddyfod i America. Wedi tirio yn y wlad hon, ymsefydlodd yn Slatington, Pa.; ni fu yno ond tua blwyddyn; felly yn 1856 daeth i Dodgeville, yn y Dalaeth hon. Yn mhen tua blwyddyn ymunodd mewn priodas gyda Miss Catherine Parry, merch ieuanc barchus yn y gymydogaeth; eithr ni fu y cysylltiad hwn ond o fyr barhad, bu farw ei anwyl wraig, gan adael un plentyn ar ei hol. Yn y flwyddyn 1859 priodwyd ef eilwaith gyda merch ieuanc barchus o'r enw Mary Hughes, o Gaergybi, Sir Fôn, sef chwaer i'r Parch. Owen Hughes, gweinidog parchus gyda y M. C. yn y lle uchod. Ganwyd iddo o'r wraig ddiweddaf chwech o blant, y rhai a adawyd i gyd-alaru eu colled drom am un o'r gwyr mwyaf ffyddlon a serchog, a'r tad mwyaf tyner. Gofaled Duw yn ei diriondeb am danynt, yn ol ei addewidion grasol i'r gweddwon a'r amddifaid.

Tuag amser ei briodas gyntaf y dechreuodd bregethu, gyda llawer o dderbyniad a chymeradwyaeth, ac edrychid ato fel dyn ieuanc gobeithiol i'r weinidogaeth. Ond gwelwyd cyn hir fod ganddo rai golygiadau ar bynciau crefyddol nad oeddynt yn cyd-daro â golygiadau ac â Chyffes Ffydd y Corph, yn enwedig pan y pregethodd ar y Cyfamod Newydd, mewn cwrdd cyhoeddus yn Dodgeville, canfyddwyd yn amlwg nad oedd yn cydolygu â'r enwad, a hyny ar rai o brif egwyddorion a gredir ganddynt; a chan ei fod ef yn ddyn penderfynol dros yr hyn a gredai oedd wirionedd, a'r gwahaniaeth rhyngddo a'r enwad i raddau yn bwysig, sef cymeriad deiliaid yr eglwys Gristionogol, &c., gwelid o'r ddwy ochr, mae yn debyg, nas gallasai y cysylltiad rhyngddo a'r enwad fodoli gyda chysondeb; felly ymadawodd a'r M. C., ac ymunodd a'r Bedyddwyr, gan fod eu hegwyddorion hwy yn cyd-daro a'r eiddo ef o berthynas i ordinhadau a deiliaid yr eglwys Gristionogol; derbyniwyd ef yn aelod yn eglwys y Bedyddwyr yn Dodgeville, ar ol cael ei gyffes a'i fedyddio gan y Parch. Meredith Evans. Cymerodd hyn le tua'r flwyddyn 1863.

Yn fuan ar ol hyn cafodd ei ddrafftio i'r fyddin, a dywedir ei fod yn filwr gwrol a ffyddlawn yn y Llywodraeth Americanaidd, megys yr oedd hefyd yn y llywodraeth ysbrydol a sefydlwyd gan Fab Duw. Daeth yn ol o'r fyddin, nid yn unig yn fyw, ond yn iach a dianaf o bwys, yr hyn sydd yn dangos gofal a thrugaredd Duw tuag ato, gan ei fod wedi bod mewn rhai brwydrau caledion, lle y syrthiai ei gyd-filwyr yn feirwon wrth ei ochr.

Yn fuan ar ol ei ddyfodiad o'r fyddin, sef yn y flwyddyn 1866, ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth gan y Parchn. Wm. F. Phillips, M. Evans, ac eraill a gynorthwyent. Wedi ei ordeiniad, dewiswyd ef gan yr eglwys yn Dodgeville i gyd-lafurio a'r Parch. M. Evans Cymerodd hefyd dan ei ofal eglwys y Bedyddwyr yn y Coed, a bu yn gofalu yn ffyddlawn dros y ddwy hyd o fewn ychydig cyn ei farwolaeth, pryd y rhoddodd ofal yr eglwys yn y lle diweddaf i fyny. Gan nad oedd

y ddwy eglwys ond gweiniaid, nid oedd yn cael ganddynt ond ychydig am ei lafur ffyddlawn, eto derbyniai yr ychydig hyny yn siriol a dirwgnach. Ymddibynai am gynaliaeth ei deulu ar ei ffarm, canys yr oedd yn amaethwr da, ac yn weithiwr caled, a thrwy hyny wedi sefydlu cartref llawn a chysurus i'w deulu ar ei ol. Ni chafodd ond cystudd byr—rhyw ychydig wythnosau y bu yn glaf. Bernir mai dylanwad gwres mawr a gawsom yr haf diweddaf a effeithiodd arno i achosi ei afiechyd. Gwellaodd unwaith yn lled dda, fel y gallodd bregethu un Sabboth oddiwrth y geiriau yn 1 Sam. 12: 24, 25. Testyn tra phriodol i weinidog bregethu oddiwrtho i'w gynulleidfa am y tro diweddaf, er mai ychydig a feddyliai yr eglwys mai hono oedd y bregeth olaf a glywsent byth ganddo. Gan ei bod yn amser cynhauaf, y gwaith yn galw, a'r bechgyn yn ieuainc, aeth allan i geisio gwneyd ychydig o help; ond cymerwyd ef eilwaith gan afiechyd o'r un natur, yr hwn a derfynodd yn ei angau, yr hyn a gymerodd le yn dra annysgwyliadwy i bawb, ac mae yn debyg iddo ei hun hefyd, ar yr 2il o Medi, 1880, yn 56 mlwydd oed. Yr oedd ei farwolaeth mor sydyn, fel na chaed gwybod nemawr o'i deimlad yn ngwyneb yr amgylchiad, eithr dywedai yn fynych nad oedd arno ofn marw, os mai ewyllys ei Dad nefol oedd ei gymeryd y pryd hwnw, fod ei obaith yn ddiysgog ar aberth y groes am fywyd tragywyddol.

Cafodd un o'r claddedigaethau mwyaf lluosog a pharchus a fu erioed yn Dodgeville, ar y 4ydd o Medi. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan ddeg neu ddeuddeg o weinidogion perthynol i wahanol enwadau Dodgeville a'i hamgylchoedd. Pregethwyd ei bregethau angladdol gan y Parch. M. Evans a'r ysgrifenydd, ar y 12fed o Medi. Felly y bu farw ac y claddwyd ein brawd parchus a hoff, T. Holland.

Fel Cristion, yr oedd o gymeriad da, ac yn cael ei barchu gan bawb a'i hadwaenai. Fel pregetdwr, yn sylweddol, trefnus, ac efengylaidd; fel gweinidog, yn dyner a gofalus; fel cyfaill, yn ddidwyll a sefydlog; yn gymydog tangnefeddus a chymwynasgar, yn briod serchog a ffyddlawn, ac yn dad tyner neillduol. Teimlir colled fawr ar ei ol, nid yn unig yn Dodgeville, ond hefyd yn yr eglwysi yn gyffredinol drwy y Dalaeth, yn enwedig ar adeg ein Cymanfaoedd y teimlwn ein colled am dano. Eithr mae wedi ein gadael, a myned i dderbyn y "goron anniflanedig, yr hon a addawodd yr Arglwydd y Barnwr cyfiawn i bawb a garant ei ymddangosiad ef." Boed i Dduw lanw y bylchau a wneir gan angau mor fynych yn eglwysi y saint, a gofalu am ein hanwyl chwaer a'i phlant amddifaid yn eu trallod dwys.

W. JONES.

### MR. ABEL ROBERTS.

Cymerodd damwain alarus le yn Wilkesbarre, Pa., Tachwedd 11, 1880, ar un o'r *planes* yn *Shaft* yr Hollenbach, gwaith Parrish a'i Gwmni, pryd y collodd ein cyfaill ieuanc Abel Roberts ei fywyd ar amrantiad, drwy i'r rhaff dori. Mab ydoedd i David a Mary Roberts. Daethant i'r wlad hon o ardal Pont-y-pool, D. C., pan oedd Abel ond pedair blwydd oed. Buont fyw am beth amser yn New York, ac Easton a Minersville, Pa. Yma y claddwyd y tad, yn 1870. Symudasant i'r lle hwn yn 1871, ac Abel bach oedd tad y teulu—un o'r bechgyn mwyaf ffyddlawn, gofalus a charedig i'w fam, ac un a gerid yn fawr gan bawb a'i hadwaenai, fel y tystiai dydd ei angladd. Hoffai ddarllen yn fawr, a darllenai lawer ar y Beibl i'w fam pan y byddai y bechgyn eraill ar hyd yr ystrydoedd. Collodd yr Ysgol Sabbothol ysgolor ffyddlawn, ac athraw ufudd a pharod i wneyd a allai er lles eraill; a chollodd y fam un o'r meibion goreu a mwyaf diniwed a fagwyd erioed. Tad yr amddifad a Barnwr y weddw fyddo yn nodded ac amddiffyn i'n hanwyl chwaer yn ei galar a'i cholled fawr.

Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. E. Edwards, gweinidog y Bedyddwyr Cymreig yma, ond yn awr o Coatesville, Pa.

JAMES EVANS.

### KATIE WINIFRED A LLEWELYN LLOYD REES,

Sef dau blentyn y Parch. Llewelyn Rees a'i briod, Johnstown, Pa.

Tachwedd 11eg bu farw y ddau fach anwyl uchod o'r clefyd peryglus, y *diphtheria.* Bu Lloyd bach farw tua phedwar o'r gloch y boreu, a Katie tua haner awr wedi haner dydd yr un dydd. Katie o fewn ychydig fisoedd i fod yn 12 mlwydd oed, a Lloyd o fewn ychydig ddyddiau i fod yn 8 ml. oed.

Mae adnabyddiaeth yr ysgrifenydd a'r anwyliaid uchod, ac a'r teulu i gyd, yn rhoddi mantais iddo wybod ychydig am eu neillduolion teuluaidd. Tair blynedd yn ol, pan yn byw yn y lle hwn (Carbondale, Pa.), fel yr unig eneth yn y teulu, yr oedd Katie Winifred yn gwisgo rhyw hynodion neillduol. Yr oedd yn ddiarebol am ei gallu i ddysgu, a'i chôf yn hynod; yr oedd ei hamgyffredion yn gyflym, ac fel y deallwyf ei fod wedi ei mynediad oddi yma, ei bod wedi rhagori llawer, a'r teithi yma wedi ymddadblygu ynddi yn helaeth. Ow! ergyd trwm oedd colli y fath berlyn gwerthfawr. Un o rai mwyaf tyner o blant oedd Lloydie bach—mor *sensitive*, fel ag yr oedd ei agwedd blentynaidd yn diorseddu awdurdod deuluaidd, ac yn ei osod ar y ffordd i hawlio goreuon y bwrdd. "Good bye, dear Katie," medd fy ngeneth fach i, y rhai oeddynt gyfeillion mynwesol, "we shall meet in the 'sweet by-and-by'" Rhy anwyl yw anwyliaid bach fel yma i ni gael eu cadw.

"Rhy anwyl i rieni—ie, mae mynwes
Mam i oeri;
Methai Ior ei hebgor hi—o'i fynwes
Oedd acw'n gynes—cyn ei geni."

Ymgysured y teulu trallodus yn addewidion gair Duw. "Dyddenwch eich gilydd â'r ymadroddion hyn." Hyn yw dymuniad eich cyd ymdeimlydd calon,

*Carbondale, Pa.* J. W. EDWARDS.

ROGER WILLIAMS.

Hydref 10, 1880, yn Dawn, Mo., yn un mis a phum' diwrnod oed, Roger, mab i John H. ac M. E. Williams.

Hefyd, yn Dawn, Mo., merch i Joseph a Catherine A. Lewis, yr hon a fu farw Tachwedd 29, 1880, yn bymthegnos oed.

J. A. LEWIS.

MRS MARY GWYN.

Rhagfyr 4ydd, yn Weathersfield, Ohio, yn 70 mlwydd oed, Mrs. Mary Gwyn, anwyl briod Mr. Thomas Gwyn, gan adael priod, un mab a thair o ferched, i alaru ar ei hol.

Y Sabboth canlynol, ymgasglodd tyrfa fawr o'i pherthynasau a'i chymydogion i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol, pan y gweinyddwyd gan y brodyr A. S. Phillips a J. W. James

Yr oedd Mrs. Gwyn yn un o aelodau hynaf eglwys y Bedyddwyr yn Weathersfield. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan y brawd anwyl, y diweddar Edward Blunt, chwech ar hugain mlynedd yn ol, a glynodd wrth ei phroffes trwy yr holl ystormydd a'r profedigaethau, a "daliodd gyffes ei gobaith yn ddisigl hyd y diwedd.

Yr oedd ein chwaer yn meddu parch calon i weision Crist. Yr oedd lletygarwch yn nodweddiad neillduol ynddi, a chafodd yr ysgrifenydd a llawer brawd arall fwynhau o'i char edigrwydd lawer gwaith.

Mae angau wedi gwneyd bwlch mawr yn Seion yma drwy gymeryd un o'i ffyddloniaid oddiwrthym; ond gobeithiwn y bydd i'r hwn sydd yn frenin ar angau, sef Tywysog Breninoedd y ddaear, lanw y bylchau i fyny trwy ddwyn y meibion i Seion yn lle y tadau, a'r merched yn lle y mamau Yr Arglwydd fyddo yn nerth ac yn gysur i'r plant yn eu galar ar ol eu hanwyl fam, a bydded i'n brawd anwyl droi ei lygaid "tua'r mynyddoedd, o'r lle y daw ei gymorth;" a phan y mae y pren almon yn blodeuo, ac yntau yn tynu i lawr tua rhosydd Moab, y Dyddanydd nefol a'i cynorthwyo i ganu:

"Ar lan 'r Iorddonen sefyll 'rwyf,
Gan fwrw golwg prudd
Ar diroedd hyfryd Canaan draw,
Lle mae'm trysorau cudd."

A. S PHILLIPS.

---

—Mae y London *Globe* yn deall fod y Pab yn parotoi llafarawd yn condemnio yr agwedd elynol a amlygir tuag at yr Eglwys ar ran Ffrainc a gwledydd eraill Pabyddol mewn enw.

# Newyddion a Nodion.

GAN J. EDRED JONES.

Er pan ymddangosodd y rhifyn diweddaf o'r WAWR, y mae amryw bethau dyddorol a phwysig wedi cymeryd lle; ond dichon mai un o'r pethau pwysicaf i ddinasyddion Americanaidd ydoedd cyfarfyddiad y Gydgyngorfa yn Washington ar y 5ed o Ragfyr. Yr oedd dysgwyliad pryderus yn mynwesau llawer i weled pa fodd y buasai aelodau y blaid Ddemocrataidd yn teimlo ac yn gweithredu, ar ol y fflangell lem a gawsant yn yr etholiad diweddaf. Y farn gyffredin oedd, y buasent mor ddiniwed ag ŵyn, gan ymddwyn yn bwyllog a doeth, er lles y blaid yn y dyfodol; ond ymddengys nas gall y Democratiaid ddysgu dim—y maent wedi tyngedu hunan-ddinystr. Nid cynt y cyfarfu y Gydgyngorfa nag y dechreuasant ar eu hen gastiau yn Nhy y Cynrychiolwyr. Ceisiasant basio mesur a roddai hawl i'r Ty hwnw i ddyweyd pwy fydd yn Arlywydd. Yr hen arferiad cyfansoddiadol oedd, fod i Lywydd y Senedd agor tystebau y gwahanol Dalaethau yn ngwydd y ddau Dy, ar ddiwrnod penodedig, a chyhoeddi yn Arlywydd yr ymgeisydd a gafodd fwyafrif o bleidleisiau y colegau etholiadol; ond nid yw y Democratiaid yn foddlawn i sefyll wrth yr hen arferiad cyfreithlon hwn. Hawliant hwy mai Ty y Cynrychiolwyr sydd i farnu a chyhoeddi pwy sydd wedi ei ethol yn Arlywydd. Os y Ty hwnw sydd i farnu, i ba ddyben y cynelir enw o etholiad mwyach? Ymladdodd y Democratiaid rai dyddiau dros y mesur anghyfiawn yna; ond pan welsant fod y Gwerinwyr yn sefyll fel un gwr yn ei erbyn, ac yn penderfynu sefyll, gorfuwyd ei ohirio hyd ar ol y gwyliau. Y mae llawer o wir yn yr hen ddiareb baganaidd, wedi y cwbl, fod y duwiau yn gyntaf yn gwneuthur yn ynfyd y sawl oeddynt am ddinystrio. Peth arall, yn y cysylltiad hwn, yw

CENADWRI OLAF YR ARLYWYDD HAYES.

Y mae hon yn cael ei chanmol yn gyffredinol, ac edrychir arni, nid yn unig yr oreu a ysgrifenodd ef, ond fel un o'r rhai goreu a ysgrifenodd unrhyw Arlywydd blaenorol i'r Gydgyngorfa. Y mae yn fwnglawdd gwerthfawr o wybodaeth ac awgrymiadau. Ymddengys ei fod wedi meistroli pob cwestiwn a gynygia i sylw, a'i fod yn eu dwyn yn mlaen gyda dymuniad didwyll i lesoli y genedl. Gwna hyn hefyd heb ddangos unrhyw ogwyddiad partiol, er fod natur llawer o'r pethau yr ymdrinir â hwynt yn ei gwneyd yn orchwyl caled iddo beidio. Aiff Mr. Hayes allan o'i swydd yn Mawrth nesaf yn annhraethol fwy poblogaidd na phan gymerodd hi, a bydd yn anhawdd i unrhyw Arlywydd dyfodol dori ei enw yn uwch ar lechresau hanesyddiaeth y wlad, na gadael glanach llwybr ar ei ol, na Rutherford B. Hayes. Mae amryw bethau yn y Genadwri ddiweddaf y carem wneyd sylwadau helaeth arnynt, ond rhaid boddloni ar ychydig o nodion ar y canlynol yn unig:

*Diddymiad amlwreicaeth y Mormoniaid.*—Y mae y pechod gwarthus hwn wedi bod er's blynyddau yn ysmotyn du—ac yn lledu, gan fyned yn dduach o hyd—ar gymeriad y wlad. Y mae hanes y ddwy blaid yn y mynedol yn profi fod y naill fel y llall o honynt yn ofni cyffwrdd a'r pwnc o ddifrif; nid am ei fod wedi ei adael yn hollol ddisylw, ond nid oedd yr iawn foddion yn cael eu harferyd, a'u harferyd gyda y penderfyniad o'i ddifodi wreiddyn a changen. Ond mae yr Arlywydd Hayes wedi deffro, ac mae yn cymell y Gydgyngorfa i fyned at y gorchwyl yn benderfynol, gan awgrymu mesurau trwy y rhai y gellir glanhau beudy Sodomaidd Utah. Yr ydym yn gobeithio fod asgwrn cefn y *Congress* yn ddigon *stiff* i wneyd *clean job* o'r gorchwyl drewedig hwn. Pwynt arall yw,

*Addysg gyffredinol yn y Talaethau Deheuol.*—Y mae gwir angen am hyn. Y mae y *ballot* yn allu ofnadwy yn llaw unrhyw ddosbarth o ddynion, ond yn llawer mwy felly yn llaw anwybodusion—dynion oeddynt mor ddiweddar yn cael eu prynu a'u gwerthu fel anifeiliaid. Os ydys am wneyd dinasyddion da a goleuedig, teilwng o'r safle y maent wedi eu codi iddi, y mae yn rhaid eu haddysgu yn briodol, a hyny mor gyflym ag y byddo yn bosibl; a chan mai y Llywodraeth sydd wedi rhoddi iddynt eu rhyddid, ac wedi gosod y *ballot* yn eu dwylaw, yr ydym yn barnu mai ei dyledswydd hi ydyw cynorthwyo yn haelionus tuag at eu haddysgu. Y mae y pwnc pwysig hwn yn cynyrchu dadleuaeth ddyddorol iawn yn y Gydgyngorfa y dyddiau presenol. Traetha y Genadwri hefyd am yr angen mawr sydd am

DDIWYGIAD YN Y CIVIL SERVICE.

Mae *civil service* y Llywodraeth wedi bod am flynyddau yn ffynonell doreithiog o lygredigaeth politicaidd. Byth er amser Andrew Jackson, yr arwyddair yw, "*To the victors belong the spoils.*" Mae yr egwyddor hon yn dwyn yr elfenau mwyaf llygredig i'r *front*. Pan lwydda y blaid wrthwynebol i fyned i mewn, bydd cyfnewidiad trwyadl yn cymeryd lle yn holl fân ac amrywiol swyddogaethau y Llywodraeth. Y mae yn *rhaid* gwneyd lle i'r *boys*. Yna gosodir dynion dibrofiad mewn swyddau, nid ar gyfrif eu haddasrwydd i'w llanw er lles ac anrhydedd y wlad, ond fel gwobr uniongyrchol am y bryntwaith (yn aml) a wnaethant i gynorthwyo y blaid i fod yn orchfygol. Y mae yn hen bryd i hyn ddarfod, ac y mae *i* ddarfod, can sicred a bod gwybodaeth, moesoldeb, a rhinwedd, yn enill tir. Mae y *civil service reform plank* wedi bod am amser yn manlawr y ddwy blaid, ond ychydig iawn sydd wedi ei wneyd yn effeithiol hyd yn hyn. Mae y *spoils of office* yn rhy werthfawr i'r *politicians* i'w ollwng o'u gafael, nes y bydd raid iddynt gan lais y wlad. Amcanodd Grant ychydig, ac amcanodd Hayes fwy i ddiwygio y gwasanaeth, ond mae yr *interested parties* yn parhau i ymladd mewn gwrthwynebiad. Eto mae y wlad yn dyfod i ddeall y pwnc yn well bob blwyddyn. Y mae y Genadwri hon yn dynoethi gwraidd y drwg,

ac yn galw ar y Gydgyngorfa i'w ddifodi, a gosod diwygiad y *civil service* ar sylfaen nas gellir ei gwrthdroi, na'i dymchwelyd yn y dyfodol; a'r unig ffordd i wneyd hyn yw amddifadu y Seneddwyr a'r Cynrychiolwyr o'r hyn a elwir yn *patronage*. Pa reswm a chyfiawnder sydd i osod holl swyddau y Llywodraeth gyffredinol yn y Dalaeth hon yn llaw *un* Seneddwr? ond felly y mae yn bod hyd yn hyn.

Peth pwysig arall a gymerodd le y mis diweddaf ydoedd,

### DATHLIAD HANER MILFLWYDDOL WYCLIFFE.

Cymerodd yr amgylchiad dyddorol hwn le yn ninas Efrog Newydd, dan nawdd y Gymdeithas Feiblaidd Americanaidd. Nid yn fynych, os erioed, y gwelwyd y fath gynulliad o ddysg, deall a thalent, yn yr *Academy of Music* o'r blaen. Yr oedd y neuadd helaeth wedi ei gorlenwi gan weinidogion yr efengyl, a dynion blaenaf y ddinas. Dr. Storrs, o Brooklyn, oedd areithiwr yr amgylchiad, a'r amcan oedd cadw mewn cof y ffaith nodedig i John Wycliffe, 500 mlynedd yn ol, orphen ei gyfieithiad Saesoneg o'r Beibl. I'r dyn hwn y mae y Saeson yn ddyledus am y cyfieithiad *cyntaf* o'r Ysgrythyrau i'w hiaith eu hunain. A phe na buasai Wycliffe wedi gwneyd dim arall, y mae y weithred hono yn ddigon i anfarwoli ei enw, a chadw ei goffadwriaeth mewn parch ac edmygedd oesoedd y ddaear, lle bynag y byddo Beibl Duw yn cael ei ddarllen yn yr iaith Saesoneg.

Ganwyd y Diwygiwr rhyfedd hwn yn 1324, mewn pentref gwledig yn Swydd York, Lloegr. Addysgwyd ef yn Oxford. Urddwyd ef yn offeiriad Pabyddol. Cafodd ei raddio yn D. D., a chododd i fod yn Broffeswr mewn Duwinyddiaeth yn y Brifysgol. Ond gan fod "ysbryd arall" ynddo, dechreuodd ysgrifenu yn erbyn llygredigaethau a chyfeiliornadau yr Eglwys. Tynodd hyn wg y Pab a'r esgobion, a gwysiwyd ef droion o flaen yr awdurdodau. Yn 1380 gorphenodd ei gyfieithiad o'r Ysgrythyrau i'r iaith Saesoneg. Cynyddodd ei ganlynwyr mewn rhifedi a gwrolder. Pregethent ei egwyddorion efengylaidd trwy y wlad yn yr awyr agored, ac yn fuan yr oedd y Lolardiaid, fel eu gelwid, yn cynwys haner y boblogaeth. Tua'r flwyddyn 1382, gwahoddwyd ef i ddysgu yn y Brifysgol. Ymneillduodd i Lutterworth, a bu farw yno yn 1384. Y mae John Wycliffe wedi tewi; ond agorodd enau na thawa byth tra byddo yr iaith Saesoneg yn cael ei llefaru. Efe oedd y Diwygiwr Seisonig cyntaf, ac mae yr egwyddorion a ddadblygodd yn myned rhagddynt hyd heddyw, ac ânt "nes elo'r Iesu 'n ben trwy'r byd."

Yn mhen blynyddau ar ol ei farwolaeth, gorchymynodd Cyngor Constance i'w esgyrn gael eu codi o'r tir cysegredig, a'u taflu ar y domen! Ond ni chariwyd allan y gorchymyn hyd y fl. 1428—44 mlynedd ar ol ei farwolaeth —pryd y llosgwyd ei weddillion, ac y taflwyd ei ludw i'r afon Swift; cariodd hono hwy i'r Avon; rhoddodd hono eu gofal i'r Severn, hono i'r culfor Prydeinig, a chariodd hwnw hwy i'r Atlantic mawr, i'w gwasgaru i bedwar pwynt y ddaear, yn arwydd o ledaeniad yr egwyddorion a ddysgodd, yn neillduol o'r Beibl a roddodd yn iaith y Sais.

Yr oedd yn mwriad yr ysgrifenydd i wneyd nodion llawer helaethach ar John Wycliffe a'i amserau; ond gan fod y Golygydd *cartrefol* yn cwyno o herwydd prinder gofod, rhaid ymfoddloni aros yma am y mis hwn.

---

—Mabwysiadodd pobl Iowa, yn yr etholiad diweddar, trwy fwyafrif o 38,294, welliant i gyfansoddiad eu Talaeth, yn caniatau i ddynion o liw gael eu hethol yn aelodau o'r Ddeddfwneuthurfa.

—Amlygwyd cymaint o anghymeradwyaeth gan bobl New York i'r bwriad o arddangos Dyoddefaint ein Gwaredwr, ar y chwareufwrdd yn y ddinas hono, fel y cyhoeddodd y Trefnwr lythyr yn mynegu ei fod yn rhoddi y bwriad i fyny, er ei fod wedi myned i'r draul o $20,000 i'w harotoi.

—Derbyniodd yr Arlywydd Hayes yn ddiweddar, oddiwrth y Frenines Victoria, anrheg o fwrdd ysgrifenu tra phrydferth, gwneuthuredig o ran o goed y llong "Resolute," yr hon a ddanfonwyd i chwilio am Syr John Franklin yn 1852.

# Y WAWR.

CYF. V.] CHWEFROR, 1881. [RHIF. 11.

Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## DIFRIFOLDEB A THEIMLAD MEWN PREGETHU.

Difrifoldeb sydd agweddiad meddwl gyda'r hwn y dylai pregethwr drafod gwirioneddau sanctaidd—teimlad sydd agweddiad y galon a ddylai ganlyn a dilyn traddodiad gwirioneddau dwyfol. Y mae yn ddiamheuol fod y naill a'r llall yn wir hanfodol i bregethiad teilwng o'r efengyl. Ceisio dangos yr angenrheidrwydd am ddifrifoldeb a theimlad mewn pregethwr wrth sefyll i anerch pobloedd yn yr efengyl, fydd amcan yr ysgrif fer hon.

Pe gofynid i'r cyffredin o frodyr deallgar, a gawsant fwynhau doniau yr oes o'r blaen, a ydyw pregethu y dyddiau hyn yn rhagori ar eiddo y dyddiau gynt, efallai y cydnabyddent fod rhagoriaethau iddo mewn rhai cyfeiriadau pwysig—megys mewn destlusrwydd, trefn, a chwaeth. Y mae diwylliaeth, dysg, a chynydd gwybodaeth gyffredinol, yn rhwym o ddylanwadu yn iachusol ar y pwlpud. Annheg fyddai tybied y man cysegredig hwnw yn eithriad anhyblyg; yn hytrach, teg yw ei ystyried fel y mynydd uchel ar yr hwn y tywyna yr haul gyntaf a diweddaf. Felly addefwn fod pregethu yr oes hon yn rhagori mewn ystyron pwysig ar y pregethu a'i blaenorodd. Wrth ddyweyd hyn nid ydym am i neb ddeall na fu cewri gynt na cheir mo'u tebyg yn awr; canys byddai honiad felly yn groes i ffeithiau; oblegid y mae cewri wedi bod—cewri yn ngwir ystyr y gair—yn rhagori yn mhob peth ag oedd yn gwneyd pregethu yn effeithiol a dylanwadol—pregethwyr ag oeddynt yn newid gwedd, tôn, ymarweddiad, a chymeriad pobloedd. Heblaw hyn, credwn fod rhagoriaeth cyffredinol yn perthyn i bregethwyr yr oes o'r blaen. Meddai yr hen bregethwyr fwy o ddifrifoldeb a theimlad.

Efallai—ac nid efallai chwaith—mae arnom ofn—mai diffygion penaf pregethwyr y dyddiau hyn ydyw amddifadrwydd o ddifrifoldeb a theimlad priodol. Y mae y gred yma wedi gafaelyd ynom yn gryf yn ddiweddar. Y mae yr ysgafnder a welir mewn crefyddwyr mewn bywyd cyffredin, yn adlewyrchu ysgafnder eu dysgawdwyr. Y mae yr oes hon yn oes gellweirus—ddibris o wirionedd; ni phetrusir siarad ac ysgrifenu yn gellweirus am bethau sanctaidd. Yn mhlith rhai o'r enwadau crefyddol ceir aelodau na chywilyddiant ronyn o gael eu cyhuddo o wallau echrys mewn barn a buchedd. Yn hytrach, dadleuant yn amddiffynol dros wallau o'r fath. Nid yw yr ysgafnder a geir yn y pwlpud o'r natur yna, ond eto y mae mor gondemniol, os nad yn fwy felly yn fynych.

Y mae ysgafnder yn y pwlpud yn bradychu chwaeth a duwioldeb; ydyw—a mwy na hyny—y mae yn rhyfyg o'r mwyaf peryglus. Y prif beth a wna ladd dylanwad y bregeth ydyw ei

thraddodi yn ddifater, yn ddidaro, yn ddibwys. Ni raid i'r elfen hon fyned can belled a'r ysgafn a'r cellweirus er lladd grym y bregeth—mae clauarineb yn ddigon.

Dealler beth a feddyliwn wrth y *difrifoldeb* a'r *teimlad* gofynol yn yr areithfa. Ni thybiwn, er bod yn ddifrifol, a rhoddi ar ddeall i'r bobl ein bod felly—ei bod yn angenrheidiol gwneyd llais pruddaidd, annaturiol; nid oes genym ffydd mewn gwneyd tôn hir-drwm, gaeth, annynol; y mae gwir ddifrifoldeb yn gwneyd ei llais ei hun, yr hwn ni ellir ei efelychu na'i ddysgu yn gelfyddydol. Yn y fan yna, ddarllenydd, gwel yn dda ddal sylw—yr ydym yn barnu fod llawer iawn yn nhôn y lleferydd er arwyddo difrifoldeb; mae y fath beth a thôn addas i natur y gwirioneddau a ddysgir, neu y dyledswyddau a gymhellir. Cymerer engreifftiau adnabyddus o weithredu mewn swyddogaethau gwladol a bydol a cheir gweled fod difrifoldeb yn hanfodol iddynt. Y barnwr ar y fainc—onid chwithig fyddai ei weled ef yn ysgafn—ïe, hyd yn nod yn ddifater. O, na; dysgwylir iddo arfer sobreiddiwch, gofal mawr am gyfiawnder a thegwch. Mewn gair, dysgwylir iddo ystyried ei le yn lle pwysig—yn lle mae lles, daioni, cysur, ac iawnderau dynion yn ymddibynu ar ei weithrediadau a'i ddywediadau, ynddo. Dealler ni, gan hyny, wrth ddweyd y dylai tôn a phwysleisiad y pregethwr arwyddo difrifoldeb o'r mwyaf, pan y mae y fath faterion tra phwysig yn cael eu trafod ganddo—materion ag ydynt yn dal y fath gysylltiad â lles, daioni, a chysur dyn o un tu, a'r fath gysylltiad ag awdurdod, gogoniant, a gras Duw o'r tu arall.

Y teimlad eto—gair ar hyn. Gresynol i'r eithaf ydyw gweled llefarwr yn ymegnio (yn ei ddull ef o ymegnio) i gael y bobl i hwyl—neu, os gwell y gair, dywedwn, i deimlo. Nid anfynych y llefir yn groch, y curir y pwlpud a'r Beibl yn drwm; nid anfynych y llwythir yr ymadroddion â'r syniadau mwyaf brawychus, a'r cwbl i ddim pwrpas—bydd y cwbl fel efydd yn seinio neu symbal yn tincian. Y gwirionedd yw hyn: nid dim o'r fath offer a nodwyd ydyw teimlad gwas i Grist ger bron pechaduriaid. Mae gwir deimlad pregethwrol yn berthynas agos iawn i dduwioldeb. Duwioldeb ydyw y tanwydd sydd yn cadw y teimlad yn fflam—ac yn hyn eto gwireddir y geiriau, fod duwioldeb yn fuddiol i bob peth.

Wel, yn yr elfenau nefol, ysbrydoledig hyn yr oedd yr hen bregethwyr gynt yn rhagori, yn ol pob hanes. Yr oeddynt yn ddifrifol; yr oeddynt yn llawn teimlad; a'r cwbl yn cyfodi oddiar wir dduwioldeb. Pa ryfedd fod eu dylanwad yn fawr? Arfau eu milwriaeth nid oeddynt gnawdol, ond ysbrydol, a nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll o annuwioldeb i'r llawr. Achwyna pregethwyr, gan ofyn, Pa le mae yr Amen?—a chan edliw Amenau y seintiau gynt, gallent hwythau ateb trwy ofyn, Pa le y mae difrifoldeb a theimlad yr hen bregethwyr gynt? Pe ceid gweinidogion y gair yn fwy tebyg i'r hen dadau yn y pethau mawrion yna, clywid Amenau yn fwy mynych, yn ddiau, ac ni fyddai eisiau iddynt gwyno cymaint am eu cael, canys deuent mewn cyflawnder. Prif gymwysderau pregethwrol ydyw difrifoldeb a theimlad. Os ydyw yr elfenau pwysig yna wedi eu colli o'r pwlpud yn yr oes hon, wrth yr hyn oeddynt gynt, beth a all fod achos neu achosion y dirywiad?

Fel un achos, nodwn, fel yr awgrymasom eisoes, ysbryd ysgafn yr oes. Y mae llenyddiaeth nofelaidd, gwyddoniaeth anaddfed, llygredigaeth gwladyddol, ariangarwch, yn nghyda llu o elfenau cyffelyb, yn gwneyd yr oes hon yn oes bendronol, goeg-ddoeth, amheugar, anffyddol; a pheth mwy a ddywedaf?—didduw, digrefydd. Yn canlyn, y mae ysgafnder, ac y mae hwnw yn cyrhaedd y pwlpud yn ei ddylanwad i ryw raddau, mae lle i ofni, os nid i raddau mawr.

Achos arall o'r gwallau hyn ydyw, defnyddiad eithafol o lenyddiaeth draethodol sych y Saeson a'r Ellmyniaid. Nid yr hen Buritaniaid a ddarllenir ac a fyfyrir mwyach; O, na

wneir fawr!—rhaid dilyn yr oes, a myned i borfeydd pellafol, er cael defnyddiau teilwng (?) i wneyd i fyny urddas pregethwrol! Ac onid yw esgeulusiad o fyfyrio y Beibl yn perthyn i'r achos sydd wrth wraidd y dirywiad hwn? Y *Beibl* yw llyfr y pregethwr—ni wna llyfrau y byd i fyny y diffyg a ganlyn ei esgeuluso ef. Yn gysylltiedig a hyn, mae trin y Beibl yn feirniadol yn unig, yn lle cymeryd i fyny ei *ysbryd*. Dyna gamp; yfed ysbrydoliaeth y Beibl.

Ond. a gadael heibio lawer achos ellid enwi, deuwn at y prif achos—diffyg byw yn wir grefyddol. Holed pob un ei hunan ar y pen hwn—gofyned pob un iddo ei hun, Ai ni allaf ychwanegu at fy nifrifoldeb, ac at ddwysder fy nheimlad, trwy fyw yn fwy crefyddol, a thrwy hyny wneyd fy mhregethau yn fwy buddiol a dylanwadol?

O. G.

# HANES Y BEDYDDWYR YN MON.

GAN CHRISTMAS EVANS.

RHAN II.

*Adeiladu Tai Cyfarfodydd.*—Yr ydoedd ty cyfarfod Ebenezer wedi ei adeiladu cyn dyfodiad C. Evans atynt hwy, sef yn y fl. 1781; fel y gwelir ar un o'r barau heiyrn sydd ar un o'r drysau. Casglodd un o'r cenadon teithiol cyntaf arian at draul hwn trwy y Deheudir. Bu llawer o annhrefn wrth ei adeiladu. Nid yw ond ty anorphen hyd heddyw. Yr oedd llawer o anwybodaeth am natur adeiladu tai addoliad yn y dyddiau hyny; yn fwy nag yn bresenol.

Wedi dyfodiad C. Evans atynt, cymerwyd tir i godi ty addoliad yn mhentref Amlwch, gan Mr. Peters. Mae yn dy cyfarfod a gynwys wyth cant o bobl. Bu John Jones, Edmund Francis, a Heth Evans yn ymdrechol tuag ato. Yn ganlynol, adeiladwyd y Capel Newydd, gerllaw Amlwch, yn mhlwyf Llandyfrydog. Cynwys hwnw bedwar cant o bobl. Mae lle i gladdu yn perthyn i hwn. Adeiladwyd hefyd y ty cyfarfod a elwir y Capel Gwyn, yn mhlwyf Llechylched, yr hwn sydd yn dy lled dda, ac a gynwys o dri chant i bedwar o wrandawyr. Mae marchdy cyfleus wrtho, a llofft i un i fyw i edrych ar ei ol, a chladdfa hefyd. Bu Harri Jones, Richard Rowland, ac Evan Williams, yn ymdrechol iawn i'w adeiladu. Adeiladwyd Pencarneddi, sef ty cyfarfod o'r enw hwnw, yn mhlwyf Penymynydd, yn agos i Llanddaniel; cynwys hwn bedwar cant o wrandawyr. Mae claddfa yn perthyn iddo hefyd; ond y mae'r achos yn wan iawn yno. Ty cyfarfod hefyd a adeiladwyd yn mhlwyf Llanfair-mathafarn-eithaf, yr hwn a gynwys bedwar cant o wrandawyr. Nid oes lle i gladdu yn perthyn i hwn. Adeiladwyd ty cyfarfod yn Nghaergybi; cafwyd lle i'w gyfodi gan Mr. Roberts, barcer. Mae yn dy lled helaeth, ac yn cynwys pum' cant o bobl. Mae claddfa yn perthyn iddo, a marchdy, a llofft i fyw. Bu William Jones yn ymdrechol iawn i godi hwn. Adeiladwyd ty cyfarfod newydd yn mhlwyf Llanfachraeth, yr hwn sydd yn dy hardd, ac yn cynwys pum' cant o bobl. Mae claddfa yn perthyn iddo. Bu John Michael, William Williams, a Robert Williams, yn ymdrechol iawn i'w adeiladu.

Ty cyfarfod Llanrhuddlad a adeiladwyd hefyd, yr hwn sydd yn dy hardd, ac yn cynwys chwe' chant o wrandawyr. Mae claddfa gyfleus yn perthyn iddo hefyd, a marchdy, a thy i fyw wrth ei dalcen. Bu Hugh Williams yn ymdrechgar iawn yma i'w gael yn mlaen. Adeiladwyd ty cyfarfod hefyd yn Brynsiencyn, yr hwn sydd yn dy prydferth, ac yn cynwys chwe chant o bobl. Nid oes un gladdfa yn perthyn i hwn. Mae ty cyfarfod Brynsiencyn heb fyned trwy y draul.

Mae dyled yn aros ar dy Caergybi, a Llanfachraeth hefyd rywfaint; ond y mae y chwech eraill wedi myned trwy y draul oll—trwy lafur C. Evans yn casglu trwy y Deau a'r Gogledd tuag at hyny.

Mae arwyddion o helaethu lled y babell eto yn ymddangos; yr ydym yn ymddiried i'r Duw a fynodd arian i gyfodi'r ail deml, i roddi i ninau fodd i fyned trwy y draul o adeiladu lle i ddynion ddyfod yn nghyd i addoli Meddianydd yr aur a'r arian, a'r anifeiliaid ar fil o fynyddoedd. Bydded i'r tai a godwyd er gogoniant i Grist, i beri i'w enw gael ei adnabod trwy y weinidogaeth gan filoedd; a phechaduriaid lawer a gaffo droi eu traed i ffordd tangnefedd, trwy wrando yn y tai addoliad hyn. Amen.

*Sefydlu Cyfarfodydd Misol*, yn mysg yr holl gangenau perthynol i Eglwys Ebenezer, yn Mon.

Darfu i'r Cyfarfodydd Misol gael eu sefydlu yn lled fuan wedi dyfodiad C. Evans atynt. Mae y cyfarfod yn cael ei gynal y dydd Mawrth cyntaf o'r mis, ac yn myned yn gylchynol trwy'r holl gangenau. Mae'r pregethwyr oll yn ymdrechu dyfod iddo; ac un genad o bob cangen hefyd. Yr ydys yn pregethu y nos o'r blaen, a thair oedfa dranoeth yn fynych; bryd arall, dim ond dau yn pregethu am ddeg. Yr ydys yn ymdrin ag achosion ysbrydol ac allanol y corph yn y cyfarfod hwn. Yn hwn hefyd y sefydlir oedfaon trwy gorph y mis, pwy sydd i fod bob Sabboth trwy'r holl gangenau. Ac y mae yr Arglwydd wedi ein cryfhau a'n lluosogi, fel y mae genym ddigon o bregethwyr i lanw pob lle yn Sabbothol; ond buom hir flynyddoedd yn rhy anaml i wneuthur hyny. Yr ydym dan rwymau i gydnabod daioni Duw yn hyn; ac nis gallwn lai na gweled cyflawniad mewn rhan o'r addewid i wneyd y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref. O! am nerth i dreulio ac ymdreulio yn y gwaith da hwn—y gwaith goreu sydd ar y ddaear, sef helaethu teyrnas y Messiah yn y byd. Bydded ei enw yn fawr tra y byddo'r lleuad. Mae'r cyfarfodydd misol hyn yn dra buddiol i ni yn ein cyflwr presenol. Yn y cyfarfod hwn y mae cynrychiolwyr o'r holl gangenau; am hyny yn hwn y byddwn yn trefnu a sefydlu pethau angenrheidiol i'r corph, ac yn penderfynu pethau anhawdd.

*Chwanegiadau at bob cangen*, yn nghyda'r aelodau mwyaf defnyddiol yn mhob un, er ys ugain mlynedd, neu er dyfodiad C. Evans atynt. Nid oedd yr aelodau mewn llawer o fanau ond nifer fach iawn y pryd hwnw, er nad ydynt eto yn genedl gref, ond mewn rhan fechan. Eto y mae achos cofio am ddaioni Duw, yr hwn a roddodd i ni hoel yn y lle hwn.

*Ebenezer* yw y lle a ystyrir fel mam i'r cangenau eraill. Ni bu ond ychydig o dderbyniad aelodau yma er's ugain mlynedd. Mae yma yn awr o gylch deugain o aelodau. Hugh Jones, o'r Feillionen, un o'r diaconiaid, a fu ddiwyd a ffyddlon yn ei le yma, er ei fod yn byw yn mhell oddiwrth y ty cyfarfod, ac yn awr yn tynu tua'r bedd. Gwr o ysbryd tawel, o du hedd ac undeb, yw efe. Y mae W. Roberts, Merddyn-Hafod; Hugh Williams, Tan-y-bryn; Robt. Hughes a John Hughes, o'r Cae-rhos, yn parhau yn eu lle a'u defnydd. Mae Owen Jones o'r Frogwy-fawr, a'i wraig, yn aelodau a dderbyniwyd yn ddiweddar, yn agor eu drysau yn bresenol i letya dyeithriaid. Mae Rich'd Davies, Ty'n-y-llidiard, a'i wraig, yn aelodau diweddar, ac yn arfer lletya amryw o bregethwyr teithiol. Mae C. Evans, yr hwn sydd yn byw mewn darn o dy cyfarfod Ebenezer, yn arfer lletya pregethwyr teithiol yn fynych. Mae teulu arall yn y gymydogaeth hon, er nad ydynt yn proffesu, eto yn agor eu drws i letya; sef, Harri Jones, o'r Saith-aelwyd, a'i wraig Mary Jones. Yr oedd Mary Jones yn arfer gwneyd hyny hefyd yn amser John Humphreys, ei gwr cyntaf. Mae'r aelodau perthynol i'r eglwys hon yn dra gwasgaredig; oblegid hyny y mae lletya pregethwyr teithiol yn beth gwerthfawr a thra buddiol. Mae John Salbury, ac Eleanor Thomas, ei wraig, yn arfer lletya, er nad yw efe yn proffesu gyda ni, eithr ei wraig ef. Yr ydym

yn cofnodi y pethau hyn, fel y gallo yr oes a ddelo weled pa le y bu arch Duw yn teithio o fan i fan, o faesydd y coed i'r bryn, oddiyno i dy Obededom. Bydded bendith, a'r hon y bendithiodd Duw dŷ Obededom, i ddisgyn ar ymgeleddwyr ei genadon, yn yr anialwch hwn. Owen Williams, y crydd; Robert Jones, Glan-yr-afon, ydynt aelodau defnyddiol. John Jones, o Langristiolus, a fu yn ddiwyd a defnyddiol. Y mae llawer o aelodau, heblaw y rhai a enwir, yn perthyn i'r eglwys hon; ond ni enwir ond y rhai mwyaf cynorthwyol.

*Cangen y Capel Gwyn.*—Bu Harri Jones, y gof, yn lletygar yma, tra bu efe byw yn Pen-y-bryn, yn Ngheirchiog. Richard Rowland hefyd sydd yn lletya pregethwyr teithiol yn fynych. Mae John Lewis, Trecastell, a Threruffydd, er nad yw efe yn aelod, ond y mae ei wraig ef, sef Martha Williams, a'i ferch Mary Lewis, wedi bod yn dra chynorthwyol i'r achos, trwy agor eu drws i letya pregethwyr ar eu teithiau yn Trecastell a Threruffydd. Bendith ty Obededom a ddisgyno arnynt hwy a'u hiliogaeth am eu caredigrwydd. Y mae rhifedi yr ychydig sydd yn perthyn i'r gangen hon, o gylch deugain. Chwaneged yr Arglwydd atynt beunydd o nifer y rhai fyddant gadwedig yn y diwedd.

Mae amryw o aelodau yn perthyn i'r lle yn dra defnyddiol, heblaw y rhai a enwyd, megys Thomas Jones, Pen-y-cryw; Elin Jones, Cae'r-nant, a Martha ei merch hi; Owen Williams, Bodgyffell; Owen Prichard; Hugh Edwards, panwr, Gwalchmai; ac Owen Williams, Bodenog. Rhodded Duw ras iddynt i barhau hyd y diwedd. O, na fydded i neb o honynt fod o rifedi y rhai a dynant yn ol i golledigaeth. Cadwer hwy a ninau rhag ymdroi i'w trofeydd, fel na yrir mo honynt gyda gweithredwyr anwiredd.

*Cangen Llanfachreth.*—Bu amryw yn gynorthwyol iawn yma. Darfu i Hugh Hughes, hen lanc yn cadw siop yn mhlwyf Llanfachreth, roddi ty i'r Bedyddwyr i bregethu, sef ystafell o gylch pum' llath o hyd, a phum' llath o led. Lletyodd bregethwyr dros amryw flynyddoedd, er na chafodd y fraint o broffesu gyda'r Bedyddwyr erioed. Mae yn awr wedi marw. Yr oedd ei garedigrwydd wedi methu mewn graddau cyn iddo farw. Bu Rowland Jones, o'r Graianfryn, tad Richard Rowland, Bodrowydd, yn dra defnyddiol tra bu byw. Pan y daeth C. Evans yma gyntaf yr oedd y gangen hon bron wedi diffodd yn llwyr. Buom yn son am ro'i fyny pregethu yma, ond yn y cyfamser tywalltodd yr Arglwydd ysbryd argyhoeddiad yn y weinidogaeth, fel y cafodd amryw o bobl ieuainc eu galw, a phobl canol oed. Yn y deffroad hwnw y galwyd John Michael, pan nad oedd ond o gylch 14 oed. Richard Rowland hefyd a alwyd i broffesu yn yr un tymor. Robert Thomas, yn nghyd ag amryw eraill, nes oeddynt yn agos i 40 o aelodau. Daeth atom, ychydig wedi hyny Wm. Williams, Tremoelgoch, a Jane Jones ei wraig. Yr oeddynt hwy wedi bod flynyddoedd yn proffesu gyda'r Methodistiaid; ond o herwydd eu hargyhoeddi o drefn bedydd y credinol yn ol Gair Duw, unasant â'r Bedyddwyr. Bu y teulu hwn o lawer o ddefnydd ac ymgeledd i'r eglwys hon. Yr oeddynt yn byw mewn fferm a elwir Tremoelgoch, a hono yn agos i'r gangen hon, ac yno y maent yn aros hyd heddyw. I'w ty hwy y byddai yr holl bregethwyr teithiol o Ddeheu a Gogledd Cymru, y rhai a ymwelent â ni, yn myned i gael llety yn garedig. Bydded i Dduw eu cofio, er daioni iddynt hwy a'u hiliogaeth hyd ddiwedd amser. Ond cyfododd ail gwmwl dudew ar yr achos yn y lle hwn. Daeth yr ysbryd byrbwyll hwnw o ymfudo i'r America, yr hwn a ddyrysodd lawer yn eu bywoliaeth yn y Dehau a'r Gogledd. Disgynodd ar lawer yn y gangen hon, fel y mordwyodd amryw o honynt i'r America; megys Robert Owen, Cleifiog; Morgan Williams, Nicholas Owen, a William Rowland. Ciliodd eraill o'r ardal hon i fyw mewn lleoedd eraill, hyd nes y gwanychodd yr achos yn ddirfawr, hyd nes y buom yn son drachefn am roddi pregethu i fyny yn y lle. Ond nid ein meddyliau ni oedd

meddyliau Duw. Yn fuan rhoddodd ysbryd argyhoeddiad yn y weinidogaeth drachefn; cafodd amryw eu deffroi, a gobeithio i wir gredu yn Nghrist, fel yr unasant â'r Bedyddwyr. Yn y cyffroad ysbrydol, a'r diwygiad hwn, y bedyddiwyd Robert Williams, Tygwrthyn, a dau o'i feibion ac un o'i ferched; Rhys Williams, Penteyran; Rowland Williams, ei fab; Owen Rowland, Bodleugan; ac amryw o'i chwiorydd a unasant â'r Bedyddwyr. Daeth y rhai hyn i mewn trwy ddaionus law ein Duw. Felly, ychwanegwyd at rifedi, ac at ddoniau canu, a gweddio, yr eglwys hon yn fawr. Mae yn awr yno gryn lawn o ddoniau. Cadwed Duw ei oruchwyliaeth arnynt. Ni wyddys pa mor agos y gall cwmwl tywyll fod eto yn barod i godi, a thywyllu yr haul a'r ser. Arosed Ysbryd Duw gyda hwy byth.

*Cangen Caergybi.*—Mae yr achos wedi dechreu yma er ys mwy na phum' mlynedd ar hugain, ond o fewn ychydig flynyddoedd y mae rhyw fesur o gynydd arno. Mae yno dy cyfarfod newydd wedi ei adeiladu o gylch pump neu chwech mlynedd yn ol; cyn hyny buwyd yn pregethu mewn amryw dai yma a thraw ar hyd y dref. Bu Wm. Roberts, o'r Garegfawr, tad y wraig sydd yno yn bresenol, yn ymdrechol a defnyddiol yno ar y dechreu; ond y mae ef wedi huno gyda'i dadau er ys llawer blwyddyn. Y mae ei ferch ef, Fanny Roberts, yn aelod yn bresenol, ac yn gynorthwyol. Mae Alice Beaver, gwraig weddw, yr hon sydd yn aelod yma bron o'r dechreuad, wedi bod yn dra chynorthwyol yno; gyda hi y lletyodd bron pawb o'r pregethwyr a bregethent yn Nghaergybi. Bydded gofal tyner rhagluniaeth Duw am dani yn ei hen ddyddiau, ac nac eled ei llafur yn ofer yn yr Arglwydd. Mae William Jones, o Drefanial, y blynyddoedd diweddaf wedi bod o fawr ddefnydd yno. Mae ei dy yn agored i letya pawb a ddelo, ond ei fod yn byw ychydig o'r dref; ond ato ef y mae ceffylau y pregethwyr yn cael eu danfon, ac yntau yn eu derbyn a'u porthi yn garedig. Bu hefyd yn ymdrechol iawn a llafurus yn nghylch adeiladu y ty cyfarfod. Bydded cof am lafur ei gariad yn llyfr cronicl y Barnwr mawr. Mae Benjamin Jones* hefyd, mab William Jones, ac ŵyr Wm. Roberts, o'r Garegfawr, (canys y mae William Jones yn briod â merch William Roberts, o'r Garegfawr,) yn ymdrechol, caredig, a diwyd. Mae gwraig Benjamin Jones hefyd wedi proffesu, ac y maent yn byw yn nhref Caergybi; y mae yn obeithiol y byddant o lawer o ddefnydd i'r achos. Cynalied Duw hwy hyd y diwedd, i ddwyn ffrwyth er gogoniant Iesu Grist. Daeth un William Burnel, mab i'r hen Burnel o'r Nottage, yn sir Forganwg, i sir Fon, ac a briododd wraig weddw yn agos i Gaergybi; ni bu ef o fawr les i'r achos, ond cafwyd gofid lawer oddiwrtho ef mewn amryw ffyrdd. Nid ydyw yn llefaru neu yn pregethu er ys llawer dydd. Bydded diwedd ei oes i fod yn well na'r rhan a aeth heibio o honi. Y mae rhifedi yr aelodau yn Nghaergybi yn y flwyddyn 1812, o gylch 30. Pared yr Arglwydd iddynt gynyddu o hyd o nifer y cadwedigion.

*Cangen Llanrhyddlad.*—Mae o gylch 35 o aelodau yn perthyn i'r gangen hon yn y flwyddyn 1812. Yr aelodau mwyaf defnyddiol ag sydd yn perthyn i'r gangen hon yw y canlynol: Bu Richard Hughes, y teiliwr, o lawer o ddefnydd, ond bu ef farw, a gadawodd sawyr dda ar ei ol. Mae Jane Hughes, ei weddw ef, yn fyw yn bresenol, ac yn aelod hardd. Mae dawn cyfansoddi emynau da iawn ganddi hi. Bu Rowland Williams o lawer o ddefnydd yn y lle hwn, ond y mae ef wedi huno yn yr Iesu. Yn agos i'r gangen hon y mae Hugh Williams yn byw, sef yn Bodwyn. Diamheu mai efe a'i deulu yw y rhai mwyaf defnyddiol sydd yn perthyn yma. Ato ef yr ymgyrcha y pregethwyr teithiol i gyd i letya; mae ei ddrws ef yn agored i fforddolion Seion. Mae Owen * * * * † Thomas Rowland hefyd sydd yn ymdrechol; a John Buckley. Mae gwr yn byw yn

---

* P. A. MON oedd hwn.—SPINTHER.

† Ser sydd yma yn yr ysgrif.—SPINTHER.

y gymydogaeth, sef John Hughes, o'r Fadogfrech; mae efe ac Eleanor Hughes, ei wraig, yn dra charedig a chynorthwyol i'r Bedyddwyr. Bydded gwawr rhagluniaeth ddaionus Duw i fod arnynt hwy a'u hiliogaeth hyd ddiwedd amser.

---

## CRIST YN GANOLBWYNT Y BEIBL.

GAN Y PARCH. LL. REES, JOHNSTOWN, PA.

### II.

Yr hyn a draetha y Beibl am feibion yr Adda cyntaf, gwna hyn am fod buddion Mab y wraig—*Had y wraig*—yn galw am hyn. Yr hyn a ddyweda y Testament Newydd am yr apostolion ac am yr eglwys, llefara am danynt fel am eiddo Crist; a llefara am ellyllon y pwll, ac am breswylwyr gogoneddus y nef—am drybini a hagrwch yr anialwch, ac am geinion paradwys, er dangos awdurdod, gogoniant, a chyfoeth y Messiah; ac os gwelir yn nghyfrolau y datguddiad dwyfol ddeng mil o byncjau, maent oll yn cael gofod iddynt yn herwydd rhyw berthynas rhyngddynt a'r Iesu, yn ei enw, natur, ei gymeriad, ei ddyoddefiadau, ei deyrnas, neu ei ogoniant. Efe yw arwr mawr yr holl ddadblygiadau Beiblaidd. Eu gwaith hwy yw bod yn osgorddlu serenog; ei briodle ef yw bod yn haul—yn ganolbwynt y cysawd. Holl gynllun Natur, Rhagluniaeth, a Gras, a wreiddiola yn, a ddeillia o, ac a derfyna ynddo, ef. Mae pedair mil o flynyddoedd yn pasio cyn iddo wneyd ei ymddangosiad ar chwareufwrdd ei ymdrech ddi-ail. Yr oedd llawer o'r golygfeydd yn y *ddrama* fawr i basio cyn iddo ef wneyd ei ymddangosiad ar y banlawr. Cyflawna y rhai'n y gwaith o chwyddo, addurno, a gogoneddu doethineb y *plot*. Yn y nef batriarchaidd ac Iuddewig codai seren ar ol seren, a gwasgarai ei goleuni llachar ar fyd tywyll, yna machludai, yn mhell cyn ymddangosiad y Seren Ddydd i wasgaru goleuni anfarwoldeb ar fyd marw.

Rhaid i ni, gan hyny, wrth agor y Gyfrol Sanctaidd wneyd hyny gyda golwg ar Iesu, "am yr hwn yr ysgrifenodd Moses yn y gyfraith, a'r holl brophwydi." Rhaid cadw mewn golwg mai teulu yr Iesu yw teulu y Beibl—ei deulu yn ol y cnawd sydd yn yr Hen Destament; a'i deulu yn ol yr Ysbryd, yn y Newydd. Mae ei linach hynafol yn cyrhaedd i lawr drwy bedair mil o flynyddoedd; ac weithiau ymgysyllta â holl deuluoedd blaenllaw y ddaear. Nid yw y rhai'n, er hyny, ond fel gwyradgan yr hanesgerdd (*epic*) yr iachawdwriaeth; nid ydynt ond megys gwyrad oddiwrth brif linell yr hanes; ac y maent i'w hystyried fel yn egluro neu yn addurno pwynt neu ddygwyddiad yn nadblygiad Mab y dyn, Iachawdwr y byd. Mae oesau y Beibl yn fyr neu yn hir yn ol nerth a chwmpasrwydd eu cyfeiriad at gymeriad a ffawd teulu Abraham. Nid yw hanes y greadigaeth, sefyllfa wreiddiol dyn, ei godwm, a holl fanylion un mil chwe' chant ac un ar-bymtheg-a-deugain o flynyddoedd o oes y byd yn cael ond tua haner y gofod Beiblaidd a ga hanes teulu Abraham ei hun. Ni roddir ond wyth penod, yn cynwys 206 o adnodau, i ddadblygu y manylion o Adda hyd ddiwedd y dylif; tra y rhoddir un-ar-bymtheg o benodau, yn cynwys 500 o adnodau, i'n dwyn i lawr o alwad Abraham hyd ffoedigaeth Jacob i Padan-Aram. Yn gydweddol â hyn mae hanes ramantus Joseph yn llanw yn nghylch y bedwerydd ran o lyfr Genesis. I ba beth y gellir cyfrif yr anghyfartaledd gofod Beiblaidd a roddir cydrhwng hanes Abraham a'i deulu ac eraill o'u blaenafiaid dynol, a'u cyd-oeswyr? Os nad yw yr amser, y llafur, a'r gofod a roddir i gofnodi dygwyddiadau yn arddangos y pwysigrwydd maent yn gael yn meddwl yr hanesydd, beth maent yn arddangos? Dilys yw, gan hyny, fod amgylchiadau teulu Abraham, fel y rhoddir hwynt yn llyfr Genesis, fel dangoseg i gyfrolau y Beibl, yn cymeryd i fewn fwy na phedair rhan o bump o hanes dyn yn ystod 2,367 o flynyddoedd, a hyn yn yr amser mwyaf dyddorus, ac o'r hwn nid oes cofnodiad awdurdodedig a chredadwy ar y ddae-

ar ond a geir yn Genesis, yn arwyddo i bob darllenydd sylwgar bwysigrwydd uchraddol hanesyddiaeth yr iachawdwriaeth ar bob un arall. Mae y partiaeth hwn i deulu Abraham, yr hwn hefyd oedd deulu Crist, yn dangos mai teulu a dygwyddion teuluol y Messiah ydyw baich holl hanesiaeth gysegredig —y brif *line* ac edafedd holl gofnodion a gweithrediadau y Beibl. Mor ddilys ydyw pethau yn wyneb yr hyn a ysgrifenwyd uchod, fel nad oes genym i astudio ond ffawd un teulu i ddeall yr holl Feibl yn ei ffeithiau a'i ddygwyddiadau—yn ei holl osodiadau a'i addewidion—yn ei holl ddatguddiadau o amser a thragywyddoldeb.

Nid yw holl seremoniau addoliad y patriarchiaid, beth bynag oeddynt; seremoniau addoliad y tabernacl a'r deml, ond portreadau o Grist yn ei swydd gyfryngol, fel prophwyd, brenin, iawn, ac eiriolwr. Dadrwymer Oen Duw oddiar allor Calfaria, a dyna yr hwrdd yn ffoi oddiar allor Moriah; dyna *reprieve* i'r bychod a'r aner goch dan y ddeddf; a sain brefiadau gorfoleddus drwy y presebau a'r corlanau Iuddewig. Ond beth am y dyn? Tyner eiriolwr efengyl o'r nef, a dyna ddwyfroneg yr archoffeiriad yn syrthio, a'r enwau arni yn myned yn ddiystyr. Tyner Iesu o'r ddeheulaw, a dyna beraidd ganiedydd Israel yn colli ei delyn a'i deyrnwialen, ac yntau yn dychwelyd i fugeilio y praidd ar lechweddau Bethlehem. Gwaed Crist mewn darlun oedd gwaed yr ych; swyddi Crist mewn portread oedd swydd Melchisedec, Moses, Aaron, y Lefiaid, a Dafydd. Corph Crist mewn portread ydoedd y deml. Gallasai Crist fodoli, a gwneyd ei holl waith heb Moses a'i frawd, ond ni allasent hwy byth hebddo ef. Gall yr haul fodoli heb y lloer a'r ser, ond nis gallant hwy hebddo ef. Mae ei wyneb ef yn gwneyd gwyneb iddynt hwy. Crist yn yr addewid am dano a roddai urddas i'r hen deml gynt, a chysegredigrwydd i'w hoffrymau a'u haberthau. Nid yw y *promise to pay* yn werth dim ond oddiwrth yr hwn sydd a *chash;* ac ar yr un tir, nid oedd y seremoniau Iuddewig—*greenbacks* Moses—yn werth dim ond fel yr oeddynt yn cynwys addewid yr hwn a addawodd eu sylweddoli â *chash* yn ei waed ei hun.

*Crist oedd ac yw canolbwynt y rhan brophwydol o'r Beibl.*

Agorwyd drama prophwydoliaeth gyda y cyhoeddiad o Had y wraig i ddyfod i ymladd ornest â sarph y fall. Pan oedd y byd hwn fel haul o tan ddiffyg hollol, wedi amwisgo â gwregys o dywyllwch duach na'r caddug Aiphtaidd—ail *chaos* mwy anobeithiol o du y ddaear am adferiad na'r cyntaf—ond yn ei dro dyma dymp dwyfol ras i esgor ar ei drefniadau, wedi dyfod, ac yn yr adddwid o Had y wraig, dyma "Fydded goleuni" gras anghydmarol yn chwalu y caddug, nes y derbynia colledigion Eden i'w henaid drydaniaeth bywyd. Fe arosodd y brophwydoliaeth uchod ger bron y byd yn ddisynwyr a ffol, ond i berchenogion ffydd, am bedair mil o flynyddoedd. Y *problem* anesboniadwy drwy yr oesau, gan athronwyr a gwyddoregwyr, oedd, Yn mha le, a pha bryd, y ceid mab i fam ddaearol heb dad daearol? Ni allai, yn amser Malachi, holl lyfrau cofrestriol teyrnasoedd y byd ddangos y fath beth. "*Nonsense,*" meddai athronwyr. "Anmhosibl," meddai meddygon. "Ni fydd y fath beth," meddai anffyddwyr. Dacw flwyddyn y peth newydd ar y ddaear wedi gwawrio, a gwr dyeithr yn ymddangos i forwyn yn Israel, ac yn sibrwd yn ei chlyw yr hyn a wnaeth iddi ateb yn wylaidd, "Bydded i mi yn ol dy air di." "Y peth sanctaidd a enir o honot ti a elwir yn Fab Duw." Yn yr amser gosodedig ar ol hyn, dyma yr un gwr swyddogol yn cyhoeddi yn hyglyw i eraill, "Ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd." Dyma y *broblem* fawr wedi ei *solvio;* geiriau dwl, disynwyr gyda dynion, wedi profi yn gywir gyda Duw. Crist, felly, oedd enaid y brophwydoliaeth yna, "Yn dy had di y bendithir holl dylwythau y ddaear," oedd y brophwydoliaeth nesaf am Grist. Diau i lawer, drwg a da—Abraham, Isaac, Jacob, Moses, Pharaoh, breninoedd

Chaldea, Persia, a Rhufain, o dan oruwch-reoliad Teyrn mawr y nefoedd, fod yn gyfryngau bendith yn helaeth; ond can wired a hyny yw, na chodwyd ond un erioed i fod yn swyddogol gyfrwng bendith gyffredinol. Ni feddodd ond ychydig erioed ar yr *impulse* calon, a neb ar y gallu a'r cymhwysder i ddadblygu yr *impulse* mewn gweithred ddigonol effeithiol, i dori ar draws argae gwladgarwch a chenedlgarwch, ond Iesu Grist yn unig. Dymchwela efe argae cenedlgarwch yn nameg y Samaritan—yn y cyhoeddiad, "A minau os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun." Amcan mawr Iesu yn yr efengyl yw gwneyd pob dyn yn gymydog, yr holl fyd yn un wlad, yn un genedl, un teulu, un eglwys, un creadur newydd yn Nghrist Iesu. Fe ddysgodd ac fe waedodd Iesu er cael y byd i deimlo nerth egwyddor cytrasol i syniad yr anfarwol fardd Cymreig, Dewi Wyn,

"Brodyr o'r un bru ydym," &c.

Cymaint oedd dyngarwch Iesu Grist, fel yr anwybyddodd rwymau tybiedig ei fam arno, ar dro neu ddau; ni chai ei rhwymau hi arno argaeo ffrwd ei haelfrydedd tuag at y byd cyfan. Dyma hefyd yr ysbryd a gadd ei ganlynwyr oddiwrtho: "Dyledwr ydwyf i'r Groegiaid, barbariaid; caeth a rhydd," meddai Paul fawr. Nid oes neb wedi adnabod Cristionogaeth hyd nes y delont i'r ysbryd hwn. Y dyn na welo wrthddrych tosturi mewn dyn tlawd, gorthrymedig, ac angenus, am ei fod yn ddu, neu felyn, neu yn Annibynwr, yn Fethodist, Eglwyswr, neu Babydd, sydd ganddo eto i ddysgu beth oedd ac yw Iesu, a pheth yw y grefydd, fendigedig a darddodd allan o'i haelfrydedd dwyfol ef.

"Nid ymedy y deyrnwialen o Juda," &c., oedd y cyhoeddiad prophwydoliaethol nesaf o Grist. Iesu oedd y Shiloh mawr yn y brophwydoliaeth, dyfodiad yr hwn oedd i fod yn arwydd o symudiad y freniniaeth o Judah.

Yr un modd gellir dweyd mai Iesu oedd canolbwynt prophwydoliaethau Daniel, Esaiah, Ezeciel, &c. Ynddo ef y cai y beirdd dwyfol gynhyrfiol hyn y trydan i'w meddwl a'u codai i *climax* eu prophwydoliaeth. Iesu oedd eu *Parnassus* hwy, oddiar gopa pa un y gwelent "derfyn yr oesau," a seliau llyfr dyfnion arfaethau y Jehofah yn cael eu datod, a rhyfeddodau y "cyngor hedd" yn ymdori yn ffrydlif gorlifol o fendithion didrai. Ni ddylai fod achos wrth hyawdledd Demosthenes, Cicero, Spurgeon, &c., i drydanu y byd gyda y fath destyn a hwn! Nid rhyfedd i Mair fod mor foddlon wrth draed yr Iesu!—i Pedr ddweyd, "At bwy yr awn ni? genyt ti mae geiriau y bywyd tragywyddol!" ac i'r swyddogion wneyd *affidavit*, "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." Paham y rhaid benthyca swynion? Paham nad yw yn ddigon i'r creadur tlawd ddweyd yn syml ac o dan deimlad, heb fyned i ganu pregethu, a bustachu a gwaeddi fel pe bae Duw a dyn yn fyddariaid? Pa bryd y daw godidawgrwydd y gallu sydd i gynyrchu yr hwyl bwlpudaidd, o Dduw, ac nid o ddynion? Gwawried y dydd pan ddelo y bobl i weddio yn ddeallus o'r galon yr hyn a weddïir, ac a genir yn fynych â'r gwefusau:

"O, llefara, addfwyn Iesu,
Mae dy eiriau fel y gwin;
Oll o'm mewn yn dwyn tangnefedd
Ag sydd o anfeidrol rin;
Mae holl leisiau'r greadigaeth,*
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth dy lais hyfrydaf tawel †
Yn dystewi a myn'd yn fud." ‡

---

* Y llais doniol hefyd. † Beth am y trystfawr? ‡ Wel, dyna lawer yn tewi.

---

—Na ddechreua ddim heb iawn ystyried ei ddiwedd.

—Nac anghofia dy wendidau dy hun, felly byddi yn barod i faddeu diffygion rhai eraill.

—Llefara gyda phwyll ac arafwch, yn enwedig mewn achlysuron a fo yn tueddu i fod yn gynhyrfus.

—Bydd dra gofalus yn dy addewidion, a chyfiawn yn dy gyflawniadau; a chofia fod yn well gwneuthur ac heb addaw, nag addaw ac heb gyflawni.

## EGLURHADAETH FEIBLAIDD.

GAN DR. CEFNI PARRY.

"Er gorwedd o honoch yn mysg y crochanau, byddwch fel esgyll colomen wedi eu gwisgo ag ariau, a'i hadenydd ag aur melyn."
—PSALM 68 : 13.

Tybir gan rai beirniaid o gryn enwogrwydd, mai crochanau yr Aipht a feddylir yn y geiriau, ac mai cyflwr darostyngedig yr Hebreaid yn ngwasanaeth y priddfeini, pan yn orthrymedig yn ei chaethiwed Aiphtaidd—yn gyferbyniol a'i chyflwr llwyddianus, diogel, a llewyrchus, dan fendith ac amddiffyn Duw ar y genedl yn Nghanaan, a osodir allan yn y geiriau prydferth a wisgant y meddyliau bywiog a barddonol hyn. Du, aflan, ac isel, oedd cyflwr y genedl yn y caethiwed Aiphtaidd, fel caethion llwfr, digalon, yn gorwedd yn mysg crochanau, ac yn ddwl, pygddu, a llawn parddu; fel y crochanau y gorweddent yn eu mysg, yr ymddangosai agwedd y genedl, yn y cyflwr isel hwnw; ond glan, dysglaer a phrydferth iawn yr ymddengys yn Nghanaan, yn ei llwyddiant, ei chyfoeth, a'i diogelwch, yn yn ngwlad ei gorphwysfa a'i rhyddid, dan nodded, amddiffyn, a phenllad fendith Duw, yn debyg i edrychiad colomen brydferth, a phluf symudliw ei hesgyll yn dysgleirio fel lliw arian, ac yn cyfnewid eu hadlewyrchiad i wawr aur melyn. Myn eraill, mai cyfeiriad at arch yr Arglwydd, wedi bod yn hir mewn cyflwr o ddibrisdod, yn cael ei gadael heb ei glanhau a'i chaboli, nes yr oedd yr aur dan haenau llwch, wedi colli ei ddysgleirder a'i ysplander; fel yr ymddangosai yr arch mor ddiaddurn a diogoniant a llestri cyffredin gwasanaeth teuluaidd, heb wahaniaeth rhyngddi a'r crochanau duon eu hunain; ond wedi ei dychweliad o wlad y Philistiaid i dir Israel, a chael ei glanhau a'i chaboli, ar ei symudiad i Seion, ymddysgleiriai ei haur mor lachar ac adlewyrchiadol ag esgyll colomen, a'u pluf fel arian, a'i hadenydd fel aur melyn.

Er prydferthed y syniadau uchod, ac er mor farddonol ydynt, prin y gallwn eu derbyn fel gwir feddwl y bardd ysbrydoledig yn y geiriau. Cofiwn mai math o arwrgerdd yw y Psalm hon—Duw Israel yw yr arwr; a hanes ei symudiadau arwrol, yn ngwaredigaethau y genedl, yn gorchfygu ei gelynion, a choroni ei buddugoliaethau â llwyddiant, nes ei sefydliad terfynol yn ei hetifeddiaeth, a ddarlunir yn yr hanesgerdd brydferth a barddonol hon.

Yn adnod 11, mae Duw, fel y Maeslywydd mawr, yn rhoddi y gair—*word of command*—i'w luoedd i daraw ar y gelynion; a'r canlyniad llwyddianus a geir yn yr adnod ganlynol: "Breninoedd byddinog a ffoisant ar ffrwst; a'r hon a drigodd yn y ty a ranodd yr yspail." Yr hon a drigai yn y ty a olyga yn fwy neillduol y rhyw, yn hytrach na y rhif, gan gyfeirio at y rhyw fenywaidd, yn wragedd a merched, yn aros yn eu tai, i ddarparu ar gyfer derbyniad eu gwyr, eu meibion, a'u brodyr, adref o'r rhyfel; wrth draed y rhai y gosodai y gorchfygwyr yspail y rhyfel, i'w rhanu rhyngddynt a chanddynt. Darllenwn felly yn Llyfr y Barnwyr, (5: 28—30), pan mae mam Sisera yn edrych trwy y ffenestr, ac yn gwaeddi trwy y dellt, am achos oediad ei mab yn ei ddychweliad o'r rhyfel gydag anrhaith fawr o bethau drudfawr, i'w rhanu yn mysg teuluoedd yr anrheithwyr. Y gwragedd neu y merched hyn a arosent yn y ty, i ddarparu ar gyfer dychweliad y milwyr gorchfygol; a'r rhai, ar eu dychweliad gyda'r yspail, a'i rhanent yn eu plith, ydyw y rhai a grybwyllir yn adnod 13, yn gorwedd rhwng y crochanau. Ond beth a ddeallir wrth orwedd yn mysg y crochanau? Mae y gair *shephattaim* yn golygu bachau, cigweiniau, pentanau, yn gystal a llestri trin bwyd, y rhai a gyfieithir yn ein Beibl Cymraeg yn grochanau. Nid yw y gwreiddiol yn golygu llestri berwi bwyd, mwy na llestri trin bwyd; felly y meddwl yw, aros yn ddiogel yn mysg llestri coginio; fel y mae y gair gorwedd yn y lle yn arwydd gorphwyso, lloches mewn diogelwch, neu aros heb gyffro. Dull Hebreig o lefaru am aros yn nghanol cyflawnder

brasder cig berwedig, a phob darpariaeth arall er cysur a moethau, ydyw gorwedd yn mysg y crochanau neu lestri bwyd. Y menywod hyn, ar ddychweliad eu gwyr, a'u brodyr, neu eu tadau, yn orchfygwyr o'r rhyfel, ar raniad yr yspail, a gaent eu gwychu a'u haddurno â dillad gwychion, aur ac arian a gemau drudfawr, fel yr ymddangosent yn eu prydferthwch a'u hysplander, yn debyg i'r golomen symudliw, a'i hesgyll yn arian, a'i hadenydd yn aur melyn.

Y meddwl arweiniol ydyw, Daioni Duw yn diogelu y menywod yn eu tai, tra y byddai eu heiddo yn ymladd rhyfeloedd yr Arglwydd, yn gystal a'i ddaioni yn rhoddi cyflawn fuddugoliaeth i wyr Israel ar eu gelynion, nes eu sefydlu a'u cadarnhau yn eu hetifeddiaeth, pan y gosodwyd cryfdwr yn eu mynydd ar orphwysiad arch yr Arglwydd yn mynydd Seion.

---

## UNOLIAETH NATUR.

GAN Y DUKE OF ARGYLL.

### III.

Mae yr awdwr dysgedig hwn yn myned yn mlaen gan godi yn uwch yn barhaus at unoliaeth Natur yn yr ystyr bwysicaf. Hyd yn hyn y mae wedi sylwi ar yr unoliaeth a welir yn nefnyddiau a gweithrediadau peiriant mawr natur; yn neillduol galwa sylw at gyfaddasiad y naill ran ar gyfer y llall—at gymhlethiadau y naill ran a'r llall—at raddoliaeth a raid fod ynddynt—ond nid yw yn aros gyda yr unoliaeth a ddarganfydda yn y peiriant a'i symudiadau. Archwilia yn mhellach *i effeithiau* y peiriant a'i ranau amrywiol ac amryfath. *Beth a wneir* gan y peiriant, a ddengys yr unoliaeth uchelaf. Mae yr unoliaeth hwn yn wahanol i'r llall, a'r ffordd i'w gael allan yn wahanol. Y mae y cyntaf a nododd yn taro yr arsyllydd ar unwaith. Gwir fod y manylion yn dod i'r golwg wrth graffu a sylwi, nes y bydd yr ymchwiliad yn deilwng o'r enw Gwyddoniaeth. Rhaid i'n dirnadaeth am nerthoedd natur gael ei ffurfio yn fwy oddiwrth yr hyn a *wnant* nag oddiwrth unrhyw ddarnodiad ellir wneyd o'r hyn ydynt. Nid unoliaeth mater, na chwaith unrhywiaeth symudiadau, ydyw hwn. Efallai y byddai y syniad am dano yn fwy syml wrth ddweyd, ei fod yn unoliaeth ddeallol bur, a gyrhaeddir trwy ymchwiliad galed. Gall yr anghyd-darawiadau mwyaf a ddichon ddisgyn ar y glust, a'r beroriaeth fwyaf nefol, fod yn perthyn yn agos i'w gilydd, ac yn wir yn unrhywiol, can belled ag y byddo y naill a'r llall yn cael eu cynyrchu gan ddeddfan swn. Ond collir golwg ar yr unoliaeth uchelaf a berthyn i swn, os na thelir sylw i'r meddwl—y parotoad—yr amcan—mewn gair, unoliaeth meddwl a theimlad, ar ba rai y mae cydgordiad peroriaeth yn sibrydu, a'r hwn a gyfleir mor effeithiol i feddyliau eraill—meddwn, bydd yr unoliaeth uchelaf hwn yn guddiedig a cholledig os na chodwn uwchlaw dirnadaeth gelfyddydol o ddeddfau swn, y rhai mewn ystyr israddol ellir yn briodol iawn a chywir eu dosbarthu yn nghyd. Ac eto yr ydym mor hoff o syrthio mewn cariad â darganfyddiadau o'r fath hyn a gyfunant yn nghyd, fel yn perthyn i'r un dosbarth, bethau yr ydym wedi bod yn eu hystyried yn dra gwahanol i'w gilydd, nes y mae rhai yn ymfawrygu yn nghylch y darnodiadau o honynt, fel pe byddai rhyw wirionedd mawr diweddaf wedi cael ei gyrhaedd am natur y pethau, ac fel pe byddai ein hen olygiadau arferol am danynt yn dwyllodrus; pan mewn gwirionedd y gallai y gwirionedd mwyaf am danynt fod yr hyn a arferid goleddu bob amser, a'r gwirionedd iselaf yr hyn a ddarganfyddwyd genym yn ddiweddar.

Ni ychwanegwn y tro hwn. Dealled y darllenydd, ein bod yn hoffi yn fawr syniadau y Duke; credwn fod y dyn hwn yn feddyliwr o'r radd flaenaf. Hawdd y gwelwn fod ganddo amcan daionus yn ei ysgrifau. Gweithia o dan sylfaeni tywodlyd gwyddoniaeth yr oes. Ymgyrhaedd at roddi lle priodol i'r darganfyddiadau a wneir. Tyna oddiwrthynt lawer o'r pwysig-

rwydd a roddir yn fynych iddynt. Y mae'r meddyliwr mawr hwn yn gyfaill i Gristionogaeth. Cyngorem ein dynion ieuainc darllengar i fynu y gwaith y dyfynwn o hono, yn y gwreiddiol, a'i fyfyrio yn dda. Wrth ddilyn yr awdwr yn ei archwiliadau i ddeddfau a natur pethau, yr ydym fel yn teimlo o hyd fod Duw gerllaw, er na ddywed ein hathraw mai ei amcan ef ydyw profi presenoldeb Creawdwr.

---

# PWLPUD Y WAWR.

---

## Cyfraith y Llofrudd.

---

GAN Y PARCH. WM. HADDOCK, BLAEN-Y FFOS, SIR BENFRO, D. C.

---

"Dyma gyfraith y llofrudd, yr hwn a ffy yno i fyw; yr hwn a darawodd ei gymydog heb wybod, ac yntau heb ei gasâu ef o'r blaen."—DEUT. xix. 4.

Mae cysylltiadau cymdeithasol yn aml wedi bod yn brofedigaeth i ddynion, ac wedi bod yn achos i ddamweiniau, a llawer o bethau annymunol, i ddygwydd yn eu plith. Er i ddynion wneyd eu goreu, ac er iddynt osod eu holl alluoedd ar waith er trefnu ac osgoi y pethau hyn, eto y mae eu rheswm a'u doethineb yn syrthio yn fyr o gyrhaedd eu hamcan. Yn aml pan y tybiant fod eu cynlluniau yn gweithio yn llwyddianus er rhwystro damweiniau a dygwyddiadau galarus, dyna yr adeg y bydd y cwbl yn dyrysu, a'u holl ddysgwyliadau yn cael eu siomi. Mae yn ffaith anwadadwy fod llawer o ddamweiniau a dygwyddiadau annymunol yn cymeryd lle yn mhlith dynion sydd yn cydfyw, yn cydlafurio, ac mewn trafodaeth y naill gyda'r llall, na fuasai yn cymeryd lle pe na byddent yn y cysylltiadau cymdeithasol y gwelir hwy ynddo; ond tra yn y cysylltiad hwn, rhaid yw dyfod rhwystrau, damweiniau, &c.

Nid oedd plant Israel yn eithriad i hyn; mae y ffaith eu bod fel ninau yn cyd-fyw, cyd-lafurio, ac mewn trafodaeth gymdeithasol â'u gilydd, yn cyfrif am fod yno ddygwyddiadau galarus ac annymunol yn cymeryd lle yn eu plith.

Mae cysylltiadau y testyn yn nodi un engraifft, sef dau gymydog yn myned i'r goedwig i gymynu coed, ac wrth fod y naill yn codi y fwyell i dori y pren, syrthiodd yr haiarn oddiar y menybr, nes cyrhaedd ei gymydog, fel y bu efe farw. Dygwyddiad annymunol oedd hwn, ac ni buasai byth yn dygwydd oni b'ai y cysylltiad cymdeithasol oedd yn bodoli rhyngddynt hwy fel cyd-weithwyr. I reoleiddio damweiniau a dygwyddiadau o'r natur hyn, yr oedd Duw wedi gosod yn mhlith plant Israel ddeddfau a chyfreithiau at eu cynorthwyo i lywodraethu yr amgylchiadau ag oeddent hwy ynddynt ar y pryd er gogoniant i'w enw, a lles iddynt hwy eu hunain. A dywed y testyn, "Dyma gyfraith y llofrudd, yr hwn a ffy yno, i fyw; yr hwn a darawo ei gymydog heb wybod, ac yntau heb ei gasâu o'r blaen." Mae y geiriau hyn yn awgrymu fod mwy nag un gyfraith yn dal cysylltiad â dynion yn lladd eu gilydd; ond, "Dyma gyfraith y llofrudd," &c. Gwnawn dri o nodion:

I. Ymholwn beth oedd y cyfreithiau hyn; ac yn neillduol beth oedd CYFRAITH Y LLOFRUDD.

Yr oedd Duw wedi sefydlu dwy gyfraith, sef un yn caniatau i ddialydd y gwaed i ddial ar y llofrudd, pa un bynag a oedd ef yn fwriadol yn y weithred ai peidio. Y llall ydoedd cyfraith yn amddiffyn y llofrudd, os ydoedd wedi lladd yn anfwriadol, ac mewn gwaed oer. Sylwn ar y ddwy gyfraith ar wahan:

I. Y gyfraith oedd yn caniatau, ac yn awdurdodi dialydd y gwaed i ddial ar *unrhyw lofrudd*.

Mae hon o osodiad dwyfol; rhoddwyd hi i Israel pan ddywedodd Duw, "Rhodder i farwolaeth y neb a darawo wr fel y byddo marw," &c.—Exodus 21: 12.

Pan y byddai dialydd yn dial gwaed, yr oedd ef yn gweithredu ar orchymyn ac awdurdod dwyfol. Mae rhai pethau yn perthyn i'r gyfraith hon sydd yn

briodol i'w nodi, sef ei rheol, ei therfynau, a'i henw.

1. Ei *rheol* ydoedd, nad oedd neb i fyned yn ddialydd gwaed ond perthynas agosaf y trancedig, yr hwn a laddwyd gan y llofrudd. Os mai tad oedd hwnw, efe oedd y dialydd, ond os mai brawd neu fab oedd yr agosaf, hwynthwy oedd i gyflawni y gorchymyn.

2. Ei *therfynau* ydoedd, tu allan i gaerau dinasoedd noddfa, a dim yn mhellach; o herwydd pe yr elai tu fewn byddai yn troseddu ar diriogaeth y gyfraith oedd yn amddiffyn y llofrudd, ar yr hon y sylwn yn fuan.

3. Ei *henw*. Barna rhai ei bod yn cael ei hadnabod wrth yr enw, *Hen* gyfraith, am mai hi oedd y gyntaf a roddwyd mewn cysylltiad â dynion yn lladd eu gilydd; a hefyd am ei bod yn blaenori y gyfraith oedd yn amddiffyn y llofrudd. Yr oedd y gyfraith hon yr un o ran ei natur a'i hegwyddor a'r gyfraith hono oedd yn dweyd, "Einioes am einioes, a dant am ddant." Hen gyfraith talu y pwyth ydoedd—cyfraith yn rhoddi hawl i wneyd yn ol i elyn yr hyn wnaeth y gelyn i ni.

II. Y gyfraith oedd yn amddiffyn y llofrudd *anfwriadol* yn ei weithred.

Hon yw cyfraith y testyn, ac y mae yn wahanol yn ei natur i'r llall, ac yr oedd wedi ei sefydlu yn ddiweddarach na'r llall, ac felly yn cael ei hadnabod wrth yr enw cyfraith *newydd*, yn wrthgyferbyniol i'r hon a ordeiniwyd o'i blaen hi. Yr oedd hon wedi ei gosod yn mhlith y Lefiaid yn y dinasoedd noddfa, ac nid oedd ei therfynau yn cyrhaedd tu allan i gaerau y dinasoedd hyny. Ei hamcan oedd achub a diogelu y llofrudd oedd wedi lladd yn ddamweiniol ac anfwriadol. Os gallai llofrudd ffoi i'r ddinas noddfa, dan nawdd y gyfraith hon, yr oedd hi yn ymrwymo ei achub rhag dialydd y gwaed, tan y byddai treial teg wedi cymeryd lle ar ei achos; yna os byddai y barnwyr yn cael allan fod yno ddigofaint, a bwriad i ladd, yr oeddent yn ei drosglwyddo tu allan i'r caerau, i'r dialydd gael gwneyd ei orchwyl arno. Ond os caent ef yn ddieuog, ac anfwriadol, yr oeddent yn sicrhau ei ddiogelwch yn y noddfa ar y telerau ei fod ef yn aros tu fewn i'w therfynau. Y mae cyfraith y llofrudd yn cael ei geirio fel hyn: "A'r dinasoedd fyddant i chwi yn noddfa rhag y dialydd, fel na ladder y llawruddiog, hyd oni safo ger bron y gynulleidfa mewn barn. Yna barned y gynulleidfa rhwng y tarawydd a dialydd y gwaed, yn ol y barnedigaethau hyn. Ac achubed y gynulleidfa y llofrudd o law dialydd y gwaed, a thröed y gynulleidfa ef i ddinas ei noddfa, yr hon y ffodd efe iddi; a thriged yntau ynddi hyd farwolaeth yr archoffeiriad. A hyn fydd i chwi yn ddeddf farnedig trwy eich cenedlaethau, yn mhlith eich holl drigfanau." Num. 35: 12, 24, 25, 29.

Mae y ddwy gyfraith yma oedd yn Israel, yn ein hadgofio am ddwy gyfraith arall ag y mae Duw wedi eu rhoddi i'r holl ddynoliaeth; a chan fod yma gyfatebiaeth rhyngddynt, sylwn arnynt fel y canlyn:

Y gyntaf oedd yr hon a roddodd Duw i ddyn yn Eden.

"A'r Arglwydd Dduw a orchymynodd i'r dyn, gan ddywedyd, O bob pren o'r ardd gan fwyta y gelli fwyta; ond o bren gwybodaeth da a drwg, na fwyta o hono; oblegid yn y dydd y bwytâi di o hono, gan farw y byddi farw." Gen. 2: 16, 17. Fel ag oedd yr hen ddeddf yn Israel, yn rhoddi awdurdod i'r dialydd i ddial ar y llofruddd am ei drosedd, felly y mae y ddeddf hon yn rhoddi awdurdod i Dduw i ddial ar bechadur am ei bechod. Mae Duw yn adgofio dynion yn fynych am y ddeddf hon trwy ddweyd, "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Ezec. 18: 20. "Cyflog pechod yw marwolaeth." Rhuf. 6: 23. "Colyn angau yw pechod, a grym pechod yw y gyfraith." 2 Cor. 15: 56. Mae y gyfraith hon fel y gyfraith yn Israel, yn meddu ei harbenigrwydd.

1. Mae yn *hen*. Gyda phriodoldeb y gellir ei galw yn hen ddeddf, neu yn hen gyfraith, o herwydd hon roddodd Duw gyntaf i lywodraethu dyn.

2. Ei *rheol*. Rheol hon ydyw nad oes neb i fyned yn ddialydd gwaed ar bechadur ond Duw ei hunan. Mae ef

yn dweyd, "Nac ymddielwch, rai anwyl, ond rhoddwch le i ddigofaint; canys mae yn ysgrifenedig, I mi y mae dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd."

3. Ei *therfynau*. Terfynau hon ydyw y pellder yr â pechadur iddo mewn pechod ac anufudd-dod, a dim pellach, o herwydd nis gall Duw ddial a damnio ar y tir y mae ef wedi addaw *achub* a *diogelu* drwyddo.

Yr ail ddeddf a roddodd Duw i ddyn yw deddf neu gyfraith *efengyl*.

Mae hon yn cael ei gosod allan mewn geiriau byr ac eglur, "Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig." Marc 16: 16. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." Actau 16: 31. Mae y geiriau hyn yn cynwys fod dyn yn derbyn holl ddysgeidiaeth Crist, yr hon sydd yn addaw bywyd a diogelwch i'r neb a'i cofleidia, yr un fath a'r gyfraith yn y dinasoedd noddfa. Fel nad oedd y gyfraith oedd yn awdurdodi y dialydd yn Israel yn caniatau iddo i fyned i diriogaeth y ddeddf oedd yn amddiffyn y llofrudd, felly nid yw y gyfraith sydd yn awdurdodi Duw i gospi pechadur, yn caniatau iddo i fyned i diriogaeth y ddeddf sydd yn addaw achub y credadyn edifeiriol. Er mai cyflog pechod yw marwolaeth, eto dawn Duw yw bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist ein Harglwydd."

Yr oedd gwahaniaeth rhyfeddol rhwng y ddwy gyfraith, sef cymaint ag sydd rhwng bywyd a marwolaeth. Yr hen gyfraith oedd, "Llygad am lygad, a dant am ddant," ond y newydd yw, "Na wrthwynebwch ddrwg; ond pwy bynag a'th darawo ar dy rudd ddeheu, tro y llall iddo hefyd." Yr hen oedd, "Câr dy gymydog, a chasha dy elyn," ond y newydd yw, "Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt, a gweddiwch dros y rhai a wnel niwed i chwi, ac a'ch erlidiant." Mat. 5: 38, 39, 43, 44. Deddf pechod a marwolaeth yw y naill, a deddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu yw y llall. Diolch am y newydd.

II. *Y modd y deuid* dan nawdd ac amddiffyniad cyfraith y llofrudd.

Yr oedd gan y llofrudd amryw bethau i'w gwneyd er cyrhaedd nawdd y gyfraith yn y ddinas noddfa; a chyda yr un priodoldeb y gellir dweyd fod gan bechaduriaid amryw bethau i'w gwneyd er cyrhaedd diogelwch trwy yr efengyl.

1. Yr oedd yn rhaid i'r llofrudd wneyd *ymdrech bersonol* i gyrhaedd y noddfa. Ni fyddai o un pwrpas iddo i gael arall i ffoi yn ei le; ni fyddai hyny yn arbed ei fywyd pe deuai y dialydd o hyd iddo tu allan i'r ddinas noddfa. Felly mae yn rhaid i bechaduriaid wneyd. Nid yw o un dyben i gael eraill i gredu ac ufuddhau yn ein lle ni ein hunain. Peth personol yw cael bywyd tragywyddol trwy yr efengyl. Mae Duw yn dal dynion yn gyfrifol ar wahan oddiwrth eu gilydd. Ni achub neb ei frawd yn nydd y cyfrif manwl. Rhaid i bawb sefyll neu syrthio ar ei dir ei hunan. Ni fydd derbyn wyneb gyda Duw, ond rhydd i bawb yn bersonol yn ol yr hyn a wnaeth yn y corph, pa un bynag ai da ai drwg. Os erys dynion ar dir pechod ac anufudd-dod, rhydd hyny hawl i Dduw i ddial, o herwydd iaith yr hen gyfraith ydyw, "Gan farw ti a fyddi farw." A mwy na hyn, dywedir am yr hwn nad yw yn credu, ei fod "wedi ei ddamnio eisoes, am na chredodd yn enw unig-anedig Fab Duw."

[*I barhau.*]

---

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

VII.

Nid yw yr ysfa wirion i foeli a symyleiddio geiriau wedi cyrhaeddyd Germani etto; ac mae'n lled debyg na fydd i iethyddwyr dysgedig y wlad hono fod ar frys i wneyd hyny er boddio mympwy dynion nad ydynt—er fe allai yn ddynion gwybodus—yn gwybod ond ychydig, os dim, am philosophi, teithi, a phriod-ddull ieithyddol. Y mae dyblu cydseiniaid pan nad yw teithi yr iaith yn gofyn hyny,

yn hollol afreidiol; ond mae eisio safon awdurdodedig wrth yr hon y dylid gweithredu. Pa le y cawn hi? Nid yw ein Geiriaduron Cymraeg yn unol ar y mater hwn; nac awdwyr ein Geiriaduron yn gyson â hwy eu hunain. Yn y wlad hon, gyda'r Saesonaeg, yr ydys yn gallu dilyn naill ai Webster neu Worcester. Er fod y ddau hyn yn gwahaniaethu yn ddirfawr flynyddau yn ol, y mae Webster wedi mabwysiadu llawer o ragoriaethau Worcester, ac etto yn cadw at neillduolrwydd perthynol iddo ei hun. Nid yw y gwahaniaeth rhwng y ddau yn agos gymmaint ag y bu. Yr ydym ni y Cymry dan deyrnged i Webster, oblegid iddo wneyd mwy o sylw o'n hiaith na'i gyd-eiriadurwyr. Ymddengys iddo ei deall—ei theithi a'i rhagoriaethau—yn well na'r un o honynt.

Felly mae y naill neu y llall o'r ddau eiriadur hyn, yn safon yn ngwahanol swyddfeydd argraffyddol America.

Y gair sydd wedi achosi y sylwadau uchod yn bresenol yw, *Gwrthddrych*. Sillebir ef gan rai o'n cylchgronau, yn *gwrthrych*. I ddangos mor ddyryslyd a cham-arweiniol yw ein geiriaduron, rhoddaf ffrwyth fy ymchwiliad i'r rhai sydd wrth law genyf:

Daniel Silvan Evans: *Object* (Hobjectum) gwrthrych. *Object*, v. gwrthneu, gwrthodi; *Objection*, gwrthddadl; *Objective*, gwrthrychol; *Objectively*, yn *wrthddrychol;* fel *gwrthrych* (!!) *Objectiveness*, *gwrthrycholdeb*, *gwrthddrycholrwydd.* (!!) Yn y ddau air olaf gwelir fod yr *dd* yn y deffiniad blaenaf o'r gair cyntaf, a gadewir hi allan yn y llall. Gadewir yr *dd* allan yn y deffiniad cyntaf o'r ail air, a rhoddir hi i mewn yn yr ail ddeffiniad o'r un gair! Nid yw *gwrthodi* yn air da, nac yn air priodol am, *to object.* Gwrthod, v. *to refuse; to reject.* Nid oes un rheswm am gadw yr *dd* yn gwrthddadl, nad yw mor gryf dros ei chadw yn y gair gwrthrych. Tardd y naill o *gwrth* a *dadl;* tardd y llall o *gwrth* a *drych.*

Gweirydd ab Rhys: Object, s. gwrthddrych, gwrthrych. Objective, a. gwrthddrychol. Deallwyf oddiwrth gyfaill, fod G. ab Rhys yn gadael yr *dd* allan yn ei ohebiaethau, a dysgwylia iddo yn Ngeiriadur Dr. W. O Pughe, sydd dan ei olygiaeth, ei gadael allan hefyd. Nid oes yr esgusodiad lleiaf am hyny.

W. Richards, LL. D. Gwrthddrych, n. an object. Object, s. gwrthrych!! A dyna gawn yn ngeiriadur yr enwog a'r dysgedig W. Richards, wedi ei ddwyn allan o'r wasg yn ddiweddar—"Revised, *Corrected*, and *Enlarged.*" Ni ddywedir gan pwy. Y cyhoeddwyr ydynt R. Hughes & Sons, Wrexham. Myfi a italeiddiodd y gair, "Corrected," am fy mod yn ystyried y weithred hono yn debyg i *welliantau* (?) Hymnau Williams, Pant y Celyn!.

Spurrell: Gwrthddrych, n. an object. Gwrthddrychiad, iaid, n. assign; heir.

D. S. Nid yw y gair gwrthrych gan Spurrell. Mae efe, gan hyny, nid yn unig yn gyson, ond yn iawn hefyd, yr hyn nis gellir dyweyd am bob cysondeb.

Yn Ngeiriadur gwerthfawr Thomas Richards, 1753, ceir: † Gwrthrych, and Gwrthrychiad, *a looking back; an image, a portrait; an heir*, K. H., *as if the image of the father.* Vid. Gwrthddrych, &c. *Also, an object, property of the sight.* From Gwrth and Drych.

Mae yr † yn dangos fod y gair Gwrthrych wedi myn'd yn *obsolete*, h. y., yn anarferedig. Efallai mai yma y cawn wreiddyn y cam-arferiad, a'r gymysgfa a wneir yn ein Geiriaduron. Y mae yn sicr nad oes un berthynas rhwng y gair gwrthddrych a'r gair gwrthrych. Os dadglymwn y gair olaf, cawn ef yn tarddu o Gwrth a Rhych. Ystyr y gair *rhych* yw ffos neu glawdd; ac mae y gymysgfa a geir yn ein Geiriaduron Cymreig yn ddigon i godi penysgafnrwydd ar yr efrydwyr ieuainc, nes iddynt, ar y ffordd gartref o'r ysgol, syrthio yn erbyn y clawdd, neu lithro bendramwnwgl i'r ffos, pan y caent syniad t'rawiadol o'r hyn sydd i'w ddeall wrth Gwrth y Rhych!

—SCHMICKL.—Nid gair Cymraeg yw hwn; enw marsiandwr yn ninas New York ydyw. Dim ond un lafariad

mewn gair o wyth llythyren. Eto llefara, er bron tagu.

—Y Gymraeg, gem aur yw hi—o syn
Oes byd fo iddi; [barch,
Mirain iaith, ni chym'rwn i
Dunell o aur am dani.

—Galwodd y Parch. Dr. S. K. Lathrop gyda Daniel Webster y dydd ar ol claddedigaeth ei fab, oedd eilun y gwladweinydd clodfawr, fel yr oedd Ieuan Ddu i Gomer. Wedi ysgwyd dwylaw ac eistedd mewn mudanrwydd am enyd, oedd yn boenus i'r gwr parchedig, ac etto ni wyddai sut i gyfarch ei gyfaill yn ei alar dwfn. O'r diwedd anerchodd Mr. Webster ef yn y geiriau canlynol: "Yr wyf yn teimlo ar yr awr bresenol, Mr. Lathrop, fod pobpeth sydd yn rhoddi urddasolrwydd a gogoniant ar ddyn, yn gynwysedig yn nghrefydd Iesu Grist o Nazareth; ac mi a ddymunwn, wedi fy marwolaeth a'm claddedigaeth, yn Marshfield, gobeithio, iddynt roddi ar gareg fy medd, ar ol dydd fy ngenedigaeth a'm marwolaeth, yr *inscription* symyl canlynol: '*Yr oedd yn credu efengyl Crist,*' —y peth goreu ellir ddweyd am unrhyw ddyn."

—Y mae effeithiau llafur cenhadon hedd wedi bod yn dra llwyddianus y flwyddyn ddiweddaf trwy yr holl fyd, yn neillduol felly yn Twrci, India, China, Japan, ac Affrica, a'r ynysoedd cylchynol. Cynnyddodd cymunwyr un-ar-ddeg o'r cymdeithasau cenhadol, dros 22,000. Y mae hyn wedi calonogi yr eglwysi i benderfynu ymdrechion adnewyddol i godi mwy o arian er anfon allan chwaneg o weithwyr i'r cynhauaf cenhadol, sydd eisoes mor addfed.

—"Yr wyf yn cymeryd fy nhestyn y boreu yma," ebe pregethwr yn mysg y Negroaid, "o'r rhan hono o'r Ysgrythyr lle mae y Postol Paul yn anelu ei bistol at y Phesiaid."

—Y mae pwysigrwydd iawn lythyrenu geiriau yn ymddangos, pan ystyriom fod ymchwilwyr dwfnddysg i ddyrys bynciau hanesyddol, yn fynych yn alluog i gael goleuni ar yr hyn sydd dywyll oddiwrth ffurfiad gair unigol. Nid yw y gwrthwynebiad i ddyblu y cydseiniaid, pan mae ystyr neu eirdarddiadaeth yn gofyn hyny, yn teilyngu un sylw. Nis gellir esgeuluso hyn, hyd yn nod yn y Saesonaeg, er cymmaint ymdrechir symyleiddio arni, heb ddyrysni a thywyllni. Er engraifft: *Dinner*, ciniaw—pryd o fwyd. *Diner*, dyn yn ciniawa; un yn bwyta ei ginio. *Desert*, diffaethwch, &c. *Dessert*, y ddysgliad olaf; tamaid blasus yn niwedd pryd o fwyd.

Nos da, nos dawch, fy nghariad mwyn,
Mae côr y llwyn yn huno,
Sibryda anian oll ynghyd
Ei bod yn bryd noswylio.

Nos da, nos dawch, mae'r lloer wen dlos
A ser y nos yn "pefrio,"
Ac er mor anwyl genyf chwi,
Mae'n bryd i mi ffarwelio.

Nos da, nos dawch, addfwynaf un,
Mae'm serch o hyd yn chwyddo,
Wrth syllu yn eich llygaid llon,
Mae gwres fy mron yn fflamio.

Nos da, nos dawch, fy angel gwiw,
Cas ydyw myn'd o'ch gafael,
Er mwyned im' eich gwenau chwi,
Mae'n rhaid i mi ymadael.

Ffarwel, nos da, cawn eto gwrdd,
Er bod i ffwrdd am ennyd,
A'n huno'i fyw, os Duw a'i myn,
Hyd derfyn gyrfa'n bywyd.

## DETHOLION.

Y mae caru gras yn arall yn brawf da o ras ynom ein hunain.

—Segurdod sydd gryd y mae'r diafol yn hoffi ei siglo.

—Nid yw dyfnder trueni dyn byth tu hwnt i ddyfnder trugaredd Duw.

—Mae y credadyn yn meddu bywyd nas gall angeu byth ei gyffwrdd.

—Yr oedd yn rhaid i'r Israeliaid ymladd am eu hetifeddiaeth, er fod Duw wedi ei rhoddi iddynt.

# Adran yr Adroddwr.

## COLLI AC ENILL MEWN CYSTADLEUAETH.

GAN EMRYS.

Mae y bachgen yn penderfynu cyfansoddi ar ryw bwnc cystadleuol. Cyll ei gwsg am nosweithiau hirion, a thrwy lafur diflino y mae yn gorphen ei orchestwaith. Y mae yn myned a'r bryddest i dy John Morgan, y crydd, ac yn ei darllen, ac wedi gorphen gofyna, "Wel, John Morgan, beth ydych chwi yn feddwl o'r bryddest?"

"Campus!" meddai John Morgan, "campus!"

"A ydych chwi yn meddwl yr enillaf y wobr?"

"O, nid oes dim dadl am hyny."

"Ac yr ydych chwi yn meddwl mewn difrif mai myfi a enilla?"

"Nid oes genyf yr un ddadl ar y pwnc, *os cewch gyfiawnder*," meddai John Morgan.

Mae y bachgen wedi hyny yn myned a'r bryddest i'w nain, a gofyna,

"Fy nain, beth ydych chwi yn ei feddwl o honi?"

"O! campus," ebe hithau, "campus."

"A ydych chwi yn meddwl, fy nain, yr enillaf y wobr?"

"Yn ddiddadl y gwnewch," ebe hi.

"Ac yr ydych yn credu, fy nain, mai fi a enilla?"

"Nid oes dim dadl ar y pwnc," ebe y nain, "os y cei chware teg."

Y mae y bachgen erbyn hyn yn meddwl yn sicr mai efe a enilla y gamp. Enfyn ei gyfansoddiad i'r gystadleuaeth, ac wedi hir ddyddiau a blin nosweithiau o ddysgwyliad, dacw ddydd yr Eisteddfod wedi dyfod—y beirniad yn darllen y feirniadaeth—y carcharorion yn cael eu gollwng yn rhyddion—ac, Och! yr anffawd, mae y bachgen yn colli! Un arall sydd yn cael ei wobrwyo!! Yn awr am frwydr. Y mae y bachgen yn tyngu ei fod wedi cael cam. "Onid oedd John Morgan, y crydd, a fy nain, yn dyweyd y byddwn yn sicr o enill, os y cawn gyfiawnder? Yrwan am ysgrifenu i'r newyddiaduron ceiniog: fe'u rhostiaf fi nhw!" Rhai fel yna sydd yn aml yn gwneyd yr helyntion ar ol yr Eisteddfodau. Ond weithiau, cofier, y mae enill yn gwneyd mwy o ddrwg na cholli. Mae enill haner coron mewn cyfarfod cystadleuol, wedi gwirioni llawer bachgen ieuanc. Mae yn anhawdd siarad ag ef; y mae uwchlaw myned i'r Ysgol Sabbothol; gwell ganddo fyned gyda rhyw un i weled "gogoniant anian." Y mae yn eistedd dan y bregeth fel *Doctor*, ac nid fel *pechadur;* a'r cyfan wedi ei achosi trwy enill haner coron mewn Eisteddfod!

## Y DDALLHUAN.

Druan i'r Ddallhuan deg,
Radd ddistadl na rydd osdeg!
Na âd im' ganu 'mhader,
Ni thau tra fo sugnau'r ser;
Ni chaf, Och! o'r gwarafun,
Gysgu na heddychu hun!
Pan gauwyf, boen ogyfarch,
Fy llygaid penaethiaid parch,
Hyn a'm deffry, ni hunais
Gan y Ddallhuan a'i llais,
A'i chrochwaedd aml ei chrechwen,
A'i ffals gwyddoliaeth o'i phen;
A hyny modd yr henwyf.
Hyd wawr ddydd annedwydd wyf!
Canu bydd annedwydd nâd,
"Hw! ddy hw!" hoew ddyheuad;
Uchel ei chrech mewn tecoed;
Och o'r can uwch aerwy coed!
Pob edn o'r byd alltudryw
A'i baedd—o'n rhyfedd ei byw!

Ffraethach yw hon mewn bronallt,
Y nos, na'r eos o'r allt,
Ni thyn y dydd, crefydd craff,
Ei phen o geubren gobraff:
Wyll ffladr a gân i'r lladron,
Anffawd i'w thafawd, a'i thôn!
Rhof tra f'wy' yn aros rhew,
Oddaith yn mhob twyn eiddew.

# Bwrdd y Golygydd.

## "ORIEL YR OES."

Y Parch. B. D. Johns (*Peiriander*), gweinidog y Bedyddwyr yn Clydach, D. C., ydyw awdwr yr Oriel hon. Oriel ydyw yn cynwys ysgrifau adolygiadiadol, desgrifiadol a beirniadol, ar brif ddynion yr oes, ac yn benaf awdwyr, pregethwyr a darlithwyr. Cyhoeddir yr ysgrifau hyn wythnos ar ol wythnos yn *Seren Cymru.* Flynyddau yn ol, bu Mr. Johns yn ymarfer ei hun yn y modd hwn o'r blaen, gan dynu llawer o sylw, a pheri cryn lawer o ddyddordeb yn mhlith derbynwyr y *Seren.* Ymddengys i ni fod *Peiriander* yn meddu cryn lawer o fedrusrwydd a chymwysder at y math hwn o waith. Ysgrifena yn rhwydd, hylithr, pwrpasol, clir, dyddorol a buddiol, mewn arddull cyfatebol i chwaeth a gallu y cyffredin. Yr hyn sydd yn tynu ein sylw yn mlaenaf oll mewn perthynas i'r gyfres ydyw y teitl. Dengys y peniad, "Oriel yr Oes," ymrwymiad pwysig a'r cyhoedd, canys y mae yn tybied gwaith ag sydd o eangder. Rhaid mai gorchwyl o gryn gyfrifoldeb ydyw cloriannu dynion mawrion yr oes. Gresyn fyddai priodoli i neb lai na'i haeddiant, ac anghyfiawnder fyddai tadogi i neb fwy na'i haeddiant. Eto os gall Mr. Johns weithio ei hunan i ddirgeledigaethau ffordd natur, tebyg fel y mae y *photographer* yn arfer gwneyd wrth dynu darluniau o bersonau trwy gymorth y goleuni, diau y gall lwyddo yn dda yn ei amcan. Modd bynag, y mae un peth yn ganfyddadwy yn Oriel Peiriander, sef ei fod yn amlygu awyddfryd i drafod rhagoriaethau yn hytrach na diffygion yn ngwrthddrychau ei arluniaeth. Hyderwn na fydd yr un eiddigedd nac ymrysonfa yn bodoli yn mhlith enwogion am gael y fraint o eistedd er cael eu darlun yn yr Oriel.

## "Y PWLPUD YN BETHANIA."

Awdwr "Y Pwlpud yn Bethania" ydyw y Parch. R. Hughes, Maesteg. Mae y rhifyn cyntaf allan o'r wasg, ac y mae yr ail rifyn yn y wasg, ac i ddyfod allan yn fuan. Bethania ydyw enw capel Mr. Hughes, ac am hyny y geilw ei bregethau "Y Pwlpud yn Bethania." Cyfrifir Mr. Hughes yn gyffredin yn un o bregethwyr blaenaf y Bedyddwyr yn Nghymru. Ynddo ef y mae *cyfuniad* o elfenau pregethwr mawr. Pan oeddym yn Hwlffordd, arferai Mr. Hughes ddyfod yn achlysurol i *supplio* yr eglwys Gymreig yno. Nid oedd neb yn arfer dyfod yno a hoffai y myfyrwyr yn fwy nag ef. Tynid ein sylw y pryd hwnw at ei allu mawr i anelu ei frawddegau, a thrwy hyny ei syniadau yn uniongyrchol at ei wrandawyr. Ymddangosai fel yn gas ganddo arddull amgylchog, canys cadwai ei lygaid yn sefydlog ar y bobl o'i flaen. Parai hyn fod cyfaddasrwydd arbenig yn ei ddysgeidiaeth a'i arddull at chwaeth a gallu ei wrandawyr. Y mae fod y gweinidog hwn wedi dal ei dir cystal yn Maesteg am gynifer o flynyddau yn dweyd llawer iawn am ei ddoniau pregethwrol a gweinidogaethol.

Am Mr. Hughes fel pregethwr testynol, dywed Peiriander yn yr Oriel fel hyn: "Y mae Mr. Hughes yn *destynol* yn ei bregethau. Gwelir fod perthynas naturiol ac annatodol rhwng yr adnod neu yr adnodau â'r bregeth. Y mae y naill yn codi o'r llall, fel ffrwd yn tarddu o'r ffynon, fel muriau yn codi oddiar sylfaen, fel pren yn tyfu oddiar ei hedyn, ac fel llewyrch yn ymsaethu o'r haul. Clywsom lawer o bregethau heb fod mwy o gysylltiad rhyngddynt â'r testyn nag sydd rhwng eglwys Llangyfelach â'r clochdy. Ceir ynddynt ryw fath o efengyl yn cyrhaedd o'r tragywyddoldeb cyn y creu hyd at y tragywyddoldeb ar ol y milflwyddiant. Cymer Hughes destyn, ac yn fuan dengys fod y testyn hwnw yn flwch aur, yn llawn o bethau drudfawr. Dangosa fod pob adnod yn faes yn feichiog o drysorau cuddiedig. 'Rhai pobl a ânt trwy y goedwig heb weled coed tân,' ebe hen ddiareb Chineaidd.

'Edrycha rhai ar yr haul gyda llygad ych.' Felly, llawer a gymerant destyn, ond ni cherddant oddiamgylch iddo, na threiddio i'w waelodion. Dywedant ef, a gadawant ef. Y mae pregethau y 'Pwlpud yn Bethania' yn perthyn y naill i'r llall mor naturiol ag ydoedd y berthynas rhwng y Siamese Twins a'u gilydd. Mae pob pen yn sylfaenedig ar frawddeg, nid o adnod yn Genesis, neu yn Datguddiad, ond yn Ioan, sef y testyn a gymerwyd yn sylfaen yr anerchiad."

---

## BARN HUGH JONES, D. D.,

### LLANGOLLEN, AM ALEXANDER CAMPBELL.

---

Yn *Seren Cymru*, yn ddiweddar, y mae Dr. Jones yn ateb rhyw ymofynydd ar y pwnc o Fedydd a Maddeuant, fel y canlyn:

Ni chefais gyfleusdra erioed i ddarllen y traethawd ar "Faddeuant Pechodau," gan A. Campbell, er fod ei *Christian Baptism* ef genyf, ac i mi ddarllen ei ddadleuon ef ac Esgob Purcell ar Babyddiaeth, â Dr. Rice, a Mr. McCalla, ar Fedydd, ac â Robert Owen ar Annuwiaeth, gydag edmygedd pur, a syndod mawr at ei barodrwydd, ei athrylith a'i adnoddau. O'm rhan fy hun, mor bell ag y mae fy adnabyddiaeth i ag Alexander Campbell a'i weithiau, yn myned, mae genyf fwy o olwg arno o lawer fel beirniad, a han esydd a dadleuydd, nag fel duwinydd. Ymddengys ei dduwinyddiaeth i mi yn cymeryd golwg un ochrog a rhy gyfyng ar athrawiaeth yr efengyl; ac nid ydyw ei olygiadau yn gyson ag athrawiaeth yr efengyl, *taken as a whole* (a'i chymeryd gyda'i gilydd), fel y mae y dyfyniad a wna eich gohebydd yn anghyson, fel yr ymddengys i mi, ag athrawiaeth cyfiawnhad trwy ffydd.

Dyna fy *impression* i yn wastad ar dduwinyddiaeth A. Campbell, mor bell ag yr wyf yn ei ddeall, ac yn gydnabyddus ag ef. * * * *

Dylaswn ddweyd, o barthed y diweddar Barch. John Williams, y Rhos, fod lle i gredu fod ei syniadau am Gampbelliaeth wedi myned o dan gryn gyfnewidiad cyn diwedd ei oes.

*Llangollen.* H. JONES.

---

BEDYDD A MADDEUANT, &c.

Gallaf ddyweyd mewn ychydig eiriau fy syniad i ar bwnc Maddeuant Pechod. Pan y creda pechadur yn Mab Duw, ac yr ymddirieda yn ei ufudd-dod perffaith a'i angeu iawnol am gymeradwyaeth ger bron y Tad, y mae y weithred yma o gredu yn newid *status* dyn ger bron Duw—yn newid ei safle, fel yr edrycha Duw arno yn awr, nid fel y mae y dyn ynddo ei hun, ond fel y mae yn ei Fab ef; edrych ar ei feiau fel wedi eu cospi yn marwolaeth Mab Duw, ac edrych ar haeddiant, ufudd-dod a rhinweddau Mab Duw fel eiddo yr hwn sydd yn credu, fel y mae y fynyd hono yn cael ei wneyd yn gymeradwy yn yr Anwylyd—yn myned trwodd o farwolaeth i fywyd—ei feiau oll yn cael eu maddeu iddo—a thangnefedd Duw yn symud ymaith ei euogrwydd a'i ofnau, a'i lenwi â thawelwch hyderus, ac yn aml â llawenydd annhraethadwy. Fel hyn, y mae pob un sydd yn credu yn cael ei gyfiawnhau—ei ryddhau oddiwrth gondemniad, a'i wneyd yn blentyn i Dduw, ac yn derbyn maddeuant o'i bechodau. Yn ol fy syniad i am ddeiliaid bedydd, fe ddylai dyn gredu cyn ei fedyddio, ac fel un wedi credu fe fydd o angenrheidrwydd, yn ol fy marn i, wedi derbyn maddeuant o'i bechodau cyn ei fedyddio; ond eto, arfer Duw yw gwobrwyo dyn ar dir ufudd-dod, ac felly yn y bedydd, pan yr ymostynga dyn o galon bur, ac o gariad cywir a goleuedig at Grist, fe rydd Duw fath o dystiolaeth fwy eglur i'w brofiad fod ei feiau wedi eu maddeu nag a feddianai yn flaenorol; a chredwyf mai dyna un rheswm beth bynag paham y sonir yn y Testament Newydd am fedydd yn achub. HUGH JONES.

*Cyfl. gan* J. P. HARRIS (*Ieuan Ddu*).
*Providence. Pa.*

ATEBIAD ETO GAN DR. HUGH JONES.

Yn sicr ddigon, Mr. Gol., dyma ofyniad eto yn y *Seren* am heddyw. Yn araf, fechgyn anwyl; yr wyf yn methu dyfod i ben ag ateb gohebiaethau swyddol, heb son am rai llenyddol fel hyn. Gofyna Mr. Robert Uren, Bow Street, "A ydyw yn unol ag egwyddorion y Bedyddwyr, a dysgeidiaeth y Testament Newydd, i weinidog i'r Bedyddwyr fedyddio unrhyw berson ar y ddealltwriaeth fod y cyfryw yn bwriadu ymaelodi gyda rhyw enwad arall?"

Nis gallaf honi fy mod yn gwybod beth yw egwyddorion y Bedyddwyr ar bethau fel hyn. Nid oes ganddynt un gyffes ffydd awdurdodol heblaw y Testament Newydd; mae rheolau ambell i gymanfa, fe ddichon, yn ymwneyd â pheth fel hyn, fel y clywais am un o gymanfaoedd Bedyddwyr Cymreig America; tra nad yw cymanfaoedd eraill yn barnu yn ddoeth i ymyraeth â pheth o'r fath, gan ystyried mai peth rhwng y gweinyddydd a'r ymgeisydd a Duw yw bedyddio. Ac am y Testament Newydd, wrth gwrs, nid oes rheol arno i'w chael yn hwnw, gan nad oedd enwadau o gwbl yn y byd pan ysgrifenwyd ef, ond un eglwys i'r Pen mawr. Anaml iawn y ceir y cynyg i fedyddio rhai i fyned at enwadau eraill. Os ydynt yn credu yn medydd y crediniol trwy drochiad, mae'n anhawdd deall pa fodd y gallent deimlo gartref mewn eglwys lle y dysgir Ysgrythyroldeb taenelliad babanod. Pe gofynai un felly i mi ei fedyddio, mi a ymdrechwn ei argyhoeddi mai ei ddyledswydd a'i gysur fyddai ymuno â rhai o'r un farn ag ef, a chydymdrechu â hwynt yn mhlaid y ffydd. Ond os byddai hyny yn anmhosibl, o herwydd rhesymau anorfod — megys gorthrwm pen-teulu—(ac yr wyf yn gwybod fod ambell i wr yn *dyrant* ac erlidiwr calongaled, os bydd ei wraig yn cydymdeimlo â, neu yn perthyn i'r Bedyddwyr)— fe fyddai i mi fedyddio y cyfryw yn ddibetrus, gyda chydwybod dda a chalon bur. Pa reswm a ellid ei roddi dros beidio, a gadael i ymofynydd didwyll am y gwirionedd fod mewn terfysg meddwl? Gwaith y gweinyddydd yw cael allan fod yr ymgeisydd yn ymofynydd ffyddiog a goleuedig, yn gredadyn yn Mab Duw, ac yna ei fedyddio i Iesu Grist. Ni ddylai ansicrwydd y dyfodol ei rwystro i gyflawni dyledswydd bresenol; a dichon y byddai i fedyddio un fel y cyfeiriwyd ato, gynyrchu ymchwiliad, a dwyn eraill hefyd i ufuddhau. Yr eiddoch yn gywir,

*Llangollen.* HUGH JONES.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae yr eglwys yn Thomastown, Ohio, wedi rhoddi galwad i'r Parch. Allen J. Morton i ddyfod i'w bugeilio yn yr Arglwydd. Mae yr achos yn y lle hwnw yn gwisgo agwedd hynod lewyrchus ar hyn o bryd, ac y mae yr alwad i Mr. Morton yn hollol unol, a hynod frwdfrydig.

—Y Parch. E. Jenkins, Parisville, sydd yn gwasanaethu yr eglwys yn Palmyra, O., ac y mae ei lafur yno yn ymddangos fel yn cael ei werthfawrogi. Clywsom rai o'r brodyr callaf yn y lle yn siarad yn uchel am bregethau Mr. Jenkins. Cawsom y pleser yn ddiweddar o bregethu yno i lonaid y capel o wrandawyr serchog. Treuliasom brydnawn cysurus yn nhy Mr. Vaughan yn y gymydogaeth; dywedasom air yno hefyd. Yma y cartrefa Mr. Samuel Bassett, yr hwn sydd yn bregethwr derbyniol, ac yn ddyn ieuanc sydd yn dra awyddus am ychwaneg o addysg. Hyderwn y llwydda i gyrhaedd ei amcan. Y mae Mrs. Bassett yn go dalentog hefyd. Darllenodd, neu yn hytrach adroddodd yn ein clyw rai darnau da o farddoniaeth. Llwyddiant iddynt.— Yma yn Palmyra y mae y Parch. David Hopkins. Da oedd genym ei weled, a chael ymgom ag ef, am y tro cyntaf er's rhai blynyddau. Mae yn edrych yn bur naturiol. Nid yw yn debyg yr â i'r Gorllewin yn fuan eto. Y mae yn hysbys i lawer o'n darllenwyr mai yma y cartrefa y Parch. E. Morddal Evans. Ymddengys ef mewn

amgylchiadau tra chysurus. Ac er mwyn y pell, dywedwn ei fod er ys rhagor na blwyddyn wedi cael "ymgeledd gymwys" iddo ei hun. Efe sydd yn cadw *post office* y lle—efe sydd yn cadw *drug store*, yr unig un yn y lle, ac y mae ei *store* yn cynwys amrywiol bethau gwerthfawr eraill at wasanaeth bywyd. Addefir yn gyffredin fod y brawd Morddal yn meddu natur ddynol garedig, deimladwy, a phob amser yn barod i weinyddu cymwynas i'r angenog. Pleser i ni ydoedd lletya gydag ef.

—Oddiwrth hysbysiadau y pwyllgor, gwelwn nad oes nemawr amser yn ychwaneg eto i weithio tros dysteb yr hybarch Theophilus Jones, gan fod amser ei chyflwyniad wrth y drws. Hyderwn na fydd neb a ddymuna roi at y dysteb yn esgeuluso yr adeg.

—Sonir fod Dr. Cefni Parry yn bwriadu ymadael o America, gan fyned i Gymru ddechreu yr haf nesaf.

—Pan yr ydym yn ysgrifenu, nid ydym wedi cael hysbysrwydd fod y Llawlyfr Moliant wedi cyrhaedd America; ond yr ydym wedi derbyn atebiad i'r archeb am danynt, yn dweyd y bydd 800 o honynt ar fyrder drosodd.

## GOFYNIAD.

*At y Parch. Llewelyn Rees :*

Anwyl Frawd—Bu ymddyddan rhyngwyf yn ddiweddar a rhai o'm cyfeillion mewn perthynas i'r arferiad o alw y Beibl yn *Charter*. Am danaf fy hun, yr wyf yn gwrthod y syniad; ond gan fod eraill yn anghydweled â mi, daethom i'r penderfyniad i anfon cais atoch chwi i roddi ychydig eglurhad ar y mater trwy gyfrwng y Wawr.

Yr eiddoch yn frawdol,
Benj. C. Williams.
*Church Hill, O.*

—Mae Brooklyn, N. Y., yn gartref i 400 o bregethwyr a gweinidogion.

# Barddoniaeth.

## DYCHWELIAD MORGAN BACH O AWSTRALIA.

[Cyflwynedig i'r Wawr gan Thos. R. Jones, Minersville.]

Mawr yw'm gofid, trwm yw'm trallod,
O! 'r fath gyfnod chwerw yw,
Daw gorthrymder a gwasgfeuon,
Cyson ynddynt 'rwyf yn byw,
Herwydd colli'm hanwyl Forgan,
Wrth fy hunan cefais fod,
Heb na chyfaill, câr, na phriod,
O mor hynod yw fy nod.

Aeth fy unig fab, anwylyd,
Draw dros donau'r weilgi laith,
Nid oes gobaith caf ei weled
Tra b'wyf yma ar fy nhaith;
Mae e' wedi'm llwyr anghofio,
Minau'n blino, gwael yw'm gwedd,
Ac o herwydd hyn 'rwy'n credu
Caf fy rhoddi yn y bedd.

O na chawn i olwg eto
Unwaith ar fy Morgan bach,
Neu gael clywed gair oddiwrtho,
P 'un a yw e'n fyw ac iach;
Byddai hyn yn gysur imi
Er fy lloni ar y llawr,
A chael golwg ar ei wyneb
Fyddai yn foddlondeb mawr.

Ond mae'm gobaith wedi darfod
Am gael gwel'd fy machgen llon,
Na chael clywed gair oddiwrtho
Tra b'wyf ar y ddaear hon;
Ni chaf mwyach wel'd ei wyneb,
Er mor siriol oedd i mi,
Mae e'n gorphwys, 'rwyf yn credu,
Yn mhriddellau'r ddaear ddu.

Ust! beth ydyw'r swn a glywaf
Yma'n cerdded at y drws,
Gallwn feddwl wrth ei gamrau
Mai efe yw'm bachgen tlws;
Er fy siomiant pwy sydd yma,
Rhyw foneddwr pena'r llys?
Y mae hwn a'i auraidd gadwyn,
A'i fodrwyau ar bob bys.

"A gaf ofyn i'ch mawrhydi,
Pa beth yw eich neges chwi;
'Rwyf yn siwr nad oes perthynas
Rhwng eich urddas a myfi;
Gweddw dlawd sydd yma'n aros,
Heb un priod, câr na ffrynd;
Mae fy unig fab a feddwn,
Dros y moroedd wedi myn'd."

MORGAN.

Dyn wyf inau ar ei drafael,
Yn dod 'nol i'm hyfryd wlad,
Bum yn mhell dros dir a moroedd,
Wedi claddu'm hanwyl dad;
Mi adewais diroedd Gwalia,
Aethym i Awstralia fawr,
Bum mewn llawer o beryglon,
Rhwng gelynion lawer awr.

Y FAM.

Aeth fy unig fachgen inau
Dros y moroedd llydain mawr,
Nid wy'n gwybod dim o'i hanes,
Yn mha le y mae e'n awr;
Pe cawn olwg ar ei wyneb
Unwaith eto yn y byd,
Byddai imi'n fwy dymunol
Na chael perlau'r India 'i gyd.

MORGAN.

Beth yw enw cynta'r bachgen,
Pa beth oedd ei benaf nod ?
Os oedd hwn yn agos imi,
Ei adnabod gallwn fod ;
Pa gelfyddyd oedd yn arfer,
A pha liw oedd gwallt ei ben ?
A oedd rhai yn ei adnabod
Wrth yr enw Morgan Gwen ?

Y FAM.

O, 'rwy'n gwel'd eich bod yn gwybod
Peth o hanes Morgan bach ;
Rhoddwch wybod 'n awr heb oedi,
Os yw ef yn fyw ac iach ;
D'wedwch imi'r gwir am dano,
A oes tebyg daw e'n ol,
Fel y gallwyf eto erfyn
Caf ei dderbyn yn fy ngho'l.

MORGAN.

O, fy mam ! nis gallaf atal,
Mae'm teimladau yn rhy frwd,
Wrth eich clywed mor ofidus,
Mae fy mron yn berwi'n ffrwd ;
Dyma'ch anwyl, anwyl Forgan,
Ie, mi yw'ch plentyn tlws,
Mi yw Morgan Gwen o'r Gurnos,
'N awr yn sefyll wrth y drws.

Y FAM WEDI NEWID EI THÔN.

'Rwy'n ffaelu a'th gredu ar unwaith,
'Does genyf un rheswm paham;
Os ti ydyw'm hanwyl fab Morgan,
O fodd dyro gusan i'th fam ;
Gogoniant i awdwr y bydoedd,
Efe ydyw'r gwr sydd a'r llyw,
Goganiant a diolch drachefn,
Am gadw fy machgen yn fyw.

## MYNYDD YR OLEWYDD.

[BUDDUGOL ]

Hen fynydd gorenwog yn ngwlad Palestina,
Gerllaw i hoff ddinas Jerusalem, yw,
Lle bu'r dygwyddiadau o'r natur hynota',
Trwy'r rhai daeth yn anwyl yn ngolwg ein Duw.
Mae swyn yn ei enw i feddwl y Cristion,
O fewn yr anialwch dyryslyd a maith—
Rhyw adgof am dano a leinw ei galon
A melus gysuron wrth fyn'd ar ei daith.

Ceir gwel'd afon Cedron yn araf ymlwybro
Wrth odreu y mynydd henafol ei wedd;
Awelon y dwyrain o'i amgylch wnant süo,
Ac yntau'n y canol yn derbyn gwir hedd ;
I lawr odditano mae beddau'r prophwydi,
Y rhai fynegasant i'r ddaear mewn pryd
Am Geidwad dynoliaeth, ei faich, a'i galedi,
Er dwyn iachawdwriaeth i afael y byd.

Y mynydd hwn hoffodd yr Iesu ei hunan,
Fel man neillduedig i ymbil â'i Dad,
Cyn cael ei gaethiwo yn nwylaw gwyr aflan,
A derbyn gan Judas y cusan a'r brad;
Ac yma gweddiodd tra'n nghwmni 'i ddysgyblion,
Ddyfalach, ddyfalach yn nyfnder ei loes,
A'r ingoedd diddiwedd yn gwasgu ei galon,
Wrth feddwl am g'ledi y ffordd tua'r groes.

Bu hwn fel rhyw gostrel y noson ddu hono
I dderbyn y chwyslyd ddefnynau o waed
Ddisgynent dros ruddiau fy Nuw pan yn wylo,
A thyst ydyw hefyd o'r hyn oll a wnaed ;
Eneiniwyd ei laswellt â dagrau yr Iesu,
A'i bridd beraroglwyd trwy lefau mor bur;
Tra'r oll o'r dysgyblion syrthiasant i gysgu,
Yr hyn oedd chwanegiad yn nghwpan y cur.

Ac wedi gorpheniad yr oll o'i dreialon,
A phob triniaeth chwerw gwrddasai'n y byd,
A'r adeg y conc'rodd yr oll o'i elynion,
A chlirio'n dyledion trwy daliad mor ddrud,
Ar ol adgyfodi yn fuddugoliaethwr,
O garchar haiarnaidd a thywyll y bedd,
I eistedd yn Frenin a chadarn Iachawdwr,
Ar orsedd drag'wyddol yn nheyrnas yr hedd.

I'r mynydd y cyrchodd i roddi'r gair Ffarwel
I'w ffyddlon ganlynwyr, a'r ddaear ei hun,
Nes dyfod yr ail dro mewn agwedd oruchel
I farnu pob lliw, a chenedlaeth, a llun.
Gwnaeth gardd Gethsemane yn nghyda'r esgyniad
Ddwyn iddo enwogrwydd anfarwol a bri ;
Argraffir ei enw yn anthem y cariad,
Ddatgenir mewn gwynfyd gan dyrfa ddi-ri' !

*Garn.* JOHN ROBERTS.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Yn mis Ebrill nesaf bydd diwedd blwyddyn arianol y Bwrdd Cenadol Americanaidd. Mae ymrwymiadau y Bwrdd y flwyddyn hon yn $273,938.03. Wrth sylwi ar dderbyniadau y Bwrdd am y naw mis cyntaf, hyny yw, i fyny hyd ddiwedd Rhagfyr, 1880, gwelais nad oedd ond ychydig bach dros $50,-000 wedi eu derbyn. Gadawa hyn fwy na $223,000 i'w codi o ddechreu Ionawr hyd ddechreu Ebrill, neu dros $55,000 i'w codi bob mis. Mae hyn yn swm mawr, ac yn swm na chodir byth, os na chymer pob gweinidog, Cristion, a chynulleidfa, y mater mewn llaw, a phenderfynu na fydd a allo efe yn achos fod y swm heb ei gyrhaedd, a'r Bwrdd yn methu yn Ebrill a chyfarfod ei ymrwymiadau. Nid amser i neb i hepian a chysgu ydyw; mae Ebrill wrth y drws; am hyny gweddiwn ar i Dduw ein gwneyd yn ewyllysgar iddo yn nydd ei nerth. Mae i ni ugeiniau a chanoedd o frodyr a chwiorydd da, wedi aberthu mil myrdd o gysuron, wrth fyned ar gais eglwysi America, i India, Burmah, China, Japan, Affrica, ac ynysoedd y môr, gan hyderu na fyddant yn ol o estyn a allont iddynt o gysuron bywyd, yn nghyda'r angenrheidiau hyny a wna eu llafur yn llwyddiant. Dylai teimlad dros ein brodyr a'u teuluoedd fod yn symbyliad i ni gadw trysorfa y Bwrdd yn llawn; ond uwchlaw hyn, mae sefyllfa ysbrydol y rhai y llafuriant yn eu plith, a gogoniant y Ceidwad yn galw yn uwch, hyd yn nod na hyny, arnom i fod a gofal mawr am waith sydd gymaint ei bwys. Mae codi y swm uchod yn gryn orchwyl mewn tri mis; ond nid gormod, ond cael calon i weithio. Bydded i bob un sydd a'r gronyn lleiaf o deimlad cenadol yn ei galon adeiladu ar gyfer ei dy, a thri mis o ymdrech a llafur brwdfrydig a sicrha orpheniad y mur, ac a rydd i'r Bwrdd yr oll sydd arno eisiau i gyflawnu ei addunedau i bawb.

Yn y Gymanfa ddiweddaf yn Minersville, pan oedd y gwaith cenadol o flaen y gynadledd, yr oedd teimlad cyffredinol yn cael ei amlygu, fod yr holl eglwysi, fel rheol, yn cyfranu can lleied at orchwyl cymaint ei bwys ag efengyleiddio y byd. Credid, er gwaned yw llawer o'n heglwysi, y gallent wneyd mwy nag yn bresenol, ond cael cynllun neu gynlluniau da i weithio wrthynt. Ceisiwyd genyf gan y gynadledd i awgrymu cynllun neu gynlluniau a dybiwn yn fanteisiol i'r eglwysi eu gosod mewn gweithrediad, er casglu mwy o arian. Er cyflawni fy addewid i'm brodyr yno, mi wnaf hyny yn bresenol:

Yr wyf wedi awgrymu y cynllun a gaf nodi yn flaenaf, o'r blaen yn y Wawr, sef cael y blychau cenadol, a'u rhoddi i'r plant, a'u gadael hwy i gymeryd y gwaith mewn llaw. Gellir cael y rhai hyn am ddim, ond gyru at Rev. L. M. Luther, 1420 Chestnut St., Philadelphia. Rhoddais i un-ar ddeg o honynt allan y flwyddyn ddiweddaf, dan ofal cymaint a hyny o ferched bach ein hysgol Sul, ac addewais lyfr i'r hon a gasglai fwyaf; yn mhen mis, pan alwais am danynt i mewn, cefais ynddynt y swm o $24, a rhai centiau dros ben. Credwyf am eglwysi yn y Dyffryn hwn, pe yn cael y blychau hyn am dro, a digon o honynt, y byddai iddynt yn ddigon hawdd gasglu cymaint bedair gwaith ag a wnaethom ni. Cyn y darllenir y llith hwn byddant allan genyf fi y flwyddyn hon eto, a dysgwyliaf wneyd yn well y tro hwn na'r llynedd.

Cynllun da arall yw dwyn yr ysgol Sul i deimlo dyddordeb yn y gwaith. Un ffordd i wneyd hyny yw, nodi Sabboth yn ystod y chwarter, ei alw yn Sabboth Cenadol, a chael ychydig o'r athrawon i roddi anerchiadau byrion ar y Maes Cenadol, i'r plant, a chael y plant i adrodd darnau o nodwedd genadol, a'r canu o nodwedd genadol, holl waith y prydnawn yn genadol hollol, a chymeryd casgliad, ei alw yn "Gasgliad Cenadol yr Ysgol," a'i gadw ar wahan oddiwrth eiddo yr eglwys. Er chwyddo y casgliad hwn gymaint ag a

ellir, sefydler rhyw fath o gystadleuaeth rhwng y dosbarthiadau mawrion, a hefyd y rhai bychain, a buan iawn y dyblir, os na threblir cyfraniadau yr eglwysi mwyaf diallu.

Cynllun da, a hawdd iawn hefyd, yw gosod y meibion a'r merched drwy yr holl ysgol yn erbyn eu gilydd. Gwelais hwn yn gweithio yn rhagorol, ac arian mawr yn cael eu casglu mewn lleoedd na fyddai dim yn flaenorol yn cael ei wneyd.

Credwyf fod yr hyn wyf wedi ei ysgrifenu yn ddigon i awgrymu pa mor rhwydd y gall unrhyw frawd da mewn eglwys weithio allan gynllun ei hunan, yn mhlith y plant, a dry allan yn llwyddiant arianol tu hwnt i'w ddysgwyliad.

Mae y gwaith hwn yn rhy bwysig i'w adael yn hollol i'r plant, a byddai yn bechod mewn unrhyw eglwys a chynulleidfa i wneyd hyny. Yr ydym ni oll yn gyfrifol am dano, a dylem oll deimlo dyddordeb ynddo. Rhaid yw cyfaddef nad yw haner ein haelodau yn teimlo un dyddordeb o gwbl yn efengyleiddiad y byd. Mae eu gwybodaeth am y maes cenadol yn debyg i'w heiddo am y lleuad, y gellwch ei mesur â dim. Anmhosibl cael sylw ac arian dyn at yr hyn na wyr ddim am dano. O ganlyniad, y cam cyntaf i'w wneyd a'n haelodau eglwysig yw eu cael i wybod ychydig am y gwaith sydd wedi ei wneyd, sydd yn cael ei gyflawni yn awr, a'r tir sydd eto heb ei feddianu. Gellir cyfranu y wybodaeth hon mewn llawer ffordd—trwy anerchiadau byrion ar y nos Lun gyntaf o'r mis, neu ambell gwrdd neillduol, neu bregeth yn awr ac eilwaith, yn yr hon y dygir ger bron y gynulleidfa ryw ran neillduol o'r maes, yn yr hwn y byddo gras Duw wedi ei amlwg fynegu. Yna myner cynllun yn yr hwn y gall pawb gymeryd rhan ynddo, a'r hwn y byddo rhywbeth ynddo i dynu sylw. Gwelais lwyddiant anarferol gyda un fel hyn, a gellir gwasgaru gwybodaeth genadol lawer iawn trwyddo hefyd. Neillduer pwyllgor gan yr eglwys, gwaith yr hwn fyddo derbyn unrhyw beth a welo unrhyw frawd neu chwaer yn dda ei roddi. Bydded yr hyn a roddir yn ddillad, darluniau, neu ryw addurnwaith, waeth yn y byd beth, os gellir gwneyd arian o hono.

Awgrymaf yn y fan hon, er gwneyd y cynllun hwn yn adeiladol, yn ogystal ag yn llwyddiant arianol, fod pob peth a roddir, os yn bosibl, a rhywbeth yn perthyn iddo a fydd yn awgrymu syniadau am ffeithiau cenadol. Er engraifft, meddylier fod chwaer yn gwneyd *motto*, fod y *motto* hwnw yn mynegu y flwyddyn yr aeth Carey i India, neu y flwyddyn y bu farw yno, neu unrhyw ffaith arall, canoedd o ba rai sydd wrth law. Gallai chwaer arall weithio â'i nodwydd ddarlun, dywedwch o'r Beibl, yna y dyddiad y cyfieithwyd ef gyntaf i'r Chineaeg, neu ryw iaith arall. Fe welir wrth hyn yr hyn wyf yn feddwl. Wedi i'r pwyllgor gael gan yr aelodau bethau fel hyn, ac efallai lawer o lyfrau cenadol da, a lluaws o bethau nas gallwn yn awr eu henwi, gallant benodi noson i werthu yr oll, a bydd yr arian ganddynt i ddanfon i'r Bwrdd, a byddant hefyd wedi gwasgaru llawer iawn o wybodaeth genadol drwy yr eglwys a'r gymydogaeth, ac heblaw hyny, llwyddo i gael llawer un i wneyd ychydig gyda'r gorchwyl pwysig hwn, na allasid cael gafael ynddo yn un ffordd arall.

Wrth derfynu ar hyn, cofier na charem fod dim ag ydwyf wedi ei awgrymu yn cymeryd lle y casgliad nos Lun cyntaf yn y mis. Credwyf nad oes un adeg ag y mae dyn yn cael cymaint o bleser wrth gyfranu, a phan yn teimlo i'r byw ei fod yn derbyn. Pan yn gofyn i Dduw mewn teimlad am lwyddo ei waith, ystyriwn hi y fraint fwyaf y pryd hwnw i gael rhoddi rhywbeth i hwyluso y gwaith yn y blaen. Wrth gwrs, lle bydd gweinidog, efe o bawb yw y cymwysaf i ddwyn un o'r cynlluniau uchod, neu ryw gynllun arall a welo efe yn oreu, i sylw, a lle na fyddo gweinidog cawn wasgu ar ryw frawd da o ddiacon, neu aelod cyffredin, i gymeryd y mater mewn llaw; a myned ei weled yn cael ei gario allan yn drylwyr ac effeithiol. Os bydd brawd yn unrhyw eglwys yn teimlo ar ei galon i gymeryd at ddwyn rhyw gynllun i

sylw, na arosed am gymelliad oddiwrth yr eglwys, neu i rywun arall i wneyd hyny, ond eled at y gwaith. Sicrhaf iddo fyd o bleser, a hefyd y bydd i'r eglwys deimlo yn falch o hono, cydweithredu ag ef, a dweyd, "Duw yn rhwydd iddo."

—

Y GWAITH CENADOL GARTREF.

Mae pump o gylchoedd tu allan i'r dyn ei hun y dylai pob Cristion deimlo dyddordeb, a hefyd lafurio ynddynt. Yn gyntaf, y teulu; yna yr eglwys a'r gynulleidfa y mae yn perthyn iddi; wedi hyny y dref yn mha un y mae yn byw; a'r wlad y perthyna iddi; ac yn ddiweddaf dylai y byd crwn cyfan gael ein sylw, a'i achos ef yn achos i ni. Ni ddylai neb gael ei lyncu gan ei deulu, ei dref, nac ychwaith gan ei wlad, ond dylai, fel Iesu, fod a'r holl fyd yn pwyso ar ei galon. Fel y mae ergyd ar y troed yn gyru poen trwy yr holl gyfansoddiad, felly mae esgeulusdod o un o'r cylchoedd yn achosi annedwyddwch yn y lleill. Nid yw America yn gorwedd yn agosach at feddwl y Ceidwad na China, ac mae yr hwn a ddiystyra "un o'r rhai bychain hyn," allan ar wastadedd y Gorllewin, neu yn anialdiroedd India, neu yn mhlith miliynau China, yn rhoddi loes i galon yr hwn sydd yn orlawn o dynerwch.

Nid teg i ni anghofio y Talaethau Unedig wrth sylwi ar y talaethau gwahanedig draw. Mae o bwys mawr i ni, a'r byd hefyd, fod crefydd yn ffynu yma, a bod gofal yn cael ei gymeryd o'r paganiaid sydd yn ein hymyl. Dosbarth mawr sydd genym i ofalu am danynt yma yw y Negroaid, trwy y Talaethau Deheuol. Mae miloedd lawer o honynt yn aelodau mewn eglwysi Bedyddiedig, ond mae eu gwybodaeth yn fychan iawn. Mae gan y Bwrdd Cenadol Cartrefol un-ar-ddeg o ysgolion yn bresenol er eu haddysgu yn ffordd Duw yn fanylach, a'u cymwyso i fod yn weinidogion cymwys y testament newydd. Mae y brodyr hyn yn teilyngu cynorthwy, oblegid cynorthwyant eu hunain. Casglodd ein brodyr o liw yn Nhalaeth Alabama y llynedd, $10,000 at sefydliadau addysg, yr hyn oedd yn llawer mwy nag a ddysgwylid gan ddosbarth sydd yn byw yn nghanol cymaint o dlodi.

Heblaw y Negroaid mae gan y Bwrdd y Gorllewin i ofalu am dano. Y'mhlith yr ymfudwyr i'r Gorllewin mae llawer yn bobl grefyddol, ond yn hollol dylawd am amryw flynyddoedd wedi myned yno, ac felly yn analluog i godi addoldai.

Mae gan y Bedyddwyr yn awr yn y Talaethau Gorllewinol a'r Gogledd-Orllewin, 500 o eglwysi heb dai addoliad. Eleni bwriadir cynorthwyo y rhai hyn trwy roddi symiau o arian iddynt at adeiladu, ar y telerau eu bod hwy yn casglu cymaint ddwy waith atynt. Na fydded i ni fod yn ol o gofio am gartref, yn gystal ag oddicartref, yn ein cyfraniadau y misoedd dyfodol. Bydd hyny yn addoliad llawn mor dderbyniol gan y Nefoedd a myned i'r capel i wrando pregeth neu offrymu gweddi.

Mae terfynau gofod y WAWR wedi ei gyrhaedd y tro hwn, ddarllenydd, heb roddi i ti fawr newyddion. Ymdrechwn gael basgedaid lawn y tro nesaf.

## HANESION CARTREFOL.

### TYSTEB Y PARCH. THEOPHILUS JONES, WILKESBARRE.

Yr ydys wedi penderfynu mai ar Ddydd Gwyl Dewi, sef Mawrth 1af, yn nghapel y Bedyddwyr yn Kingston, y cyflwynir y dysteb i Mr. Jones. Mae y cyfarfod i ddechreu yn yr hwyr, am 6 o'r gloch, pan y dysgwylir yn nghyd amryw frodyr o'r gwahanol enwadau. Yr ydys yn taer gymell pawb i wneyd eu goreu dros y dysteb o hyn i hyny, ac anfon eu cyfraniadau yn brydlawn i law y Trysorydd,

B. HUGHES, *Hyde Park.*

### RHODD WERTHFAWR O LYFRAU.

Nos Nadolig yr oeddem fel eglwys, cynulleidfa, ac ysgol Sabbothol, yn Snyder's Hill, yn mwynhau ein hunain, ac yn difyru y plant â *chandy,* a

synu y naill a'r llall â gwahanol rodd-ion. Synwyd y gweinidog gymaint a neb pan ddywedodd un o'r brodyr fod yno chwech o gyfrolau hardd iddo. Derbynied fy mrodyr a'm cyfeillion oll fy niolchgarwch am gofio mor sylweddol am danaf. "Yn gymaint a gwneuthur o honoch i un o'r rhai bychain hyn, i mi y gwnaethoch," meddai yr Arglwydd Iesu.

*Nanticoke, Pa.* W. F. Davies.

---

NANTICOKE, PA.

Cafodd ysgol Sabbothol y Bedyddwyr amser braf yma nos Nadolig, mewn adrodd, canu, a rhoddi a derbyn anrhegion. Cymerwyd rhan yn yr adrodd, gan Henry Roberts, John Griffiths, William Williams, Henry Hill, a llawer eraill nas gallaf eu henwi yn bresenol; ac yn y canu, gan ein gweinidog, a chan William Edmunds, Thomas Lewis, Benjamin Jones, a Chôr Aelwyd Henry Richards. Mae y côr hwn yn gallu canu yn rhagorol. Rhoddasant foddlonrwydd i bawb oedd yn wyddfodol. Cynaliwyd y cwrdd eleni mewn neuadd yn y dref, am fod y capel yn rhy fach, ac yr oedd y neuadd yn orlawn, a llawer yn gorfod sefyll drwy y cyfarfod. Yr oedd y pwyllgor wedi darparu yn helaeth gnau a chandi i'r plant i gyd; ond gan fod y plant wedi derbyn cymaint o roddion eraill oddiar y *Christmas tree* oedd yno, penderfynwyd cadw y candi nes ar ol y Nadolig.

Mae ein hysgol ar hyn o bryd yn llewyrchus iawn, a dylem fel athrawon fod yn fawr ein hymdrech dros y to gobeithiol o feibion a merched sydd yn codi dan ein gofal. Mae y capel sydd yn cael ei godi yn y lle yma i'r eglwys Seisonig, bellach o dan do. Dysgwylir iddo fod yn barod heb fod yn faith. Mae ei fawr eisiau yma, a dysgwyliwn yn bryderus am y dydd y byddo y brodyr Seisonig ynddo. Diameu y llwydda y ddwy eglwys lawer yn well wedi hyny, ac y bydd cysur y Cymry a'r Saeson yn helaethach ar ol hyny nag yn bresenol. Aelod.

NEWBURG, O.

Nos Sadwrn, Ionawr 1, 1881, cynaliodd ysgol Sabbothol y Bedyddwyr gyfarfod adloniadol. Llywydd y cyfarfod oedd ein gweinidog, y Parch J. F. Richards. Arweiniwyd y cyfarfod yn fedrus gan L. L. Williams, a thraddododd anerchiad rhagorol. Adroddodd y plant yn dda odiaeth. Canodd Tommie Waters yn deimladwy ac effeithiol. Adroddodd John Richards yn fedrus; ond credwn yn gydwybodol i Mrs. Richards (ei wraig) ei guro o ddigon. Synodd a rhyfeddodd pawb wrth fedrusrwydd y ferch fechan Elvira Davies yn chwareu yr organ. Os ca addysg ac ymarferiad, diau y gwna i'r byd i deimlo ei bodolaeth. Yr oedd y plant, dan arweiniad John Waters, yn canu yn unol a grymus. Yn wir, mae y brawd Waters yn haeddu cefnogaeth a chanmoliaeth am ei ymdrechion parhaus gyda y plant. Prif ddyben y cyfarfod oedd cyflwyno rhoddion i'r plant. Bu y boneddigion canlynol yn weithgar yn cario allan gynllun o eiddo Mr. John Jones, Utica, i wneyd ysgol Jacob yn ardderchog a gogoneddus, sef Azariah Jones, William Davies, a William Evans, &c.

Yr oedd yr ysgol Jacobaidd wedi ei gorlwytho gan roddion hael. Derbyniodd y Parch. James F. Richards a'i deulu amryw roddion, a hefyd swm da o arian. Daeth un o'r cyfarfodydd goreu a gynaliwyd gan ysgol y Bedyddwyr i derfyniad mewn heddwch. Mae yr ysgol yn myned ar gynydd yn barhaus. Cymro.

---

ARNOT, PA.

*Mr. Gol.*—Dymunwyf arnoch adael hanes y cyfarfodydd adroddiadol a gawsom yma y Nadolig diweddaf i ymddangos yn eich cyhoeddiad, am y credwyf y bydd hyny yn ddyddorol i'r cyhoedd. Yr oedd y cyfarfodydd hyn yn werth eu canmol ar gyfer eu hamrywiaeth. Yr oedd llawer o'r darnau a ddewiswyd yn gymwys iawn i'r amgylchiad oeddem ni ynddo ar y pryd, sef mewn hiraeth ar ol ein hanwyl weinidog, Dafydd Harris.

Llywydd y cyfarfodydd ydoedd y brawd Philip Williams.

*Cyfarfod y Boreu.*

Dechreuwyd am 10½ trwy adrodd y Salm gyntaf, yna gweddi a thôn gynulleidfaol. Yna dechreuodd y Llywydd alw y plant i adrodd a chanu eu darnau, yn ol y rhestr ganlynol :

Samuel Mitchell, "The Star;" Martha J. Williams, Englyn i Gwm Rhondda; Mary Harriet Williams, Ffolineb Ariangarwch; Thomas a Maggie G. Williams, canu, "Yes, I do believe in the Lord;" Gwen Jones, Childhood's Hour; Maggie G. Williams, Our Father in Heaven; Catherine G. Williams, Going Home; John G. Williams a'i barti, canu Ildio i Demtasiwn; Sarah Wilkins a Susannah E. Jones, (dadl), Y Ffordd i wneyd Cyfeillion; Thomas G. Williams, adrodd; James Jugley, Mary's little Lamb; H. S. Jones, adrodd y Prophwyd Habacuc; Lily Morris, Gentle Jesus; John M. Thomas, cân; Anne P. Jones, Duty to God; Anne Wilkins, adrodd; A. E. Jones, Willy Dyfal; Mary Harriet Williams, Duw yn Noddfa; Thos. G. Williams, adrodd; Berry Pierce, I had a little Land; John M. Thomas, cân; Maggie G. Williams, adrodd, Nid Boddi Enaid byddant; Benj. Lloyd, Never Sulk or Frown; Ann Williams, Y Dyn Blysig; Philip Williams, cân; John M. Thomas, canu Plant y Tonau. Felly terfynwyd cyfarfod y boreu.

*Cyfarfod 2 o'r Gloch.*

Dechreuwyd trwy adrodd penod, a gweddi, gan y brawd H. H. Davies, a thôn gynulleidfaol. Yna awd y'mlaen a gwaith y cyfarfod fel y canlyn :

Samuel Mitchell, Sabbath Morning; Mary L. Phelps, The Golden Stair; John G. Williams a'i barti, canu, I am so glad that our Father is in Heaven; Mary E. Jones, The Child's Good Morning; John Elias Williams, Dy Fam yw hi er hyn i gyd: Gwen Jones, Stray Little Girl; William Wilkins, Nadolig; William Jones, Young Robins; Sarah Wilkins, Nos Calan Gauaf; Philip Williams, cân; Susannah E. Jones, adrodd; Catherine G. Williams, Dyddan fy mebyd; Wm. G. Williams, Beth yw fy Oes? John M. Thomas, cân; Anne Wilkins, adrodd; S. H. Davies, araeth; Benjamin Lloyd, adrodd, Strange Little Boy; Sarah Wilkins, Susannah E. Jones, John G. Williams, Ymryson yn nghylch Rhanu y Deisen; H. S. Jones, adrodd, y Doethion o'r Dwyrain; Mary A. Morris, Little Things; Lizzie Phillips, Mary Dow; John G. Williams a'i barti, canu, 'Rwyf finau yn Filwr bychan; Philip Williams, cân; John Booth, I had a little Land; Sarah H. Jones, adrodd; John Jones, Little Gray Mouse. Terfynwyd trwy ganu tôn gynulleidfaol.

*Cyfarfod 6 o'r Gloch.*

Dechreuwyd trwy adrodd penod gan Susannah E. Jones; gofynwyd bendith yr Arglwydd gan un o'r brodyr, a chanwyd tôn gan y gynulleidfa. Yna galwyd ar

James Bywater, The Dying Soldier; H. S. Jones, Dinystr Byddin Senacherib; Joseph Phillips, cân; Ed. Lloyd a Lizzie Jane Phelps, dadl; Anne Wilkins, adrodd: Edward Todd, tôn; S. H. Davies ac A. P. Jones, dadl, Y Meddwyn; Mary G. Williams, Gwen Fach o'r Felin; Tôn gan John G. Williams a'i gyfeillion. Philip Williams, cân; Henry H. Davies, adrodd, Ardderchawgrwydd y Beibl; Mary E. Lloyd, adrodd. Canwyd tôn mewn iaith ddyeithr, gan P. Williams a'i gyfeillion. Cafwyd araeth gan y brawd D. Wilkins. Canodd Mr. Breese a'i ferch Ddeuawd. Maggie G. Williams, adrodd, Santa Claus; Philip Williams, cân; John M. Thomas, adrodd, Allwedd Myfyrdod ar yr Egwyddor Gymraeg; S. A. Jones, adrodd; Edward L. Lloyd, The Dead Child's Ford; Triawd, gan P. Williams, John M. Thomas, a Mrs. E. M. Thomas. Daniel Wilkins, adrodd; J. M. Thomas, cân. Cafwyd araeth eto gan Mr. Logan. Tôn gan y plant; Sarah Wilkins, Christmas Day; Thomas Morris, adrodd; Araeth ar Amser, gan W. Watkins, ac adroddiad gan Anne Wilkins.

Felly terfynwyd un o'r cyfarfodydd goreu y bum ynddo erioed. Gobeithio y cawn gyfarfod o'r fath yn fuan eto. Y mae canmoliaeth yn deilwng i blant ysgol Arnot. Yr oedd yma blant tua thair mlwydd oed yn adrodd yn ganmoladwy, ac eraill tua'r un oedran yn canu yn swynol dros ben; ond am y dynion mewn oed, mae yn rhaid cael amgenach a galluocach dyn na'r ysgrifenydd i'w canmol hwy.

Gan fod cymaint yn gobeithio am gael cyfarfod o'r fath yn fuan eto, penderfynodd yr ysgol i gael cyfarfod o'r un natur y Sul diweddaf o fis Mawrth.

Os bydd dyeithriaid ar ymweliad â'r gymydogaeth hon y pryd hwnw bydd yn werth iddynt fod yn bresenol, o herwydd mae yn gwella bob tro.

JOHN M. THOMAS, *Ysg.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Ardal y Coed, ger Dodgeville, Wis., Gorph. 11, 1880, bedwar o bersonau ar eu proffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. W. Jones.

Hefyd yn Ridgeway, bedyddiwyd, Gorph. 18, 1880, un brawd ar ei broffes o'i ffydd yn yr un person dwyfol.

---

## *PRIODWYD—*

Rhag. 25, 1880, yn Mahanoy City, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Ambrose Pearson a Miss Esther Cobly, y ddau o'r lle hwn.

Ionawr 3, 1881, gan y Parch. W. Jones, yn nghartref rhieni y briodasferch, sef Mr. a Mrs. Samuel F. Roach, ger Dodgeville, Wis., Mr. John W. Jones a Miss Sarah Anne Roach, oll o Dodgeville, Wis.

Ionawr 4, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, David Jehu ac Ann Jones, ill dau o Providnce.

Hapus, a gweddus eu gwawr—y byddont,
A buddiol bâr gwerthfawr;
Jehu sy'n ddwbl U yn awr,
Ei Ann droes iddo 'n drysawr.

Ionawr 6, 1881, yn nhy Mr. Kilpatrick, Niles, Ohio, gan y Parch. D. C. Thomas, Mr. James Herbison a Miss Anne Jane McMurray, oll o Niles.

Ionawr 13, 1881, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn ei dy ei hun, Mr. John Williams a Miss Mary Davies—y mab ieuanc o Girardville, a'r ferch ieuanc o Mahanoy Plain.

---

## *BU FARW—*

MRS. MARY JONES.

Tachwedd 27, 1880, yn Dodgeville, Iowa Co., Wis., yn nhy Evan W. Williams, Ysw., ei mab-yn-nghyfraith, bu farw Mary Jones, gweddw Morgan Jones, a chwaer i Mr. Zorobabel Thomas, o Pennsylvania. Mae iddi bump o blant yn fyw, sef Evan, Rees a Gomer Jones, yn California; Thomas M. Jones, ei mab hynaf, yn Nevada, a Mrs. Williams, yr hon a ofalodd am dani yn dyner ac anwyl am yr ysbaid maith o bedair blynedd o gystudd caled, a chafodd y fraint o weinyddu yr ymgeledd manylaf i'w hanwyl fam oedranus yn ei horiau olaf, yr hyn a wnaeth yn ddiatal ac yn ddiflino.

Yr oedd yr hen chwaer yn aelod reolaidd gyda'r Bedyddwyr yn Dodgeville. Bedyddiwyd hi a'i phriod ar eu cyffes o'u ffydd yn Nghrist gan y Parch. J. P. Harris, Medi 21, 1850, a bu yn ffyddlon gydag achos y Gwaredwr o hyny hyd y diwedd. Yr oedd hi yn gymydoges garedig a chymwynasgar Ymwelais â hi amryw weithiau yn ei chystudd, ac yr oedd bob amser a hyder diysgog yn ei Cheidwad; a chwynai yn fynych o herwydd anfantais henaint i grefydda—y dyddiau blin wedi ei goddiweddyd—y nerth wedi myned yn boen a blinder; ac ar y dydd crybwylledig hi a ehedodd ymaith, yn yr oedran teg o bedwar ugain mlynedd ond un mis.

Dranoeth, daeth tyrfa luosog yn nghyd, a hebryngwyd ei rhan farwol at ochr ei phriod i gladdfa Dodgeville. Gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan weinidogion y lle.

O nôd ddewr-gall, nid yn ddirgel—hon fu
Yn hen fam yn Israel,
A'i hagwedd yn ddiogel
I fywhau'r saint trwy fawr sel.

*Dodgeville, Wis.* M. EVANS.

Bu farw Mrs. Mary Owens (*Trebores*) gweddw R. C. Owens (*Trebor*). Yr ydys yn ei chladdu heddyw (Ionawr 12, 1881). Mae yn debyg yr ymddengys y manylion am dani yn y WAWR. M. E.

JAMES H. EVANS.

Ionawr 5, 1881, yn Hametown, Swydd Summit, Ohio, yn 15 mlwydd, 11 mis a 10 niwrnod oed, bu farw James H. Evans, mab Daniel W. Evans (diacon gyda'r Bedyddwyr yn y lle hwn) a'i briod. Brodorion ydynt o ochr Mynyddislwyn, Swydd Fynwy, D. C. Ganwyd gwrthddrych ein cofiant yn y Deri Newydd, ger Rhymney, D. C., Chwefror 26, 1865. Symudasant oddiyno i Gaerphili, ac yn Mai, 1869, cychwynodd ei dad tua'r wlad hon, ac

i'r lle uchod y daeth; ac yn mis Gorphenaf, 1870, daeth Mrs. Evans a thri o blant—James yr henaf. Yr oedd yn fachgen hardd, ond yr oedd rhywbeth yn ei wddf yn ei flino yn fawr er's blynyddau, yr hyn fu yn achos o'i farwolaeth sydyn ac annysgwyliadwy yn mlodau ei ddyddiau. Yr oedd ddydd Mawrth, y 4ydd, yn myned oddiamgylch fel arferol; ond cyn toriad gwawr y boreu dydd Mercher, y 5ed, wedi marw.

Claddwyd ef ar y 7fed, yn nghladdfa yr High Church, ger y lle hwn. Gweinyddwyd gan y Parch. Iago W. James. Mae y frawdoliaeth a chyfeillion yr ardal yn gyffredinol yn teimlo yn ddwys ar ran y brawd a'r chwaer yn ngwyneb y brofedigaeth chwerw a ddaeth i'w cyfarfod yn marwolaeth eu hanwyl fab.

Mor sigledig ydyw sylfaen
  Holl ddedwyddwch teulu dyn;
Colli plant sy'n gwneyd archollion,
  Iê, colli mab fel hyn;
Er ymdrechu 'n erbyn angeu,
  Rhoddodd derfyn ar ei glwy',
Felly gobaith o'i gymdeithas
  Yma nid oes i ni mwy.

Deigryn galar sydd yn eglur
  Dreiglo gruddiau 'i fam a'i dad,
Hiraeth sydd yn llwytho'u mynwes
  Am eu hanwyl, anwyl fab;
Bachgen hardd oedd J. H. Evans,
  Gofal mawr oedd ynddo 'n bod
Am ei frodyr a'i chwiorydd,
  Hyny iddo geir yn glod.

Pwnc oedd iddo yn hyfrydwch
  Ydoedd parch i'w dad a'i fam,
Gyda phawb yn ddiwahaniaeth
  Prydferth ydoedd yn mhob man;
Ei gymdeithas ef oedd beunydd
  Gyda'r rhai o duedd dda—
Myn'd i'r capel ar y Sabboth,
  Bod yn brydlon yno wna.

Ond cyn cyrhaedd un ar bymtheg
  Mlwydd o'i oed, newidia'i wedd;
Erbyn heddyw mae ei drigfan
  Yn y byd tu draw i'r bedd;
Croesodd ddofn afon angeu,
  Buddugoliaeth gafodd ef,
Gyda myrddiwn yn bresenol
  Mae yn moli yn y nef.

*Sherman, O.* W. J. DAVIES (*Eilianydd*).

***Dymunir ar bapyrau Cymru godi yr uchod, er mwyn perthynasau a chyfeillion.

MRS. ELIZABETH PROUT.

Rhagfyr 30, 1880, yn Dennison, neu Sherman, Swydd Summit, Ohio, yn 20 mlwydd, 3 mis a 25 niwrnod oed, o'r *quick consumption*, bu farw Mrs. Elizabeth Prout, priod Mr. Thos. Prout. Ganwyd ein chwaer yn Tredegar, D. C., Medi 5, 1860. Merch oedd i John a Margaret Armstrong, o'r lle hwn. Daeth ei thad i'r wlad hon yn Ebrill, 1865, ac yn Gorphenaf, 1869, y daeth Mrs. Armstrong a'r plant, ac i'r lle hwn y daethant.

Yr oedd ein chwaer yn aelod gyda y Bedyddwyr yma. Bedyddiwyd hi Chwefror 17, 1876, yn y lle hwn, gan y Parch. Joseph T. Jones, y pryd hwnw yn weinidog yn Thomastown, Ohio. Yr oedd colli y chwaer hon yn golled fawr i'w phriod a'i merch fach, yn nghyd a'i rhieni, ei brodyr a'i chwiorydd, a'r eglwys. Hebryngwyd ei gweddillion Ionawr 1, i gladdfa Wadsworth, Ohio. Gweinyddwyd gan y Parch. Iago W. James.

W. J. DAVIES.

***Dymunir ar bapyrau Cymru codi yr uchod.

MR. GEORGE SHELDON.

Rhagfyr 1, 1880, yn Minersville, Pa., bu farw yr hen wr parchus George Sheldon, yn 72 mlwydd, 7 mis a 25 niwrnod oed. Bu yr hen frawd hwn fyw am lawer o flynyddau yn y lle uchod. Daeth yn y fl. 1851 o Blaenafon, yn nghyd a'i deulu; ac fel pob pererin arall, gwelodd lawer o droion pwysig a chwerwon; eto ni chwynai ond ychydig, ond goddefodd hwynt yn amyneddgar, gan edrych trwy ffydd yn mlaen am wawriad dydd nad oes nos yn ei ganlyn, a byd nad yw yn cael ei nodweddu gan amgylchiadau annymunol. Blinid ef yn fawr gan yr *asthma*, ond nid hir y bu yn analluog i fyned o gwmpas.

Daeth i Minersville yn mis Awst, yn gynrychiolydd i'r Gymanfa o eglwys Taylorville, gyda y brawd Daniel Jones. Daeth i'r Gymanfa ddiweddaf iddo ef ar y llawr—daeth yno hefyd i farw, a chael ei gladdu. Nid ydym am ddweyd ei fod ef yn meddwl am y pethau yna pan yn gadael Taylorville, ond fel yna y cymerodd pethau le. Mwynhaodd ei hun yn rhagorol yn y cyfarfodydd, pan oedd yr iachawdwriaeth yn cael ei chanmol, a'i Geidwad yn cael ei ddyrchafu; ac nid rhyfedd hyny chwaith, gan ei fod mor agos o ran amser a theimlad i'r gymanfa fawr ar fynydd Seion. Dadfeiliodd ei babell yn fuan wedi hyny, fel ag i'w ollwng yn rhydd i gael perffaith fwynhad o'r gymanfa fry. Terfynodd ei yrfa ddaearol yn nhy ei ferch a'i fab-yn-nghyfraith, Edward Davies, yn Minersville, lle y cafodd ofal a thynerwch mawr. Y mae iddo bedwar o blant—un mab a merch yn Taylorville, un ferch yn Pittston, ac un yn Minersville; ac nid gormod yw dweyd eu bod yn teimlo hiraeth mawr ar ei ol.

Diau y ca yr eglwys yn Taylorville golled nid bychan wrth ei ollwng i'r eglwys orfoleddus sydd uchod.

Claddwyd rhan farwol yr hen frawd anwyl Rhag. 4ydd, yn mynwent y Bedyddwyr yn Minersville, gan dyrfa luosog a pharchus, i orphwys hyd ganiad yr udgorn diweddaf, pryd y

gweinyddwyd gan y Parch. W. D. Thomas, Mahanoy City.

MRS. MARGARET AURELIUS.

Rhagfyr 30, 1880, yn Birmingham, Ala., yn nhy ei mab ieuengaf, Mr. Edward Aurelius, bu farw Mrs. Margaret Aurelius, yn y 95 flwyddyn o'i hoed. Ganwyd hi yn agos i Gaerphili, D. C., yn y flwyddyn 1785. Priododd gydag Edward Aurelius yn 1812, yn eglwys y plwyf Risca. Ganwyd iddi naw o blant, chwech o feibion a thair o ferched, chwech o'r rhai sydd yn fyw, pedwar mab a dwy ferch, i alaru ar ei hol. Pan oedd ei mab ieuengaf yn chwe' mis oed, bu farw ei gwr. Yn y flwyddyn 1840 symudodd i Blaenau, a thrwy lafur ei dwylaw ei hun gofalodd am ei phlant phorthodd hwynt, hyd nes daeth ei meibion mewn oedran i gynorthwyo cynal y teulu. Yr oedd Mrs Aurelius yn ddynes rymus a bywiog, ac ni roddai byth i fyny unrhyw orchwyl a gymerai mewn llaw i'w gyflawni; felly trwy ei gonestrwydd a'i hymroddiad, enillodd gymeriad uchel, fel ag y cafodd gydymdeimlad cyfeillion yn mhob cylch y troai, yn yr Hen Wlad a'r wlad hon.

Daeth i'r wlad hon yn 1865 gyda'i mab ieuengaf, Edward. Wedi bod yma am flwyddyn, aeth yn ol yn y mis Gorphenaf dilynol; arosodd yno dri mis, yna dychwelodd yn ol i'r wlad hon, lle y trigianodd weddill ei hoes. Hiraethai am weled yr amser y cai fyned a gorphwys.

Bedyddiwyd hi yn flwyddyn 1837, gan y Parch. David Edwards, Risca, a bu yn ffyddlon i'w phroffes. Mynychai y moddion hyd y gallai, a chyfranai yn ol ei gallu at gynal achos crefydd, a bu yn fam dda i'w phlant ac i gymdeithas yn wir gyfeilles. Hunodd yn dawel ar y dyddiad a nodwyd.

Cymerodd ei chladdedigaeth le o dy ei mab, Ion. 1, 1881. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. Mr. Lin, gweinidog y Bedyddwyr. Heddwch i'w llwch hyd foreu yr adgyfodiad. MRS. THOMAS AURELIUS.

Y PARCH. DAVID HARRIS, ARNOT.

Gorchwyl y byddai yn well genyf hebddo yw hysbysu fod ein frawd David Harris yn mhlith y rhai a fu. Nid oes amser maith er pan ddaethum i adnabyddiaeth â Mr. Harris, ond cefais ddigon o adnabyddiaeth a chymdeithas ag ef i ddyweyd ei fod yn ddyn cywir. Mab ydoedd i Miles a Margaret Harris, Treboeth, Sir Gaerfyrddin, D. C. Ymfudasant i'r wlad hon pan oedd ein brawd yn 9 mlwydd oed. Y mae yn debyg iddynt aros ychydig yn Philadelphia pan ddaethant i'r wlad; yna aethant i Charleston, a chladdwyd tad Mr. Harris o'r lle diweddaf yn mhen tua mis ar ol eu dyfodiad i'r wlad. Ni chafodd ein brawd ond ychydig o fanteision addysg, ond fel y dysgodd gyda ei orchwyl gwaith. Bu yn tori glo am lawer o flynyddau, ond mewn amaethyddiaeth y treuliodd y rhan fwyaf o'i oes. Yr wyf yn cael iddo fod yn Virginia, Texas, a Danville. Yn y lle diweddaf y dechreuodd ei fywyd priodasol a chrefyddol, tua deuddeng mlynedd ar hugain yn ol. Bu farw ei wraig gyntaf ddeuddeng mlynedd yn ol, a chladdwyd hi yn mynwent Cherry Flats. Priododd ei ail wraig tua naw mlynedd yn ol, yn Virginia, yr hon sydd yn awr wedi ei gadael mewn galar dwys ar ei ol.

Yr oedd yn ddyn mor ddefnyddiol yn y cymydogaethau hyn, fel y mae llawer yn cael allan fod eu colled yn fawr iawn eisoes. Heblaw fod ei deulu wedi cael colled drom, y mae yr eglwys yn ei galar-wisg ar ei ol, yr hon oedd mor anwyl ganddi am dano. Colled fawr i'r eglwys oedd colli Mr. Harris. Ni fu llawer o ddynion erioed yn llanw eu lle yn well na'r brawd, wyf fi yma yn ei gofio. Y mae yr Odyddion a'r Iforiaid wedi derbyn colled fawr hefyd. Yr oedd efe wedi dringo i'r graddau uchaf gyda'r Odyddion, ac yn dringo yn gyflym i enwogrwydd a swyddi gyda'r Iforiaid. Ystyrid ef yn un o'r gwleidyddwyr Gwerinol blaenaf yn Tioga, ac yr oedd yn seryddwr neillduol dda. Felly chwi a welwch fod colli dyn yn meddu y nodau uchod o'n plith yn golled nas gwyddom ei maint na'i diwedd. Yr oedd poblogrwydd ei angladd yn llefaru wrth yr edrychwyr fod rhyw un mawr yn cael ei gladdu. Dywedwyd wrthyf mai hwn oedd yr angladd mwyaf a welwyd yn Arnot erioed.

Bu ein brawd yn aelod ffyddlawn am ddeuddeng mlynedd ar hugain yn myddin y groes, dringodd i'w swyddi uchaf. Y mae yn awr wedi treulio tymor ei wasanaeth allan, ac wedi myned i'r nefoedd i dderbyn ei *everlasting pension* a diddadl genym ei fod wedi derbyn *medal of honor* am ei wroldeb, a choron gogoniant am ei ffyddlondeb, a thelyn aur i dragywyddol fwynhau ei hun wrth chwareu gogoniant i Dduw ac i'r Oen.

Boreu ddydd Llun, Rhag. 23ain, daeth tyrfa fawr o'i ffryndiau i dalu y gymwynas olaf iddo, trwy hebrwng ei weddillion marwol i dy eu hir gartref. Cychwynodd yr angladd am tua deg o'r gloch yn y boreu, ac aed i gapel y Presbyteriaid, am nad oedd capel y Bedyddwyr yn ddigon eang i gynwys y dyrfa, lle y gwasanaethodd Mr. Ellison, o Elmira, mewn modd toddedig neillduol. Yr oedd llawer yn colli dagrau yma yn ystod y gwasanaeth. Wedi dyfod allan i'r heol, ffurfiwyd yn orymdaith, ac ar ol cael yr oll i drefn, cychwynasom i Cherry Flats, lle y gosodwyd corph ein brawd yn y bedd. Ond fel y dywedwyd yn y capel, y dichon y gellir rhoddi ei gorph yn y bedd, ond nad oes yr un lle llai na'r nefoedd yn ddigon mawr i gynwys ei enaid, ac nad yw Duw wedi trefnu lle addas i gymeriad fel yr eiddo Mr. Harris yn un man ond y trigfanau dedwydd. Duw fendithio y weddw a'r plant sydd ar ol i fyw er gogoniant i'w Creawdwr, fel y gallont ddysgwyl gweled eu tad eto. Y mae yn llawenydd genyf fod y weddw yn grefyddol, ac yn

ffyddlon iawn gyda'r gwaith. Heddwch i'w lwch hyd y boreu y bydd galw am dano

JOHN M. THOMAS.

Wel dacw un eto ddiangodd
O fyd y tymestloedd a'r poen,
At fyrddiwn o saint a merthyron,
A gwych Apostolion yr Oen;
Am Iesu pregethodd ef ganwaith,
'R hwn ydoedd ei obaith wrth fyw,
Wrth farw ca'dd ynddo dangnefedd,
A chyflawn orfoledd gwir yw.

Y brawd wyf fi yma 'n ei gofio,
A'r dagrau yn treiglo fy ngrudd,
Yw yr anwyl frawd Dafydd Harris
I Gymru mae'r hanes yn brudd;
Pan glywo pob rhan o'r d'wysogaeth,
Bydd ynddynt fawr hiraeth diwad,
Waith colli gwr oedd mor rinweddol,
Mae 'i enw'n wybodol trwy'r wlad.

## Newyddion a Nodion.

GAN J. EDRED JONES.

Mae y gwyliau blynyddol unwaith eto wedi darfod, a blwyddyn newydd arall wedi gwawrio; ac erbyn hyn mae dynion o wahanol alwedigaethau yn prysur gario allan eu cynlluniau gyda golwg ar y dyfodol. Mae'r

GYDGYNGORFA BRESENOL

wedi cyfarfod yn Washington i orphen ei gwaith; a phan ddaw ei hamser i fyny, yn Mawrth nesaf, bydd amryw o ddynion enwog, perthynol i'r ddau Dy. yn dychwelyd i'w cartrefleoedd, heb un gobaith i ddychwelyd byth i lanw yr un swyddi. Bydd amser 25 o Seneddwyr i fyny y pryd hwnw; a phwy oedd i lanw eu lleoedd, sydd wedi, ac yn bod y pwnc pwysicaf yn Neddfwrfaoedd y Talaethau perthynol oddiar eu hymgynulliad ddechreu y flwyddyn hon. Erbyn hyn mae y rhan luosocaf o honynt wedi dewis eu hetholedigion. Y mae Vermont wedi anrhydeddu ei hun eto yn nychweliad y Seneddwr Edmunds. Etholodd Georgia Mr. Brown—Virginia, Mr. Mahone—California, y Cadfridog Miller—Nevada, Mr. Fair—Florida, Mr. Jones—Ohio, Mr. J. Sherman—Michigan, Mr. Conger—Connecticut, y Cadfridog Hawley—Indiana, y Cadfridog Harrison—Delaware, Mr. Bayard—Maine, Mr. Hale—New York, Mr. Platt, &c.

Y mae'r ymdrechion am y swydd anrhydeddus a phwysig hon wedi cael eu cario yn mlaen eleni gyda mwy o boethder nag arferol. Y mae yn syn a diraddiol gweled cymaint o bersonau yn neidio i'r *front* fel ymgeiswyr ar achlysur o'r fath, gan ddadleu eu *hawliau* i'r swydd mor wyneb-bresaidd a digywilydd a phe buasai ganddynt hwy arwystliad ar un o'r swyddi uchaf yn meddiant yr etholwyr. Bu amser pan oedd y swydd uchel, bwysig ac anrhydeddus hon, yn ceisio am ddynion cymwys i'w llanw—dynion o gymeriad, safle, dysgeidiaeth, a phrofiad gwladyddol—ie, dynion a adlewyrchent anrhydedd ar y wlad, y Llywodraeth, yn gystal a'r Ty yr eisteddent ynddo; ond nid felly yn awr. Mae'r "*machine*" wedi gwneyd chwyldroad llwyr yn y byd politicaidd. Nid yw yr anhebgorion cyntefig o fawr bwys yn bresenol; yr unig gwestiwn yn awr yw, Beth yw perthynas yr ymgeisydd â'r *Boss?* Os yw yn gallu llwwodraethu y *caucus*, yn *wire puller* da, yn feistr ar bob bryntwaith politicaidd, ac yn ddigon gwasaidd a gwasanaethgar i'r *Boss*, efe fydd y dyn llwyddianus, beth bynag fyddo ei ddiffygion, neu gymwysderau ymgeiswyr eraill, y rhai ydynt yn anghydmarol addasach nag ef yn mhob ystyr. Er fod rhai Talaethau wedi anrhydeddu eu hunain yn ddiweddar yn newisiad Seneddwyr nas gellir cael eu gwell, y mae "*machines*" y Talaethau eraill wedi codi yn Seneddwyr bersonau dinod dros benau ymgeiswyr eraill oeddynt yn feddianol ar bob cymwysder i addurno y swydd! Ha wyr anwyl, i ba le mae politics America yn *driftio?* Gosod dynion yn y swyddi uchelaf o herwydd eu bod yn *machine oilers*, ac yn *Boss* addolwyr! Gwarchod pawb! "Beth fydd diwedd y pethau hyn?" Y mae yn dda iawn genym weled fod

"CANNON" Y MORMONIAID

wedi ei *spikio*. Cafodd ei wrthwynebydd, Mr. A. G. Campbell, yr ysgrif-

dyst gan awdurdodau y Diriogaeth yn Utah, am y rheswm nad yw Cannon yn ddinesydd cyfreithlon. Hwn yw y dyn sydd wedi halogi Ty y Cynrychiolwyr yn Washington er's amryw flynyddau a'i bresenoldeb fel cynrychiolydd Tiriogaeth Utah—cynrychiolydd corph o bobl sydd yn euog o dori deddfau Duw a deddfau y wlad, yn ddigywilydd a digel. Mae yn llawn bryd gosod terfyn ar y fath anghysondeb, ac yr ydym yn llawenhau fod mudiad yn yr iawn gyfeiriad yn cael ei wneyd o'r diwedd. Nid oedd lle i ddysgwyl dadfeiliad yn y *system* Formonaidd tra yr oedd ganddi lais yn Nhy y Cynrychiolwyr. Yr ydym yn gobeithio y llwydda Mr. Campbell i gadw ei eisteddle. Y mae y seiliau cryfaf i obeithio y bydd

YR ARDDANGOSFA NESAF

i gael ei chynal yn ninas New York yn 1883. Hyd yn ddiweddar mae'r pwnc wedi bod yn hynod o amheus; ond yn ddiweddar mae y Dirprwywyr wedi ethol y Cadfridog Grant yn Llywydd, ac nid oes un enw ar y cyfandir hwn a ysbrydola fwy o ymddiried yn llwyddiant y mudiad pwysig hwn, yn gartrefol a thramor, na'i enw byd-enwog ef. Ac y mae y ffaith ei fod yntau wedi derbyn y swydd yn profi fod ganddo hyder cryf yn llwyddiant yr anturiaeth. Fe'i hymladda ef hi allan i fuddugoliaeth ar y llinell yna, pe cymerai fwy na dau haf. Wel, y mae yn bryd i ni ddechreu parotoi gyferbyn a'r Ffair fawr yn Gotham.

Yr oeddwn wedi bwriadu ysgrifenu ychydig ar helyntion crefyddol yn y rhifyn hwn, ond o herwydd diffyg amser, rhaid gadael hyny hyd y rhifyn nesaf.

## DETHOLION.

—Ni raid i'r gwir Gristion ofni neb; ac ni raid i neb ei ofni yntau ychwaith, oblegid ni wna efe niwed i neb

—Mae Thomas Carlyle yn symio i fyny y doethineb a enillodd trwy brofiad yn ystod ei hirfaith oes, yn y wireb bwysig ganlynol:—"Cyflawnwch y ddyledswydd sydd yn gorwedd nesaf atoch."

## BYR-EBION.

—Poblogaeth y Talaethau Unedig, yn ol yr adroddiad swyddogol a roddodd y *Superintendent* Walker i'r Gydgyngorfa yn ddiweddar, yw, 50,152,866.

—Mai rhai o ariandai cynilo Quebec, Canada, gan eu bod yn analluog i ddefnyddio arian yn enillgar, wedi rhoddi fyny dalu llog ar yr arian yn eu gofal.

—Mae y Bedyddwyr yn Brooklyn, N. Y., yn bwriadu adeiladu Tabernacl yn fuan, yr hwn a fwriedir i fod yr adeilad mwyaf o'r fath yn y wlad hon. Bwriedir ef i fod lawn cymaint a'r eiddo Mr. Spurgeon, yn Llundain.

—Mae yr eglwys Babyddol anorphenedig, St. Peters, yn Montreal, Canada, yr hon a gynlluniwyd ar ol yr eglwys o'r un enw yn Rhufain, Itali, i gael ei thynu i lawr, o ddiffyg arian i'w gorphen. Pe cawsai ei gorphen, buasai yr eglwysdy mwyaf ar y cyfandir Americanaidd.

—Mae darlithiau a phregethau neillduol yn gyffredin yn cael eu pregethu i ddynion ieuainc; ond y mae y Parch. A. P. Tinker, o Auburn. Maine, wedi dechreu cyfres o anerchiadau i ferched a gwragedd. Ei fwriad ydyw dyrchafu safon bywyd rywfaint yn uwch na'r syniad o briodas a difyrwch.

—Mae Isaac Farwell, yn byw yn Dorset, Vt., newydd ddechreu ar ei 103 mlwydd oed. Tyddynwr ydyw; ac y mae yn fywiog iawn. Bydd yn cerdded o'i fferm i'r dref, dros filldir o ffordd, bron bob dydd, i farchnata, &c. Tua dwy flynedd yn ol dysgodd wneyd basgedi, er ei alluogi i dreulio ei amser yn ddifyr.

—Mae y pwyllgor ar yr Urddfreiniad, yn Washington, mewn meddiant o hysbysiaeth y bydd i bob Talaeth a Thiriogaeth gael eu cynrychioli gan ryw gorph cyd-drefniedig yn seremoniau y 4ydd o fis Mawrth. Bydd 38 o *arches*—un am bob Talaeth—yn rhychwantu Pennsylvania Avenue; ac nid oes amheuaeth nad arddangosir llawer o orwychder ar yr achlysur, ac y bydd mwy o wyddfodolion yn bresenol nag a fu erioed o'r blaen ar achlysur cyffelyb.

—Y mae cytundeb newydd wedi ei wneuthur rhwng Llywodraeth y Talaethau Unedig ac Ymerawdwr China, yr hwn, meddir, sydd yn rhoddi boddlonrwydd i'r ddwy wlad. Mae y cytundeb yn caniatau i'r wlad hon reoli neu atal ymfudiaeth labrwyr Chineaidd iddi; ac ar y llaw arall, mae Llywodraeth y Talaethau Unedig yn addaw defnyddio ei gallu i amddiffyn y Chineaid fyddont yn y wlad hon, yn y mwynhad o'r holl iawnderau a rhagorfreintiau a ganiateir i ddinasyddion a deiliaid y genedl fwyaf ffafredig.

# Y WAWR.

CYF. V.] MAWRTH, 1881. [RHIF. 12.


Iesu Grist yw y Deddfroddwr, ac efe hefyd yw y Barnwr; ymostyngwn ninau iddo yn ei holl osodiadau; mae ei leferydd yn dadsain megys o entrych y nefoedd, "RHODDWYD I MI BOB AWDURDOD YN Y NEF AC AR Y DDAEAR."—*Ellis Evans, D. D., Cefn Mawr.*

## PAPYRAU ANFFYDDOL AMERICA.

Ffaith alarus i'r eithaf ydyw fod yn ein gwlad fabwysiedig gynifer o bapyrau, o'r dyddiol i'r tri-misol a'r hanerblynyddol (heb son dim am gyfrolau), yn llawn gwenwyn anffyddol. Nid yw ond peth cyffredin i berson a ddichon fod ar daith, ac yn chwenychu cael mater i'w ddarllen, ac yn dymuno cael cip-drem ar y papyr dyddiol, gael o flaen ei lygaid y llysnafedd mwyaf dryg-naws o watwaredd, cabledd, a dirmyg ar Gristionogaeth a chrefydd, yr hyn a bair iddo, os yn meddu dim hunan-barch a chariad at y dwyfol, deimlo yn wir ofidus. Nid oes eisiau i ni fynegu am hyn gydag unrhyw betrusder nag amheuaeth, canys yr ydym yn dyst o'r ffaith—yr ydym yn brofiadol o'r nodwedd annymunol hon yn llenyddiaeth lifeiriol ein gwlad.

Tynwyd ein sylw yn adnewyddol at yr anffyddiaeth hwn un boreu yn ddiweddar yn y gerbydres, pan yn darllen un o bapyrau dyddiol Cincinnati, O. Gwyllt-gyflymai ein cerbydres, gan feddu ei gweision i wasgaru yr unrhyw yn mhob gorsaf ar ei thaith, tra yr ydoedd y teithwyr yn meddu eu lleni, a bron pob un yn meddu ei bapyr. Wel, wel, meddem wrthym ein hun, dyma hi yn wir! I ba le y mae ein gwlad fabwysiedig ardderchog, fawr ei breintiau, yn myned—yn *driftio?*—tebygol nad yw hyn, a ganfyddaf heddyw ond engraifft o'r un peth mewn llawer cyfeiriad arall; yr hyn i'm bryd sydd fel diluw ymruthrawl yn ymledu allan, ac yn gorlifo y wlad. Pa le y mae dylanwad yr holl bregethu sydd yn bod? Beth y mae yr eglwysi lluosog ac uchel binaclau yn ei wneuthur? P'le mae dylanwad yr holl gymdeithasau Cristionogol a dyngarol? Pa le mae y gweddiau fyrdd a esgynant yn feunyddiol at orsedd Ior ar ran y byd drygionus? Ai nid oes gan yr ysgol Sabbothol wen ei gwawr ddim i'w ddweyd na'i wneyd? O, genhadon hedd anwyl, beth sydd genych i'w ddweyd? Seion Duw, oni ddywedir am danat dy fod yn deg fel y lleuad, ac yn ofnadwy fel llu banerog?

Wrth ardremio llu o bapyrau poblogaidd ein gwlad, gellid meddwl nad oes dim yn cael ei wneyd gydag effeithiolrwydd er atal y dylanwad anffyddol a drygionus?

Wedi ymsyniad pellach a mwy ymbwyllus, mae genym ychydig sylwadau adolygiadol, fel a ganlyn i'w gwneuthur i'n darllenwyr:

1. Mae y papyrau anffyddol hyn yn fwy cyffredin yn y dinasoedd gorllewinol na'r dwyreiniol. Mae y newyddiaduron mwyaf poblogaidd a dylanwadol yn New York a Philadelphia, a chredwyf yn Boston, Baltimore, &c., ar y cyfan, yn Gristionogol, ac yn dwyn tebygolrwydd mawr yn eu cymeriad moesol a chrefyddol i bapyrau

mawrion Llundain a Lerpwl a Chymru. Ymddengys y papyrau goreu fel o dan reolaeth chwaeth dda, barn bwyllog, a diwylliaeth Gristionogol uwchraddol. Gwir, fod eithriadau poenus i'r rheol yna yn mhlith cynyrchion argraffwasg dwyrain America, ond eto eithriadau ydynt.

2. Mae newyddiaduron anffyddol dinasoedd mawrion y Gorllewin, megys Cincinnati a Chicago, yn amlygu yr un arddull annheilwng wrth drafod peth mor gysegredig a chrefydd ag a ddefnyddir ganddynt wrth drafod pwnc mor gyffredin a *gwladyddiaeth*. Gwyr pawb fod yr arddull yn sathredig. Ni arswydir cablu urddas wrth draethu am y naill na'r llall—crefydd na gwladyddiaeth. Ni raid hysbysu y darllenydd chwaethus fod hyny yn arwyddo,—ïe, mwy nag arwyddo—mae yn profi yn ddiymwad bresenoldeb chwaeth fudr y personau hyny fo yn arlwyo y fath fyrddau annymunol, afiachus, difeithriniaeth, o flaen y miloedd.

3. Papyrau Democrataidd, ac nid Gwerinol, yn y cyffredin, ydyw y papyrau anffyddol. Yn y blynyddau diweddaf hyn mae yn amlwg fod y blaid Ddemocrataidd yn ymylu ar gyflwr gorphwyllog. Diala y blaid hon ei llid yn ofnadwy ffyrnig; oblegid ei methiantau cywilyddus, diala ar Dduw a chrefydd. Unrhyw gyfundraeth a feiddia sefyll dros, ac a ddysga iawnderau dynol, rhaid ei herlid—rhaid ei lladd — rhaid ei dyfetha. Wedi y gorchfygiad wrth amddiffyffyn caethwasiaeth a gorthrwm y dyn du, brasgamir yn ddiofn i diroedd anial penrhyddid ac annuwiaeth. Cofied pwy bynag fo yn pleidio Democratiaeth bresenol, ei fod yn pleidio llygredigaeth—yn pleidio gallu ag y mae ffroenau ei fagnelau cryfaf yn erbyn prif athrawiaethau Cristionogaeth.

4. Y casgliad anocheladwy ydyw, fod cefnogwyr y fath bapyrau budr, anffyddol, yn dra lluosog. Tery y syniad yna y meddwl ar unwaith wrth ym synio ar y mater. Ond, fel y nodasom, gwyddom pwy ydynt y cefnogwyr. Gwyddom, o'r hyn lleiaf, pwy sydd yn gwneyd i fyny gorph y bobl neillduol, hyf, wyneb-galed, ddigywilydd hyn. Galwer hefyd i gof pwy ydynt amlaf yn mhoblogaeth y dinasoedd mawrion. Naill ceir hwy yn rhai dibarch o grefydd, neu ynte ceir hwy yn wrthgredwyr proffesedig—ac yn mhlith pobl o'r fath, hawdd i'r papyrau anffyddol gael digon o ddarllenwyr. Ac yn ychwanegol, dalier mewn cof yr elfenau gwrthwerinawl.

Fel sylw terfynol, dymunem ddweyd fel hyn: Y fath resyn!—ïe, O, 'r fath resyn! fyddai i genedl y Cymry yn America gael ei llygru gan wahanglwyf anffyddol papyrau o'r fath a nôdwyd. O, ein cenedl anwyl! yr hon wyt yn sefyll ar dy ben dy hun yn nghanol cenedloedd y byd, fel yn dyst ffyddlon i'r Goruchaf Fôd, byth na ddelo y dydd i ti droi yn anffyddlon iddo, gan ymadaw oddiwrth y Duw byw. Hyd yn hyn, yma a thu draw i'r moroedd, tydi a gedwaist dy ddillad yn wynion, ac ni fu diffyg olew ar dy ben yn yr ystyr hwn. Pan yn ddygwyddiadol y cyfarfyddwn yn nghwrs blynyddau, a rhyw un yn ein plith fyddo yn arwyddo ei fod yn gogwyddo at fod yn amheuwr, edrychir arno gan gorph y genedl fel gwrthddrych tosturi—neu adnabyddir ef fel bôd hunanol, hunan-fawr, dyrchafedig, mympwyol, tramgwyddedig (os chwilir yn fanwl), ryw dro gan yr eglwys y buasai unwaith yn aelod o honi! neu efallai ceir y gwrthgredwr wedi cymeryd y noddfa hon oblegid ei fod ef yn llawer callach na'r cyffredin o'i gydgenedl druain! Cysur ydyw, eto, mai anfynych y ceir neb yn mhlith y gwahanol enwadau crefyddol Cymreig yn dod yn mlaen ac yn proffesu bod yn wrthgredwr. Tra y mae hyn yn wir am yr oll o'r enwadau crefyddol, y mae yn neillduol yn wir am yr enwad Bedyddiedig. Os dygwydd i elfenau gwall-gredol nawsio allan weithiau yn nhiroedd enwadau eraill, y mae yn beth mwy anfynych fyth yn mhlith y Bedyddwyr. Y mae hyn yn ganlyniad, yn ddiau, eu bod yn rhoddi cymaint pwys ar grefydd yn ol y Beibl—y safon ddwyfol.

Beth yw ein dyledswydd yn ngwyneb yr elfenau gwrth-Gristionogol a nod-

asom? Dywedwn, byddwn ochelgar! Edrychwch na bo neb yn eich anrheithio trwy philosophi a gwag dwyll, yn ol gwyddorion y byd, ac nid yn ol Crist. Cadwer colofnau ein wythnosolion yn lân oddiwrth bob rhith amheuaeth—cysegrer tu dalenau ein misolion i gyfarwyddo y bobl yn llwybrau rhinwedd, sancteiddrwydd, a chrefydd.

## CRIST YN GANOLBWYNT Y BEIBL.

GAN Y PARCH. LL. REES, JOHNSTOWN, PA.

III.

Mae yr hyn a ysgrifenasom yn flaenorol ar benawd ein testyn yn agor drws naturiol i ni ymhelaethu ychydig yn mhellach, gan obeithio, ddarllenydd anwyl, nad ydwyt yn blino darllen.

Yn awr, os gwir yw mai Iesu yw canolbwynt mawr y Beibl, mae yn rhaid wrth egwyddor gwir athroniaeth pethau, mai efe yw canolbwynt holl gynyrch y Beibl. Mae pob peth a greodd Duw naill ai i fod yn gynyrchydd neu yn gynyrch. Mae pob peth y priodolir bywyd iddo i fod yn gynyrchydd, yn gystal ag yn gynyrch. Priodolir bywyd i'r gwirionedd dwyfol: "Fy ngeiriau i ysbryd a bywyd ydynt." Y mae pob gwir gredadyn wedi profi y gwirionedd, o dan fendith Duw, yn ysbryd a bywyd. Felly o dan fendith y Goruchaf, mae yr efengyl yn gynyrchydd. Yn awr, beth a gynyrcha? Beth bynag a gynyrcha, mae hyn yn rhwym wrth natur pethau o gyfranogi o natur y cynyrchydd—o feddu yr un priodoleddau cyffredinol, os nad neillduol—o sefyll yn yr un berthynas i'w gynyrchydd ag y saif hwnw i'w gynyrchydd yntau. Saif y gwirionedd i'r Iesu fel y plisgyn i'r cnewullyn; fel corph i enaid. Hyny o Iesu sydd yn y gair, hyny o gnewullyn sydd ynddo; hyny o enaid sydd yn y corph. Felly yn union mewn perthynas y saif cynyrch yr Ysgrythyrau i'r Ysgrythyrau. Yn awr, beth yw cynyrch yr efengyl, o dan fendith Duw?

1. *Cristion.* Heb efengyl ofer dysgwyl Cristionogion; heb Destament Newydd ofer dysgwyl creadur newydd. Gyda yr hen gyfamod, arosasai Moses yn gyfryngwriaeth, Aaron a'i feibion yn y cysegr o waith llaw, yr aberthau Iuddewig ar yr allor, a'r ofnau a'r dychrynfeydd cydfynedol â'r ddeddf yn mynwes yr addolwyr; ond wedi cael cyfamod newydd, daeth Iesu Grist yn lle y tri cyntaf; ac "ysbryd y mabwysiad, drwy yr hwn y llefir Abba, Dad," yn lle yr olaf. Doethineb ac anian yr Iesu, sylfaenedig ar ei iawn, a gynyrchodd efengyl; a'r un ddoethineb ac anian yn yr efengyl, o dan fendith Duw, sydd yn gwneyd Cristion. Yr oedd yr Iesu, ac y mae yr efengyl, ac felly yr oedd y Cristionogion cyntefig yn *specialty*. Nid peth dygwyddiadol, yn meddu priodoleddau a nodweddion ellir yn hawdd eu cael yn gorphoredig neu yn wasgaredig yn mywyd pendefigion y Groegiaid, Barbariaid, a Scythiaid, yw yr efengyl, ond *patent* y nefoedd yw. Wel, fel y hi, felly yr oedd y Cristionogion gynt yn cael eu dysgu i fod. Pobl briodol (*peculiar people*) y gelwid hwy. Fel y mae y plentyn a anwyd o'r fam i fyw ar laeth y fam hono, ac i gael ei ddilladu, ei ddysgu, a'i waddoli (os bydd ddigon cyfoethog) ganddi, felly y mae y Cristion, plentyn yr efengyl, i fyw ar ei didwyll laeth, ei dillad, dysg, a'i gwaddol. Nid oes achos i neb osod siwgr yn llaeth y fron er ei wneyd at archwaeth y baban. Y natur a ddygodd y baban i fod yw yr oreu i wneyd y fron, ac i felusu y llaeth. Nid yw y Cristion a anwyd o'r efengyl yn diolch dim am welliantau a gynygir ar ddarpariaeth yr efengyl i'w gynal. Mae yr adnod o fwy gwerth gan y Cristion na'r geg a'i traetha; a'r gwirionedd ei hun yn fwy yn ei olwg na'r pereiddlais a'i cyhoedda. Os ydyw ein golygiad uchod am berthynasau pethau i'w gilydd yn gywir, gofyniad o bwys yw, A ydyw safle y byd crefyddol y fath fel y gellir ei ystyried yn gynyrch yr efengyl? A ydyw yn *specialty* mewn rhinweddau?

ydyw rhinweddau proffeswyr y fath fel na ellir eu cael yn neb anmhroffesedig? A ydynt yn rhoddi profion o

wir edifeirwch yn fwy nag y gwna rhai anmhroffesedig? A ydynt yn caru Duw yn well nag y gwna rhai yn y byd? A ydynt yn fwy tangnefeddus? yn llai dialgar ac anfaddeuol? Gwir, y ceir rhai proffeswyr *fine*, tangnefeddus iawn; cariadus a haelfrydig iawn; ond y pwnc yw, pa un ai wrth lyfr Duw—y Beibl—ynte llyfr Fowler & Wells, *phrenologists*, y gellir cyfrif am hyn? "Mae hwn a hwn yn ddyn *nice*, *fine*, diniwed, a hollol ddiddrwg." A sathraist ti ar ei droed ryw dro? A fuodd dy *interest* di ag yntau yn rhedeg i'r un cyfeiriad, ac mor agos i'w gilydd ag y bu arch Duw i Dagon? Os na ddo, nid oes genyt fantais i adnabod dim ar y dyn. Gall dau fydd yn tynu am y dorch yn yr un peth, adnabod tymerau eu gilydd yn well na neb arall. Yn herwydd hyn gall dau frenin cyfagos, dwy deyrnas, dau bregethwr, &c. adnabod eu gilydd yn well na dynion a phethau mewn perthynasau gwahanol. Mae ambell i broffeswr yn ymffrostiwr yn ei sel tybiedig dros y peth a eilw ef yn wirionedd; ond beth yw ei sel? Onid oes mwy o nwyd gnawdol, hunanol, ynddi na dim arall? Ai nid sel Jesuitaidd yw, mwy parod i sefydlu awdurdod chwil-lysol, a llenwi celloedd *heretics* â holl beirianau dinystr all gael gafael ynddynt? Ni wyr efengyl ddim am gyfiawnder, sancteiddrwydd, a sel llawer proffeswr. Mae Duw yn yr efengyl yn chwilio am le i drugarhau a thosturio. Am ba beth yr edrycha dynion crefyddol, lawer o honynt? Mae sancteiddrwydd Duw yn yr efengyl yn gyfunedig â gras a thrugaredd; oni bae hyn, buasai uffern yr ochr hon, yn gystal a'r ochr draw. Anghyfiawn â safon uniondeb yw rhoddi pris uchel ar gymeriad yr hwn a ystyrir yn dda, heb gymeryd i ystyriaeth ei fanteision i gyfarfod â ffafr yr oes; ac annheg ydyw dibrisio cymeriad yr hwn a ystyrir yn ddrwg, heb gymeryd i ystyriaeth ei anfanteision i enill ffafr yr oes, a dod yn boblogaidd gyda dynion. Diau fod rhai digon helbulus arnynt, ag sydd yn ymdrechu yn galed lawer mwy i anrhydeddu egwyddor, ac i barotoi erbyn y farn, na rhai a ymbesgant yn haul ffawd, y rhai y gall Duw a dyn ddiolch am bob mymryn o ddaioni sydd ynddynt, nid cymaint i'w hegwyddor bersonol, ond i'r ffaith fod amgylchiadau o'r natur ag ydynt, fel y mae eu bath yn gallu bod yn geffylau blaen yn ngherbyd yr oes. Er hyn i gyd, mae dynion da yn y byd—dynion a anwyd o'r efengyl, a rhai y mae yr efengyl ynddynt. Nid yw y dynion drwg i gyd, na da i gyd, yn yr un enwad—y maent yn wasgaredig yma thraw. Mae gan y Duw mawr, yr hwn a wêl dros orwel oesau lawer, ddigon o ddynion da ar hyd y byd, a thrwy yr eglwysi, i fod yn ddefnyddiau yn y dyfodol o'r "genedl a enir mewn un dydd." Cenedl fydd hono a chymaint o'r gwirionedd yn canol-bwyntio ynddi ag sydd o Grist yn y gwirionedd.

2. Wedi cael Cristionogion unigol wedi eu creu, mae y greadigaeth eglwysig yn dyfod yn naturiol i fod. Unigolion Cristionogol yw defnyddiau yr eglwys; a dadblyga yr eglwys ei pherthynas â hwy yn ol fel y dadblygant hwy berthynas â'r gwirionedd. Os bydd y gwirionedd yn canol-bwyntio yn yr aelodau unigol, bydd hefyd yn y cysylltiad eglwysig. Lle mae y gwirionedd yn canol-bwyntio, ni oddefa i un *rival power* ddod i fewn. Wedi i'r gwirionedd ryddhau, ni oddefa i neb na dim gaethiwo. Gan mai dynion wedi eu rhyddhau yw Cristionogion, rhaid mai eglwys rydd yw yr eglwys efengylaidd. Mae rhyddid yr eglwys yn un o'r pwyntiau mwyaf blaenllaw o flaen meddwl yr Apostol: "Sefwch gan hyny yn y rhyddid," &c. "Canys i ryddid y'ch galwyd, frodyr," &c. Nid yn unig nid oes hawl gan neb i gaethiwo eglwys Dduw, ond nid oes hawl ganddi i gaethiwo ei hun, neu i *ddelegatio* ei rhyddid i ffwrdd. Y mae mwy o berygl oddiwrth y diweddaf na'r cyntaf, yn yr oes hon. Ni wna eglwys a deimla awdurdod y gwirionedd yn ei chynal fod yn fwy parod i wneyd a phasio deddfau yn y cwrdd eglwys gan ddoethineb ddynol, a gradd bychan iawn o hwnw weithiau, nag i edrych i'r Beibl a oes deddf yno ar y

mater! Ni wna eglwys y byddo y gwirionedd fel y nodwyd, oddef i un dyn neu ddosbarth o ddynion, bydded ef oruchwyliwr gwaith, diacon, neu weinidog, i draws-lywodraethu ar neb yn yr eglwys. Fe wna y gwirionedd i'r hwn a fyno fod yn fawr yn nghynulleidfa y saint fod yn was i bawb. Naturiol yw meddwl na oddefa y gwirionedd dwyfol i'r gwas fod yn fwy na'i Arglwydd! Bydd y gwirionedd yn gylch am y gweinidog llafurus, tangnefeddus a ffyddlon; a sicrha iddo y parch na wna ei ddyfetha yn yr eglwys a deimla wirionedd yn ei llywodraethu, ac ni oddefa i'r dyn bach (a ddywedais i, *ddyn?*) fyned o dy i dy yn un swydd i'w ladd yn ei ddefnyddioldeb o ddiwrnod cyntaf ei weinidogaeth hyd ei ddiwedd! Ni oddefa Iesu Grist i flaidd felly fod yn agos i'w wyn ef. Mewn un ystyr mae y gwirionedd, pan yn canol-bwyntio yn y Cristion a'r eglwys, yn dyfod yn Dduw iddi, ac am hyny y dywedir, "Ar hwn yr edrychaf, ar y truan a'r cystuddiedig, yr hwn sydd yn crynu wrth fy ngair." Wedi cael eglwys i deimlo gwirionedd, fel y sylwyd eisoes, mae yn dyfod i gyflwr pwysig, yn "golofn a sylfaen y gwirionedd," yn haul a halen a iachawdwr i'r byd.

Rhag ofn i mi ddweyd rhywbeth yn anamserol ar y mater hwn, yr hwn sydd fater *ticklish* ar y goreu, gadawn ef yn awr, gyda dweyd, Gwawrio wnelo y dydd pan deimla pob Cristion a phob eglwys na allant fyw heb y gwirionedd yn mhob man—yn y sêt fawr yn gystal ag yn yr areithfa; yn y cwrdd eglwys, yn gystal ac yn gymaint ag yn y cwrdd pregethu; ac y delo pawb i ddymuno o galon, fel y bardd:

"O agor fy llygaid i weled
Dirgelwch dy arfaeth a'th air," &c.

---

**Ni feiddia neb ofyn cymaint i Dduw ag y mae yn barod i gyfranu.**

**—Yr hwn a fo byw heb ofn a fydd marw heb obaith.**

**—Yr hwn sydd ganddo feddwl bach am bechod, ni bu ganddo erioed feddwl mawr am Dduw.**

## ANNIBYNIAETH EGLWYSIG.

GAN BARNABAS.

Y mae deall natur egwyddorion sylfaenol yn eglwys efengylaidd yn deilwng o sylw a myfyrdod pob Cristion; mae hyn yn fantais arbenig i oruwchadeiladu yn sicr, rheolaidd, a safadwy. Gan mai y Testament Newydd yw Deddf-lyfr yr eglwys Gristionogol, lle cynwysir holl athrawiaethau cred, y mae yn canlyn na ddylem aros gyda chredoau, opiniynau, a thraddodiadau dynol, ond myned heibio i bawb, i wrandaw ar leferydd "yr Unig-anedig oddiwrth y Tad, yr hwn sydd yn llawn gras a gwirionedd." Gwyriad oddiwrth hyn, ydyw yr achos gwreiddiol o brif gyfeiliornadau crefyddol y byd. Dylid cofio na ddadguddiwyd i ni y manylion am lywodraethiad yr eglwys; mae llawer iawn o hyn wedi ei adael i'w benderfynu gan synwyr, deall, a doethineb yn eglwys ei hun. Gwir fod awdurdodau yr eglwys wedi eu nodi o ran eu nifer, a'i swyddogion yn ogystal wedi eu henwi; a gallem nodi fod dysgyblaeth yr eglwys i raddau pell iawn wedi ei egluro o ran yr egwyddor o honi, ond gwyr pob Cristion profiadol fod eisiau llawer o "ddeall da trwy ras" i gyflawni y pethau hyn yn "weddus ac mewn trefn." Gyda golwg ar gyfansoddiad llywodraethol yr eglwys; nid yw yn bendefigaidd, henaduriaethol, na gwerinol, yn annibynol y naill ar y llall, ond cynwysa y tair ffurf-lywodraeth yna yn ogoneddus mewn undeb â'u gilydd heb un gwrth-darawiad. Yr oedd hyn yn angenrheidiol pan ystyriom gynydd gwareiddiad, a chynydd goleuni egwyddorion dadguddiedig. Yn hyn y gwelwn y cyfaddasrwydd mwyaf ardderchog o eiddo Cristionogaeth i ateb sefyllfa gynyddol dynoliaeth mewn perffeithrwydd. Ymddengys i ni fod yr eglwys yn yr oes apostolaidd yn cydnabod yr egwyddor o annibyniaeth y naill eglwys neu gynulleidfa ar y llall, ac ar yr un pryd yn cydnabod y bendefigaeth yn Nghrist fel pen corph yr eglwys—ei air ef yn rheol ei ffydd a'i hymarweddiad. Dyma lle mae ei dio-

gelwch, a'i pharhad diysgog mewn llwyddiant, yn ngwyneb pob gwrthwynebiad a phob ymgais ffug-offeiriadol i ormesu ar y rhyddid â'r hwn y rhyddhaodd Crist hi.

Dylid arfer manylwch wrth weithredu yn annibynol gyda gwahanol achosion perthynol i'r eglwys, fel cymdeithas Gristionogol, rhag myned dros derfynau rheswm a chyfarwyddyd gair Duw. Dengys hyn mai y dynion mwyaf pwyllog, synwyrol, a doeth, a ddylid eu dewis yn flaenoriaid yr eglwys. A ydyw hyn yn cael sylw dyladwy yn y dyddiau presenol? Ni ddylid gosod neb mewn swydd yn yr eglwys os yn amheus am eu duwioldeb. Dylai blinderau yr eglwys yn y gorphenol (o herwydd y fath gymeriadau) ddysgu gwers i ni yn y dyddiau hyn, i ochelyd y Diotrophesiaid hunanol sydd ganddynt rith duwioldeb, ond wedi gwadu ei grym hi.

Y mae y ffurf-lywodraeth o annibyniaeth eglwysig yn gofyn fod y swyddogion yn ddynion ymroddgar a llygadgraff, a chysegredig yn ngwasanaeth eu Harglwydd, yn wyr teilwng yn rhoddi esiampl dda i eraill sydd yn weiniaid yn y ffydd. Darllener yr Epistolau at yr eglwysi Apostolaidd, a cheir gweled fod pwys neillduol yn cael ei gysylltu â hyn-yma.

Rhagora y ffurf-lywodraeth annibynol ar yr un henaduriaethol, neu y bendefigol, o herwydd y caniatâd a estyna i bob cynulleidfa i drefnu ei hamgylchiadau ei hun. Y mae hyn yn symbyliad i weithgarwch cyffredinol yn yr eglwys, yn tynu allan dalentau y galluog o feddwl, ac yn rhoddi mantais i ddatblygiad y grasusau Cristionogol yn eu hamrywiol arweddau. Ceir prawf eglur o hyn yn lledaeniad a chynydd egwyddorion yr Ymneillduwyr yn Nghymru, yn rhagor na eiddo yr Eglwys Sefydledig, yn y ganrif ddiweddaf. Math o gaethwasiaeth crefyddol yw fod y lluaws yn cael eu llywodraethu gan yr ychydig, fel rheol.

Gwelwn hefyd fod annibyniaeth eglwysig yn diogelu ac yn amddiffyn rhyddid barn personol, am y rheswm fod hawl i siarad a phleidleisio gan bawb o'r aelodau, ar bob achos a ddygir ger bron. Lle bynag y mae rhyddid barn a phleidlais yn cael ei gyfyngu, teimla dyn yn wasaidd a llwfr; ond teimla yn hollol wahanol lle bynag y caniateir hyn. Felly gwelwn fod annibyniaeth eglwysig yn rhoddi mantais i ymddadblygiad y duedd annibynol sydd yn gwreiddio mor ddwfn yn natur gynhenid dynoliaeth; dylanwada hyn ar ddyn i brisio yn briodol ei fodolaeth, ac i ymestyn yn egniol at ragori yn mhob peth rhesymol, dynol, a da. Ond cyfaddefwn fod yr hawlfraint hon, sef annibyniaeth eglwysig, yn cael ei cham-ddefnyddio yn aml, ein Harglwydd yn cael ei glwyfo yn nhy ei garedigion, y teimlad yn llywodraethu yn lle barn mewn llawer o achosion, pleidgarwch yn cael ei ddangos i ryw bersonau, a'r dieuog yn cael ei gamfarnu; dynion yn gweithredu fel pe na byddent yn gyfrifol i unrhyw gyngor neu undeb cymanfaol, yr hyn sydd yn hollol groes i natur yr eglwys Gristionogol. Nid yw annibyniaeth eglwysig yn cynwys rhyddid i droseddu deddfau rheswm, moesgarwch, a boneddigeiddrwydd Cristionogol; nid yw ymresymu am bethau dibwys, fel y gwneir yn fynych, yn deilwng o fodau o berchenogaeth rheswm; nid yw enllibio ac edliwio beiau, a galw enwau cableddus ar y naill a'r llall, yn deilwng o foesgarwch cyffredin. Buan y delo ein heglwysi i "flaenori eu gilydd mewn cariad a gweithredoedd da," yna bydd "Seion yn foliant ar y ddaear."

---

## Y CYFIEITHIAD NEWYDD O'R BEIBL.

Ymddengys y bydd y cyfieithiad newydd o'r Testament Newydd allan o'r wasg yn gynar y gwanwyn nesaf. Llawer o son a dysgwyl sydd wedi bod am dano. Ond gan fod y gwaith mor fawr a phwysig, priodol ydyw cymeryd amser mawr i'w gwblhau. Y mae argraffydd y Frenines wedi derbyn a chymeradwyo y brawf-len ddiweddaf o hono. Y mae dynion o dduwioldeb a dysgeidiaeth o'r fath oreu wedi bod yn nghyd a'r gorchwyl hwn. An-

mhosibl fyddai dyfod o hyd i'w rhagorach. Y blaenaf yn y dosbarth blaenaf mewn duwioldeb, profiad, a dysgeidiaeth, a ddewiswyd at y gwaith. Yn y Pwyllgor Seisnig fe geir Archesgob French o Dublin, Esgobion Winchester, Lincoln, St. David's, Llandaf, Durham, Salisbury, Bath, Gloucester, Bryste; deoniaid Westminster, Ely, Litchfield, Rochester, Lincoln, Canterbury a Peterboro; Archddeoniaid Dublin, Canterbury, Bedford, a Maidstone; ac athrawon yn yr ieithoedd Hebraeg, Groeg, a'r Arabaeg yn mhrif ysgolion Oxford, Cambridge, Edinburgh, Llundain, Glasgow, ac o'r Coleg Wesleyaidd yn Deasbury, Colegau y Bedyddwyr yn Llundain a Bryste, Coleg y Cynulleidfaolwyr yn Glasgow, a cholegau y Presbyteriaid yn Aberdeen, Edinburgh a Glasgow.

Ffurfiwyd y Pwyllgor Americanaidd yn y flwyddyn 1871, a chynwysa athrawon ieithyddol a duwinyddol prif golegau y gwahanol enwadau, megys Harvard Yale, Princeton, New Brunswick, Andover, Rochester, New York, Philadelphia, Trenton, Hartford, Alexandria &c. Allan o'r colegau hyn dewiswyd neb llai na'r ysgoleigion profiadol, a'r awdwyr byd-enwog a ganlyn: Woolsey, Dwight, Schaff, Conant, Dewitt, Strong, Van Dyke, Green, Day, Acken, Osgood, Thayer, ac Abbott. Ac y mae ugeiniau o brif ddysgedigion y cyfandir wedi addaw i'r rhai hyn eu cynorthwy â'u cefnogaeth mwyaf calonog. Gan fod llawer o ddiffygion pwysig yn yr hen gyfieithiad, felly rhesymol ydyw dysgwyl yn yr un newydd lawer o gyfnewidiadau. Yn mysg pethau eraill, gadewir y geiriau canlynol allan o Ioan 5: 3, 4. "Yn dysgwyl am gynhyrfiad y dwfr, canys angel oedd ar amserau yn disgyn i'r llyn, ac yn cynhyrfu y dwfr, yna yr hwn a elai i mewn gyntaf, a ai yn iach o ba glefyd bynag a fyddai arno."

Hefyd gadewir allan o 1 Ioan 5: 7, 8, y geiriau: "Yn y nef, y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glan, a'r tri hyn un ydynt. Ac y mae tri yn tystiolaethu ar y ddaear." Geiriau nodedig eraill a adewir allan o'r cyfieithiad newydd ydyw y rhai a gofnodir yn Actau 9: 5, 6: "Caled yw i ti wingo yn erbyn y symbylau. Yntau gan grynu, a braw arno, a ddywedodd, Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur? A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho," &c. Troir llawer o eiriau eraill hefyd allan, megys yn Math. 22: 14. "Canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychydig sydd wedi eu dewis." Bydd yn anhawdd gan lawer ollwng eu gafael ar y geiriau anwyl yna. O Marc 7: 16, fe adewir allan; "Od oes gan neb glustiau i wrandaw gwrandawed." Wrth ystyried y gwallau a'r diffygion lluosog a frithant yr hen gyfieithiad, mae yn syndod na fuasid wedi ymgymeryd â'r gorchwyl hwn lawer yn gynt. Ond bellach, wele ef ar gael ei gyflwyno i ddwylaw y werin, y rhai a gant oleuni newydd ar ganoedd o eiriau a brawddegau ydynt hyd yn hyn wedi bod yn anhawdd iawn eu deall.

D. Rhoslyn Davies.

---

## THOMAS JEFFERSON, Y Cyfansoddiad Americanaidd, a'r Bedyddwyr.

Mr. Golygydd.—Mae ffaith yn cael ei hadrodd am Thomas Jefferson ag y carwn gael rhagor o oleuni arni. Dyma'r ffaith: Thomas Jefferson, yr hwn er nad oedd ar y pryd ond tair ar ddeg ar hugain oed, a ddewisiwyd i'r gwaith mawr, anhawdd, a phwysig o dynu allan ac ysgrifenu *Ardystiad yr Annibyniaeth* ar yr hwn y sylfaenwyd y *Cyfansoddiad Cyngreiriol* yn 1777. *Cafodd Jefferson y drychfeddwl am Lywodraeth Genedlaethol ar egwyddorion rhydd a gwerinol oddiwrth gyfansoddiad a threfn dysgyblaeth eglwys fechan o Fedyddwyr ger Monticello, Virginia,* cyfarfodydd yr hon a fynychai pan oedd efe yno yn fyfyriwr gyda'r Cangellydd Wythe. *Hoffai yn fawr drefn yr Eglwys Apostolaidd hon, a thystiai mai hon oedd yr unig lywodraeth wir werinol oedd yn y byd, a'i fod yn credu mai dyma y fath oreu o Lywodraeth i'r Trefedigaethau Americanaidd.*

Mae y gosodiad uchod wedi cael ei

ail adrodd yn fynych gan ysgrifenwyr o bob tu i'r Werydd, ond hyd yn hyn nid wyf wedi gweled neb yn ceisio profi ei ddilysrwydd, na thaflu goleuni ar ddim o'i fanylion. Carwn gan hyny i'r pwnc gael ei wyntyllio yn drwyadl yn ngholofnau y *Wawr*, fel na chaffo dim aros ond y grawn pur. Dyma y pwyntiau i'w profi â'u hegluro.

1. Pa eglwys oedd hono ger Monticello, pwy a'i sefydlodd, a pha bryd, a beth yw ei henw a'i chyflwr yn awr?

2. Yn mha flwyddyn neu flynyddoedd yr oedd Thomas Jefferson yn mynychu ei chyfarfodydd—a phwy oedd ei gweinidog y pryd hwnw?

3. Pa brawfion sydd *fod Jefferson yn tystio mai hon oedd yr unig lywodraeth wir werinol oedd yn y byd, ac mai oddiwrthi hi y cafodd efe y meddylddrych a'r model o Gyfansoddiad Cyngreiriol yr Unol Dalaethau?*

Mae y pwnc yn wir ddyddorol, a bydd ei ddyddordeb yn llawer mwy yn mhen can mlynedd eto; am hyny hyderaf y bydd i rai o ohebwyr y *Wawr*, drwy eich caniatad chwi, Mr. Golygydd, gymeryd ato yn egniol, a rhoddi arno y llafur y mae yn deilyngu. Gan ddymuno i'r *Wawr* bob llwyddiant i wasgar goleuni a gwres,

Wyf yr eiddoch yn ffyddlon,

SPINTHER.

*Llandudno, Ion. 20, 1881.*

## UNOLIAETH NATUR.

GAN Y DUKE OF ARGYLL.

### IV.

Y mae dyn yn cyfansoddi rhan o unoliaeth natur; mewn corph a meddwl perthynwn iddo, a chymwysir ni ynddo. Y mae yn hawddach addef hyn fel gosodiad cyffredinol nag ydyw yn sylweddol ei weled fel gwirionedd, a derbyn yr holl ganlyniadau a dybir ynddo. Nid yw ein cwrs cyffredin o feddwl yn ddiau yn cyd-daro ag ef. Edrychwn ar "Natur" fel rhywbeth o'r tu allan i ni, rhywbeth ar yr hwn y gallwn edrych i lawr arno, neu ar yr hwn y gallwn edrych i fyny ato, yn ol fel y byddwn yn teimlo; ond yn mhob gwedd yn rhywbeth ag yr ydym ni yn eithriadau, ac yn gyfryw ag y gallwn, ac y dylem ei ystyried fel yn wrthrychol a thu allan i ni. Byddai yn burion i ni gan hyny i ystyried ychydig yn fwy gofalus *Lle dyn yn Natur*—ei ran a'i safle yn yr unoliaeth hwnw a wel efe, ac a deimla oddiamgylch iddo.

Mae dyn yn perthyn i Unoliaeth Natur, yn y lle cyntaf o ran defnyddiau ei gorph. Allan o elfenau cyffredin y byd materol y mae y corph hwnw wedi ei wneyd, ac i'r elfenau hyny y mae yn dychwelyd eilwaith. Gyda ei holl brydferthion mewn ffurf a delweddiad, gyda ei holl ryfeddodau mewn gwneuthuriad a medr, nid oes dim, modd bynag, ynddo heblaw ychydig o'r sylweddau elfenol ydynt yn gyffredin yn yr awyrgylch a'r priddellau. Y pedair brif nwy, gyda chalch, potash, ac ychydig haiarn, sodium a phosphorus, ydynt ddefnyddiau y corph dynol; y rhai hyn mewn gwahanol gyfuniadau, ac o'r rhai hyn yn unig, can belled ag y gwyddom ni, y deillia. Yr un defnyddiau cyffredinol gydag ychydig, fwy neu lai, o'r gwahanol nwyau a ganfyddir trwy yr holl deyrnas anifeiliol a llysieuol, a'r elfenau hyn ydynt y rhai mwyaf cyffredin mewn mater di-fywyd hefyd. Gall hyn ymddangos yn arw, ac y mae yn ddiau y wyddor gyntaf yn y berthynas a fodola rhyngom a'r byd oddiamgylch i ni. Ac eto y mae yn sylfaen, neu o'r hyn lleiaf yn un o'r sylfaeni ar ba un y mae pob perthynas arall yn ymddibynu. Yr achos paham y mae yr anifeiliaid a'r planhigion oddiamgylch i ni yn alluog i weinyddu er ein cynaliaeth, ydyw, yr unrhywiaeth hwn yn nefnyddiau a chynlluniad ein corph; dyma yr achos fod yr awyr gyffredin i ni yn anadl bywyd, a bod llysiau a meteloedd mewn cyflawnder yn meddu naill ai moddion gwenwyn neu rinwedd meddyginiaethol, oblegid mae y naill a'r llall o'r effeithiau hyn yr un fath yn brawf o ryw berthynas a'r *organ* y dylanwadant arni; ac y mae yr effeithiau hyn mewn gwahanol raddau yn gyffredin ac ym-

ledaenol, fel mai am ychydig iawn o bethau yn wir y gellir dweyd eu bod yn hollol ddiddylanwad arnom. Eto nid oes un sylwedd, o'r miloedd, mewn rhyw ffordd neu gilydd sydd yn effeithio ar y corph, nag ydyw yn effeithio arno trwy rinwedd rhyw berthynas a ddeil a'r elfenau o ba rai y mae y corph hwnw yn gyfansoddedig, neu a chyfmiad elfenau ei wneuthuriad.

Ac yma yr ydym yn esgyn gris uwch yn mhlith fleithiau a gynwysa ddyn o fewn unoliaethau Natur; canys y mae yn unedig a'r byd yn yr hwn yr ymsymuda, nid yn unig trwy yr elfenau o ba rai y mae ei gorph yn gyfansoddedig, ond hefyd trwy y moddau y mae yr elfenau hyny wedi eu cyfuno—y nerthoedd trwy ba rai y cedwir hwy yn nghyd, ac egwyddorion cynlluniad yn ol y rhai y maent wedi eu hadeiladu i fyny i wahanol organau er cyflawni gwahanol swyddogaethau. Nid yw gwyddor wedi taflu un goleuni ar natur hanfodol bywyd. Ond beth bynag a ddichon iddo fod, mae iddo elfenau hanfodol,y rhai ydynt yr un trwy holl gylch y byd organawl, yr un yn eu perthynasau a'r anorganawl, yr un yn y nerthoedd trwy ba rai y dygir yn mlaen swyddogaethau mawrion meithriniaeth tyfiant, treuliad, ac epiliaeth. Y mae amrywiaeth annherfynol, mae yn wir, yn moddau cynlluniad yr un organau er cyfateb gwahanol foddau trwy ba rai y mae gwahanol greaduriaid yn dod o hyd i'w hymborth, i'w mwyhau, a moddion eu symudiad. Er hyny mae yr unoliaeth a fodola trwy y cyfan mor eglur fel y mae gwyddonwyr yn gorfod cyfaddef fod ffeithiau hanfodol bywyd organawl yr un peth, o'r anifail a breswylia y llyn llonydd i fyny hyd at gelfyddydwaith gogoneddus y ffurf dynol.

—Y mae anrhydedd fel cysgod, yn dilyn y rhai a ffoant oddiwrtho, ac yn ffoi oddiwrth y rhai sydd yn dilyn ar ei ol.

—Y mae dau air yn teilyngu llawer o'n meddyliau, sef amser a thragywyddoldeb—amser, oblegid y bydd yn fuan yn *diweddu*; tragywyddoldeb, am nad yw *byth* yn diweddu.

# HANES Y BEDYDDWYR YN MON.

GAN CHRISTMAS EVANS.

## RHAN III.

*Cangen Amlwch.*—Mae rhifedi yr aelodau yma yn y flwyddyn 1812, o gylch haner cant neu driugain: chwaneger atynt lawer o blant y gaethglud, i fyw bywyd ffydd ac ufudd-dod efengylaidd.

Yma yr oedd Seth Morris, y gweinidog cyntaf yn byw. Bu ef o lawer o ddefnydd yma. Bu John Jones, o'r Nantglyn, efe a'i wraig yn ymdrechol dros yr achos yn y lle hwn; ac yn parhau i fod. Richaad Williams a'i wraig Jane Jones, a fuont o ddefnydd mawr ac yn parhau i fod hefyd trwy'r amryw flynyddoedd. Hwy-sydd yn lletya pregethwyr. Mae Sarah Williams eu merch hwy wedi ei bedyddio yn ddiweddar; ac yn debyg i fod yn lle ei rhieni mewn caredigrwydd a defnydd. Bu John Francis, a Lydia Francis ei wraig, Edmund Francis eu mab, a Margaret Francis eu merch, o ddefnydd; ond hwy a ymddyrysasant yn nghylch yr Ymraniaeth, ac ymneillduasant oddiwrthym; gellwch wybod amcan o ba ysbryd yr oeddynt wedi llyncu Albaniaeth. Mae Heth Evans a'i wraig, wedi bod yn ffyddlon yn eu lle. Rebecca Roberts a Nelly Francis ei merch sydd yn rhai defnyddiol John Roberts, Penysarn, a'i fam, ydynt ddefnyddiol. Mae John Roberts yn weinidog, ac yn bregethwr da; ac yn ddiwyd a ffyddlon yn y gwaith. Rhodded Pen Mawr yr Eglwys iddynt lawer o bob llwyddiant ysbrydol; fel y delo y fechan yn fil, a'r wael yn genedl gref; a Iesu Grist ei hun yn cael yr holl ogoniant mewn amser ac i dragywyddoldeb. Richard Owen y Teiliwr, a'i wraig, sydd yn ddefnyddiol yn eu lle. Mrs. Godfrey hefyd sydd yn dangos cryn ffyddlondeb yn fynych at yr achos. Gwyn fyd y rhai sydd yn bod "yn sicr a diymmod yn ngwaith yr Arglwydd; canys ni bydd eu llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

*Cangen y Capel Newydd.*—Mae

rhifedi yr aelodau yma yn y flwyddyn 1812, o gylch 60. Mae'r achos wedi dechreu yma er ys deng mlynedd a'r ugain. Bu amryw aelodau tra defnyddiol yma; a rhai yn parhau felly hyd yn bresenol. John Hughes, o'r Felin, a fu yn dra defnyddiol yma dros hir flynyddoedd; ac yn parhau i fod. Robert Roberts, Tŷ'n-y-llidiart, a Jane Jones, ei wraig gyntaf, a fuont yn lletya pregethwyr dros hir amser, yn nechreuad yr amser ar yr achos yn y lle hwn. Mae ei ddrws ef yn agored yn barhaus, yn amser Jane Hughes, ei wraig bresenol ef. Mae ef, yn ddyn o dymherau heddychol; ac wedi bod o lawer o ddefnydd. John William; Robert Owen, y Gwêydd; a William Hughes; ydynt yn bresenol o ddefnydd. John Rowland, o'r Fedw, sydd yn hen wr heddychol a ffyddlon, ac yn agor ei ddrws i bregethwyr: y mae ef yn byw yn mhlwyf Penrhôsllygwy, ac yn lletya amryw. Tangnefedd a fyddo ar blant tangnefedd. Mae Matthew Tombs, yn agor ei ddrws i letya; ac felly y mae yn ddefnyddiol. Richard Williams, y Dyrysglwyn, a Jane ei wraig, a fuont yn lletya yn hir; ac wedi bod yn gynorthwyol a charedig. Robert Joseph, Glan-yr-afon, a fu yn dra defnyddiol. Mab iddo ef ydyw Richard Roberts, sydd yn byw lle yr oedd ei dad; ac y mae ef wedi dechreu pregethu, ac yn obeithiol y bydd o fwy o ddefnydd eto, o herwydd ei fod yn wr ieuanc o ddoniau da, ac yn rhodio yn ddichlynaidd hyd yma, er y pryd y proffesodd ef.

*Cangen Llafair.*—Mae rhifedi yr aelodau yma, yn y flwyddyn 1812, o gylch 30. Mae'r achos wedi dechreu yma er's deng mlynedd a'r ugain, beth bynag. Mor wan mae'r achos yn parhau yma o hyd; ond, yn wir, y mae'r gwrandawyr yn lled luosog. Dichon Duw wneyd y fechan yn fil er ei ogoniant ei hun, yn ei amser.

Bu Elinor Roberts, yr hon sydd yn byw yn agos i'r Ty Cyfarfod, o lawer o ddefnydd yn y lle hwn: agorodd hi ei drws i letya pregethwyr yn foreu, pryd nad oedd un lle arall. Ond yn ddiweddar, y mae John Roberts, o'r Plasbach, wedi agor ei ddrws i letya. Mae Mrs. Jones, o'r Pentyddyn, yn lletya yn fynych yn bresenol. Mae William Davies, a'i wraig, o'r Plas yn Llanfair, wedi dangos llawer o garedigrwydd i'r achos yn y lle hwn, er nad ydynt hwy yn proffesu. Byddant yn galw amryw o bregethwyr i fyned adref gyda hwy, i gael ymborth angenrheidiol. Bydded i ragluniaeth ddaionus yr Arglwydd eu gwobrwyo hyd y nawfed âch yn y teulu. Mae amryw eraill yn ddefnyddiol yn eu lle. Bydded Pen yr Eglwys, sef, Iesu Grist, i rodio yn ei plith, fel y caffont eu puro iddo ef fwy fwy.

*Cangen Llangoed a Beaumaris.*—Mae Ty Cyfarfod bychan yn Llangoed, ac yn nghylch pymtheg o aelodau. Mae cymeriad yr achos yn dra isel yma. Ni fu yma fawr o harddu eu ffordd gan yr ychydig a fu ac sydd ar yr enw. Edryched Duw mewn ffafr, er mwyn aberth ei Fab, ar leoedd anghyfanedd y ddaear; a bydded i'r anialwch a thrigfa dreigiau fyned ar frys yn eiddo Mab Duw, fel y blodeuont fel rhosyn. Yn Beaumaris hefyd, er fod yr achos wedi dechreu yno er's deng mlynedd a'r ugain, nid oes ac ni bu yno ond ychydig iawn yn proffesu: ac yn wir, nid llawer o brydferthwch a welwyd ar y rhai a broffesant yma o dro i dro. Bu un Richard Morgan, y Crydd, yn cynal yr achos i fyny yma: nid wyf yn meddwl ei fod o dymherau llonydd ac heddychol. Mae John Morgan ei fab ef, yr hwn sydd yn bregethwr, ac wedi ei ordeinio hefyd, yn fwy gobeithiol ar gyfrif ei ddawn, ei dymher, a'i ymarweddiad, na neb a fu yn proffesu yn y dref hon. Derbyniwyd William Prys, hen wrthgiliwr oddiwrth y Methodistiaid, yn aelod yn Llangoed; ond syrthiodd dan waradwydd o herwydd anfoesoldeb; ac felly cafodd yr Eglwys ergyd cryn fawr yn ei achos, a bwriwyd llawer o warth ar yr enw goreu. O! pa bryd y cyfyd ffynidwydd yn lle drain; ac yn lle mieri fyrtwydd. Mae lle i godi Ty Cyfarfod wedi ei gymeryd mewn gafaleb (*lease*) yn y dref hon er's mwy nag ugain mlynedd; ac mae o gylch triugain punt o ddyled wedi ei

dynu yn yr achos, ac yn aros byth heb ei dalu, yn y flwyddyn 1812.

*Cangen Penycarneddi.*—Mae'r achos yn parhau yn llesg ac yn wanaidd iawn, er ei fod wedi dechreu er ys deng mlynedd a'r ugain. Darfu i John Williams, yr hwn oedd yn byw yn Ngharnan, roddi lle i godi Ty Cyfarfod, a lle i gladdu hefyd, am ddim ond cydnabod, a hyny dros byth. Codwyd Ty Cyfarfod yno yn ddiweddar; ond nid yw'r aelodau ond anaml iawn. Bu Thomas Jones, o Rhosybotham, yn garedig iawn i'r achos; cafodd pregethwyr le i roddi eu penau i lawr o dan ei gronglwyd ef lawer blwyddyn; yr hyn sydd yn rhoddi pereidd-der yn ei goffawdwriaeth, yr hon sydd ar ei ol, pan nad yw ef mwy yn ei rinweddau na'i wendidau. Da pe buasai yn fwy gwyliadwrus yn ei fywyd; ac yn fwy cyfan mewn dyledswyddau teuluaidd. Mae drygsawr y cyfryw bethau yn arogli yn gryfach mewn cymydogaeth nâ'r rhinweddau. Rhwymau mawr sydd ar broffeswyr i wneyd llwybrau uniawn i'w traed, fel na throer y cloff allan o'r ffordd. Dichon Duw wneyd i'r anialwch a'r lleoedd anghyfanedd i lawenychu a blodeuo. Mae effaith gref mewn bywyd digrefydd anwyliadwrus, i beri, bron yn anffaeledig, aflwyddiant i grefydd yn yr ardal lle y byddont. Mae Humphrey Hughes, o'r Talcen-iddew, yn fwy defnyddiol yn bresenol na neb arall.

*Cangen Brynsiencyn*—Buwyd yn pregethu llawer yn y Bryn, er ys deng mlynedd a'r hugain; ond ni bu dim llwyddiant yr amser hwnw; ond o fewn i'r pum' mlynedd diweddaf. (1807—1812) yr oedd yno fab i hen Fedyddiwr, sef William Roberts, y crydd. Nid oedd hwn yn proffesu yr amser y rhoddodd alwad gyntaf i'r Bedyddwyr i ddyfod i bregethu i'r Bryn. Aeth amryw yno ar eu tro, derbyniodd yntau hwy i'w lletya i'w dy. Gellir edrych arno ef fel yr offeryn cyntaf i gael yr achos yno. Gwelodd yr Ysbryd Glan fod yn dda i arddel y gair yn y weinidogaeth; fel y cafodd amryw eu deffroi, a'u dwyn i broffesu ffydd yn Nghrist; a phlygasant i'r ordinhad o fedydd yn ol gair Duw. Gobeithio eu bod oll wedi eu bendithio â ffydd etholedigion Duw. Darfu i Robert Williams fyned yno i gadw ysgol; ac yn pregethu hefyd. Trwy ymddygiad gweddus William Roberts ac yntau, a'u diwydrwydd i gadw cyfarfodydd dirgel (y maent o dymherau tawel a diragfarn.) hwy a fuont hyd yma o ddefnydd mawr. Gwnaed Duw hwy o fwy o ddefnydd o hyd; a chynalied hwy hyd y diwedd. Mae yno yn awr o wyth i ddeg a'r ugain o aelodau. Mae amryw o honynt yn debyg i ddynion, y rhai a gânt nerth i harddu eu llwybrau. Er fod siomedigaethau yn berthynol i ddynion, mae ymddangosiadau da yn fynych yn troi allan fel gwlith y boreu. Pared Duw fod ein hymddangosiadau proffesol o natur ysprydol. Mae yno yn awr lawer o aelodau defnyddiol. Mae yr Arglwydd yn abl i beri i lawenydd darddu o ddydd y pethau bychain.

*Y pethau mwyaf gofidus a gyfarfu â'r Eglwys hon,* er ys deng mlynedd a'r ugain. Daeth y gelyn i mewn fel afon lawer tro, er mawr niwed; ond Ysbryd yr Arglwydd a gododd faner yn ei erbyn hyd yma, fel na chafodd ganiatad i'w hysgubo ymaith yn hollol, megys â llifeiriant. Cynygiodd uffern yn deg i'w llwyr ddifetha. Mae y pedwar peth hyn wedi curo yn drwm:—

1.—*Bywyd carpiog ac esgeulusdra.*
2.—*Cnoi a thraflyncu.*
3.—*Ysbryd mudo i America.*
4.—*Ymraniaeth.*

*Ysbryd mudo i'r America* a wnaeth lawer iawn o ddrwg i'r Bedyddwyr. Gwnaeth hwn mewn tair ffordd, sef trwy *Anniolchgarwch*, *Bydolrwydd*, ac *Amddifadrwydd.*

1.—*Anniolchgarwch.* Cynhyrfwyd Morgan Rees, gweinidog Penygarn, wrth Bontypwl, i ysgrifenu mewn Trysorfa (*Magazine*), neu Gylchgrawn, ryw ystyriaethau am y llywodraeth nad oeddynt yn perthyn i bregethwr yr Efengyl, eithr yn hytrach i ryw un ag fyddai yn perthyn i'r llywodraeth. Lle Cristion yn Mhrydain yw diolch llawer am y rhyddid crefyddol a fwynheir ynddi yn helaeth iawn; a gwedd-

io llawer dros y rhai sydd mewn awdurdod. Cynhyrfwyd amryw i edrych yn wael ar eu breintiau crefyddol a gwladol yn Mhrydain; a thybiasant fod Paradwys i'w chael yn America. Cychwynodd Morgan Rees tuag yno, a chymerodd dir o fewn tua dau cant o filltiroedd tu hwnt i Philadelphia, yr hwn a alwyd yn Sefydliad Beulah; ond siomwyd llawer o deuluoedd wedi cychwyn yno, a gadael sefyllfa oedd gysurus a llawn ar eu hol yn Nghymru. Sefydlodd ereill yn Sefydliad Ruben, o gylch dau gant o filldiroedd o New York. Collodd y rhan fwyaf o honynt eu cysur yn y byd hwn, a'r breintiau crefyddol y rhai a adawsant ar ol yn Nghymru. Pan y diflasodd yr Israel ar y manna, danfonwyd atynt y seirff tanllyd. Nid oes dim ond un o'r amryw bregethwyr, y rhai a adawsant Gymru, wedi bod o gymaint o ddefnydd yno ag yr oeddynt yn Nghymru, sef John Williams o'r Garn, yn Sir Gaernarfon, yr hwn a sefydlodd gydag Eglwys o Saeson yn New York. Mae ef wedi bod o ddefnydd mawr yno:—ond rhagor am hyn eto dan y peth diweddaf o'r tri.

2.—*Bydolrwydd.* Pan y caffo y meddwl fyned i ymborthi ar bethau y byd hwn, ond fel ail beth, sef i wasanaethu eu hoes a'u cenhedlaeth yn ol ewyllys Duw, mae yn rhaid i blant y cyfamod gael eu cospi, yn wir. Yr hwn sydd yn chwenych ymgyfoethogi, mae yn syrthio i fagl a phrofedigaeth, ac amryw chwantau ynfyd a niweidiol, &c. Cafodd y rhai hyny oll gan mwyaf, oddieithr ambell un, gyfarfod a siomedigaethau mawrion yn yr America, o ran pethau y byd hwn. Bu farw Morgan Rees yn America, yn mhen ychydig o flynyddoedd wedi myned yno. Cafodd ef lawer o ddyrchafiad yno fel dyn, ac fel gwladwr; yr oedd wedi ei ddyrchafu yn un o'r Barnwyr perthynol i'r Unol Dalaethau. Ond nid wyf fi yn deall iddo fod o fawr o enwogrwydd fel pregethwr yno, na bod fawr o ddiwydrwydd a ffyddlondeb ynddo ef chwaith yn y weinidogaeth. Mae'r drain yn tagu'r had o hyd.

# PWLPUD Y WAWR.

## Cyfraith y Llofrudd.

GAN Y PARCH. WM. HADDOCK, BLAEN-Y FFOS, SIR BENFRO, D. C.

"Dyma gyfraith y llofrudd, yr hwn a ffy yno fyw; yr hwn a darawodd ei gymydog heb wybod, ac yntau heb ei gasâu ef o'r blaen."—DEUT. xix. 4.

2. Yr oedd yn rhaid i'r llofrudd wneyd ymdrech hunan-ymwadol i gyrhaedd nawdd y noddfa. Ni fyddai yn taro iddo i fyned i ymresymu â chig a gwaed, a dweyd y byddai iddo redeg y *risk* am gael ei ddal gan y dialydd ai peidio; neu fyned i ddadlu nad oedd ganddo yr un bwriad drwg, ac nad oedd ganddo ddim digofaint pan gymerodd y llofruddiaeth le, ac yn y blaen; ond yr oedd yn rhaid iddo ymwadu ag ef ei hunan yn hollol a dianc am ei einioes. Dichon pe yr oedai y llofrudd, gan ddweyd fod ganddo wraig a phlant, a thai, a thiroedd i olalu am danynt, a'i fod yn ddyn o fusnes yn y gymydogaeth, ac nas gallai fyned a gadael ei ofalon, a phethau felly, mai dyna yr adeg y deuai y dialydd, gan ddwyn ei fywyd oddiarno; felly yr oedd o'r pwys mwyaf iddo i ymwadu ag ef ei hun, a ffoi i'r noddfa am ei fywyd.

Felly mae yn rhaid i bechaduriaid wneyd dan yr efengyl. Nid oes ganddynt amser i'w golli; mae perygl fod angau wrth y drws ac y gall eu dal tu allan i'r noddfa; felly gwell yw hunanymwadu, a chredu ac ufuddhau ar unwaith. Annoethineb o'r mwyaf yw gwneyd esgusodion ar fater mor bwysig a hwn. Mae rhai yn siarad fel y rhai gynt, "Gad i mi yn gyntaf fyned a chladdu fy nhâd," neu "mi a brynais bum iau o ychain," neu "mi a briodais wraig," neu "mae genyf dyddyn o dir," &c., atolwg cymer fi yn esgusodol. Ond beth fydd y pethau hyn werth os daw y dialydd, a hwythau tu allan i Grist? "Yn awr yw yr amser cymeradwy, wele yn awr ddydd iachawdwriaeth." "Os myn neb," meddai Crist, "ddyfod ar fy ol i, ymwaded

ag ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned fi." Math. 16: 24. Mae yn ofynol i bechaduriaid i ymwadu â hwy eu hunain, a chael eu hunain yn Nghrist, heb ddim o'u cyfiawnderau anhaeddianol.

3. Yr oedd yn rhaid i'r llofrudd i wneyd ymdrech egniol i gyrhaedd nawdd y ddinas noddfa. Nid oedd dim clauarineb a difaterwch i gael ei oddef, ond ymdrech am fywyd ydoedd, ac nid oedd dim llai na bywyd i fod mewn golwg yn yr ymdrech. Pe byddai y llofrudd heb fod yn egniol yn ei ymdrech, dichon y gallai y dialydd redeg yn gynt nag ef, a'i ddal a'i ddifetha ar y ffordd. Yr oedd yn bwysig i'r llofrudd i roddi ei draed yn y tir, a rhedeg braidd yn gynt na chynt ag y gallai ef. Yr oedd pob peth wedi ei wneyd yn dda yn ffordd y llofrudd er ei galonogi i fod yn egniol yn ei ymdrech i gyrhaedd nawdd y gyfraith yn y ddinas noddfa. Yr oedd y tir wedi ei drianu, a'r ffyrdd wedi eu gwneyd yn dda. Os byddai i'r llofrudd gael ei oddiweddyd gan wendid a lludded yn ei ymdrech, yr oedd yno goed grawnwin yn tyfu bob ochr i'r ffordd, a gallai gymeryd swp o'r *grapes*, a rhedeg dan fwyta hwnw, ac felly adnewyddu ei nerth.

Pe byddai afon yn dygwydd croesi y ffordd, yr oedd yr awdurdodau wedi gofalu gosod pont yno, rhag bod un rhwystr ar lwybr y llofrudd i gyrhaedd y noddfa. Pe byddai y ffordd yn dygwydd myned heibio i un o athrofeydd y prophwydi, tybiwn fod y myfyrwyr yn barod i wneyd pob peth yn eu gallu er cynorthwyo y llofrudd i gyrhaedd y noddfa, ac i berswadio y dialydd i droi yn ol. Pe byddai croes-ffordd mewn rhyw fan trwy yr hon y gallai y llofrudd gamgymeryd ei lwybr i'r noddfa, yr oeddys wedi gofalu fod yno fynegbyst (*finger posts*), ac arnynt yn argraffedig mewn llythyrenau breision y geiriau, *Noddfa*, NODDFA, ac yn union y gwelai y llofrudd hyn gwyddai ei ffordd yn union. Fel yna yr oedd pob peth wedi eu gwneyd yn hwylus yn ffordd y llofrudd er ei galonogi; ond heb iddo roddi egni yn ei ymdrech yr oedd mewn perygl i gael ei ddal gan y dialydd, a' cholli ei fywyd mewn canlyniad. Felly mae yn rhaid i bechaduriaid fod yn egniol yn eu hymdrech i gael bywyd tragwyddol trwy yr efengyl. Mae yn drueni meddwl mor ddidaro a difater y mae llawer sydd yn dweyd eu bod yn ceisio gafael ar y bywyd tragywyddol; ond nid ar grefydd na llwybr crefydd y mae y bai, y mae pob peth wedi eu gwneyd yn hwylus gan Dduw er calonogi pechaduriaid i fod yn egniol yn eu hymdrech am fywyd. Mae' y ffordd yn dda, "Iesu Grist yw y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd." "Ei ffyrdd hi sydd ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau hi ydynt heddwch." Pan mae pechaduriaid yn teimlo yn wan ac yn llesg yn eu hymdrech, y mae mewn crefydd "ddidwyll laeth y gair" er eu gwneyd yn gryf. Pan y teimlant eu ffydd yn ymollwng, a'u hyder yn diflanu, y mae crefydd yn meddu ei haddewidion yn eu holl flas a'u cysur, fod nerth yn ol y dydd, a chymorth yn ol yr achos. Pan y teimlant ofnau yn eu suddo, nad ydynt ar y ffordd iawn i fywyd, y mae crefydd yn meddu llusern y gwirionedd, a myneg-fys y gair, y rhai sydd yn cyfeirio i'r groes, ac at Iesu Grist y noddfa ei hun. Ond er fod pob peth mewn crefydd wedi eu gwneyd er calonogi pechaduriaid i ymdrechu bod yn gadwedig, eto, heb iddynt roddi egni yn yr ymdrech, mae perygl i'r dialadd eu dal cyn cyrhaedd diogelwch. Am hyny, "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng, canys llawer meddaf i chwi a geisiant fyned i mewn, ac nis gallant." Nid yw yr egni angenrheidiol yno.

III. Amodau diogelwch cyfraith y llofrudd.

Wedi cyrhaedd y noddfa, yr oedd gan y llofrudd amodau i'w cadw wedi'n, er sicrhau ei ddiogelwch dyfodol; ac y mae gan bechaduriaid amodau cyffelyb i'w cadw wedi dyfod i'r noddfa ysbrydol dan yr efengyl.

1. Yr oedd yn rhaid iddo aros tu fewn i derfynau cyfraith y noddfa.

Pe na chydymffurfiai y llofrudd a'r telerau hyn, byddai yn barhaus mewn perygl rhag y dialydd, a hyny am y

rheswm hwn: y man lle yr oedd cyfraith y dialydd yn myned o'i grym, yr oedd cyfraith y llofrudd yn y noddfa yn dyfod i'w grym; felly os byddai am ei hamddiffyniad, yr oedd yn rhaid iddo aros o fewn ei therfynau.

Felly y mae yn rhaid i bechaduriaid wneyd yn eu perthynas â chyfraith Crist a diogelwch yr efengyl. Dywed Crist, "Gan ddysgu iddynt gadw yr holl bethau a orchymynais i chwi." Math. 28: 20. Dywed Paul wrth Timotheus, "Myfyria yn y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros, canys os gwnai hyn, ti a'th gedwi dy hun a'r rhai a wrandawant arnat." 1 Tim. 4: 15, 16. "Os cedwch fy ngorchymynion, chwi a aroswch yn fy ngariad." Aros mewn gweithgarwch a ffyddlondeb yn ngwinllan Crist yw amod diogelwch yr efengyl. Yn amser y dinasoedd noddfa pe celai y Lefiaid allan fod y llofrudd wedi lladd yn wirfoddol, trosglwyddent ef tu allan i'r caerau i'r dialydd gael dial arno, ond pe caed ef yn ddieuog, ymrwyment ei ddiogelu ar yr amod ei fod yn aros tu fewn i derfynau y gyfraith yn y noddfa. Mae chyfraith Crist yn helaethach na chyfraith y llofrudd, o herwydd y mae hi yn cadw y neb sydd yn credu, er ei gael yn euog. "Mi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach." Mae pob credadyn sydd yn aros yn nghyfraith Crist wedi ei symud o farwolaeth i fywyd, ac o feddiant Satan i deyrnas Dduw. "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu, y rhai sydd yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd. Canys deddf ysbryd y bywyd yn Nghrist Iesu a'm rhyddhaodd i oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth." Rhuf. 8: 1, 2.

2. Yr oedd yn rhaid i'r llofrudd aros dan nawdd y gyfraith yn y noddfa hyd farwolaeth yr archoffeiriad.

Pe byddai yr archoffeiriad yn byw yn hynach nag ef, byddai yn rhaid iddo i aros yno am ei oes. Dyben y trefniant hwn oedd, os byddai i'r archoffeiriad farw o flaen y llofrudd, yr oedd y *gofid* cyffredinol oedd yn meddianu y genedl ar y pryd wedi ei fwriadu i fod yn *sail* i'r llofrudd i gymeryd ei ryddid, heb ofni mwy i gael ei aflonyddu gan y dialydd. Golygid i farwolaeth yr archoffeiriad roddi terfyn ar bob digofaint yn mynwes pob dialydd, fel y gallai pob llofrudd gael ei ryddid. Mae hyn yn arlwyddlun tarawiadol o gaethiwed dynoliaeth wrth natur, a'r modd y diffoddodd digofaint Duw pan fu farw ein Harchoffeiriad mawr ni, ac y dywedwyd—"Gollwng ef yn rhydd, mi a gefais iawn;" ond yn awr, mae ein Harchoffeiriad ni yn byw byth, ac y mae yn rhaid i bob credadyn i aros dan nawdd ei gyfraith am ei oes, ac yna sicrheir ei ddiogelwch yn oes oesoedd. Na fydded i neb sydd wedi dyfod dan nawdd deddf Ysbryd y bywyd, i fyned yn ol dan ddeddf pechod a marwolaeth, rhag i'w diwedd fod yn waeth na'u dechreuad.

3. Gwelwn ddoethineb Duw yn trefnu cyfraith i'n hachub ni yn wrth-darawiadol i ddeddf oedd am ein lladd ni.

Mae hyn yn debyg iawn i'r hyn wnaeth Esther y frenines er mwyn arbed ei chenedl. Yr oedd ei phriod, y brenin, ar ddymuniad gelynion yr Iuddewon, wedi cyhoeddi cyfraith i ddyfetha a dinystrio yr holl genedl trwy yr holl dalaethau, ond clywodd y frenines am y fradwriaeth, a phenderfynodd ddadlu achos ei phobl neu farw gyda hwy; ac yn y teimlad hwn, aeth i mewn yn ddirybudd at y brenin i eiriol drostynt, a chafodd ei ffafr i gyhoeddi cyfraith newydd cyn i'r gyntaf gael ei dwyn i weithrediad, ac felly yr arbedodd ei chenedl rhag y trychineb ofnadwy. Felly gellir dweyd am frenin y nef. Cyhoeddodd gyfraith yn Eden, "Gan farw ti a fyddi farw." Ond cymerodd yr ail berson yn yr hanfod dwyfol achos dynoliaeth mewn llaw a chymerodd ei eni o wraig, ac aeth dan y ddeddf, ac a enillodd hawl i gyhoeddi cyfraith newydd, yr hon sydd yn gwrthdaro dylanwad deddf Eden; a thrwy gredu yr hon y mae miliynau wedi eu hachub. "Am hyny i Dduw y byddo y diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist."

*Diwedd.*

# GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

VIII.

"More honour'd in the breach than th' observance."—HAMLET.

Arferiad sydd wedi myned yn bur gyffredin gan ohebwyr ein Cyhoeddiadau Cymreig, ydyw defnyddio y person lliosog pan ddylid defnyddio y person unigol. Nid yn unig mae yr arferiad yn gyffredin yn mhlith dosbarth liosog o ohebwyr nad ydynt yn gwybod yn well, ond hefyd yn mysg ein llenorion goreu. Beth all fod yr achos o hyn? Y mae dynion nad ydynt wedi cael manteision i wybod yn well, nad ydynt yn ymdrechu dilyn *style* llenorion o gymeriad llenyddol addefedig, i raddau yn esgusodol. Ond am ddynion *ddylent* wybod yn well, nid oes esgus yn y byd iddynt.

Efallai fod y rheswm yn tarddu o dipyn o hunanoldeb, yn gystal ag anwybodaeth. Y mae rhywbeth yn swnio yn fawreddog yn y "ni" yna; a phan ddel yr ysgrif allan, a'r "ni," mewn print, *dear me*, mor chwyddedig y teimla yr "awdwr!" Yr ydym oll yn cydnabod *prerogative* y golygydd i ddefnyddio y "ni," pan byddo yn ysgrifenu yn urddasolrwydd ei swydd ofnadwy. Ond pan byddo y fantell swyddogol, naill ai wedi syrthio neu wedi ei thynu oddiar ei ysgwyddau, y mae yr uchelfraint o ddefnyddio y "ni" wedi ei ddiddymu ar yr un foment! Agoriad i ddirgelwch nerth y "ni," pan byddo yr ysgrifenydd â'i law swyddogol yn symud yr ysgrif-bin, yw yr ymwybyddiaeth o'r gallu tu cefn. Er fod William Ewart Gladstone, pan yn ysgrifenu ar Homer, neu yn codymu Dr. (Cardinal yn awr) Newman, yn meddu yr un talentau a phan byddo yn siarad fel y Prif Weinidog, eto mae dylanwad ac awdurdod y "ni" â gallu y llywodraeth tu cefn iddo, yn bur wahanol. Ond rhaid cael gallu tu cefn. I ba bwrpas y defnyddia y brawd R. H. Evans ei *ni* wrth ddadleu â'r brawd William Jones ar Fedydd, pan nad oes ganddo y gronyn lleiaf o nerth cynorthwyol tu cefn. Hyny yw a chaniatau mai y Testament Newydd yw y safon, ac mai Iesu Grist—nid Robert Hall na Spurgeon—yw awdwr y grefydd Gristionogol? Pe byddai haerllugrwydd yn rhesymegyddiaeth, buasai Evans a phluen fawr iawn yn ei gap; ond gan nad yw tipyn o *smartness* yn myned yn mhell y dyddiau goleuedig presenol, rhaid i mi gyfaddef fod y brawd William Jones, nid yn unig wedi ymddwyn gyda boneddigeiddrwydd Cristionogol; ond ei fod, fel *logician*, wedi chwalu twyll-resymau ei wrthwynebwr, ac fel dadleuydd teg a difrifol wedi ei orchfygu yn llwyr.

—Y mae effeithiau daionus y gwahanol gymdeithasau yn Nhalaeth New York ar gyfer y tlodion, yn nghorph y deuddeng mlynedd a aethant heibio, yn obeithiol anghyffredin gyda golwg ar y dyfodol. Er fod y boblogaeth wedi cynyddu dros filiwn, y mae rhifedi y tlodion a gynorthwywyd tu allan i'r elusendai wedi lleihau o 160,946 yn 1868, i 16,317 yn 1880. Dygwyd hyn oddiamgylch yn benaf, trwy effeithiau y cymdeithasau a ofalant am y crwydriaid bychain, y rhan fwyaf o honynt yn blant i rieni a dreulient eu hamser mewn diota ac yn nghyflawniad troseddau o bob math. Er cymaint o ddrygioni y mae llawer o'r cyfoethogion yn gyflawni, y mae Duw yn dylanwadu ar ddosbarth liosog o honynt i liniaru sefyllfa druenus yr anghenus a'r anffortunus.

—Nid oes ond ychydig amser er pan aeth Dr. Jeffrey o Brooklyn, N. Y., i gymeryd gofal Eglwys Gyntaf y Bedyddwyr yn Denver, Col. Dyn o alluoedd anghyffredin yw Dr. Jeffrey, ac mae'r adeilad eisioes yn rhy gyfyng i gynnwys y lluaws sydd yn ymgyrchu i'w glywed. Bwriedir naill ai ehangu yr adeilad presenol neu adeiladu un mwy.

—Ychydig fisoedd yn ol, yn ngwydd cynulleidfa luosog, ysgymunwyd y "Pab o Rufain," gan esgob y sect new-

ydd—y Catholiciaid Annibynol. Yr oedd yno ddifyrwch anghyffredin, er fod yr hen frawd yn eithaf difrifol. Yn nghorph y flwyddyn 1880, ymunodd dros dri chant o offeiriadau y Babaeth a'r symudiad newydd. Rhifa y gynulleidfa fil ar y Sul, ac yn y cyfarfod gweddiau wythnosol, y mae llawer yn troi at Grist, ac nid at y Pab mwyach.

—Cynwysa adroddiad Blynyddol y Llywydd Eliot, Coleg Harvard, yn mhlith pethau gwerthfawr eraill, yr ystadegau canlynol, ydynt o ddyddordeb neullduol: Heblaw y Sefydliadau Addysg i ferched yn unig, y mae oddeutu 360 o golegau a phrif-ysgolion yn yr Unol Dalaethau. Sefydlwyd tua 200 o honynt er y flwyddyn 1850; nid oedd o flaen y ganrif bresenol ond ugain mewn bodolaeth, ac yn y flwyddyn 1820 nid oedd ond wyth-ar-hugain. Y mae mwy nag un ran o dair nad ydynt yn codi dim, neu ychydig iawn—nid mwy na $30, y flwyddyn—am addysg. Heblaw y rhai hyn, y mae tri-a-deugain o golegau Amaethyddol a Chelfyddydol wedi eu gwaddoli gan y Llywodraeth, a'r rhan fwyaf o lawer yn codi dim am addysg. Tra mae poblogaeth yr Unol Dalaethau wedi cynyddu bumwaith y'nghorph y triugain mlynedd rhwng 1820 a 1880, y mae rhifedi y colegau a'r prif-ysgolion wedi cynyddu bedair-gwaith-a'r-ddeg. Yr oedd yr holl hen golegau yn y Talaethau gwreiddiol yn codi tal ac yn parhau i wneyd; ond y prif gynnydd yn ein colegau sydd yn y Gorllewin, ac yno mae'r arferiad i godi dim am addysg, fwyaf. Y mae yn bur anhawdd penderfynu yn deg ragoriaethau cymhariaethol y gwahanol sefydliadau hyn, yn enwedig i ddyn annysgedig, fyddo yn ymdrechu dewis coleg i anfon ei feibion iddo. Nid yw y gwahanol enwau, colegau a phrif-ysgylion, yn penderfynu y matter, na chwaith y gwahaniaeth yn y telerau, pe meddyliem fod y telerau uwchaf—wrth y rheol fod y drytaf efallai y goraf—yn sicrhau y manteision goreu, oblegid mae rhai o'r sefydliadau sydd yn codi isaf, neu yn codi dim, yn well na'r rhai sydd yn codi uchaf.

—Nid oes lai na chant a haner o fyfyrwyr yn Athrofa Dduwinyddol y Bedyddwyr yn Ramapatan, India, yn ymbarotoi i'r weinidogaeth Gristionogol. Y mae rhai o honynt yn briod, a rhaid i'r gwragedd dreulio rhan o'u hamser i astudio, ac mae rhai o honynt yn dal i fynu â'u gwyr trwy'r holl dymhor.

—Yr oedd gweinidog wedi bod yn cynnal "*revivals*" yn swydd Rock, Kansas, am wythnosau gyda llwyddiant anarferol. Un diwrnod, anerchodd y frawdoliaeth yn y geiriau canlynol: Anwyl frodyr a chwiorydd, dyma y cyfarfod olaf fydd i ni gynal. Y mae yn anmhosibl dal i gadw brwdfrydedd i fyny ar fara corn a molasses i mi fy hun, a chob o gorn y dydd i'm ceffyl. Duw a'ch bendithio!

—Nid Tyrciaid yw holl drigolion Twrci. Y mae y Groegwyr, y Bwlgariaid a'r Armeniaid yn myned dan yr enw o Gristionogion. Er fod ganddynt eglwysi a Beiblau, nid yw y bobl yn deall yr hyn a ddywedir yn yr eglwys na'r hyn sydd ysgrifenedig yn y Beibl. Yn mhlith y cenhedloedd hyn y mae ymdrechion cenhadol fwyaf llwyddianus. Y mae gan yr *American Board*, 94 o eglwysi, yn cynwys saith mil o aelodau.

—Hynodwyd y flwyddyn 1880, ebe y Parch Dr. Prime, yn yr "*Observer*," gan adfywiad Cristionogaeth uniawngred a bywiawgrwydd crefydd efengylaidd. Mae hyn yn sicr am yr Unol Dalaethau. er efallai nad yw mor amlwg yn Mhrydain Fawr. Ond ni fu erioed o'r blaen yr hen wirionedd fel mae yn y Beibl, Efengyl gref Iesu a'i Apostolion, yn cael ei ddal gan gynifer o eneidiau, ar yr un amser, ag sydd hedlyw; ac ni fu enfys yr addewid erioed yn fwy dysglaer yn y ffurfafen.

—Y mae awdurdodau dinas Yokahama, Japan, wedi gorchymyn copiau o'r Testament Newydd yn iaith y wlad, i gael eu gosod yn yr ysgoldai.

—Yn Athrofa y Bedyddwyr yn Atlanta ar gyfer myfyrwyr negroaidd, y mae 22 o'r 41 sydd yno, yn ymbarotoi

at waith y weinidogaeth. Dywedir am danynt: "Y maent yn y cyffredin yn ddynion o yni ac ymroddiad Cristionogol, a'u dylanwad yn effeithio yn ddaionus yn eu gwahanol gylchoedd."

—Ymddengys oddiwrth ysgrifau Iolo Morganwg, iddo glywed gan y bardd dysgedig Morgan Llewelyn, o Gastell Nedd, iddo weled coffawdwriaeth mewn hen ysgrifen, i'r Brenin Harri'r Seithfed roddi ysgrifen Fraint i Leision Abad, Glyn Nedd, i osod Prif Ysgol i fyny yno, yr unrhyw a Rhydychain er lles i'r Cymry. At hyn y tybir i Lewis Morganwg, 1490, gyfeirio yn y penillion canlynol:

Unifersi Nedd, llyma fawr son—Lloegr;
Llughorn Fraingc a'r Werddon;
Ysgol hygyrch ysgolheigion,
I bob ryw fal pe bai Seion.
Ag (ac) organau i'r gwyr gwynion,
A mawr foliant amrafaelion,
Rhithmetic, music, grymusion—safant,
Rhetric, sufl, a chanon.

I gael addysg a byw'n y gwleddoedd,
O dir a moroedd y daw'r mawrion;
Cawell gweiniaid, cell i gan—wr;
Caer uwch y dw'r lle nis cyrch y don.

# Bwrdd y Golygydd.

## NODION EIN TAITH.

Yn Pennsylvania ac Ohio, y misoedd diweddaf, tynodd amryw bethau ein sylw y carem wneyd nodion o honynt. Crybwyllwn rai o'r cyfryw.

*Arnot, Pa.*—Edrych yn hiraethus ac amddifad mae y praidd yma ar ol eu diweddar weinidog. Ychydig o'r eglwysi a feddant gymaint o deimlad crefyddol ag a amlygir yn mhlith y frawdoliaeth hon. Mae gwahaniaeth dirfawr i'w weled rhwng eglwysi yn y peth hwn. Beiir y pregethwr yn fynych fod y cwrdd yn ddiflas a di-hwyl; ond credwn fod y bai mor aml, a dweyd y lleiaf, wrth ddrws yr eglwys a'r gwrandawyr. Hawdd a hyfryd ydyw pregethu i bobl fyddont mewn teimladau crefyddol a chynes yn gwrando.

*Dell Roy, O.*—Yn y lle hwn y mae *Llywarch* yn byw—"bardd wrth fraint a defawd;" na, wir, efallai nad yw fardd wrth fraint a defawd, ond os nad yw felly, rhagora yn fawr ar y rhan fwyaf o honynt. Lle newydd yw Dell Roy, a lle sydd yn debyg o droi allan yn bwysig. Mae yma nifer o Gymry yn barod. Yn mhlith y rhai crefyddol o honynt mae y rhan luosocaf yn Fedyddwyr. Joseph T. Morris, Ysw., ydyw prif oruchwylydd y glofeydd, yr hwn a brofa ei hun yn bleidiol i'r Cymry. Gallai mwnwyr symudol gael lle da yma. Byddai y cyfeillion Bedyddiedig yn falch iawn i weled eu pobl hwy yn amlhau yno. Gan mai ifanc yw y lle, cynalia y Cymry eu moddion crefyddol yn y ty ysgol.

*Newburgh, O.*—Mae y frawdoliaeth yma wedi ymadnewyddu llawer o dan weinidogaeth a bugeiliaeth eu gweinidog newydd, y Parch. James F. Richards. Y mae yn yr eglwys amryw o frodyr gwir selog ac ymdrechgar dros yr achos. Mae y Parch. Samuel Job, Bethel Home, yn teimlo dyddordeb mawr yn ei frodyr yn Newburgh, a phob amser yn barod yn ei help.

*Pomeroy, O.*—Lle tawel *ydoedd* hwn, ond erbyn hyn mae yr ager-beiriant a'i ganlynyddion wedi dod i'r lle. Parha yr eglwysi bychain a lechant yn nghilfachau y lle, yn fyw o hyd; ond rhyw unig ac amddifaid maent yn edrych, fel defaid heb arnynt fugail. Mae yma rai brodyr a chwiorydd sydd yn dra awyddus ac ymdrechgar i ddal yr achos Bedyddiedig yn fyw. Yr hyn sydd yn milwrio yn hynod anffafriol yn erbyn iddynt gyrhaedd eu hamcan ydyw, fod y Cymry yn lleihau yn yr ardal—trwy ymfudiaeth a marwolaethau.

*Mason City, W. Va.*—Y Parch. John R. Jones, diweddar weinidog Minersville, Pa., sydd yn bugeilio y praidd yn

y man hwn. Ofna y frawdoliaeth ei golli o'u plith, trwy fod yr eglwys yn Frostburgh, Md., wedi rhoddi galwad iddo. Colled fawr yn ddiau fuasai iddynt ei golli, ac am hyny dylent ofni a phryderu. Nid oes fawr o lewyrch yn fuan ar eglwys heb weinidog. Dylai eglwysi *ymdrechu* cynal gweinidogaeth. Mae y brawd Jones yn frawd dymunol, yn bregethwr gwir dda, yn gymdeithaswr tirion, ac o gymeriad dilychwin; a gresyn fyddai i'r frawdoliaeth yn Frostburgh ei ddenu ymaith. Mae E. Edwards, Ysw., un o aelodau eglwys y brawd Jones, newydd gael darlun mawr hardd o'r anwyl Barch. Wm. Owens, Pittsburgh, o waith Mr. David Jones, Utica, N. Y. Ryw dair blynedd yn ol, pan ddaeth darlun Mr. Owens allan yn y WAWR, y brawd Edwards amlygodd i olygydd y WAWR ei ddymuniad am gael y darlun ar raddfa fawr, gan ei hysbysu ddarfod i Mr. Owens ryw dro roddi gwers sarug, lem, arw, iddo, oblegid rhyw feiau; ar y pryd digiodd y brawd wrth y ceryddwr, ond drachefn ail feddyliodd am y wers, a diwygiodd, gan adael ei fai; a mwyach mawr yw ei barch i'r hen batriarch o Pittsburgh, ac hyd yr awrhon bron nad addolai gysgod yr hen wron, yr hyn a barodd iddo gael darlun drudfawr a theilwng o hono; ac y mae wedi cyrhaedd ei amcan. Mae efe wedi ei fawr foddhau yn ngwaith yr arlunydd o Utica yn portreadu o flaen ei lygaid ei hen geryddwr gynt.

*Centerville, Ohio.*—Gwasanaethir y tair eglwys, sef un Centreville, Ebenezer, a Bethlehem, gan y Parch. Daniel S. Jones. Yn sicr mae yn amheus a oes genym un gweinidog yn y wlad hon sydd yn llafurio mor ffyddlon o dan gymaint o anfanteision ag y mae y brawd Jones. Mae ganddo bellder o amryw filldiroedd, ar bob tywydd, i'w teithio er gwasanaethu yr eglwysi hyn. Mae y brawdoliaethau dan ei ofal yn meddu rhesymau rhagorol dros werthfawrogi ei lafur. Mae golygydd y WAWR o dan rwymau neillduol iddo am ei hebrwng, ei letygarwch, a'i help diflino, pan ar ymweliad a'r lle. Cofiwn am y cymundeb yn Ebenezer, ac am yr emyn a'r dôn a genid yn y diwedd, y brawd Jones yn *ledio.* Dymunol i ni fydd adgofio am ein hymweliad. Nid oedd modd yn y byd i ni alw yn y Dreinllwyn y tro hwn, yr hyn oedd yn fawr siomedigaeth i ni; ond gellwch benderfynu fod y ddeuddyn oddiyno yn y cwrdd yn Centreville, er mor anffafriol y tywydd, ac mor bell y ffordd.

## AT OHEBWYR.

Derbyniasom fwy nag arfer oddiwrth ohebwyr y mis diweddaf, ac y mae ein gofod yn llai nag arferol o herwydd y *title-page*, cynwysiad, &c., ar ddiwedd y rhifyn hwn, yr hwn sydd yn gorphen cyfrol. Gorfodwyd ni i adael allan ran o Fwrdd y Golygydd, Erthyglau, Barddoniaeth, llawer o Gofiantau, &c. Hyderwn na thramgwydda neb, dan yr amgylchiadau.—*Argraffydd.*

## AT OLYGWYR Y DRYCH.

### W. JONES A'R PARCH R. H. EVANS.

*Mri. Golygyddion*—Gan fod y Parch. R. H. E. yn parhaus gyhuddo y Bedyddwyr yn eich papyr llewyrchus o fod yn gaeth-gymunwyr, gan eu darlunio yn ddirmygus o herwydd hyny, gofynaf, A ganiatewch i mi brofi, yn gyntaf, drwy dystiolaethau amryw, hyd yn nod o daenellwyr dysgedig ac enwog, nad oes dim caethiwed yn rheolau cymundeb y Bedyddwyr, mwy nag sydd yn rheolau cymundeb y taenellwyr, a bod eu condemnio o fod yn gaeth-gymunwyr yn weithred anghyfiawn, gan fod yr achos o'r caethiwed yn gwbl yn ngwaith y Bedyddwyr yn gwrthod cydnabod taenelliad yn fedydd.

Yn ail, A ganiatewch i mi ddangos mai annheg yw condemnio y Bedyddwyr am beidio cydnabod taenelliad yn fedydd, tra y gallant brofi: 1. Fod y dysgedigion, y Geiriaduron, y *Lexicons* a'r *Encyclopedias* oll, braidd yn ddieithriad, er yn daenellwyr, yn cydnabod, mai meddwl cyntaf a phriodol y gair ddefnyddiodd Crist a'i Apostolion

am ddull cyflawniad yr ordinhard, yw trochi, suddo, claddu, &c. 2. Fod lluaws o brif ddysgedigion perthynol i wahanol enwadau crefyddol, yn cyfaddef fod yr ordinhad wedi ei chyfnewid o drochiad i daenelliad ar ol yr oes apostolaidd, ac am hyny nis gallwn gredu fod yr hyn a gyfnewidiwyd gan ddynion yn orchymyn dwyfol o gwbl. 3. Gofynaf ganiatad i brofi fod y cyfrifoldeb am yr holl ddadleuon a'r ymryson sydd wedi bod yn nghylch bedydd er's ugeiniau o flynyddoedd yn gorphwys ar y taenellwyr, am mai hwy sydd wedi gadael y gair *baptizo* mewn tywyllwch, drwy beidio ei gyfieithu, gan dalu, drwy hyny, fwy o barch i'r brenin Iago yn Llundain, nag i Frenin y Nefoedd, yr hwn sydd wedi gorchymyn dysgu ei feddwl i'r holl genedloedd, ac nid cuddio dim o'i feddwl oddiwrthynt.

Os caniatewch i mi ddefnyddio tudalenau y *Drych* i brofi y pethau uchod, byddaf ddiolchgar i chwi; ond os na fydd hyny yn foddhaol genych, nid wyf yn bwriadu gwneyd un sylw o ddim a ysgrifenir gan Mr. Evans yn y *Drych* mewn cyfeiriad ataf fy hun na'r enwad y perthynaf iddo. Dymunaf arnoch roddi y gofyniadau uchod a gyfeirir atoch, yn y *Drych*, ac, wrth gwrs, y mae genych hawl i'w hateb fel y byddoch yn dewis. Os byddwch yn dewis yn hytrach beidio eu hargraffu yn eich papyr eich hunan, carwn i chwi eu rhoddi i olygydd y WAWR. Ewyllysiwn ar i'r oll sydd ar y papyr hwn ddyfod i'r cyhoedd. W. JONES.

[Mae y gofyniadau uchod wedi eu trosglwyddo i olygydd y WAWR, ac am hyny argreffir hwynt yma. Mae i'r brawd anwyl a pharchus y Parch. Wm. Jones gyflawn roesaw i du dalenau y WAWR i amddiffyn ein hegwyddorion, ac i bawb eraill fyddo yn gwneyd hyny yn ysbryd yr efengyl. Mewn adegau fel hyn y mae gwerth cyhoeddiad o'r eiddom ein hunain yn dyfod yn neillduol i'r golwg.—GOL.]

—Parheir i dderbyn newyddion anffafriol oddiwrth y milwyr Prydeinig yn Affrica Ddeheuol.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

Yn awr, ynte, ddarllenydd, am gyflawniad i ti o'r addewid y mis diweddaf; sef basgedaid lawn o ffrwythau y wlad. Bydd yn y fasged lawer iawn o rifnodau, y rhai fe ddichon na fyddi yn ystyried yn felus, ond yn hytrach yn ffrwythau sychion; ond os meddianu ar ychydig o amynedd i gydmaru cyfnod a chyfnod, a rhifnodau un cyfnod ar gyfer eiddo y llall, gwn na fyddi yn ol o gael llawer o fwynhad i dy enaid, fel fy hunan. Cyn dechreu gydag un wlad na chyfnod diweddar, nid drwg fyddai i ni nodi ychydig ffeithiau cysylltiedig a chychwyniad gwaith cenadol y dyddiau diweddaf hyn.

Ychydig flynyddoedd, tua diwedd y ganrif o'r blaen welodd gychwyniad rhai o'r prif Gymdeithasau Cenadol ar y maes heddyw. Y gyntaf oedd Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr yn Lloegr, a sefydlwyd yn 1792; yna eiddo Llundain, yn 1795; Scotland, 1796; a Chymdeithas Genadol Eglwys Loegr, yn 1799. Teg yw i ni nodi yn y fan hyn, fod y Lutheriaid yn llafurio yn Neheubarth India er y flwyddyn 1705, ond bychan iawn fu y llwyddiant—llin yn mygu oedd yn nechreu y ganrif bresenol. Dechreu y ganrif bresenol y cydiodd America yn y gwaith da hwn. Y Bwrdd Cynulleidfaol oedd y cyntaf ar y maes. Sefydlwyd ef yn 1810; yna eiddo y Bedyddwyr, yn 1814; y Methodistiaid Esgobawl, yn 1819; a'r Protestaniaid Esgobawl, yn 1820.

Yn awr nid oes braidd yr un enwad yn America, Prydain Fawr, na'r byd, o ran hyny, nad oes ganddo ei gymdeithas genadol. Mae gan y gwahanol enwadau yn America 35 o gymdeithasau; Prydain 25, ac mae 25 ar y cyfandir; oll yn gwneyd 85. Gwaria yr oll hyn tua $7,000,000 yn flynyddol. Heblaw y rhai hyn, cawn fod llawer o genadon ar y maes, y rhai a gynelir yn hollol gan unigolion. Dechreuodd

Bedyddwyr Lloegr eu gwaith yn India yn 1793; Cymdeithas Llundain, yn Affrica, yn 1798; ac yn y flwyddyn 1807, danfonodd yr un Gymdeithas yr enwog Morrison i China.

Tiriodd Judson, yr hwn a ddanfonwyd allan gan Fedyddwyr America, yn Burmah, yn 1813. Yn y flwyddyn 1815, pan oedd byddinoedd Lloegr yn curo ar Napoleon yn Waterloo, yr oedd y Bwrdd Wesleyaidd yn dechreu tânbelenu amddiffynfeydd y diafol yn New South Wales, a llwyddasant gydag ymdrech i enill hono, yn ogystal ag amrai eraill o Ynysoedd y South Pacific. Yn 1822 aeth Cenadon i Twrci; yn 1833, i Siam; 1834, i Persia; 1837, Assam; a Japan, yn 1859.

Gwaith y cenadwyr yn gyffredin yw, yn gyntaf dysgu yr iaith, parotoi geiriaduron a gramadegau, a chyfieithu yr Ysgrythyrau, yna pregethu yr efengyl a sefydlu eglwysi. Ychwanegwyd at hyn y gwaith o gyfranu addysg gyffredin. Yn ddiweddar ychwanegwyd gorchwylion eraill, a galwyd i'r maes ddau ddosbarth arall o genadon. Y rhai hyn yw llaw-weithwyr a meddygon. Mae gan Eglwys Rydd Scotland 16 o law-weithwyr yn ei maes yn Neheubarth Affrica yn bresenol; a chyfrifir tua 100 o feddygon cenadol yma a thraw, ar hyd gwahanol feusydd a chan wahanol gymdeithasau. Mae yn India 192,000,000 o drigolion. O'r nifer anferth uchod bernir fod tua miliwn yn Gristionogion mewn enw, y lleill yn Hindwaid, Mahometaniaid, a Buddiaid. O'r un filiwn sydd mewn enw yn Gristionogion, cyfrifir 160,000 yn aelodau eglwysig. Y maes mwyaf toreithiog, a'r lle y mae y rhif luosocaf o lawer wedi ei dychwelyd ydyw Telwgw a'r cylchoedd. Yn y tair blynedd diweddaf mae bwyell finiog yr efengyl wedi llorio miloedd lawer o goed ar diriogaeth Hindwaeth. Heddyw mae meibion a merched India yn dysgu yr un gwersi, yn darllen yr un llyfrau, ac yn yfed gwybodaeth o'r un ffynonellau a phlant Saeson ac Americaniaid. Derbyniwyd dros 6,000 yn y flwyddyn ddiweddaf o blant India, i'r gwahanol Athrofeydd yn Calcutta, Madras, a Bombay. Mae yno sefydliad cenedlaethol er cyfranu addysg yn bresenol, tebyg i eiddo y wlad hon, ac mae yn llwyddo yn rhagorol. Pan feddyliom am hyn, yn nghyd a'r ffaith fod 201,000 yn yr ysgolion cenadol, sicr y gallwn ddyweyd y gwel India amser gwell yn y man.

Yn Affrica y flwyddyn ddiweddaf nid rhyw lawer o bethau neillduol sydd wedi cymeryd lle. Ddechreu y flwyddyn yr oedd gobaith am bethau mawrion i gymeryd lle tua thiriogaethau Mtesa, ond nid felly y mae wedi bod. Y rheswm o hyn yn ddiameu ydyw anwadalwch y brenin. Mae heddyw yn canlyn y gau brophwyd o Mecca, ddiwrnod arall bydd yn gyfaill i'r Pab, a'r diwrnod nesaf bydd yn nghorlan y Protestaniaid. Yr hwn a rydd i Mtesa y gwn goreu, gyda hwnw yn ol ei farn dywyll ef mae y grefydd oreu hefyd.

Amser yn ol yr oedd genym orsafoedd lawer yn neheubarth y cyfandir hwn, ond mae y rhyfeloedd mynych sydd wedi bod yno yn ddiweddar wedi difodi llawer un. Y goleuadau hyn sydd wedi diffodd, nid gwaith hawdd fydd eu hail gyneu. Nid oes dim yn fwy rhwystr ar ffordd lledaeniad gwirioneddau mawrion y Beibl na'r rhyfeloedd gwaedlyd a ddygir yn mlaen yn erbyn llwythau anwaraidd, a hyny yn barhaus mewn rhyw ran neu gylidd o'r byd, gan wledydd a honant fod yn Gristionogol. Wrth feddwl am y drwg mae hyn wedi achosi yn Affrica, Afghanistan, ac yn mhlith yr Indiaid yn y wlad hon, pwy na ddymunai o eigion ei enaid am i'r dydd hwnw wawrio, pan na chlywir son am ryfel mwyach.

Ond rhaid yw dod yn ol at yr hyn sydd genym mewn llaw. O'r 200,000,000 trigolion sydd yn Affrica bernir fod tua 500,000 yn Gristionogion mewn enw, a thua 196,000 yn aelodau eglwysig. Mae 585 o genadon yn llafurio gan y gwahanol gymdeithasau trwy y wlad fawr hon. Yn rhan ogleddol y cyfandir mae y trigolion y rhan fwyaf o honynt yn Fahometaniaid, yn ddeheuol i hyny Ffetichiaid ydynt, addolwyr coed a meini, a chred-

ant, yn herwydd y tywyllwch eithafol y maent ynddo, fil myrdd o bethau rhyfedd iawn.

Rhaid i ni ddosbarthu 400,000,000 China, yn Gonfuciaid, Buddiaid, a Thaoistiaid. Diwygiwr a gwladweinydd ydoedd Confucius, a dysgu pethau cysylltiedig a'r llywodraeth, yn nghyda phethau teuluaidd yr oedd yn fwyaf neillduol. Materolwyr yw y Thaoistiaid, ac addoli Gautama India mae Buddiaid. Mae y Confuciaid yn addoli yn benaf feddau eu meirw, yn nghyd a delwau o Confucius ei blaenor. Mae gan y tair plaid grefyddol hyn eu temlau, ac addolant ynddynt. Yn mhlith y Chineaid, mae 527 o genadon wedi casglu 320 o eglwysi, yn y rhai mae 16,903 o aelodau. Mae yno 313 o ysgolion cenadol, yn y rhai mae dros 6,000, yn fychan a mawr, yn derbyn addysg. Nid oes un anhawsder i fyned i China yn bresenol, mae ei holl byrth o led y pen i bwy bynag a ewyllysio fyned i bregethu yr efengyl neu i ddilyn rhyw orchwyl arall. Ond er fod yr holl wlad yn agored, eto nid oes Cristionogion i'w cael ond mewn tua 35 o ddinasoedd a phentrefydd, ac mae y gorsafoedd yn y 35 hyn yn perthyn i 30 o gymdeithasau gwahanol. Gwir fod pregethu mewn tua 500 o leoedd, ar adegau, heblaw y dinasoedd hyn, ond ddim yn gyson.

Yn Burmah heddyw mae genym 105 o genadon, 21,786 o aelodau eglwysig, a 6,125 o blant yn yr ysgolion. Medda Siam ar 24 o genadon ffyddlon, 1,600 yn aelodau a 340 yn cael eu dysgu yn y gwahanol ysgolion. Mae llawer o'r ynysoedd sydd yn y South Pacific yn cael eu cyfrif mwyach yn Gristionogol. Ni ddanfonir cenadon iddynt am y codant ddigon o bregethwyr eu hunain; ac ni dderbynir adroddiadau oddi wrthynt fel y cyfryw mwy. Yn y rhai na sydd eto wedi cyrhaedd y gradd uchod o efengyliad mae ynddynt 550 yn genadon, 18,764 yn aelodau a 70,690 yn ysgoleigion Cristionogol. Ar y cyfandir hwn, America, yn mysg y rhai na sydd hyd yma yn cael eu rhifo yn Gristionogion ynddo, ceir 242 o genadon, 155,577 yn gymunwyr, a 38,637 yn ddeiliaid y gwahanol ysgolion. Yn ystod y blynyddoedd diweddaf mae gwlad y Twrc wedi bod fel crochan berwedig gan ryfeloedd, a galluoedd tramor, ac a chynyrfiadau cartrefol. Ond er y cyfan mae goleuni pur a thanbaid efengyl Crist wedi treiddio i lawer ogof dywyll, ac wedi cyfnewid llawer maes ag oedd yn nythle seirff gwenwynig, y rhai oedd yn difa cysur y trigolion, yn llanerch baradwysaidd; lle mae rhinwedd yn blodeuo a gwirionedd yn ffynu. Y dychweledigion gan mwyaf ydynt Armeniaid, y rhai sydd berthynasau agos i ddeiliad eglwys Groeg. Yn ei ffurf Russaidd, ychydig mewn cydmariaeth o Fahometaniaid sydd yn derbyn y gair. Mae gan y cymdeithasau Americanaidd yn Twrci 154 o genadon, 6,594 o aelodau wedi eu casglu i wahanol eglwysi, a 12,884 yn ysgoleigion. Persia, gwlad yr hen Assyriaid a'r Babiloniaid, a'r addolwyr tan, sydd a 32 o genadon yn mynegu iddynt am yr hwn sydd yn "dân ysol," ond yn medru cusanu y soflyn sych, eto heb ei ddifa. Mae 1,371 o honynt wedi derbyn y Mab, ac mae 2,090 yn yr ysgolion yn dysgu ffordd Duw yn fanylach. Cyngrair Efengylaidd Japan a hysbysa fod yn y wlad hono yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, 16 o gymdeithasau, 117 o genadon, 2,701 o ddychweledigion, a 2,511 o ysgoleigion.

Dywed Max Müller, fod 200,000 o'r 34,338,504 trigolion yn Japan yn Shintoistiaid, a'r lleill oll yn Fuddiaid, neu yn ddim. Pwnc sydd yn cael llawer o sylw yn Japan y dyddiau hyn ydyw cytundeb newydd rhyngddi a gwledydd tramor, trwy yr hwn, mwy na thebyg y teflir ei holl ororau yn agored i bawb o bobl y byd. Yna bydd holl genadon hedd sydd ar yr ynys yn gallu myned i bob man, yn lle cael ei cyfyngu i ryw 13 o ddinasoedd, fel y maent yn bresenol.

Wele i ti ddarllenydd, yr hyn a allwn roddi yn bresenol o sefyllfa y maes dan sylw. Mae amryw o leoedd nag ydym wedi eu nodi, am nad oedd y cyfnodion a ddymunem genym wrth law. Er gosod ger dy fron lawer iawn o ffigyrau, eto anmherffaith iawn y cyf-

leant yr hyn a wneir, yn nghyd a gwir fawredd y symudiadau cenadol drwy wahanol ranau o'r byd ger ein bron. Cynydda y gwaith bob dydd. Nid yn unig mae y goleuni yn ymledaenu i wahanol wledydd, ond y mae miloedd o'r newydd yn dyfod i gyd-weithredu er ei ledaeniad. Bu adeg pan oedd gweinidogion yn sefyll yn erbyn dweyd gair yn eu capelau a'u pwlpudau hwy am anfon yr efengyl i'r paganiaid, ac eglwysi na chyfranent geiniog at y fath orchwyl. Ond fe welodd Duw yn dda i symud y fath ddynion ac eglwysi o'r ffordd. Deallir yr hwn sydd a phob awdurdod yn ei law, yn well heddyw. Ychydig, os neb heddyw, pan yn darllen y commisiwn "Ewch gan hyny a dysgwch yr holl genedloedd," &c., nad yw yn credu fod Iesu yn golygu India yn ogystal a Lloegr; Burmah fel Prydain; y rhai sydd ar fryniau Cassia, 'yn ogystal a'r rhai a godir ar fryniau Cymru; meibion duon Affrica yn ogystal a deiliaid gwynion Victoria; creda pawb y golyga y byd yn y geiriau uchod, ac mae pob un sydd yn caru y Meistr, ar ei oreu i gyflawni yr oll a orchymynodd. I symio y cyfan i fyny wrth derfynu, dywedwn fod ar y maes heddyw 3,593 o genadon, y rhai a berthynant i 85 o gymdeithasau, 2,600 o weinidogion brodorol, 30,000 o gynorthwywyr brodorol, 625,046 yn gymunwyr, a 412,300 yn ddeiliaid ysgolion cenadol. Ond eto gofynwn am ragor, a dywedwn am a gafwyd, "Nid i ni, nid i ni, O Arglwydd, ond i'th enw dy hun dod y gogoniant."

---

# HANESION CARTREFOL.

## ORDEINIAD.

Sabboth, Ionawr 23, 1881, cynaliodd yr eglwys yn Bevier, Mo., gyfarfodydd i'r dyben o ordeinio y brawd Thomas D. Evans i gyflawn waith y weinidogaeth. Y brodyr fuont yn ein gwasanaethu oeddynt y Parchn. R. M. Richardson, Dawn, a W. Evans, Red Oak, Iowa. Da genym allu dyweyd i'r brodyr fyned trwy bob rhan o'r gwaith yn anrhydeddus. Gallwn dystio ein bod wedi cael gwenau yr Arglwydd yn ein cynulliadau. Ein gweddi yw, ar i'r Arglwydd fendithio yr hyn a lefarwyd i fod o les er dychwelyd llawer o'r newydd at Fab Duw. Y mae y brawd Thomas D. Evans yn bregethwr da ac efengylaidd, ac yn meddu ar nodau gwir Gristion. Ein gweddi fel eglwys yw, am i'r Arglwydd fendithio ei lafur yn ein plith, a'i arddel i fod yn offerynol yn ei law er dychwelyd lluoedd o'r newydd i gymdeithas ei Fab ef, Iesu Grist.

JOHN C. WILLIAMS, Ysg.

---

## AGORIAD CAPEL NEWYDD Y BEDYDDWYR yn *New Sraitsville, Perry Co., O.*

Mae yn hysbys i lawer o ddarllenwyr lluosog y WAWR fod y Bedyddwyr wedi bod yn cynal yr achos crefyddol am saith mlynedd yn yr ysgoldy yn y lle uchod, o dan lawer o anfanteision, am yr hyn y mae yr eglwys yn dra diolchgar i'r awdurdodau trefol am eu caredigrwydd.

Yn y flwyddyn 1880, penderfynodd yr eglwys nad oeddynt am fyw yn mhellach ar garedigrwydd tref na gwlad am le i addoli Duw eu tadau. Gosodasant gynllun mewn gweithrediad, trwy yr hwn y casglasant tua phymtheg cant o ddoleri yn yr ardal hon yn unig, cyn dechreu ar y gwaith o adeiladu y capel. Yr oedd gan yr eglwys *lot* wedi ei phrynu er's blynyddau, ac wedi talu rhyw gymaint arni; ond barnwyd gan y pwyllgor fod y lle yn annghyfleus i ateb sefyllfa y dref yn bresenol, ac aed i chwilio am le mwy cyfleus, a chafwyd *lot* yn y llecyn mwyaf cyfleus o fewn y dref, gan y *Consolidated Coal Company*, am y pris rhesymol o $100. Yr oeddynt wedi gwrthod $300 am y *lot* ychydig ddyddiau cyn hyny. Yn mis Mai aed at y gwaith o dori lle i osod sylfaen i lawr, a chodi ceryg, a chyflawnwyd tua gwerth tri chant o ddoleri o waith gan yr aelodau a'r gwrandawyr, heb godi un cent am dano. Anfonwyd at Mr. B. D. Price, *Architect*, Philadelphia, am gynllun a *specification* o'r capel. Rhoddasom y gwaith o adeiladu y capel dan arolygiad Mr. James Williams, Cymro, a gallwn ddyweyd fod y gwaith yn llewyrchu anrhydedd ar y cynllunydd a'r arolygydd, gan ei fod yn un o'r capeli harddaf a fedd y Bedyddwyr Cymreig yn America—yn mesur 48 tr. wrth 32. Mae y capel wedi costio dros $2,000, heblaw y gwaith a wnaed ar y sylfaen am ddim gan yr aelodau a'r gwrandawyr.

Agorwyd y capel Tachwedd 20fed, a'r Sabboth canlynol pregethwyd ar yr achlysur gan y Parchn. Samuel Job, Cleveland, O; Charles Jones, M. A., Mineral Ridge, O., a Jonathan Thomas, Gallia Co., O. Yr oedd y pregethau yn adeiladol a gafaelgar—pawb wrth eu bodd yn gwrandaw y Gair, ac yn ei dderbyn, gobeithio, i'w calonau. Wedi agor y capel, yr ydym wedi cael rhoddion gwerthfawr er prydferthu ty yr Arglwydd, y rhai sydd yn deilwng o'u cofnodi i'r oes a ddel, sef *set* o lestri cymun ardderchog gan Mrs. Harriet Hughes, ac

wedi ei gerfio arnynt, *Presented by Mrs. Harriet Hughes.* Diolch i Mrs. Hughes am y rhodd werthfawr hon. Eto, tair o gadeiriau i'r areithfa gan un o'n gwrandawyr ieuainc, sef Mr. Lewis L. Williams. Dymunol gweled teimlad o'r fath gan fachgen ieuanc at yr areithfa. Gobeithio na fydd yn hir cyn rhoddi ei hun i'r hwn a gyhoeddir o'r areithfa. Eto, anrheg o Feibl Saesoneg hardd i'r areithfa gan y brawd J. E. Jones. Eto, bwrdd gan y brawd John L Jones—rhodd werthfawr ac angenrheidiol mewn capel. Diolch yn fawr am y rhodd hon—taled yr Arglwydd iddo. Eto, awrlais gan Mr. William R. Calkins; rhodd werthfawr ac anrhydeddus, yn deilwng o hono ei hun; taled Duw iddo am ei garedigrwydd.

Mae yr eglwys wedi rhoddi galwad i'r brawd Charles Jones, M. A., Mineral Ridge, O., i'w bugeilio yn yr Arglwydd, ac mae yn dra thebygol o sefydlu yma yn fuan. Ein gweddi yw am i'r Arglwydd ddyfod gyda ein brawd yn ei weinidogaeth. Mae yma faes da yn barod i'w dderbyn. Hyn oddiwrth

D. A. Davies, Ysg. yr Eglwys.

---

## Dawn, Mo.

Cynaliodd Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr yn y lle uchod ei chyfarfod blynyddol ddydd Nadolig, Rhag. 25, 1880, am 10 o'r gloch, a digon yw dyweyd ei fod yn un o'r cyfarfodydd goreu, mwyaf dymunol a dyddorol a gawsom erioed. Yr oedd yma ddau gôr o blant yn ein dyddori, dan arweiniad y brodyr da, gweithgar ac ymdrechol, Joseph A. Lewis ac Isaac T. Jones, y rhai a lafuriasant yn galed i berffeithio eu corau yn y darnau dymunol a ganwyd ganddynt. Yr achos fod dau gôr ydoedd, am fod y brawd Isaac T. Jones yn byw bedair milldir a haner i'r dwyrain oddiwrth yr addoldy, felly yr oedd braidd yn anghyfleus iddo fod yn bresenol yn y cyfarfodydd canu; gan hyny, penderfynodd godi côr o blant, sef côr Brush Creek, a gwnaethant yn ardderchog. Llwyddiant iddynt. Hefyd, gan fod Joseph A. Lewis yn byw yn nês i ganol y sefydliad, cymerodd yntau afael ddifrifol yn y gwaith, a ffurfiodd gôr da o blant mawr; ac i gynorthwyo daeth a'i organ ysblenydd i'r capel, a chwareuwyd yn ardderchog gan Mrs. Connor, ysgolfeistres Dawn, yr hon sydd yn alluog dros ben ar y *machine* cerddorol. Yr oedd yma barti hefyd, sef I. Thomas, Lewis E. Davies a Miss Ellenor Davies, y rhai a ganasant yn rhagorol. Canwyd hefyd gan Miss Emma Davies, diweddar o Lundain, yn rhagorol; hefyd, Mr. David Hughes a ganodd unawd.

Ond peidied neb a meddwl mai canu oedd y cwbl gyda ni, O, nage, yr oedd yma adroddiadau campus. Cawsom adroddiad rhagorol o "Godi'r Diafol," allan o'r Wawr, gan John Hughes, Low Gap; "Boreu Nadolig," gwaith Alltud G. Maelor, gan Mrs. Saddie J. Davies, yn rhagorol; "Diwedd Blwyddyn," gan T. J. Owens, &c. Dadl, gan Miss Fannie E. Richardson a Mary Davies; Dadl eto gan Miss Maggie Jane Davies a Miss Lizzie Tudor. Cawsom adroddiadau gan Willie a Johnny Davies, plant Mr. William J. Davies, y rhai sydd yn adroddwyr campus, ac amryw ddarnau eraill, yn y boreu, nad ydym yn eu cofio.

Am 2 o'r gloch cyfarfyddwyd drachefn. Wedi adroddiad y benod gyntaf yn Llyfr Job gan y brawd John Morgan, aed yn mlaen yn hwylus fel arfer. Cawsom adroddiadau bendigedig gan Miss Jane Williams, ei chwaer, Joanna Williams, a'u brawd, Tommie Williams, nes oeddym yn synu at eu côf. Cawsom adroddiad bendigedig gan Mrs. Saddie J. Davies, o waith y gweinidog, sef, "Y Celwrn Blawd," a ymddangosodd yn y *Glorian* flynyddau yn ol; adroddiad doniol a hyawdl dros ben gan fachgen bach o'r enw David Jones, ac amryw eraill gan David T. Lewis, Tommie Williams, a rhyw lu nad oes genym adgof o honynt, cyn diwedd y cwrdd. Cafwyd cystadleuaeth mewn darllen y deuddeg adnod cyntaf yn y 9fed benod o Ioan—pedwar yn yn cystadlu. Darllenodd y ddwy chwaer a'r brawd, sef Jane a Joanna Williams, yn nghyd a'u brawd Tommie, yn ardderchog, ag ystyried mai yn Gymraeg yr ydoedd y gystadleuaeth; ond Maggie James a gurodd, ac iddi hi y dyfarnodd y beirniad y wobr, yr hwn oedd yn rhoddi y wobr hefyd, sef "*John Ploughman's Talk.*" Cymerwyd y gadair gan y gweinidog, yr hwn a wnaeth ei oreu i gadw yr hwyl i fyny. Diweddwyd trwy ganu "Hen Wlad fy Nhadau," Mrs. Connor yn chwareu ar yr organ. Felly y treuliasom ni ein dydd gwyl Nadolig, a gallwn ddyweyd na fwynhasom ein hunain yn well erioed.

Mae yr eglwys a'r Ysgol Sabbothol yn hynod lewyrchus a gweithgar—undeb a thangnefedd yn elfenau amlwg yn y Gymdeithas. Mae y gweinidog wedi dechreu ar ei bumed flwyddyn, ac arwyddion amlwg, "os Duw a'i myn," y bydd yma y pump nesaf Dyma le *noble* i Fedyddwyr o'r Dwyrain, y rhai sydd yn awyddus am gymdeithas wir dda; mae yma le i amryw deuluoedd Bedyddiedig Cymreig i gael cartref da, dymunol, a chydmarol rad. "Deuwch gyda ni, a ni a wnawn ddaioni i chwi."

Yn gywir, Gwenffrwd.

Dawn, Mo.—Mae cydnabod caredigrwydd yn deilwng o honom fel bodau dibynol y naill ar y llall, felly dymunem drwy gyfrwng y Wawr gydnabod a chyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf fel eglwys yn y lle hwn i'r brawd a'r chwaer anwyl James W. Roberts a'i briod serchog Mrs. Sophia Roberts, am rodd werthfawr o *silver plated plates*, a dau *goblet* o'r un defnydd, at wasanaeth y cymundeb. Yr ydym ni yma wedi bod yn byw fel pe tae dan yr hen oruchwyliaeth gyda llestri cymundeb, &c; ond ymddengys i Mrs Roberts deimlo y dylem symud gam yn mlaen; ac felly wedi ych-

ydig o ymgyngoriad teuluol, wele y rhodd ar y bwrdd boreu Sabboth cyntaf yn Tachwedd, 1880. Buasem wedi cydnabod derbyniad y rhodd yn gynt, oni bae ein bod yn gobeithio y teimlai rhyw frawd neu chwaer dduwiol arall gyffelyb ysbryd i gyfanu *set* y *communion service*, drwy roddi i ni y *decanter*, ond hyd yn hyd ni wnaed; eithr drwy'r cyfan,

"Mae'n gobaith, er yn wan,
Daw'r llall i'r lan ryw ddydd.

Hyderwn y daw yn fuan. Derbynied y brawd a'r chwaer ddiolchgarwch unfrydol yr eglwys.

Dros yr eglwys, UN O'R BRODYR.

## YR YSGOL SABBOTHOL.

Y mae yr Ysgol Sabbothol yn fwy llewyrchus yn Providence, Pa., nag y mae wedi bod er's misoedd. Buwyd yn talu gwarogaeth i'r *Christmas Tree* nos cyn y Nadolig. Yr oedd y ffrwythau a grogent arni yn werthfawr, yn amryw a lluosog. Ar yr 8fed cafwyd *sleigh-ride* o'r fath oreu i Dalton, pellder ugain milldir, rhwng myned a dyfod. Y mae y pethau allanol hyn yn gwneyd y plant yn fywiog, ac yn datgan ymdrech yr athrawon a'r swyddogogion. Boed y cynydd meddyliol ac ysbrydol yn fawr hefyd, yw dymuniad

PLEIDIWR Y SEFYDLIAD.

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Ashland, Pa., Chwefror 20, 1881, bedyddiwyd dwy chwaer ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Yr oeddynt wedi bod yn aelodau parchus gyda yr Annibynwyr am lawer o flynyddau. Ychwanegwyd atom hefyd yr un dydd dri o dir gwrthgiliad, a thri eraill trwy lythyrau. Diolch i'r Arglwydd am ei wenau arnom. Llwydded eto. Gweinyddwyd gan y Parch. Jeremiah Griffiths.

## *PRIODWYD—*

Yn Kingston, Pa., Ionawr 15, 1881, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Sven Anderson a Miss Elizabeth Jenkins, y ddau o'r lle uchod.

Yn Kingston, Pa., Ionawr 25, 1881, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. William H. Lewis a Miss Mary M. Morgan, y ddau o'r lle uchod.

Medi 22, 1880, yn ei dy ei hun, gan y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., Mr. A. B. Clarke a Miss J. A. Baker, y ddau o Utica, Mo.

Ionawr 20, 1881, yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. R. M. Richardson, Mr. David W. Tudor a Miss Maggie Morgans, y ddau o Dawn, Mo. Yr oedd y ty yn orlawn o ddymunwyr da i'r pâr ieuanc, y rhai a gyflwynasant roddion gwerthfawr iddynt.

Ion 21, 1881, yn ei dy ei hun, gan y Parch. W. F Davies, Mr. David George, o Nanticoke, Pa., a Miss Mary Griffiths, o Parsons, Pa.

Chwef. 3, 1881, yn ei dy ei hun, gan y Parch. W. F. Davies, Mr. W. F James, o Nanticoke, Pa., a Miss Hannah Burleigh, o Pleasant Valley, Pa.

## *BU FARW—*

### MR. ISAAC R. DAVIES.

Brodor o Sir Aberteifi oedd y brawd Davies. Cafodd ei fagu rhwng ei bryniau cyfoethog, bryniau yn y rhai yr oedd Awdwr natur wedi gosod cyfoeth o fŵn plwm; a galwedigaeth llawer o'r trigolion yn nghylchoedd Coginan yw cloddio y trysor cuddiedig hwn, a'i ddwyn allan o'r ddaear. Yn Nghwmsymlog, mewn ty o'r enw Pantyrhedyn, y gwelodd gwrthddrych ein coffa oleu dydd gyntaf, yn y flwyddyn 1838. Enwau ei rieni oeddynt David a Jemima Davies. Diau genym fod y bryniau cylchynol, a golygfeydd rhamantus ei faboed, wedi gadael eu hargraff ar ei feddwl fel ffynonell y ddawn farddonol oedd yn ei enaid. Credwn fod pethau felly yn argraffu eu delweddau arnom drwy ystod ein hoes ar y ddaear, ac y bydd llawer o bethau y ddaear yn anwyl genym, ac nad anghofiwn hwynt yn y byd mawr tragywyddol, yn enwedig y fangre lle yr unwyd ni drwy ffydd â Mab Duw. Nis gwyddom nemawr am ei ddyddiau ieuengaidd, rhagor na ei fod wedi derbyn hyfforddiadau crefyddol. Cafodd ei ddwyn i fyny yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd; do, addysgwyd ef yn mhen ei ffordd, ac nid ymadawodd a'i llwybrau. Parhaodd yn selog dros yr Ysgol Sul hyd ddiwedd ei ddyddiau; ni wnelai dim ond afiechyd ei luddias i fod gyda ei ddosbarth. Dyma yr athrofa dduwinyddol yn yr hon y graddiwyd ef yn Nghyfundeb y Trefnyddion Wesleyaidd, canys dan aden yr enwad hwnw y dygwyd ef i fyny, a siaradai bob amser yn barchus am weinidogion y gwahanol gylchoedd parth eu hyawdledd a'u poblogrwydd. Yr oedd yntau yn gadarn yn yr Ysgrythyrau.

Cafodd ef fanteision dysgeidiaeth elfenol mwy na'r cyffredin, canys bu am yspaid o amser yn Ngholeg Llanbedr Pont Stephan (*Lampeter*) lle yr addysgir gwyr ieuainc i'r offeiriadaeth gan yr Eglwys Sefydledig; felly daeth Mr. Davies yn ysgolor o radd uchel, yn ramadegwr rhagorol yn y ddwy iaith, ac yn rhifyddwr penigamp. Yr oedd ei feddwl wedi ei gaboli yn dda, ac yn cynwys llawer o drysorau gwerthfawr; yr oedd ol gwrtaith ar ei gyfansoddiadau, a gwerthfawrogai goethder yn mhob man y gallai ei ganfod. Hoffai hanesyddiaeth

hen a diweddar. Yr oedd yn grynofa o wybodaeth gyffredinol. Yr oedd ei feddwl yn gogwyddo yn benaf at yr athronyddol; ond ni chymerai efe y byd i gynyg dadseilio yr hen wirioneddau sydd yn y Beibl; na, yr oedd ganddo barch mawr i'r Gair, a chredai ef fel Gair Duw.

Yr oedd yn gymeradwy iawn fel bardd a llenor. Carai weithiau barddonol

"O'r un rhyw a'r awen wir."

Ac mae ei gyfansoddiadau tlysion yntau ar fesurau rhydd a chaeth fel rhôs yn mhlith blodau yr ardd. Gallasem roddi engreifftiau o'i alluoedd awenyddol, ond digoned y ffaith, mai efe oedd yr ail oreu ar yr Englyn i'r Eryr yn Eisteddfod Genedlaethol ddiweddaf Hyde Park. Teimlai er yn ieuanc y dyddordeb mwyaf mewn moesau, gwybodaeth a chrefydd. Yr oedd gwyleidd-dra ei ysbryd, dichlynrwydd ei fuchedd, yn ei wneyd yn anwyl gan ei gydnabod, a'i safle mewn cymdeithas yn barchus.

Daeth i America yn y flwyddyn 1869, ac ymsefydlodd yn Providence, lle y treuliodd weddill ei ddyddiau. Gan nad oedd eglwys gan y Wesleyaid Cymreig yn Providence, arferai wrando yn nghapel y Bedyddwyr, ac yn fuan cyfnewidiodd ei olygiadau gyda golwg ar ddeiliaid a dull bedydd; ymwasgodd at y dysgyblion, a bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan y Parch. H. C Parry, gweinidog yr eglwys y pryd hwnw, a chafodd dderbyniad croesawus i gymdeithas a chymundeb yr enwad.

Yn 1870 ymunodd mewn priodas â Mrs. Catherine Morris, gweddw y diweddar ymdrechol frawd Thomas Morris, yr hwn a gyfarfyddodd a'i ddiwedd yn nhrychineb alaethus Avondale, gan ei gadael yn weddw, a phedwar o blant, mewn galar a cholled ar ei ol. Mae eraill, sef dwy ferch, plant Isaac Davies, yn awr heb un tad ar y ddaear, a gellir dweyd am y teulu yn awr fod y golled yn fwy nag y gallwn ei chyfrif, canys dyn rhadlawn, darbodus ac amyneddgar, oedd efe fel pen teulu—yn dyner fel tad, ac hawddgar fel priod Yr Arglwydd fyddo yn nawdd iddynt, a'i faner drostynt yn gariad.

Fel crefyddwr, bu ei fywyd yn wastad a difwlch, a gadawodd ddylanwad iachus ar ei ol; er wedi marw, y mae eto yn llefaru. Gwelwyd ynddo gymwysderau i fod yn swyddog eglwysig, a dewiswyd ef gan yr eglwys i'r swydd ddiaconaidd yn y flwyddyn 1871, yr hon a weinyddodd er boddlonrwydd cyffredinol, ac enillodd iddo ei hun radd dda, ac hyfder mawr. Yr oedd ei gyngorion bob amser yn dyner a derbyniol, ac felly yn enill edmygedd a pharch yn ngolwg ac yn nghalon ieuenctyd yr eglwys. Yr oedd ei arddull yn ddymunol a gwresog, a'i bethau bob amser yn bwyntog. Fel gweddiwr, yr oedd yn hynod afaelgar, ac ymdrechai â Duw o flaen yr orsedd fel tywysog, ac nid anghofiwn acenion ei daerineb.

Meddai ar ysbryd tangnefeddus. Dyn yn caru heddwch ydoedd, ac fel y cyfryw yn dwyn nodweddion plentyn Duw. Gwyddom y gallasai fod yn finiog, ond yr oedd yn medru bod dan lywodraeth amynedd hyd yn nod yn y storm. Dyn yn caru cymdeithas ydoedd; hoffai gyfeillach y meddwl coethedig, a byddai aml i ymwelwr yn ei dy ef. Perchid ef yn y gwaith, gan ei gymydogion, ac yn yr eglwys. Ond er hyn oll torwyd ef i lawr yn anterth ei nerth; yn nghanol ei fywyd yr ydoedd yn angau. Do, bu farw cyn bod yr dair a deugain oed.

Yr hyn a achlysurodd ei farwolaeth ydoedd anffawd yn y gwaith flynyddau yn ol, ac yn ddiweddarach dechreuodd chwydd (*tumor*) ymgasglu ar y lle y doluriwyd ef, a dyoddefodd loesion llymion, poenau trywanol, y naw wythnos y bu wedi ei gyfyngu i'w ystafell. Ymgyngorwyd â'r meddygon goreu yn ninasoedd Wilkesbarre a Scranton—nid llai na saith neu wyth o honynt fu yn gweini arno. Cafodd bob cymorth ac ymgeledd a allasai priod ffyddlawn a chyfeillion caredig estyn iddo. Ni edrychid ar na thraul na thrafferth i'w wellâu. Penderfynwyd fod *operation* lawfeddygol i gael ei wneyd arno, yr hon a gyflawnwyd yn y modd mwyaf medrus gan dri o feddygon cyfrifol; ond deallwyd trwy y gorchwyl hwn nad oedd i fod gyda ni ar y ddaear ond byr amser. Bu fyw ryw dri diwrnod, ac ar yr 22ain o Ionawr ymadawodd yr enaid o'r ty o glai—hunodd yn dawel yn yr angau—do, aeth i dangnefedd, i gydgyfranogi llawenydd ei Arglwydd.

Daeth llu mawr o'i gyfeillion a'i gydnabod yn nghyd ddydd ei angladd. Yn yr addoldy, aeth y brawd Ebenezer Lloyd, Hyde Park, drwy ranau arweiniol y cyfarfod, a phregethwyd yn Saesoneg gan y brawd J. P. Harris. Mae yr oll sydd farwol o hono wedi ei ddaearu yn mynwent Washburn Street, Hyde Park, hyd ganiad udgorn y farn, pryd y daw bywyd a harddwch i'r rhai sydd yn huno yn yr Iesu.

I. Davies fu'n frawd ufudd—i'r Iesu,
Ei rasol Arweinydd;
Aeth drwy'r llen i'r llawenydd,
Swyn ei Dduw drodd nos yn ddydd.

Plentyn nef—mab tangnefedd—oedd Isaac,
Claddasom ei waeledd;
Ond i'r lan daw'n eirianwedd,
I oleu'r byw o law'r bedd.

*Providence, Pa.* IEUAN DDU.

MR. LEWIS OWENS.

Ionawr 27, 1881, yn Remsen, N. Y., bu farw Mr. Lewis Owens, yn 71 mlwydd oed. Ymfudodd ef a'i deulu i'r wlad hon o Ty Newydd, Llandegwyn, yn agos i'r Traeth Bach, Sir Feirionydd, G. C., dair blynedd a deugain yn ol. Gadawodd weddw ac amryw o blant i alaru eu colled ar ei ol, yr oll yn alluog i ofalu am danynt eu hunain. Yr oedd

yn dad-yn-nghyfraith i Mr. David Lloyd, Marcy. Bu yn proffesu crefydd gyda y Wesleyaid Cymreig yn Utica, South Trenton a Ninety-Six.

Claddwyd ef y Sadwrn canlynol yn Fairchild. Pregethwyd yn nghapel y Bedyddwyr yn Bordwell, yn Saesoneg, gan y Parch. Mr. Smith, o Remsen, ac yn Gymraeg gan yr ysgrifenydd, OWEN F. PARRY.

MR EDWARD BROWN.

Hydref 14, 1880, yn Church Hill, Ohio, bu fyrw Edward Brown, yn 28 mlwydd oed. Mab ydoedd i Edward a Jane Brown, gynt o Ben-y Garn, D. C. Bu ei dad farw pan oedd yn ieuanc. Ymunodd ei fam mewn priodas â William Griffiths Yr oedd yn y wlad hon cyn ei fod yn dair oed. Bedyddiwyd ef flynyddoedd yn ol gan y Parch. H. G. James.

Pan yn dyfod allan o'r gwaith, ddwy flynedd yn ol, anafwyd ef ar ei gefn, trwy yr hyn yr analluogwyd ef i symud o'i wely am yn agos i ddwy flynedd. Dyoddefodd ei gystudd yd dawel a siriol. Yr oedd yn gobeithio am "wlad well." Claddwyd ef Hydref 16eg. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. H. Phillips a James F. Richards, Newburgh, O. Heddwch i'w lwch. Ar gais y perthynasau. Yr eiddoch, IOTA.

# Newyddion a Nodion.

GAN J. EDRED JONES.

Golwg gymylog, fygythiol, ac anaddawol, sydd ar orwel y byd politicaidd a chrefyddol. Ysbryd aflonyddwch, cyfnewidiad, a chwyldroad, sydd yn bodoli yn gyffredin. Mae cymdeithas yn derfysglyd, a'i dylanwad yn treiddio yn ddwfn islaw crystyn yr arwynebedd. Yn Ewrop, y mae'r pwnc Dwyreiniol yn para i fod yn asgwrn y gynen, ac nid yw ei benderfyniad heddychlon ddim yn nes nag ydoedd dranoeth i ohiriad cynadledd Berlin. Mae sisialau grwgnachlyd Rwssia, yn parhau yn fygythiol, ac mae'r elfen Socialistaidd, yn cynhyrfu Germany a Ffrainc i'w gwaelodion, tra mae Lloegr, rhwng ei hanesmwythder cartrefol a'i rhyfeloedd tramorol, yn teimlo ei hun mewn penbleth ofnadwy. Mewn gair mae holl Ewrop mewn anesmwythder pryderus, a'i gorseddau yn siglo, am fod yr egwyddorion mwyaf radicalaidd yn cael eu hau â llaw agored, ac yn dechreu dwyn ffrwyth. Mae y peth yn cynyddu, yn dyfnhau, yn lledu, ac yn cryfhau yn barhaus, felly mae amgylchiadau pethau yn dyfod yn fwy sobr a pheryglus o hyd. Mae fel cynhyrfiad tan-ddaearol, yn bygwth ffrwydriad dychrynllyd yn y man. Ac

NID YW AMERICA YN RHYDD

oddiwrth y dylanwadau aflonydd hyn. Fel mae nifer y gwallgofiaid terfysglyd yn lluosogi trwy ymfudiaeth, y mae'r perygl yma yn cynyddu o hyd. Gelynion penderfynol i bob llywodraeth, trefn, a llwyddiant yw'r giwdod *Communisticaidd* a *Socialistaidd* sydd yn ymfudo yma, wrth y miloedd, yn flynyddol. Y mae lle i ofni fod ein drysau agored, ein cyfreithiau tyner, a'n croesawiad gwresog i bob ysgarthion tramorol, yn ein gosod yn hynod agored i goleddu, i fwydo, a meithrin gwiber boliticaidd, yr hon, maes o law, a gladda ei cholyn gwenwynig yn ddiofn, yn y fonwes gymdeithasol. Ymddengys i mi mai'r dosparth yna yw gelynion mwyaf peryglus y wlad hon yn bresenol. Nid ydynt yn segur na dydd na nos. Y maent ar ddwyn allan newyddiadur, o tan yr enw awgrymiadol "*Y Terfysgwr*," ac ymffrostir y bydd derbynwyr y rhifyn cyntaf yn ugain mil o rifedi! Y mae genym gawr i ymwneyd ag ef, a'i wendid mwyaf yw ei fod yn elyn i Dduw ac i ddyn—yn elyn i bob llywodraeth, i bob trefn, i bob iawnderau, i bob rhyddid, ac i bob llwyddiant cymdeithasol, ond, hyd yn hyn, gwlad y breintiau mawr yw America—yn neillduol pan gydmerir hi a sefyllfa resynus yr hen fyd—gwlad y rhyddid mawr, heddwch mawr, llawnder mawr, llwyddiant mawr, a phosiblrwydd mawr. Ac, yn nghanol y bendithion anghydmarol hyn, y mae ein llywodraeth ar

NEWID DAU ARLYWYDD

unwaith eto, a'r Ty Gwyn, yn Washington, yn myned i gael *tenant* newydd. Erbyn neu cyn, y byddo'r rhifyn hwn o'r WAWR yn llaw y darllen-

ydd, bydd Mr. Hayes wedi trosglwyddo awenau y llywodraeth i ofal Mr. Garfield, gan adael ar ei ol y fath *record* a adlewyrcha yr anrhydedd mwyaf ar unrhyw Arlywydd dyfodol a ddaw i fyny ag ef. Cydnabyddir, gan bob meddwl diragfarn, fod gweinyddiaeth Mr. Hayes wedi bod yn un o'r goreuon a welodd y wlad eto. Ac oni b'ai fod gan y cyhoedd yr ymddiried mwyaf trwyadl yn ngalluoedd, cymhwysder, onestrwydd, a phurdeb difrycheulyd y Cadfridog Garfield, buasai mwy o bryder, nag sydd, wrth weled y weinyddiaeth bresenol yn terfynu.

Y mae llwyddiant gweinyddiaeth Garfield, fel eraill, yn ymddibynu llawer ar y modd y dechreua ei yrfa swyddogol. Ymddengys fod paratoadau yn cael eu gwneyd, ar y radd helaethaf a mwyaf costfawr, er gwneyd ei urddfreiniad, ar y 4ydd o Fawrth, y mwyaf gorwych a welwyd eto yn Washington. Bydd y ddinas yn llawn o filwyr, bydd y cyflegrau yn chwyddo allan eu cynwysiad tanllyd; bydd y banerau yn chwifio yn awelon y Potomac; bydd Pennsylvania Avenue, a'r *Capitol Hill*, yn ddu gan fodau dynol; a bydd yr Arlywydd etholedig a'i ddewisolion, yn cael eu llusgo mewn pomp a rhwysgfawredd i'r Capitol, er cymeryd y llw swyddogol, a chyflawniad y seremoniau perthynol i waith y dydd, a'r cwbl i ddiweddu gyda "*grand ball,*" y noswaith hono.

Y mae'r ysgrifenydd yn cydnabod ei fod yn rhy ddwl i weled dyben nac addasrwydd y fath rialtwch a phomp ar y fath achlysur, na pha fodd y gallant gydweddu a symlrwydd gwerin-lywodraeth y wlad. Heblaw hyn, y mae Mr. Garfield yn cael ei ystyried yn *Gristion proffesedig*, ac yn bregethwr achlysurol o'r efengyl sydd yn groes i bob ffol ymddangosiad, a gwag ogoniant o'r fath. Yr oeddym wedi gobeithio y buasai Mr. Garfield, yn neillduol, yn gosod ei wyneb yn erbyn y ffwlbri anesgusodol a diangenraid hyn. Pe buasai ond gwneyd—hawlio cael ei urddfreinio yn syml a dirodres—buasai yn anrhydedd mawr i'r efengyl, ac yn glod oesol i'w enw yntau. Yr oedd llawer mwy o grefydd na gorwychder yn urddfreiniad George Washington, y tro cyntaf yn ninas New York. Dywed yr hen groniclau iddo ddyfod allan am 12 o'r gloch, *wedi treulio amser hir mewn gweddi*, yn cael ei dywys gan Mr. Adams, yr Islywydd, i'w gadair swyddogol. Yr oedd ei wisg yn deilwng o'r dyn a'r llywodraeth o ran ei phlaender—*home-spun suit.* Cymerodd y llw, a dyna'r seremoni trosodd.

Dywedir mae urddfreiniad Thomas Jefferson, oedd y mwyaf dirodres a fu yn Washington erioed. Ar ddydd ei urddfreiniad gwisgodd bar o ddillad wedi eu gwneyd gartref, marchogodd ei geffyl o'i letty i'r Capitol, yn nghwmni dau neu dri o'i gyfeillion, cylymodd ei anifail a'i ddwylaw ei hun, wrth y *fence*, ac wedi cymeryd ei lw swyddogol, efe a ddychwelodd yr un modd ag y daeth, a dyna ddiwedd y stori.

Buasai yn ddyddorol i roddi bras ddarluniad o bob urddfreiniad i lawr hyd Hayes, pe buasai gofod y golygydd, ac amynedd y darllenydd yn caniatau, ond gan na wnant, ni chaf ond nodi mai amgylchiadau urddfreiniad Andrew Jackson, a James K. Polk, oeddynt y mwyaf gwarthus a welwyd yn Washington erioed; a gobeithio na welir byth mo'u cyffelyb, tra gwerinlywodraeth yn bodoli.

Yn nghanol holl rwysgfawredd, balchder, ac anystyriaeth dynion, y mae angau wrthi yn brysur o hyd, gan symud pawb yn ddiwahaniaeth oddiar y chwareu-fwrdd, a'u gosod yn *gydradd* yn y bedd. Nos Sabboth, Chwefror 13eg bu farw

YR ANRHYDEDDUS FERNANDO WOOD

o New York, yn ffynonau poethion Arkansas, lle yr oedd wedi myned rai dyddiau yn flaenorol, er ceisio adferiad iechyd. Cododd y dyn hwn i sefyllfa uchel a phwysig, o ddechreuad isel iawn. Ganwyd ef yn Philadelphia yn 1812, ond magwyd ef yn ninas New York. Ni chafodd nemawr o fanteision addysg foreuol, oblegid cawn ef yn gweini yn swyddfa *Broker*, am $2 yr wythnos, pan yr oedd yn 13eg oed.

Trwy ddiwydrwydd a chynildeb, yr oedd ganddo ddigon o arian i ddechreu cadw *grocery store*, fechan, ei hun pan yn 20 oed. Taflodd ei hun i *politics*, a chododd o ris i ris, nes cael ei ethol yn Faer y ddinas a naw gwaith i Dy y Cynrychiolwyr yn Washington. Pan fu farw, yr oedd yn gadeirydd y "*Ways and Means Committee*," y pwyllgor pwysicaf perthynol i'r Ty. Bu *posiblrwydd* mawr o flaen Mr. Wood, ond methiant fu ei fywyd cyhoeddus, am iddo suddo y gwladweinydd yn y *politician*. Nid yw yn batrwn teilwng i'r darllenydd ieuanc i'w efelychu. Y mae genym hefyd i gofnodi marwolaeth

THOMAS CARLYLE,

ar y 5ed o Chwefror, yn Lloegr. Dichon mai hwn ydoedd un o gymeriadau hynotaf yr oes, ar lawer ystyriaeth. Ganwyd ef yn Ecclefechan, yn Scotland, Rhag. 4ydd 1795. Addysgwyd ef yn mhrif ysgol Edinburgh, gyda golwg ar y weinidogaeth Bresbyteraidd, ond gwelodd nad oedd hi yn gydnaws a'i dueddiadau. Trodd ei feddwl at lenyddiaeth, a thorodd ei enw, fel ysgrifenydd ac awdwr, mewn llythyrenau breision ar golofn uchaf y gangen hono. Yr oedd ganddo feddwl cawraidd. Credai yn drwyadl yn ngoruchafiaeth cyfiawnder yn y byd—nas gall cyfeiliornad ac anghyfiawnder lwyddo ar ddaear Duw o hyd.

Edrychai ar weithgarwch fel peth urddasol a chysegredig. Dywedai mai dau gymeriad o ddynion ydoedd ef yn anrhydeddu. Y cyntaf oedd y gweithiwr caled. "Parchus i mi yw y dwylaw celyd, garw a cheimion; parchus hefyd yw y gwyneb rhuchiog, croendrwythedig gan y tywydd, am ei fod yn wyneb dyn sydd yn byw yn ddynol. Trosom ni y camwyd dy gefn; trosom ni mae dy aelodau lluniaidd wedi eu hanffurfio, eto llafuria yn mlaen, yr wyt yn llwybr dy ddyledswydd, yn llafurio am yr anhebgorol, y "bara beunyddiol." Yr ail gymeriad oedd, "yr hwn a welir yn llafurio am yr anhebgorol ysbrydol—bara y bywyd."

Er cymaint oedd miniogrwydd brawddegau, a llymder iaith y dyn rhyfeddol hwn, ar rhai amgylchiadau, rhaid i mi gredu ei fod ar y cyfan, yn cael ei lywodraethu gan egwyddorion mwy rhinweddol, ac amcanion mwy didwyll, nad oes ond ychydig yn yr oes ffugfoesol, hunanol, aur-addoliadol, a rhagrithiol hon, yn gwybod dim yn brofiadol am eu dylanwad ymarferol. Nid oedd ond ychydig yn adwain Thomas Carlyle. Rhyw Ioan Fedyddiwr, yn taranu yn anialwch cymdeithasol y byd ydoedd. Yr oedd yn gyfaill i'r gwan, yn *champion* i'r gorthrymedig, yn elyn i ormes, twyll, a rhith o bob natur. Dywedai ychydig cyn marw: "Yr wyf wedi blino—blino hyd angau—ar y llafur, y ffwdan, a'r ymryson hyn; i weled *camwedd* o hyd yn carlamu yn ei gerbyd a phedwar, a'r *iawn*, o hyd yn cael ei wthio i'r ffos, a'r llaid, gan dyrfa anystyriol o ddiod-lyncwyr meddwedig. Yr wyf yn dysgwyl yn amyneddgar am y diwedd. Deued yn fuan; yr wyf yn barod; y mae hiraeth arnaf am fyned." Cafodd ei ddymuniad. Bydd yr oesau dyfodol yn deall Carlyle yn well.

---

## BYR-EBION.

—Pregethodd Aaron Perkins, gweinidog perthynol i'r Bedyddwyr, ei 70ain bregeth flynyddol yn Bergen Heights, Jersey City, yn ddiweddar. Y mae Mr. Perkins dros 90 mlwydd oed.

—Cymerwyd i fyny Michael Castello yn New York am frathu ymaith glust dynes. Gofynodd yr Ynad iddo yn mha le yr oedd y glust. Atebodd Castello iddo ei llyncu hi.

—Aeth tri o ddynion allan mewn cwch un dydd Sabboth yn ddiweddar, i hela hwyaid gwylltion ar yr afon Niagara, ryw bellder uwchlaw y rhaiadr; aeth eu cwch yn dyn rhwng darnau mawr o iâ, a methasant a'i ryddhau nes oeddynt yn rhy agos at y rhaiadr i allu dianc, ac felly cawsant eu cario dros y dibyn ofnadwy i ddinystr.

—Mae yn Mor y De ynysoedd ag y mae y trigolion yn parhau yn ddyn fwytawyr. Y flwyddyn ddiweddaf syrthiodd morwyr dwy long Brydeinig i ddwylaw yr anwariaid hyn, a chawsant eu lladd a'u bwyta.

*"Gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a pherffeithydd ein ffydd ni."*

# Y WAWR;

—SEF—

## CYLCHGRAWN MISOL

# Y Bedyddwyr Cymreig

## YN AMERICA.


DAN OLYGIAETH

Y PARCH. OWEN GRIFFITH (*GIRALDUS*),

***UTICA, N. Y.***


## CYFROL VI.


UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.

1882.

# ANERCHIAD.

---

ANWYL GYFEILLION Y WAWR:

Trwy diriondeb Tad y trugareddau, a'ch cynorthwy chwithau, dyma y chweched gyfrol o'r WAWR wedi ei dwyn i derfyniad. Nid yw y Cyhoeddiad yn mhob peth yr hyn y dymunem iddo fod, ond ar y cyfan credwn ei fod yn go dda. Hyn sydd yn sicr, fod y WAWR o ran celfyddydwaith, o'r dechreu hyd yn awr, yn rhagori *llawer* ar ddim a gynygiwyd o'r blaen yn y ffurf hon i'r Bedyddwyr Cymreig yn America. Yr ydym yn cyfeirio at bapyr, inc, argraffwaith, plygiad, rhwymiad, destlusrwydd, amlen ac ymddangosiad y WAWR. Rhaid i bob un diragfarn addef fod y Cyhoeddiad yn y pethau hyn yn tra rhagori. Mewn perthynas i'r cynwysiad, mae yn gystal ag y gallwn ei wneuthur. Ac mae amryw o bersonau deallgar wedi tystiolaethu wrthym yn awr a phryd arall fod y WAWR yn rhagorol o ran ei chynwysiad. Modd bynag, dysgwyliwn y bydd yn y flwyddyn ddyfodol yn rhagori mewn amryw bethau eto. Mae amryw frodyr medrus wedi addaw ein cynorthwyo, yn ychwanegol at y gohebwyr adnabyddus sydd genym yn barod. Da genym ddeall fod ysgrifau y Parchn. William Jones a Llewelyn Rees wedi rhoddi y fath foddlonrwydd cyffredinol i'n darllenwyr. Dymunwn ar fod iddynt barhau. Mae y Parch. John W. Williams, D. D., Hyde Park, Pa., wedi addaw ysgrifenu yn fisol i'r WAWR, ac yr ydym yn addaw i ni ein hunain wleddoedd breision oddiwrtho ef. Mae y Parch. D. Rhoslyn Davies wedi addaw rhoi detholion o "Fflachiadau Athrylith" fisol, sef pigion o weithiau enwogion hen a diweddar, Cymreig a Seisonig. Bydd y brawd ffyddlon, y Parch. William F. Davies, yn parhau i ysgrifenu ar y Genadaeth, a gwyddom y bydd ein darllenwyr yn falch o glywed hyn, canys maent yn canmol llawer ar ei ysgrifau ef, sef "Y Maes Cenadol." Mae y Parch. Ebenezer Edwards, Coatesville, Pa., wedi rhoddi ei addewid y bydd iddo ysgrifenu dan y penawd, "Cip-drem i blith Enwadau Eraill." Bwriada y Golygydd wneyd ei ran yntau, hyd eithaf ei allu. Ar y cyfan, yr ydym yn edrych yn mlaen at y flwyddyn ddyfodol gyda chryn hyder. Yr ydym yn awyddus i wneyd y WAWR yn Gyhoeddiad da, buddiol, gwerth ei ddarllen. Er cyrhaedd hyn, deisyfwn am gydymdrech y Bedyddwyr Cymreig yn gyffredinol.

Dymunwn yma gyflwyno ein diolchgarwch puraf i'n gohebwyr, derbynwyr, dosbarthwyr, a'n cynorthwywyr yn mhob man, a dymunwn hefyd barhad ffyddlondeb pawb; gyda hyn a bendith Duw, dysgwyliwn wneyd y WAWR yn fendith i'n darllenwyr. Yr eiddoch yn barchus,

OWEN GRIFFITH.

# CYNWYSIAD.



☞ Nid yw y Cynwysiad uchod yn cynwys ond yr erthyglau blaenaf yn mhob rhifyn.

# Y WAWR.

CYF. VI.] EBRILL, 1881. [RHIF. 1.

## BRYS I FEDYDDIO.

"Brys i fedyddio! Beth a feddyliwch wrth hyny? Ai myned i'r dwfr yn rhy frysiog gyda'r ymofynydd a feddylir? Os felly, credwyf fôd lle i ddiwygio yn fawr. Gwelsom er ein gofid, aml i dro, weinidog yn rhuthro i'r dwfr ac yn claddu y bedyddiedig yn drystfawr ac annymunol, a thrwy hyny gwneyd cam mawr a'r ordinhad sanctaidd. Da iawn fyddai llai o frys."

Dealled y darllenydd, beth bynag, am wir ystyr penawd ein hysgrif—nad brys yn yr ystyr soniedig a dybiwn yma; nage, nage, brys *wrth* fedyddio fyddai hyny—brys *i* fedyddio a ddywedwn yn bresenol.

Wedi sylwi ar ffeithiau yn taro ar y mater hwn, ac wedi ymddyddan â rhai brodyr doeth a da, barnwn yn ddifrifol ein bod yn dra agos i'r gwir wrth ddyweyd, fod gormod o frys i fedyddio personau yn fynych yn ein plith. Beth pe cyfeirid sylw ac ystyriaeth, i ddechreu, at yr holl niferoedd gwrthgilwyr a geir trwy y sefydliadau Cymreig yn y wlad hon; o'r braidd nad ellid dweyd eu bod yn lluosocach mewn llawer man nag aelodau eglwys y lle. A ydym i feddwl fod y rhai hyn i gyd, neu y mwyafrif o honynt, erioed wedi bod yn wir gredinwyr yn Mab Duw, ac wedi edifarhau am eu bai, a phrofi nerthoedd y byd a ddaw? Ac mae lle i ofni fod lluoedd o'r gwrthgilwyr hyn yn mhellach nag erioed oddiwrth deyrnas nefoedd. Onid ydyw yn naturiol amheu a fuont *dan brawf* digonol erioed cyn eu harwain i ddwfr y bedydd? Nid yw y Bedyddwyr, ac yn neillduol y Bedyddwyr Cymreig, yn arfer corlanu pechaduriaid trwy gynal cyfarfodydd cynhyrfus a baldorddus, fel mae rhai enwadau crefyddol yn arfer gwneyd, pryd y gorfodir bron, yr eiddilaidd, yr ofnus, a'r unplyg, ac weithiau bersonau uwchraddol, i ymfyddino dan eu baner. Y canlyniad o hyny fydd iddynt fyned gydag awelon gwrthgiliadol. Nid yw ein pobl ni, trwy drugaredd, yn syrthio i'r amryfusedd cadarn yna, a'i gyffelyb. Modd bynag y mae gyda ni ryw bethau ag ydynt yn meddu yr un canlyniadau annymunol i raddau pell gyda golwg ar y mater dan sylw. Y mae rhyw fath o lacrwydd rhyfeddol wedi llithro i mewn i'r eglwysi ar y pen hwn. Heblaw math o gyffes syml, fer, gan yr ymgeisydd, o'i ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, a thystiolaeth gydsyniol o ysgrythyroldeb ffydd ac ymarferiad yr Enwad, ni cheir nemawr o arbrawf pellach. Yn gysylltiol â hyn eto, fel yn cyd-redeg i'r un cyfeiriad pen-agored, amlygir brys gan y gweinidog weithiau am gael ychwanegiad at ei eglwys, fel ffrwyth ei lafur a'i weinidogaeth ef, yr hyn yn ei le, ac i derfynau priodol, sydd yn eithaf canmoladwy. Gallwn nodi yn mhellach eto, fel canlyniad gormod brys i fedyddio, yn ychwanegol at nifer y gwrthgilwyr, nodwedd arwynebol amryw ydynt yn aros ar yr enw. Oni welir cryn lawer o absenoldeb sêl, brwdfrydedd, tangnefedd, a gweithgarwch pobl yn ofni Duw?

I ddod at yr hyn sydd ar ein meddwl yn fyr ac yn blaen, dywedwn, ein bod yn credu nad yw personau fyddont am

ymuno â'r eglwys yn cael eu rhoddi o dan arbrawf digonol cyn bedydd. Cymerer, i ddechreu, ymofynwyr ieuainc, dyweder o ddeuddeg i ugain oed, onid hollol anmhriodol, gyda'r graddau o egwyddori a arferwn, ydyw agor drws yr eglwys iddynt, pan mewn gwirionedd, na wyddant ond y nesaf peth i ddim am yr hyn maent yn ei gylch, yn fynych iawn? Wrth ein bod yn ceisio cadw yn mhell oddiwrth fedydd babanod, a Christioneiddio y rhai bach newydd eni, yr ydym, efallai, wedi ein gogwyddo i fyned i gyfeiriad na fynem tuag at ieuenctyd ein cynulleidfaoedd, ac hyd yn nod ymofynwyr am grefydd. Pe byddai cyfarfodydd egwyddori ymofynwyr ieuainc yn cael eu cadw unwaith yn yr wythnos, am rai misoedd, ac ynddynt eu dysgu am athrawiaethau ac ordinhadau y grefydd Gristionogol, yn ddiau byddai y canlyniadau yn fendithiol iddynt am eu hoes—argreffid trwy hyn ar eu meddwl bwysigrwydd yr hyn y maent yn ei gylch—rhoddai argraff ar eu calon o bwysfawredd y bywyd Cristionogol, ac o'r cyfrifoldeb gorfawr o wneyd proffes gyhoeddus o Fab Duw. Gydag ymgeiswyr oedranus, byddai yr un arbrawf yn fendithiol, gydag ychydig o gyfaddasiad ar eu cyfer hwy fel rhai mwy profiadol o'r byd a'i ddrygau.

Oni ddarllenwn fod gan yr eglwys gyntefig, yn ystod y canrifoedd cyntaf ar ol dyddiau yr apostolion, *catechumens*, sef personau o dan arbrawf addysgiadol a pharotoadol i wneyd proffes gyhoeddus o'r Gwaredwr yn y bedydd? Yn ol a ddeallwn, cedwid hwy yn yr arbrawf hwn am dymor maith yn fynych—a rhaid fod yr effeithiau yn ddymunol, canys pobl wedi eu harbrofi a'u dysgu i deyrnas nefoedd felly oedd y rhai hyny a ddyoddefasant "ymdrech mawr o helbulon" er mwyn eu crefydd yn ddiwyro—pobl o'u plith hwy a ddyoddefasant angerdd y tân, a nerthwyd o wendid, a wnaethpwyd yn gryfion mewn rhyfel, a yrasant fyddinoedd yr estroniaid i gilio. "Cyfyng yw y porth, a chul yw y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd, ac ychydig yw y rhai sydd yn ei chael hi." Y mae hyn hefyd yn unol â chomisiwn ein Harglwydd, "Ewch, a *dysgwch* yr holl genedloedd." Nid yw yn rhy foreu i'r rhieni wneyd hyn ar yr aelwyd. Dymunol ydyw dysgu i'r plant ranau o air yr Arglwydd—dysgu adnodau iddynt—dysgu hymnau iddynt—eu holwyddori yn dda am Dduw ac Iesu Grist—cael ganddynt ateb yn mha le, a chan bwy, a pha fodd, y cafodd Iesu ei fedyddio. O, y fath gyfrifoldeb sydd ar rieni yn y cyfeiriad hwn! Byddai gwneyd hyn yn parotoi yr ieuenctyd at yr addysg pellach wedi dyfod i dir argyhoeddiad.

Mewn cysylltiad â phersonau mewn oed, nid ystyriwn mai personau o fuchedd flaenorol annheilwng ac ansefydlog yn unig, a ddylid gadw o dan brawf ac addysgiaeth; credwn na ddylid gwneyd eithriad o'r moesol a'r di-son-am-dano. Y mae eisiau gwneyd hwnw fel dyn bach, yn ostyngedig. Nid yw bod yn onest a moesol yn ddigon o grefydd i neb—ac nid yw yn anmhosibl fod cymeriadau o'r fath hyn yn dwyn tebygolrwydd mawr yn ein dyddiau ni i yr hyn ydoedd y Phariseaid yn nyddiau ein Harglwydd. Dysger y bobl—ymbwyller mewn mater mor fawr—na fyddwch mewn gormod brys i fedyddio neb. Bydded y bedyddiedigion oll wedi eu dysgu i deyrnas nefoedd.

---

## Y PARCH. DAVID WILLIAMS,

### LLANGYFELACH.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE, PA.

Ar Sabboth y Pasg, yn Ebrill, 1880, yr oeddwn yn un o'r gwahoddedigion i'r "wyl arbenig ar newydd loer," yn Salem, Llangyfelach, uwchben Treforris, gerllaw Abertawe, ac nid yn mhell o Lanelli, mangre fy maboed i. A'r boreu braf hwnw yr oedd anian megys yn addoli, y bryniau yn ymsancteiddio, y cornentydd yn murmur eu mawl, y gog yn dechreu yr oedfa, adar y perthi yn cyfarch y gwanwyn, a'r defaid yn agor eu cymanfa o'r llechweddi. Aethum o Nantymilwr, gyda y caredig Mr. David Jones, at addoldy mawr Salem, ac yno yn cwrdd a ni yr oedd y

Parch. David Williams, gweinidog y gynulleidfa. Edrychais ar fedd y Parch. Morgan Rhys, a gladdwyd yn y flwyddyn 1808, yn fwy na 80 mlwydd oed; ac yn ei ymyl y mae gwely y Parch. David Thomas, a fu farw yn 1838, yn 46 oed; a chofebion yn mur yr addoldy am y gweinidogion hyny. Dywedai Mr. Williams wrthyf, "Deuwch yn awr, a gwelwch y maen hwn yn y mur; dyma fy maen i, dyma fy medd, a dyma y man y byddaf fi cyn hir yn noswylio." Teimlais yn annghyffredin; aethom i'r addoldy, a bu yno addoli, yn y cofion am y bedd dystaw, y bywyd gwell, a'r byd lle na ddaw angau iddo. Rhyw ychydig neu ddim oeddwn yn feddwl y buasai y dyn trwyadl, y credadyn pur, y gweinidog gofalus, a'r pregethwr mawr, wedi ei gladdu cyn pen y flwyddyn; eto dyna fel y bu, canys y mae y Parch. David Williams wedi marw er Chwefror 2, 1881, yn agos i 70 mlwydd oed.

1. *Ei gychwvniad boreuol.* Efe a aned yn yr ardal y bu yn byw ynddi, ryw fis, a dydd, ac awr, yn y flwyddyn 1811. Dyna y flwyddyn y bu farw Thomas Grey, Abermeurig; yr aeth Titus Lewis, Caerfyrddin, i'w fedd; yr urddwyd John Herring yn Bethania, Aberteifi; y meddyliodd Joseph Harris am gychwyn *Seren Gomer*, ac y ganwyd i John a Jane Williams fab a ddaeth i fwy o sylw yn Seion na Syr William Hamilton, Immanuel Kant, neu Thomas Carlyle. Efe a ymunodd yn foreu â byddin Iesu, gyda'r Annibynwyr yn Bryn-teg, rhwng Casllwchyn a Phonlliw, yn mharthau gorllewinol Morganwg. Tybiwn mai gweinidog Brynteg yr adeg hono oedd y Parch. Lewis Powell, mab yr hyglod Jonathan Powell, Rhosymeirch, yn Mon. Aeth Mr. Lewis Powell wedi hyny i'r Eglwys Sefydledig, a bu farw yn offeiriad Llanon, yn Sir Gaerfyrddin, oddeutu y flwyddyn 1840. Ryw flwyddyn wedi ei gladdu, adgyweiriwyd yr eglwys hono, a chafwyd trawst o dderw yn y to, a dyddiad arno yn profi ei fod yno er ys tua mil o flynyddoedd; a mawr fu yr Eglwysyddion yn frolio, esgobyddion yn fynegu, ac efryddion yn foli ar oedran y pren a gafwyd yn yr hen dy. Eithr wedi i Mr. Lewis Powell gefnu, yr oedd Mr. David Williams yn glynu gyda y fyddin Annibynol, hyd oni chafodd ei argyhoeddi nad yw bedydd babanod ond geulith a gwegi, camgred a chyfeiliornad, neu ddefod ddisylfaen. Bedyddiwyd ef yn Gerizim, yn 1834, gan y Parch. Daniel Williams. Ymbriododd â Miss Jane Williams, merch y gweinidog dawnus; a rhagorach gwraig ni ddaeth i ran nemawr un; ac urddwyd Mr. Williams yn Gerizim, yn y flwyddyn 1838, a bu yn weinidog yno gyda Salem, Llangyfelach, hyd derfyn ei oes. Dilynai aradr yr amaethwr, ffordd y ffermwr, helfa yr hwsmon, a gyrfa y medelwyr, gyda y weinidogaeth. Dywedir, er hyny, mai Mrs. Williams oedd dan y baich ffarmwrol, a'i phriod parchedig yn y maes myfyriol, y gerddi duwinyddol, a mwnglawdd y meini caboledig, a dalant fwy na Seba, llwch Golconda, ac aur Ophir.

2. *Ei gymeriad cynyddol.* Ac a mi yn hogyn tua phymtheg mlwydd oed, yn addoldy y Felinfoel, yn Ebrill, y fl. 1841, yno y gwelais ac y clywais ddyn tal a gwridog, teneu a bywiog, trydanaidd a galluog, yn pregethu ar Salm 102: 16: "Pan adeilado yr Arglwydd Seion," &c. Rhwydd ei rifo yr adeg hono gydag awenyddion y moelydd, beirdd y bryniau, myfyrwyr y mynyddoedd, ac efrydwyr y Beibl. Daeth ar ol hyny yn un o gewri y cynulleidfaoedd drwy Ddeheudir Cymru. Efe oedd Apolos yr areithfa, Barnabas y bobl, Clement eu cymanfa, Dafydd eu cân, Ezeciel eu swynion, ac Ioan yn y torfeydd. Ac nid rhyfedd, canys yr oedd, am a wn i, yn meddu arabedd Jonathan Swift, tlysau Stephen Charnock, treiddgarwch Thomas Adams, a dyfnderau John Flavel. Puritan yn ei arddull, pererin yn ei fro, a phregethwr a wnai i'r bobl wenu ac wylo. Meddai y parabl pereiddiaf, y llafar effeithiolaf, a'r llais swyneiddiaf a ddisgynodd braidd erioed oddiar enau dyn ar glyw cynulleidfa. Efe a mi a wahoddwyd i'r wyl yn y Rhos, Mountain Ash, yn 1868. Pregethodd Mr. Wil-

liams nos Lun, o flaen dau eraill, ar weddnewidiad Iesu, ac yr oedd y pregethwr ar y mynydd uchel o'r neilldu — Richard Shon yn dringo Tabor i ganu—rhyw ddiacon gyda'r Annibynwyr yn codi ei ffon i fyny ac yn moli—y gweinidogion eraill yn delwi, a'r dyrfa fawr wedi ymgolli yn y mwynhad. Meddyliais droion mai oedfa ryfedd fyddai cael Hughes, Maesteg; Evan Thomas, Casnewydd, a David Williams, Salem, Llangyfelach, i bregethu ynddi, a "Duw hefyd" yn amlwg gyda "y tri hyny."

3. *Ei gyfuniad dylanwadol.* Trwy ymroad Mr. Williams yr adeiladwyd Bethesda, Cwmaman. Bu yn weinidog yno hefyd am lawer o flwyddi; a byddai pobl lawer yn dyfod yno o gyfeiriad Gibeah, mawndir Corwen, a godreuon y Mynydd Du. Bedyddiodd ugeiniau yn afon Aman; gwelodd ei lafur yn llwyddo, a'r cynydd yn fawr. Ebenezer Cross Inn, hefyd, a fu dan ei ofal. Elai yno dros y mynyddoedd, a'r nos iddo yn dy, y niwl iddo yn ganopi, ei ffon iddo yn gwmni, a'i *lantern* yn oleuni. Troai i fewn i "ddeadell ei gyfeillion," a neb yn holi, "Ai heddychol dy ddyfodiad di?" canys yr oedd y tangnefeddwr yn y lle, y trugarog yn y llu, ac un o'r telynorion yn eu dyddanu. Ei fuchedd-ddihalog, ei ymarweddiad difwlch, a'i ddawn mawr, a'i codasant i anrhydedd, i barch, clod, ac edmygedd, yn mhlith ei gydnabyddion am ddeg-a-deugain o flwyddi, a myned yr oedd ei glod yn fwyfwy.

4. *Ei gyfeiriad effeithiol.* Mae yn ymyl addoldy Gerizim balas o'r enw y "Gendiden Fawr," ac Annibynwyr yn ei berchenogi er ys canrifoedd. Methwyd enill un o'r teulu i ymuno â'r Bedyddwyr hyd haf y flwyddyn 1879, pryd y darfu i Mr. Williams fedyddio Thomas Llewelyn, Ysw., a diacon arall oddiwrth yr Annibynwyr, yn y Felindre, a derbyn y ddau, nid i Ebal, ond i "Gerizim," wedi myned dros yr Iorddonen i gwmni Simeon, a Lefi, a Judah, ac Issachar, a Joseph, a Benjamin. Deut. 27 : 12. A hyderwn y safant ar y mynydd mwy, gyda y llwythau, ac i fendithio y llu. Mwy nag eraill o enwogion, ni ddiangodd Mr. Williams heb drallodau. Gwelodd gladdu ei ferch hynaf, a hi yn briod, ac yn byw yn Amanfford; ac yn fwy diweddar bu farw ei fab Daniel, yn ddyn ieuanc, hoenus, hynaws, a hynod am ei grefydd, yn 35 mlwydd oed. Y mae Mrs. Williams eto yn aros, a gwraig rinweddol yw hi, a phobl ei gwlad a wyddont hyny am dani.

5. *Ei gyfodiad gwaredigol.* Treuliais y Sabboth diweddaf y bum yn Salem, Llangyfelach, yn ddedwydd yn nghwmni y brawd ieuanc mwyn a dawnus, Richard Evans, Hengoed, a'r cawr caredig Jones, Felinfoel, canys yr oeddent hwy yno gyda mi, neu yr oeddwn i yno gyda hwy. Treuliais ddyddiau dedwydd wedi hyny mewn cwrdd cyhoeddus yn Clydach, a chyda ni yno y pregethwr ieuanc hynod addawol y Parch. John Rees, Penuel, Cwmafon. Er syndod i mi y mae efe wedi marw er ys misoedd, a'm gadael i ar ol i ymholi, "Pa hyd y bydd dy daith di, a pha bryd y dychweli?" Eithr ni ddaw efe mwy ataf fi, ond y mae yn dysgwyl am danaf i groesi, a chwrdd mewn rhagorach cwmpeini. Marwolaeth y Parch. William Thomas, Rhydwyn, a David Williams, Salem, a wna angau yn anwylach, y byd yn ddyeithrach, y bedd yn dynerach, a'r broydd tragywyddol yn oleuach i mi.

Gyrwch air yn ol i Salem,
  Am yr anthem genir fry;
Dyged angel ar ei edyn
  Ambell nodyn atom ni.

Gyrwch air i Nantymilwr,
  Am y teulu dedwydd draw,
Dichon carai Mrs. Williams
  Gael y nodyn yn ei llaw.

Pob tramwyfa mwy a ddarfu,
  Nid oes trên i roddi tro,
Aros yma raid am ronyn,
  Yna esgyn fry i'ch bro.

---

Y rhai sydd yn ceisio teyrnas Dduw o flaen pob peth sydd yn cael pob peth; ond y rhai sydd yn ceisio pob peth o flaen teyrnas Dduw, nid ydynt yn cael dim.

[I'r Wawr.]

## LLYFR GENESIS A LLYFR Y DATGUDDIAD.

GAN H. CERNYW WILLIAMS.

Llyfr rhyfedd yw llyfr y Datguddiad, y llyfr anhawddaf ei ddeall mae'n debyg o bob llyfr yn y gyfrol ddwyfol, ac eto teimlwn ryw swyn rhyfedd yn ei gynwysiad—mae rhyw swyn rhyfedd i'r meddwl dynol mewn dirgelwch a phellder; a pha ryfedd, gan fod dirgelwch lawer yn perthyn iddo ef ei hunan? Hoffa sefyll ar lan y môr, gan syllu ar ymdafliad ei donau yn y pellder, a gwrando ar ei fiwsig cyfriniol, er mor ddyeithrol ydyw.

Bu rhai yn ceisio tynu i lawr oddiwrth ragoriaeth cyfansoddiad llyfr y Datguddiad, am fod y gweledydd wedi gwneyd defnydd mor helaeth o lyfrau yr Hen Destament, ond camp fawr athrylith ddynol yw hyny, os gellir gwneyd a chadw personoliaeth amlwg yr un pryd. Mewn rhyw ystyr, yr hwn sydd yn gwneyd y defnydd helaethaf o awduron eraill, geir yn fynych yn fwyaf gwreiddiol. Nid am gloddio y cerryg o'r chwarel, a dwyn y coed o'r fforest y cenir clod Syr Christopher Wren, ond am eu cynllunio at eu gilydd i wneyd adeilad ardderchog St. Paul. Cafodd Shakespeare ddefnyddiau ei dreith-ganau a'u chwareu-gerddi o wahanol fanau, ond efe ei hun a'u creodd yn y ffurf y maent ynddi yn bresenol. Gwyddai aml un heblaw efe am gynwys yr hanesion a ddefnyddiwyd ganddo, ond pwy heblaw y bardd mil-eneidiog hwnw a allasai eu cynull a'u trefnu i'w lleoedd, gan ddweyd drwy rym ei athrylith wrth un, "Dos," ac wrth arall, "Tyred?" I wneyd i fyny ei Goll Gwynfa, gosododd John Milton wybodaethau lawer dan dreth, ac eto erys yn un o brif feddylwyr yr oesau. Felly mae darluniau llyfr y Datguddiad wedi eu cymeryd o bum llyfr Moses, ac o'r prophwydi Ezeciel, Daniel, a Zecharia; galwyd heibio paradwys Eden ac anialwch Sinai, a sylwyd ar afonydd, mynyddoedd, a ffrwythau gwlad Canaan.

Y mae cynwysiad llyfr Genesis yn neillduol yn cael ei adlewyrchu yma. Y mae y Beibl yn dechreu gyda gwaith Duw yn creu y nefoedd a'r ddaear—ac y mae yn diweddu gyda hanes y greadigaeth newydd—y nefoedd newydd a daear newydd a gafwyd trwy gariad Duw. Mynega Genesis am ddyn wedi ei osod ar y cyntaf yn mharadwys Eden, lle yr oedd afon fywiol yn rhedeg i ddyfrhau y tir, a phren y bywyd ar ei glan, ond yn dra boreu yn ei hanes, drwy gael ei orchfygu gan bechod, collodd ei freintiau, trowyd ef allan, a gosodwyd y cerubiaid gyda'r cleddyf tanllyd, ysgwydedig i gadw ffordd pren y bywyd. Hysbysir yn y Datguddiad am agoriad paradwys well, afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel grisial yn rhedeg drwyddi, a phren y bywyd yn dwyn deuddeg rhyw ffrwyth yn tyfu yn yr hinsawdd iachus, heb un nos yn taflu ei chysgod du ar ol y diwrnod, ac heb un gauaf yn y flwyddyn.

Yn Genesis hysbysir ni am y sarph hudolus yn llwyddo i arwain dynolryw ar gyfeiliorn—Adda ac Efa ar ol cychwyn mordaith lwyddianus dan awel cysur yn myned yn wawd i ellyllon ar draethell dinystr. Ond yn y Datguddiad dywedir "a bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd." Clywir llef uchel yn dywedyd yn y nef "Yr awr hon y daeth iachawdwriaeth a nerth, a theyrnas ein Duw ni, a gallu ei Grist ef, canys cyhuddwr ein brodyr ni a fwriwyd i'r llawr."

Yn Genesis gwelwn yr Adda cyntaf drwy weithred o anufudd-dod, yn agor llif-ddorau marwolaeth a gwae, i ddyfod i orchuddio y ddaear, ac i daenu malldod dros genedlaethau, ond yn y Dadguddiad gwelwn yr ail Adda, drwy fywyd o ufudd-dod, a thrwy farw yn aberth, yn dwyn bendith bywyd i'r rhai fu farw, ac yn dweyd wrth ddynoliaeth syrthiedig, "Yn dy waed bydd fyw." "Tystir i gwymp yr Adda cyntaf, gan ocheneidiau, gruddfanau, a dagrau yr oesoedd; a thystir i fuddugoliaeth yr ail gan fyrddiynau o fyrddiynau, a miloedd o filoedd yn dweyd â llef uchel, "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a

laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith."

Fel hyn gwelir mai cyweirnod llyfr Genesis yw *gorchfygiad* dyn drwy bechod—dyna'r achos iddo golli Gwynfa, dyna yr achos o'r diluw ymdaenai yn fôr dinystriol dros y ddaear breswyliedig—dyna achosodd y gyflafan yn Babel, lle rhwystrwyd amcanion y bobl i adeiladu dinas a'i nen yn cyrhaedd y nefoedd. Yr un peth a dystir gan dân a brwmstan Sodom a Gomorra, a'r holl drychinebau galarus a boenent blant dynion o oes i oes—ond cyweirnod peraidd llyfr y Dadguddiad yw *buddugoliaeth*. Y Llew o lwyth Juda yn *gorchfygu* i agoryd y llyfr, ac i ddatod ei seliau ef, a thrwy ei fuddugoliaeth ef ar y groes, rhoddi nerth i'r credadyn i orchfygu ei holl elynion. Addewir gwobr ogoneddus i'r *gorchfygwr* yn mhob un o'r saith eglwys. Mae yn hynod fod y gwobrwyon hyn yn gynyddol o ran eu cyfeiriad amseryddol—wrth eglwys Ephesus dywedir y caiff y gorchfygwr fwyta o bren y bywyd (pen. 2: 7); wrth eglwys Smyrna dywedir, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, ni chaiff ddim niwed oddiwrth yr ail farwolaeth." (2: 11.)

Mae llyfr Genesis yn llawn o Dduw, ond Duw fel barnwr cyfiawn sydd yn dyfod i'r golwg yno amlycaf, yn cau pyrth paradwys, yn dyrysu yr iaith ac yn atal adeiladaeth y ddinas yn Babel, yn dwyn dwfr diluw ar y ddaear, ac yn gwlawio tân ar ddinasoedd y gwastadedd. Ymddengys yr un Duw yn llyfr y Dadguddiad yn llawn trugaredd a gras—yn agor dorau paradwys ragorach o flaen gorchfygwyr a ffyddloniaid, yn gollwng y ddinas fawr, y Jerusalem newydd o'r nef i'r ddaear, yn gwaredu y credinwyr o Sodom ysbrydol, ac yn eu dwyn i ganu ar y môr o wydr yr anthem na bydd diwedd ar ei blas. Dywedai Coleridge, ei fod yn dychmygu pan yn sangu ar gopa un o fryniau yr Alpau fod pob elfen a phob llecyn yn sibrwd yr enw *Duw*—fod y llithr-eira mawreddog (*avalanche*) yr alprew (*glaciers*) oesol, ie o'r nef-fynyddau hyn oll yn taranu y gair Duw, gan mor ddwyfol oedd yr olygfa—felly y gallwn ninau ddweyd am lyfr y Dadguddiad, mae y golygfeydd i gyd yn ddwyfol; mae mawredd dwyfol ar y gweithrediadau. Mor aruchel y desgrifiad o'r olygfa dan agoriad y chweched sêl, "A ser y nef a syrthiasant ar y ddaear, fel y mae y ffigysbren yn bwrw ei ffigys gleision, pan ei hysgydwer gan wynt mawr." Y mae anadl Duw yn ysgwyd y ffurfafen, ac o'i flaen ceir y nef yn myned heibio fel "llyfr wedi ei blygu yn nghyd." A oes yn y Beibl, neu allan o hono yn holl gylch llewyddiaeth y ddaear, gyffyrddiad mwy ofnadwy na'r un canlynol: "Ac mi a welais orseddfainc wen fawr, a'r hwn oedd yn eistedd arni, oddiwrth wyneb yr hwn y ffodd y ddaear a'r nef, *a lle ni chafwyd iddynt.*" (Dat. 20: 11.) Mor ddedwydd teimlo fod y Duw hwn yn gwahodd mewn cymod. "Y mae yr Ysbryd a'i briodasferch yn dywedyd, Tyred; a'r hwn sydd yn clywed, dyweded, Tyred; a'r hwn sydd a syched arno, deued; ar hwn sydd yn ewyllysio, cymeryd ddwfr y bywyd yn rhad."

## BEDYDDWYR BOREUOL PENNSYLVANIA.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, COATSVILLE, PA.

RHAN I.

Meddyliais y gallasai fod yn ddyddorol i ddarllenwyr y "WAWR" i mi olrain ychydig o'r hanes mewn cysylltiad â Bedyddwyr Boreuol y parthau hyn; ac i'r dyben arbenig o ddangos fod amryw o'r eglwysi yn ddyledus, naill ai am eu bodolaeth neu eu defnyddioldeb, i *ymfudwyr o wlad ein tadau.* "Eglwys yr Ymfudwyr" y gelwid *un* o honynt. Cyfeiriwn at yr un-deg-chwech a gychwynasant o hafan Milford, neu Aber-dau-gleddyf, Sir Benfro, mor foreu a Meh., 1701, ar fwrdd y llong "*William and Mary,*" ac a laniasant yn Philadelphia Medi 8fed. Daethant a gweinidog gyda hwy, sef y Parch. Thomas Griffiths. Dyma ddechreuad Pennepec, ac oddi yma aeth nifer allan i sefydlu y "*Welsh Tract*" ac

i gychwyn yr eglwysi sydd hyd heddyw yn dwyn yr enw yma. (Hanes y Bedyddwyr, gan D. Benedict, t.d. 627.) Crybwyllir gan yr un awdwr i Eglwys y Dyffryn Mawr, tua haner y ffordd rhwng Coatsville a Philadelphia, gael ei sefydlu yn 1711, gan bobl o Gymru. Yr oedd Hugh Davies, eu gweinidog cyntaf, yn Gymro o Gymru, a'i olynydd, John Davies. yr un modd. Ar ol hwn gweinyddodd Dafydd Jones a Thomas Roberts a John T. Jenkins, ar wahanol adegau, i eglwys y *Great Valley* (tu d. 601). Tua 10 milldir oddiwrthym y mae *Eglwys Brandywine*, at hon cyfeiriwn yn ol llaw. Am *Eglwys Montgomery* dywed Benedict, (t. d. 604), mai Cymry Bedyddiedig a gychwynasasant hon, yn 1719. Ei gweinidog cyntaf oedd y Parch. Benj. Griffith, a aned yn Sir Aberteifi, yn y fl. 1688. Yn Radnor, Cymru, y ganed ei olynydd hefyd, sef y Parch. John Thomas. Yn hanes Bedyddwyr Boreuol Philadelphia gan Spencer, (tu d. 51), dywedir mai John Evans a'i wraig Sarah, oeddynt yn aelodau cyn gadael Cymru yn 1810, oedd y *first settlers* o Fedyddwyr yn Montgomery. Arferai y Parch. Abel Morgan bregethu yn achlysurol yn nhy Mr. Evans. Eglwys Gymreig oedd hon, ar y cychwyn, "*not being familiar with the English language*" ebe Spencer. O Montgomery yr aeth allan Eglwys *New Britain*, yn 1754; a phregethwyr genedigol o Gymru, oedd y tri cyntaf a'i gwasanaethasant. sef Joseph Eaton, William Davies, a Joshua Jones. (*Benedict*, tu d. 605.)

Hyn mewn modd o ragymadrodd.

Yn ddiweddar ymwelais a hen wr, o waedoliaeth Cymreig, yn y gymdogaeth hon, a chefais foddhad nid ychydig, yn ystod yr ymweliad. Ganwyd yr hen frawd Chwefror 8fed, 1792, ac y mae yn wrol heddyw; ei glyw yn rhagorol, ond ei olygon yn pallu. Ei enw yw John Griffith Powell, blaenor hynaf eglwys Hephzibah, o'r hon yr oedd Coatsville yn gangen. Nid yw y capel dros dair milldir oddiwrthym. Gyda llaw, y mae y Powelliaid yn *llwyth* Diaconaidd. Bu tad yr hen wr hwn yn flaenor am flynyddau lawer, ac felly ei dad yntau hefyd. Yn bresenol, y mae tri o feibion J. G. P. yn gweini yn y swydd—*dau* yr eglwys Hephzibah, ac *un* yn eglwys Coatsville. *Abel* sydd gyda ni, ac nid oferedd yw yn y swydd urddasol! Y mae gyda y ffyddlonaf yn yr eglwys, yn barod i bob gair a gweithred dda.

Cefais y fraint o edrych dros, a dyfynu o hen lyfr a ysgrifenwyd gan dad yr hen flaenor yn 1792, sef y flwyddyn y ganwyd yr "un grasol!" yr Ioan hwn y buom yn ei weled y dydd o'r blaen. Bwriadwn *ail* ymweled a'r blaenor ac *ail* ymgyngori a'r ysgrif-lyfr gwerthfawr yn o fuan. Rhoddwn, efallai, dair neu bedair o erthyglau byrion i'r "Wawr," yn gosod allan ffrwyth ein hymddyddan â'r hen frawd (y mae ei gof yn rhagorol), a'n hefrydiaeth yn yr hen lyfr. Meddyliwn fod y ffeithiau o werth hanesyddol i'r enwad. ac yn gyfaddas neillduol i fisolyn Cymreig sydd wir enwadol! Nodwn yma fod y Powelliaid yn dal hen gysylltiadau pwysig â'r enwad, y tu allan i'r cylch Diaconaidd. Daeth hyn, fel y gwel y darllenydd yn o fuan, drwy lwynau yr enwog Abel Griffiths, mab Benj. Griffith, a fu am yspaid 43 ml. yn weinidog yn Montgomery. Hên-daid Abel oedd Morgan Ap Rhydderch, a anwyd yn mhlwyf Llanllyfni, Sir Gaerfyrddin, yn y fl. 1688, ac a ymfudodd i'r wlad hon, yn 1710. Bedyddiwyd Rhydderch gan y Parch. William Jones, yn 1667, yn nyfroedd afon Teifi, ger Castell-Newydd-Emlyn. Yr oedd yn byw y pryd hyny yn yr Allt-goch, plwyf Llanwenog. Meibion i hwn oedd yr enwog weinidogion Abel ac Enoch Morgan. Yn hanes y Bedyddwyr gan Joshua Thomas, ceir sylw o'r ymfudiaeth yn 1710. Dywed fod Abel "yn weinidog Blaenau, Mynwy." Cyfeiria Spencer ato (tu d. 48) mewn ymadroddion a gyfieithwn fel y canlyn: "Chwef. 14eg. 1711, cafwyd dyfodiad croesawus arall ar ein glanau—y Parch. Abel Morgan. Ganwyd ef yn Nghymru, yn 1673. Pan yn un-deg-naw oed dechreuodd bregethu, ac urddwyd ef yn 1696.* * * Galwyd ef i gymeryd prif ofal eglwys Pennepeck; derbyniodd

yr alwad, a phregethodd bob yn ail, yno ac yn Philadelphia. Yr oedd yn frawd i Enoch Morgan, trydydd weinidog y *Welsh Tract* ac yn haner brawd i Benj. Griffiths, Montgomery.

Dywed Dr. Samuel Jones, y Cymro dysgedig a urddwyd yn weinidog ar eglwys Pennepeck yn y fl. 1763, am hwn, "Dywedir ei fod yn weithiwr diflin, a thra defnyddiol yn ei weinidogaeth. * * * Ysgrifenodd a chyhoeddodd y *Concordance* Cymraeg cyntaf a ymddangosodd yn yr iaith." (Benedict, tu dal. 606.) Sonia Benedict am Abel Morgan, un arall a fu yn weinidog yn Middleton, New Jersey. Yr oedd yn enedigol o'r *Welsh Tract*. Ganwyd hwn Ebrill 18, 1713, a bu yn athrofa y Parch. Thomas Evans, yn parotoi i waith y weinidogaeth. (Tu dal. 582.)

I ddychwelyd, bellach, at gysylltiad Abel Griffiths a theulu y diaconiaid. Yr oedd John Powell yr hynaf wedi çolli ei wraig gyntaf, a daeth Rachel Griffiths, merch Abel, yn ail wraig iddo yn y fl. 1785. Yr oedd wedi ei fedyddio gan Abel Griffiths er Hydref, 1770. Nid oedd Abel yn bregethwr mawr; ymddibynai ar y fferm am gynaliaeth, a chyfansoddai ei bregethau rhwng cyrn yr aradr, gan mwyaf. Yr oedd ei dir yn ymyl y capel bychan, yn *Newlin Township*. Prynodd ddarn o dir yn Kentucky, ac yn 1791'aeth i lawr i'w weled a'i wellhau, ac ni ddychwelodd yn ei ol. Bu farw yno yn mhen tua dwy flynedd. Bedyddiwyd William ei fab yn 1788, ac urddwyd ef yn ddiacon yn eglwys Hephzibah, Tachwedd, 1822; bu hefyd yn Drysorydd ac Ysgrifenydd yr eglwys hono o'i chychwyniad hyd oni bu efe farw, yn 1836. Yr oedd un o feibion diacon Griffiths, a fedyddiwyd yn 1831, pan yn 21 oed, yn weinidog da i Iesu Grist, ac yn dra llwyddianus. Bedyddiodd hwn, sef y Parch. Thomas Griffiths, nid llai na 413 o bersonau, yn nhymor ei weinidogaeth, ac y mae ei goffadwriaeth yn fendigedig.

Un gair eto, cyn terfynu yr ysgrif hon, sef gair am ferch Abel Griffiths, neu Mrs. Rachel Powell Bu yn hwyrfrydig i wneyd proffes o ffydd yn Nghrist. Yr oedd yn 32 mlwydd oed pan fedyddiwyd hi, yn 1786. Pa fodd bynag, cafodd oes anarferol o hir; ni bu farw hyd y flwyddyn 1854, yn *gant oed*, o fewn tri-mis-ar-ddeg. Dros yspaid y cyfnod maith o 68 mlynedd bu yn aelod da, duwiol, defnyddiol, o eglwys Hephzibah! Ei mab hi yw yr hen wr yr ymwelsom ag ef, ac a'n breintiodd â'r ffeithiau teuluaidd a nodasom. Yr oedd taid, neu dad-cu yr enwog Horatio Gates Jones, Ysw., o Philadelphia, yn gefnder i Mrs. Powell, ac yr oedd hwnw yn enwog yn rhyfeloedd y chwyldroad ac 1812.

---

## ELIZABETH BUNYAN,

*Priod yr Anfarwol John Bunyan, Awdwr "Taith y Pererin."*

CYFIEITHIEDIG GAN Y PARCH R. M. RICHARDSON, DAWN, MO.

*Mr. Gol.*—Trwy eich hynawsedd, a'ch caniatad, carwn i'r hanesyn a ganlyn gael ymddangos yn y WAWR, gan fod rhinweddau chwiorydd duwiol i raddau helaeth yn cael eu gadael yn ddisylw, a'u claddu yn medd ebargofiant, heb fod y byd yn gwybod nemawr am eu hymdrechion clodfawr, eu hunan-ymwadiad anghydmarol, a'u gwroldeb di-ail mewn cysylltiad ag achos y Bendigedig "Iesu o Nazareth." Dywedodd rhyw un, nad ydym yn cofio pwy, nad oes ond un engraifft yn holl hanes Prydain Fawr o *fenyw* yn gwneyd ei hymddangosiad yn *Westminster Hall*, ac o flaen barnwyr y brawdlys (*Judges of Assize*) er gwneyd amddiffyniad ffurfiol yn achos yr anffortunus; a'r fenyw hono ydoedd gwraig ieuanc, brydferth, dduwiol, a da, yr enwog John Bunyan, yr hwn ydoedd ar y pryd wedi syrthio yn aberth er mwyn cydwybod. Er fod y fenyw rinweddol Elizabeth Bunyan, yn sefyll mewn unigrwydd yn mhlith ei rhyw, yn y cymeriad o *eiriol-wraig*, eto ni thraddodwyd anerchiad amddiffynol mwy didwyll a hyawdl erioed o flaen barn-

wyr y brawdlys yn unrhyw fan, nag a wnaeth hi yn ffafr ei phriod hoff.

Yn gyntaf oll, gwrolwyd hi i ymddangos o flaen Ty yr Arglwyddi, i ofyn i'r *Supreme Court of Appeals* i ysgafnhau ychydig ar erwinder cyfraith yr erlidigaeth. Dywedir i'r Arglwyddi ei hateb yn arw, a'i chyfarwyddo at *farnwyr y brawdlys*, y rhai a gondemniasant ei phriod; ac heb golli dim amser hi a aeth yn ol eu cyfarwyddyd.

Yn y Brawdlys yr oedd *Syr Matthew Hale* yn llywyddu, yn cael ei gynorthwyo gan y Barnwr Twisden, yr hwn ydoedd ynad mileinig a didrugaredd. Yr oedd ei ymddangosiad a'i ymddygiadau yn hollol wahanol i'r Arglwydd Brif Farnwr, yr hwn oedd yn naturiol dawel a chydymdeimladol. Yr ydym yn ddyledus i'r enwog John Bunyan, am ddesgrifiad o ymddygiad y barnwr Twisden ar yr amgylchiad nodedig hwn. Dywed ef: "Fe ddarfu i'r Barnwr Twisden, mewn natur gynhyrfiedig a chroes, ddyweyd wrth fy hoff wraig Elizabeth, fod ei phriod yn berson condemniedig, ac nas gellid ei ryddhau heb iddo ymrwymo i beidio pregethu rhagor." Ond er fod Elizabeth Bunyan yn caru ei phriod yn fawr, carai Grist a'i groes yn fwy, a rhoddodd ar ddeall i'r llys, nad allai ei phriod ddim pwrcasu ei ryddid ar draul bod yn ddystaw yn nghylch trugaredd a gras Duw'r nefoedd. "Mae yn anwireddus," meddai, "i ddyweyd ei fod wedi gwneyd drwg; oblegid yn y cyfarfod lle y pregethai yr oedd presenoldeb Duw gyda hwynt." "A wna ef beidio pregethu rhagor?" rhuai y Barnwr Twisden, fel llew digofus. "Fy Arglwydd," ebe Elizabeth Bunyan, "ni all beidio pregethu, tra medr lefaru," "ond, fy Arglwyddi," ebai, a'r dagrau tryloewon yn llanw ei llygaid, "yn awr meddyliwch, am fynyd, fod genym bedwar o blant bychain ac *un o honynt yn* DDALL, ac nid oes gan un o honynt ddim i fyw arno, tra byddo eu tad yn y carchar, ond ymddibynu ar garedigrwydd Cristionogion, a gofal rhagluniaeth ddwyfol. O! fy Arglwyddi, coeliwch fi, pan ddaliwyd fy mhriod, a finau yn ieuanc, ac yn ddibrofiad mewn amgylchiadau o'r fath, yr oedd yr ergyd yn ofnadwy, teimlwn fy hun mewn gwewyr esgor, a rhyddhawyd fi ar blentyn marw!!"

Yr oedd hyn yn ormod i *Syr Matthew Hale*, yr hwn a gyfryngodd drwy dori allan, "*Ow! fenyw ofidus.*" Yna gofynodd beth oedd galwedigaeth ei gwr? "*Tingcerdd* ydoedd, eich Arglwyddiaeth," atebai hithau "ac am mai *tingcerdd* ydyw, ac yn ddyn tylawd, mae yn cael ei ddiystyru, ac ni chaiff gyfiawnder." "Na," ebai yr Arglwydd Brif Farnwr, "mae cyfraith yn gryfach na dagrau, ac y mae eich gwr wedi tori y gyfraith; felly nid oes ond un person yn y llywodraeth fedr bardynu eich priod, a hwnw ydyw y Brenin. Ow! fenyw ofidus, mae yn wir ddrwg genyf o herwydd eich adfyd." Ond druan o honi, pa fodd y gallai menyw wanaidd, a thorgalonus fel ydoedd hi weithio ei ffordd at droedfainc y Brenin! Beth bynag, daeth bellach i ddeall mai ofer ydoedd dysgwyl cyfiawnder a thrugaredd gan lys daearol mewn achos fel yr eiddo hi; ac felly gyda gwroldeb moesol di-ail, y cyfryw nad yw i'w gael ond ar restr y ffydd Cristionogol, cyfeiriodd at ei dagrau, fel yr oedd yn ymadael, a llefarodd eiriau, nad ânt byth ar ddifancoll tra fyddo iaith y Saeson yn cael ei siarad. "Gwelwch y dagrau hyn," (meddai) "ond nid wyf yn llefain drosof fy hun, ond yr wyf yn tywallt dagrau drosoch chwi, pan feddyliwyf y cyfrifoldeb mawr sydd ar greaduriaid gwaelion fel chwi i'w roddi yn ymddangosiad ein Harglwydd o'r nef," meddai.

Cymerodd hyn le cyn i John Bunyan gael ei adnabod fel awdwr, ïe, cyn iddo feddwl am amlinelliad ei "*Pilgrim's Progress.*" Cafodd ei gadw yn ngharchar, er ei atal i bregethu; ond drwy gyfrwng yr erlidigaeth anghyfiawn hon, nerthwyd ef i ysgrifenu llyfr yn ei gell yn y carchardy, yr hwn a bregethwyd drwy Loegr am genedlaethau, a bydd eto yn gyfrwng i oleuo a chynorthwyo miloedd Seion ar eu taith i wlad y gogoniant. "O'r Arglwydd y daeth hyn," &c. Mae John ac Elizabeth Bunyan, eu plentyn dall a'r cyfan, ni a hyder-

wn, mewn gwlad nad yw swn troed y gorthrymydd i'w glywed, na dim erlidigaeth byth i'w chael, ond,

"Pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes,
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angeu loes."

---

## HANES Y BEDYDDWYR YN MON.

GAN CHRISTMAS EVANS.

### RHAN IV.

3. *Amddifadrwydd.*—Gwnaethpwyd yr Eglwysi yma yn amddifad o lawer o ddynion defnyddiol. Pe buasent yn aros yma, buasent o gysur i'w teuluoedd, ac i'r frawdoliaeth. Bu Hugh Williams, Bodwyn, mewn profedigaeth fawr i fyned tua'r America. Gwerthodd dyddyn o dir am chwarter y pris a gaffai ef yn awr am dano, pe byddai yn ei feddiant. Gwerthodd afaleb (*lease*) Carrog, yr hyn oedd yn fawr golled iddo. Eithr cafodd ei berswadio i beidio myned yno; ac felly cafodd aros yn ei hen wlad gyda'i freintiau a'i ddefnydd; ond drygodd ei hun o fil o bunoedd, wrth ystyried pobpeth. Evan Williams, o'r Cefnysgwydd, a hwyliodd tuag yno; un a allasai fod o lawer o ddefnydd yma; heblaw amryw eraill. Yr ydym yn cofnodi y pethau hyn, fel y gallo pobl yr oesoedd a ddaw weled goleudy (*lighthouse*) uwchben y creigiau lle y torodd ac y briwiodd yn dost longau eu hen frodyr, trwy ddichellion y diafol. Oni buasai daioni Duw Jacob, buasem wedi ein gwneyd fel Adma a Seboim. Ond yr ydym yn aros yn y tir hyd yma, a gwell agwedd arnom nag a fu erioed o'r blaen.

Mae'r hanes hon yn dechreu yn y flwyddyn 1779, ac yn diweddu yn y flwyddyn 1812: ac yn cynwys ychydig ychwaneg na deg ar hugain o flynyddoedd. Mae Christmas Evans yn arfer myned unwaith yn y flwyddyn i ymweled a llawer o Eglwysi y Deheudir; ac yn bod yn y ddwy Gymanfa ddeheuol yn fynych; ond yn enwedig yr un orllewinol. Mae ef yn cael ei gyfrif yn un o'r pregethwyr sydd yn teithio fwyaf yn ei amser yn Nghymru.

*Daeth Ysbryd Ymraniad i mewn atom.* Dygwyddodd i John Jones o Ramoth, yn Sir Feirionydd, ddarllen rhai o lyfrau y blaid hono, sef gwaith Archibald McLean, S. Ecking, a Robert Sandeman. Mae lliw ysgrythyrol iawn yn cael ei roddi gan y bobl hyn ar eu trefn. Maent yn dywedyd llawer yn erbyn hunan-gyfiawnder; eto mae'r holl blaid yn debycach o lawer i'r Pharisead yn y ddameg nag i'r Publican; canys y maent hwy yn cyfiawnhau eu hunain, ac yn diystyru ereill. Dyna brif nod yr Ymraniad. Degymu y mintys a'r anis, gan fyned heibio pethau trymach y gyfraith, sydd burion arwyddair i'w osod ar ddalen gyntaf y grefydd falch hon. Darfu i John Jones, o Ramoth, dderbyn yn helaeth o ysbryd yr Ymraniad; a John Edwards, o'r Glyn. Dau ddyn deallus a doniol; ond golygid hwy a thuedd falch ynddynt bob amser. Mae y grefydd hon yn asio yn hawdd gydag ysbryd balch di-weddi, fel yr ânt yn un darn. Tri o fechgyn yn y Bryndefnydd, y rhai nid oeddynt i'w dirmygu o ran eu dawn, a dderbyniasant yr ysbryd. Canlynodd Edmund Francis, gwr ieuanc o Amlwch, yr hwn a ellir dywedyd am dano ei fod yn ganolig o ran ei ddawn a'i ddeall, ac yn foesol yn ei fywyd.

Y mae'r *fath* ysbryd condemniol *a hwn*, yn cael achles braf yn y grefydd newydd. Nid oes euogrwydd cydwybod am absenu, a llofruddio enw ein cymydog; oblegid nid yw hyny yn eu plith hwy ond cyhoeddi barn Duw ar y Babiloniaid. Gellir dywedyd am lawer, "ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych." Cyngor Ioan sydd yn addas i ni oll i'w ddilyn, "Profwch yr ysprydion; ai o Dduw y maent." Ni ddylem dybied ein hunain yn ein lle, pa mor fanwl bynag y byddom mewn pethau penodol, os byddwn yn byw yn y cyfryw agwedd ysbryd, a thymerau anghydweddol â dwy lech y gyfraith foesol, ac â graslonrwydd, cariad, a serch Efengyl Crist; ac â thrigfa yr Ysbryd Glan ynom; ond y mae yr

Ymraniad yn rhoddi ysbryd tebyg i ysbryd Ishmael, fel y mae ef yn rhydd i absenu a goganu pawb ond yr eiddo ei hun. Mae yn meddwl ei fod yn debyg i Grist yn hyny, canys daeth Crist i fwrw tân a chleddyf ar y ddaear. Ond deall nad yw bwrw tân a chleddyf ar y ddaear yn nodi fod Crist a'i bobl o dymerau gelynol, ac anghymodol; gweddio dros eu gelynion, a gwneuthur da i'r rhai a wnelent niwed iddynt oedd y dymer ag oeddynt hwy dani; ond tymerau gelynion Crist yn cymeryd achlysur i weithio, trwy ymddangosiad o grefydd Crist ar y ddaear, a feddylir wrth y tân a'r cleddyf, yn sicr. Ysbryd gweddi, ïe dyfal barhau mewn gweddi, yw ysbryd teyrnas Crist; cyfiawnder, tangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glan ydyw prif bethau teyrnas Crist. Ond nid dyna ysbryd crefydd y Bedyddwyr Albanaidd, yn sicr, eithr yn ddygasog ac yn ddi-serch i'r rhai da, sydd fel blodau agored yn ymddangos ynddi. Nid oes ynddynt mo'r ymdreulio i arfer moddion o bregethu a gweddio, i geisio achub eu cymydogion anuwiol; nid oes ynddynt ddeigryn i'w golli wrth weled y byd yn gorwedd heb adnabyddiaeth o'r unig Geidwad. "Pregetha y gair, bydd daer mewn amser, ac allan o amser," sydd yn ddieithr i'w hysbryd hwy. "Mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus, i edrych a rydd Duw iddynt ryw bryd edifeirwch i gydnabod y gwirionedd." "Mae pren da, yn dwyn ffrwyth da" Heb wneuthur un sylw manwl am bethau ag fydd yn cynwys gŵyr-droad o'r Ysgrythyrau yn y grefydd hono; ond yn unig hyn—mae'r ysbryd sydd ynddi yn dwyn ffrwythau drwg; am hyny y mae yn ddrwg. Mae y ffrwythau y mae yn ddwyn yn groes i ddwy lech y gyfraith, ac i natur raslawn a charedig yr Efengyl, ac i natur grasusau neu ffrwythau yr Ysbryd Glan, yn y rhai y mae yn trigo ynddynt. Ysbryd rhagfarn, ac nid tosturi; ysbryd bydol, ac nid un nefol; nid yspryd gweddi, ond yspryd cablu; yspryd a'i serch arnynt eu hunain a'u plaid, ac nid yspryd am gael pawb o blaid Crist, a llawenhau mor bell ag y maent hwy felly. Galwyd am Gyfarfod Chwarterol i Ramoth er ys deuddeg mlynedd i'r flwyddyn hon (1812). Daeth yn nghyd yno amryw bregethwyr. Amlygodd John Jones ei fod ef am neillduo oddiwrth y Bedyddwyr. Ymresymodd Christmas Evans lawer ag ef, gan gynyg ei berswadio i aros gyda ei hen frodyr, i'w goleuo yn y pethau oedd yn ysgrythyrol; ond yn ofer bu y cwbl. Darfu iddo, yn enw ein Harglwydd Iesu, efe a'i bobl, ymneillduo, a thori cymundeb a'r corff o Fedyddwyr yn Nghymru.

Yr oedd pawb o'r gweinidogion wedi yfed yn drwm o'r yspryd priodol i'r grefydd newydd; eto, nid oeddynt yn gweled yn addas i ymadael a'u hen frodyr, y rhai oeddynt yn barod, ïe yn wir, yn rhy barod, fel y gwelwyd wedi hyny, i dderbyn y grefydd newydd. Mae hi yn dra thebyg i'r ddoethineb oddi isod y mae Iago yn son am dani, yr hon sydd yn anianol, daearol, a chythreulig, ac yn cario yn ei llaw ddehau derfysg ac ymryson.

John Jones a neillduodd yn mlaenaf. Canlynodd John Edwards o'r Glyn ef, ac o gylch deg ar hugain o Eglwysi y Glyn, wedi yfed gwin yr ymraniad; Eglwys y Bryndefnydd a'i thri gweinidog. Yr oeddynt yn y Bryn o gylch tri ugain o aelodau, yr wyf yn meddwl; ond yn nghorff deg mlynedd, wedi myned o gylch deg o aelodau; a'r cyffelyb ddinystr sydd yn eu dilyn hwy yn yr holl leoedd a ymneillduodd. Ymneillduodd rhan o'r Bedyddwyr yn Rhuthyn; ymneillduodd yr holl frawdoliaeth yn Rhosllanerchrugog; darfu i dair cangen John Jones yn Sir Feirionydd, droi at y Bedyddwyr Albanaidd, sef Ramoth, Brynbwbach; Harlech; Trawsfynydd; a rhai yn Nolgellau. Yn Sir Gaernarfon, ymneillduodd y frawdoliaeth, oedd yn Nghriccieth. Yn Llanllyfni, ymneillduodd bron yr holl frawdoliaeth, y rhai oeddynt o haner cant i driugain o aelodau; maent mewn ychydig flynyddoedd wedi myned yn dra anaml. Yn Sir Fon, ymneillduodd W. Burnell, yn nghyd ag ychydig o'r frawdoliaeth. Bu ef a hwythau yn myned i Gaernarfon, at

Edmund Francis, i gymundeb; ond y maent hwy er ys talm wedi uno a'u hen frodyr. Rhoddodd hon ergyd greulon i achos y Bedyddwyr mewn dwy ffordd:

Yn gyntaf, yspeiliwyd y corff o Fedyddwyr o lawer o dai cyfarfodydd oedd wedi eu hadeiladu ar draul y corff. Darfu i Dafydd Hughes adeiladu ty cyfarfod yn Mrondanwy, enw yr hwn yw Ramoth; casglodd at y draul trwy Eglwysi y Bedyddwyr; ond pan neillduodd John Jones oddiwrth y corff, gan ffieiddio pobpeth oedd ganddynt; ond eu harian hwy oedd yn y capel, trodd y rhai hyny oddiwrth y dyben y rhoddwyd hwy. Adeiladwyd ty cyfarfod yn Harlech hefyd, yn Sir Feirionydd; bu John Jones yn casglu yn mysg Eglwysi y Bedyddwyr yn y Gogledd at y draul; ac wedi hyny, cauodd allan weinidogion yr Eglwysi a gyfranodd ato, fel na chant fyned iddo i bregethu Efengyl Crist mwy na phe buasai yn Eglwys Gadeiriol (*Cathedral*) i'r Pab. Buasai yn dda i'r rhai sydd yn proffesu eu hunain *yn unig* yn ol y gwirionedd feddianu ar yr egwyddor o onestrwydd, yn ol ail lech y gyfraith. Mae Efengyl Crist yn dysgu i ddynion, "Pa beth a ewyllysioch i ddynion wneuthur i chwi, gwnewch chwithau iddynt hwy." Mae hyn yn brawf ychwanegol nad Yspryd Crist sydd yn cynhyrfu crefydd yr ymraniad; canys y mae Yspryd Crist yn dysgu dynion i fod yn gyfiawn tuag at ddynion. Ty cyfarfod Llanllyfni hefyd a ddygwyd oddiar y corff o Fedyddwyr gan yr un blaid. Bu John Williams, yn awr o New York, yn yr America, ond y pryd hyny o'r Garn Dolbenmaen, yn sir Gaernarfon, yn casglu at draul hwn yn mysg Eglwysi y Bedyddwyr trwy y Deau a'r Gogledd; ond yspeiliwyd y corff o'r capel hwn, fel na chânt bregethu ynddo mwy nag yn St. Pedr yn Rhufain. Capel neu dy cyfarfod yn Criccerth a ddygwyd hefyd oddiar y corff. Casglwyd arian ato trwy Eglwysi y Bedyddwyr; ond nid ydynt yn mwynhau ei ddefnydd yn ol y dyben y cyfranasant eu harian. Bu hyn yn golled i'r corff; ond byddai yn gysur pe byddai o ddefnydd ganddynt hwy i ddychwelyd eneidiau at Grist, trwy bregethu yr Efengyl ynddynt. Ond och! nid yw hyny ond y peth lleiaf ei bwys yn eu crefydd. Mae llafurio yn ddiwyd tuag at hyny yn cael edrych arno fel offeiriad-grefft; fel y gwna Deistiaid yn gyffredin, felly hwythau.

Ond yr oedd ail ergyd, neu ffrwd fel dylif a ddaeth i fewn, yn fwy dyfethol na'r yspeiliad o'r capelydd, sef yr yspryd rhagfarnllyd, condemniol, ac annuwiol a dorodd allan fel môr o groth yr ymraniaeth. Mae yn ben camp i allu darlunio yr holl niwed a ddaeth i fewn trwy yr yspryd hwn, ac mewn cynifer o ffyrdd a gweithredoedd; fel mae yn rhyfeddod na buasai wedi ein hollol ddyfetha fel corff yn y Gogledd. Darfu i Dduw fod yn dyner iawn atom yn hyn, trwy argyhoeddi amryw o honom o niwed yr yspryd hwn. Bu Thomas Jones o'r Glyn o ddefnydd yn hyn o'r dechreu; ni feddwyd mo hono ef ddim oll ar win yr ymraniad. Christmas Evans hefyd, er iddo ef mewn mesur mawr gael ei lefeinio gan y lefain hwn; ond trwy drugaredd, cafodd ei argyhoeddi mewn modd llym o'i ddrwg; ac yna, dygodd dystiolaeth yn ei erbyn. Gwnaeth yr yspryd hwn i'r pregethwyr fod yn bigog wrth sylwi ar y pynciau dadleugar, ac nid eu hegluro yn ol y gair, mewn ffordd deg a rhydd, mewn annhueddgarwch. Mae yspryd pleidgarwch, yn mha le bynag yr ymafael ei grafangau annuwiol, yn peri i'r rhai a fyddo danei awdurdod beidio gwneyd cyfiawnder â daliadau ei gymydogion; oblegid hyny, nid oes parch ganddo i ddeddf Duw fel rheol ymddygiad; ond ei ddygasedd ydyw ei reol ef. Mae'r ddeddf yn rhwymo dyn i wneyd tegwch â daliadau, ac ymddygiadau, ac enwau ein cymydogion. Mae y dyn sydd yn ei le yn barod i gydnabod yr hyn sydd dda, ac yn llawenychu o'i blegid pan y mae yn dwyn tystiolaeth yn erbyn yr hyn sydd ddrwg. Ond y mae pob peth yn ddrwg gan yspryd pleidgar, nad yw o dan fâth (*stamp*) ac argraff ei blaid ef. Mae llawer o'r cyfryw yn perthyn i bob plaid; ond gwnaeth fawr ddrwg i'r Bedyddwyr, ac y mae yn sicr o wneyd drwg i bawb y caffo.

Ond i ddychwelyd at effaith yr yspryd hwn ar y Bedyddwyr. Parodd i'r gwrandawyr gilio; ac nid rhyfedd, canys nid oedd yn dysgu mewn addfwynder. Daeth i fewn gydag ef ryw yspryd iach, anghyfreithlon: esgeuluswyd gweddiau teuluaidd gan lawer oedd wedi eu harfer am flynyddoedd, o dan y lliw eu bod yn anysgrythyrol. Esgeuluswyd cyfarfodydd dirgelaidd mewn amryw fanau, o dan y lliw eu bod yn anysgrythyrol. Fel hyn, daeth dylif o yspryd tra annymunol i mewn, ag oedd yn cynyg ysgubo y cwbl o'i flaen. Disgynodd rhyw yspryd gwagfanylaidd i mewn, fel na dderbynid dim, o natur foesol, heb ei fod yn cael ei nodi mewn geiriau llawn ac esiamplau yn yr Ysgrythyr, megys y dylid cael esiamplau neu orchymynion eglur am bethau o natur bendant, y fath ag yw Bedydd a Swper yr Arglwydd. Yr oedd ac y mae gyda'r ymranwyr ryw yspryd ag sydd a thuedd ynddo i gladdu pethau moesol mewn pethau penodol, neu i osod yr holl grefydd, neu y rhan fwyaf pwysig o grefydd, yn gynwysedig mewn pethau pendant; ac y maent yn troi llawer o bethau o natur foesol, debygid, yn bethau pendant; megys golchi traed y saint, cariadwleddoedd, cusan santaidd, a chasglu i'r saint. Yr wyf fi yn meddwl mai pethau o natur foesol yw y rhai hyn, oblegid eu bod yn ganmoladwy a hawddgar ynddynt eu hunain; ond mawr yw y pwys a osodant ar y rhai hyn fel seremoniau i'w cyflawnu yn benodol, ac nid fel pethau moesol, i'w cyflawnu pan fyddo angenrheidrwydd, a'r un rheswm yn rhwymo i'w cadw ag oedd gynt. Ond i adael hyn i fyfyrdodau ychwanegol. Mae genym achos mawr i ddiolch i Dduw na chafodd yr yspryd hwn lwyr ddyfetha crefydd broffesedig yn ein plith, fel y mae wedi gwneuthur yn mhob lle, gan mwyaf, lle y derbyniwyd yr ymraniad yn Nghymru. Er maint y mae amddiffynwyr y grefydd hon yn son am fyrdra cyfiawnder dyn i gyrhaedd cyfiawnhad, a gwerth cyfiawnder Crist, a'i ddigonoldeb i hyny, yr hyn sydd yn cydgordio â'r Beibl yn ddiamheu; ond wedi y cwbl, y mae eu hysbryd iach, diweddi, yn anghydweddol a gwir olwg ar y ddau bwnc mawr hyn. "Ni raid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion." Ni chyfarfu dim a'r corff o Fedyddwyr yn Ngogledd Cymru ag oedd mor debyg i'w diwreiddio a'u gwneyd yn ddim. Na fydded i'r cyfryw yspryd gyfarfod a neb ar ein hol ni, ydyw ein taer ddymuniad. Bydded i'r Arglwydd, yn ei ddaioni, i argyhoeddi y rhai sydd yn feddw arno hyd yma.

---

# PWLPUD Y WAWR.

## Pregeth Paul yn Antiochia, Pisidia.

ACTAU XIII. 14—44.

GAN Y PARCH. WM. WILLIAMS (ANELYF), CAERNARFON, G. C.

A. Amser ei llefariad—Oddeutu 67 oed Crist.

B. Pwnc y bregeth—Profi mai Iesu o Nazareth oedd y Messiah.

C. Dull—Hanesyddol; tebyg i eiddo Stephan.

Ch. Cynllun:

I. *Trwy ddangos fod Duw yn Dduw cyfamodol i'r genedl.* Profa y gosodiad trwy amryw bethau:

1. Am iddo eu dewis ar y dechreu.

2. Eu cynal, eu cynyddu, a'u gwaredu.

3. Bod yn amyneddgar tuag atynt, a chyd-ddwyn â'u cyndynrwydd a'u hanniolchgarwch.

4. Tori ymaith y genedl oedd yn Nghanaan, i wneyd lle i'w bobl etholedig, a rhoddi y wlad iddynt.

5. Rhoddi dynion wedi eu hysbrydoli i'w llywodraethu.

(*a*) Prophwydi—Samuel, &c.

(*b*) Barnwyr.

(*c*) Breninoedd—Saul, Dafydd, &c.

II. *Trwy roddi tystiolaeth eu Duw hwy am Dafydd.*

1. Ei fod o ddewisiad dwyfol.

2. Fod ei gymeriad yn un oedd yn boddloni Duw.

3. Fod ei ymarweddiad yn sanctaidd a duwiol.

*Nodiad.*—Dylent, gan hyny, gredu yr hyn a ddywedodd Dafydd, a chredu yr hyn ddywedodd Duw wrtho.

(*a*) Yr oedd Iesu wedi dyfod o linach Dafydd, ac felly, (1) yn Iuddew; (2) yn freiniol. Ps. 89 : 3, 4.

(*b*) Yr oedd Iesu yn Iachawdwr addawedig i Dafydd.

(*c*) Yn Iachawdwr o godiad dwyfol, ac o awdurdod y nefoedd.

(*d*) Wedi ei godi fel yna yn Iachawdwr i *Israel.*

(*e*) O *had* Dafydd, yn ol yr *addewid.*

III. *Trwy ddangos i Iesu* DDYFOD *yn ol y rhagfynegiadau am dano.*

1. Gan Dduw. Esa. 11 : 1—5; Jer. 23 : 5, 6, &c.

2. Gan Dafydd. Adn. 33.

3. Gan Ioan. Adn. 24, 25.

(*a*) Gwnaeth ffordd i'w ddyfodiad ef drwy bregethu i "bobl Israel."

(*b*) Rhoddodd rybudd o'i ddynesiad.

Yn adn. 16 mae yn eu hanerch, fel pobl resymol ac mewn angen iachawdwriaeth, i ystyried y peth. Gan iddo enill eu gwrandawiad hyd yma, gwna yr apeliad, mae'n debyg, am ei fod yn myned i ddweyd yn gryfach a mwy cymwysiadol o hyn hyd y diwedd.

IV. *Dengys fod yr hyn a* WNAETH *Iesu, ac a* WNAETHPWYD IDDO, *yn gyflawniad o'r prophwydi.*

1. Yr hyn a wnaeth y penaethiaid i Iesu. (*a*) Ei osod i farwolaeth. (*b*) Ei dynu oddiar y pren, a'i ddodi mewn bedd.

2. Yr achos iddynt wneyd hyn oedd eu hanwybodaeth o'r prophwydi.

3. Gwnaethant hyn heb gael ynddo un bai.

4. Fod Duw wedi ei gyfodi oddiwrth y meirw.

*Nodiad.*—Hon ydyw y golofn sydd yn dal adeilad yr efengyl, ac am hyny ymhelaetha yr apostol ar hyn.

(*a*) Cododd drwy gydsyniad. "Duw a'i cyfododd" (ad. 30), felly yn deg a chyfreithlawn.

(*b*) Fod prawf digonol o'i adgyfodiad. "Efe a welwyd," &c. (31.)

(*c*) Fod ei adgyfodiad, fel cyflawniad o'r addewid, yn "newydd da." (32.)

(*d*) Mai hyn oedd yn profi ei fod yn Fab Duw. Rhuf. 1 : 4. "Fy mab ydwyt ti," &c.

(*e*) Yr oedd ei godiad y trydydd dydd, cyn iddo weled llygredigaeth, yn cadarnhau mai efe oedd y Messiah. (1) Cododd i beidio marw mwy. Rhuf. 6 : 9. Yr oedd hyn yn gyflawniad o'r addewid, "Rhoddaf i chwi sicr drugareddau Dafydd." (2) Cododd yn fuan ar ol marw; hyn hefyd yn ol yr addewid, "Ni adewi i'th sanct weled llygredigaeth."

Saif yr apostol enyd ar yr addewid ddiweddaf yna, a dengys:

1. Na allai hyn fod am Dafydd ei hun. Sylwa, (1) Ar fywyd Dafydd. (2) Ei farwolaeth. (3) Ei gladdedigaeth. (4) Ei arosiad yn y bedd.

2. Fod yr addewid wedi ei chyflawni yn Iesu. (Ad. 37.)

V. *Y cymwysiad.*—Dengys fod a wnelo hwy â'r hyn a ddywedodd.

1. Bydd yn fantais iddynt gofleidio Iesu. (*a*) Am ei fod yn diogelu. (Ad. 38.) (*b*) Am ei fod yn gwneyd yr hyn na allai cyfraith Moses ei wneyd. (39.)

*Sylwer ar bwys y geiriau.* (Gwel M. Henry hefyd.)

(1) Fod pechadur eisiau ei gyfiawnhau.

(2) Fod y rhai a gyfiawnheir yn cael eu rhyddhau oddiwrth eu heuogrwydd.

(3) Na ellid cael hyny trwy y ddeddf.

(4) Fod cyfiawnhad i'w gael trwy Iesu Grist.

(5) Mai y rhai a gredant gânt eu cyfiawnhau.

(6) Ei fod yn ffolineb ynddynt eiddigeddu wrth yr efengyl, gan hyny.

2. Ei bod yn beryglus iddynt ei wrthod. (Adn. 40.) (*a*) Rhag bod yn amddifad o'r breintiau addawedig i'r rhai a gredant. (*b*) Rhag derbyn y ddedryd a gyhoeddir ar y rhai a'i gwrthodant. Hab. 1 : 5. (*c*) Mae gan hyny yn eu rhybuddio a'u gwahodd.

D. Canlyniadau y bregeth. Ad. 42.

1. Y Cenedloedd yn atolygu arno ei thraddodi y Sabboth nesaf.

2. Iuddewon a Phroselytiaid yn canlyn Paul a Barnabas

3. Yr apostolion yn eu cyngori i aros yn ngras Duw.

4. Y Sabbath nesaf daeth lluaws i'w

gwrando, a'r Iuddewon yn cenfigenu; hwythau yn troi at y Cenedloedd; a'r dysgyblion a lanwyd o lawenydd ac o'r Ysbryd Glan. Ad. 52.

E. Priodoldeb y cynllun i'w weled wrth ystyried:

(*a*) Rhagfarn yr Iuddewon yn erbyn Iesu.

(*b*) Ei fod yn dangos iddynt ei fod yn deall yr Ysgrythyrau a'r Prophwydi, ac yn credu ynddynt.

(*c*) Mai iddynt hwy yn arbenig yr oedd y prophwydoliaethau yn perthyn, yn gystal a'u cyflawniad.

F. Nodiadau.

1. Ei bod yn ymresymiadol iawn fod y naill osodiad yn sylfaen i'r llall; a dylem ei gredu o herwydd y tegwch a'r cywirdeb hwn, os mai pregeth barotoedig oedd.

2. Rhaid ei fod o dan gyfarwyddyd Ysbryd Duw os mai difyfyr oedd (fel yr ydym yn credu ei bod), felly dylem dderbyn ysgrifeniadau Paul fel geiriau Duw.

3. Gwelir fod mwy na chynllun o'r bregeth wedi ei chofnodi gan Luc.

G. Addysgiadau.

---

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

IX.

Pe gallem edrych yn unig ar yr hyn sydd ddymunol; yr hyn sydd ddenol; yr hyn sydd hawddgar a phrydferth, a'r hyn sydd ogoneddus yn y byd, oni fyddai ein bywyd yn llawn o ddedwyddwch mewn cymhariaeth i'r hyn ydyw i ran liosog o honom? Y mae y ddaear yn llawn prydferthwch, a'i thrysorau y cyfryw, ag i lenwi yr ymchwiliwr iddynt â syndod, refeddod, a llawenydd. Mae y byd yn llawn o refeddodau ac o amlygiadau o fawredd a daioni Duw. Paham na fyddem ddedwydd? Neu o'r hyn lleiaf, paham nad aem drwy ein gyrfa fer, heb chwerwi ein bywyd, a gwneyd y rhai sydd anwyl genym, a'r cyfeillion yr ydym yn meddwl y byd o honynt, yn anghyserus ac yn ofidus o herwydd ein hymddygiadau cecrus, ein "natur ddrwg," a'n croesraenigrwydd cyffredinol?

Y mae yn sicr fod *un* achos, os nad yw hefyd wrth wraidd llawer o rai eraill, ag y mae genym ni ein hunain feistrolaeth arno, ond i ni ddefnyddio y synwyrau y mae Duw wedi roddi i ni, bawb o honom. Anhwyldeb neu afiechyd corphorol, yn tarddu yn hollol oddiar ein hymddygiadau anesgusodol yw yr un hwn, a'i enw yw Gwalldreiliad (*dyspepsia*). Os bydd i ddyn da weithredu yn groes i ddeddfau iechyd bydd yn sicr o deimlo y gosp cystal a'r dyn drwg. Y tri diwrnod a theirnos y bu Thomas Carlyle, pan yn ddyn ieuanc, yn dreilio mewn gweddi ac ympryd, cyn penderfynu pa un ai i'r Weinidogaeth neu i Lenyddiaeth y cysegrai ei fywyd, fu'r achlysur a'r achos i'r Dyspepsia a lynodd wrtho, gan ei boeni, a dyspepseiddio llawer o'i ysgrifau trwy ei oes faith, lafurfawr. Bwytaer yn gymedrol, yfer ddwfr, *yn gyffredin*, cysger wyth awr o'r pedair-arhugain, cadwer y gydwybod yn lan, a'r galon yn ddiolchgar i Dduw am ei holl drugareddau—yna gellir chwerthyn yn ngwyneb Dyspepsia—a'i gadw draw.

—Thomas Carlyle oedd yn ddiddadl eilydd yn unig i Samuel Taylor Coleridge fel siaradwr (*Conversationist*). Yr oedd ganddo gof rhyfeddol, ac ni thrysorai ynddo ond yr hyn oedd werthfawr. Cymerer a ganlyn fel engraifft:—"Adnabum dair cenhedlaeth o'r Darwiniaid, taid, tad, a mab; Athistiaid pob un o honynt. Y mae brawd i'r naturiaethydd clodfawr, yn byw heb fod yn mhell oddi yma; dyn tawel, heddychol. Dywedodd iddo gael yn mhlith y pethau a adawodd ei daid ar ei ol, sêl ac yn gerfiedig arni; "*Omnia ex conchis;*" everything from a clean shell! Mi a welais y naturiaethydd y dydd o'r blaen; dywedais wrtho fy mod wedi darllen ei "Origin of Species," a llyfrau eraill; nad oedd efe mewn un modd wedi fy argyhoeddi mai o'r mwnci y disgynodd dynion, ond ei fod ef a'r sawl a enwir ei frodyr

gwyddonol, wedi dwyn y genedl bresenol o Saeson yn agos iawn i'r mwnciaid.

Ebe fe yn mhellach: —*A good sort of a man is this Darwin, and well-meaning, but with very little intellect.* Ah, peth gresynol ac arswydus ydyw gweled genhedlaeth gyfan bron o ddynion a merched, sy'n proffesu bod yn ddiwylliedig, yn edrych oddiamgylch mewn modd cibddallyddol ac yn methu canfod Duw yn y bydysawd. Yr wyf yn tybied mai *re-action* ydyw ar ol cyfnod o ragrith a ffug-honiadau, o broffesu yr hyn nad oeddynt yn gredu. Ac i hynyna yr ydym wedi dyfod. Pobpeth o chwydredd llyffaint; efengyl baw yn teyrnasu. Fel yr wyf yn myned yn henach—ac yr wyf yn awr yn sefyll ar fin tragwyddoldeb—mae y frawddeg hono yn yr holwyddoreg a ddysgais pan yn blentyn, yn dyfod yn ol yn fwy t'rawiadol i fy meddwl, a'i hystyr yn dyfod yn llawnach a dyfnach; "Beth ydyw prif ddyledswydd dyn?" "I ogoneddu Duw a'i fwynhau ef yn dragywydd." Nis gall unrhyw efengyl baw sy'n dysgu fod dynion wedi discyn o lyffaint trwy fwnciaid, byth osod hynyna o'r neilldu." Ah! Rare Thomas Carlyle, 'does dim dyspepsia yn y syniadau yna o'th eiddot, Gawr mawr y byd meddyliol!

—Mae gan y Bedyddwyr bum cant o eglwysi yn Indiana, pedwar cant ac un-ar-bymtheg o weinidogion, a 37,879 o aelodau. Y mae yno hefyd Gymdeithasfa o Fedyddwyr yn cynwys pedair mil o bobl dduon a 57 o eglwysi.

—Ddarllenydd! Mabwysiada fel rheol bywyd, yr hyn a gynwys y geiriau hyawdl canlynol o eiddo y diweddar Dr. Chapin, New York: —"Nis gall fod llwyddiant na rhinwedd na gogoniant ar y cyfan, pan byddo dyn yn anffyddlon i gynhyrfiadau goreu ei galon. Ddydd a nos, gartref, oddicartref, yn y maes, y faelfa, y gweithdy, yr ystafell ddirgel, ar y fainc swyddogol, a chadair y llywodraethwr, bydded iddo gofio, lle bynag y byddo yn gweithredu, a pha beth bynag a wnelo, ei fod yn gweithredu fel goruchwyliwr moesol, yn uniongyrchol a phersonol gyfrifol i Dduw. Bydded iddo gofio ei fod bob amser yn cynrychioli y wladwriaeth. Bydded iddo gyfrif pob gweithred gyhoeddus fel pe byddai yn gyfrinachol, ac i'r dyben hyny, bydded iddo er pobpeth, mewn materion cyfrinachol, wneyd yr hyn sydd iawn. Bydded i weithred annheilwng, i'r hon y mae wedi rhoddi yr ymwrandawiad lleiaf—pa mor bell bynag y bydd oddiwrth les personol iddo ef—gochi ei foch â chywilydd, megys pe byddai wedi colli safle bersonol anrhydeddus a pharch trwy hyny. Bydded i'r *maxim*, fod pobpeth yn deg mewn gwleidiadaeth, swnio mor gras yn ei glustiau a'r *maxim*, fod pobpeth yn deg gyda chrefydd, pobpeth yn deg mewn masnach, pobpeth yn deg yn unrhyw weithred rhwng dyn a dyn. Bydded iddo gofio nad yw unrhyw symudiad mor hollol a neillduol gyhoeddus ag i ddirymu cyfrifoldeb personol—nad yw unryw dyrfa mor fawr ag i lyncu ei bersonoliaeth moesol—ond yn y man yna, yn y symudiad cyhoeddus yna, yn y dyrfa fawr aneirif yna—ei fod, fel pe byddai yn sefyll ar ei ben ei hun yn y bydysawd, yn noeth mewn ystyr ysbrydol, yn gwrando dedfryd Duw a churiad ei galon ei hun.

—"Tra rhed dw'r, tra rhua taran,—tra gwawl,
Tra gwelir yr huan;
A lloer mewn mantell arian,
Gwir lwydd fo i'r Gymraeg lan."
—*Caradog, 1858.*

—Dyn hynod oedd Whiston, cyfieithydd Josephus, yr hwn hefyd fu gynorthwywr i Syr Isaac Newton pan oedd Syr Isaac yn Proff. o'r Mathematics yn Rhydychain. Yr oedd yn dduwinydd ac yn seryddwr enwog. Cyhoeddodd y byddai i gomet ymddangos ddydd Mercher, Hydref 14, 1712, ac y byddai y byd yn cael ei ddinystro â thân y dydd Gwener canlynol. Ymddangosodd y comet, a chafodd effaith ofnadwy ar y bobl. Dywedir i dros gant o'r offeiriaid alw gyda Archesgob Canterbury, prydnawn ddydd Mercher, i erfyn ar fod gweddiau priodol i'r achlysur gael eu parotoi. Priododd miloedd o ddynion ar ddydd Iau, y merched y buont yn cyd-fyw â

hwynt megys pe buasent yn yr ystad briodasol. Aeth lluaws ar y dwr, gan feddwl y byddent yn fwy diogel yno pan ddaethai y tân; a gorchymynodd Syr Gilbert Heathcote, Prif Oruchwyliwr y Bank of England, ar i'r tân-wyr gadw eu llygaid yn agored ar y Bank. Yr oedd "run" ofnadwy ar y Bank, y bobl yn meddwl, fe allai, er na ddaethant a dim gyda hwynt i'r byd, y gallasent fyned a rhai pethau o hono. Taflodd Captain llong Ellmynaidd ei holl bowdr i'r afon Thames, a bu y dychryn yn arswydus hyd oni aeth dydd Gwener heibio, a gwawrio bore Sadwrn fel arferol. Adnabyddir Whiston yn unig yn awr fel cyfieithydd Josephus.

—Ymddengys fod rhai wedi amheu iachusrwydd golygiadau crefyddol ysplenydd y Parch. Phillips Brooks, Boston, ac yn ofni am ei orthodoxyddiaeth. Wele ei atebiad i'r cyfryw: "Mae'r ymgnawdoliaeth a'r gwyrthiau y dywedir i Grist Iesu gyflawni, yn ymddangos i mi yn ogoneddus resymol, nad ydynt yn cael ei dirymu gan unrhyw wybodaeth ddynol, na chan y byd y mae Duw wedi roddi i ni. Yr wyf yn credu eu bod yn hanesyddol wir, ac yn hollol naturiol mewn ystyr philosophyddol."

Gallasai ychwanegi, nac mewn ystyr uchelwyddoniaeth chwaith.

—Hawdd i'r naill gyfaill yw gofyn—y llall,
O 'wyllys i dderbyn,
A all brawd orfawd erfyn,
A modd i hael omedd hyn?

Beibl yn rhodd dda fodd ufuddaf—yw'r hyn,
Wr hynaws, a geisiaf,
Genych chwi, a gwn o chaf,
Ei holl linau ddarllenaf.

Caf wir rodd i'm cyfarwyddaw,—nid aur,
Nid arian i'w rhifaw,
Ond hyn, cael llyfryn i'm llaw,
Duw'n rhwydd i'r dyn a'i rhoddaw.

Canwyll i'r didwyll gredadyn—yw'r Beibl,
Orau i bawb ddilyn,
Fe a bys dengys i'r dyn
Draw i'w gwyliaw dri gelyn.

Hwn a geir yn agoryd—yn ddiau,
Wan ddyall dyn hefyd,
Didwyll y mae'n dywedyd,
Yma, drwy bwyll, am dri byd.

Mynwn, pe cawn i'm unwaith—wr addfwyn
Hyn o rodd berffaith;
Eich clod, nid gormod y gwaith,
D'roganwn dri ugainwaith.

—*R. Ab Gwilym Ddu.*

# Bwrdd y Golygydd.

## PWNC Y CYMUNDEB.

Yn *Seren Cymru* am Chwefror 25, gwelwn a ganlyn:

"Mae agos i un ran o dair o Fedyddwyr Prydain Fawr a'r Iwerddon yn Nghymru. Er nad yw ond Tywysogaeth fechan, ei phoblogaeth, hi a sir Fynwy ond ychydig dros filiwn, rhyw un ran o bedair o boblogaeth Llundain, eto i gyd mae yr enwad Bedyddiedig yn gymharol gryf yma. Nid yw ei nifer yn y deyrnas ond 281,000 yn ol yr *Handbook*, ac yn ol y *Llawlyfr*, y mae oddeutu 80,000 o'r nifer uchod yn Nghymru. A thueddir ni i gredu fod ein llwyddiant a'n safle i'w briodoli i'r ffaith ein bod yn *gaeth-gymunwyr*. Nid oes dim yn fwy dinystriol i lwyddiant y Bedyddwyr na rhydd-gymundeb. Y mae cymundeb agored yn cynwys addefiad fod taenelliad ar fabanod yn iawn; ac, mewn effaith, yn gwneyd trochiad y credinol, ar broffes o ffydd yn Nghrist, yn beth afreidiol a diles. Pa ryfedd fod ein brodyr y Saeson mor araf yn meddianu y wlad? Gan nad ydynt yn rhoddi pwys ar fedydd y credinol fel cymhwysder i eistedd wrth fwrdd yr Arglwydd, pa fodd y gellir dysgwyl i ereill roddi pwys arno? Cyhuddir ni, fel Bedyddwyr Cymreig, o gulni ac anfrawdgarwch ar gyfrif ein bod yn gaeth-gymunwyr; ond byddai yn burion peth i'r cyfryw ymgyngori â Dr. Rees, Abertawe, un o brif oraclau y Taenellwyr, yn neillduol yr Annibynwyr, cyn cablu llawer arnom. Gyda golwg ar y mater, dywed y Dr. fel y canlyn:—"Nis gallai unrhyw olygfa fod yn fwy dymunol i deimlad Cristionogol na gweled tyrfaoedd o ganlyn-

wyr Crist, o bob enwad efengylaidd, yn ymuno *yn achlysurol* i gofio marwolaeth eu Harglwydd; ond y mae hanes Anghydffurfiaeth yn Nghymru yn profi tu hwnt i bob amheuaeth na fu dim yn fwy o rwystr i lwyddiant crefydd na'r ymgais, er fod yr amcan yn dda, i uno yn barhaol mewn cymdeithas eglwysig bleidiau o wahanol olygiadau crefyddol, yn neillduol ar y pwnc o fedydd. Y mae hanesyddiaeth yn tystio mai yr eglwysi digymysg o'r ddau olygiad a fuont yn fwyaf llwyddianus o oes i oes, tra y parhäai y rhai cymysg yn y sefyllfa fwyaf nychlyd, hyd nes y buasai y naill blaid wedi gorbwyso y llall i'r fath raddau fel ag i wneyd ei dylanwad yn rhy wan i fod yn deimladwy." (Gwel "History of Nonconformity in Wales," p. 214.) Na sonied ein cyfeillion taenellyddol mwy wrthym am gymundeb rhydd; canys, yn ol Dr. Rees, y mae yn rhwystr i lwyddiant crefydd. Y mae hanesyddiaeth yn tystio mai yr eglwysi digymysg fuont y rhai mwyaf llwyddianus o oes i oes; felly gwell ydyw i bob plaid lynu wrth ei chymundeb ei hun hyd nes y delom i weled lygad yn llygad, yn neillduol ar y pwnc o fedydd.

## EIN CYNYDD YN NGHYMRU.

Pa faint bynag o gamwri a wneir a'n ystadegaeth fel Bedyddwyr yn Nghymru a rhanau eraill o'r deyrnas, mae yn amlwg ein bod yn cynyddu yn y wlad. Y mae y daflen gymharol a roddir o'n cynydd yn y *Baptist Hand-book* yn ystod y tair blynedd ar ddeg diweddaf, yn profi yn eglur mai yn mlaen yr ydym yn myned; a phe buasai mynegiad cywir genym o'n ystadegaeth, tueddir ni i feddwl y buasem yn ymddangos yn llawer mwy golygus nag ein gosodir allan yn y *Baptist Handbook.* Yn ol y daflen y cyfeiriwyd ati, y mae y cynydd fel y canlyn:—

| | Eglwysi. | Aelodau. | Ysgolheigion. |
|---|---|---|---|
| 1867— | 2,411 | 221,524 | 192,334 |
| 1880— | 2,565 | 281,061 | 430,608 |
| Cynydd— | 154 | 59,537 | 238 274 |

Tybiwn fod y ffigyrau uchod yn dangos yn ddiamwys mai yn mlaen yr ydym yn myned. Y mae dros 150 yn fwy o eglwysi, tua 60,000 yn fwy o aelodau, a thros 200,000 yn fwy o ddeiliaid yn yr ysgol Sabbothol nag oedd genym yn y flwyddyn 1867. Y mae hyn yn gwneyd canolrif ein cynydd blynyddol yn rhywle tua deuddeg o eglwysi, rhwng pedair a phum mil o aelodau, a thros ddeunaw mil o ysgolheigion Sabbothol. Ond gallasai ein cynydd fod yn llawer mwy nag ydyw pe buasai yr enwad yn gyffredinol yn fwy effro i'w ddyledswyddau. Mae gormod o duedd ynom i ymddiried yn ein hegwyddorion, a pheidio gwneyd dim tuag at eu lledaenu; dysgwyl i'r bobl ddyfod atom ni, yn lle myned â'n hegwyddorion atynt hwy; a hyn, yn ddiau sydd yn rhoddi cyfrif am y ffaith fod yr Annibynwyr a'r Methodistiaid Calfinaidd gymaint yn gryfach na ni, er fod y diweddaf a nodwyd wedi codi yn mhell ar ein hol. Y mae degau, os nad ugeiniau, o ardaloedd yn Nghymru wedi eu meddianu gan enwadau, tra y buom ni naill ai yn petruso neu yn cysgu. Ond y mae ereill yn gweithio yn ganmoladwy—yn helaethu lle y babell, ac yn estyn cortynau y preswylfeydd; a'u harwyddair yw eiddo Caleb a Joshua, "Awn rhagom, a meddianwn y wlad." Mae eisiau mwy o'r ysbryd hwn arnom fel enwad; a phe y gellid ein gweithio i fwy o undeb a chydweithrediad yn y cyfeiriad hwn, nid oes dim a safai o'n blaen.—*Seren Cymru.*

## CAPELI GWEIGION.

Gŵyr llawer o Fedyddwyr, os nad pawb o honynt, fod y Parch. C. H. Spurgeon, nid yn unig yn weinidog ar eglwys, ond ei fod hefyd yn llywydd athrofa i barotoi dynion ieuainc gogyfer a'r weinidogaeth. Fel llywydd athrofa, bydd llawer o eglwysi, o bryd i bryd, yn anfon at Mr. Spurgeon, i ymofyn gweinidog. Bydd rhai eglwysi, wrth ysgrifenu ato, yn rhoddi desgrifiad helaeth a manwl pa fath weinidog

y carent hwy gael; ac fel y gellid dysgwyl, y mae rhai o'r ceisiadau hyn yn ddigrif dros ben. Yn bur ddiweddar, anfonodd eglwys y llythyr canlynol at Mr. Spurgeon:

"Anwyl Syr—Mae ein capel yn wag iawn. Yr oedd ein gweinidog diweddaf yn ddyn gwir dda, ond yn anmhoblogaidd fel pregethwr. Mewn canlyniad i'w ddull sych o bregethu, mae ein cynulleidfa wedi myned yn fach iawn. A fyddwch chwi mor garedig a danfon atom weinidog a fedr *lanw* y capel."

Mewn atebiad i'r llythyr hwn, dywedodd Mr. Spurgeon, nad oedd ganddo ef ddyn yn ddigon mawr i *lanw* capel. Yn mhen deuddydd neu dri, dyma lythyr arall yn dyfod, yn dweyd nad oeddynt hwy yn dysgwyl cael gweinidog i lanw y capel yn *gorfforol;* ond ei lanw trwy ddwyn dynion i wrando arno, gan eu cadw yno fel gwrandawyr. Dyma atebiad diweddaf Mr. Spurgeon:

"Anwyl Gyfeillion—Y mae digon o waith gan weinidog i lanw y pwlpud. Mae llanw yr eisteddleoedd yn dibynu llawer iawn ar frwdfrydedd, difrifoldeb, a diwydrwydd *aelodau* yr eglwys. Os ydych chwi yn galaru oblegid yr eisteddleoedd gweigion sydd yn eich capel, cymhellaf chwi i ganmol eich gweinidog nesaf. Bydd yn hawdd i chwi gael gafael mewn rhyw bethau yn y rhai y bydd efe yn rhagori. Sylwch yn fanwl ar y rhagoriaethau hyny, ac nid ar ddiffygion eich gweinidog. Siaradwch am y lles ysbrydol yr ydych yn dderbyn oddiwrth ei bregethu; byddwch wrth hyny yn tueddu eraill i ddyfod i wrando arno, ac fe fydd i chwi wneyd daioni mawr i'r gweinidog ei hun. Gwna capel llawn ei wresogi, a'i helpu i bregethu yn dda; ac fe fydd i chwi eich hunain ei fwynhau yn well am i chwi feddwl a siarad yn garedig am dano. Ond i chwi gydweithredu yn egniol â'ch gweinidog, ni fydd y capel yn hir cyn bod yn llawn. Yr wyf yn priodoli llawer o'm llwyddiant I i'r ffaith fod fy eglwys yn gweithredu yn y modd ag yr wyf yn ceisio genych chwi i wneyd." Y mae y llythyr hwn o eiddo Mr. Spurgeon yn gyfryw, fel mai afreidiol yw ychwanegu dim.

*Caerdydd.* DEWI ELFED.

---

## HADES.

Ymddengys fod cyfieithwyr yr Ysgrythyrau i'r iaith Gymraeg yn coleddu y syniad fod *Hades* yn gyfystyr ag uffern, oblegid y gair olaf a ddodant yr ddieithriad yn gyfieithiad am y blaenaf; er hyny rhaid eu bod weithiau yn amheus o'r hyn oedd gwir feddwl y gair, oblegid cawn hwy yn dodi *bedd* ddwy waith yn gyfieithiad o hono ar ymyl y ddalen. Yn *Seren Gomer* am Ionawr y mae erthygl ragorol gan y golygydd ni dybiem, ar ystyr y gair hwn—Hades. Dywed yr awdwr, "Credwn mai y syniad a gyflea y gair *hades* ydyw y cyflwr o fod wedi marw o ran corff a'r enaid." Yr hyn a ddadleuwn drosto yw, nad yw yn golygu lle o gwbl, ond y cyflwr o fodoli ar ol i ddynion farw, pan fydd yr enaid yn hanfodi ac yn byw ar wahan oddiwrth gorff. Nid oes a fyno a dedwyddwch nac ag annedwyddwch y dyn yn y cyflwr hwn. Y geiriau priodol yn y gwreiddiol am *uffern* yw Gehena a Tartarus.

Dadleua fod y gair *hades* yn air rhywogaethol (*generic*), megys y gair *anifail* yr hwn a gynwysa bob peth sydd yn meddu bywyd anifeilaidd. Mae dywedyd fod Iesu wedi ei eni yn Asia yr un mor briodol a dywedyd ei fod wedi ei eni yn ngwlad Canaan, yn Judea, neu yn Bethlehem; oblegid y mae pob un o'r rhai hyn yn cael eu cynwys yn y nesaf o'i flaen. Ac mae dywedyd fod Iesu wedi ei eni mewn adeilad yn berffaith gyson a dywedyd ei fod wedi ei eni mewn beudy, oblegid mae yr olaf yn cael ei gynwys yn y cyntaf. Yr unig wahaniaeth yn yr engreifftiau uchod yw, fod y gair olaf bob tro yn fwy terfynol (*definite*) na'r gair blaenorol. Felly oni all y gair *hades* fod yn enw o ystyr eangach na'r geiriau *uffern* a *bedd*, ac felly gynwys y ddau. Credwn mai hyn yw y gwir esboniad ar yr achos mewn llaw.

## Y DYSTEB.

Yr oedd cwrdd cyflwyniad y dysteb, ar y cyntaf o Fawrth yn nghapel y Bedyddwyr, yn Kingston, Pa., yn hynod ddyddorol i'r gwyddfoddolion oll, ac yn neillduol felly i'r Parch. Theophilus Jones, canys cafodd ef ar y pryd y swm anrhydeddus o 535 o ddoleri drwy yn unig estyn ei ddwylaw i'w derbyn; nid oedd eisiau cymaint a'u cyfrif, oblegid yr oedd hyny wedi ei wneyd yn ofalus yn flaenorol.

Golygfa hynod foddhaus i ni oedd sylwi ar yr hybarch frawd, y Parch. Theophilus Jones, yn sefyll ar yr esgynlawr gan ddysgwyl cael y trysor. Ger ei fron yno safai y Parch. D. Rhoslyn Davies, gan ddal y *pwrs* llawn yn ei law tra y traddodai anerchiad cyflwyniadol pwrpasol i'r amgylchiad. Tybiai y brawd Jones amryw droion fod yr anerchiad yn diweddu pryd nad ydoedd—a phob tro y tybiai felly symudai yntau ei ddwylaw tuag at y goden, ond gan nad oedd stori y cyflwynwr yn terfynu pryd y tybid, priodol ydoedd, wrth gwrs, tynu y dwylaw estynedig yn ol am ysbaid pellach. Ac felly am amser go faith bu llygaid gloewon y brawd Jones yn *perlio* ar y trysorau gerllaw, a'r dwylaw yn symud yn mlaen ac yn ol, i fyny ac i lawr. O'r diwedd modd bynag, anrhydeddwyd y dwylaw a'u perchenog â'r anrheg, pryd y diolchodd Mr. Jones yn gynes iawn i'r eglwysi oll a'i cofiasant, ac i'w gyfeillion yn mhob man; dywedodd fod ei *holl fodolaeth* yn diolch, ac y teimlai yn ddiolchgar am y rhodd hon wrth dynu yr anadliad olaf.

## ANGLADD GWEINIDOG ENWOG.

Dydd Llun, Chwef. 7, claddwyd gweddillion y Parch. Wm. Thomas, gweinidog y Bedyddwyr yn Rhydwyn, Mon (Lerpwl gynt), yn mynwent capel y lle hwnw. Er yn ddiwrnod rhyfeddol o dymhestlog daeth canoedd i'r angladd o wahanol fanau o Gymru ac amryw o Loegr. Eglwys Rhydwyn oedd un o'r eglwysi a wasanaethai Mr. Thomas dros ysbaid y pum mlynedd diweddaf o'i oes.

Cafodd ein brawd ddydd hwy yn y winllan na'r cyffredin, a gweithiodd yn galed; teithiodd eilwaith ac eilwaith trwy Gymru benbaladr, i gynyg Ceidwad i'r colledig, ac ymwelodd yn fynych ag amryw o ddinasoedd a threfydd mawrion Lloegr; pregethodd mewn ugeiniau o gymanfaoedd, a chanoedd o gyrddau mawr; ac nid ydys yn cofio cwyn i'w ddewisiad ef erioed fod yn anffawd. Gellir dweyd am dano, fel penteulu, ei fod yn hynaws a charedig; fel cymydog, yn hynod o gymwynasgar; fel bugail, yn dyner a gofalus; ac fel pregethwr, yn un o'r rhai mwyaf nerthol a phoblogaidd. Gallai gyfarch cydwybod yr annychweledig yn finiog; a phan yn darlunio y nefoedd, gweithid y saint yn fynych i brofiad y dysgyblion ar fynydd y gweddnewidiad.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae y Parch. James Owen, Abertawe, yn parhau yn enwog fel darlithiwr, yn gystal a phregethwr. Testyn darlith ddiweddar ganddo ef ydoedd "Chwedlau Æsop."

—Llawer o holi sydd, Ai tybed y daw Ednyfed yn ol i America? Y farn fwyaf gyffredin ydyw, mai yn ol y daw, a hyny yn lled fuan. Da Ednyfed anwyl, anfon air atom i ddweyd sut yr wyt yn teimlo. Wyf yn siwr bod arnat hiraeth am danom ni—mae yma ganoedd, os nad miloedd, yn hiraethu ar dy ol di, beth bynag.

—Mae Dr. Ellis, mab yr enwog Cynddelw, newydd droi at yr Eglwys Sefydledig. Gweinidog ydoedd ar eglwys Seisnig Fedyddiedig yn Llangollen.

—Mae eglwys Nefyn, sir Gaerfyrddin, yn fyw o hyd, ac yn amlygu arwyddion iechyd, ymdrech a gweithgarwch.

—Hysbysir fod eglwys Porthmadog, G. C., wedi rhoddi galwad gynes ac unfrydol i'r Parch. J. Griffiths, Llanfairfechan, Arfon.

—Mae eglwys Pisgah, Brycheiniog, wedi rhoddi galwad i Mr. John Roberts, myfyriwr o Pontypool.

—Mae eglwys barchus Pwllheli a Tyddyn Shon wedi rhoddi galwad unfrydol i'r Parch. J. Thomas, Llandudno, ac y mae yr atebiad yn gadarnhaol. Dechreua ar ei weinidogaeth yn ddioed.

—Deallwn fod amryw o barsoniaid yn Nghymru yn gwingo yn erbyn symbylau cyfraith newydd y claddu; ond rhaid ymostwng.

—Bedyddiadau yn Nghymru yn lluosogi ac yn galonogol.

—Dyma engraifft,—Porthcawl, Chwef. 20, bedyddiwyd un brawd, yr hwn a fu am flynyddau yn aelod gyda'r Annibynwyr, gan y Parch. J. Thomas.

—Mae Thalamus yn darlithio llawer yn y Deheudir ar "Ysbrydegiaeth." 'Does berygl i neb o'r Cymry fyned yn *Spiritualists!*

—Yn ddiweddar, bu farw y Parch. T. Burdett, M.A., yn Rawdon, diweddar athraw clasurol Hwlffordd, yn 69 oed. Yr oedd efe yn fawr ei barch bob amser gan y myfyrwyr.

—Mae y Parch. D. B. Davies, wedi symud o New Straitsville i Shawnee, O., ac yn cymeryd gofal gweinidogaethol yr eglwys fach yno. Dygir tystiolaeth iddo fod yn llafurus ac ymdrechgar yn Straitsville, ac ni ddiffygiodd nes gweled yno gapel newydd hardd.

—Costiodd capel newydd New Straitsville oddeutu dwy fil o ddoleri, ac y mae yn agos i dair rhan o bedair o'r draul wedi eu talu. Mae y frawdoliaeth yno i'w canmol yn fawr am eu cydymdrech.

—Mae y Parch. Charles Jones, M.A., Mineral Ridge, O., wedi cael galwad wresog i New Straitsville, ac y mae galwad iddo hefyd o Parsons, Pa. Yn sicr, gresyn fyddai iddo fyned oddiwrth y praidd caredig yn Mineral Ridge.

—Mae hiraeth mawr yn nhy y brawd Dr. Griffith, Oak Hill, O., ar ol ei anwyl ferch a fu farw yn ddiweddar.

—Y Parch. D. C. Thomas (*Christopher Bach*) sydd a gofal presenol eglwys Niles, O.

—Mae yr eglwys yn Kingston, Pa., mewn cyflwr llewyrchus o dan weinidogaeth y Parch. D. Rhoslyn Davies.

—Mae y brawd Jacob W. Evans, Pittston, yn llawn brwdfrydedd mewn arwain cyrddau pobl ieuainc yr eglwys.

—Brawd o Irwin Station, Pa., a ddywed:— "Er's ychydig amser yn ol daeth y Parch. Llewelyn Rees, Johnstown, gynt, a'i lythyr i'n plith; yr oedd y fath lythyr yn anrhydedd i'n hanwyl frawd. Duw a'i bendithio i wneyd llawer rhwyg yn nheyrnas y gelyn."

—Galwn sylw at yr hysbysiad a welir ar y clawr mewn perthynas i Lyfr Emynau a Thônau at wasanaeth y Bedyddwyr Cymreig.

## ATEBIAD

*I Ofyniad Mr. Benjamin C. Williams, Church Hill, yn y* WAWR *am Chwefror diweddaf, "A yw yn iawn galw y Beibl yn Charter?"*

---

Gan fod eich teithi meddyliol, ac eiddo rhai eraill yn Church Hill, eich chwaeth a'ch hymroddiad i ddeall gair Duw, a'i safle berthynasol i bethau eraill, ni chaiff y drafferth o'ch hateb fod yn ormod i ymgynyg arno. Gan mai oddi cartref yr wyf pan yn gweled eich gofyniad gyntaf, nid oes genyf i'w wneyd ond ysgrifenu ar y *spur of the moment* arno.

Er deall y pwnc, rheidiol yw rhoddi deffiniad o ystyr *Charter*. *Charter* yw y freinlen a rydd y Ddeddfwrfa i *fank*, bwrdeisdref, cwmni gweithfaol, cynadledd, *synod*, &c., neu *State*, drwy neu yn herwydd pa un y deuant yn ngolwg y gyfraith yn gyrph sylweddol; yn meddu hawl gyfreithlon i basio rheolau *by-laws* priodol iddynt er eu llywodraethiad. Cofier, y mae pob cynulliad corphoredig, yn ngrym ei *charter* derbyniedig oddiwrth y Ddeddfwrfa, yn meddu gallu i ddyfeisio a phasio rheolau er ei hunan-lywodraethiad. Wel, a ydyw y Beibl yn *charter* felly i wahanol enwadaeth ac eglwysi?

Dilys genym nad yw y Beibl yn cydnabod gwahanol enwadaeth mewn gwir grefydd; a chyda golwg ar eglwysi, crea y Beibl hwy yn gyrph sylweddol, a hollol annibynol ar eu gilydd.

Mae genym ddau wrthwynebiad i ystyried y Beibl yn *charter* i'r eglwysi:

1. Am y ceidw y Beibl iddo ei hun y gwaith o lywodraethu, yn gystal a rhoddi bodolaeth i'r eglwysi. *Charter* a gydnabydda fodolaeth y sefydliadau corphoriaethawl o fewn rhyw derfynau; ond ni lywodraetha hwynt yn mhellach. Am y cynwysa y Beibl reolau cyffredinol a neillduol i'r saint fel unigolion, yn gystal ag yn eu perthynas gynulleidfaol, i fyw wrthynt, mae yn fwy ac yn gryfach nag un *charter*. Os nad yw y Beibl yn gadael i ddynion ddod yn Gristionogion fel y mynont; fel Cristionogion i ymffurfio yn eglwysi

fel y mynont; fel eglwysi i fedyddio a chymuno a chyfranu; i ymddwyn at eu gweinidogion, diaconiaid, a'u gilydd, fel y mynont; os nad yw y gweinidogion, diaconiaid, a'r saint, i ymddwyn at eu gilydd fel y mynont, ond fel y dysga y Beibl, rhaid fod y Beibl yn fwy na *charter*. Creda y Deist i Dduw, wedi iddo greu y byd, ei adael iddo ei hun i ymlwybro a ffurfio nodweddion wrth ddygwyddiad (*chance*); ond sicr genym nad gwir hyna; ac mor sicr ydym nad felly y mae gyda golwg ar y Beibl a'r eglwysi. Beth bynag a grea yr Ysbryd Glan drwy y Beibl, myn drwy yr un cyfrwng ei lywodraethu. Gorchymyn, ac nid *charter* i fodoli, a gafodd y greadigaeth; ac y mae yn rhaid iddi wrth y gwr a'i gwnaeth, bob mynyd i'w llywyddu. Cyfartal â hyn yw y gwir am y Beibl a'i waith. Mae yn rhaid i'r Cristion wrth yr Hwn a'r cyfrwng a'i creodd yn newydd yn Nghrist Iesu, i'w gadw yn y cyflwr hwn. Os yr Ysbryd Glan drwy y gwirionedd yn nwylaw swyddwyr darparedig yn y Cyfansoddiad, ddygodd yr eglwys i fod, efe yr un modd sydd i'w llywodraethu, ac nid y gweinidog, diaconiaid, cwrdd eglwys, na chymanfa oddiar safle Pabyddol. Mae llawer, os nad yw yr holl wir, yn ngeiriau y meddyliwr galluog a manwl Carson, pan ddyweda, "Nid oes nemawr i un amgylchiad y dichon Cristion neu yr eglwys fyned iddo, nad oes iddi reol addas i'w llywodraethu yn y Beibl, a hon yn gyrhaeddadwy a dealladwy i'r hwn a foddlono ymdrafferthu tipyn i chwilio am dani." Symudai credu ac ystyried hyn lawer o drafferth ddi-fudd eglwysig a chymanfaol; a gwnelai i lawer penderfyniad o'r eiddynt fod yn hollol ddi-alw am danynt.

Yr oedd genyf wrthwynebiad ar ystyriaeth arall i'r term *charter* ar y Beibl, sef ei fod yn arwain yr eglwys a'r enwad i fod yn Babyddol. Nid oes dim y gwyddom am dano yn hawddach i'w brofi a'i egluro na hyn: gwnawn hyn yn awr. Rhy fynych y dadblygir mewn cylchau eglwysig a chynadleddau cymanfaol, fod yn hawddach cael clebrwr uchel ac aml, a chynygydd ac eilydd i fesurau pwysig, na chael ymchwilydd diwyd a gonest i'r Beibl, a oes mesurau cyffyrddedig â'r mater dan sylw wedi pasio gan Benadur teyrnas nefoedd. Nid oes achos pasio dim ar ei ol ef; a dwl, rhyfygus, pasio dim o'i flaen.

Parhewch, frodyr anwyl yn Church Hill, i fyfyrio y Beibl, ac i'w gydnabod yn uchaflys i brofi eich holl faterion crefyddol, ac yn brif ddaioni i'w feddu yn synwyr yn y pen, ac yn gyffroad yn y galon. LL. REES.

## GOFYNIAD.

BARCHUS OLYGYDD—Byddwch cystal a rhoddi lle i mi gyflwyno y gofyniadau canlynol i sylw y Parch. Ll. Rees:

1. Beth ydyw y pethau sydd yn gynwysedig mewn cadw yn sanctaidd y dydd Sabboth?
2. At bwy yr oedd y gorchymyn o gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth yn cael ei gyfeirio, ai at y meistr, neu y penteulu, ynte at bob dyn yn bersonol?
3. Pwy oedd gyfrifol, os buasai y gwas trwy orchymyn y meistr yn troseddu, ai y meistr, ynte y gwas, neu bob un o'r ddau?
4. I ba raddau y mae yr Apostol Paul yn anog y gweision i fod yn ddarostyngedig i'w meistriaid?

Gan fod y pwnc o weithio ar y Sabboth yn creu tipyn o gynwrf yn yr ardal hon yn bresenol, a llawer o esboniadau yn cael eu cynyg arno sydd a thuedd ynddynt i gyfiawnhau yr euog, a gosod cadwraeth y Sabboth yn isel yn ngolwg y byd a'r eglwys, hyderwyf, drosof fy hun a llawer eraill, y gwnewch gyfiawnder â'r pwnc ar du dalenau y WAWR; ac os ydym yn y tywyllwch, y cawn ein dwyn i'r goleuni trwoch chwi. Yr eiddoch yn ostyngedig,

D. A. DAVIES.

## *BEDYDDIWYD—*

Pigeon Run, O., Chwef. 27. Ar foreu y Sabboth uchod, gellid gweled lluaws o bobl yn myned i lan y nant, er mwyn cael gweled chwaer ieuanc, merch hynaf Morgan E. James, yn canlyn Crist yn y bedydd. Yr oedd yr olygfa yn ogoneddus. Y gweinyddwr oedd y Parch. J. F. Richards, Newburgh. Mae yma un arall yn aros am fedydd.—*Bedyddiwr.*

Yn Pittsburgh, Pa, Sul Mawrth 5ed, dwy chwaer ieuainc ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. A. J. Morton; a da genym hysbysu fod dwy chwaer arall yn dysgwyl gweinyddiad yr un ragorfraint iddynt y Sul nesaf.—*Ioan.*

# Newyddion a Nodion.

GAN J. EDRED JONES.

Crybwyllais yn y rhifyn diweddaf, fod amgylchiadau politicaidd yr Hen Fyd yn gwisgo agwedd fygythiol ac anaddawol—fod drwg yn bodoli o tan y crystyn arwynebol. Ond nid oeddwn yn meddwl pan yn ysgrifenu hyny, y buasai y drwg hwnw yn dryllio y crystyn mor fuan, trwy un o'r ffrwydriadau mwyaf dychrynllyd, nad yw ei gyffelyb yn dygwydd yn aml yn mhlith dynion gwareiddiedig. Y mae nerth ac echryslonrwydd y gyflafan olaf hon wedi siglo Ewrop, a'r gwefreiddiad yn peri syndod a braw hyd eithafoedd y ddaear. Gwnaed amryw gynygion blaenorol am fywyd

YMERAWDWR RWSSIA;

ond bu Alexander II. yn ffodus i ddianc bob tro hyd y cynyg diweddaf hwn. Ond y mae rhyw *ddiweddaf* yn hanes pawb o honom; ac yn bresenol y mae genym i gofnodi fod Ymerawdwr galluog Rwssia wedi ei frad-lofruddio yn farbaraidd yn ninas St. Petersburgh, gan ei ddeiliaid ei hun. Ymddengys ei fod yn dychwelyd tua'r palas gauafol, o *parade*, tua 2 o'r gloch brydnawn dydd Sul, Mawrth 13, yn nghwmni amryw o urddasolion ei lys, pan y taflwyd tân-belen (*bomb*) at ei gerbyd gan rywun o'r lluaws edrychwyr oeddynt ar yr heol. Ni wnaeth hono fwy o niwed i'w Fawrhydi na dryllio y rhan ol o'i gerbyd. Ffrwydrodd hon gyda'r fath nerth nes cloddio twll yn y ddaear galed a rhewllyd, yn mesur pedair troedfedd o led, a phedair o ddyfnder. Cyn fod mwg hono wedi clirio, taflwyd pelen o'r ochr arall o'r heol, yr hon a ffrwydrodd wrth draed yr Ymerawdwr, gan ddryllio ei goesau a rhwygo ei ymysgaroedd. Cariwyd yr Ymerawdwr clwyfedig i'r palas gauafol; bu yno mewn cyflwr o annheimladrwydd am tua dwy awr, pan y gosododd angau derfyn ar ei boenau. Heddyw mae Ymerawdwr mawr, galluog ac unbenaethol holl Rwssia, yn gorwedd yn ei arch, yn gydradd â'r distadlaf o'i ddeiliaid. Ond mae'r llofruddiaeth greulon hon wedi gyru iasau o arswyd trwy y byd gwareiddiedig, er nad ydoedd y fath gyflafan yn hollol annysgwyliadwy.

Ar foreu Ebrill 2, 1879, saethodd dyhiryn ato, pan ydoedd allan yn cymeryd ei daith foreuol arferol, mewn lle agored rhwng y palas gauafol a'r Swyddfa Dramorol. Ar y 19eg o fis Tachwedd, yr un flwyddyn, gwnaed cynyg beiddgar arall i chwythu fyny gledrau y rheilffordd, o fewn dwy filldir i ddinas Moscow, pan feddylid fod yr Ymerawdwr yn myned gyda cherbydres neillduol. Taniwyd y *magazine* tan-ddaearol y foment yr oedd y gerbydres yn myned trosto; chwythwyd y ffordd a'r cledrau i fyny, a hyrddiwyd y gerbydres i'r ffos, ond yn ffodus yr oedd ei Fawrhydi wedi pasio mewn trên arall, ychydig fynydau yn flaenorol. Wedi gwneyd ymchwiliad, caed allan fod twnel wedi ei gloddio yn bwrpasol o anedd gyfagos, odditan y rheilffordd, a'r peiriant uffernol yn cael ei danio gan *battery* o'r anedd grybwylledig. Dywedir fod y twnel hwn wedi costio ugain diwrnod o lafur caled i ddau o bersonau!

Ar y 5ed o Chwefror, 1880, gwnaed ymdrech greulon arall i chwythu fyny ran o'r palas gauafol. Ar yr amser y byddai'r teulu Ymerodrol yn ciniawa, cymerodd ffrwydriad arswydus le, gan ladd rhai, a chlwyfo eraill; ond gan fod yr Ymerawdwr yn dysgwyl Tywysog Hesse, nai i'r Ymerodres, i giniawa gyda hwy yr hwyr hwnw, yr oedd y teulu wedi oedi myned i'r *aining room* hyd nes y deuai. Felly arbedwyd ei fywyd y tro hwnw hefyd. Ond gan fod iddo gymaint o elynion yn sychedu am ei waed, nid oedd yn rhesymol dysgwyl y gallai ddianc o hyd, ac nis gwnaeth.

Yr ydys wedi cael allan i foddlonrwydd yn awr, fod y peiriant dinystriol a chwythodd i fyny ran o'r palas

gauafol yr amser a nodwyd uchod, wedi ei wneuthur gan Mr. Loriot, ar gongl heolydd Nassau a Fulton, yn ninas New York. Galwyd ar Mr. Loriot gan foneddwr trwsiadus, a gorchynodd *fachine* bychan a allai danio *fire crackers* ar y 4ydd o Orphenaf. Wedi cael un a brofodd i foddlonrwydd, cymerwyd ef i ffwrdd; a dychwelodd yn Awst, gan ofyn i'r gwneuthurwr am wneyd un a allai danio *fulminant* a osodid yn mhell oddiwrth y peiriant. Gwnaed hwnw drachefn; a dyma'r offeryn a ddefnyddiwyd yn y palas.

Y mae'r giwed Nihilistaidd wedi dechreu oddiar y flwyddyn 1874; ac erbyn heddyw y mae gwreiddiau a changenau y gymdeithas wenwynig hon wedi ymledu tros yr holl ymerodraeth eang. Ac er llymder pob cosbedigaeth ar bersonau cysylltiedig â hi, y mae wedi herio carcharau, Siberia, ac angau ei hun. Ymddengys fod y Nihilistiaid yn barod i ddyoddef unrhyw galedi ac arteithiau, er cyrhaedd eu hamcan. Ac y mae yn deilwng o sylw hefyd, nad yw y personau sydd wedi bod yn flaenllaw yn yr ymosodiadau ar fywyd yr Ymerawdwr, ond dynion *ieuainc rhwng 18 a 30 oed!* Ond, o ran hyny, y mae llysoedd barn a charcharau y byd yn profi fod y mwyafrif o droseddau o wahanol raddau a natur, yn cael eu cyflawni gan *ieuenctyd* rhwng 15 a 25 oed. Y mae hyn yn alarus, eto yn ffaith. Darllenais ysgrif yn un o newyddiaduron Cymru yn ddiweddar, yn cwyno am gynydd rhyfeddol yn nifer y troseddwyr ieuainc yn yr hen Dywysogaeth anwyl ac uchel-freintiog. Y mae hyn yn ddirywiad gresynus, a dylai y rhai y perthyn iddynt gymeryd y drwg wrth ei gyrn yn amserol. Ffaith alarus ac awgrymiadol arall ydyw y *gorfoledd* digêl mae'r brad-lofruddiaeth gwaedlyd hwn wedi roddi yn ngwersyll y blaid Nihilistaidd, Socialistaidd, a Chommunistaidd yn Ewrop ac America. Nid bywyd Ymerawdwyr, Breninoedd, ac eraill mewn awdurdod, yw y pwnc yn gymaint a bywyd pob *llywodraeth*, pob *trefn*, pob *llwyddiant*, a phob *golud casgledig*. *Gelynion* beiddgar y rhan oreu o ddynoliaeth, yw'r giwed yna, pa enw bynag a wisgant. Y mae prif ddinasoedd America yn llawn o honynt, ac y maent yn dechreu bygwth ein prif gyfoethogion yn barod! Beth fydd sefyllfa pethau yma ugain mlynedd o yn awr?

Nid wyf am gelu y ffaith fod llawer o orthrymder wedi ei deimlo yn Rwssia, eto y mae pob dyn gonest yn rhwym o gydnabod fod Alexander II. yn *Fonarch* goleuedig a dyngarol ar y cyfan. Rhyddhaodd *ugain miliwn o serfs!* Hwylusodd y ffordd i addysg gyffredinol, a dechreuodd wellianau mawrion ar radd helaeth. A phe cawsai lonydd i gario allan ei feserau, buasai yn cyfodi Rwssia o'r cyflwr *semi*-barbaraidd y mae wedi bod ynddo er's oesoedd. Y mae

PRYDAIN FAWR

yn ymddangos mewn goleu annymunol eto, yn ei hymgais i ddarostwng y Boeriaid yn Transvaal, Affrica Ddeheuol.

Yn 1652 sefydlodd y "Dutch East India Co." drefedigaeth o amaethwyr yn Mhenryn Gobaith Da. Yn 1686 aeth 150 o French Huguenots atynt; ymbriodasant a'u gilydd, a buont fyw yn llwyddianus. Yn mhen blynyddau ceisiasant daflu ymaith yr iau Dutchaidd, er sefydlu llywodraeth annibynol. Rhoddodd y Dutch hwy i ofal y Saeson, y rhai ar ol deng mlynedd o ymdrech, a gymerasant feddiant yn 1814. Ond cymaint oedd anfoddlonrwydd y Boeriaid, fel y penderfynodd nifer mawr o'r amaethwyr i daflu eu ffermydd i fyny, ac ymfudo tu hwnt i linell y meddiant Prydeinig, a chymeryd *tract* o dir anghyfaneddedig. Dywedent, "Yr ydym yn gadael y drefedigaeth hon mewn llawn sicrwydd nad oes gan y llywodraeth Brydeinig un hawl arnom mwyach, ac y cawn lonyddwch i lywodraethu ein hunain heb ei hymyraeth. Yr ydym yn penderfynu pa le bynag yr elom, i gynal i fyny egwyddorion cyntaf rhyddid." Ond ar ol myned, a llwyddo yn eu cartrefle newydd, daeth y Saeson ar eu gofyn drachefn. Cododd y Boeriaid mewn gwrthryfel, ond wedi eu darostwng, symudodd y

Boeriaid eilwaith tu hwnt i'r afon Vaal, a galwasant eu meddiant newydd yn Trans Vaal. Wedi llwyddo yma eto, gwnaeth Lloegr amodau â hwy yn y fl. 1852, gan sicrhau iddynt yr "hawl i drin eu hachosion eu hunain, a llywodraethu en hunain," heb achosi iddynt ofni unrhyw ymyraeth oddiwrth y llywodraeth Brydeinig. Am dros 25 mlynedd bu y Boeriaid yn mwynhau rhyddid a gwerin-lywodraeth. Yr oedd eu daear yn llawn o fwnau gwerthfawr, yr oeddynt yn ymgyfoethogi yn gyflym, ac yr oedd poblogaeth o tua 280,000 yn llwyddianus a boddlongar. Ond yr oedd hyn yn ormod i lygad cybyddlyd a gorwancus John Bull; anghofiodd, yn gyfleus, y cyfamod a wnaeth â hwy yn 1852; rhuthrodd arnynt drachefn, yn 1877, o dan yr esgus nad oeddynt yn alluog i lywodraethu eu hunain! Oddiar hyny hyd yn bresenol y mae llywodraeth Prydain wedi bod yn ceisio darostwng y Transvaal *republic!* Yn mhlith holl ryfeloedd gwaedlyd Lloegr, ni fu un erioed mor anghyfiawn a gorthrymus, a cheisio darostwng y dynion hyn i blygu i'w hawdurdod, pan nad ydynt erioed wedi cyflawni trosedd gwaeth na cheisio rhyddid ac annibyniaeth. Ysgrifenai un a fu byw yn eu plith, "Dynion araf i feddwl, ond ar ol iddynt benderfynu, nid yn hawdd y gellir eu troi. Cenedl gartrefol, sobr, rinweddol, dawel, ac mor llawn o ffydd yn Nuw, ac o gyfiawnder rhwng dyn a dyn ydyw, ag a all y byd dynol ddangos." Er darostwng y bobl ddiniwed hyn i'w hawdurdod, mae Lloegr wedi ymladd â hwy yn greulon am y pedair blynedd diweddaf; ond mae'r Boeriaid yn fwy na *match* iddi yn bresenol. Gorchfygasant mewn brwydrau poethion ond teg, yn ddiweddar, pan y lladdwyd un o brif gadfridogion y fyddin Brydeinig. Oddiar hyny y mae telerau heddwch o dan ystyriaeth y pleidiau. Ac er fod dosbarth lluosog yn Lloegr yn galw am lwyr ddarostwng, os nad difodi y Boeriaid, cyn siarad am heddwch, eto y mae i'w obeithio na fydd Lloegr yn euog o'r trosedd erchyll o wrthod dyfod i amodau heddwch ar y telerau mae y Boeriaid yn hawlio—rhyddid i lywodraethu eu hunain.

Ni chaniata gofod y golygydd i mi wneuthur ond byr-grybwylliad am ein

HELYNTION CARTREFOL.

Urddfreiniwyd yr Arlywydd Garfield mewn tangnefedd. Traddododd araeth ardderchog, teilwng o'r dyn, yr ysgolhaig, y gwladweinydd, a'r amgylchiad. Dewisodd ei Gyngorwyr, a chadarnhawyd hwy gan y Senedd, heb un gwrthwynebiad, ac y mae ei weinyddiaeth wedi dechreu ar ei gwaith o ddifrif. Y mae yn werth i'w gofnodi hefyd, fod holl awenau y llywodraeth yn meddiant y Gwerinwyr unwaith eto. Penderfynwyd tynged Ty y Cynrychiolwyr yn yr etholiad cyffredinol, yr hydref diweddaf, ond ofnid oddiar hyny y gallai y Democratiaid ddal eu gafael yn y Senedd am y ddwy flynedd ddyfodol; ond trwy gymorth y Seneddwr Mahone o Virginia (Democrat), llwyddodd y Gwerinwyr i *organizio* y Senedd ar y 18fed o Fawrth. Pilsen chwerw oedd hon i'r *Dems*, ond bu raid iddynt ei llyncu. Yn mhell y byddo'r dydd pan gaffo y Democratiaid eto afael ar yr awdurdod a gollasant yn ddiweddar. Bydded oes hir i'r blaid Werinol; ac felly y bydd, oni ddinystrir hi gan flaenoriaid anonest ac uchelgeisiol.

---

# Barddoniaeth.

## D. S. ROBERTS (DAFYDD DYFED)

HYDE PARK, PA.

"Dafydd Dyfed" ehedodd—i well byd,
A'i holl boen ddybenodd;
I'r nefolion feirddion o'i fodd,
Duw Iesu a'i *introdusodd.*

Wedi siglaw llaw hwnt i'r llen—a gwyr
Rhagoraf yr awen;
Ac iddo wisgaw'r wisg wen,
Yna y llu ganai'n llawen,

Rai o'r hen fâd ganiadau—a hwyliog
Nefolaidd anthemau;
Dewi lonir gan delynau
Aur y nef, a'r Ior wna'i fawrhau.

"Am ei ffydd "Dafydd Dyfed"—y nefoedd
Gan Naf ga'dd yn deyrnged;

Ac â bri eto gwobrwyed
Ei weddw'n gu, Nef iddi'n gêd.

*Hyde Park.* T. CILCENIN EVANS.

## ENGLYNION

Er Coffadwriaeth am y Brawd Ffyddlawn Mr. WILLIAM ESAU, yr hwn a hunodd yn yr Iesu yn Kingston, Pa., Chwefror 10, 1881, yn 61 mlwydd, 6 mis, ac 8 niwrnod oed.

Am osod William Esau—o'n golwg
Fe'n gwelir mewn dagrau;
Gwr duwiol, gwir, a diau—ei symud
I gael y golud sydd yn y gwawl golau.

Do, suddodd mewn dwys weddi—yn y dw'r,
A'i wên deg, gan waeddi,
"*All right!*"* y mae fy hael Ri
A chymorth yn wych imi.

Fel hyn y difefl henwr,
I'w sedd deg croesodd y dw'r.

Ei dynfa tra yn Danville†—oedd unol
O ddaionus ymchwil;
Yn ddifai, un ydoedd o fil,
A'i ganiad oedd ddigynil.

Llawer cyngor rhagorol—a roddodd,
Er addas fyw'n dduwiol;
Dal yn well, a dilyn ôl
Yr Iesu yn arosol,

Tra gonest y bu'n trigianu—yr anial,
Dan arweiniad Iesu;
Ato aeth, gan hiraethu
Am olud gwell—am wlad gu.

Brodyr lu mewn brwydrau loes—a chwiliant
Gan ochelyd drygfoes
Y byd hwn, a darbod oes
O foliant y nef eiloes.

*Kingston, Pa.* J. R. PRICE.

* Dywedodd hyn ychydig oriau cyn marw.
† Yma y treuliodd y rhan fwyaf o'i oes.

## ER COFFADWRIAETH

Am Mrs. LEAH PARRY, Diweddar Briod Mr. Jos. Parry, Upper Lehigh, Pa., yn 55 oed.

Un o berlau coron Iesu
Gasglwyd i'r drysorfa fawr;
T'wysen ffrwythlon mewn addfedrwydd,
Dorodd cryman angeu i lawr;
Swn galarnad sy'n y teulu,
Drwy'r gym'dogaeth hiraeth sydd,
Seion sydd yn tywallt dagrau,
A'i cherddorion heddyw'n brudd.

Y mae Leah wedi 'hedeg,
O'r Lehigh uwch bryniau'r llawr;
Wedi gadael dyffryn adfyd,
Am ei hetifeddiaeth fawr:
Ein mawr golled drodd yn elw
A gogoniant iddi hi;
Ei pheroriaeth mwy ni chlywir
Yn y teulu gyda ni.

Gwag yw'r ty heb ei sirioldeb,
Dystaw yw ei swynol lais;
Archoll gefais yn y golled,
Ar fy nghalon i mae clais.
Er yn gorwedd gyda'r meirw,
Yn y gladdfa oer gerllaw,
Y mae'n fyw yn fy serchiadau,
Byw fydd yn y farn a ddaw.

Ar ddeheulaw'r Barnwr cyfiawn,
Mewn gwisg wen a newid wedd;
Bydd yn mhlith y gwaredigion,
Wedi dod i'r lan o'r bedd;
Clywaf lais o'r orsedd ddysglaer
Yn cyhoeddi cyfiawnhad;
"Deuwch i'r orphwysfa nefol,
Fendigedig blant fy Nhad."

Dros ei Phriod, IEUAN IONAWR.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## Y CHWEDL AM GAUTAMA, SYLFEINYDD BUDDHYDDIAETH.

Tua diwedd y chwechfed ganrif cyn y cyfnod Cristionogol, yr oedd brenin o gymeriad da, ac a berchid yn fawr ar gyfrif ei gymeriad da a'i ddoethineb mawr yn byw yn Kapila-vashe, yr hon oedd prif ddinas ei wlad; a'r hon a saif ryw gan milldir i'r gogledd-ddwyrain o'r ddinas adnabyddus hono yn India a elwir Benares. Yr oedd Kapila-vashe ar lan afon ddi-nod o'r enw Rohini. Rhis-yd ac anifeiliaid oedd prif gynyrchion y wlad, ac ar hyny yr oedd y trigolion yn byw. Yr oeddent oll yn grefyddol, a Brahminiaeth oedd eu ffydd. Enw y brenin oedd Suddhodana, ac enw ei wraig oedd Maya; ac ystyrid hi y glanaf o holl wragedd y wlad. Ni fu iddynt blant nes oedd Maya yn 45 oed. Yn y flwyddyn 552 c. c. yn ol y chwedl, pan oedd y fam yn 45 oed ganwyd iddynt y plentyn cyntaf, yr hwn oedd yn fab, ac a welodd oleuni dydd am y tro cyntaf o dan bren a elwid yn bren sidan, mewn cae. Galwyd y newydd-anedig yn Gautama.

Fel dynion nodedig eraill, mae chwedleuon hynod yn gysylltiedig â'i enedigaeth rhyfedd, ei alluodd pan yn blentyn, a'r doethineb a ddangosodd yn moreu ei oes. Pan ddaeth Gautama i'r byd, derbyniodd y byd oleuni mwy, a chryfach, na dim oedd erioed o'r blaen wedi ei fwyhau, a deng mil o fydoedd eraill yr un modd. Daeth deillion i weled, byddariaid i glywed, cloffion i rodio; blagurodd y coed, a blodeuodd holl lysiau y maes; llwythwyd yr awelon gan ganiadau y côr asgellog, a diffoddwyd hyd yn nod tânau uffern am dymor. Ar y pumed dydd wedi ei eni daeth cant ag wyth o offeiriaid Brahminaidd at eu gilydd mewn cynghor, er dewis enw priodol ar y tywysog newydd-anedig. Y mwyaf dysgedig o honynt a brophwydodd y byddai i'r tywysog ieuanc ddod yn "Buddha," ac y byddai iddo yn ei fywyd symud llen pechod ac anwybodaeth oddi ar wyneb y byd. Gautama yw yr enw wrth yr hwn yr adnabyddir ef yn fwyaf cyffredin yn neheubarth India, ond y mae iddo enwau eraill, megys Siddartha a Sakyamuni. Buddha, neu yn fwy priodol, "y Buddha," a olyga un goleuedig, ac mae yn enw swyddogol, megys Iesu, Crist, neu Eneiniog. Yn moreu ei oes yr oedd yn synfawr am ei wroldeb, a daeth yn ieuanc iawn i fod yn athraw hyd yn nod i feistriaid y wlad yn y celfau a'r gwyddorau. Yr oedd ganddo lawer o weision, oll am y mwyaf ufudd iddo. Priododd yn foreu iawn ag un oedd yn berthynas agos iddo. Treuliai braidd ei holl amser i astudio gwahanol bethau, a chwynai ei rieni ei fod yn gwneyd hyn yn ormodol; esgeulusai ei gorff, meddent hwy, yn ei awydd i ddiwyllio ei feddwl a chasglu gwybodaeth. Pan ddaeth i glustiau Gautama i wybod eu bod yn grwgnach am hyny, cyhoeddodd y buasai yn sefyll prawf â'r galluocaf a'r mwyaf cyfarwydd ar y bwa a phethau eraill. Daeth llawer yn nghyd ar y dydd apwyntiedig, a phrofodd Gautama ei hun yn well saethwr a marchogwr na'r oll. Pan yn ugain oed gadawodd ei gartref a rhoddodd ei hun yn hollol i fyfyrio crefydd ac athroniaeth. Cynhyrfwyd ef i hyn gan bedair gweledigaeth a gafodd; dyn yn ddiffygiol gan henaint, dyn yn glaf, corff dadfeiledig, ac yn ddiweddaf, golygfa o feudwy urddasol. Cafodd yr olwg ar y meudwy effaith mawr ar ei feddwl, a phenderfynodd chwilio am y fan lle yr oedd y meudwy yn trigianu. Ar y noson yr oedd yn myned i osod ei benderfyniad mewn gweithrediad, aeth i mewn i'r ystafell lle yr oedd ei wraig a'i blentyn yn cysgu, (yr oedd teulu ganddo ef ei hun yn awr), gyda'r bwriad o gusanu y bychan cyn ymadael. Ond gan fod y bychan yn mynwes ei fam, ofnai y byddai iddo ddihuno wrth wneyd iddo yr hyn a fwriadai, felly trodd ymaith, yn cael ei ddilyn gan ei gerbydwr yn unig. Felly gadawodd Gautama ei gartref, ei gyfoeth mawr, a'i safle anrhydeddus, ei wraig ieuanc a'i blentyn hoff, a gyrodd ymaith yn nyfnder y nos, er dod yn feudwy digartref ac yn fyfyriwr dirmygus. Wedi gyru ychydig tu allan i gyffiniau y ddinas, dywedodd wrth ei was am fyned i'w ffordd, ac aeth yntau rhag ei flaen wrtho ei hun. Mae yr aberthau mawrion a wnaeth Gautama y noson hono yn cael ei galw gan y Buddhiaid, "Yr ymwadiad mawr." Pan ar ei ffordd, yn awr wrtho ei hun, cyfarfyddodd Mara, yr ysbryd drwg, ag ef, a cheisiodd yn daer ganddo ddychwelyd, ac addawodd iddo freniniaeth gyffredinol dros y pedwar cyfandir am ufuddhau, ond gwrthododd.

Er methu llwyddo ganddo i ddychwelyd, mae y temtiwr, Mara, yn ei ddilyn, ac yn dweyd wrtho yn awr ac eilwaith y buasai yn sicr o'i orchfygu yn y diwedd. Yn mhen ychydig ar ol hyn mae Gautama yn tori ymaith ei wallt, ac yn newid dillad a chardotyn, yr hwn a gyfarfyddodd ar y ffordd, er ceisio twyllo yr ysbryd drwg. O'r diwedd cyrhaeddodd yr ogof lle yr oedd y meudwy yn aros, yr hwn oedd yn Frahmin. Dan ddysgeidiaeth a chyfarwyddyd hwnw ymdrechodd yn egniol i feddianu gallu goruwch-naturiol. Wedi treulio ychydig amser yno, ymadawodd wrtho ei hun i'r *jungle*, lle bu yn ymprydio a myfyrio am chwech o

flwyddi yn olynol. Wedi yr ymdrech galed hono, daeth yn boblogaidd iawn. Aeth y son am dano dros yr holl wlad, a dechreuodd dysgyblion ei ganlyn; ond daeth amheuaeth i'w feddwl, a dechreuodd ofni yn ddirfawr, rhag wedi y cyfan, i'w holl lafur fyned yn ofer, ac iddo farw yn y diwedd yn yr ymwybodolrwydd o'i gamsyniad yn yr oll. Effeithiodd yr amheuaeth a'r ofn yn fawr ar ei feddwl, mor fawr yn wir nes penderfynodd roddi y cyfan heibio, a dyna wnaeth. Canlyniad o hyn oedd i'w holl ddysgyblion droi eu cefnau arno a'i adael. Beth bynag, nid hir y bu yn y cyflwr hwnw, ond ymosododd yr ail waith ar yr un gorchwyl. Yr oedd yr ail ymdrech yn llawer dwysach a chaletach na'r cyntaf. Cychwynodd o'r fan lle yr ydoedd i bentref cyfagos er cael ymborth; wedi ei gael, aeth o dan bren oedd yn ymyl y pentref i'w fwynhau; gelwir y pren hwnw hyd heddyw yn "Botree," pren doethineb. Bu o dan y pren drwy y dydd yn myfyrio beth oreu i'w wneyd. Teimlai fod yr athroniaeth a arferai gredu yn amheus iawn; nad oedd yr aberthau mawrion a wnaeth yn dwyn iddo y cysur a ddysgwyliai; ac yr oedd y temtasiynau a brofodd gynt yn ail ymosod arno, a chyda llawer mwy o nerth. Yr oedd wedi bod am flynyddau yn edrych ar bob da daearol fel gwageddol, diwerth, a diflanedig. A mwy na hyny, edrychai arno fel yn cynwys hadau anghysur, ac o angenrheidrwydd, hwyr neu hwyrach, i fwrw allan ei ffrwyth chwerw a marwol. Yn awr dechreuodd y cartref oedd wedi ei adael, y cyfoeth a'r rhwysgfawredd oedd wedi osod o'r neilldu, ddyfod ger ei fron gyda mwy o swynion nag erioed o'r blaen. Yr oedd yr oll o fewn cyrhaedd iddo, a gwyddai fod pob croesaw iddo wedi dychwelyd; ond y cwestiwn oedd, a fyddai ei feddwl yn dawel wedi dychwelyd? A oedd yr holl lafur oedd wedi myned trwyddo i fyned yn ofer? A oedd dim man i ddyn sefyll a theimlo yn ddiogel? Treuliodd y dydd mewn ymdrech meddwl fel hyn, o godiad hyd fachludiad haul. Ond pan oedd y dydd yn marw, daeth bywyd i Gautama, enillodd y rhan grefyddol o'i natur ef y fuddugoliaeth; ciliodd ei amheuon; daeth yn *Buddha*, hyny yw Un Goleuedig. Teimlai ei fod wedi cael gafael ar wir achosion, a ffynonell holl ofidiau y teulu dynol, ac hefyd feddyginiaeth effeithiol er eu symud ymaith am byth. Teimlai ei fod yn yr hafan ag oedd wedi bod gymaint o amser yn chwilio am dani; fod y galon ddynol yn ei law; a'i fod bellach ar dir a fuasai yn sefyll yn ansigladwy byth o dan ei draed. Rhoddodd i fyny bob hawl i'r freniniaeth a berthynai iddo, am y gwyddai, medd ef, na ddeuai byth ddaioni iddo oddiwrth hono. Gweithio allan *theory* ardderchog o *hunan-waredigaeth* wnaeth Gautama, neu Buddha;—gwaredigaeth trwy hunan-aberthiad a chariad, heb ddefodau, seremoniau gallu offeiriadol; ac heb gymaint a'r cynorthwy lleiaf oddiwrth neb o'r duwiau; dyn yn gallu cadw ei hun, oedd Alpha ac Omega Buddhyddiaeth, fel y trosglwyddwyd hi i'r byd gan Gautama. Felly yr oedd ei ffydd ef yn wahanol i bob ffydd arall; condemniai ef bawb arall, ac yr oedd pawb arall yn ei gondemnio yntau. Fel Mahomet ar ei ol, meddai Gautama yr ymddiriedaeth lwyraf ynddo ei hun, ei argyhoeddiadau, a'i genadwri. Wedi dyfod i'r goleuni hyn aeth rhag blaen i Benares, dechreuodd ddysgu y bobl, a gwasgaru y wybodaeth trwy yr hon y gallasai pob dyn ddyfod i afael perffaith heddwch.

Yn mhen tri mis yr oedd ganddo dri-ugain o ddysgyblion; y rhai hyn a ddanfonai allan i bregethu y ffydd newydd. Byddai ef ei hun yn myned o amgylch hefyd, i bregethu, oddieithr yn ystod y pedwar mis gwlawog, o Mehefin hyd Medi, pan y safai gartref er dysgu rhyw bersonau neillduol yn mhynciau dirgelaf ei grefydd. Ymwelodd a'i hen gartref unwaith, a daeth ei wraig, Yasodhara, yn un o'i ddysgyblion; hi oedd y fynaches Buddhiaidd gyntaf. Bu Gautama farw pan yn bedwar-ugain oed; llosgwyd ei gorph gan ei ganlynwyr; a'r hyn oedd ar ol o'i esgyrn heb ei ddifa gan y tân, a ranwyd

yn wyth rhan, ac ar bob rhan y codwyd math o demlau a alwent yn *topes*.

Dyna i ti, ddarllenydd, y chwedl am gychwyniad y grefydd hono ag mae heddyw 500,000,000 o'r teulu dynol yn ei phroffesu. Wrth y ffigiwr ti weli fod gan Gautama yn agos gymaint o ganlynwyr ei hunan, ag sydd gan y Gwaredwr, y Pab, Mahomet, a phawb arall! Haner y teulu dynol, yn agos, wedi myned i ganlyn yr hwn, ag mae prif hynodion ei fywyd yn gynwysedig yn y chwedl wyt wedi ei darllen. Nid oedd un duw yn cael ei gydnabod gan Gautama; ond gan ei ganlynwyr ystyrir ef yn Dduw, ac addolir ef a llawer o bersonau eraill hefyd.

—Yn Itali Babyddol mae heddyw gant ag wyth-a'r-ugain o eglwysi Protestanaidd, a 150 o weinidogion ac efengylwyr. Mae Dr. Somerville wedi llwyddo i gael chwareudai Rhufain i bregethu yr efengyl, ac mae tyrfaoedd mawrion yn tyru yno ei wrando yn Sabbothol. I wrthweithio y dylanwad hwn mae y Pab yn awr wedi agor 52 o ysgolion yn y ddinas, a chyfrana $60,000 yn flynyddol at eu cynal. Gorchymyna hefyd i'r offeiriaid yn mhob man trwy y wlad hono i ddilyn ei esiampl.

—Mae Ongole yn parhau yn faes ffrwythlawn o hyd. Dywed y brawd Clough, ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf, fod y 350 a fedyddiwyd yno Tachwedd a Rhagfyr, yn gwneyd 2,348 am y flwyddyn. "O'r Arglwydd y mae hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

—Diameu na fu adeg erioed pan oedd cymaint o lewyrch ar y gwaith cenadol ag sydd yn bresenol. Newyddion calonogol sydd yn dyfod o bob man. Yn Ewrop mae cynhwrf byw trwy y gwersyll yn mhob man, a llawer yn dywedyd "Awn gyda chwi." Yn Affrica mae y gwahanol gymdeithasau cenadol fel am y mwyaf awyddus i gael y cyfandir tywyll yn eiddo oll iddi hi ei hunan. Yn India, Assam, Burmah, Siam, China, Japan, Twrci a Persia, mae y cenadon yn ymosod ar amddiffynfeydd y diafol gydag egni a phenderfyniad, a theimlir yn fawr eu hymosodiadau, a dilynir eu hymdrechion â llwyddiant tu hwnt i bob dysgwyliad. Dring rhagot, ti bendefiges yr Arglwydd.

---

# HANESION CARTREFOL.

### CYDNABYDDIAETH DDIOLCHGAR.

MR. GOL.—Ryw gymaint o amser yn ol, amlygodd y Parch. Thomas J. Phillips, Plymouth, Pa., y syniad parth y priodoldeb o wneuthur tysteb i'r ysgrifenydd, gan addaw hefyd cyfranu yn haelionus tuag at hyny, yr hyn a wnaeth yn garedig a phrydlawn. Yn Nghymanfa y Bedyddwyr, yr hon a gynaliwyd yn Minersville yn Awst diweddaf, penderfynwyd gosod y syniad uchod mewn gweithrediad. Penodwyd pwyllgor i hwylysu y gwaith yn mlaen; anogwyd yr eglwysi i gyfranu, yn nghyd ag eraill a deimlent ddyddordeb yn y mater; cyd-weithredodd yr eglwysi gan mwyaf yn galonog, a bu rhai o honynt yn dra ymdrechgar a haelionus. Darfu i amryw gyfeillion personol i mi tu allan i gylch y Gymanfa, ac heb fod yn dal cysylltiad ag enwad y Bedyddwyr, fel y gwelir yn adroddiad y pwyllgor, gyfranu yn helaeth. Nid oeddwn i erioed wedi meddwl na breuddwydio y buasai y fath barch a chydymdeimlad yn cael ei ddangos tu ag ataf, pan mae haul bywyd bron a machlud. Cyrhaeddodd y swm a gyfranwyd *bum' cant a deg ar hugain o ddoleri*.

Yr wyf yn teimlo yn wir ddiolchgar i'r Gymanfa, y Pwyllgor, B. Hughes, Ysw., y Trysorydd; y brodyr yn y weinidogaeth, yr eglwysi, a phawb o'm cyfeillion pell ac agos, am yr arwydd anrhydeddus hwn o'u teimladau brawdol a charedig. Dymuniad fy nghalon yw, ar fod i Dad ein Harglwydd Iesu Grist ein parotoi i gyfarfod yn y wlad lle mae digonolrwydd llawenydd yn cael ei fwynhau, a thragywyddol bwys gogoniant yn gorphwys ar ei holl breswylwyr.

Ydwyf, yr eiddoch oll yn wir ddiolchgar,
*Wilkesbarre, Pa*, THEOPHILUS JONES.

---

### SWYDD CLAY, IOWA.

Mae yn yr ardal hon eglwys gan y Bedyddwyr, o dan weinidogaeth y Parch. J. W. Jones. Bedyddwyr oedd sefydlwyr cyntaf yr ardal. Daethant yma tua diwedd y flwyddyn 1867, o ardal Oshkosh, Wis. Yn y flwyddyn 1868 daeth ychwaneg o frodyr a chwiorydd o ardaloedd Berlin, Cambria, ac Oshkosh. Wis. Yn eu plith daeth y Parch. John W. Jones; yna aed i feddwl am gael ty i addoli (anaml ac anghyfleus i'r Cymry oedd yr ysgoldai yr adeg hono); ffurfiwyd cynllun i gael ty cwrdd, ac aed at y gorchwyl o ddifrif. Tua gwanwyn

1869 cawsom yr adeilad yn barod i dderbyn y *siding* a'r *flooring*, mor belled a hyny heb ddyled. Bu yn y sefyllfa hono hyd ddiwedd 1870, pryd y gorphenwyd yr ochr allan, a rhoddwyd y llawr oddi fewn. Yn y flwyddyn 1875 gorphenwyd y ty, a thalwyd am dano Gwelir i ni fod chwe' mlynedd yn adeiladu ein capel. Er nad yw ond bychan (18 tr. wrth 26), mae wedi costio yn ddrud. Yr oedd nwyddau adeiladu yn ddrudion iawn yma yr adeg hono. Heblaw hyny, cyfarfyddwyd â rhwystrau ac anhawsderau mawrion cyn cael y capel i'r sefyllfa y mae yn bresenol.

Ar yr 20fed o Ebrill, 1870, corphorwyd yr lwys—yr eglwys Fedyddiedig Gymreig gyntaf yn y Dalaeth, mae yn debyg. Gweinyddwyd yn y corphoriad gan y Parch. John W. Jones. Cydnabyddwn ddaioni Duw tuag atom fel eglwys yn ystod y blynyddau a basiodd. Gallwn dystiolaethu ein bod wedi mwynhau graddau helaeth o wenau y Nefoedd. Mae yr eglwys yn bresenol mewn agwedd gysurus.

Mae y Cymry wedi sefydlu ar lanerch ragorol, tir da a chynyrchiol, a hinsawdd iachus. Gorwedd y sefydliad rhwng y pentrefi Peterson a Sioux Rapids, i'r dwyrain o'r lle cyntaf, ac i'r gorllewin o'r olaf; ar yr ochr ddeheuol rhed yr afon *Little Sioux*, ac ar yr ochr ogleddol mae y *Willow Creek*.

Mae yn gysylltiedig â'r sefydliad hwn, fel â phob lle newydd, ei anghyfleusderau, a'r rhai y teimlwn fwyaf oddiwrthynt yn bresenol yw prinder tanwydd, a phellder y farchnad; ond yn awr mae pob arwyddion y symudir y rhai a nodais uchod Tua chanol yr haf nesaf bydd cledr-ffordd wedi ein cyrhaedd. Credwyf y bydd y sefyliad hwn yn mhlith y blaenaf yn y Gorllewin mewn amryw ystyron. Mae y wlad yn cael ei phoblogi yn gyflym, a phris y tir yn codi. THOMAS EVANS.

---

## REMSEN, N. Y.

Teimlwn fel teulu ein rhwymedigaeth i gydnabod mewn modd cyhoeddus ein diolchgarwch mwyaf diffuant i'r eglwys ar ba un yr ymddiriedwn, yn nghyd a phobl Remsen a'r cyhoedd, am y Donation rhagorol a gawsom Ionawr 25, yn neuadd dra chyfleus Mr. Dawson. Yr ydoedd hwn y chweched Donation i ni er pan ydym yma, ac y maent bob tro wedi cyraedd yn mhell tu draw i'n dysgwyliadau mwyaf hyderus; ond y rhai diweddaf oeddynt y rhai mwyaf o gryn swm. Mae hyn yn llefaru yn ffafriol am breswylwyr Remsen a'r cymydogaethau cylchynol, sef eu bod, nid yn unig yn parhau yn eu serch a'u caredigrwydd, ond hefyd yn myned rhagddynt yn y cyfryw ragoriaethau canmoladwy. Gyda golwg ar y Donation diweddaf, nid oedd yr hin mor ffafriol ag y buasem yn dymuno; ond rhoddodd hyny fantais i'n cyfeillion i ddangos nerth tanbeidrwydd eu serchiadau, a gwirioneddolrwydd eu cyfeillgarwch, gan fod mawredd yr aberth yn eglurhad ar angerddoldeb y teimlad.

Rhaid addef y teimlem yn bryderus drwy y dydd, rhag ofn mai methiant fyddai y cyfan; ond cyn 8 o'r gloch yn yr hwyr yr oedd y neuadd eang yn orlawn, a chyrhaeddodd ein Donation y noson hono y swm anrhydeddus o $200.25. Derbyniwyd rhai rhoddion ac arian y dyddiau dilynol, a deallwn fod rhagor yn dyfod eto. Am hyn oll derbynied ein cyfeillion (y rhai a edmygir yn fawr genym) ein diolchgarwch cywiraf, a'n dymuniadau rhagoraf. Yr Arglwydd Ior a'ch bendithio un ac oll â phob bendith angenrheidiol er eich gwneyd yn ddedwydd yn y sefyllfa bresenol, a'r un ddyfodol. Dyna ydyw gwir ddymuniad calon eich rhwymedig wasanaethydd yn rhwymau cariad crefydd Crist.

*Chwefror* 4, 1881. J. SETH JONES.

---

## *PRIODWYD—*

Ion. 20, 1881, yn nhy chwaer y briodasferch, Mrs. Henry W. Jones, Chatham Street, Pittsburgh, Pa., gan y Parch. Ll. Rees, Mr. Thos. Owen, Pittsburgh, a Mrs. Mary Warren, Ironton, Ohio.

Rhinweddau lu a unwyd
Yn y briodas hon,
Boed iddynt glaer lewyrchu,
Boed iddynt fywyd llon;
Pan ddelo 'r dydd i ddatod
Y cwlwm wnaed yn awr,
Boed iddynt londer wed'yn
Yn ngwledd y neithior fawr
LL. REES.

Chwefror 3, 1881, yn Johnstown, Pa., yn anedd rhieni y briodasferch, Mr. a Mrs. Daniel W. Lewis, gan y Parch. Joseph T. Jones, Mr. John D. Jenkins a Miss Sarah Lewis, y ddau o'r lle uchod.

Dymunaf o fy nghalon
Hir oes ac iechyd cyson,
I John a Sarah 'i fyw 'n gytun,
Heb gwrdd a blin ofalon.

Mawrth 1, 1881, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. W. F. Davies, yn ei dy ei hun, Mr. W. S. Jones a Miss Catherine Jones, y ddau o Nanticoke.

Mawrth 2, 1881, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. W. F. Davies, yn ei dy ei hun, Mr. David Charles a Mrs. Charlotte Isset, y ddau o Nanticoke.

Ionawr 29, 1881, yn Hametown, Ohio, yn nhy Mr. E. E. Morgans, ewythr y briodasferch, gan y Parch. J. W. James, Mr. Obadiah Jones a Miss Ann Morgans, merch Edward ac Ann Morgans, gynt o Gaerphili, D. C., ond yn ddiweddar o Jermyn, Pa. Yr oedd torf fawr o wahoddedigion wedi dyfod yn nghyd i fwynhau y wledd ddanteithiol.

Chwef. 6, 1881, yn Hazleton, Pa., yn nhy rhieni y briodasferch, gan y Parch. John E. Jones, Audenried, Mr. John B. Nicholas a Miss Annie L. Maxey, y ddau o Hazleton—y cyntaf yn fab i'r Parch. Benjamin Nicholas (B.), a'r ddiweddaf yn ferch i Mr. David Maxey.

Ni wyddom oll yn Hazleton
Fod Annie hoff a'i hanwyl John
Yn caru 'i gilydd yn rhy fawr
I gerdded dwy-ffordd ar y llawr;
Ad-dynai 'i serch hwy 'n nês o hyd,
Ac yna rhwymodd hwy yn nghyd.

---

## *BU FARW—*

### MRS. ANN WATKINS.

Ionawr 10fed, yn Parsons, Luzerne Co., Pa., bu farw Mrs. Ann Watkins, priod Robert T. Watkins, yn 32 ml. ac 8 mis oed Merch ydoedd i William Thomas, Llanerchymedd, Sir Fôn. Yr hyn a achlysurodd ei marwolaeth oedd rhoddi genedigaeth i'w phumed plentyn, y rhai sydd oll yn fyw—pedwar mab, a'r fechan sydd wedi ei gadael heb fam i ofalu am dani. Brodor yw Mr. Robert T. Watkins o Lanrhaiadr-Mochnant, Sir Drefaldwyn, G. C. Bu ein chwaer Mrs. Watkins yn aelod gyda y Bedyddwyr tua dwy flynedd ar bymtheg. Claddwyd hi yn Wilkesbarre. Daeth lluaws o'r cymydogion i dalu eu parch i'r chwaer ymadawedig, a'u cydymdeimlad â'r brawd Watkins yn ei drallod gyda ei deulu bach amddifad. Ein gweddi yw, ar fod Duw pob gras yn bendithio ein brawd, ac ymgeleddu y rhai bychain. Gweinyddwyd yn y capel, yn Parsons, ac ar lan y bedd, gan yr ysgrifenydd. Teimlir colled a galar dwys ar ol ein chwaer.

THEOPHILUS JONES.

*** Dymunir ar i'r *Herald Gymraeg* gyhoeddi yr uchod.

### MRS. SARAH JANE ROGERS.

Ionawr 14eg, ar enedigaeth ei chyntaf-anedig, bu farw Mrs. Sarah Jane Rogers, anwyl briod Mr. John Rogers, Shenandoah, Pa. Yr oedd yr ymadawedig yn ferch ac unig blentyn y diweddar Mr. Jeremiah Griffiths (genedigol o Cefn Mawr, G. C.), brawd da, a diacon ffyddlon a gor-barchus yn eglwys y Bedyddwyr yn Shenandoah.

Sarah Jane, y wraig hawddgaraf,
A mwyneiddiaf 'rioed a fu,
Sydd yn awr yn tawel orphwys
Obry yn y ddaear ddu.

DAVID JONES.

### MR. JOHN LEWIS.

Chwefror 16, 1881, bron yn 82 mlwydd oed, Mr. John Lewis, Llanbadarn, Trenton, N. Y. Claddwyd ef y dydd Gwener canlynol yn mynwent Prospect. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. J. Seth Jones, Remsen.

### MR. WILLIAM ESAU, KINGSTON, PA.

"Malignant Tyrant! King of Terrors! Thou
Whose name beclouds alone the human brow!
Thy steady stroke hath laid a Christian low,
Prepared for heaven, he welcome bid the blow;
The fair 'inheritance of saints in light,'
Burst at the moment on his wondering sight!
The scene of rapture, which no tongue can tell,
No fancy paint--where saints and seraphs swell
Their songs of triumph round the flaming throne
Are now in full possession, all his own!
Though low in earth his clay-cold body lies,
His spirit plumed her wings and reached the skies."

Anhawdd iawn yw i ni gymodi â'r ffaith fod y brawd pur, William Esau, yn ei fedd; eto cymodi sydd raid, oblegid tystia pob peth mai felly y mae. Gorphenodd ein brawd hoff ei yrfa yn Kingston, Pa., Chwefror 8fed, wedi cystudd trwm am ddwy wythnos. Pan fu farw yr oedd yn 61 mlwydd, 6 mis ac 8 niwrnod oed. Er wedi cyrhaedd yr oedran teg uchod, eto edrychai yn dda hyd yr adeg y tarawyd ef gan *chill*, yr hon a drodd yn enyniad yr ymysgaroedd, ac a derfynodd ei oes yn sydyn ac hollol annysgwyliadwy.

Daeth tyrfa i'w angladd. Cludwyd ei weddillion marwol i orsaf Kingston, ac aed a hwy oddiyno gyda'r *train* i Danville, Pa., lle yr oedd efe wedi hebrwng wyth o'i blant yn flaenorol. Cyn myned a'r corph i'r gladdfa, aed i gapel y Bedyddwyr, lle y darllenodd ac y gweddiodd William Williams, brawd a phregethwr gyda'r M. C., a hen gyfaill i Mr. Esau yn Danville; a phregethodd y Parch. D. R. Davies, ei anwyl weinidog, yn Gymraeg, a'r Parch. T. C. Edwards (A.), Kingston, yn Saesoneg, yn eglwys yr hwn mae gweddw yr ymadawedig yn aelod. Wedi y gwasanaeth, aed tua'r gladdfa, lle rhoddwyd y corph i orphwys, ond nid Esau—

"Mae heddyw fry,
Yn nghwmni engyl fyrdd,
Yn hardd eu gwedd,
Yn cario'r palmwydd gwyrdd;
Ca'dd goron aur,
A thelyn bêr ei thant,
Na wylwch mwy,
Mae'n berffeithiedig sant."

Ganwyd Mr. Esau yn Abertawe, D. C., yn y fl. 1819. Ei rieni ydoedd Samuel a Sarah Esau. Collodd ei dad pan yn ieuanc, a daeth i'w ran i ofalu am ei fam weddw. Treuliodd amryw o flynyddoedd cyntaf ei oes yn ardal Abersychan, i'r lle y symudodd y teulu o Abertawe. Symudodd o Abersychan i'r Blaenau; ac yn Awst, 1841, priododd â dynes a fu yn wraig ffyddlon iddo weddill ei oes, o'r enw Lydia Burks.

Yn 1847 daeth i'w feddwl ef a'i briod i ymfudo i America. Glaniasant yr 22ain o Ebrill, yr un flwyddyn, ac aethant ar eu hunion tua Pottsville, Swydd Schuylkill, Pa. Ni fu eu harosiad ond ychydig fisoedd yn Pottsville; penderfynasant symud i Danville, Montour Co., Pa. Gwnaeth ef a'i briod eu cartref yn y lle olaf am weddill eu hoes, oddieithr y tair blynedd diweddaf, y rhai a dreuliasant yn Kingston, Pa.

Pan welodd yr ysgrifenydd ef ddiweddaf, a'i gael yn edrych mor gryf, iachus a bywiog, ychydig a feddyliodd y pryd hwnw fod terfyn yr yrfa mor agos; gosodem lawer yn y bedd o flaen William Esau; ond yn hyn, fel llawer o bethau eraill, dysgwyd ni mai nid ein ffyrdd ni yw ffyrdd Duw, ac nid ein meddyliau ni yw ei feddyliau Ef. Er ei fod dros 60 mlwydd oed, eto meddyliai pawb a'i hadwaenai fod ddydiau lawer yn ei aros, ac y caffai ei anwyl blant ei gyngorion—ei wraig hoff ei gwmni, a'r eglwys ei gymdeithas am flynyddoedd yn hwy, ond nid felly y bu. Er ein siomi yn hyn, cyfaddefwn yn rhwydd mai

"Ior bia rhoi bywyd—eu anadl,
Ac einioes ac iechyd;
Hawl a fedd alw o fyd,
Man y myno mewn mynyd."

Bu i Mr. Esau a'i briod 14eg o blant, tri o'r rhai a anwyd cyn cychwyn o Gymru, a'r gweddill yma. Yr oedd wyth yn ferched, a chwech yn fechgyn. Yr oedd wyth wedi rhagflaenu y tad i'w gorphwysfa lonydd. Claddodd y diweddaf o'r wyth Gorphenaf diweddaf, yr hwn oedd yn fachgen 17eg oed, ac o'r un enw a'i dad. Bu ef farw mewn canlyniad i ddamwain a gyfarfyddodd yn y Boston Mines, bymthegnos cyn hyny. Bu colli eu bachgen yn ergyd trwm i'r tad a'r fam; ond i'r fam yr oedd un trymach o lawer i ddilyn, a hyny mewn byr amser. Du iawn oedd y dydd y rhoddwyd y mab yn ei gartref hir, ond duach o lawer oedd diwrnod daearu y tad. Yr oedd lle gwag yn y ty ac wrth y bwrdd ar ol y bachgen, ond y mae yno le llawer iawn gwacach heddyw, a lle nad oes ond un yn unig fedr ei lanw. Mae chwech o blant eto ar ol ein brawd, y rhai sydd oll yn ferched, ac yn briod, oddigerth un, yr hon sydd gartref gyda'i mam alarus. Wedi dyfod i drigianu i Danville y dechreuodd y brawd William Esau ganlyn yr Oen. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn y flwyddyn 1849, gan yr Hybarch Wm. Morgans, Pottsville, yr hwn erbyn hyn mae wedi ei gyfarfod yn y nef. Bu ei yrfa grefyddol yn hollol ddifwlch. Gwnaeth grefyddwr rhagorol, ac ystyried y manteision a gafodd. Fel dyn a chrefyddwr yr oedd yn hynod o barchus gan bawb. Bu ei symudiad o Danville i Kingston yn golled mawr i'r blaenaf mewn mwy nag un ystyr. Ni chafodd Ysgol Sabbothol Danville athraw ffyddlonach na Wm. Esau yn neb erioed. Teimlai wrth ei fodd ar brydnawn Sul, i dreulio awr, neu awr a haner, yn nghanol dwsin neu ragor o blant, a chyfranu iddynt yr holl addysg a fedrai ef. Gallasai o ran oedran ddadleu henaint a blinder, fel y gwneir yn fynych, a hyny gan rai sydd flwyddi yn ieuengach nag oedd ef, dros gael llonyddwch ar adeg yr ysgol; ond nid oedd ysbryd felly yn agos ato. Byddai achos cyfreithlon yn bodoli bob amser pan na fuasai ef gyda ei ddosbarth.

Bu yn ddiacon yn Danville am bedair blynedd ar ddeg, a bu yn swyddog anrhydeddus am yr holl flynyddau. Bu, ac y mae digon eto, yn aelodau a swyddogion yn symud yn gyflymach nag y byddai ef yn arfer gwneyd, ond neb erioed yn ddiogelach. Er nad ellir cyfeirio at ryw orchestion mawrion a gyflawnodd, eto yr oedd ynddo fel dyn a Christion, cymydog a dinesydd, lawer o bethau ag oeddent yn rhwymo pawb a feddai ymwybyddiaeth drwyadl o hono i deimlo yn hoff o hono, a chariadus tuag ato. Cafodd yr ardal a'r eglwys golled fawr ar ei ol; ond y teulu gafodd y golled fwyaf, a'n chwaer y golled fwyaf yn y teulu. Ond na wylwch fel rhai heb obaith, yr oedd gan yr hwn sydd wedi eich blaenori obaith am adgyfodiad gwell er's blynyddoedd cyn i angau ddod, a gellwch deimlo yn hyderus fod eich colled chwi wedi troi yn elw tragywyddol iddo ef. Ymorphwyswch ar yr un Gwr ag y gorphwysodd ef; yn ei law mae perffaith ddiogelwch.

"Telored yr adar uwch ben,
Lle mae fy anwyl-frawd yn dawel;
Disgyned cenadon y nen,
Gan sengyd ar asgell yr awel;
Angelion, O gwyliwch ei fedd,
Gofalwch am dano bob enyd,
Nes codir i fyny mewn hedd
Y Cristion, y tad, a'r anwylyd."

BRAWD.

---

NODION.

—Dywed Dr. Joseph Parker, o Lundain: "Y mae yn ansicr a ydyw daearegwyr (*geologists*) yn gwrthddywedyd Moses; ond y mae yn berffaith sicr, tu hwnt i bob amheuaeth, fod daearegwyr yn gwrthddyweyd y naill y llall."

—Mae corph o Gristionogion, y rhan fwyaf o honynt yn Nestoriaid, yn ersia, yn cael eu herlid yn dost yn ddiweddar gan y Kurdiaid. Llosgir eu pentrefydd, a llofruddir y trigolion. Cawsant ryw faint o esmwythâd trwy apelio at y *consul* Prydeinig yn Tabreez. Mae y sect hon yn olrhain ei hanes yn ol hyd ddyddiau apostolaidd; a honant iddi gael ei sefydlu trwy lafur neillduol yr apostol Thomas.

—Mae poblogaeth y Talaethau Unedig yn rhanedig o ran rhyw, i 25,520,582 o wrywod, a 24,632,284 o fenywod. Mae y rhywiau wedi eu rhanu yn fwy gwastad yn Nhalaeth Maine nag un Dalaeth neu Diriogaeth arall, sef—324,084 o wrywod, a 324,861 o fenywod.

# Y WAWR.

CYF. VI.] MAI, 1881. [RHIF. 2.

## Y GYFEILLACH EGLWYSIG.

Ebai brawd wrthym yn ddiweddar, "Nis gwn yn iawn beth i feddwl o honom ni yma yn awr fel eglwys; mae y cyrddau wythnosol wedi myned yn rhyfeddol o ddilewyrch. Mae y gyfeillach wedi cael ei throi o'r neilldu yn hollol." Parodd clywed hyn i fy meddwl fyned yn drallodus a phruddaidd, ac i mi ymsynio yn ddigalon; ac yn y man dyma ochenaid gwynfanus yn mynu ei ffordd allan o'm mynwes glwyfedig. "Yr hen gyfeillach—yr hen gyfeillach anwyl wedi myned yn ddilewyrch fel hyn," meddwn, "yn cael ei throi o'r neilldu, neu yn hytrach yn cael ei chau allan yn oerder y gauaf i ymdaro allan goreu y gallai, i gael ei derbyn neu ei gwrthod gan deuluoedd unigol, neu i ymgrwydro fel angyles wylaidd ar hyd tueddau cylchoedd crefyddol mwy bywydus a mwy cydnaws â'i hysbryd." Pethau fel yna a'u cyffelyb; ie, llawer o bethau o'r fath a ymderfysgent o'm mewn wrth glywed y newydd drwg a nodais gan y brawd teimladwy hwnw.

Erbyn hyn ni chaf lonydd yn fy ysbryd heb ddwyn mater y Gyfeillach Eglwysig o flaen sylw darllenwyr ystyriol a deallgar y WAWR. A dweyd y gwir i chwi, yr oeddwn wedi clywed amser yn ol rywbeth yn rhedeg i raddau yn yr un cyfeiriad am y gyfeillach, gan weinidog un o'n heglwysi cryfaf yn y wlad, yr hyn efallai oedd yn peri i mi deimlo cymaint y tro newydd hwn mewn perthynas i'r esgeulusiad dan sylw. Ai tybed fod yn rhaid i mi trwy hyn ddweyd neu awgrymu wrth ein brodyr a'n chwiorydd yn Nghymru, fod y Bedyddwyr Cymreig yn America yn troi yn anffyddlon i'r gyfeillach eglwysig, yr hon sydd wedi bod fel maeth-forwyn i bawb o honom, pan mewn oedran crefyddol mabanaidd, yr oeddym yn ceisio rhoddi gydag anhawsder a gwendid y naill droed heibio y llall, wrth ddechreu ymlwybro y ffordd gul tua'r wlad sydd well. Na, gobeithio, er a ddywedasom, neu a ddywedwn eto, na raid i bobl Cymru ddim deall ein bod yn troi yn gyffredinol yn anffyddlon ac anghyfeillgar i gwrdd y cyrddau wythnosol i gyd—y "*gyfeillach*." Pe felly, a rhoddi barn fyrbwyll ar y mater—pe byddem yn euog o hyn yma, braidd y gallesid credu y gallasai ysbrydion sanctaidd yr hen seintiau gynt aros yn llonydd yn y nefoedd heb ddod i lawr i'n plith i'n haflonyddu, ac i'n ceryddu am yr amryfusedd anghyfiawn, anniolchgar, a dialw am dano fel hyn tuag at y Gyfeillach Eglwysig gysegredig. Prin y gallwn feddwl chwaith y byddai yr angylion, yr "ysbrydion gwasanaethgar," yn foddlawn hollol i hyn-yma, canys byddai peth felly yn taflu dyryswch anghyffredin i'w holl drafodaeth a'u gwasanaeth cysylltiedig â moddion gras. Yn wir, a chaniatau am fynyd y posiblrwydd i'r gyfeillach grefyddol gael ei throi o'r neilldu yn gyffredinol, rhaid y fyddai ail drefnu holl gylch gwasanaeth yr angelion. Os ydym i gredu fod a fyno yr angelion â moddion gras y ddaear yma o gwbl, wrth gwrs naturiol yw credu fod a fyno hwynt â'r

cwrdd dyddanu, y canmol, y rhybuddio, y dysgu, yr hyfforddi—mewn gair, cwrdd "y gyfeillach." Rhaid eu bod yn hoff iawn o'r gyfeillach, oblegid nid ydym i dybied eu bod yn llawenhau cymaint yn eu hedifeirwch, i fod yn ddisylw pan fyddo y saint yn eu cyfeillachau yn eu derbyn, ac yn llawenhau yn eu derbyniad i'w plith. Gan hyny gwell bod yn ffyddlawn i'r gyfeillach, er cadw yr angelion yn eu cylchoedd arferol, er cadw ar dermau da gyda hwynt, a pheri peidio achlysuro annhrefn na dyryswch yn nghylchoedd eu gwasanaeth gwerthfawr i ni blant y tonau—plant y cystudd mawr, y rhai y mae ein hiachawdwriaeth mor agos at eu calon.

Ac am yr hen dadau cadwedigol, nid oes dim dadl i fod am fynyd y byddent yn foddlawn i'r peth, ac fel yr awgrymasom, anhawdd yw amgyffred sut y gallent ymfoddloni heb ddod i lawr ar edyn cyflym, cyflym, i ddangos eu hanfoddlonrwydd i'r fath ryfyg mewn esgeulusdod o foddion gras.

Ond ar wahan i bob effeithiau a chanlyniadau cysylltiadol â'r nefolion leoedd, fel a nodasom, gellir cael digonedd o resymau dros beidio troi heibio y gyfeillach, wrth edrych i'w daioni hi ei hunan, ac ymresymu ei rhagoriaeth, a'r angen am dani oddiwrth ei natur a'i defnyddioldeb presenol, gan nad beth a all fod cyfnewidiadau beunyddiol cymdeithas, a'r galwad am bethau newyddion, a diwygiadau mewn gwlad ac eglwys.

Yr ydym yn myned i adael y mater yn y fan hon yn awr, gan foddloni ar amlygu ein hofn a'n pryder fod y gyfeillach eglwysig yn cael eu hesgeuluso yn ein plith. Os gall fod achos gwirioneddol i'n hofn, onid priodol fyddai i ni fel unigolion ac eglwysi fod ar ein gwyliadwriaeth rhag bod yn euog o droi heibio hen sefydliad mor fendigedig a bendithiol, fel gwael-beth. O, na, frodyr anwyl, byddwn sicr a diymod o blaid y Gyfeillach Eglwysig, yr hon sydd yn fwy na dim arall yn safon o sefyllfa grefyddol a chymdeithasol yr eglwysi. Byddai anffyddlondeb mewn cysylltiad â'r cwrdd henafol hwn yn arwydd amlwg a diamheuol i'r frawdoliaeth lle byddo, o ddirywiad galarus mewn gras, sel, a gweithgarwch gydag achos y Gwaredwr mawr. O. G.

---

## NADOLIG.

Gofyniad.—Beth a olygir wrth "Dydd Nadolig?"

Ateb.—Dydd ydyw a ddethlir er coffadwriaeth am enedigaeth Iesu o Nazareth.

Gof.—Beth yw ystyr y gair "Nadolig?"

At.—Rhai a feddyliant mai gair Lladinaidd wedi ei Gymreigyddio ydyw. Rhoddir bodolaeth i lawer o eiriau yn y ffordd hon, megys argraffu o *grapho;* eglwys o *ecclesia;* mwrdd-dro o *murder;* ac felly y gair hwn, medd rhai. Mae y geiriau *natal* a *natalis* yn y Lladinaeg yn golygu genedigaeth. Gwelir fod llawer o debygolrwydd rhwng y *natal* neu *natalis* a'r gair Nadolig, a thybir mai o'r gair *natalis* y ffurfiwyd y gair Nadolig.

Gof.—A roddir rhyw ystyr arall i'r gair Nadolig?

At.—Rhoddir; ond nid wyf yn cofio i mi ei weled yn ysgrifenedig erioed. Gwelir fod y geiriau canlynol yn cynwys y ddwy ran flaenaf o'r gair Nadolig, sef *galarnadol, oernadol,* a *llon-nadol.* Ystyr y gair *nad* ydyw bloedd, gwaedd, neu uchel sain. Er nad ydyw y gair *nadu* yn cael ei ddefnyddio i olygu *canu,* eto cawn mai ei ystyr sydd fel yr ydys wedi sylwi.

Cyfleir hanes genedigaeth Crist gan Luc yn wahanol i Matthew. Dywed Luc fod "lluaws o lu nefol yn molianu" y boreu hwnw. Hyn roddodd fodolaeth i'r arferiad sydd wedi ffynu trwy yr oesau, o ganu carolau, chwareu offerynau, a chynal amryw fathau o ddifyrwch. Cawn fod llawer o'r Italiaid, hyd y dydd hwn, yn myned oddiamgylch eu dinasoedd ar foreu y Nadolig, gan floeddio fel anifeiliaid gwylltion. Gan y credwn fod yr angelion yn bloeddio gogoniant yn y goruchaf-

ion i Dduw, barnwn fod y gair Nadolig yn golygu hyny.

GOF.—Beth a olygir wrth y gair *Christmas?*

AT.—Mae y gair *Christmas* wedi ei fathu oddiwrth yr arferiad sydd gan yr eglwys Babaidd o fyned i'w haddoldai i ddarllen llithiau pwrpasol i'r amgylchiad, fel ag y daeth y llith hwnw i'w adnabod wrth yr enw "Llith Crist"—*Christmas*.

GOF.—A ydyw pob gwlad Gristionogol yn dathlu y dydd hwn?

AT.—Ydynt, i raddau mwy neu lai; ond ni chydunant i ddathlu yr un dydd. Y 25ain o Ragfyr a ddethlir gan bawb oddieithr Eglwys Groeg; y 6ed o Ionawr a ddethlir ganddi hi.

GOF.—Ai nid oes sicrwydd pa ddydd y ganwyd Crist?

AT.—Nac oes; y mae llawer iawn o ddyfalu ac ysgrifenu wedi ei wneyd ar y pwnc hwn gan ddysgedigion, ond y mae mor anmhenderfynol heddyw ag erioed.

GOF.—A oedd yr eglwys yn nyddiau yr apostolion yn dathlu dydd er coffadwriaeth am enedigaeth y Gwaredwr?

AT.—Nid oes genym hanes am hyny, na dim yn awgrymu hyny yn y mesur lleiaf.

GOF.—Pa bryd, a chan bwy, y dechreuwyd dathlu dydd o'r fath.

AT.—Mae hyn eto yn dra anhawdd i'w ateb. Dywed y Pabyddion mai y Pab Telesphorus, yr hwn a fu farw O. C. 138, a sefydlodd y Dydd Nadolig. Hona y Babaeth fod ganddi Bab mor foreu a hyny. Yr oedd yr wyl hon ar y cyntaf yn symudol, fel ag y mae y Pasg yn awr. Weithiau dethlid yr amgylchiad yn Ebrill a Mai, ac y mae bron bob mis o'r flwyddyn wedi eu henwi gan rywrai neu gilydd fel y mis y ganwyd Crist ynddo.

GOF.—Pa bryd, a chan bwy, y neillduwyd y 25ain o Ragfyr?

AT.—Yn gymaint a bod yr adeg mor anmhenderfynol, gwnaeth St. Cyril, o Jerusalem, yn y bedwaredd ganrif daer gymelliad ar y Pab Julius I. orchymyn ymchwiliad manwl yn nghylch y dydd y ganwyd Crist ynddo; a dyma yr amser, meddent hwy, y penderfynwyd ar y 25ain o Ragfyr.

GOF.—A ydyw beirniaid yn weddol unol yn eu barnau mewn perthynas i briodoldeb y penodiad hwn?

AT.—Nac ydynt; ond y mae y nifer luosocaf o honynt yn barnu i'r Iesu gael ei eni yn gynarach yn y flwyddyn—tua mis Medi.

GOF.—Beth ydynt y rhesymau dros benodi y 25ain o Rhagfyr?

AT.—Enwaf un o honynt. Tybir mai Zacharias oedd yr archoffeiriad y flwyddyn yr ymddangosodd yr angel, ac mai yn mis Medi yr aberthodd efe yr aberth iawnol; chwech mis wedi hyn a'n dwg i fis Mawrth, pan gyfarchwyd Mair; a naw mis ar ol hyny a'n dwg i fis Rhagfyr.

GOF.—Pa resymau a roddir dros iddo gael ei eni yn gynarach yn y flwyddyn?

AT.—Am fod hyny yn cyduno yn well a'r syniad o fod y bugeiliaid allan yn gwylio eu praidd. Tynir yr un casgliad hefyd oddiwrth yr hanes a geir am gylchwasanaeth yr offeiriaid. Gwel 1 Cron. xxiv. Cyfrifant o hyny hyd pan gysegrwyd y deml yn amser y Maccabeaid; ac wedi cymharu fel hyn gyfrifiadau a'u gilydd, barnant mai yn Medi y ganwyd Crist. Eraill a dybiant fod yn y geiriau canlynol ryw gyfeiriad at yr adeg, megys, "Brawd a anwyd erbyn caledi." Oddiwrth hyn credant iddo gael ei eni tua dechreu y gauaf. Oddiwrth y geiriau, "A bydd goleuni yn yr hwyr," gwelant awgrymiad at hwyr y flwyddyn, yn gystal a hwyr yr hen oruchwyliaeth.

GOF.—A oes rhyw ddamcaniaeth arall gan ddynion yn nghylch paham y neillduwyd y 25ain o Ragfyr.

AT.—Oes; er na chrybwyllir hi ond anfynych iawn, er hyny y mae llawer o briodoldeb ynddi. Tebygol yw mai Syr Isaac Newton oedd y cyntaf i ddatgan ei farn parthed y pwnc.

GOF.—Beth yw y ddamcaniaeth hono?

AT.—Wrth ddarllen hanesiaeth henafol ceir fod rhan fawr o drigolion y byd yn cynal eu gwyliau a'u gwleddoedd yn ol symudiad yr haul drwy arwyddion y sidydd (*zodiac*). Dywed

Syr Isaac Newton i Gregory, esgob Neo Cæsarea, yr hwn a fu farw O. C. 265, sefydlu gwyliau a gwleddoedd er cof am saint a merthyron, er dwyn y paganiaid i dderbyn Cristionogaeth. Dethlid Dydd Nadolig gyda llawer o rialtwch. Yn lle Bacchanalia a Saturnalia, sef gwin-wleddoedd a chyfeddach, sefydlodd Calan Mai yn lle Felaralia y pagan; sefydlodd Gwyl Mair, Ioan Fedyddiwr, ac amryw o'r apostolion, ac y mae y rhai hyn oll ar y dyddiau y mae yr haul yn myned i arwyddion y sidydd. Wrth hyn gwelir fod y gwyliau wedi eu gosod ar seiliau seryddol.

GOF.—Pa fodd y mae i ni ddeall fod Nadolig felly?

AT.—Fel hyn: Persenolid yr haul fel cymwynaswr dynoliaeth. Credid mai agweddau oedd goleuni a thywyllwch o ddwy egwyddor, sef *da* a *drwg*, a'u bod yn rhyfela a'u gilydd yn barhaus, ac mai fel y buasai y dydd yn byrhau, i'r graddau hyny y credent fod yr egwyddor ddrwg yn gorchfygu. Pan mae yr haul yn cyrhaedd y trofan deheuol Alban Arthan, dyma y dydd byraf; ar yr adeg hono yr oedd calon y pagan yn llawn pryder, tristwch ac amheuaeth, rhag ofn na fuasai ei dduw haulog yn gorchfygu. Ar y dydd byraf o'r flwyddyn y mae gwyl Thomas, yr amheuwr. Ar y 25ain o Ragfyr yr oedd y pagan yn cael yr arwydd cyntaf fod ei dduw wedi trechu y tywyllwch. Oni ddywedir genym fod y dydd ar y Nadolig wedi estyn cân ceiliog? Credai y pagan fod yr haul yn cael ei eni bob blwyddyn mewn ogof neu ystabl dan ochr y ddaear, ar y 25ain o Ragfyr, a bod tair mil o ychain yn yr ystabl hono. Y ddamcaniaeth yw i'r Nadolig gael ei osod ar yr un dydd er boddio y pagan.

Gan nad pa faint o wirionedd sydd yn y ddamcaniaeth hon, hyn sydd sicr, ei bod yn darawiadol ac awgrymiadol iawn. Fel ag y mae yr haul yn myned i lawr i'r pwynt iselaf Alban Arthan, arwydd yr afr (*capricorn*), ac yn troi yn ei ol, gan ddringo i fyny yn raddol drwy yr arwyddion nes cyrhaedd arwydd yr oen; felly y Gwaredwr, daeth i lawr i'r pwynt iselaf. Gwelwyd ef yn arwyddion yr hen oruchwyliaeth, sef gwaed teirw a geifr, ond dringodd i fyny drwy y rhai hyny nes y gwelwyd ef yn arwydd yr Oen. "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd."

H. P. DAVIES (*Polycarp*).

*Kingston, Pa.*

---

## CYNYDD BEDYDDWYR AMERICA

### Y CAN' MLYNEDD DIWEDDAF.

Pe gellid cael darluniad cywir o sefyllfa y Bedyddwyr Americanaidd gan' mlynedd yn ol, a'i gymharu a'u sefyllfa bresenol, byddai y cyferbyniad yn darawiadol yn wir. Y pryd hwnw nid oedd yn yr holl wlad ond tua 550 o eglwysi, yn cynwys tua 55,000 o aelodau, i arddangos cynydd yr enwad am 140 o flynyddau.

Yn y deg mlynedd cyntaf o'r ganrif bresenol fe gynyddodd yr eglwys o 550 i 872, a'r aelodau o 55,000 i 65,000, sef 1,000 bob blwyddyn. Deugain mlynedd o'r amser hwn, sef yn y fl. 1830, cawn 5,000 o eglwysi, a 300,000 o aelodau. Yn y flwyddyn 1850 yr oedd yr eglwysi wedi cynyddu i 12,000, a'r aelodau i 800,000. Ugain mlynedd ar ol hyn, sef y flwyddyn 1870, cawn 17,445 o eglwysi, a 1,410,493 o aelodau. Yn y deg mlynedd diweddaf y mae yr eglwysi wedi cynyddu i 24,794, a'r aelodau i 2,133,044, neu yn ol y cyfrif o 70,000 bob blwyddyn. Yn yr ugain mlynedd blaenorol i 1870, ychwanegwyd pump o eglwysi newyddion bob wythnos. Yn ystod y deng mlynedd diweddaf, y mae y cynydd mewn eglwysi wedi bod ar gyfartaledd yn ddwy bob bydd, neu bedair-ar-ddeg bob wythnos. Ond gellir gofyn a ydyw ein cynydd wedi bod yn gyfartal i gynydd poblogrwydd y wlad. Gadewch i ni weled.

Yn 1790 yr oedd genym un aelod am bob 60 o boblogrwydd y wlad; yn 1830, un o bob 43; yn 1850, un o bob 29; yn 1870, un o bob 27; yn awr, yn 1880, un o bob 22. Y mae poblogrwydd y wlad yn awr un-waith-ar-bym-

theg yn fwy nag oedd yn nechreuad y ganrif, tra mae rhif y Bedyddwyr yn bedair-ar-ddeg-ar-hugain o weithiau (*34 times*) yn fwy nag oedd yn nechreuad y ganrif.

Y mae ein cynydd mewn cyfoeth, manteision addysg, &c., wedi bod yr un mor fawr. Gan' mlynedd yn ol, nid oedd genym ond un athrofa, sef athrofa Providence, yn Rhode Island; yn awr y mae 31 o golegau ac wyth o athrofeydd duwinyddol, heblaw lluaws o ysgolion eraill o radd uchel. Gwaria ein Cymdeithas Gyhoeddiadol, y Gymdeithas Genadol Artrefol, a'n Cymdeithas Genadol Dramor, tua $800,-000 bob blwyddyn i ddosbarthu llenyddiaeth, cynal cenadon, &c., yn mhlith gwahanol genedloedd, ac mewn gwahanol dalaethau, ac mewn gwahanol wledydd. Credwn fod yn y ffeithiau hyn ddefnyddiau cysur mawr i ni fel enwad.

Cyfieithiad talfyredig o'r *Watchman*, gan J. T. G.

---

# PWLPUD Y WAWR.

---

## Ewyllysgarwch i Ymroddi.

---

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE, PA.

---

"Pwy hefyd a ymrydd yn ewyllysgar i ymgysegru heddyw i'r Arglwydd?"—1 CRONICL XXIX. 5.

Trigodd Duw gyda'i deulu "o babell i babell" am lawer o flwyddi, heb gwyno ar waeledd y ty. Tramwyodd o "dabernacl bwy-gilydd" i ddangos crefydd yn cynyddu; tynodd arlun y deml ar galon Dafydd; tueddodd Solomon i'w chodi, a daeth y Mawredd ei hun iddi. Taflodd y brenin fwy na chan' miliwn o ddoleri i'r *building fund*, cyn ei gladdu; anogodd eraill i gyfranu, a bu farw, gan ddadleu dros haelioni.

I. Pa un a ofyna yr ymgyflwyno?

1. Ei ofyn gan yr Arglwydd, er yn annibynol. Medrai godi y mynyddoedd, a murio ei gapeli, donio y moroedd i draethu, a dysgu yr awelon i odli ei enw. Medrai anfon angel i efengylu, cerub i ganu, a seraph i seinio ei glod. Medrai holi y dyrfa, "A fynwch chwithau anffyddloni, bwhwmanu, cefnu, a'm gadael i?" Eithr y mae yn dewis dynion i'r fyddin i filwrio, i'r winllan i lafurio, i'r deyrnas i drigo, i'r gymdeithas i oleuo, ac i'r nef i gael eu gwobrwyo ynddi.

2. Ei ofyn i'r Arglwydd, am yn berchenogol. Mae ymroddi i'r ddaear yn annigoni, i ddiafol yn boeni, i ddyn yn cyfeiliorni, ond i'r Arglwydd yn gweddu. Efe a'n creodd yn ei allu, a'n cynaliodd yn ei ddaioni, a disgynodd i'n gwaredu; bydd yn ein barnu, ac iddo y mae y noddi. Plant i Dad yr addewidion, aelodau o Grist y bendithion, a themlau i Yspryd y dyddanion, a gadael iddo ein meddianu.

3. Ei ofyn i'r Arglwydd yn y cymelliadol. 1. Awen ddwyfoledig a gana, Atolwg i chwi o deml y trugareddau dirifedi, a myfyriwch ar y trothwy, wylwch yn ymyl Iesu, ac ymroddwch dan ei groes i'w chodi. 2. Allor i gyflwyno arni. Eich cyrph yn aberth i'r Mawrhydi, ac er nad yn Saul, y talaf yn y dyrfa, byddwch fel Zaccheus yn mynwes y Mesiah; er nad yn Goliah yn pwyso tunelli, ymunwch a Timotheus yn egwan wr i ddysgu; ac er nad yn Absalom wedi ei adduno, ond megys Paul. a'r gwirionedd ynddo. 3. Angyles yn mynegi. Mae i'r lleuad ei senedd-dy, i'r ser eu goleuni, ac i'r saint eu crefydd, a rhesymol wasanaeth yn ei nodweddu.

4. Ei ofyn i'r Arglwydd yn ddiranol. 1. Ei gwbl addoli, a'r holl enaid yn edmygu, yr holl ddeall i ddysgu, yr holl galon i garu, a'r holl nerth i ymroddi. 2. Ein bwriad yn boddloni, ofn ei ddigio, awyddu am ei anwylo a byw gerllaw iddo. 3. Ein clodforedd yn ei ddyrchafu. Mae tri dyrchafiad i'r Iesu—i'r ddeheulaw i drefn, yn yr efengyl yn ei gyhoeddi, ac yn meddwl ei garedigion yn ei glodfori, am roddion o aml niferi.

II. Pa ddull i ymgyflwyno?

1. Ewyllysgar yn yr ymholi. "A fyddant ewyllysgar," medd y cyhoeddiad, "A dderbyniasant ei air Ef yn ewyllysgar," medd y cyflawni; a

"phwy yn ewyllysgar," medd y cyfiawn yn ymholi. Nid oes gyru ar gyfeiliorn, ond y mae enill y galon; nid oes gorfodi drwy ddychryn, ond y mae dengarwch i dderbyn; ac nid oes brawychion i lethu y dyrfa, ond y mae swynion o lys y drugareddfa.

2. Ewyllysgar fel na byddo ymranu. Mae y deall yn derbyn y darbwyllion, y cof yn ysgrifenu y manylion, y gydwybod yn barnu, y serch yn caru, a'r ewyllys yn arwain y meddwl i dueddu, ei olwyno i oleuni, a'i droi yn un o fforddolion y ffydd, i diroedd y dedwyddoli.

3. Ewyllysgar yn ymroddi. Ei anadl i offrymu molawd y Mawrhydi, ei glust yn gwrando alawon y tangnefedd, ei lygad yn darllen dalenau daioni, a'i lais yn odli salmau cariad. Teimla awydd nid am ryfeddodau ac arwyddion, ond am y nefol ddyddanion; nid am safle yr angel a'i adenydd, ond am ychwaneg o grefydd; ac nid am y ddaear i drigianu, ond am y deyrnas dragywyddol i'w dderbyn iddi. Ac yn ewyllysgar y mae o Paran yn cychwyn i Moab yn bererin, a thros yr afon i lys ei Frenin.

4. Ewyllysgar i ymgysegru. 1. Trwy ymdrechu, ac nid yw yn myned o blith dynion, fel y monach, y meudwy, a morwynion y gleindy yn ymddirgelu, ond gwell ganddo ganlyn yr Iesu i'r angladd i oleuo, i'r briodas, a'i bendithio, ac i dyrfa i ddysgu y byd i ymburo. 2. Trwy ymloewi. Aed lle yr elo, y mae llygredd yn ei ddilyn, ond gwyr am ffynon i foddi y brycheuyn, awel i godi y llwchyn, haul i agor y blodeuyn, a bro yn boddloni y credadyn yn ymyl yr angel mwyn. 3. Trwy ymgodi. Dr. John Evans, o Wrecsam, drwy ddeall y Roeg drwyddi, a ddywed am "ei anweledig bethau Ef er creadigaeth y byd," yn arwyddo "creadur y byd," neu ddyn yn addurn y ddaear, yn berlyn y blaned, a thlws yr amseroedd, wedi ei gyfaddasu i Dduw yn drysordy, i angel yn gwmni, ac i saint yn un o'u niferi.

III. Pa dymor i ymgyflwyno?

1. Ein heddyw yn amserol. Dywed y ddoe, "Mi a aethum allan, ac ni ddychwelaf mwy." Dywed yfory, "Yr amserau a'r prydiau ni pherthyn i chwi;" a dywed heddyw, "Heddychlawn fy nyfodiad i i dy Jesse, ac i alw ei holl deulu i aberthu cyn i gwmwl godi, y nefoedd i wgu, a'r dydd derfynu. Mynwent am lonyddu, uffern am drueni, nef am goroni, ac heddyw am yr adeg i droi iddi, egwyl y weddi, adeg y cymodi, ac hamdden i heddychu â gorsedd y gallu.

2. Ein heddyw yn un byr barhaol. Eithafoedd ynfydrwydd fyddai galw dyn neu ddynes yn hen, ac mewn gwth o oedran, ac efe neu hi ond pymtheg a deugain o flwyddi. Dichon mai byw eto eu rhieni, yn sionc yn y ty, yn swynol yn y maes, a chryfion yn eu bro y tu yma i'r afon heb ei chroesi. Ac nid yw y Testament Newydd yn galw Abraham a Noah, Dafydd na Jacob yn hen, pan yn darlunio diwedd eu gyrfa hwy. Eto, y mae ein heddyw ni yn fyr o'i gyferbynu â dynion yr aml flwyddi, yn fyrach o'i gyferbynu â'r oesoedd cyn yr adgyfodi, a byrach byth o'i gyferbynu â'r byd a gafodd ei dragywyddoli, ac heb iddo gyfnod i ddiweddu.

3. Ein heddyw yn ddydd cenadol. Mae heddyw y Ceidwad i ddiogelu, heddyw iachawdwriaeth yn dyfod i dy, a "thra y gelwir hi heddyw," y mae Duw yn areithio, ei drugaredd yn blodeuo, ei drefn yn cymwyso, a'i ddawn yn dylifo oddiar wefus y nefoedd yn alwad i ddringo yn ddigolli, teithio yn ddioedi, a llafurio yn ddiballu, am ein cael ynddi.

4. Ein heddyw yn adeg derfynol. Aeth y ddoe i roddi lle i heddyw i aneddu, cilia heddyw i roddi y maes i yfory, ac nid oes ond yr heddyw yma i ni. Mae ambell emyn wedi ei fedyddio yn nyfroedd marwolaeth, ei godi, a'i ddanfon a chenadwri o'r afon i ni, cyn myned drwyddi. Dichon mai Dafydd Williams, Croesyparc, Dr. Watts a Phantycelyn oedd y tri mwyaf awyddus i fedyddio yr awen yn yr afon frawychus.

"Deuwch adref blant afradlon,
De'wch o wlad y cibau ffol;

Dyma lais y Brenin heddyw,
Ddaeth i alw ar eich hol."

IV. Pa rai sydd i ymgyflwyno?

1. Pwy hefyd yn arholiad. Trwy ddyddiau Dafydd i deyrnasu yr oedd arch y mawrhydi, ac allor yr offrymu ar wahan ac o'r neilldu, ac Abiathar a Sadoc yn gofalu am y ddwy. Eithr yn awr, dyna y brenin ar dewi, y deml i godi, y miloedd yn ymroddi, Solomon yn *secretary*, a'r Pwy hefyd am ychwanegu. Eneidiau eraill i gredu, enwau eraill i garu, efengylwyr eraill i gyhoeddi, ac edmygyddion eraill i ganu, emynu, a moli am eu gwaredu.

2. Pwy hefyd drwy bersonoliad?—Arian yn llawer, aur yn fwy, ond "rhoddasant eu *hunain* i'r Arglwydd" yn rhagori. Dyna oedd Simon a'r mellt yn ei ddonio; Paul a'i dabwrdd i daro, ac Ioan a gemau Paradwys yn ei addurno—a phob un a welir ynddi a ymgysegra i addoli, a ymrodda i'r Iesu, ac a ymofyna am ei gael yn ei dy, lle i deyrnasu, a lle y coroni.

3. Pwy hefyd i'r Ceidwad? Efallai y daw cribau Libanus yn areithfaoedd i gyhoeddi am dano; ffynonau Nubia yn agored i fedyddio; meini Abelmaholah yn fyrddau i gymuno; a gwastadedd y Mississippi yn addolfa i weddïo ac i foli, i wylo ac i odli, i *waitio* ac i sylwi ar seren y farn i dywynu. Eithr y mae am ymresymu, dydd i ymroddi a heddyw i ymgysegru gyda ni, a heb ddiflanu.

4. Pwy hefyd, cyn delo y diweddiad? Y mae tri o ymadroddion yn haeddu lle yn meddwl ein darllenyddion: 1. Dynol wagedd yn dihoeni, yn sychu, ac yn fuan i ddiflanu. 2. Dwyfol wirionedd yn dyddanu; ac y mae Iesu yn yr anedd-dy megys yn yr addoldy; yn y gigfa megys yn y gymanfa, ac yn y dirgel yn barnu, megys yn y deml fawr ei bri. 3. Duwiol orfoledd, i draethu, cynyddu, myned yn fwy, ac ymgodi. Ac os heddyw yn darparu, yna "byddwch yn barod erbyn yfory," eich teuluoedd yn dawel yn eich claddu, a chwithau yn byw i etifeddu. Dywedai merch wrth ei mam yn yr addoldy, "Mae yn rhy gynar o'r dydd i mi i ymofyn crefydd." Ond yn mhen yr wythnos yr oedd yn y dwymyn yn yn dihoeni; yn mhen naw diwrnod yn trengu, ac yn mhen tri eraill yr oedd angladd mawr iddi yn cychwyn o'r ty, a heddyw yr eneth hono a ddarfu.

Tri pheth y dylid ofni eu gadael i golli: Cymeriad, drwy ddiofalu; heddyw, drwy ymoedi; ac enaid, drwy beidio derbyn yr Iesu. Pawb oll a gleddir; prynedigion a goronir; a phwy hefyd a ofynir?

---

# Adran yr Adroddydd.

## RHAID ITI ANTURIO DY HUN.

Rhaid iti anturio dy hun
  Os ydwyt am adael dinodedd;
Rhaid iti anturio fel dyn,
  Os ydwyt am enill anrhydedd;
Ynfydrwydd yw dysgwyl y daw
  Enwogrwydd i chwilio am danat;
Nid disgyn fel cawod o wlaw
  O'r nefoedd wnaiff urddas chwaith arnat.

Rhaid iti anturio dy hun,
  Os ydwyt ti am ymddyrchafu;
Rhaid iti anturio fel dyn,
  Os ydwyt yn meddwl gorchfygu;
Nis gweli ond gwaethaf y byd,
  Bydd pawb yn ymryson dy rwystro;
Dy dd'rysu a fynant i gyd,
  Os llwyddant, cudunant i'th wawdio.

Rhaid iti anturio dy hun,
  Yn wrol i wyneb y gelyn;
Rhaid iti anturio fel dyn,
  A thrafod y byd megys plentyn:
Ei ddysgu ef i ufuddhau
  Raid iti, er maint ei gyndynrwydd;
Na chymer gan ddim dy nacâu,
  A dyro dy droed ar waradwydd.

Rhaid iti anturio dy hun,
  A'th galon yn dawel a llawen;
Rhaid iti anturio fel dyn,
  Heb sylwi ar lid a chenfigen:
Rhaid iti ddibrisio pob gwarth
  A deflir i'th wyneb gan ddynion,
A'u chwythu oll ymaith fel tarth
  O flaen y dwyreiniol awelon.

Rhaid iti anturio dy hun,
  Paid byth ag ymorphwys ar eraill;
Rhaid iti anturio fel dyn,
  A gwneuthur pob gelyn yn gyfaill.
Ni chei di byth barch gan y byd,
  Nes iti yn llwyr ei orchfygu,
Ac wed'yn daw pobpeth yn nghyd
  Ar unwaith i fynu'th ddyrchafu.

Rhaid iti anturio dy hun,
  Fel eon a chryf amherawdwr,
Rhaid iti anturio fel dyn,
  A gwneuthur dy hun yn orchfygwr;
Os ydyw y byd am dy ladd,
  Mae'n barod yn dechreu dy ofni;
Dos rhagot, cei weled pob gradd
  Yn dyfod yn nghyd i'th addoli.

Rhaid iti anturio dy hun,
  Os ydwyt am fod yn anfarwol;
Rhaid iti anturio fel dyn,
  I ddringo y bryniau trag'wyddol:
Yn wir, anfarwoldeb ni ddaw
  I lawr atat ti i dy geunant;
Y mae yn dy ddysgwyl di draw
  Ar uchel fynyddoedd gogoniant.

---

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

### X.

—Yr oedd yr argraffiad yn ddwfn ar fy meddwl er's haner canrif bron, mai math o *fanatic* pen-ysgafn oedd Edward Irving; ond mae Thomas Carlyle, yn ei "Adgofiadau," wedi diwreiddio y syniad cyfeiliornus hwnw yn hollol. Dyn rhyfeddol oedd Edward Irving, o gyfansoddiad corphorol cawraidd, ac o gyfansoddiad meddwl angylaidd. Yr oedd dipyn yn hynach na Carlyle, ond yn moreu eu hoes yr oeddynt ill dau wedi eu bwriadu i waith y weinidogaeth. Pan aeth Irving i Lundain yr oedd ei boblogrwydd y cyfryw nes tynu Brougham ac aelodau cyfrifol eraill y Senedd-dy i'w wrando. Yr oedd ei hyawdledd yn angerddol, a'i ysbryd mor ddidwyll ag ysbryd baban. Yr oedd ei sêl yn ei ysu, nes o'r diwedd i lawer o'i ganlynwyr ymddwyn fel y gwelais Gymry yn nghapel y Methodistiaid yn Nghaergybi, dan ddylanwad hyawdledd John Elias ac eraill, yn "gorfoleddu" hyd ganol nos. O'r diwedd llithiwyd Irving ei hun i'r dybiaeth fod dylanwadau ysbrydol fel ar ddydd y Pentecost yn dilyn ei weinidogaeth. Yr oedd ei ddilynwyr yn siarad â thafodau dyeithr. Pan ddeallodd Carlyle fod ei gyfaill dan ddylanwad yr hudoliaeth, cymerodd achlysur i ymddiddan yn ddifrifol ag ef. Gwrandawodd Irving yn ostyngedig ac yn wylaidd, ac yn lled egwan, gwnaeth ryw fath o ymesgusiad. Barnai Carlyle nad oedd Irving yn hollol argyhoeddedig gyda golwg ar y "*gift of tongues*;" a chafwyd llythyr, yr ymdrechodd ei ganlynwyr ei gelu, yn yr hwn yr oedd Irving yn datgan ei amheuon, ac yn erfyn arnynt ymostwng o flaen Duw am oleuni a chyfarwyddyd.

O'r diwedd cymerodd "Cyngor y Gongl" y mater mewn llaw, a thorwyd Irving allan o gymundeb y Presbyteriaid. Gwelodd Carlyle ef ychydig wythnosau cyn ei farw; yr oedd yn myned i'r wlad er adgyfnerthiad. Bu farw yn mlodau ei ddyddiau, heb un math o afiechyd, ond *gwendid*—y meddwl wedi nychu y corph cawraidd. Nid oedd dadl na thorodd ei galon. Fel hyn y dywed Carlyle am y "Cyngor:" *A poor aggregate of Reverend Sticks in black gowns, sitting in Presbytery, to pass formal condemnation on a man and a cause which might have been tried in Patmos under presidency of St. John, without the right of it being got at!*

Ni bu cyfeillgarwch ddynol erioed mwy cywir a didwyll na chyfeillgarwch y ddau ddyn rhyfeddol hyn. Tra yr oedd Carlyle mewn pryder yn nghylch eithafion Irving, seiliedig ar 1 Cor. 13, yr oedd Irving mewn pryder am Carlyle yn ei astudiaeth Ellmynol, ac yn drwgdybio iachusrwydd Goethe, nes darllen o hono "Wilhelm Meister," am yr hwn y dywed: "*Very curious!* Mae yn y bardd Ellmynaidd hwn rai tudalenau am Grist a'r grefydd Gristionogol, fel yr wyf fi yn eu myfyrio drachefn a thrachefn, fwy o synwyr ynddynt ar y mater nag a gefais i yn yr

holl dduwinyddion wyf wedi ddarllen." Cyn hyny yr oedd yn beio Goethe o ddenu ei gyfaill oddiwrth Dduw!

—Mae yn ddiddadl fod y syniad, flynyddau yn ol, beth bynag am y blynyddau presenol, yn mhlith hyd yn nod y dosbarth darllengar, mai math o annuwydd oedd Goethe. Un o'r llythyrau olaf a dderbyniais cyn gadael Llundain, ebe Carlyle, ac a luchiais i'r tân, oedd oddiwrth efrydydd yn Oxford, a alwai ei hun yn "Ymofynydd Crefyddol," yr hwn a ofynai i mi, ai nid oedd yn nhu dalenau "Meister" ragfynegiad rhyfeddol o eglur o Comte a Positivism! Phœbus Apolo, duw yr haul, yn rhag-gysgodi *the miserablest phantasmal algebraic ghost* I have yet met with among the ranks of them!" Nis gallwn fentro troi y geiriau wyf wedi *italeiddio* i'r Gymraeg, heb ofni dirymu eu nerth. Y maent yn Garlylaidd i'r dim.

—Siom, ac angen, a phenyd—a ddylyn
Ddwylaw y dioglyd;
Ond daw blith fendith ar fyd
Lle y daw llaw y diwyd.
—*Nicander.*

—Yn ei "Adgofiadau," dywed Carlyle am ei siwrne faith i Edinburgh, i gael cynghor gan feddyg cyfrifol, gan fod y dyspepsia bron a'i nychu: "A ydyw yr anhwylder hyn," gofynai i'r doctor, "yn feddyginiaethol trwy ddefnyddio cyfferi meddygol; neu ynte, a yw e yn anfeddyginiaethol ond trwy drefniad ymborthol, os trwy hyny?" Rhoddais y gofyniad yna iddo yn ddifrifol; a dyma a ddywedodd: "Y tybaco yw'r achos, syr; rhoddwch y tybaco i fyny." Rhoddais ef i fyny yn y fan, ar unwaith ac yn hollol. Ac wedi misoedd meithion, llefais allan, "Buasai yn llawn cystal i mi farchogaeth driugain milltir mewn cyfeiriad gwrthwynebol, ac arllwys fy ngofidiau i glust hir, flewog, yr asyn cyntaf a gyfarfyddwn, ag i glust y meddyg cyfrifol, enw yr hwn ni thraethaf." Dyna ddigon o Carlyle am y mis hwn. Efallai y caf roi chwaneg o hono ryw bryd. Mae y wasg, nid yn unig yn Lloegr ac America, ond ar gyfandir Ewrop hefyd, yn llawn o Carlyle y dyddiau hyn.

—Darganfyddodd ymdeithydd Rwsiaidd o'r enw Remirowitch-Dantschenko, yn uchel-diroedd Daghestan, yn y Caucasus, lwyth o bobl sydd yn sefydledig yno er's miloedd o flynyddoedd, ac er eu bod yn ymdebygoli, yn enwedig yn eu hysbryd milwrol, i'r Cossacs, nid oes yr amheuaeth lleiaf nad Iuddewon ydynt. Y maent yn dilyn cyfraith Moses yn y deongliad Beiblaidd o honi. Syna'r Adolygwyr na wnawd sylw o'r bobl hyn yn gynt, gan eu bod hwy eu hunain yn tystiolaethu eu bod wedi byw yn yr un llecyn er amser Salmasser. Y maent yn anwybodus o lenyddiaeth y Talmud, ac o adeiladaeth yr ail deml. Cadwant yr hen enwau Iuddewig oeddynt arferedig yn nyddiau crwydredig y brenhinoedd cyntaf. Maent yn wneuthurwyr, ar raddfa helaeth, o win coch, yr hwn a ystyrir y goreu yn y Caucusus; ac ymlynant yn ddiwyro wrth y gyfraith Fosenaidd, fod yn rhaid i ddyn briodi gweddw ei frawd.

—Rhydd Mr. Calvert, Ysgrifenydd y *Baptist State Convention, N. Y.*, ystadegau sydd yn galondid mawr i bob gwir Gristion. Er na fu adfywiad neillduol y flwyddyn ddiweddaf, bedyddiwyd 4,278 o bersonau yn nghorph y flwyddyn, yr hyn sy'n ychwanegiad ar y flwyddyn o'r blaen o 145. Nid yw yr hyn a ddywed y newyddiaduron yn ddiweddar, yn wirionedd, sef fod masnachwyr yn encilio o'r eglwysi. Mae yn yr ariandai a'r masnachdai heddyw fwy o Gristionogion da, ymarferol, nag a fu erioed o'r blaen; ac ni fu crefydd er yr Adfent mor bur a dihalog ag ydyw y dydd hwn. O'r $400,000 a gyfranwyd at Athrofeydd Madison a Rochester, cyfranwyd y rhan fwyaf gan Fedyddwyr. Oes talu dyledion yr addoldai yw yr oes hon. Cyfranodd y Bedyddwyr $175,000 at hyn yn 1880, a 235,000 tuag at adeiladu. Y mae 929 o aelodau yr enwad yn yr Athrofeydd, 73 o genhadon yn llafurio tu allan i'r dinasoedd, a 812 o athrawon yn yr ysgol Sul. Er pan agorwyd yr add-

oldy cyntaf yn ninas New York, yn 1762, mae yr enwad wedi cynyddu fel y canlyn: Yr oedd yn y Dalaeth, yn 1802, 86 o eglwysi, yn cynwys 5,000 o aelodau; ac yn 1817 yr oedd yr eglwysi yn rhifo 310, a'r aelodau yn 28,-000. Yn awr rhifa'r eglwysi 878, a'r aelodau 114.000. Er mor galonogol y mae hyn oll, eto nid yw yr eglwysi na'r gweinidogion ar gyffiniau pellenig yn hynod lwyddianus. Rhaid i lawer gweinidog wneyd rhywbeth heblaw pregethu, tuag at gynaliaeth ei deulu. Ychydig amser yn ol cyfarfyddodd y brawd Grenell hen weinidog mewn maelfa llyfrau yn Buffalo, yn prynu llyfr ar drin ceffylau. Gofynodd iddo, "A pha ran o'ch duwinyddiaeth y mae y llyfr yna yn ymwneyd?" Atebodd yr hen weinidog, "Os na ddysgaf rywbeth heblaw duwinyddiaeth, llwga fy nheulu!" Yr wyf fi yn gwybod yn brofiadol am galedi gweinidogion yn mhellafoedd y Gorllewin. Mae eu haberthau yn arwrol ac yn gysegredig.

—*Nodiad.*—Yn y rhifyn o'r blaen, tu dal. 19, yn niwedd yr ail golofn, yn lle, "everything from a *clean* shell," darllener, "every thing from a *clam* shell!" Eto: yn y bedwaredd linell, ail golofn, tu dal. 21, "ac," yn lle "nac."

—Tra bwrio'n tir ei burŷd—molianwn
Y melinydd tewglyd;
Gwir dawel fo'r gwr diwyd,
Dollwr bach, i dwyllo'r byd.

Gorfoledd gwr y felin,—was anwyl,
Yw synwyr ei ewin;
Os difrawd ef flawd, mae'n flin,
Ei osod i gnoi eisin.

Dogn i fyrdd, digon o fwyd—a feichir
O'i gilfachawg gronglwyd;
Ei law wag ni halogwyd,
Dyna was glân dan y wisg lwyd.

—*R. Ab Gwilym.*

# Bwrdd y Golygydd.

## ODDIWRTH DR. HUGH JONES.

*North Wales Baptist College,*
*Llangollen, Mawrth 22, 1881.*

ANWYL FRAWD GRIFFITH—Yr wyf wedi arfaethu droion i anfon atoch i dalu am y WAWR, ond o herwydd trafferthion, yn oedi o wythnos i wythnos, ac o ddydd i ddydd. Yr ydym wedi bod yn brysur iawn y tri mis diweddaf gyda darparu at yr Arholiad, yr hwn sydd wedi bod yn cael ei ddwyn yn mlaen yn ddidor am y pedair wythnos ddiweddaf; ond trwy drugaredd mae yr adran ddiweddaf o hono drosodd heddyw. Mae y coleg yn awr ar dori i fyny, am y tymor casglu, hyd ganol Mai. Bydd y myfyrwyr yn dechreu casglu y Sul nesaf. Mae yma 19 i mewn yn awr, ond y mae amryw o honynt wedi bod yn glaf yn ddiweddar am lawer o wythnosau. Daeth un o'r brodyr a fedyddiodd Dr. Price yn ddiweddar o Athrofa Trefecca, yma y Nadolig, sef Mr. David Evans—nid brawd Dr. F. Evans. Bachgen rhagorol yw hwn, yn pregethu yn efengylaidd a theimladwy, ac yn fyfyriwr llwyddianus. Yr oedd yn alluog i ymuno â'r dosbarthiadau blaenaf yma yn mhob peth ond yn yr Hebraeg. Ni ddechreuasai efrydu yr iaith gysegredig yn Nhrefecca. Yr oedd ei apeliad am dderbyniad yn cael ei ddilyn â chymeradwyaeth uchel iddo fel dyn ieuanc duwiol, a myfyriwr ymroddgar, gan y Parch. Wm. Howells, Llywydd Athrofa Trefecca, yn ogystal a chan lythyr oddiwrth ei fam eglwys gyda'r Trefnyddion Calfinaidd. Ysgrifenwyd y llythyrau hyn ar ol iddo gael ei fedyddio gan Dr. Price.

Drwg genyf na allaswn gydsynio a'ch cais i ysgrifenu yn gyson i'r WAWR. Nid diffyg teimlad da, ond diffyg hamdden oedd yr achos. Yr oeddwn wedi addaw, ar gais y golygydd, erthygl i'r *Traethodydd* er cyn geni *Seren Gomer*, ar y "Deg Llwyth," yn benaf er dy-

noethi y ffiloreg o ddechreuad Iuddewig y Prydeinwyr. Methais a chyflawni fy addewid hyd ddechreuad y flwyddyn hon. Anfonais Rhan I. o'r erthygl i'r *Traethodydd*, a bydd iddi ymddangos yn y rhifyn am Ebrill nesaf. Wrth gywiro y brawflen, cedwais yr ysgrif, yr hon a amgauwyf yn awr i chwi. Gellwch ei rhoddi oll, neu ddyfyniadau o honi, os mynwch, yn y WAWR.

* * * * * *

Collasom yr hen frawd anwyl a pharchus, y Parch. Wm. Thomas, yn lled annysgwyliadwy. Un o'r pregethwyr mwyaf dyddorol a swynol oedd Mr. Thomas, ac un o'r brodyr mwyaf serchog.

Yr wyf yn amgau y P. O. O. am y WAWR. Pob llwydd a chysur i chwi, anwyl frawd, yn eich ymdrech i wasanaethu eich cenedl yn y Gorllewin pell. Duw yn rhwydd i chwi, ac i holl hil Gomer yn ngwlad machlud haul. Yr eiddoch yn gywir, HUGH JONES.

*Parch. O. Griffith.*

O. Y. Mae y Parch. Leyshon M. Roberts, M. A., yn gwneyd yn rhagorol yn Glynceiriog. Mae yn fwy o *reformer* na neb fu gyda hwy yr oes hon, ac yn cael pob cefnogaeth. H. J.

## Y PARCH. OWEN MICHAEL.

Mae enw yr hybarch Owen Michael Pen-y-bont-ar-Ogwy, sir Forganwg, yn dra hysbys i lawer o'n darllenwyr fel hen weinidog parchus Blaenafon, Coed Duon, a manau eraill. Pan yn nghymru yr haf diweddaf galwasom gydag ef yn Mhen-y-bont-ar-Ogwy. Yr oedd hyn ar ddydd Llun. Y Sul blaenorol pregethem yn Salem, Maesteg, yn nghapel y Parch. Fred Evans, D. D., yn bresenol. Dywedwn yn y ty lle yr aroswn nos Sadwrn, y bwriadwn alw gyda Mr. Michael foreu ddydd Llun, pryd yr hysbyswyd fi iddo ef fod yno yn *supplyo* am Sul ryw flwyddyn a haner cyn hyn. (Cofier fod Mr. Michael yn meddu ei *oddities*.) Dywedid iddo y pryd hwnw, nos Sadwrn fyned i'w orphwysfa yn y ty hwn ac iddo yn fuan groch-lefain yn uchel, "Hoi! Hoi!" Atebid ef gan ddywedyd, "Beth yw y mater, Mr. Michael?" Ebai yntau, "Mae arnaf eisiau ychwaneg o ddillad ar y gwely yma—mae arnaf anwyd mawr—yr wyf bron a rhynu." "Deuwn ag ychwaneg yn awr, Mr. Michael," ebe llais hyglyw, tyner, oddilawr. Ar hyny dyma un yn myned, gan ddweyd, "Wel, Mr. Michael, dyma fi yn dyfod ag ychwaneg o ddillad ar eich gwely." "Ie," meddai yntau, "tyred a chymaint sydd genyt yn y ty." "Wel, Mr. Michael," oedd yr ateb, "fedrwch chwi ddim troi wed'yn." "'Does arna' i ddim eisiau *troi;* eisiau bod yn *gynes* sy' arna' i."

Boreu ddydd Llun, yn ol fy arfaeth, yno yr aethum. Wedi cryn ymholi am fan ei breswylfod, deuwyd o hyd iddo. Curo wrth y drws. Mrs. Michael yn ymddangos. Methu adnabod y gwr dyeithr; yntau yn ymgyfarch, ac yn gwneyd ei hun yn adnabyddus. Gwahoddiad caredig i mewn. "Lle mae Mr. Michael?" meddwn. "Mae yn *room* y ffrynt yma—dewch yn mlaen ato, os gwelwch yn dda." Myned, a dyna lle yr oedd yr hen batriarch, yn orweddog ar yr esmwythfainc. Ar draws ffenestri ei lygaid yr oedd cadach gwyn gwlyb yn atal pob cymundeb golygon rhyngddo ef a mi. Yn y man dyma y gorchudd hwnw yn cael ei symud, pryd y gofynwn iddo sut yr ydoedd, a'i hysbysu pwy oedd yn sefyll ger ei fron. "Beth yw yr olwg yma sydd arnoch, Mr. Michael?" meddwn, "dowch, ymsythwch, i ni gael tipyn o ymgom." "Fedra' i ddim symud," meddai yntau, "mae yr hen grydgymalau yma bron a fy lladd i." "*Dear me*, mae arnaf ofn mai tipyn o chwilfrydedd y myfyrwyr a'r darllenwyr mawrion sydd arnoch, Mr. Michael." "Na, na," meddai yntau, "mae tymor henaint a'i ganlyniadau wedi fy nal. Adeg marw yw arna' i yn awr, ac eisiau marw sydd arnaf; ond cha' i ddim marw gan yr Arglwydd. Wn i ddim beth mae yn ei feddwl yn fy nghadw i yn yr hen fyd yma i fy mhoeni o hyd fel hyn." "Yn wir," ebe Mrs. Michael, "wn i ddim beth i feddwl o

hono fo, Mr. Griffith, mae yn gas wrtha i, yn neillduol yn y boreuau yma." "Nag ydw' i," ebe yntau; "nag ydw' i ddim yn gas wrthat ti, wel' di—yr hen gyfeilles oreu o bawb wyt ti erioed—nag ydw' ddim yn gas wrthat ti, beth bynag."

Ymadawsom yn y man mewn tipyn o siomedigaeth na buasem yn cael yr hybarch dad mewn gwell iechyd a hwyl. Diolchai i ni am alw.

Clywsom yn ddiweddar ei fod yn hollol orweddog a llesg, ac yn annhebyg o fyw yn hir. Enwog yn ei ddydd oedd ef.

O. Y. Wedi cysodi yr uchod, cawn a ganlyn yn y *Greal* am Ebrill: Boreu Mercher, Mawrth 19, bu farw y pregethwr uchod, yn 74 mlwydd oed, a chladdwyd ef y Sadwrn canlynol. Cyfansoddodd ysgrifau ar y "Gweinidog Tlawd," y rhai a gyhoeddwyd yn y *Bedyddiwr* flynyddau yn ol, a thynasant gryn sylw yr adeg hono. Brodor o Sir Fon ydoedd, ac yr oedd yn bur adnabyddus yn eglwysi Cymru. Yr oedd yn fardd gwych, a chyfansoddodd amryw o emynau yn y *Moliant o Enau Plant*, a gyhoeddwyd flynyddau yn ol.

---

## Y LLAW-LYFR MOLIANT.

Y mae yn hysbys bellach i'r eglwysi yn lled gyffredinol, ni dybiwn, mai Llyfr Emynau a Thônau at wasanaeth cynulleidfaol y Bedyddwyr Cymreig, yw y Llaw-lyfr Moliant. Mae y rhan luosocaf o eglwysi Dyffryn y Wyoming, Pa., wedi mabwysiadu y llyfr. Gan fod cyflenwad o fil o gopiau wedi eu derbyn genym o Gymru, yr ydym yn barod i gyflenwi archebion yn ol y telerau a welir ar yr amlen.

---

## Y DIWEDDAR BARCH. DAVID HARRIS, ARNOT, PA.

Gyda phleser yr ydym yn cydsynio a'r cais canlynol er cof am yr anwyl frawd ymadawedig. Dengys y penillion ansawdd ei feddwl, a'i deimladau ar grefydd.

*Mr. Gol.*—Dymunaf arnoch ganiatau ymddangosiad y tri phenill amgauedig yn y WAWR nesaf, y rhai a gafwyd yn llogell y Parch. David Harris yn mhen ychydig amser wedi iddo farw. Y mae ei weddw am eu cyhoeddi, fel y gall eu cael yno i'r dyben o'u cadw.

*Arnot, Pa.* JOHN M. THOMAS.

Holy Father, thou hast taught me
  I should live to thee alone;
Year by year thy hand hath brought me
  On through dangers oft unknown;
When I wandered, thou hast found me,
  When I doubted, sent me light:
Still thine arm has been around me,
  All my paths were in thy sight.

In the world will foes assail me,
  Craftier, stronger, far than I;
And the strife may never fail me,
  Well I know, before I die;
Therefore, Lord, I come, believing
  Thou canst give the power I need;
Through the prayer of faith receiving
  Strength—the Spirit's strength indeed.

I would trust in thy protection,
  Wholly rest upon thine arm,
Follow wholly thy direction,
  Thou mine only guard from harm.
Keep me from mine own undoing.
  Help me turn to thee when tried;
Still my footsteps, Father, viewing,
  Keep me ever at thy side

---

## DR. WENGER.

Yn *Seren Gomer*, am Ionawr, ceir y rhan gyntaf o Fraslun o Fywyd a Llafur y Parch. John Wenger, D.D., Cenadwr y Bedyddwyr yn Calcutta, a chyfieithiwr enwog y Beibl yn India, gan y Parch. Thomas Evans, Cenadwr y Bedyddwyr yn Monghyr, India. Yn y rhagarweiniad, dywedir, "Mae y braslun hwn o fywyd gwerthfawr y Duwinydd mawr, a'r Ieithydd hynod Dr. Wenger yn llawn o wersi cyfoethog i weision Duw; ac hefyd yn ardystiad o'r mwyaf cadarn yn erbyn dilysrwydd y traddodiad dynol—Bedydd Babanod—yr hwn sydd wedi bod y fath wreiddyn o lygredd i gynifer o gangenau o'r Eglwys Gristionogol am lawer o ganrifoedd a chenedlaethau.

Dyma ddyn, yr hwn ni wyddai, pan yn ieuanc, fod enwad o Fedyddwyr i'w cael yn y byd, ond yr hwn a ganfu allan o *Air Duw* mai *dyfais ddynol oedd Bedydd Babanod,* a melldith i'r eglwysi oedd yn ei arfer. yn meiddio ardystio yn ei erbyn fel cyfeiliornad, ac aberthu y *cwbl* i hawliau cydwybod a Gair Duw, yn hytrach na chefnogi y seremoni Babyddol. Ganwyd Dr. Wenger mewn lle o'r enw Burchen Cuhl, nid yn mhell o Berne, yn Switzerland, Awst 31, 1811.

## LLEDAENIAD EIN HEGWYDDORION.

Mewn cyfarfod y gweinidogion yn New York yn ddiweddar, pwnc yr ymddyddan ydoedd, "Y moddion goreu i ledaenu ein golygiadau Enwadol." Arweiniodd hyn i sylwadau ar bregethu ar ein golygiadau neillduol. Ychwanega y *Watch-Tower*, gan ddweyd: "Yr ydym yn credu yn ddiysgog, yr hyn sydd sylfaenedig ar sylwadaeth pur eang a gofalus, nad yw ein gweinidogion yn pregethu digon ar y pynciau hyn. Ac oblegid nad ydynt, mae eu pobl eu hunain, i raddau, yn anwybodus, nid yn gymaint o'r hyn a gredir genym, ac o'r rhesymau paham yr ydym yn gwneyd. Yn y genedlaeth a aeth heibio, pregethai gweinidogion y Bedyddwyr, efallai, ormod ar fedydd a'r cymundeb. Mae yn sicr y pregethent ormod mewn ysbryd dadleuol. Yr oeddynt yn cael eu gwrthwynebu gan eraill, a gwrthwynebent hwythau yn ol, efallai yn rhy gryf.

Ond i ochelyd y dull garw hwn o ddadleu, mae traethu ar y pynciau hyn wedi cael ei droi o bwlpudau y Bedyddwyr, gydag ychydig iawn o eithriadau. Yn awr, mae arnom eisiau ychwaneg o bregethu ar y pynciau hyn, nid i wrthwynebu eraill, ond i addysgu ein pobl ein hunain. Mae y gwersi *cyd-genedlaethol* yn taflu addysgiaeth enwadol allan o'r Ysgolion Sabbothol, ac mae y bobl ieuainc yn tyfu i fyny gan ofyn ai nid yw cymundeb rhydd yn iawn, ac heb fod yn sicr a wna taenelliad y tro yn fedydd; yn neillduol felly, pan y maent yn clywed ac yn gweled hyn ar bob llaw." Gofynwn ninau ai nid oes rhy fychan o bregethu ein hegwyddorion gwahaniaethol gan ein gweinidogion ni, y Bedyddwyr Cymreig?

## IECHYD MR. SPURGEON.

Mae iechyd Mr. Spurgeon yn gwellhau, ac effeithiau y *rheumatic attack* diweddaf yn prysur ddiflanu. "Eto ac eto," ysgrifena, "yr wyf wedi cyrhaedd yr hafan ddymunol, a phob tro wedi cael fy ngyru allan ar fôr o boen gan awel arall o dymestl afiechyd. Mae Duw wedi bendithio y Bedyddwyr yn Llundain, ac os na chynyddant, arnynt hwy bydd y bai.

Mae pob peth a duedda i luosogi lleoedd i bregethu yr efengyl yn llawenydd i ni oll. Edrycher gan hyny i'r mater hwn. Yr wyf yn hynod ddiolchgar am eich gweddiau, ac yr wyf wedi bod mewn angen am nawdd dwyfol i ddyfod trwyddynt ychydig yn hwy, a bydd y cwbl drosodd."

## CENADAETH NEWYDD.

Mae y Parch. Edward Judson, mab yr enwog Dr. Judson, ar ddechreu cenadaeth newydd yn mharthau isaf esgeulusedig dinas New York. Yn y flwyddyn ddiweddaf y mae eglwysi efengylaidd wedi cael eu symud o'r parthau hyny i ranau uchaf y ddinas. Yr oedd hyn yn cael ei wneyd oblegid fod y bobl grefyddol yn symud yn y cyfeiriad hwnw. Y canlyniad oedd fod y parthau isaf yn myned yn anghyfanedd o foddion gras, a'r trigolion arosedig yn cael eu gadael yn amddifaid ac esgeulusedig. Yn awr, y mae *gwawr* wedi tori arnynt, gan fod cenadaeth arbenig ar eu cyfer yn cael ei sefydlu gan y dyn ieuanc llafurus a nodwyd. Ystyrir Mr. Judson yn ddyn hynod o dalentog a duwiol. Nid ellir dweyd fod dim yn ei gymell i gymeryd y cam hwn ond gwir awydd i wneyd daioni i'w gyd-ddynion, gan ei fod yn weini-

dog ar un o eglwysi goreu y Bedyddwyr yn America yn New Jersey, ac yn fawr iawn ei barch a'i ddylanwad yno, a'r golled ar ei ol yn cael ei deimlo yn ddwfn. Y tebygrwydd yw, os oes bywyd ac iechyd i Mr. Judson, y crea gyfnod newydd, nid yn unig yn ninas New York, ond hefyd yn efengyleiddiad dinasoedd mawrion yn gyffredin. Y mae yr anturiaeth ogoneddus hon o eiddo y dyn da hwn yn tynu sylw mawr, nid yn unig yn mhlith y Bedyddwyr, ond hefyd yn mhlith enwadau eraill. Y mae yn ymgymeryd â'r gwaith heb unrhyw gymelliad tu allan iddo—heb unrhyw gymorth arianol yn cael ei ddal o'i flaen. Mae ei ffydd yn Nuw, a chredir y bydd y canlyniadau yn ogoneddus a bendithiol. Felly y byddont.

## DEIGRYN HIRAETH.

Cyfansoddwyd y llinellau canlynol gan y brawd Evan J. Davies, Hyde Park, ar ol y diweddar Mr. D. S. Roberts. Y mae hon yn engraifft arall o'r hiraeth a ffyna ar ol y brawd ymadawedig :

Wele eto un o'r brodyr
Wedi myned at y Tad,
Lle mae heddwch a thangnefedd
Byth yn ffynu trwy y wlad ;
Colled fawr i'r eglwys ydoedd
Gorfod gollwng brawd mor bur,
Swyddog eglwys a chyngorwr,
Ac hyfforddwr dan bob cur.

## COFIANT

### Y PARCH. JOHN PRICHARD, LLANGOLLEN.

Mae y cofiant hwn wedi ei ysgrifenu gan y Parch. Owen Davies, Caernarfon, ac yn gyfrol hardd o 424 o dudalenau. Yr ydym wedi darllen y cofiant hyd ddechreu y chweched benod, ac mor belled wedi cael ein *mawr* foddloni ynddo. Gan nad ydym wedi darllen yn mhellach, ac oblegid hyny yn analluog i draethu am ragoriaethau y cofiant fel cyfanwaith, rhaid aros hyd y rhifyn nesaf cyn helaethu arno, pryd y dysgwyliwn fod yn hysbys o'i holl gynwysiad.

## Y CYFIEITHIAD DIWYGIEDIG.

Mae anfoddlonrwydd eisoes yn cael ei amlygu tuag at y cyfieithiad diwygiedig, er mai ychydig a wyddys eto am y cyfnewidiadau a geir ynddo. Mae y cyfnewidiadau yn yr ychydig adnodau ydynt wedi cael eu gwneyd yn hysbys, wedi cymell llawer o feirniadaeth. Un ffynonell o anfoddlonrwydd ar ran taenellwyr, fydd, fod y cyfieithiad newydd, os yw yr hanes yn wir, yn gwneyd i Ioan fedyddio *mewn* dwfr, yn gystal ag *yn* yr Iorddonen—*in* Jordan.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

Un o benderfyniadau cynadledd Cwrdd Misol cylch Pontypridd, ar y 3ydd o Fawrth, oedd hwn:

"Ein bod yn teimlo yn ddiolchgar i'r Arglwydd, fod Mr. J. R. Jones, (Caradog), wedi troi ei dalentau at ganiadaeth gysegredig, ac yn gobeithio y ca bob cefnogaeth i ddyrchafu chwaeth gerddorol yn ein plith."

—Cyfarfod Chwarterol Cymanfa Sir Benfro a gyflwyna y Parch. E. Bombay Edwards, cenadwr dychweledig o Bombay, India, i sylw yr eglwysi yn y sir, yn nghyda'u hanog i roddi derbyniad serchog iddo.

—Dywedir am y Parch. J. Hyatt Smith, yr hyn a ganlyn : "Arferai fod yn Fedyddiwr cadarn, a dywedodd mewn un cyfarfod crefyddol, fod yr Arglwydd wedi anfon ei gyflenwad mawr ar hyd y dwfr—that the Lord sent his *heavy freight by water*."

—Mae y Parch. Owen Williams, gynt o'r Garn, Dolbenmawr, sir Gaernarfon, wedi rhoddi ei weinidogaeth i fyny yn Nebraska City, Neb., ar ol chwe' mlynedd o lafur, ac wedi derbyn galwad i Galesburgh, Ill.

—Y brawd selog, W. J. Thomas, Delta, York Co., Pa., a ysgrifena atom, gan ofyn a wyddem am rywle y gallasai

gael gwaith i drin *hops*, &c., neu ryw wasanaeth ysgafn felly, mewn ardal agos i Fedyddwyr. Credwn fod Mr. Thomas yn frawd rhagorol. Nid yw ei iechyd na'i nerth yn gyfryw fel y gall ymgymeryd â gwaith caled. Dymunol fyddai i'r brawd gael ei ddymuniad. Pwy a wyr am le o'r fath iddo?

—Yn *Seren Gomer* am Ionawr, mae gan y Parch. H. Cernyw Williams, gweinidog y Bedyddwyr yn Corwen, erthygl ragorol ar y testyn, "Dylanwad Daearyddiaeth Gwlad Canaan ar ein Ieithwedd Grefyddol." Caiff yr erthygl hon ymddangos yn fuan yn y WAWR. Mr. Williams ydyw awdwr yr ysgrif ddyddorol yn y WAWR am Ebrill, ar "Lyfr Genesis a Llyfr y Datguddiad."

## GOFYNIADAU.

*Mr. Gol.*—Gan y credwyf oddiar brofion anwadadwy, mai un o ddybenion eich cylchgrawn clodwiw ydyw ymdrechu dysgu eich darllenwyr lluosog i ddeall meddwl Duw yn ei air; gan hyny, erfyniaf eich trwydded er gosod ger eich bron chwi, syr, neu ryw un o'ch gohebwyr deallus y gofynion a ganlyn. Sylfaen y gofyniadau sydd i'w canfod yn Actau i. a'r rhan olaf o'r 5ed adn., "Ond chwi a fedyddir â'r Ysbryd Glan cyn nemawr o ddyddiau." Yn 1. Pwy ydyw y gwrthddrychau a gynwysir yn y frawddeg, "chwi," &c. 2. Pa beth a feddylir wrth Fedydd yr Ysbryd Glan? 3. A ydyw yn gyson â'r datguddiad Dwyfol, yn bresenol, i bersonau weddio am gael eu bedyddio â'r "Ysbryd Glan," &c.

Yn awr, eglurhad goleu a chadarn ar y gofyniadau uchod a rydd fawr ddyddordeb i mi ac amryw eraill. Gan ddymuno y cylchrediad helaethaf i'r WAWR er symud pob cyfeiliornad o blith teulu Seion. Yr eiddoch yn ddidwyll.—*J. R. J., Pegwn Gwynedd.*

*Mr. Gol.*:—Carwn gael eglurhad ar y gofyniadau canlynol gyda golwg ar y priodoleddau a'r hanfod Ddwyfol: 1. A yw y briodoledd o gyfiawnder yn fwy pur na'r briodoledd o drugaredd, neu sancteiddrwydd? A yw trugaredd yn fwy parod i achub pechadur na chyfiawnder, neu a yw cyfiawnder yn fwy parod i gospi pechadur na'r briodoledd o gariad? Os yw y naill briodoledd yn rhagori ar y llall, pa le y mae unoldeb yr hanfod Dwyfol? 2. Pa sail sydd gan neb i ddweyd mai cyfiawnder oedd yn gwaeddi ar adeg y croeshoelio, "Gollwng ef yn rhydd, mi a gefais iawn?" Onid oedd cariad, sancteiddrwyd a thrugaredd yn gofyn iawn yn ogystal a chyfiawnder?

Goleuni ar y gofyniadau uchod gan rai o'r gweinidogion parchus fyddai yn dderbyniol gan amryw yn y lle hwn. Yr eiddoch.—*Carwr Cysondeb, Shenandoah, Pa.*

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### MAHOMET A MAHOMETANIAETH.

Mae cymaint wedi ei ysgrifenu ar y penawd uchod, fel mai ofer yw dysgwyl dim newydd arno. Ond dichon fod rhai o ddarllenwyr ieuainc y WAWR heb dalu ond ychydig sylw i'r pwnc yn flaenorol, felly bydd yn newydd iddynt hwy.

Cawn fod Arabia, gwlad Mahomet, yn cael ei ffinio gan yr Indian Ocean, Persian Gulf, afon yr Euphrates, a gwlad Syria. Fel gwlad, mae ynddi rai dyffrynoedd ffrwythlawn, ond y mae y rhan fwyaf o honi o lawer yn cael ei gwneyd i fyny o anial diroedd llwm, bryniau moelion, a milldiroedd lawer o dywod sych a phoethlyd. Nid oes afon fordwyol o fewn ei chyffiniau, a'i ffynonau sydd anaml. Cludir nwyddau yno o fan i fan ar gamelod, y rhai a symudant yn finteioedd mawrion gyda'u gilydd. Mae yr Arabiaid, fel rheol, yn ddynion syml a chymedrol, parod i ad-dalu cam, eto yn hynod o ietygar. Mewn pebyll y byddant fyw

yn gyffredin, felly treuliant lawer o'u hoes yn yr awyr agored. Cyfrifa hyn, i raddau, am y ffaith eu bod er yn foreu yn talu gwarogaeth i'r haul a'r lleuad, a phlanedau eraill yn yr eangder uwch ben. Yn eu hawydd am wrthddrych gweladwy i'w addoli, gwnaethant ddelwau o'u duwiau. Mae y "Gareg Ddu," yn nheml Kaaba, yn Mecca, yn cael ei haddoli ganddynt gyda pharch dirfawr. Dygwyd y gareg, uchod, meddant, o baradwys gan Gabriel, er cynorthwyo yr adeiladwyr oedd yn gweithio ar y deml. Chwech wrth wyth modfedd yw maint y "Gareg Ddu," felly nid oedd y cynorthwy a gawsent gan Gabriel ond bychan iawn wedi y cyfan. Yr oedd gofal teml Kaaba ar y teulu o'r hwn yr hanodd Mahoment yn y flwyddyn 570, O. C. Mae llawer o bethau gwyrthiol yn cael eu cysylltu â genedigaeth Mahomet. Am y pum' mlynedd cyntaf o'i oes, bu i ffwrdd oddi wrth ei fam, a thua diwedd y bumed flwyddyn cymerwyd ef yn sal a daeth adref. Pan tua deuddeg oed, aeth tua Palestina gyda charafan ei ewythr, a daeth i gyffyrddiad yno â llawer o Iuddewon a Christionogion. Oddi wrth hyn, yn ddiameu, y casglodd Mahomet y wybodaeth Feiblaidd y gwnaeth gymaint defnydd o honi yn y blynyddoedd dilynol. Yr oedd yr Iuddewon yn hollol rydd oddi wrth eilunaddoliaeth er eu dychweliad o Babilon; ond am y Cristionogion a gyfarfyddodd, nid oeddynt felly ond mewn enw yn unig. Wrth ystyried y croesau a'r darluniau lluosog oedd ganddynt, cawn nad oeddent lawer ar y blaen i'r cenedloedd eilunaddolgar o'u hamgylch. Ond ni chasglodd Mahomet ond gwybodaeth arwynebol iawn o ddaliadau crefyddol y ddau ddosbarth hyn, a braidd ddim o'u prif nodweddion. Pan tuag ugain oed, aeth i wasanaethu at weddw gyfoethog o'r enw Khadija, yr hon oedd yn byw yn Mecca. Yr oedd ei deulu ef ei hun yn wir dlawd. Gosododd hono ef i ofalu am ei chamelod, ac i arolygu ei chludfenau (*caravans*). Enillwyd serch y weddw gan Mahomet, a daeth yn ngrym ei chariad, un diwrnod, a gofynodd yn hyawdl iddo a wnai ef ei phriodi; priododd hi, a bu eu bywyd priodasol yn un dedwydd iawn. Yr oedd ei serch yn fawr tuag ati hyd ei fedd. Bu hithau yn wraig serchog iddo yntau, glynodd wrtho pan oedd pawb eraill yn troi eu cefnau arno mewn gwawd a dirmyg, a phan alwai eraill ef yn dwyllwr, cydnabyddai hi ef yn barchus yn brophwyd Duw. Drwy yr holl amser hyn, ymddangosai yn dra chrefyddol; elai ef a'i wraig i ogof, yr hon oedd dair milldir o Mecca, a threulient ddyddiau yno mewn gweddi ac ympryd.

Pan yn ddeugain oed, safodd person anrhydeddus ychydig bellder oddi wrtho; yr angel Gabriel ydoedd, medd ef. Yr oedd yn ei law blyglyfr (*scroll*) sidanaidd, a gorchymynodd iddo ddarllen yr ysgrifen oedd arni. Dywedodd yntau na allai; yna dywedodd yr angel wrtho "am ddarllen yn enw yr Arglwydd, yr hwn a greodd bob peth." Wedi dywedyd hyn, ymadawodd yr angel, gan adael Mahomet mewn dyryswch mawr; mewn ychydig amser, ar lethu gan y meddyliau oedd yn awr yn saethu drwy ei ymenydd, llefarodd yr angel drachefn wrtho, gan ddywedyd, "O, Mahomet, ti wyt brophwyd Duw, a minau wyf Gabriel." Hyn a ystyriodd yn gomisiwn iddo, a dywedodd hyny wrth ei wraig. Buan iawn dechreuodd ddywedyd yr hyn a dderbyniodd wrth eraill, ac yn mhen tua phedair blynedd yr oedd ganddo 30 neu 40 o ddysgyblion. Daeth Gabriel drachefn ato a gorchymyn pendant iddo i fyned allan i bregethu a gogoneddu yr Arglwydd, a ffoi oddiwrth bob halogrwydd. Ufuddhaodd i hyn, ac yn herwydd y cyfnewidiadau oedd yn anog, dyoddefodd erledigaeth chwerw; trodd ei berthynasau agosaf yn ei erbyn, gwawdid a dirmygid ef, ac weithiau archollid ef ar ei gorph yn fawr. Dyoddefodd ei ddysgyblion hefyd yr un driniaeth. Er diogelwch personol iddynt hwy, danfonodd ddeg o honynt i ffwrdd i Abyssinia yn genadon.

Ar y cyntaf, nid oedd yn llym iawn yn erbyn eilunod, ond yn hytrach lled gyfaddefai fod rhyw gymaint o dda

yn perthyn iddynt, ond hysbyswyd ef fod hyn yn ddrwg ynddo; yna daeth allan gan dystio nad oeddent ond "enwau gweigion."

Bu hyn yn achos o godi y delw-addolwyr yn ei erbyn, ac ail erledigaeth. Er diogelwch personol ffodd o'r ddinas sanctaidd, ymunodd â'r minteioedd oeddynt yn myned ar bererindodau i Mecca, a dysgai ei egwyddorion newyddion i bawb a allai. Bu farw Khadiga ei wraig. Buan iawn priododd drachefn, a phan yn 50 mlwydd oed dyweddiwyd ef i eneth nad oedd y pryd hwnw ond saith oed. Yr oedd dyn at ei ryddid yn Arabia i gael yr holl wragedd a fynai. Tua'r adeg hon y dechreuodd pethau ddod yn ffafriol iddo. Ychydig o bererinion o Medina a gredasant ei athrawiaeth. Bu llwyddiant mawr gyda'r son wnaeth y rhai hyn am dano, a buan daeth Mahomet yn enw teuluaidd yn Medina, a dim i'w glywed ar bob llaw ond "Duw sydd Dduw, a Mahomet yw ei Brophwyd." Yn mhen blwyddyn yr ydoedd yn boblogaidd anarferol.

Mehefin 20, 622 O. C., gorfodwyd ef i ffoi o Mecca eilwaith. Ond ystyrir y dygwyddiad neu y ffoadigaeth hwn y mwyaf nodedig yn ei hanes, oblegid o'r adeg hon dilynodd llwyddiant parhaus ef. O'r adeg hon y cyfrifai ei ganlynwyr eu blynyddoedd, fel y gwnawn ni o enedigaeth y Gwaredwr. Wedi taith o wyth niwrnod daethant i Medina, a derbyniwyd ef a'i ganlynwyr iddi mewn rhwysg mawr. Arosodd ar ei gamel hyd nes iddo o hono ei hun orwedd; ac ar y fan y gorweddodd adeiladodd Mahomet dy iddo ei hun. Yna codwyd teml, 150 troedfedd bob ffordd, a gelwid hi "*The Prophet's Mosque*" hyd y dydd hwn. Yr oedd yr addoliad a ddygid yn mlaen ynddi ar y cyntaf yn hollol syml. Wedi cyrhaedd Medina priododd âg Arysha, yr eneth oedd wedi ei ddyweddio iddi. Medda Mahomet yn awr safle sicr; yr oedd ei lwyddiant yn fawr, ond bu hefyd yn felldith iddo. Ymawyddai am fwy o ddysgyblion nad oedd yn allu wneyd trwy bregethu yn unig; ac un diwrnod cyhoeddodd ei fod wedi cael gweledigaeth, yn yr hon y gorchymynid iddo wneyd dysgyblion trwy y cleddyf. Byddai yn arferol o yru allan ei ddysgyblion i ymosod ar y pererinion i Mecca. Daeth hyn yn fuan i glustiau y Meccaiaid, a daethant allan yn llu mawr gyda'r bwriad i ddifodi Mahomet a'i ganlynwyr Medinaidd am byth, ond gwnaeth Mahomet hyny a hwy. Priodolai y gau brophwyd ei lwyddiant yn yr ymdrech hono i'r ffaith, medd ef, fod tair mil o angelion yn ymladd gyda hwynt. Wedi y llwyddiant hwn yr oedd ar bawb yn awr ei ofn. Brwydr ar frwydr a ymladdodd, ac yr oedd yn gorchfygu yn mhob un, a chan ei fod yn fuddugoliaethwr, yr oedd yn enill canlynwyr wrth y miloedd. Gorchfygodd Mecca a'r oll o Arabia. Addawai le yn Mharadwys i bawb a gollai ei fywyd wrth ymladd drosto fe. Pe dywedai milwr mewn brwydr, "Mae yn boeth yma," dywedai yntau mewn atebiad i hyny, "Mae uffern yn boethach." Fel hyn hyd nes oedd yn 62 oed, y parhaodd ei grefydd i gynyddu. Yr amser hwnw cymerwyd ef yn glaf, ac mewn llai na mis yr oedd yn ei fedd. Wrth farw dywedai, "O, am ymadael, a bod yn agosach at yr Arglwydd—Tragywyddoldeb o Baradwys—Trugaredd,"—ac yna y gyrwr camelod a'r prophwyd o Mecca a dawodd am byth. Galwodd Mahomet ei grefydd yn "Islam," yr hyn a olyga, "darweddiad hollol yr ewyllys i Dduw." Galwodd ei ganlynwyr yn *Mussulmen* neu *Moslems*, a golyga "rhai wedi gwneuthur hyny." Arwyddair y Gau Brophwyd oedd, "Nid oes Duw ond Duw, a Mahomet sydd Brophwyd Duw." Yr ydoedd peth o'r hyn a ddysgai wedi ei ysgrifenu, ac oddi yno y casglwyd yn nghyd, ac oddiar gof rhai o'i ganlynwyr, y Koran, yr hyn a olyga "yr hyn ddylid ysgrifenu." Mae llawer rhan o'r Koran yn ymdebygu yn fawr i'r Beibl; cyfeirir ynddo at Abraham, Moses, a Iesu. Mecca, lle genedigol Mahomet, yw lle sanctaidd Mahometaniaid; ânt yno ar bererindodau, ac ni offrymant weddi byth heb fod eu gwynebau tuag yno, fel mae yr Iuddew

yn gweddio a'i wyneb tua Jerusalem.

Pan fu farw Mahomet ni ddarfyddodd ei ddylanwad. Etholwyd Caliph i lanw ei le ef. O dan y swyddog hwnw a'r rhai a'i dilynasant ef enillasant fuddugoliaeth ar ol buddugoliaeth; gorchfygwyd Canaan, ac ar ei hol hi yr Aipht a gogleddbarth Affrica; yna Twrci i'r gogledd, a Babilon i'r dwyrain. Buan cyrhaeddodd eu byddinoedd buddugoliaethus Spain a Gaul. Yn 1295 troisant eu sylw i India; ac y mae gan Victoria heddyw 41,000,000 o ddeiliaid Mahometanaidd yn y wlad hono. Mae mwy na 100,000,000 o ganlynwyr y Gau Brophwyd dros y byd yn mhob man.

Er fod Mahomet wedi cyhoeddi brwydr yn erbyn delwau a chreiriau o bob math, eto yn y *mosque* sydd yn Delhi, India, cedwir yn ofalus mewn blwch arian, flewyn o farf Mahomet, yr hwn a ddangosir i'r ffyddloniaid yn unig. Mahometaniaid yw y dosbarth anhawddaf i genadon hedd ddylanwadu arnynt o bawb. Gwneir ymdrech ganddynt i ledaenu eu hegwyddorion diles. Gweithia Mahometaniaid yn selog heddyw ochr yn ochr a'n cenadon ni yn Affrica. Yr Arglwydd Iesu ddylai gael y dydd. Cristionogaeth sydd yn dwyn yn ei llaw yr hyn sydd ar ddyn yn ei drueni eisiau; a hi, gan hyny, ddylai gael y galon. Nid oes gan Fahometaniaeth y drychfeddwl lleiaf am Dduw fel tad a chyfaill; ddim o'r amgyffrediad gwanaf am bechod a Gwaredwr. Tynu dyn i lawr y mae Moslemiaeth; yn ei godi mae Cristionogaeth. Nid yw goleuni y Koran i'w weled o gwbl gan danbeidrwydd goleuni y Beibl. Darostwng y fenyw wna Moslemiaeth, a gwneyd caethes o honi; ei rhyddhau mae Cristionogaeth, a'i dyrchafu i gylch teilwng o urddas ei pherson. Mae ol traed gwaedlyd Mahometaniaeth yn mhob gwlad ag mae wedi bod ynddi, a thrwy holl ganrifoedd ei bodolaeth; tynu y cleddyf o'r wain, a'i gladdu ef yn nghalonau trueiniaid diamddiffyn a ddichon ddod yn ei ffordd y mae hi, tra mae efengyl ein Duw ni yn llanw pob lle â heddwch, cysur, a llawenydd didrai. Dylem ddiolch llawer i Dduw fod i ni etifeddiaeth mor deg, goleuni mor danbaid, a threfn yn cael ei hysbysu i ni, yr hon ond ei chredu a'i derbyn a'n dygai yn ei chol i'r wlad lle nad oes dim anmherffaith yn trigianu o'i mewn.—Gwawried y dydd yn fuan pan ddelo y miliynau Mahometaniaid sydd heddyw yn dilyn y Gau Brophwyd i ddilyn yr Oen i ba le bynag yr elo."

---

# Barddoniaeth.

## LLINELLAU

**Er Coffadwriaeth am yr hen Gristion ffyddlon Joseph Powell, aelod parchus yn eglwys y Bedyddwyr yn Lansford, Pa.**

Wele eto un o filwyr
Seion wedi 'i gau yn llwch y bedd,
Ar ol hirfaith oes o lafur
Didwyll iawn yn dal y cledd;
Nis gollyngodd ef y cleddyf
Hyd nes clywodd lais o'r ne'
Yn dywedyd wrtho, Tyred,
Ti gei balmwydd yn ei le.

Yn Rymni draw, yn ngwlad ein tadau
Pan yn un ar bymtheg oed,
Yn y bedydd fe a wisgodd
Grist am dano gynta' 'rioed;
Gweithiodd allan egwyddorion
Crefydd Iesu er pob croes,
Y gelynion fe orchfygodd,
Cafodd goron am y groes.

Croesodd eang fôr y Werydd,
Cefnodd ffwrdd ar dir ei wlad;
Gwlad oedd anwyl gan ei galon,
Ynddi cafodd wir fwynhad;
Hoff oedd ganddo i ymlwybro
'Nol i Gymru aml dro,
I fwynhau adgofion mebyd,
Dygwyddiadau byw ei go'.

Gwisgodd yn gyflawn arfogaeth y Cristion
Er sefyll yn wrol yn erbyn cynllwynion;
Ei arfau oedd lân, nid oeddynt yn gnawdol,
Dysgleirdeb ei gledd a ddallodd y diafol;
Ceir ambell i filwr yn maes y Jehofah
Yn troi yn ei ol yn nydd yr ymdrechfa;
Powell, er yn foreu, a fagwyd i fyny,
A gododd y groes, dilynodd yr Iesu,
Chwiliodd yn ddyfal hen faesydd y Beibl,
Canfyddodd yr Iesu 'n rhagori ar ddengmil;
Meddianodd y ffydd ragorol y tadau;
Gan edrych yn mlaen i'r nefol drigfanau.
Ychydig o ddyddiau cyn derbyn y newydd
Y cawsom dystiolaeth dra gwerthfawr o'i grefydd,

Fod ganddo wir obaith y buasai'n dderbyniol
Gan Dduw yn y diwedd ar lanau'r wlad nefol;
Dywedodd cyn marw, yn ymyl yr afon,
Fod ganddo ryw olwg neillduol ar Seion,
A'i fod yn ei hoffi tra'n gwisgo'i sandalau,
Ac nid yn ei hagrwch yn gwisgo ei charpiau.
Duwinydd galluog o duedd uwch raddol,
A chanddo bob amser resymau digonol;
Yr oedd ganddo wybodaeth tra eang o'i Geidwad,
Ac yn yr athrawiaeth yr oedd ei arosiad;
Credodd fod ganddo ryw waith i'w gyflawni,
Tra yn yr anialwch i'w enill neu golli,
Ac yma rhaid gweithio ein bywyd dyfodol
Er ein gogoniant neu warthrudd tragwyddol;
A'i galon oedd orlawn o grefydd ysbrydol,
A'i eiriau yn rasol o nodwedd iachusol;
Mawr mewn amynedd fel Job a'i flaenorydd,
Egniol y gweithiai dros achos ei Arglwydd;
Mae'n wir iddo gael ei gyfyngu gan ddolur,
Fel na allai fyned i blith ei gyd-frodyr;
Ond eto, dymuniad ei enaid oedd canfod
Gwir lwyddiant a phurdeb efengyl y cymod;
Bu farw ein Powell, a mawr yw ein hiraeth
Ar ol ei gyngorion o'ent lawn o wybodaeth.
Paham y gwnawn wylo ar ol yr hen Gristion,
Ac yntau yn y nef uwchlaw pob trafferthion?
Nis gellir ein hatal rhag wylo rhyw 'chydig,
Mae hyny yn unol â'r natur lygredig;
Dysgodd yr Iesu cyn gadael y ddaear
Fod wylo'n gymedrol yn gweddu ty galar—
Y teulu galarus, gwnewch sychu eich dagrau,
Dilynwch eich tad, cewch wisgo coranau;
Tad yr amdddifaid a barnwr y gweddwon
Ofalo am danoch yn myd y trafferthion.

*Lansford, Pa.* JOHN JONES (*Nathan.*)

## LLINELLAU

I'r Diweddar frawd ISAAC R. DAVIES, un o ddiaconiaid eglwys y Bedyddwyr yn Providence, Pa.

Mae Seion mewn galar am golli
  Ei blaenor, a'r duwiol ei rawd—
Y gwron a gerid mor anwyl—
  Yr athraw a'r tyner hoff frawd;
'E gollwyd ei gwmni o'r anial,
  'E wyrodd y milwr i'r bedd,
Ei lwybrau drwy'r meusydd y'nt amlwg,
  A'i ysbryd mewn mwyniant a hedd.

Fel Cristion yn hardd y dysgleiriai,
  A'i eiriau felused a'r mêl;
Gwybodaeth yn doraeth oedd ynddo—
  Yn araf fe godai y sel;
Cyngorion ddylifent o'i enau
  Yn tanio gan gariad at Grist;
Ond eto y cadarn a gollwyd—
  Mae Seion a'i chalon yn drist.

Angylion fo'n gwylio ei feddrod—
  Telored yr adar ei fri;
Rhydd coron o flodau yn addurn
  I'w feddrod, foddineb i ni;
Chwi filwyr ar ddydd eich ymweliad,
  A beddau'ch cyd-filwyr mewn hedd—
Rhowch deyrnged o barch i I. Davies,
  A deigryn eneiniwch ei fedd.

E. D. JONES (*Iorwerth Glan yr Afon.*)

## Y WENITHEN.

Y wenithen dyf yn eithaf—bro iâ
  Yn brif yd cynhauaf;
Pan hefyd, o hyd yn haf,
Hi a ddaw yn ddianaf.

YMYRYDD.

# Newyddion a Nodion.

GAN J. EDRED JONES.

Y mae Arglwydd Beaconsfield wedi marw. Nid oedd yr amgylchiad yn hollol annysgwyliadwy, o herwydd bu yn glaf am rai wythnosau, ac ar foreu y 19eg o Ebrill cauodd ei lygaid am byth yn yr angau.

Benjamin Disraeli oedd un o gymeriadau hynotaf yr oes. Cododd o ddechreuad isel, a gweithiodd ei ffordd i fyny yn raddol, ond sicr, nes gosod ei droed ar y *step* nesaf i'r orsedd. Ganwyd ef yn Llundain Rhagfyr 21, 1805, o rieni Iuddewig. Hynododd ei hun yn ieuanc fel ffug-chwedlwr llwyddianus. Y ffug-chwedl a gyhoeddodd gyntaf oedd *Vivian Grey*, a'r olaf oedd *Endymion.* Etholwyd ef i'r Parliament pan oedd tua 22 mlwydd oed. Aflwyddianus iawn fu yn ei ymdrechion cyntaf yn Nhy y Cyffredin. Torodd i lawr yn ei araeth forwynig. Cafodd ei ran o wawd a dirmyg y cewri politicaidd, ond dywedodd, megys yn brophwydol, fod y dydd yn dyfod pan y buasai Lloegr yn ei wrando; ac felly y bu. Gwnaed ef yn Brif Weinidog Lloegr yn 1868, ac yn 1874 apwyntiwyd ef i'r un swydd oruchel drachefn, ar ymddiswyddiad Gladstone. Efe oedd blaenor enwog y Toriaid, ac yr oedd yn ddyn o *genius* diamheuol, ac yn cael ei addoli gan ddosbarth lluosog o'r pendefigion, y crach-foneddigion, a chan holl lwyth y "*jingos.*" Ond

er cymaint oedd ei awdurdod a'i ddylanwad, y mae wedi marw! Y mae y newyddion wedi ein cyrhaedd yn ddiweddar am

DDAEARGRYN OFNADWY

sydd wedi cymeryd lle ar ynys Chio, pryd y collodd tuag wyth mil o ddynion eu bywydau. Mae yr ynys hon yn gorwedd ar gyffiniau Asia Leiaf. Mae tua 32 milldir o hyd, a 18 o led, ac yr oedd ei thrigolion yn rhifo tua 50,000, ac o'r nifer hyn yr oedd tua 14,000 yn byw yn ninas Scio. Er fod y dref hon wedi ei hadeiladu o geryg a phriddfeini, yr oedd yr ysgydwad mor nerthol fel y syrthiodd yn garnedd, a dywedir fod 40,000 o drigolion yr ynys yn dyoddef yn erwin. Gwneir apeliadau am gymorth iddynt trwy'r byd gwareiddiedig. Colli eu bywydau wnaeth trueiniaid yr ynys hon trwy foddion nas gallent eu hosgoi; ond mae'r Groegiaid yn wallgof am gyfle i

DDINYSTRIO BYWYDAU.

Ystyriant nad ydynt yn cael eu hiawnderau gan Twrci, yn unol a chytundeb Berlin. Mae'r deyrnas yn wyllt am frwydr. Mawr yw'r mwstwr mae teyrnas fechan fel Groeg yn alluog i wneyd; ond o ran hyny, y fath ganlyniadau echrydus sydd yn aml i wreichionen, yn neillduol pan gwympo i farilaid o bylor. Dywedir nad oes mwy na phum milldir o reilffordd yn holl Groeg, na thros haner can' milldir o ffyrdd gwageni! Ac eto mae'r ysmotyn bychan yma yn gallu creu pryder trwy holl Ewrop trwy fygwth rhyfel!

Diolch am heddwch cartrefol. Ni fydd achos i drigolion y wlad hon ofni cael eu haflonyddu gan ryfel eto am amser i ddyfod. Yr hyn sydd yn tynu y sylw mwyaf yn bresenol, ydyw

BRWYDR Y SPOILS

yn Washington. Ar ddyfodiad Garfield i'w swydd, yr oedd angen i'r Senedd i eistedd, er cadarnhau y personau a fuasai yr Arlywydd yn benodi i wahanol swyddi. Ar gydgyfarfyddiad y Senedd newydd caed allan fod y Gwerinwyr yn ddigon lluosog, trwy gymorth Mahone, o Virginia, i *organizio* a neillduo pwyllgorau, yr hyn hefyd a wnawd; a'r pwnc nesaf oedd taflu allan y swyddogion Democrataidd oedd yn y Ty, fel y gellid llanw eu lle â chyfeillion y Seneddwyr Gwerinol—dyna asgwrn y gynen. Agorir y Senedd bob dydd, ond ni wneir dim ond traddodi areithiau gwyntog a disynwyr, nes mae'r wlad yn diflasu. Mae'r Democratiaid yn datgan eu penderfyniad i ddal allan hyd y gallant, ac y mae y Gwerinwyr yr un mor benderfynol na chaiff dim ei gyflawni nes bo'r swyddi yn eu llaw eto. Dadl y Democratiaid yw, na allant hwy fod mor galon-galed a chytuno i droi eu cyfeillion allan o swyddi breision mor annysgwyliadwy, eu bod yn dlodion, ac y llwgant, &c. A dadl y Gwerinwyr yw, fod eu cyfeillion hwy wedi bod mewn swyddi cyhyd o amser, a'u bod ar farw o hiraeth am ddychwelyd. Wel, da yw gofalu am y tlodion, ond nid pawb sydd mor galon dyner at y dosbarth lluosog hwn. Y mae rhyw fath o

DLODION YN CAEL EU GWERTHU!

Gwelais hanes yn ddiweddar ei bod yn arferiad yn Swydd Hancock, W. Va., i gasglu tlodion y Sir at eu gilydd yn mis Mawrth, o flaen y Court House, a'u gwerthu i'r cynygiwr uchaf! O, farbareiddiwch, mewn oes mor oleu a rhith-grefyddol! Gwerthu dyn fel yr anifail, am ei fod yn dygwydd bod yn dlawd! Duw a fyddo yn drugarog wrth y tlawd. Nid oes neb o honom, ddarllenwyr anwyl, yn gwybod heddyw beth sydd yn ein haros cyn ein marw! Dichon y bydd raid i rai o honom ni i ymddibynu ar garedigrwydd eraill am ein cynaliaeth—yn gorfod myned o'n cartrefleoedd cysurus presenol, i orphen ein gyrfa mewn henaint a methiant mewn tlotdy. Nid da i neb ymffrostio mewn balchder, ac anghofio ein hunain. Mae ein *gwell* ni wedi syrthio i dlodi mawr cyn hyn. A thra fyddo y ffaith yna yn syllu arnom, nid rhyw ddymunol iawn yw yr ystyriaeth y gall yr awr ddyfod pryd y gwerthir ninau, *am* ein bod yn dlodion. O! pa bryd y teimlir dylanwad—*holl* ddylanwad

—crefydd bur Iesu, ar feddyliau dynion? Mae proffeswyr, ac aelodau eglwysi Cristionogol, yn ddigon lluosog o ran rhifedi, yn awr, i hawlio diwygiadau mawrion, pe safent gyda'u gilydd fel un gwr. Ond nid ydynt yn gwneyd. "Deffro, deffro, gwisg dy *nerth*, Seion, gwisg wisgoedd dy *ogoniant.*"

## HANESION CARTREFOL.

### Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Wis.

Mae y Gymanfa hon i gael ei chynal eleni yn Dodgeville, Mehefin 4, 5. Y gynadledd i fod am 10, cyfeillach am 2, a phregethu yn yr hwyr, a thrwy y dydd y Sabboth. Erfynir ar yr eglwysi perthynol, i anfon eu cenadon a'u gweinidogion i fod yn bresenol. Bydd eisiau i'r rhai fydd yn dyfod i Arena fod yno erbyn haner dydd, Gwener, y 3ydd; yr un modd y rhai fydd yn dyfod trwy Mineral Point, a bydd yno ryw rai yn eu cyfarfod, er eu dwyn i Dodgeville. Dros yr eglwys,

M. Evans.

### At Eglwysi Cymanfa Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.

*Anwyl Frodyr yn yr Arglwydd:*

Cofus genych fod pwnc y freinlen i gael sylw yn ein Cymanfa nesaf yn Mineral Ridge, O. Cofus genych hefyd i'r pwnc hwn gael sylw gyntaf mewn Cyfarfod Chwarterol yn Hubbard, O., ac i mi eich rhybuddio o berthynas iddo erbyn Cymanfa Pittsburgh, ac fy mod wedi fy nodi yn y Gymanfa hono i roi manteision ac anfanteision y cynllun newydd ger eich bron erbyn y Gymanfa nesaf. Yr hyn gynygir ato yn y cynllun newydd yw, cael breinlen holl eiddo eglwysig yn eiddo Cymanfaol ymddiriedolwyr Cymanfaol, yn lle eglwysig, fel sydd yn bresenol. Nid fy ngwaith i yw ceisio dylanwadu arnoch ar y pwnc hwn; byddai hyny yn groes i'r hyn fwriadwyd i mi gyflawni gan y Gymanfa. Heb fyned at fanylrwydd, nodaf a ganlyn:

I. *Manteision y Cynllun Newydd.*

Ymddengys y drefn a gynygir ato yn ffafriol:

1. Pan bo eglwys yn troi at enwad arall.

Fel mae pethau yn awr, gall eglwys a gyfnewidia mewn barn, ac a una ag enwad arall, fyned a'i meddianau gyda hi. Byddai peth felly yn golled i'r enwad. Byddai yn deg i ddynion fyned a'u meddianau eu hunain at enwad arall, ond yn annheg i ddynion ddyfod i mewn i lafur eraill, a myned ag ef gyda hwynt at gyfenwad gwahanol. O herwydd symudiadau aml trigolion yn y wlad hon, mae braidd yn anmhosibl i eglwys ymadael a'r cyfenwad heb fyned ag eiddo y Bedyddwyr gyda hi. Yr ydym fel enwad wedi cael cryn drafferth gan y Campbelliaid ar y pen hwn. Gwnai y cynllun sydd ar droed ddiddymu pob trafferth o'r natur.

2. Pan bo eglwys yn marw.

Mae hyn wedi dygwydd droion yn y wlad hon, ac i ddygwydd eto yn ol amgylchiadau ardaloedd. Mae mwnwyr yn gorfod symud am fod y glo yn darfod; gweithwyr tân, am fod y melinau yn sefyll, &c. Dygwydda hefyd i eglwys fod yn llewyrchus mewn ardal am flwyddi; ond o herwydd rhywbeth neu gilydd, er fod yr ardal yn flodeuog, marw o honi yn y diwedd. Mewn amgylchiadau o'r natur byddai y meddianau gan y Gymanfa, a gallai yr ymddiriedolwyr eu gwerthu, a rhoddi yr arian i gynorthwyo eglwysi gweinion mewn lleoedd eraill.

3. Pan bo eglwys yn ymuno a chymanfa Seisonig.

Mewn byd fel hwn mae trafferth rhwng eglwys a Chymanfa ar adegau. Dichon mai amddiffyn y gweinidog y bydd; dichon mai rhywbeth arall fydd; ond i osgoi ffrewyll y Gymanfa, eir at y Saeson. Nid oes gwrthwynebiad i fyned at y Saeson, bydded achos yr ysgogiad beth bynag y bo, ond gadael meddianau y Gymanfa Gymreig iddi. Mewn ysgogiad o'r natur hyn, eto, yn ol y cynllun newydd, byddai meddianau y Bedyddwyr Cymreig yn ddiogel.

II. *Anfanteision y Cynllun Newydd.*

Mae yr hyn a gynygir fel gwelliant ar yr hen drefn yn anfanteisiol:

1. Pan bo'r achos Cymreig yn diflanu, ac addoliad Saesonig gan blant yr hen aelodau yn cael ei sefydlu yn ei le.

Mae'r Saesonaeg yn elfen bwysig yn y wlad hon. Ychydig mewn cymhariaeth o blant y Cymry a godir i barablu y Gymraeg. Mae a fyno hyn â'n heglwysi. Er mwyn y plant sefydlir yn amryw o'n heglwysi wasanaeth Seisonig. Buan bydd y tadau a'r mamau wedi ein gadael, a'r plant ar ol yn addoli yn hollol yn yr iaith Saesonaeg. Yn y cynllun newydd nid oes darpariaeth am ddim o'r natur, er y byddai yn deg i'r plant feddu llafur eu rhieni.

2. Pan bo eisiau adgyweirio neu helaethu yr addoldy, neu ychwanegu at feddianau eglwys.

Yn aml mae pethau o'r natur yn cymeryd lle. Yn y cyfryw amgylchiadau rhaid ymgyngori a'r ymddiriedolwyr; bydd y rhai hyn, gan eu dewisir gan y Gymanfa, yn wasgaredig, ac yn anwybodus o wir angenion llawer o'r eglwysi; ac felly bydd mwy o drafferth i wneyd gwelliantau ac ychwanegiadau nag sydd yn bresenol.

3. Am yr agorir y drws i lawer o bethau yn groes i egwyddorion Cristionogaeth.

Wrth roi meddianau yr eglwysi yn nwylaw ychydig o bersonau, bydd y ffordd wedi ei digaregu i holl agweddau llywodraethol yr eglwys Babyddol. Ar ol agor y drws i alluoedd crafangol nid oes neb daearol a wyr y canlyniad. Yn aml mae pethau bach yn y dechreu yn troi allan yn bwysig yn y diwedd.

4. Am y rhydd fantais i gymeriadau isel ddrygu yr enwad.

Rhaid i ni, fel pob enwad arall, wynebu cymeriadau isel, a'u dysgyblu, ar adegau. Cyfarfyddir â'r cymeriadau hyn yn y weinidogaeth, ac yn mhlith aelodau cyffredin ein heglwysi. Mae yn anhawdd iawn, ar brydiau, i'w dysgyblu. O dan y cynllun newydd byddai yn rhaid gweithredu yn hollol unol â chyfreithiau y wlad tuag atynt. Byddai y diffyg lleiaf yn hyn yn rhoi lle iddynt i syrthio ar holl eiddo y Gymanfa am iawn am y cam (?) a wnaethpwyd â'u cymeriadau. Mae lle i ofni nad yw ein heglwysi yn ddigon hyddysg yn y gyfraith i drafod y boneddwyr hyn heb ddod i drafferth yn fuan.

Meddyliwyf fod yr uchod yn ymylu ar y prif bethau ar y pwnc dan sylw. Bydded i'r eglwysi feddwl am hyn, a bod yn barod i drafod y cwestiwn pan ei dygir i sylw y Gymanfa nesaf.

Yr eiddoch yn ostyngedig,
*Mineral Ridge, O.* CHARLES JONES.

---

MOUNT CARMEL, PA.

*Mr. Gol.*—Mae yn hysbys i lawer o'ch darllenwyr, fod y Bedyddwyr Cymreig, trwy fawr ymdrech, wedi llwyddo i adeiladu capel bychan hardd yn y lle hwn. Nid yw y frawdoliaeth ond bechan, er hyny maent yn dra llafurus gyda gwahanol ranau yr achos. Nid rhyw lawer o bregethu a geir genym, ac eto nid ydym yn hollol amddifad o hyny. Yr ydym yn cael gweinidogion mor fynych ag y gellir ar Suliau y cymundeb. Mae cryn ymdrech yn ein plith o blaid yr ysgol Sul. Hefyd, yr ydym yn ddiweddar wedi cychwyn ysgol lenyddol yn ein capel, a chynelir cyrddau bob nos Iau, pryd y darllenir yr Ysgrythyrau, a cheisir eu hesbonio. Weithiau bydd testynau i areithio arnynt; droion eraill ceir canu, gramadegu, a sillebu. Yn Chwefror cynaliwyd cwrdd cyhoeddus llewyrchus iawn mewn cysylltiad a'r ysgol dan sylw. Hyderwn y bydd y cwbl yn help i'r achos goreu, yn gystal ag yn foddion dysgyblaeth cyffredinol yn ein plith.—*Evan J. Davies.*

---

CYFLWYNIAD TYSTEB

*I'r Parch. Theoph. Jones, Wilkesbarre.*

Hwyr Dydd Gwyl Dewi cynaliwyd cyfarfod dyddorol yn nghapel y Bedyddwyr yn Kingston, er anrhegu yr hybarch Theophilus Jones â'r swm hardd o $534. Wedi dewis Mr. B. Hughes, Hyde Park, yn Gadeirydd, galwyd y

brodyr canlynol yn mlaen i gymeryd rhan yn y cyfarfod:—Parchn. J. P. Harris, B. James, J. R. Price, D. Rhoslyn Davies, O. Griffith, T. C. Edwards, W. F. Davies, D. S. Thomas, a Mr. J. W. Roberts (Callestr). Cafwyd cynulliad da, a chyfarfod rhagorol, a theimlai Mr. Jones yn wir ddiolchgar i'w holl gyfeillion am y mynegiadau dedwydd hyn o serch tuag ato.

Y mae cyfraniadau yr *Eglwysi* fel y canlyn:

| | | | |
|---|---|---|---|
| Alliance, Pa. | $11 75 | Pittston | 21 57 |
| Dawn, Mo. | 5 50 | Plymouth | 10 00 |
| Drifton, Pa. | 36 00 | Providence | 9 50 |
| Hyde Park, Pa | 37 00 | Remsen, N. Y | 20 00 |
| Johnstown, Pa | 5 50 | Shenandoah | 13 60 |
| Kingston, Pa. | 37 00 | Taylorville | 20 00 |
| Lansford | 3 87 | Upper Lehigh | 20 00 |
| Mahanoy | 6 00 | Wilkesbarre | 10 91 |
| Minersville | 10 00 | Jackson St. Ch., Hyde Park | 7 00 |
| Nanticoke | 8 15 | | |
| Parsons | 30 25 | | |

*Rhoddion Personol.*

| | |
|---|---|
| Parch. T. J. Phillips, Plymouth | $10 00 |
| " O. Griffith (Giraldus) | 10 00 |
| " D. Rhoslyn Davies | 10 00 |
| " B. E. Jones, Wiconisco | 5 00 |
| " B. D. Thomas, Philadelphia | 5 00 |
| " W. J. Williams, Remsen, N. Y., | 5 00 |
| " J. Edred Jones | 5 00 |
| " J. P. Harris | 5 00 |
| " W. F. Davies | 5 00 |
| " E Edwards, Coatsville | 5 00 |
| " T. C. Edwards (Cynonfardd) | 2 00 |
| " B. James | 2 00 |
| " D. S. Thomas | 1 00 |
| " D. S. Phillips, O. | 1 00 |
| Mr. Daniel Edwards, Kingston | 20 00 |
| " R. C. Green, Pottsville | 20 00 |
| " B. Hughes, Hyde Park | 10 00 |
| " John H. Prichard, Ashland | 10 00 |
| " David Davies, Pittsburgh | 5 00 |
| " T. D. Griffiths, St. Clair | 5 00 |
| " J. M. Dunenhower, Minersville | 5 00 |
| " J. B. Dow, Wilkesbarre | 5 00 |
| " Henry Cohen, Pittston | 5 00 |
| " J. P. Horn | 5 00 |
| " John R. Jones, Minersville | 5 00 |
| " D. M. Jones | 47 25 |
| " Joakim Jones | 1 00 |

Dymuna y Pwyllgor Gweithredol hefyd gyflwyno ei ddiolchgarwch i'r holl gyfeillion am eu parodrwydd yn cydweithredu yn y weithred ddaionus hon. Diau y teimla pawb y carent pe buasent wedi bod yn alluog i chwyddo y symiau. D. R. D.

ADRODDIAD PWYLLGOR OLRHEINIADOL

*Eglwys y Bedyddwyr yn Hyde Park am y Flwyddyn 1880.*

DERBYNIADAU.

| | |
|---|---|
| At y Weinidogaeth | $1152 95 |
| At y Ddyled | 562 84 |
| At y Tlodion | 32 97 |
| At y Genadaeth | 48 99 |
| At Ddyoddefwyr Milton, Pa. | 11 74 |
| At Gyngherdd y Tennesseeans | 18 75 |
| Penny Collection | 60 94 |
| Mewn llaw gan y Trysorydd ar ddechreu y flwyddyn 1880 | 46 03 |
| | $1935 21 |

TALIADAU.

| | |
|---|---|
| Y Weinidogaeth | $521 57 |
| Gwin, 11 00; Glo, &c., 22 05 | 33 05 |
| Adgyweirio | 29 75 |
| Glanhau a goleuo, 122 00; Gas, 42 40, | 164 40 |
| Hardware | 8 68 |
| Dwfr a'r pibau, &c. | 36 94 |
| Argraffu, 23 20; Amrywiaeth, 18 61, | 41 81 |
| Elusenau | 29 40 |
| Goddefwyr Milton, Pa. | 11 74 |
| Y Genadaeth Dramor | 29 00 |
| Y Genadaeth Gartrefol | 29 00 |
| Yswirio | 64 62 |
| Y Gymanfa a'r Cenadon | 25 00 |
| Llog ar Arian Benthyg | 120 00 |
| O'r Ddyled | 500 00 |
| D. L. & W. am Gerbydau | 150 00 |
| Mewn llaw gan y Trysorydd, Ionawr 1, 1881 | 140 25 |
| | $1935 21 |

*Ysgolion Sabbothol.*

Cyfanswm rhif yr Ysgolheigion, 22,126; canolrif am bob Sabboth, 465; adroddwyd o adnodau, 6,187; adroddwyd o Salmau, 108.

| | |
|---|---|
| Arian mewn llaw ar ddechreu y fl. 1880 | $132 50 |
| Casglwyd yn ystod y flwyddyn | 174 43 |
| | $306 93 |
| Talwyd am lyfrau, Bible Lessons, &c. | 172 05 |
| Mewn llaw ar ddechreu y fl. 1881 | 134 88 |
| | $306 93 |

W. D. MORRIS, W. J. HUGHES, B. HUGHES, } *Olrheinwyr.*

*Hyde Park, Mawrth* 21, 1881.

DELL ROY, O.

Ar yr 20fed a'r 21ain o Ionawr cawsom wleddoedd o'r fath oreu i'r meddwl, sef tair o bregethau yn llawn o

feddwl coethedig, gan y Parch. Owen Griffith (Giraldus), golygydd a pherchenog y WAWR, sef y tro cyntaf i Giraldus ddod i Dell Roy, a'r tro cyntaf i'r ysgrifenydd gael y fraint o wrando y bardd, ond gobeithiwyf nad y tro diweddaf.

**Pregethwr, d'wedwr da odiaeth—mad rwydd**
**Am drefn iachawdwriaeth,**
**Wrth hen adyn cyndyn, caeth,**
**O dan ei anghrediniaeth.**

**Enaid cryf yn nod crefydd—fedd Gruffydd,**
**Gwr hoff mawr ei gynydd;**
**Un llon, hoff yw, llawn o ffydd,**
**O wir rad ei Waredydd;**

**A Duw yn rhwydd a'i llwyddo,**
**O'r newydd beunydd tra bo!**
**Yn ei bwnc mae wrth ein bodd,**
**Iôn nef wen a'i danfonodd.**—*Llywarch.*

---

Y PARCH. J. Z. JONES, JOHNSTOWN, PA.

Deallwyf fod yr hybarch frawd John Z. Jones yn bwriadu ymweled ag eglwysi y Bedyddwyr Cymreig yn Ohio, o hyn i ddechreu Mai. Nid yw efe wedi ymweled ag Ohio er ys blynyddoedd, a hyderaf y bydd i'r eglwysi yn ddieithriad roddi derbyniad cynes iddo, ac ymddwyn ato yn deilwng o'i safle yn yr enwad. Nid oes rheidrwydd dwyn ar gof i'r *hen* breswylwyr fod ei gymeriad yn lân, ei fod yn filwr gwrol yn myddin y groes, fod iddo air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Dymunaf i'm brawd hwylusdod ar ei daith, a Duw yn darian ac astalch iddo. —*Joseph T. Jones.*

---

NEWBURGH, O.

Cynaliodd ysgol Sabbothol y Bedyddwyr ei chyfarfod tri-misol nos Sabboth, Mawrth 27. Llywyddwyd gan ein gweinidog, y Parch. Jas. F. Richards. Agorwyd y cyfarfod trwy i'r côr ganu yn fedrus, dan arweiniad John Waters. Gweddiwyd yn deimladwy gan y brawd Thomas Guion. Cafwyd adroddiadau gan y plant. Yr oedd yn agos yr holl adroddiadau yn rhanau o Air Duw. Credwyf fod yn ddyledswydd bwysig arnom i gymell y plant i drysori Gair Duw yn eu cof. Nid yw hyn yn beth y telir fawr sylw iddo yn ein cyfarfodydd cyhoeddus y dyddiau hyn. Cafwyd dau adroddiad yn yr iaith Gymraeg, un gan Mrs. John Richards, a'r llall gan Mr. John Richards. Yr oedd yr adroddiadau hyn yn ardderchog. Darllenodd yr hen frawd Daniel Thomas ddernyn tlws o farddoniaeth ar yr ysgol Sul, a gyfansoddwyd ganddo ef ei hun. Mae yn sicr yn wir deilwng o le ar wyneb y *Wawr.* Traddododd y brawd Llewelyn Williams araeth ar Ddyledswydd Rhieni tuag at eu Plant. Yr oedd yn deilwng o sylw neillduol pob tad a mam. Canodd y plant yn dda odiaeth o dan arweiniad y brawd ffyddlon John Waters, rhwng y gwahanol ddarnau. Mae yr ysgol yn agos wedi dyblu yn ei rhif yn ystod y chwe' mis diweddaf. "Eto y mae lle."—*Brawd.*

---

ANTRIM, PA.

Y Parch. Roger J. Thomas sydd yn gwasanaethu yr eglwys yn y lle hwn yn bresenol. Pregetha yn y ddwy iaith yn dra derbyniol. Anaml y cyfarfyddir â brawd mwy defnyddiol, a phregethwr mwy cymeradwy o'i fanteision na Mr. Thomas. Trwy fod y frawdoliaeth yn cydymdrechu ac yn gwerthfawrogi ei lafur, y mae arwyddion bendith yn canlyn.—*Brawd.*

---

JUDSON, MINN.

Yr oedd yn dda genym weled yn y WAWR am fis Mehefin diweddaf, fod Cymanfa y Bedyddwyr Cymreig gorllewinol i'r Mississippi, yn bwriadu cael ei chynal eleni yn Clay County, Iowa. Yr ydym yn bwriadu, os byw ac iach fyddwn, fyned yno, i gael clywed ein brodyr Cymreig yn pregethu unwaith eto. Caraswn yn fawr fod yn Bevier, Mo., y llynedd i gael rhan o'r wledd oedd yno, pe na buasai ond clywed Doctor Fred. Evans ei hun. Am y brodyr eraill, nid wyf erioed wedi cael y fraint o'u clywed; ond am Dr. Evans, cefais y fraint o'i glywed ef amryw weithiau pan ar daith yn Pa. tua 12 mlynedd yn ol. Yr oeddwn yn gobeithio cael ei glywed wed'yn ryw-

bryd, ond yn awr y mae wedi croesi y Werydd; eto nis gwyddom beth a all ddygwydd. Mae yr hen ddiareb Gymreig yn dweyd mai "Cynt y cwrdd dau ddyn na dau fynydd." 'Does dim i wneyd bellach ond dymuno ei lwyddiant, ac y caiff hir oes i bregethu y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, p'le bynag y bydd i ragluniaeth ei arwain.—*John Rees.*

NEWBURGH, O.

Ychydig wythnosau yn ol, ar gais y brawd John Waters, rhoddodd eglwys y Bedyddwyr ganiatad i'r cyfaill ieuanc Johnnie Waters, i fyned i gasglu arian i'r dyben o brynu Beibl Saesoneg i'w osod ar yr areithfa. Gan fod ei galon yn y gwaith, cyrhaeddodd ei nod mewn ychydig ddyddiau. Cyflwynodd Feibl hardd, gwerth deg dolar, i fod yn feddiant i'r eglwys Gymreig yno. Derbynied ddiolchgarwch gwresocaf yr eglwys am rodd mor werthfawr ac angenrheidiol, a boed bendith Ior arno. Dros yr eglwys, IAGO.

PADONIA, BROWN CO., KANSAS.

Nid yn aml mae dim am y lle uchod yn ymddangos yn y WAWR. Mae yma amryw deuluoedd Cymreig yn y Sir uchod, y rhai ydynt yn gweithio yn egniol iawn o blaid achos y Gwaredwr dan lawer iawn o anfanteision. Nid oes ganddynt un capel nac ysgoldy; a'r modd y maent yn cario y gwasanaeth yn mlaen ydyw trwy gynal ysgol ar hyd y gwahanol dai ffermydd; y mae yn rhifo ar gyfartaledd 35. Mae y Parch. D. V. Thomas, Rulo, yn pregethu unwaith y mis, ac yn gweinyddu yr ordinhad o swper yr Arglwydd. Fel y mae yn hysbys i ddarllenwyr y WAWR, anfonodd Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr gais allan am ryw swm neillduol o arian. Dodwyd y cais o flaen yr ysgol gan Mr. Picton; ac yr oedd yn amlwg oddiwrth ei ddull yn siarad, fod yr hen frawd yn teimlo i'r byw dros achos y Gwaredwr, ac nid oedd ef yn teimlo yn foddlawn ar gael llwyddiant ar yr efengyl gartref, heb gynorthwyo y brodyr i anfon yr efengyl at anwariaid y byd. Wedi hyny dyma Mr. Evans, gynt o Lanartha, G. C., ar ei draed; yr oedd efe yn cydfyned â Mr. Picton, a rhoddodd anerchiad byr a phwrpasol, yn llawn o'r ysbryd cenadol. Y peth nesaf yn eisiau oedd cynllun; a phenderfynwyd ar yr un canlynol, sef penodi tair boneddiges i fyned oddiamgylch y gwahanol dai ffermydd i ofyn eu hewyllys da at yr achos cenadol. Enwau y boneddigesau ydynt: Miss Annie Morgan, Miss Maggie Evans, a Miss Maggie Picton. Dechreuasant ar eu gwaith o ddifrif, ac ni fuont ond ychydig o ddiwrnodau cyn casglu y swm hardd o $20.12. Go lew, onide, ac ystyried fod ganddynt gymaint o ffordd rhwng pob ty. Yr wyf yn credu fod y boneddigesau hyn wedi talu ymweliad ag Iesu Grist pan yn newynog, a phan yn sychedig, a phan yn ddyeithr, a byddant yn sicr o dderbyn eu gwobr yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol. Cewch ychwaneg o hanes y Bedyddwyr yn y lle hwn rywbryd yn y dyfodol.—*D. M. E.*

JOHNSTOWN, PA.

Mae yr achos yn dra llewyrchus yn y lle hwn yn bresenol, y Parch. Joseph T. Jones (diweddar o Thomastown) yw ein gweinidog, yr hwn sydd yn llafurio yn galed a ffyddlon yn ein plith. Da genym hysbysu nad yw ei lafur yn ofer, yn gymaint a bod cryn nifer yn cael eu hychwanegu at yr eglwys, yn neillduol gwrthgilwyr, er ei ddyfodiad i'r lle. Sabboth, Mawrth 27, derbyniwyd tri i'r eglwys, dau wrthgiliwr, ac un trwy fedydd, yn ddyn oddeutu 30 oed, o'r enw John Collier. Yr hyn sydd yn fwyaf hynod y'nghylch y dyn ieuanc hwn ydyw ei fod o'r blaen yn Babydd, ac felly mae ei wraig a'i holl berthynasau. Ond am ryw gymaint o amser a basiodd deuai i'n hysgol Sabbothol, a phob tro y rhoddid cyfleusdra iddo, i glywed pregeth Seisnig gan y Parch. Mr. Jones, a ffrwyth y cyfryw oedd iddo ddilyn ein Gwaredwr yn y bedydd, ac ymuno a'r Bed-

yddwyr. Bedyddiwyd ef ar y 18fed o Fawrth.—*Josiah Evans.*

---

SHAWNEE, O.

Mae yn hysbys fod yn y lle hwn ychydig Fedyddwyr Cymreig o dro i dro er's amryw flynyddau, ond trwy symudiadau y Cymry o'r lle, &c., ni lwyddid i gadw i fyny eglwys reolaidd. Modd bynag, yn ddiweddar, trwy fod masnach yn sirioli, ac amryw Fedyddwyr yn dyfod i'r lle, penderfynodd nifer o frodyr a chwiorydd i ymffurfio eu hunain yn eglwys. Sabboth, Rhag. 12, 1880, cynaliwyd cwrdd i'r pwrpas hwnw, ac ordeiniwyd y brodyr John S. Williams ac Owen Jones yn ddiaconiaid. Yn awr mae gan y Bedyddwyr Cymreig eglwys yn Shawnee. Y mae'r Parch. D. B. Davies, gynt o New Straitsville, yn ein gwasanaethu yn yr efengyl, yr hwn sydd yn bregethwr efengylaidd, syml, a difrifol. —*Brawd.*

---

AT Y PARCH. H. C. PARRY, (CEFNI).

*Barch. Syr*—Dymunwn yn ostyngedig arnoch, mal hen aelod o gorph y Bedyddwyr, roddi eglurhad i mi, ac eraill ysgatfydd, ar yr adnod ganlynol: "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

1. Beth a feddylir wrth Fab y dyn? 2. O ba le yr oedd yn dyfod? 3. A ydyw yn destyn priodol i bregethu arno mewn angladdau?

Y mae pryder yn fy meddwl yn ei chylch, gan hyny hyderwyf, yn fy hen oed, sef 81, y bydd i chwi fod can fwyned ag ateb i'm cais.

*Girard, O.* DAVID JAMES.

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Dennison, neu Sherman, O., Mawrth 20, 1881, bedyddiwyd tair chwaer a brawd ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. J. W. James, yn ngwydd torf fawr o edrychwyr.—*W. J. D.*

Yn Wheatland, Pa., bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan yr ysgrifenydd, Sabboth Ebrill yr 17eg, yn ngwydd torf fawr o edrychwyr. Yr oedd y chwaer uchod wedi bod yn aelod gyda y Methodistiaid am flynyddau; ac mae un chwaer arall wedi dychwelyd oddiar dir gwrthgiliad. Nid yw hi eto ond dechreu gwawrio —*David Evans.*

---

*GANWYD—*

Ionawr 2, 1881, ganwyd mab i John a Margaret Morgans, Mount Carmel, Pa. Gelwir ei enw George Morgans.

Mae Georgie bach yn dlws, yn hardd,
  Mal rhosyn heddyw yw,
Yn nghanol stormydd lawer iawn
  'Rwyt yma heddyw'n byw.

Mor syw a hardd ag angel yw,
  Arddelwa'i fam a'i dad;
A chyn ei farw dichon bydd
  Yn llywydd ar y wlad.—*Dewi.*

---

*PRIODWYD—*

Chwefror 24ain, 1881, yn nhy rhieni y briodasferch, priodwyd Mr. Wm. J. Hughes â Miss Diana Jones, y ddau o Carroll Co., Mo., gan y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo. Cysuron fyrdd fo iddynt yn eu sefyllfa briodasol.

Yn Kingston, Pa., Mawrth 14eg, 1881, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Mathew Davies â Miss Mary Ann Williams, y ddau o'r lle uchod.

Ebrill 2il, 1881, yn Tamaqua, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, St. Clair, Pa., Mr. Jonathan Jenkins, Coal Dale, â Miss Annie Davies, Lansford, Pa.

---

*BU FARW—*

MRS. MARGARET REES.

Yn Centreville, swydd Gallia, Ohio, Hydref 26, 1880, Mrs. Margaret Rees. Merch ydoedd i Nathaniel ac Elizabeth Walters. Ganwyd hi Gorphenaf 5, 1851. Ymunodd mewn priodas â Mr. David T. Rees, Mehefin 12, 1879. Bu hi a'i phriod fyw gyda'r teulu wedi iddynt briodi cyhyd ag y bu byw. Rhoddodd enedigaeth i'w chyntaf-anedig Medi 26, 1880, ac ni bu fyw ond ychydig ddyddiau ar ol hyny; gorfu arni adael ei Walter bychan heb yr un fam. Un hynod dawel, siriol a charedig oedd Margaret; yr oedd yn cael ei charu yn fawr gan bawb a'i hadwaenai, o herwydd yr oedd lledneisrwydd crefydd i'w ganfod ynddi, ac yr oedd ei phroffes grefyddol ger bron y byd yn siarad, fod a fyno gwirioneddau yr efengyl a'i chalon. Anhawdd, yn mysg ieuenctyd ein cenedl, oedd canfod ei rhagorach. O dan ddylanwad eglwys ac Ysgol Sabbothol y T. C., y lle hwn, y tyfodd i fyny yn eneth ieuanc ddy-

lanwadol a pharchus. Pan yn 14 oed, derbyniwyd hi yn aelod eglwysig gan y diweddar Barch. Robert Williams, Moriah. Parhaodd yn aelod hardd hyd ddiwedd ei gyrfa. Dywedai yn ei chystudd ei bod wedi rhoddi ei hunan i'r Iesu. Canai lawer o emynau, megys, "Yn y dyfroedd mawr a'r tonau," "Arnat Iesu boed fy meddwl," &c. Dywedai wrth ei rhieni a'i phriod galarus, "Yr wyf yn eich caru yn fawr, mae'n anhawdd ymadael â chwi, ond yr wyf yn caru yr Iesu yn fwy." Gwasgai yn daer a difrifol ar ei thad y pwysigrwydd o ymofyn am grefydd, a'r ddyledswydd o wneuthur proffes o Grist ger bron y byd.

Daeth tyrfa luosog o Gymry a Saeson i hebrwng ei gweddillion marwol i dy eu hir gartref, a rhoddwyd hi i orwedd yn nghladdfa y T. C. yn y lle hwn. Yn ol ei chais, gwnaeth y Parch. Evan S. Jones weinyddu ar yr achlysur, a phregethodd ar un o'r adnodau yr oedd wedi ddewis yn destyn, sef, "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Yr adnodau eraill oedd wedi eu nodi i bregethu arnynt oedd, "Mawr yw dirgelwch duwioldeb; Duw a ymddangosodd yn y cnawd," "Ceisiwch yr Arglwydd tra galler ei gael," &c. Rhodded yr Arglwydd gymorth i'w phriod, ei mam, ei thad, a'i hunig chwaer yn eu galar. Y mae yn ddrwg genym hysbysu fod ei thad yn glaf er's wythnosau bellach. Amddiffyn Duw Jacob a fyddo gyda y teulu cystuddiedig a galarus, ac ar y bychan siriol sydd heb yr un fam.—*B. F. Thomas.*

O. Y.—Yr ydym yn cyhoeddi yr uchod yn y WAWR ar gais Mr. Rees, priod yr ymadawedig, yr hwn sydd yn aelod ffyddlon gyda y Bedyddwyr.—GOL.

### MR. DAVID IOAN GRIFFITHS.

Mawrth 19eg, yn Olyphhant, Pa., ar ol cystudd byr o ychydig oriau dros un diwrnod, Mr. Dafydd Ioan Griffiths, yn 33 ml., 6 mis ac 8 diwrnod oed; gan adael gweddw a phedwar o blant i alaru eu colled ar ol priod mwyn, a thad tyner Aeth at ei waith boreu ddydd Gwener, y 18fed, fel arfer; ac wedi gweithio am ychydig oriau teimlodd boenau arteithiol yn gafaelyd yn ei ymysgaroedd, a dywedodd wrth ei gydweithiwr y buasai yn well iddo fyned adref; aeth hwnw gydag ef er ei gynorthwyo. Ac wedi dyfod gartref, aethpwyd ar ol y meddyg, yr hwn a ddaeth ac a'i archwiliodd yn y man er cael allan yr achos, ond ni chafodd allan y dirgelwch yn llwyr hyd nes oedd angeu wedi gwneyd ei waith, yr hyn a brofodd y meddyg wedi iddo ei agor, fod amryw dyllau yn yr ymysgaroedd y gallesid gosod coed pibell fyglys ynddynt, ac felly nid oedd modd i gadw ei fywyd. Daeth D. I. Griffiths i'r wlad hon un-ar-ddeg o flynyddoedd yn ol, ac ymsefydlodd yn y lle hwn, a bu yn fendith fawr i'r ardal, trwy ei fod yn ddyn mor addfwyn, ac yn llawn o rinweddau da, yn enwedig gyda'r canu. Yr oedd wedi dysgu aml un yn ganwr gwych, ac yr oedd wedi enill iddo ei hun air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Fel crefyddwr, yr oedd yn hawdd ei drin, a phob amser yn barod i wneyd ei ran. Claddwyd ei weddillion y dydd Mawrth canlynol, pryd y gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. J. P. Harris, Providence, a chafodd un o'r angladdau mwyaf parchus a aeth o'r dref hon erioed. Bydded i'r Arglwydd roddi nerth i'r weddw a'i phlant i rodio yn agos ato, yw dymuniad yr ysgrifenydd.—*Fred. Lloyd.*

### *Lines in Memory of David I. Griffiths.*

A faithful friend has left us,
Our loss we deeply feel;
And often will the future
Sad memory o'er us steal.

In thoughts of days departed,
Our hearts will heave a sigh
For one who shared our pleasures,
Gone to his home on high.

The tender ties of friendship,
Which grew within the past,
He sever'd, now while o'er our hearts
A shade of gloom is cast.

The many pleasant moments,
We spent with him are past,
In singing strains of music
Too sweet and pure to last.

He taught the little children
Their sweetest songs to raise,
To love him, the aged learner,
So cheerful were his ways.

But now those lips are silent,
Which praised the God of love,
And singing with the angels
In his happy home above.

MRS. S. J. POWELL.
*East Nanticoke, Pa.*

### MRS. ELIZABETH WILLIAMS.

Chwefror 11, 1881, yn Freedom, Cataraugus, N. Y., yn 53 mlwydd oed, Mrs. Elizabeth Williams, anwyl briod Mr. David J. Williams. Yr oedd Mrs. Williams yn enedigol o Pantgwyn, plwyf Llanychar, swydd Benfro, D. C. Wedi iddi briodi, symudodd i fyw i Cilrhedyn, yn yr un gymydogaeth. Yn y flwyddyn 1851, ymfudodd i'r wlad hon at ei hanwyl briod, yr hwn oedd yma er's tua blwyddyn yn flaenorol, ac ymsefydlodd yn yr ardal hon. Ymunodd ein chwaer ymadawedig â chrefydd pan yn dra ieuanc, sef pan tua 13 mlwydd oed. Cafodd ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn Jabez, gan y Parch. D. George, y gweinidog. Parhaodd yn ffyddlon i'w phroffes hyd y diwedd. Bu yn ddiwyd a gweithgar yn ngwaith ei Harglwydd tra parhaodd yn alluog i ddilyn moddion gras. "Yr hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth." Fel chwaer grefyddol, yr oedd bob amser yn dawel, hynaws, caredig a

lletygar. Collodd ein brawd sydd yn awr yn nyffryn galar briod hoff a gofalus, a chollodd y ddau fab yn awr yn amddifaid fam dyner ac anwyl. Y mae yr eglwys yma hefyd yn teimlo colled fawr ar ol aelod mor ffyddlon. Bu ein chwaer yn dyoddef llawer rai blynyddau, gan y *bronchitis*; ond o'r diwedd, trodd yn ddarfodedigaeth. Ymdrechodd am wellhad gan lawer o feddygon, eithr y cwbl yn ofer. Aeth am dro yr haf diweddaf i Gymru, gan feddwl y buasai y daith, &c., yn effeithio yn llesol arni, ond yn lle hyny gwaethygu a wnaeth. Cafodd y fraint o ddychwelyd i'w chartref ac at ei theulu, ac arosodd gyda hwynt am yn agos i bedwar mis, cyn i'w rhan ysbrydol fyned i'r wlad lle nad oes dim ond iechyd, heddwch, a mwyniant tragywyddol. Dydd Llun canlynol i'w marwolaeth, ymgasglodd torf luosog yn nghyd i dalu i'w gweddillion y gymwynas olaf. Claddwyd hi yn ymyl ei phlant yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr. Gadawodd luaws mawr o berthynasau i alaru ar ei hol, dau frawd a dwy chwaer ac eraill yn Nghymru, a phriod a dau fab, a lluaws eraill yn y wlad hon. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Huna fy chwaer yn dawel hyd ddydd mawr coroniad y saint.—*W. M. Evans.*

MRS. ANN LEWIS.

Ganwyd gwrthddrych y llinellau hyn yn yr Aber, Llanfeigan, sir Frycheiniog, Chwefror 23ain, 1800. Merch ydoedd i Thomas a Jenett Williams. Ymbriododd â Wm G. Lewis (yr hwn a adnabyddid yn well wrth yr enw Wm. Lewis, y saer), yn y flwyddyn 1821. Darfu i feddwl anturiaethus Mr. Lewis anesmwytho yn ngwlad ei enedigaeth, ac ymfudodd i America, a glaniodd yn Baltimore, Md., yn y flwyddyn 1832, ac yn mhen ychydig fisoedd dilynodd hithau ef; ond nid oedd yno iddynt ddinas barhaus, canys yn y flwyddyn 1833, ymfudasant i Pittsburgh, Pa., oddeutu yr un amser ag y daeth yr Hybarch William Owens i'r lle uchod. Nid oedd ar y pryd, yn ol tystiolaeth Mr. Lewis, ond rhyw dri neu bedwar o feibion yn perthyn i'r achos Bedyddiedig yn Pittsburgh; eithr dan weinidogaeth lafurus Mr. Owens, cynyddodd yr achos yn raddol; yr hwn hefyd a brofodd yn fendith i wrthddrych ein cofiant, canys nid hir y buont yn y lle cyn i'r Arglwydd ymweled â'u heneidiau, a hwy a fedyddiwyd gan y Parch. Wm. Owens.

Yn y flwyddyn 1843, ymfudasant o Pittsburg i Elizabeth, Jo. Davies Co., Illinois, lle y treuliodd hi y gweddill o'i hoes, ond y mae ef yn aros eto. Ganwyd iddi 16 o blant, pedwar o ba rai yn unig sydd wedi eu gadael i alaru eu colled ar ei hol. Gellir yn ddibetrus ddweyd am dani fod ynddi lawer o rinweddau. Yr oedd yn dyner, gofalus a charuaidd fel mam a phriod. Yr oedd yn rhagori ar lawer fel cymydoges—yr oedd yn anhawdd cael ei chyffelyb, bob amser yn barod i weinyddu cymwynas. Ac fel Cristion, gallasai llawer un gael ynddi lawer esiampl dda. Aml y byddai yn rhoddi rhodd yn y dirgel i weision Iesu; ond ar ol y cwbl, rhaid dweyd am dani hithau, hi a fu farw, yn hen ac yn llawn o ddyddiau. Credai fod yr Iesu yn cynal ei phen yn rhydiau yr afon. Hunodd yn yr Iesu Ionawr 8fed, 1881, bron cyrhaedd 81 mlwydd oed. Yr Arglwydd fyddo yn drugarog wrth ei phriod, yr hwn sydd wedi ei adael am dipyn yn rhosydd Moab i aros hyd nes daw yr alwad iddo i ddilyn ar ei hol. Mae ef yn agos i 83 mlwydd oed.

Dymunir ar *Seren Cymru* godi cofnodiad o'r uchod. J. E. EVANS.

MRS. ELIZABETH JONES.

Rhagfyr 5ed, 1880, ger Ebenezer, swydd Gallia, Ohio, yn 73 mlwydd oed, o'r *liver complaint*, Mrs. Elizabeth Jones, priod Mr. David Jones, Pentwyn, fel ei gelwid ef. Merch ydoedd Mrs. Jones i Henry Evans, o Landysul, Ceredigion. Ymfudodd i'r wlad hon yn 1832; arosodd yn Pittsburgh, Pa., ac yn mhen ysbaid o ddwy flynedd, ymunodd mewn glân briodas â Mr. David Jones, o blwyf Penbryn, Ceredigion. Ac yn mhen ysbaid o amser wedi hyny gadawsent Pittsburgh am Gallipolis, ac ymsefydlasant ar dyddyn o dir yn y lle uchod, lle y bu yn aros hyd ddydd ei marwolaeth. Blinid hi yn aml gan glefyd yr afu. Gweithredai lawer o amynedd yn ei chystudd diweddaf. Bu farw yn dra esmwyth, heb ryw lawer o gyfnewidiad i weled ynddi. Gadawodd briod tyner a gofalus i alaru ar ei hol, yn nghyd a theulu lluosog o blant, tri mab a phump o ferched, y rhai ydynt oll wedi tyfu i fyny, ac i gyd yn aelodau parchus yn nghyfundeb y Bedyddwyr, ac yn troi mewn cylch pwysig fel masnachwyr yn nhref Jackson, Ohio. Y Sabboth canlynol, ymgynullodd torf luosog o'i hen gymydogion, yn Gymry a Saeson, i ddangos eu cydymdeimlad â'r teulu, ac i dalu y gymwynas olaf i weddillion un ag oedd wedi bod yn eu plith am gynifer o flynyddau; ond yn awr, wedi ymadael am y byd anweledig, ac nid oes obaith am ei chymdeithas mwy hyd nes myn'd yno ati—fydd hyny ddim yn hir. Claddwyd ei gweddillion marwol yn nghladdfa y Bedyddwyr, yn Ebenezer, lle yr erys hyd foreu caniad yr udgorn; pryd y goleuir holl gelloedd tywyll y bedd, ac y deffroir y rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear. O, am fod yn barod cyn myn'd i'n beddau. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. D. S. Jones a J. E. Thomas. Diameu fod y darllenydd yn dysgwyl clywed rhywbeth am gymeriad moesol Mrs. Jones. Yr oedd wedi bod yn cyson wrando, ac yn aelod am amser hir yn yr eglwys Esgobaethol, gyda'r Parch. A. Edwards, yn Centreville; ond rhoddodd efe yr achos i fyny yno, a gwerthwyd yr addoldy i'r Annibynwyr; ymunodd Mrs. Jones â'r frawdoliaeth hono; ond o herwydd pellder y ffordd, afiechyd a phethau eraill, methodd gadw ei lle y

blynyddau diweddaf o'i hoes, ac am hyny, byddai hi a Mr. Jones yn myned gyda'r plant i wrando dan weinidogaeth y Parch. D. B. Williams, B., ac yn barod bod amser i roi pob cynorthwy. Pan fyddai Cyrddau Chwarterol neu Gymanfa gan y Bedyddwyr, nid oedd neb yn fwy parod na Mrs. Jones i roi cynorthwy. Heddwch fyddo i'w llwch, a'r Arglwydd fyddo yn blaid i'w phriod sydd wedi ei adael ar ol, a bydded i Dduw pob gras i'w dywys i bob rhyngu bodd iddo, a bydded i'r teulu oll gael eu gwneyd yn etifeddion o'r bendithion ag sydd yn nghadw yn y nefoedd i'r rhai sydd yn ei garu ef.—*D. J. Lloyd.*

MISS JENNIE EVANS.

Hydref 13eg, 1880, yn Church Hill, O., bu farw Miss Jennie Evans, yn 19 ml. oed. Merch ydoedd i Mr. George Evans o'r lle uchod. Yr oedd yn ferch ieuanc grefyddol iawn. Rhoddodd dderbyniad i wahoddiadau yr efengyl, a bedyddiwyd hi ar gyffes ei ffydd yn Mab Duw, ar y 10fed o Chwefror, 1877, gan Jas. F. Richards, gweinidog y B. yn Newburgh, O. Yr oedd yn un o'r ffyddloniaid yn Seion. Yr oedd ei gweled pan bron yn rhy wan i gerdded, yn y cyfarfod ar foreu Sul, yn dweyd mwy nas gellir ei osod allan mewn geiriau. Yr oedd ei hymarweddiad yn brawf o'r egwyddorion pur a nefol oedd yn ei llywodraethu. Ni flinwyd yr eglwys unwaith am ddim oedd yn annheilwng o grefydd yn ei bywyd. Bu yn gystuddiol am lawer o amser; ond er hyny, ymddiriedodd yn gadarnach yn ei Duw. Yr oedd yn gweddio yn aml dros ei thad. Gobeithio yr atebir ei gweddiau. Bu farw yn dawel gan bwyso ar addewid y Gwaredwr. Nid oedd yn ofni marw, a pha ryfedd, gan fod angeu heb un colyn. Nid oes ynom yr amheuaeth lleiaf am ei sefyllfa ddedwydd a hyfryd yn yr anweledig fyd. Claddwyd hi ar y 15fed yn mynwent Youngstown. Gwasanaethwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan Jas. F. Richards, Newburgh, O. Heddwch i'w llwch hyd foreu yr adgyfodir hi ar wedd yr Iesu.—*Iota.*

MRS. JANE JONES, DIWEDDAR O PARISVILLE, O.

Y Sabboth cyntaf yn Chwefror, 1881, ar ol byr gystudd, ond trwm iawn. Cafodd ergyd marwol gan y parlys, pan yn 65 mlwydd oed. Bedyddiwyd hi yn y flwyddyn 1835, a chafodd ei derbyn yn gyflawn aelod o eglwys y Bedyddwyr yn Pont Rhydfendigaid, plwyf Gwnus, sir Aberteifi, D. C. Gweinyddwyd yr ordinhad o fedydd arni hi gan y Parch. R. Roberts, swydd Ffynon. Yn y flwyddyn 1842, ymfudodd i'r wlad hon, a sefydlodd yn ardal Palmyra, Ohio, ac yn yr ardal hon y treuliodd ei holl fywyd Americanaidd. Yn y fl. 1845, priododd â Mr. Evan R. Jones, dinesydd o'r un ardal, yr hwn oedd yn ddyn cyfrifol, ac yn aelod ffyddlawn, a diacon defnyddiol yn eglwys barchus y Methodistiaid Calfinaidd yn Palmyra, yr hwn oedd yn weddw ar y pryd, a dau o blant ganddo o'i wraig flaenorol, mab a merch, sef Rees R. a Jane Jones; a thystiolaetha pawb a'u hadwaenent fod ein diweddar chwaer Jones wedi ymddwyn tuag atynt yn deilwng o fam dyner a thra gofalus yn mhob ystyriaeth hyd ei bedd; yr hyn hefyd a welir yn amlwg yn y ty hardd, glân a thrwsiadus, a'r cartref clud a adawodd ar ei hol i'w hanwyl fab Rees, yr hwn sydd mewn galar dwys ar ol yr hon a ofalodd mor dyner am dano, a'i holl eiddo. Yn y fl. 1863, bu farw Evan R. Jones, ei hanwyl briod. Cafodd ergyd trwm i'w theimlad tyner y pryd hwnw, ac anadferadwy iddi hi.

Yn mis Ion. 1875, bu farw eu hanwyl ferch Jane, yn yr hon yr oedd ei gobeithion yn afaelgar iawn. Effeithiodd y ddau amgylchiad yn bwysig ar gyfansoddiad ein chwaer, canys siaradai am hyn gyda dwysder ysbryd tra y bu byw. Ond hyderwn erbyn hyn eu bod wedi cydgyfarfod mewn byd gwell, tu draw ofnau ymadael byth mwy, yn cydfoli yr un Gwaredwr. Bu ein hanwyl chwaer yn aelod ffyddlawn gydag achos y Bedyddwyr, yn yr ardal hon, cydrhwng Palmyra a Parisville am yr yspaid maith o 39 mlynedd heb un math o fwlch yn ei buchedd grefyddol. Y mae hyn yn ddywediad pwysig, ond sicrheir hyn gan dystiolaeth unol pawb o'i chydnabod. Gwaith lled anhawdd yw rhoddi beirniadaeth deg, gywir, a therfynol ar gymeriad neb tra yn fyw, o herwydd anmherffeithrwydd anorphenol eu gwaith. Nis gellir dal un adran yn ngwyneb y llall cyn y gorphenir y gwaith. Peth arall hefyd sydd yn rhwystr, sef ansicrwydd am y gorphenol, rhag i rywbeth ddygwydd yn anffafriol i'r gwron cyn y gorpheno efe ei yrfa, drwy ryw wendidau, anwybodaeth, camddealldwriaeth, neu rhyw bechod, yr hwn a barddua hardd-deb ei waith. Ond wedi y gorpheno ei orchwyl, a rhoddi o'i law offerynau y gweithio, a dychwelyd o faes ei lafur am y tro olaf am byth, yna ceir mantais deg i farnu yn gywir ei wir gymeriad, drwy ddal un pen i'r daith, a'i waith yn ngwyneb y pen arall—y dechreuad a'r diweddiad, o'i febyd i'w fedd, yna ceir goleuni clir ar yr holl waith, yn nghyd a'r cymeriad a fu yn gweithio—y dechreu, y canol, a'r diweddnod. Ac yn ngwyneb y syniad hwn, yn ddiamheuol, y rhoddwyd bodolaeth i'r hen ddiareb Gymreig hono, "Myn glod, bid farw. Ac medd ysbrydoliaeth, "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." "Dywed wrth y cyfiawn mai da fydd iddo;" ond rhaid yn gyntaf orphen y gwaith, "Canys yr hwn a barhao hyd y diwedd, hwnw a fydd cadwedig." Yn awr, gellir edrych ar ddechreu, canol, a diweddnod bywyd crefyddol ein chwaer ymadawol, o'i mebyd, o fedd ei bedydd 46 mlynedd yn ol, hyd feddrod ei gwely pridd, yn huno yn yr hwn a ddihunodd, ac y bu byw ynddo drwy ffydd yn ei werthfawr waed, yn awr wedi gorphen y daith a'i holl waith, yn gorphwys yn mynwes yr hwn a garai ei henaid yn fwy na dim arall.

Teimla yr eglwys yn Parisville ei bod wedi cael colled fawr—bwlch wedi ei dori, yr hwn, yn ol ein golwg ni, na lenwir yn fuan, oblegid ein bod wedi ein hamddifadu o un o ragorolion y ddaear. Ond anwyl frodyr a chwiorydd, "Na wylwn fel rhai heb obaith."

Chwef. yr 8fed, daeth tyrfa fawr yn nghyd er symud ei gweddillion marwol i fynwent yr Annibynwyr yn Palmyra. Gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan y brodyr Davies, Parisville; Jenkins, Palmyra; Evans, Youngstown, a'r Ysgrifenydd, yr hwn a bregethodd ar un o hoff destynau ein chwaer, "Canys mi a wn i bwy y credais." Bydded yr Arglwydd yn dyner a thirion wrth ei hunig a'i hanwyl fab Rees yn ei unigedd, a thaled iddo am ei dynerwch a'i ofalgarwch manwl am dani yn ei holl gystuddiau. Yr oedd ein chwaer yn un o dderbynwyr ac edmygwyr y WAWR. Heddwch i'w llwch.—*Edward Jenkins.*

MRS. ANN MATHIAS.

Rhagfyr 18fed, 1880, Mrs. Ann Mathias, gwraig Lazarus Mathias, Mineral Ridge, O. Ganwyd Mrs. Mathias yn mhlwyf Clude, sir Benfro, D. C., Medi 20, 1806. Merch ydoedd i Thomas a Dorothy Saunders. Ymunodd â'r Annibynwyr pan yn 12 ml. oed, a bu gyda'r enwad parchus hwnw hyd 1852—adeg ei dyfodiad i'r wlad hon. Bedyddiwyd hi yn 1853 gan y Parch. Edward Blunt, yn Weathersfield, Ohio. Symudodd o Weathersfield i Mineral Ridge yn 1858, lle y terfynodd ei thaith ddaearol. Er marw o honoi, y mae yn llefaru eto. Yr oedd yn chwaer dda mewn amryw ystyron. Bu yn hynod o ffyddlon gyda'r achos da nes i salwch diwedd oes ei dal.

Yr oedd ein chwaer yn ofalus iawn o'i thy a'i heiddo. Nid bywyd eilier oedd ei bywyd hi. Gwynebodd amgylchiadau bywyd yn onest, a chodymodd â'r cyfan er eu plygu at ei gwasanaeth i fyned trwy y byd yn anrhydeddus a diwaradwydd. Bu ei hymgeisiadau yn hyn, beth bynag, yn llwyddiant. Gwynebodd y byd arall a chydwybod rydd tuag at ei phriod, ac ni raid ofni dydd dadblygiad pob dirgelwch.

Yr oedd yn chwaer a ymhyfrydai yn narllen Gair Duw—y Beibl oedd ei hoff lyfr; yr oedd yn hyddysg iawn ynddo; sugnai fêl ysbrydol o hono. Deallai yr egwyddorion a ddadblygir yn y Gair, ac ymdrechai i'w dadblygu yn ei bywyd.

Yn yr Ysgol Sul, am flynyddau, bu gyda y ffyddlonaf. Rhaid fod rhywbeth mawr yn bod oyn y byddai yn absenol. Ymdrechodd yn galed o blaid y sefydliad, a chafodd yr ysgol golled yn ei marwolaeth. Bob amser byddai â llaw a chalon yn gweithio er defnyddioldeb yr ysgol.

Bu yn hynod o ffyddlon fel aelod eglwysig, yn unol a'i chyfamod â'r frawdoliaeth. Gofalai am ei chynulliad bob amser; nid oedd gwlaw, rhew, eira, gwres, na phellder ffordd yn rhwystr iddi. Torai, fel pob crefyddwr o'r iawn ryw, drwy bob rhwystr i fyned i dy Dduw i addoli gyda'r brodyr a'r chwiorydd. Ni chlywais neb o'r frawdoliaeth yn dweyd fod afiechyd Sab bothol, yr hwn a flina rai yn dost, wedi ymafl yd yn ei chyfansoddiad hi. Mae'n glod oesol iddi, a phob un arall, ei bod wedi terfynu ei hoes yn aelod ffyddlon, y frawdoliaeth yn teimlo colled fawr ar ei hol. Gofaled Duw am ei dwy ferch, bachgen, a'i gweddw sydd yn galaru eu colled.—*C. J., Mineral Ridge.*

MRS ANN EVANS.

Dydd du, tywyll, i deulu parchus iawn yn Lansford oedd dydd Sadwrn, Mawrth 11eg, 1881: dydd yr amddifadwyd y cyfaill siriol William Evans o briod ag oedd yn ymgeledd gymwys iddo mewn gwirionedd. Dydd y gwnawd pedwar o blant bychain yn amddifaid o fam dyner a gofalus; dydd y collodd eglwys y Bedyddwyr yn Lansford aelod dichlynaidd a ffyddlon; un heddychol a hawdd byw yn ei chymdeithas. Merch ydoedd Mrs. Ann Evans i Rees a Margaret Evans. Ganwyd hi yn Llanelli, sir Gaerfyrddin, Ebrill 18, 1842. Bedyddiwyd hi yn aelod i Bethel, Llanelli, gan y Parch. W. Hughes, pan nad oedd ond 13 ml. oed, a bu yn ffyddlon hyd angeu, a hyderwn ei bod wedi derbyn coron y bywyd. Ymbriododd â William Evans, Chwefror 23, 1866. Ganwyd iddynt chwech o blant, ond mae dau o honynt gyda'u mam yn mharadwys Duw, a'r pedwar eraill yn ngwlad y cystudd mawr gyda'u tad.

Daeth y teulu i'r wlad hon gan aros am ychydig yn Cleveland, Ohio, yn 1875; oddi yno daethant i Lansford yn 1876, ac yma y gorphenodd ein chwaer ei gyrfa ddaearol. Claddwyd hi yn Summit Hill, Carbon Co., Pa.; yr ysgrifenydd yn gweinyddu y gwasanaeth crefyddol yn y ty ac ar lan y bedd, Mawrth 15, 1881. Dymunaf i'r teulu nawdd y nef yn dymorol ac ysbrydol, a bydded i'n cyfaill anwyl, yn ei drallod blin, droi at Dduw am gysur, a bydded iddo ef a'i blant hoff gael adnabod yr un person yn Geidwad i'w heneidiau, ac arweinydd iddynt drwy yr anialwch, ag a gafodd ein hanwyl ymadawedig chwaer, yw dymuniad—*D. S. Thomas, St. Clair, Pa.*

MR. ROWLAND JONES.

*Damwain Angeuol.*—Ionawr 17eg, cymerodd damwain ofidus iawn le yn Streator, Ill. Fel yr oedd Rowland Jones (gynt o New Straitsville) ac Evan Evans yn gweithio yn siafft y Cymro Richard Evans, ac wedi tynu un cwymp o'r glo gwaelod, ac yn dechreu ar y llall, tra yr oedd Evans wedi sefyll y coed dan y glo uchaf yn ei ochr o'r gwaith, yr oedd Jones wedi tybied nad oedd yn angenrheidiol gwneyd hyny yn ei ochr ef o'r talcen; felly, aeth yn mlaen i dynu cwymp o'r glo gwaelod. Ond yn fuan clywodd Evans y glo yn gweithio, a gwaeddodd ar Jones am iddo ffoi am ei

fywyd; ond cyn y gallodd y truan wneyd hyny, cwympodd tua thair tunell o'r glo arno gan ei ladd ar darawiad. Yr oedd yr ymadawedig yn enedigol o Brymawr, D. C., ac yno y trigiana ei fam yn bresenol. Daeth ef i America 14 mlynedd yn ol, a sefydlodd yn Centralia, Pa., ac y mae iddo frawd a thair chwaer yno yn awr. Yr oedd ef yn briod â nith i'r Parch. B. E. Jones, gweinidog y B. yn Wiconisco, ac yr oedd yn ddyn a gerid yn fawr yma. Cydymdeimlir â'i weddw, er nad oes ganddi blant i ofalu am danynt. Claddwyd ef yn barchus iawn gan yr Odyddion, a thyrfa fawr o'i gydweithwyr, y rhai oeddynt wedi dysgu ei barchu, yn nghyd a'i garu yn ystod y chwe' mis y bu yma. Gweinyddwyd yn ei gladdedigaeth yn Seisnig gan y Parch. Mr. Millsabb, yn absenoldeb gweinidog Cymreig. Yr oedd Jones yn ddyn crefyddol iawn, ac yn aelod o'r eglwys fechan undebol Gymreig sydd yma, a'i eiriau olaf y nos Sabboth cyn ei farwolaeth oeddynt: "Frodyr a chwiorydd, cofiwch am y cyfarfod gweddi nos Iau, a deuwch yma i gyd, oblegid mae'r Americaniaid yma yn ffurfio barn am gymeriad crefyddol yr holl genedl Gymreig wrth ein hymddygiadau ni, a bydd Duw yma yn ol ei addewid." Dyma rybudd i ni eto oll i fod yn barod, canys yn yr awr ni thybiom y gelwir am danom, i ymddangos gerbron brawdle Crist.—*John A. Morgan.*

Gellir ychwanegu at yr uchod i wneyd ei hanes yn fwy llawn. Bedyddiwyd ef yn Brynmawr, a daeth a'i lythyr eglwysig oddi yno, ac aelododd yn yr eglwys Fedyddiedig yn Centralia, Pa. Daeth i gartrefu at ei berthynasau yn y lle hwn. Yma priododd â Mary Ann Jones, merch i frawd hynaf yr ysgrifenydd. Buont fyw eu dau ychydig o flynyddau yn y lle uchod, cyn symud i Wiconisco, Pa., lle y buont yn aros am chwech neu saith mlynedd. Gorfu arnynt symud oddi yma, o herwydd i'r gwaith yr oedd yn gweithio ynddo gael ei atal. Ymadawodd lluaws o frodyr a chwiorydd anwyl, a chyfeillion oddi yma, o herwydd yr oedd ataliad hwn, er mawr golled a gwagder i'r eglwys Fedyddiedig yn y lle.

Symudasant oddi yma at bobl garedig a serchog New Straitsville, O., ac oddi yno symudasant yn ol i Centralia, ac oddi yma i Streator, Ill. Tarawyd pawb o honom â syndod a galar gan gawsom y telegram o'i farwolaeth ddisymwth. Nis gallasom atal rhag tywallt dagrau yn hidl ar ei ol, er y credem ei fod wedi parotoi erbyn yr amgylchiad. Yr oedd ef a'i briod yn teimlo cryn lawer o serch ac anwyldeb at eu gilydd. Archoll ddwfn, waedlyd, oedd ei farw iddi.

Fel dyn crefyddol, yr oedd yn hynod o ffyddlawn, a pharod i gynorthwyo yr achos mewn arian a gwasanaeth yn ol ei allu. Fel dyn, yn serchog, didwyll, ac ymddiriedol. Duw fyddo yn arweinydd ac amddiffynydd i'w briod galarus.—*B. E. Jones, Wiconisco, Pa.*

MRS. RUHAMAH REES.

Mawrth yr 2il, 1881, Mrs. Ruhamah Rees, priod Mr. David T. Rees, y crydd, yn Ashland, Pa., yn 66 mlwydd oed. Ganwyd Mrs. Rees yn nghymydogaeth St. Clears, sir Gaerfyrddin, D. C. Ymunodd mewn priodas â Mr. Rees yn Aberdar, yn y flwyddyn 1850. Buont fyw yno ac yn Aberaman, a Mountain Ash, hyd nes y daethant i America, yn y flwyddyn 1860 Darfu iddynt sefydlu eu hunain yn Summit Hill, Carbon Co., Pa., a buont fyw yno am tua dwy flwynedd. Yma yr ymwelodd Duw a'i chyflwr trwy ras, ac yr ymwasgodd â'r dysgyblion. Bedyddiwyd hi yn Summit Hill, gan y diweddar Barch. Edward Oliver, yr hwn oedd yn weinidog yno ar y pryd. Wedi hyny, daethant i fyw i Ashland, Schuylkill Co., Pa. Ymwasgodd gyda'r frawdoliaeth yn Ashland, a bu yn ffyddlon hyd angeu, a diau iddi dderbyn coron y gogoniant yn y nef wen. Gellir dweyd am y chwaer hon ei bod yn un o ragorolion y ddaear, a theimlir colled ar ei hol gan lawer. Gallaf ddweyd trwy brofiad na fu ei gwell i'r gweinidog, rhoddai y parch ag oedd yn ddyledus iddo, a chyfranai yn ddirwgnach at ei gynaliaeth. Diau y bydd y brodyr anwyl Thomas, Sharon, a Roberts, Glynceiriog, yn awr yn teimlo yn alarus pan glywant am ei marwolaeth, heblaw myfyrwyr Louisburgh; byddai ei llaw yn agored i'w cynorthwyo. Bu farw yn dawel ar y dydd uchod, sef Mawrth yr 2il. Daeth tyrfa luosog i'w hebrwng i'r gladdfa y 4ydd, pryd y gweinyddwyd gan y brodyr J. Griffiths, D. T. Davies, Girardville, a B. James. Boed i'r Arglwydd fendithio ei hanwyl briod a adawyd ar ol gyda'r amddifaid, a Duw yn ei ras a fyddo gyda hwynt; a galwed lawer eto i lanw y bylchau sydd yn cael eu gwneyd yn eglwys Dduw y dyddiau hyn.—*B. James.*

MRS. ISABELLA LLOYD.

Mawrth 21ain, ar enedigaeth plentyn, bu farw Mrs. Isabella Lloyd, anwyl briod Mr. Edward Lloyd, Shenandoah, Pa. Yr oedd yr ymadawedig yn enedigol o Cefn Mawr, G. C., ac yn chwaer i'r Parch. Samuel Pierce, Bevier, Mo.

Gorphwys chwaer, a thawel huna
Yn dy newydd wely pridd,
Heddwch i'th weddillion marwol
Hyd yr adgyfodiad ddydd.
—*David Jones.*

MRS. MARY ANN OWENS, DODGEVILLE, WIS.

Mae y gorchwyl trymaidd a thorcalonus o goffâu gweithrediadau angau mor barhaus a chyson ag yw treigliad yr afonydd i waered tua'r môr, ac i derfynu gyda therfyniad y byd, o herwydd mai y gelyn diweddaf a ddinystrir yw angau; felly pery i gario yn mlaen ei waith poenus ar ddynoliaeth drwy holl oesoedd, yn gystal a thros holl derfynau y ddaear. Nid oes neb yn ei hoffi; cilia hyd yn nod y Crist-

ion addfed i'r nef oddiwrtho, tra y gall; ond nid yw hyn yn rhyfeddod, oblegid gelyn ydyw. Ond rhyfeddod annhraethol ydyw na bae pawb yn hoffi yr un a ddaeth i'r byd i lyncu angau mewn buddugoliaeth, a dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni trwy yr efengyl.

Yr oedd y chwaer hoff ymadawedig yn ferch i John ac Ann Jones, Treffynon, Sir Flint, G. C. Ganwyd hi yn y flwyddyn 1802. Dygwyd hi i fyny yn grefyddol er yn ieuanc gyda y M. C. yn y dref uchod. Yr oedd yn un o'r rhai ffyddlonaf gyda y canu, a'r Ysgol Sabbothol.

Pan yn 27 mlwydd oed, ymunodd mewn cyfamod priodasol gydag R. C. Owens (*Trebor*), sef mab i Thomas a Margaret Owens, o'r un lle. Yn fuan ar ol priodi, symudasant i Landudno; ond nid hir y buont yno cyn i Dduw yn ei ras ddangos i'w phriod ei gyflwr colledig fel pechadur, a'i angen am Waredwr; cymerodd cyfnewidiad pwysig le yn ei feddwl am Dduw, ei Fab, ac am dano ei hun, ac hefyd am egwyddorion y grefydd Gristionogol—rhoddes ei hun yn aelod yn eglwys y Bedyddwyr. Yn mhen amser, ar ol ymchwiliad ac ystyriaeth, ymunodd ei wraig â'r un eglwys. Yr oedd ein hanwyl chwaer o ansawdd meddwl naturiol grefyddol—o dymer foddlongar, heddychol, siriol a charedig, fel yr oedd byw yn grefyddol yn dyfod yn beth esmwyth iddi mewn cydmariaeth. Yr oedd ganddi lai o waith i hunan-ymwadu a dilyn Crist na nemawr neb y gallaf feddwl am danynt, yr hyn sydd yn cyfrif am y bywdd gwastad a difylchau a dreuliodd ar hyd oes lled faith.

Yn y flwyddyn 1849 symudodd gyda'i theulu i America, a sefydlasant yn Dodgeville. Yma eto dangosodd na ddarfu iddi, fel llawer, golli ei chrefydd wrth groesi y môr, eithr dangosodd yr un gofal am waith Duw ag oedd wedi ei ddangos yn ngwlad ei genedigaeth. Treuliodd dros ddeng mlynedd ar hugain o ymdrech ffyddlawn gydag achos Iesu Grist yn America. Teimlai yn neillduol dros anrhydedd crefydd, a gofidiai yn ddwys am bob peth a fyddai yn atal ei llwyddiant, ac yn achosi i'r gelynion gablu yr enw rhagorol.

Wedi claddu ei phriod ychydig dros flwyddyn yn ol, treuliodd y gweddill o'i hoes gyda ei merched, sef Margaret, ac Anne Roach; yn nhy yr olaf, yn Ridgeway, yr oedd pan fu farw. Ni chafodd ond byr ac ysgafn gystudd mewn cydmariaeth, er iddi gael ei rhan yn helaeth o drallodion byd y gorthrymderau. Ni fu yn gyfyngedig i'w gwely ond am dymor byr. Gofidiai fod ei chlyw yn trymhau y blynyddoedd diweddaf, a'i llais yn crygu, fel nad allai ganu am ddwyfol gariad y Gwaredwr. Canodd lawer trwy ei bywyd, a chredir gan bawb a'i hadwaenai ei bod wedi ei derbyn i'r côr nefol sydd yn canu am goncwest Calfaria, yn mhresenoldeb Duw a'r Oen. Y mae yn deilwng o sylw fod ei chlyw a'i llais wedi eu hadferyd iddi ychydig cyn marw. Gallai ganu fel merch ieuanc, am yr hyn y teimlai yn neillduol lawen a diolchgar. Cafodd bob ymgeledd a thynerwch trwy ystod ei gweddwdod, yn neillduol yn ei chystudd diweddaf. Bu farw ar y 12fed o Ionawr, 1881, yn 79 mlwydd oed. Hebryngwyd ei chorph yn barchus gan luaws o'i hen gyfeillion i gladdfa Dodgeville, ar y 14eg, lle y dodwyd ei gweddillion i orwedd yn ochr ei phriod, gyda yr hwn y bu yn cyd-deithio yn y cysylltiad priodasol am fwy na haner cant o flynyddoedd. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan y brodyr W. Jones ac E. Evans.

Yr oedd ei gobaith yn gadarn yn y Gwaredwr. Teimlai yn gwbl foddlawn i farw pan y buasai Duw yn galw am dani. Dymunai ar ei phlant beidio galaru ar ei hol, a diamheu fod marw yn elw iddi. Gadawodd chwech o blant ar ol. Boed i Dduw ofalu am danynt, a'u gwneyd mor ymdrechol gyda gwaith yr Arglwydd ag y bu eu hanwyl fam o'u blaenau.

HIRAETHUS.

### MRS. SARAH ROBERTS, PARSONS, PA.

Chwefror 5, 1881, bu farw y chwaer uchod, yn 56 mlwydd oed. Bu yn aelod dichlynaidd am amryw flynyddoedd gyda y Bedyddwyr Neillduol, a chafodd y fraint o ddal ei henw fel aelod crefyddol hyd y diwedd. Nos Sabboth, y 6ed, aeth y Bedyddwyr o'r capel ar ol yr addoliad hwyrol i dy yr ymadawedig i gynal cyfarfod gweddi, ac yr oedd yn gwrdd hynod o effeithiol a theimladwy. Gadawodd y chwaer ymadawedig wr a phump o blant i alaru ar ol gwraig a mam ofalus; y mae yr ieuengaf o'r plant yn 16 mlwydd oed.

Penodwyd fod i'r brawd J. W. Roberts ddarllen a gweddio boreu Llun, cyn cychwyn y rhan farwol i gael ei chladdu yn Bloom, ac aeth amryw i'w hebrwng o Parsons i Kingston i gyfarfod y *train*. CALLESTR.

### EDITH THOMAS, PARSONS, PA.

Chwefror 6, 1881, bu farw y plentyn uchod yn yr oedran o 15 mis a 12 niwrnod. Merch fach i Mr. William B. a Jane Thomas oedd yr ymadawedig. Claddwyd ei rhan farwol ar yr 8fed o'r un mis; a geilir dyweyd yn gyson â Gair Duw, a hi a gymerwyd i dangnefedd.

Y mae ei thad a'i mam yn aelodau dichlynaidd yn eglwys y Bedyddwyr Neillduol yn y lle uchod. Y mae gweddill o saith o blant yn aros yn y teulu uchod; a'n gweddi yw, ac a gaiff fod, ar i'r tad a'r fam gael hir oes, a chymorth Ysbryd Duw i'w magu yn blant da, a ffyddlon i'r Arglwydd. Gwnaeth y Parch. Theo. Jones, Wilkesbarre, sylwadau gwerthfawr wrth y ty, cyn codi y corph i fyny.

J. W. ROBERTS (*Callestr*).

---

—Nifer y marwolaethau yn New York am y tri mis cyntaf o'r flwyddyn hon oedd 9,105, gyferbyn a 6,802 am y tri mis cyntaf o'r flwyddyn ddiweddaf.

# Y WAWR.

CYF. VI.] MEHEFIN, 1881. [RHIF. 3.


## Y DEG LLWYTH.


GAN Y PARCH. HUGH JONES, D. D., PRIF ATHRAW COLEG LLANGOLLEN.


OUR ISRAELITISH ORIGIN.—Lectures on Ancient Israel, and the Israelitish Origin of the Modern Nations of Europe. By J. Wilson. London, 1845.

PROOFS FOR THE WELSH that the British are the Lost Tribes of Israel. By Lazarus. Bangor, 1880.

ARE WE ISRAELITES ?—The Testimony of History, Philology, and Ethnology on the Subject. By Rev. B. W. Sairle, M. A. London, 1879.

THE NESTORIANS ; or, THE LOST TRIBES : Containing Evidence of their Identity, an Account of their Manners, Customs and Ceremonies, &c. By Asahel Grant, M. D. London, 1841.

REVIEW OF DR. GRANT'S THEORY OF THE LOST TRIBES. By Edward Robinson, D. D. (In the "American Biblical Repository," 1841, 1842.)

### RHAN I.

Un o ganlyniadau chwerwaf rhyfel a buddugoliaeth yn yr hen oesoedd, ydoedd cludiad llwythau a chenedloedd i alltudiaeth, a gwerthiad miloedd i gaethiwed ; gan y byddai hyn yn eu cymeryd ymaith o olygfeydd maboed, oddiwrth feddrodau eu henafiaid, a themlau eu duwiau, a'u trosglwyddo o dan lywodraeth meistriaid newyddion anystyriol a chreulawn, heb son am y caledi a'r dinystr a gymerai le wrth eu symud.

Yr oedd symud trigolion tref neu wlad i alltudiaeth, yn esmwythach cosb na'u dedfrydiad i gaethwasiaeth. Byddai gorthrymwyr yn symud trigolion y naill dref neu wlad i'r llall, naill ai er mwyn llenwi yn gyflym ddinasoedd newyddion â phreswylwyr, neu er gwneyd gwrthryfel pellach o'u tu hwynt yn anmhosibl. Er cyrhaedd yr amcanion hyn byddid yn sicr o arwain i alltudiaeth y crefftwyr a'r llaw-weithwyr o bob math, yn nghyda theuluoedd a phersonau cyfrifol, a'r milwyr. A chaethgludiad a thynged y "Deg Llwyth" y mae a fynom yn yr erthygl hon, ac at ei hanes hwy, gan hyny, â'r gwahanol dybiau yn ei cylch, y cyfeiriwn sylw y darllenydd.

#### I.—CRYNODEB O HANES CAETHGLUDIAD Y DEG LLWYTH.

Darfu i'r brenin Solomon yn ei henaint roddi ffordd i'w wragedd eilunaddolgar, a myned ar ol duwiau dyeithr. Gan i Solomon adael Duw, fe ddigiodd Duw wrtho yntau. Yr achos o ffurfiad y Deg Llwyth fel teyrnas annibynol, oedd eilun-addoliaeth Solomon, er mai yr achlysur oedd ysbryd uchel-geisiol a gwladlywiaeth orthrymus Rehoboam ; ac eilun-addoliaeth y Deg Llwyth eu hunain, drachefn, a fu yn achos o ddinystr eu teyrnas.

Nid ar unwaith y caethgludwyd y Deg Llwyth i wlad ddyeithr. Ymddengys fod dau gaethgludiad wedi cymeryd lle, a bod tuag ugain mlynedd rhwng y cyntaf a'r diweddaf.

Cymerodd y cyntaf le tua'r flwyddyn 740 c. c. Cawn yr hanes yn llyfrau y Breninoedd a'r Cronicl. Cymerodd yr ail gaethgludiad le tua'r flwyddyn 720 c. c. Gwnaethai Salmaneser, brenin Assyria, Hosea, brenin Israel yn drethedig, ac o dan rwymau i dalu teyrnged flynyddol i frenin Assyria; ond blinodd Hosea o dan yr iau hon, a cheisiodd ei bwrw ymaith. Ymgyngreiriodd â So, brenin yr Aipht, er cael cymorth i wrthsefyll brenin Assyria, a hyny (yn ol Dr. Jahn) yn ngwyneb rhybudd a gwrthdystiad y prophwyd Esaiah. Cyffrodd hyn lid Salmaneser, brenin Assyria, fel y daeth i fyny yn erbyn Israel, ac a warchaeodd ar Samaria. Wedi dyoddef tair blynedd o warchae, fe syrthiodd Samaria, prif ddinas y Deg Llwyth, i ddwylaw brenin Assyria; daliwyd Hosea, a bwriwyd ef i garchar, a chludwyd y trigolion i gaethiwed. I lenwi lle y rhai a gaethgludasid fel hyn i Assyria, dygodd brenin Assyria bobl o Babilon, ac o Cuthah, ac o Afa, o Hamath hefyd, ac o Sepharfaim, ac a'u cyfleoedd hwynt yn ninasoedd Samaria, yn lle meibion Israel. "A hwy a feddianasant Samaria, ac a drigasant yn ei dinasoedd hi." Olynyddion y rhai hyn oedd Samariaid dyddiau Iesu Grist; a cheir rhai o honynt yn Nabulus neu Samaria y dyddiau diweddaf hyn.

II.—DAMCANIAETHAU DIWEDDAR YN NGHYLCH BODOLAETH BRESENOL Y DEG LLWYTH.

Nis gwyddom rifedi y tybiau a'r dychymygion o barthed y "Pwy ydyw," a "Pha le y triga y Deg Llwyth?" Myn rhai mai Indiaid Gogledd America ydynt; eraill mai y bobl a elwir *Beni-Israel* (Meibion Israel) yn Bombay ydynt; eraill mai yr Iuddewon a elwir y *Karaites*, yn y Crimea, ydynt; eraill mai preswylwyr Affghanistan ydynt; Dr. Grant a gredai yn ddiysgog mai y Nestoriaid ydynt; tra y llesmeiria awdwyr y tri llyfryn cyntaf a nodir uwchben yr ysgrif hon, mewn llawenydd uwchben y darganfyddiad tybiedig mai *preswylwyr yr Ynysoedd Prydeinig ydynt!* 'Does bosibl na ddeuwn o hyd iddynt yn mhlith cynifer!

1. *Indiaid Gogledd America.*—Rai blynyddau yn ol fe fabwysiadwyd y dyb mai gweddillion y Deg Llwyth oedd yr Indiaid hyn. Dywed Dr. Grant, wrth sylwi ar y dyb hon, nad oedd y prawf o hyny ond un hollol amgylchiadol, wedi ei sylfaenu yn benaf ar arferion, &c., y rhai ydynt *gyntefig* yn hytrach nag Iuddewig, cyffelyb i'r rhai a geir yn mhlith yr Arabiaid a phob cenedl Ddwyreiniol arall. Pan oedd yr Iuddew dychweledig, Dr. Joseph Wolff, yn America, yn 1837, gwesgid arno gan gyfeillion brwdfrydig i ddyfod gyda hwynt at yr Indiaid, i'w hargyhoeddi eu bod yn hanedig o Israel. Ystyriai Dr. Wolff y byddai hyny yn gosod yr ymresymiad y ffordd chwith. Yr oedd efe yn dysgwyl i'r Indiaid ei argyhoeddi ef eu bod hwy yn Iuddewon, yn lle iddo ef geisio eu perswadio hwy mai Iuddewon oeddynt. Modd bynag aeth at y llwythau Mohicanaidd, yn agos i New York, a chymerodd yn ymddyddan canlynol le rhyngddynt:

*Dr. Wolff.* "Olynyddion pwy ydych chwi?

*Yr Indiaid.* "Yr ydym ni o Israel.

*Dr. W.* "Pwy a ddywedodd wrthych?" gan ddysgwyl dysgu llawer o draddodiad henafol.

*Yr Ind.* "Mr. a Mrs. Simmons, o Scotland."

*Dr. W.* "Beth a ddywedodd eich henafiaid yn ei gylch?"

*Yr Ind.* "Dywedai ein holl henafiaid wrthym ein bod wedi ein geni o dan y ddaear; a phan oedd menyw yn ein mysg yn edrych allan o'r ddaear, ymaflwyd ynddi gan ysbryd; yr ysbryd hwnw a'n harweiniodd ni i arwyneb y ddaear; ac yno yr ydym wedi byw yn heddychol nes i'r dyn gwyn ddyfod a'n darostwng ni."

Ni chanfyddodd Dr. Wolff ddim yn eu plith a dueddai am eiliad i beri i neb gredu eu bod yn Iuddewon, megys traddodiad, tebygolrwydd iaith, defodau, neu gyffelyb; a thybiai efe ei fod yn debycach o lawer eu bod o darddiad Tartaraidd.

2. *Preswylwyr Affghanistan.*—Mae sylw Dr. Wolff ar y dyb hon hefyd yn debyg i'r un flaenorol: "Fy amheuon yn nghylch bod yr Affghanistaniaid o darddiad Iuddewig yw y rhai canlynol: Nid oes ganddynt wynebpryd Iuddewig; nid yw eu traddodiad eu bod o ddisgyniad Iuddewig *yn gyffredinol;* ac yn olaf, nid yw eu hiaith yn tebygoli i'r Hebraeg. *Or* (goleuni) yw yr unig air Hebreig a welais i yn iaith Affghanistan. Mae cystrawiad y *Pushtoo Grammar* yn berffaith wahanol i gystrawiad yr Hebraeg.

3. *Y Beni-Israel yn Bombay.*—Myn rhai mai cynrychiolwyr presenol y Deg Llwyth yw y rhai hyn; ond ymddengys nad oes ganddynt hwy eu hunain syniad o'r fath. Rhifant oll yn nghymydogaeth Bombay tua 9,250. Y mae llawer o honynt yn gwasanaethu fel milwyr yn y fyddin frodorol. Daethant o Arabia i Hindostan, meddant hwy, yn fuan ar ol dinystrio y deml gyntaf, mewn saith o longau. Darllenant Bum' Llyfr Moses yn yr Hebraeg, er na ddeallant yr iaith. Addolant y gwir Dduw, ac ar yr un pryd cadwant eilunod a delwau yn eu tai.

4. *Y Karaites yn y Crimea.*—Diau mai Iuddewon yw y rhai hyn, ond nid oes unrhyw brawf eu bod yn ddisgynyddion o'r Deg Llwyth, er y dywedir eu bod yn honi y gallant olrhain eu hachau i fyny hyd atynt ar adeg eu caethgludiad. Yn ystod ei deithiau yn Rwssia, yn 1821, 1822, ymwelodd y diweddar Ddr. Ebenezer Henderson â'r Crimea, yn benaf er ymgydnabyddu yn llwyr â hanes a daliadau yr Iuddewon Karaitaidd. Bu yn ymdroi yn eu mysg ac yn cymdeithasu â'u hathrawon, ond ni chlywodd efe air o son eu bod yn disgyn o'r Deg Llwyth. Cyfeiria Dr. Henderson at awdwr o'r enw Peysonel, yr hwn a noda fod traddodiad yn eu mysg, eu bod wedi dyfod o Tartary i Ewrop gyda'r Tartariaid, yn eu rhuthrgyrch i'r rhan hon o'r byd; ond nis deallodd Henderson fod y fath draddodiad yn ffynu yn yr oes bresenol. Yr unig draddodiad yn eu plith, eb efe, yw fod eu henafiaid wedi dyfod o Damascus tua 560 mlynedd yn ol, ac ymsefydlu yn y Crimea. Dywedant hwy mai yn Grand Cairo yr adeiladwyd y synagog gyntaf iddynt ar ol dinystr Jerusalem, yr hyn a awgryma mai hiliogaeth y rhai a wasgarwyd ar adeg dinystr Jerusalem ydynt, yn hytrach nag eiddo y Deg Llwyth. Barnai Dr. Henderson mai math o barhad o sect y Saduceaid ydyw y sect Iuddewig hon ag sydd yn myned o dan yr enw Karaites.

---

## R. H. EVANS A CHAETH-GYMUNDEB.

GAN Y PARCH. WILLIAM JONES, WISCONSIN.

Gwelaf fod y Parch. R. H. Evans yn ail-ddechreu ei ymosodiad ar y Bedyddwyr yn y *Cyfaill*, am eu bod (yn ei farn ef) yn gaeth-gymunwyr. Mae yn ein cyhuddo o iaith a theimladau nad ydym wedi eu harfer na'u teimlo; ac yr wyf fi (am fy mod wedi amddiffyn yr Enwad yn ngwyneb ei haeriadau) yn fwy o bechadur na neb o honynt. Mae yn ein darlunio, pan yn amddiffyn ein hegwyddorion, yn "cynhyrfu yn arw," yn "bradychu cryn lawer o wendid," yn "gwichian." "Amlwg yw," meddai am danaf, "fod y brawd wedi gwylltio yn enbyd." Mae yn dysgu ei ddarllenwyr pa fodd i gael "golwg ar eiddilwch a gwendid fy adolygiad." Byddai yn fwy boneddigaidd ynddo ddangos i mi a'i ddarllenwyr eu gwendid a'u heiddilwch ei hunan, os gall. Dywed fy mod i a'm plaid "yn bloeddio mai ffyliaid a deillion yw y taenellwyr—fod caeth-gymunwyr yn rhuthro yn gynhyrfus at Cyprian, a thystio ei fod yn dweyd celwydd," yn "bloeddio am Dr. Haley, cyfeiliornwr, cyfeiliornwr, heretic." Cyhudda ni o alw pawb a ddywedant yn ein herbyn yn "hereticiaid," "brain," "geifr," &c. Geilw ni yn "Phariseaid caeth-gymunawl," yn "rhagrithiol yn ein cariad." Dywed ein bod yn "gul, sectaraidd, rhagfarnllyd — yn honi anffaeledigrwydd," a lluaws o'r fath ddarluniadau, drwy ei ysgrifau. Gallaf ddweyd ein bod yn eithaf cydnabyddus a'r fath enwau dirmygus, fel nad ydynt yn ein

cynhyrfu yn y mesur lleiaf, gan eu bod wedi eu harfer am danom er's ugeiniau o flynyddau bellach. Gall, os yw yn dewis, ychwanegu canoedd o rai gwaeth os gall eu cael; ni wnant ddim niwed i ni. Mae Mr. E. yn ofalus i ddefnyddio gwrthddadleuon Hall yn ein herbyn, ond nid yw yn sylwi ar y cerydd mae R. Hall yn ei roddi i'r taenellwyr, pan y dywed: "Both Baptist and Pedobaptist concur in the same principle, from which the practice deemed so offensive is the necessary result; this may suffice to rebut the ridicule, and silence the clamor of those who loudly condemn the Baptist for a proceeding, which were they to change their opinion on the subject of baptism, their own principles would compel them to adopt." Rea. 6, H. 285. Mae y dyfyniad uchod o waith Mr. Hall yn gerydd i Mr. Evans, ac yn waharddiad iddo gondemnio a dirmygu y Bedyddwyr yn nghylch cymundeb; er ei fod yn beio y Bedyddwyr ei hun, eto mae yn ystyried nad oes gan y taenellwyr hawl i'w beio, gan eu bod yn cyduno a'r Bedyddwyr yn yr un egwyddor; hyny yw, mae'r Bedyddwyr a'r taenellwyr yn credu fod bedydd o angenrheidrwydd i fod o flaen cymundeb; a dyna oedd gwrthwynebiad Hall i'r Bedyddwyr, nid am na buasent yn credu fod taenelliad yn fedydd rheolaidd, na phlant yn ddeiliaid rheolaidd. Yr oedd ef mor bell o gredu hyny a neb Bedyddwyr yn America. I brofi yr uchod dyfynaf o waith Hall, lle mae efe yn dweyd, "Nas gallai y cyfeiliornad o daenellu ar fabanod fodoli yn yr oes apostolaidd," ac fod "camgymeriad gyda golwg ar ewyllys y Prif Ddeddfroddwr yn beth anmhosibl ar y pwnc o fedydd; nis gallasai gwahanol feddyliau, gyda golwg ar y pwnc, fodoli, gan fod dynion ysbrydoledig wrth law yn barod i symud pob amheuaeth." Gwel H., tu dal. 286. Yr oedd camsyniadau a chyfeiliornadau eraill yn codi yn yr oes apostolaidd, ac os nad oedd camsyniad gyda golwg ar fedydd yn ddichonadwy i fod, rhaid mai y rheswm dros hyny ydyw, fod bedydd yn fwy eglur na phethau eraill. Dywed yn mhellach, pan yn son am y gwahanol gyfeiliornadau a ddaeth i mewn i'r eglwys Gristionogol: "Yn mysg pa rai," meddai, "rhaid i mi gyfrif y dybiaeth a goleddid gan y byd Cristionogol ar y pwnc o fedydd, cyfeiliornad nas gallai fodoli yn yr oes apostolaidd; mae hwn, gan hyny, yn achos newydd, ac mae yn fater o ddifrifol ymholiad, pa fodd mae ymddwyn tuag ato; mae yn amlwg nas gellir ei benderfynu drwy gyfeirio at arferiad apostolaidd, gan nad oedd dim o'r fath beth yn bodoli." Gwel tu dal. 200.

Dengys y dyfyniadau uchod am ba beth yr oedd Hall yn achwyn ar y Bedyddwyr, sef am eu bod yn credu fod bedydd yn hanfodol o flaen cymundeb, a chan fod y taenellwyr yn credu hyn mor benderfynol a'r Bedyddwyr, dywed Hall y dylai hyn atal y gwawd a deflir gan daenellwyr yn erbyn y Bedyddwyr am fod yr olaf yn gwrthod cyd-eistedd â'r blaenaf Nid yw Mr. Evans o'r un farn a Hall am fedydd na chymundeb; credai Hall nad yw taenelliad yn fedydd; creda Evans ei fod. Credai Hall nad yw babanod yn ddeiliaid bedydd; creda Evans eu bod; Credai Hall nad oedd bedydd yn hanfodol i gymundeb; creda Mr. Evans ei fod; am hyny mae Hall yn dangos nad oes gan Evans hawl i feio y Bedyddwyr, am ei fod yn credu fel y Bedyddwyr, fod bedydd o angenrheidrwydd i flaenori cymundeb. Gan fod Mr. Evans yn cario meddwl mor uchel am R. Hall, byddai yn gyson ynddo dderbyn cerydd Hall iddo am gondemnio y Bedyddwyr, ac edifarhau a diwygio drwy atal ei ddirmyg.

Mae Mr. E. yn fy meio am beidio sylwi ar resymau Hall; dymunaf ddyweyd wrtho unwaith am byth, nad oes ganddo hawl i ddefnyddio dadleuon Hall, nac awdurdod i alw fy sylw inau atynt, am y rhesymau a nodais. Mae Mr. E. yn gofyn cymundeb fel Cristion bedyddiedig, ac yn beio am nas ca. Mae Mr. H., o'r ochr arall, yn dadleu am i'r Bedyddwyr roddi cymundeb iddo fel Cristion difedydd. Y mae yn anmhosibl boddhau a chydsynio ag egwyddorion Evans a Hall. Os

rhoddwn gymundeb i Mr. E. fel dyn bedyddiedig, yr ydym yn croesi egwyddorion Mr. H., gan nad oedd yr olaf yn credu ei fod yn fedyddiedig; ond os rhoddwn gymundeb iddo fel dyn difedydd, yr ydym yn croesi egwyddorion Mr. E., gan nad yw ef yn credu y dylai dyn difedydd gael cymundeb o gwbl.

Deued Mr. E. allan ar dir Hall, i ddadleu am gymundeb fel Cristion difedydd, yna bydd ganddo hawl i ddefnyddio rhesymau Hall, a bydd ganddo hawl i alw arnaf finau i'w hateb, a byddaf yn barod i wneyd; ond eu hateb i ddyn nad yw yn eu credu ei hun, fyddai yn berffaith ffolineb, ac yn ddifrod ar amser. Mae Mr. E. yn son llawer, ac yn cario meddyliau mawr, am Spurgeon; felly yr wyf finau; ond nid yw cymundeb Spurgeon na Hall wrth ei fodd yn y pen draw, gan mai rhoddi cymundeb iddo fel dyn difedydd mae pob un o'r ddau, am yr hyn, fel y sylwyd eisoes, nad yw ef yn credu ynddo; heblaw hyn, nid yw cymundeb Spurgeon i daenellwyr ond cymundeb achlysurol, ac nid un cyson a pharhaus. Pa fodd, atolwg, y teimlai Mr. Evans pe cai gymundeb am ddwy neu dair gwaith, a chael ei wrthod y pedwerydd gwaith? Teimlai mor ddrwg ag y teimlodd yn nghwrdd Centreville, O., er's llawer dydd; neu pe cai gymundeb parhaus, a chael ei wrthod fel aelod o'r eglwys, oni fyddai efe yn barod i gondemnio, a difenwi, a bloeddio, "anghysondeb," "culni," "rhagfarn," "sectariaeth," yn erbyn Spurgeon a'i eglwys, yn gymaint ag y mae yn awr yn erbyn y Bedyddwyr yn America. Nid oes haner y cysondeb yn nhrefn cymundeb Spurgeon a'r Bedyddwyr rhydd-gymunawl yn Lloegr ac Americaa, tra maent yn gwrthod aelodaeth i'r rhai a dderbyniant at fwrdd y cymundeb, ag sydd yn nhrefn cymundeb y rhai a gondemnir mor haerllug gan Mr. Evans.

Wrth ddarllen yr iaith a'r teimladau mae Mr. E. yn briodoli i'r Bedyddwyr, fel y sylwais yn nechreu yr ysgrif hon, meddyliais, os yw defnyddio enwau drwg a haeriadau anwireddus a dirmygus yn brawf o dymerau cynhyrfus a drwg, mae Mr. E. yn arwyddo llawer iawn mwy o'r cynwrf a'r gwylltineb, &c., a briodola i mi, nag sydd i'w ganfod yn fy ysgrifau i yn y WAWR. Mae darllen ei ddarluniadau o honom yn peri i mi feddwl am yr hyn a ddywedodd un o wyr Parliament Lloegr am ei wrthwynebwr. "He is indebted to his memory for his wit, and to his imagination for his facts."

Cyn terfynu yr ysgrif hon, dymunaf ddweyd wrth Mr. E., na raid iddo ofalu dim am fy nhymerau i, ac mi sicrhaf iddo na bydd i mi ofalu dim am ei dymerau yntau; nid yw ef yn gyfrifol i mi, na minau iddo yntau, am fy nhymerau, nac am iaith na bydd i mi ei defnyddio; addawaf ofalu am ei iaith, ond nid ei dymerau; gofaled ef ei hun am ei dymer, neu beidied, fel y byddo yn dewis; ond yr wyf yn ei orchymyn i beidio caniatau i'w ddychymygion briodoli i mi iaith na bydd i mi ei ddefnyddio.

Mae yn dda genyf fod golygydd y WAWR yn ewyllysgar i dderbyn fy ysgrifau.

---

## GOHEBIAETH O GYMRU.

GAN Y PARCH H. CERNYW WILLIAMS.

Gyda gofid a hiraeth y cofnodaf farwolaeth y Parch. Henry Morgan, Dolgellau, yr hyn a gymerodd le boreu dydd yr Arglwydd, Ebrill 10, ac efe wedi cyrhaedd ei 72 mlwydd oed. Brodor ydoedd o Eglwyswrw, sir Benfro, cymydogaeth nid yn mhell o Fan, Aberteifi, a man iachus a dymunol. Yno y bedyddiwyd ef, fel y deallwyf, gan y diweddar Barch. W. R. Davies, wedi hyny o Ddowlais. Yr oedd yn un o fyfyrwyr cyntaf Athrofa Hwlffordd, gyda J. G. Owen, D. D., D. Dudley Evans, W. Walters, ac eraill, y nifer luosocaf o ba rai ydynt erbyn hyn wedi eu cludo at y mwyafrif dystaw i'w hargel wely. Sefydlodd ein brawd yn Nolgellau yn 1843, fel canlyniedydd i'r gwlithog Samuel Williams (Nantyglo). Gweinyddwyd yn

ei ordeiniad gan y Parchn. R. Ellis (Cynddelw), Dr. Prichard, Llangollen, Dr. Evans, Cefnmawr, E. Williams, Aberystwyth, a J. Prichard, Cefncymerau, oll erbyn hyn wedi huno. Bu yn weinidog ffyddlon yn Nolgellau o hyny hyd tua blwyddyn yn ol, pryd y rhoddodd y weinidogaeth i fyny o herwydd gwaeledd. Bu yn wael iawn y pryd hwnw, fel na feddyliodd neb y gwelsid ef wedi ei adfer drachefn, ond cryfhaodd ychydig ar ol hyny, digon i allu pregethu bob Sabboth, yr hyn a wnai gyda blas a hwyl. Yr oedd yn pregethu yn ei hen bwlpud yn Nolgellau wythnos i'r diwrnod y bu farw, a rhyfedd mai ei destyn y boreu hwnw oedd, "Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa," &c.; a'i destyn yn yr hwyr oedd, "Ni frysia yr hwn a gredo." Cafodd darawiad dranoeth o'r *congestion of the lungs*, ac yn mhen ychydig ddyddiau hunodd yn yr Iesu. Cafodd gladdedigaeth anrhydeddus mewn gwirionedd, ac yr oedd yr holl dref yn talu gwarogaeth i'w goffadwriaeth fendigedig. Pregethwr melus a dylanwadol oedd Mr. Morgan, ac yr oedd ei gymeriad yn ddysglaer fel y goleuni. Ni ddywedai ddrygair am neb, ni absenai a'i dafod, ac ni dderbyniai enllib yn erbyn ei gymydog. Yr oedd diniweidrwydd colomenaidd yn ei nodweddu; ni byddai byth yn cwyno am unrhyw ymddygiad tuag ato. Yr oedd yn ddiarebol am ei hoffder at dangnefedd; ciliai, fel y golomen, o faes cyflafan a saethau. Teimlaf nad yw Dolgellau yr un peth ar ol ei ymadawiad, a bod sir Feirionydd yn wacach o herwydd ei golli. Gweinyddwyd yn ei gladdedigaeth gan ysgrifenydd y llinellau hyn, a chan y brodyr J. Meredith (ei gydweithiwr ffyddlon), W. Evans, Cefncymerau (y gweinidog hynaf sydd yn awr yn fyw yn y sir), E. Parry, Ffestiniog, J. A. Morris, Aberystwyth, I. James, Ruthyn, R. Williams, a J. Mathias, Bala, D. Jones, Pandy, O. T. Williams (T. C.), ac E. Evans, (W.)

Mae nifer luosog o wroniaid y pwlpud wedi eu symud yn ystod y blynyddoedd diweddaf, ac eraill, ieuengach, yn cael eu gwthio yn naturiol i'r *front*. Ond er colli tywysogion Seion, mae yr achos yn fyw.

"Yn araf, fy mrawd, paid, paid anobeithio,
Gwnei gam ag addewid gyfoethog yr Ior;
Ni ddiffydd yr haul er i seren fachludo;
Os pallodd yr aber, ni sychodd y môr."

Mae yn debyg na bu ein henwad mewn agwedd mwy llewyrchus yn Nghymru erioed. Mae genym nifer helaeth o weinidogion galluog, dysgedig, a ffyddlon. Tystiai Dr. John Thomas, Lerpwl, yn ddiweddar, fod y to presenol o weinidogion Annibynol yn tra ragori fel pregethwyr, a chymeryd pobpeth i ystyriaeth, ar y rhai oeddynt ar y maes pan oedd ef yn dechreu agor ei lygaid ar y byd meddyliol. Felly mae'n dra thebyg y gellid dweyd am bethau pwysig y Bedyddwyr. Mae ein llenyddiaeth yn cael cefnogaeth dda hefyd—*Seren Gomer* a'r *Greal* yn cael eu croesawu fel ymwelwyr trimisol a misol, a *Seren Cymru* yn llwyddianus ar ei chylchdeithiau wythnosol. Digon gwir y ceir rhai yn cwyno am natur yr arlwy lenyddol a ddarperir, ond fel rheol, diogwyr anghelfydd yw yr achwynwyr, yn gwneyd dim eu hunain, ond yn edrych ar eraill yn gweithio, ac yn beirniadu y gwaith mewn ysbryd heb fod y goreu; ond mae y mwyafrif yn gweithio yn ddiwyd ac yn egniol.

*Corwen, G. C., Ebrill* 21, 1881.

---

## HYN A'R LLALL.

GAN Y PARCH. JOHN EVANS, WESTERLY, R. I.

*Adolygiad Llyfrau.*—Yn yr oes hon, ag sydd mor enwog am ei chynyrchion llenyddol, mae gwasanaeth newyddiadur neu fisolyn, yn cyhoeddi barn gywir a gonest ar wahanol lyfrau, o werth anmhrisiadwy. Nid oes angenrheidrwydd i fod yn llym ac anmharchus mewn trefn i ddweyd y gwir; ond yn ei waith dylai yr adolygydd feddu cyllell finiog a llaw ddigryn. Y mae cymaint o sothach difudd yn cael eu gwthio i'r cyhoedd, fel y mae gonestrwydd adolygiadol yn rhinwedd ddylai gael clod

gan bawb. Un o'r newyddiaduron mwyaf anmhleidgar yn ei driniaeth o gynyrchion awdurol ydyw yr *Examiner and Chronicle*, papyr a gyhoeddir gan y Bedyddwyr yn ninas New York. Mewn cysylltiad â'r newyddiadur hwn y mae Dr. William R. Williams wedi pwyso tunellau o hanesiaeth eglwysig; Dr. E. G. Robinson, o Brown University, wedi tynu ei linyn mesur dros wmredd o faterion athronyddol; Dr. Hackett, pan yn fyw, wedi profi cywirdeb lluaws o gyfrolau esboniadol; a llawer o ddynion eraill, mor enwog am eu gallu yn ac allan o'r enwad, wedi cynorthwyo i wneyd y gadair adolygiadol mewn cysylltiad â'r newyddiadur, yn un o werth a dylanwad. Y cyhoeddiad a darawa lygredd i'r llawr, ac a goda gyfiawnder i'r lan, a estyn fys gwawdlyd at wendid, ac a foliana nerth, a goronir a llwyddiant, ac a fendithir â hir oes.

*Cyfnewidiad Barn.*—Cynaliwyd cyfarfod dyddorol iawn ar y 14eg o Ebrill, yn Wakefield, R. I., i ystyried y priodoldeb o gyflwyno y Parch. E. C. Piper i waith y weinidogaeth Fedyddiedig. Treuliodd Mr. Piper ugain mlynedd fel gweinidog enwog a llwyddianus yn mhlith yr Ail-ddyfodiaid, enwad o gryn bwys mewn rhai parthau o Loegr Newydd. Fel *phase* y mae yn gryfach byth, o herwydd coleddir llawer o'u syniadau gan ddynion fel R. W. Dale, o Birmingham, a Joseph Parker, o Lundain, a chanoedd eraill yn mhlith pob enwad crefyddol, gyda golwg ar y pwnc o anfarwoldeb amodol. Dalia yr Ail-ddyfodiaid mai Crist ydyw sail anfarwoldeb; ac ar wahan oddiwrtho ef fod dyn i fyned i ddiddymdra bythol ar ol y farn gyffredinol. Y mae Mr. Piper wedi troi ei gefn ar yr athrawiaeth hon, sydd nid yn unig yn felldithiol yn ei thuedd, ond yn anysgrythyrol yn ei sylfaen, ac wedi ymuno â'r Bedyddwyr. Fel dyn o ddysg, talent, a duwioldeb, rhoddodd foddlonrwydd trwyadl i'r cyngor, yn mha un yr aeth o dan yr ymholiad mwyaf manwl. Mae'r gwirionedd yn llwyddo. Pwy fydd y nesaf i adael y gau, i ddyfod at y gwir?

*Ystadegau Crefyddol.*—Yn y *Baptist Weekly* ceir yr ystadegau canlynol o berthynas i rifedi cymunwyr y pump enwad Protestanaidd mwyaf pwysig yn y Talaethau Unedig:

| | |
|---|---|
| Bedyddwyr | 2,374,339 |
| Methodistiaid Esg. | 1,742,922 |
| Presbyteriaid | 915,740 |
| Lutheriaid | 70c,718 |
| Episcopaliaid | 345,841 |

Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf y mae cynydd yr enwadau uchod fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Bedyddwyr | 163,624 |
| Methodistiaid Esg. | 52,620 |
| Episcopaliaid | 20,846 |
| Presbyteriaid | 16,438 |
| Lutheriaid | 10,223 |

Gwelwn fod cynydd y Bedyddwyr yn fwy nag eiddo y pedwar enwad arall gyda'u gilydd. Pa fodd y mae caethgymundeb yn edrych yn ngoleuni y ffaith hon? Y mae llwyddiant pob enwad efengylaidd yn ymddibynu, nid ar ei berthynas tuag at enwadau eraill, ond ar ei berthynas tuag at fyd pechadurus. Y mae gwirionedd a *sentiment* yn ddau beth gwahanol iawn. Y mae digon o'r olaf mewn bod i syrffedu yr holl fyd, ac i hyn y mae priodoli gwendid llawer Cristion proffesedig. Y mae ei grefydd, y rhan fwyaf o honi, yn gynwysedig o *sap* yn unig. Gwirionedd sydd ar y bydd angen. Y

"Gwirionedd saif yn gywir,
Ie'n gadarn iawn bob darn;
Yn gadarn ar y ddaear,
Yn gadarn yn y farn."

---

## Y PARCH. DAVID JONES, CAERDYDD.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, HYDE PARK, PA.

Tueddir fy meddwl i geisio gwaddoli darllenwyr y WAWR â chofnodion am rai o'r meirw galluog, a fu yn meddianu cadair Moses, yn gwisgo mantell Elias, yn sefyll yn mhwlpud Solomon, yn cario ffon y prophwydi, ac yn deyrn-genadon trugaredd at golledigion y codwm mawr. Plwyf Llanpumsaint, yn Sir Gaerfyrddin, a fu yn fagwrfa i enwogion lawer, megys Thomas Jones, yr esboniwr; "Brutus," yr arch-

omerydd; John Williams, Trosnant, swynwr y dyrfa; a David Jones, Caerdydd, salmydd y pererinion. Efe a aned rywbryd yn y flwyddyn 1808; tlodion oedd ei rieni, bwthyn oedd y ty, ac nid oedd ffawd yno yn gwenu. Pan oedd David Jones yn hogyn saith mlwydd aeth allan i weini at amaethwr oedd yn byw yn Bethdiblathaim, gerllaw Ffynonhenry. Ei waith yno oedd bugeilio ar y mawndir; ei wely oedd gwellt; ei ymborth yn arw, a'i gyflog oedd sen gan y ffermwr swta. Penderfynodd Dafydd bach adael "ty y caethiwed, a rhoddi ei wyneb tua Morganwg, edrych i Merthyr, a gorphwys yn Mlaenafon, Mynwy. Deuddeg mlwydd oed oedd y bachgenyn yn cyrhaedd yno, a buan y dechreuodd weithio, o flaen y ffwrnes yn mygu, y ffurmur yn toddi, a dysgu y ffordd i fyw arno ei hun. Pan yn bymtheg oed cafodd ei ail-eni, bedyddiwyd ef i'r Iesu, ac ymunodd a'r gynulleidfa yn Ebenezer, yn nyddiau Joseph Price, tad y "Cymro Bach" ac Enoch Price, Maesyberllan. Anogwyd ef yn ebrwydd i bregethu, derbyniwyd ef i athrofa y Feni. Bu yr haeddglod Michael Thomas yn ei addysgu, a David Rhys Stephens yn cyd-efrydu. Ar ol gorphen yno, derbyniodd alwad i Ebenezer, Blaenafon, yr eglwys y bedyddiwyd ef ynddi. Tair eglwys a adwaen i yn rhoddi galwad i'w meibion eu hunain o'r athrofeydd yn weinidogion iddynt hwy—Bethania, Maesteg, yn galw ei Rich'd Hughes; Bethel, Abernant, yn galw ei John Mills; ac Ebenezer, Blaenafon, yn galw ei David Jones. Ac yn y dyddiau hyny yr oedd Thomas Kenvin yn taranu ar Pisgah, John Williams yn swyno Pontypool, Francis Hiley yn synu Llanwenarth, a David Jones yn blodeuo broydd Blaenafon. Eithr yr oedd y Parch. Griffith Davids wedi huno, Robert Prichard wedi symud i Hermon, Nantyglo, a Christmas Evans wedi myned i Arfon, ac eglwys y Tabernacl, Caerdydd, heb weinidog ynddi. Ac yr oedd y dyn bach pert o Blaenafafon, a'i lygaid byw, ei wallt gwineu, ei wedd wridog, ei drwyn Rhufeinig, a'i ddawn uwchraddol, wedi delwi y gynulleidfa. Derbyniodd yr alwad i Gaerdydd, lle y bu Fitzhammond yn barnu, Vavasor Powell yn y cadwyni, a Christmas Evans am dro yn efengylu. Aeth David Jones yn weinidog i'r Tabernacl, Caerdydd, yn y flwyddyn 1834; adfywiodd y bobl, amlhaodd y dyrfa, eangwyd yr addoldy, a daeth David Jones, Caerdydd, yn un o brif bregethwyr y werin. Ein darllenyddion a sylwant, mai hynach oedd efe na mi o yn agos ugain mlynedd, ac nid oes o fy mlaen i yn awr un ddalen, na brawddeg, na gair, o hanes am dano; o'r hyn a ddarllenais, a glywais, ac a gofiais, yn unig, yr wyf yn ysgrifenu.

Ar nos Sabboth, yn Penuel, Cwmafon, yn haf y flwyddyn 1845, y clywais i y telynorydd o Gaerdydd gyntaf erioed—ei destyn yn Ezec. xi. 5, "Duw yn gwybod meddwl dyn"—ac yr oedd adenydd y wawr yn cael eu defnyddio, eithafoedd y môr yn cael eu mesur, y pydew du yn cael ei agor, a gororau paradwys yn cael eu mynegu, gyda dylanwad anamgyffredadwy.

Ddydd Cymanfa y Groesgoch, yn Sir Benfro, yn 1850, bu yn traethu ar y bachgenyn o Nain yn adgyfodi, bysedd y Nefoedd yn ei adfywio, a'i fam weddw yn molianu; ac yr oedd y dyrfa yn cyd-odli â hi yno.

Ei destyn ddydd Cymanfa Bassaleg, yn 1851, ydoedd Ps. 48: 14, a darluniai "grefydd yn ddawn o anchwiliadwy gynwysiad, yn ddawn yn haeddu ein dewisiad, ac yn ddawn o dragywyddol barhad."

Pregethai i ddiweddu Cymanfa Tongwynlais, yn 1851, ar Ps. 46: 1—Duw iddei bobl yn nerth eu gyrfa, a chymorth hawdd ei gael yn nydd eu trallodion. Esgynai yr ehedydd i gusanu y cwmwl, porai y praidd ar ddolydd y Taf, a dymunai y bobl i'r haul i oedi awr neu ddwy cyn myned i'r gwely.

Traddododd ei bregeth ddiweddaf i mi ddydd Cymanfa Aberafon, yn Mehefin, 1854. Testyn hono ydoedd, "Galw arnaf fi yn nydd trallod, a mi a'th waredaf, a thi a'm gogoneddi." Rhwydd-deb i addoli, mantais yr addolwr, a diwedd yr addoliad, oeddent y nodiadau yno, a bu yno waeddi ac

wylo, a rhai yn barod i neidio i'r uchelion.

Bu Mr. Jones, mewn cysylltiad a'r Parch. William Jones, Bethania, Caerdydd, yn golygu "Ystoria y Bedyddwyr," am rai blynyddoedd. Aeth yr "Ystorfa" wedi hyny i wisgo yr enw, "Y Bedyddiwr," a'r Mri. Llewelyn Jenkins a William Owen yn ei gyhoeddi, Mr. W. Jones, Duke Street, yn ei argraffu, Samuel Evans yn olygydd, a Ioan Emlyn yn cynorthwyo. Mynych y byddai y Parch. David Jones yn gohebu i'r "Bedyddiwr" yn y blynyddoedd hyny, dan y ffug-enw "Dafydd;" ond er ymgilio i'r llwyni, y mae gweinidog y Tabernacl yn llefaru yn hyglyw wrth y llu. Mae ganddo amlinelliad o bregeth ar "Golgotha" mewn rhifyn o'r "Bedyddiwr" am 1853, a gellir ei nodweddu mewn tri gair—byr, byw, a bras drwyddi. Rhyw ychydig iawn oedd Williams o'r Wern, Herring o Aberteifi, a David Jones, Caerdydd, yn ysgrifenu, ond yn meddwl llawer, ac yn traddodi gyda dylanwad rhy fawr i bin, inc a phapyr allu ei ddarlunio. Mae y pin yn rhydu, yr inc yn sychu, y papyr yn mallu, ond yr effeithiolrwydd yn aros yn meddwl y torfeydd yn annileadwy.

Tri Dafydd Jones a fu yn ddirfawr o swynol yn areithfaoedd y Bedyddwyr: David Jones, Pontypool; David Jones, Felinganol; a David Jones, Caerdydd. Trwy farwolaeth y Parch. John James, Pen-y-bont-ar-ogwy, yn y flwyddyn 1848, dewiswyd Mr. Jones, Caerdydd, yn olynydd iddo fel Ysgrifenydd Cymanfa Morganwg. Efe ydoedd Asaph yn croniclo, Baruch yn cofnodi, Stephan y manylion, ac Ezra yr Enwad, ar ddyddiau y Cymanfaoedd. Disgynodd mantell yr Ysgrifenydd wedi hyny ar ysgwyddau Mr. Evans, Castellnedd, a medrodd ei llenwi, ac ni adawodd un *plet* ynddi er ys mwy nag ugain mlynedd.

"Dyddiau Dafydd a nesasant i farw," ac wedi adeg fer i ddihoeni, efe a gymerodd ei ffon i groesi, ei lusern yn ei law, ac ymadawodd a ni, yn annysgwyliadwy, yn mis Tachwedd, 1854, ac efe yn ddim mwy na 46 ml. oed. Rhyfedd i'r tri Dafydd Jones a nodwyd farw ar ganol dydd; canys nid oedd y cyntaf ond 51, yr ail yn 35, a'r trydydd yn 46. Treuliodd Mr. Jones ugain o flwyddi yn y Tabernacl, Caerdydd, mewn llafur mawr, llwyddiant amlwg, a llewyrch canmoladwy. Ei weddillion a orweddant yn ymyl yr addolfa, a daeth y Parch. Nathaniel Thomas yn olynydd iddo yn y dyrfa. Mae Mr. Thomas yn un o ragorolion ein byd ni; a Chaerdydd heddyw yn meddu deg neu ddeuddeg o gynulleidfaoedd mawrion i'r Bedyddwyr. Torwch allan i'r de, ac i'r aswy, pyrth eich gelynion mynwch eu meddianu, a'r Arglwydd a'ch lluosogo yn gan' mil mwy.

---

## Y SABBOTH.

*Ymgais i Ateb* D. A. DAVIES, *yn y Wawr am Ebrill, tu dal* 26.

GAN Y PARCH. LL. REES, JOHNSTOWN, PA.

Mae genych bedwar gofyniad, tri o'r rhai a'n harweinia yn ol i'r Hen Destament am reol buchedd gyda golwg ar y Sabboth dan yr efengyl. Diau i gynwysiad yr Hen Destament gael ei roddi er addysg i ni ar ba rai y daeth "terfyn yr oesau;" ond pa un a ydyw wedi ei roddi yn rheol neu ddeddf i ni sydd bwnc o bwys—o'r pwys mwyaf i feddwl am dano. Mae yn anhawdd ateb eich gofyniadau, yn neillduol y tri cyntaf, yn eglur, gydag awdurdod, ac felly yn foddhaol i feddwl astudgar, diragfarn, ac annibynol, heb gymeryd pwnc y Sabboth i fyny yn ei ddechreuad, ei agwedd ddeddfol, a'i hanes, i'r hyn nid oes genyf amser yn awr. Yr wyf yn teimlo rhwystr mawr i grynhoi fy meddwl i ychydig o le; gwnaf fy ngoreu.

Gof. 1.—"Beth ydyw y pethau sydd yn gynwysedig mewn cadw yn sanctaidd y dydd Sabboth?"

Y mae Cristionogion naill ai yn rhwymedig i gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth, neu nid ydynt. Os ydynt, y mae o bwys gwybod deddf y Sabboth, oblegid wrth gadw y ddeddf yn unig y

gellir cadw y dydd yn sanctaidd. Os torir y ddeddf mewn un iota, mae y Sabboth yn cael ei dori. Dyma y ddeddf: "Cofia y dydd Sabboth i'w sancteiddio ef. Chwe' diwrnod y gweithi, ac y gwnai dy holl waith. Ond y seithfed dydd yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw: na wna ynddo ddim gwaith, tydi, na'th fab, na'th ferch, na'th wasanaethwr, na'th wasanaethferch, na'th anifail, na'th ddyeithrddyn a fyddo o fewn dy byrth. O herwydd mewn chwe' diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd y nefoedd a'r ddaear, y môr, a'r hyn oll sydd ynddynt; ac a orphwysodd y seithfed dydd: am hyny y bendithiodd yr Arglwydd y dydd Sabboth, ac a'i sancteiddiodd ef." Fe welir oddiwrth y ddeddf hon, fod yr Arglwydd yn gwahardd pob math o waith ar y dydd dan sylw. Mab, merch, gwas a morwyn, dyeithr ddyn, ac anifeiliaid. Wrth sylwi ar y gwahanol ddeddfau a wreiddiant yn y gyfraith uchod, rhoddedig mewn gwahanol fanau yn yr Hen Destament, yr ydym yn cael y canlynol:

1. "Na chyneuwch dân yn eich holl aneddau ar y dydd Sabboth." Exodus 35: 3.

2. "Aroswch bawb gartref; nac aed un o'i le y seithfed dydd." Ex. 16: 29.

3. "Gwelwch mai yr Arglwydd a roddodd i chwi y Sabboth; am hyny efe a roddodd i chwi y chweched dydd fara dros ddau ddydd. Pobwch heddyw yr hyn a boboch, a berwch yr hyn a ferwoch; a'r holl weddill, rhoddwch i gadw i chwi hyd y bore." Exod. 16: 29, 23.

4. "Na ddygwch faich ar y dydd Sabboth, ac na ddygwch ef i fewn trwy byrth Jerusalem; ac na ddygwch faich allan o'ch tai ar y dydd Sabboth." Jer. 17: 21, 22.

5. "Heb wneuthur dy ffyrdd dy hun, heb geisio dy ewyllys dy hun, na dywedyd dy eiriau dy hun." Esaiah 58: 13.

6. "O hwyr i hwyr y cedwch eich Sabboth." Lef. 23: 32.

7. "Pwy bynag a wnelo waith y seithfed dydd, llwyr-rodder ef i farwolaeth." Lef. 21: 14.

Mor benderfynol oedd Jehofa o fynu ei ogoniant mewn ufudd-dod manwl i'r holl gyfraith uchod, fel y lladdwyd dyn yn yr anialwch am gynuta (casglu coed) yn ddiarbed. Gwel Num. 15: 32–36. Yr ydym yn ystyried y gyfraith uchod yn engraifft deg o'r ufudd-dod Sabbothol a orchymynwyd i Israel, ac y penderfynodd y Jehofah mawr gael, costieu a gostio i'r bobl. Yn awr, y pwnc mawr yw, a ydym ni yn byw o dan y gyfraith hon? Os ydym, mae yn sicr mai ychydig neu ddim o sylw a delir iddi!! Pwy sydd yn awr, o'r gweinidog a'r diacon i lawr i'r aelod mwyaf defosiynol, nad yw yn esgeuluso i raddau pell y gorphwysdra orchymynir ynddi? Y rhai a wnant fwyaf o stwr yn nghylch tori y Sabboth, ydynt eu hunain, wrth y gyfraith hon, yn euog o farwolaeth! Cyneuant dân yn eu tai. Ant allan o'u tai, a thrafaeliant ar eu hanifeiliaid filldiroedd. Gwna eu meibion a'u merched yr un gwaith; cariant feichiau o ddwfr, coed, a dillad, a darparant fwyd. Ond i'r goruchwylydd orchymyn, ac addaw ychydig rhagor, ânt i'r *drift*, *shaft*, neu y felin, a chwysant ei chalon, yn ddigon diystyr o'r dydd. Ni chedwir y Sabboth o hwyr i hwyr, ond o fore i hwyr. Siaradant eu geiriau eu hunain, a gwnant lawer o bethau yn haeddu marwolaeth. Paham, gan hyny, na weinyddir y gosp? Sicr nid yw yr ufudd-dod a roddir i Sabboth y ddeddf ond *mockery;* mae yn *insult* ar Dduw. Dadleua rhai ei bod yn gyfreithlon i gyflawni cymwynasau a gweithrediadau trugarog ar y Sabboth; ac oddiwrth hyn cymerir *indulgence* i gyflawni unrhyw waith os bydd, fel y dywedir, "gwir angen yn galw." Ond pwy a ddywed hyn wrthynt? Dywedant y gellir darparu bwyd, a chario baich i'r ty, &c. Ond y mae hyn yn waharddedig yn bendant ar y seithfed dydd. Mor bell oedd Duw o gefnogi "gweithred o angenrheidrwydd," fel y cyflawnodd dair gwyrth er symud ymaith yr achos am "weithredoedd o angenrheidrwydd." Rhoddodd ddogn dau ddydd o'r manna ar y chwechfed dydd; ataliodd y manna i gyd ar y seithfed; a chadwodd y manna gasgl-

wyd ar y chwechfed heb fallu hyd ddiwedd y seithfed dydd. Y tair hyn oeddynt wyrthiau neillduol am yr yspaid o ddeugain mlynedd. Os cyflawnodd Duw dair gwyrth neillduol er symud yr achos i neb fyned allan o'i dy i gasglu ychydig fanna, paham y meiddia neb (y Pab) yn enw yr Arglwydd drwyddedu dynion i wneyd yr hyn sydd ganwaith fwy o galedwaith? Oblegid i'r Arglwydd Iesu ddystewi ei elynion a'i cyhuddent o dori y Sabboth, drwy gyfeirio at eu hymddygiad hwy yn gwaredu anifail o gyfyngder, myntumia rhai fod yna ysgrythyr dros gyflawni "gweithredoedd o angenrheidrwydd" ar y Sabboth. Ni fu mwy camsyniaeth erioed. Dadl i ddyn yn cael ei gwneyd yn wireb gyffredinol!! Mae hyn yn bradychu diffyg sylw mawr i ddeddfau Israel. Cyhyd ag y cadwai Israel y ddeddf, ni ddeuai achos byth am "weithredoedd o angenrheidrwydd." Caent eu bendithio yn eu tai, masnachdai, maesydd, plant, anifeiliaid a deadelloedd; ni chymerai ty un o honynt dân; ni syrthiai ych nac asyn un o honynt i bwll—gofalai Duw am y cwbl, cyhyd ag y gofalai y bobl am ei gyfraith. A gyhoeddwyd un gyfraith ar ol yr un uchod oddiwrth yr Arglwydd yn llacâu gofynion tyn y gyfraith gyda golwg ar orphwysfa ofynedig ar Sabboth y ddeddf? A oes rhybudd oddiwrth Dduw yn dweyd, "Gellwch gadw y Sabboth yn llai gofalus—gellwch gyneu tân yn eich tai, cario beichiau, llefaru eich geiriau eich hunain?" Nac oes yr un. Os yw y Sabboth a soniwyd mewn grym yn awr, mae i'w gadw yn awr fel yn amser Moses. Os nad yw yn bodoli yn awr, dylid gwneyd ymaith â phob ufudd-dod (?) gwatwarus o hono. Dywed rhai fod y dydd wedi newid o'r seithfed i'r dydd cyntaf o'r wythnos. Gan bwy, yn mha le, a pha bryd, y newidiwyd ef? Mae hyn yr un peth a dweyd fod yr hen gyfamod wedi newid yn rhanol i'r newydd. Darfod wnaeth yr hen gyfamod yn ei amser; a dechreu byw ar ei seiliau ei hun wnaeth y cyfamod newydd.

Mae gan y Cristionogion eu dydd cysegredig—y cyntaf o'r wythnos—yr hwn ddydd, er nad yw yn Sabboth yn ol ystyr cyntefig y term, sydd ag adgofion a gwaith neillduol yn perthyn iddo, yr hwn waith nis gellir ei gyflawni heb ymataliaeth oddiwrth y gwaith arferol dyddiol. Mae gan y Cristionogion hefyd eu Sabboth o ystyr nefolaidd, yr hwn sydd eto yn ol i bobl Dduw. Arferai y cyn-saint gyfarfod ar y dydd cyntaf o'r wythnos i gael eu haddysgu yn y gair—i ymuno mewn salmau a hymnau ac odlau ysbrydol, ac i ganu trwy ras yn eu calonau i'r Arglwydd—i dderbyn adgofion adnewyddol am farwolaeth ac adfywiocâd yr Arglwydd i gyflwr buddugoliaethus a didranc, ac i ddangos eu cydymdeimlad at y tlawd a'r angenus yn y casgliad arferol. Lle bynag mae dyn ymroddgar am waith un o'r chwe' diwrnod ar y dydd sanctaidd, ac heb ddangos awydd am y dydd neillduol, er mwyn ei waith a'i freintiau, dengys ei hun yn amddifad o'r galon newydd rheidiol i dderbyn yr efengyl o gwbl. Nis gallwn feddwl oddiar un seiliau hafal i eiddo yr hen Sabboth, fod gan ddydd cysegredig yr efengyl un ddeddf i anghyfreithloni gwaith dyddiol arno mewn amgylchiadau o wir angenrheidrwydd. Dylai yr angenrheidrwydd hwn fod yn orfodaeth ar feddwl addolgar y Cristion; ac fydd yn orfodaeth annymunol iawn, os bydd ei feddwl yn addolgar. Anghyfrifol iawn yw y proffeswr hwnw a orawydda am *job* ar y dydd efengylaidd er mwyn yr enill a ga trwy hyny—dangosa ei fod yn hollol amddifad o ffydd Moses. Heb. 11: 24—26.

Gof. 2.—Gellir meddwl, er fod y ddeddf foesol, fel ei gelwir, yn gyfeiriedig, wrth reswm, at bawb a'i cawsant, fod y gorchymyn yn nghylch y Sabboth yn gyfeiriedig at benaethiaid y genedl, penau teuluoedd, a pherchenogion anifeiliaid. Ond, o'r ochr arall, gan y gallai fod cylch yn mha un yr oedd hawl gan blant, caethweision, a'r dyeithr ddyn i weithredu yn annibynol ar awdurdod un penaeth arnynt; a chan fod gorchymynion sylfaenol y ddeddf, "Car yr Arglwydd dy Dduw,

&c., a'th gymydog fel ti dy hun," yn cyrhaedd at bawb, mwy credadwy genyf yw, fod y gorchymyn hwn yn cyfeirio yn bersonol at bawb. Buasai yn dda genyf pe buaswn heb ymhelaethu cymaint ar y pen cyntaf, fel y buasai genyf ofod mwy i ymhelaethu ar y pen hwn a'r rhai dilynol. Ond nid oes dim i'w wneyd.

Gof. 3.—Pwy oedd gyfrifol, &c.

Os fy ngolygiad cyntaf dan yr ail ben uchod sydd gywir, syrthiai y cyfrifoldeb ar y meistr; ond os yr ail olygiad sydd gywir, syrthiai y cyfrifoldeb ar y gwas. Yn ol y golygiad cymeradwy genyf, yr oedd pob un yn gyfrifol drosto ei hun. Yr oedd lluoedd Israel o dan lywodraethiad Moses ac Aaron; eto pan bechai rhywun, "Bydded dy bechod ar dy ben dy hun," oedd hi.

Gof. 4.—I ba raddau mae yr apostol Paul yn anog y gweision i fod yn ddarostyngedig i'w meistriaid?

Can belled ag nad oedd ymyriad yr awdurdodau yn cyfyngu ar eu rhyddid i gyflawni ewyllys ddatguddiedig eu Duw. Pes anogasai Paul hwy yn wahanol ac yn mhellach na hyn, buasai yn condemnio dadblygiad Moses, y tri llanc, a Daniel, y prophwydi, y Bedyddiwr, a Christ, Pedr ac Ioan o flaen y cyngor, o'u ffydd, ac yn benodol ei ymddygiad ei hun er ei droedigaeth! Buasai hefyd yn condemnio ymddygiad byth glodus holl anghydffurfwyr â thrais a chyfeiliornad, pob gwlad ac oes, yn wleidyddol a chrefyddol! Can belled ag yr hawliai Cæsar ddim ond ei eiddo, y ceisiai Llywiawdwyr gleddyf Duw; can belled, meddaf, ag yr ymddygai Llywiawdwyr yn ol darbwylliad synwyr cyffredin, ystyriwyf y golygai Paul i'r saint ufuddhau iddynt. Ar yr un pryd, nid wyf yn ystyried y golygai Paul i'r saint pan yn anufuddhau i fesurau anghyfiawn, wrthwynebu gyda thymerau gwyllt a chnawdol y byd annghrediniol; ond dangos anghyfiawnder y mesurau, mewn modd gostyngedig a charedig; ac os na wnai hyny y tro, dysgai hwynt i ddysgwyl yn amyneddgar a ffyddiog am ymwared yn amser Duw.

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

### XI.

Prosperity's the very bond of love;
Whose fresh complexion and whose heart together,
Affliction alters. — *Shakespeare.*

Llwyddiant yw cadarn rwymyn cariad;
Gwedd dirf yr hwn a'i galon oll y'nghyd,
Adfyd cyfnewidia.

—Dirwir a gydnabyddir yn rhwydd gan luaws o'r hil ddynol, a draethir gan y Bardd o Avon yn y llinellau uchod. Mae rhai o honom wedi profi, fel Timon o Athen, giliadau y rhai a'n hedmygent ac a'n clodforasent pan oedd y byd yn gwenu arnom; ond gyda'i wg, diflanasant megys cysgod pan nad oedd y sylwedd yno mwy!

Efallai mai'r peth anhawddaf i'r natur ddynol gymmodi ag ef, ydyw anffyddlondeb cyfeillion yr ymddiriedwyd ynddynt, y rhai a brofant mor arwynebol oedd eu proffes. Gall dyn a gyferfydd ag adfyd, yr hwn, heb unrhyw drosedd o'i eiddo ei hun, a symudir yn ddisymwth o sefyllfa lwyddianus a chysurus, i sefyllfa o dlodi, at yr hyn, yn fynych, yr ychwanegir afiechyd ac anhwylder meddwl—gall y cyfryw ddyn, meddaf, fod yn *well dyn*, yn mhob ystyr, nag oedd cyn ei godwm; yr hyn a ddengys fod ei brofedigaeth wedi bod yn fendith iddo. Ac etto dal yn ol y mae ei gyn-gyfeillion; rhai o honynt gallasid meddwl, o herwydd eu bod yn proffesu crefydd, a fuasent yn llawenychu yn ngherddediad amgenach eu hen gyfaill. Na, yr oedd cyfoeth yn cuddio lluaws o bechodau, tra nad yw rhinweddau yn cael cydnabyddiaeth ddyladwy, o herwydd mai tylawd yw yr hwn sydd yn eu harferyd! Onid yw yn anhawdd cadw y natur ddynol rhag chwerwi o dan y cyfryw gam-ymddygiadau? Ai rhyfedd i Timon ymneillduo i ddiffaethwch, a melldithio yr holl ddynoliaeth? Ond mae Cristionogaeth yn dysgu uwch philosophi na Phaganiaeth, fel y gall dyn, er ei holl friwiau, godi yn uwch na chil-

io i anialwch i fyw ar ei ben ei hun, gan ysgornio holl ddynolryw. Gall edrych i mewn iddo ei hun a chwilio a oedd efe yn hollol rydd oddiwrth farn gondemniol? A oedd efe wedi defnyddio y cynheddfau a pha rai y bendithiwyd ef, i wylio a rhagddarbodi fel y dylasai? Ac yn yr ymwybyddiaeth y gallasai iddo fod yn esgeulus, neu heb fod yn ddigon gochelgar, y mae yn ymostwng, ac yn araf ail godi o'r dyfnderoedd, gan gydnabod fod trugareddau hyd yn nod mewn barnedigaethau. "Da oedd i mi fy nghystuddio," &c.

Ond pan byddo *cariad* yn cyfnewid! O Shakespeare: A ydyw yn bosibl i'r lodes ddiniwed, brydferth, anwyl, serch a chariad yr hon wyf wedi enill yn hollol, priod fy mynwes, yr hon sydd yn meddwl nad oes neb gyffelyb i mi, yr hon a ddywed ei bod *yn fy addoli*, a ydyw yn bosibl i gariad *hon* gyfnewid, os goddiweddid fi gan adfyd yn y dyfodol?

*Prosperity's the very bond of love;*
*Whose fresh complexion and whose heart together,*
*Affliction alters.*

—"Nid y Sais a'i ddyfais ddig,
Aml ei anaf mileinig,
All ddifa'n iaith faith hen few,
D'wedaf mai gormod ydyw;
Rhaid i'r gweilch crasfeilch croesfaith
Ein lladd ni cyn lladd ein hiaith;
Gwn ein bod hyglod eglur
Yn un a'n hiaith berffaith bur.

Ni all yr holl ellyllon—na dyfais
Un diafl echryslon,
Llid anwar, yn llaw dynion,
Fyth roi craith i'r heniaith hon."

—Fe fydd y Testament Newydd Diwygiedig ar hyd a lled y wlad pan wêl y darllenydd y llinellau hyn. Fe fydd yn ddyddorol ei gymharu o'i ddechreu i'w ddiwedd, yn gyntaf, â'n Testament Seisnig awdurdodedig, 1611, a chyfrif y cyfnewidiadau; yna ei gymharu â'r Testament Cymreig. Gallem gasglu na fydd y cyfnewidiadau mor lliosog o'u cymharu â'n Testament Cymreig, gan fod ysgolheigion bron yn unfarn parthed rhagoriaeth y cyfieithiad Cymraeg o'r Beibl ar yr un Saesnaeg. Nid o'r Seisnig, ond o'r Hebraeg a'r Roeg y cyfieithiwyd ein Beibl Cymraeg. Ond y mae copïau gwell o'r Ysgrythyrau wedi eu darganfod—a'r goreu oll yn gymharol ddiweddar—nag oedd o fewn cyrhaedd cyfieithwyr y Beibl awdurdodedig, 1611—Beibl y Brenin Iago, fel ei gelwir.

Yr hyn sydd yn syndod yw, er bydd y diwygiadau yn rhifo miloedd lawer, ni effeithiant gyfnewidiad ar gymaint ag un erthygl o ffydd, nac un reol bywyd.

Cwyna Henry Ward Beecher yn ddwys am glywed o hono fod y dernyn prydferth o amlygiad calon yr Iesu, yn maddeu yr odineb-wraig, ac yn herio ei chyhuddwyr, yn cael ei dynu o'r Testament. Mae Beecher yn barnu y bydd o yno yn rhyw le—ar ymyl y ddalen fe allai—ond os na fydd, mae H. W. B. wedi dyweyd yn gyhoeddus y bydd iddo roddi dalen i fewn a'r hanes yn ysgrifenedig â'i law ei hun. Nis gallaf feio Beecher. Fe fydd i bob un sydd ganddo gopi o'r Testament a ddygwyd allan rai blynyddau yn ol gan yr *American Baptist Union*, yn debyg iawn o edrych sut mae hwnw yn sefyll wrth ochr y Testament Diwygiedig. Ryfeddwn i ddim pe byddent yn debyg iawn i'w gilydd. Cawn weled.

Yn awr, un gair o gyfarwyddyd. Fe fydd amryw o gyhoeddwyr llyfrau rhad yn dwyn allan argraffiadau iselbris o'r Testament Diwygiedig mor fuan ag y cânt afael ynddo. Mae'r *American Book Exchange*, 764 Broadway, New York, am ddwyn allan wahanol ffurfiau, yn dechreu mor isel a *phum' cent!* Eraill yn ddiau a gyhoeddant rai am *ddeg cent*, i redeg ochr yn ochr gyda'r *Dime Novels*. Da iawn! Er o bosibl y bydd yn yr argraffiadau hyn gyfeiliornadau, ni byddant o'r cyfryw natur ag i orbwyso y daioni o wthio o'r neilldu, i ryw raddau, y *rubbish* sydd yn llygru ac yn gwenwyno meddyliau ein hieuenctyd.

Ond gall pawb, ond odid, fforddio *pymtheg ceiniog*. Derbyniais *circular*

oddiwrth Thomas Nelson & Sons, 42 Bleecker Street, New York, yr hwn a'n hysbysa y bydd y *Revised New Testament*, *Oxford Edition*, i'w gael am y prisiau canlynol:

*Nonpareil 32mo.*—$0.15, .20, .65, .80, 1.75, 2.50, 4.00.

*Brevier 16mo.*—$0.50, 1.10, 2.25, 5.25.

*Long Primer 8vo.*—$1.00, 1.80, 3.25, 4.50, 7.50.

*Pica, Demy 8vo.*—$2.50, 7.00, 10.00.

*Pica, Royal 8vo.*—$4.00, 10.50, 16.00.

Dyna ddigon o amrywiaeth, o bymtheg cent i un-ddolar-ar-bymtheg—y cynwysiad yr un fath yn mhob un—y gwahaniaeth yn y pris yn ymgodi oddiwrth y wisg yn benaf, a'r llythyrenau i raddau llai. Gellir ymddibynu ar gywirdeb hollol yn y rhai'n oll.

—Mae yn wireb (*axiom*) yn ngwyddoniaeth poethder, fod gwres yn arledu pob corph, ac wrth gwrs y mae oerder yn eu byrhau. Ond y mae un eithriad brydferth a haelionus i'r ddeddf gyffredin hon. Y mae hon yn cael ei hamlygu yn y dwfr; oblegid a chymeryd 32 o raddau, yr ydym yn canfod fod oerder yn arledu y cyfan islaw 32, a gwres yn arledu y cyfan uwchlaw. Os cymerir dwfr yn 212 o raddau, a thynu oddiwrtho y gwres, parha i gwtogi (*contract*) nes cyrhaedd 32; yna mae y ddeddf yn cyfnewid, a'r dwfr yn arledu. Yn awr y mae cyfnewidiad y ddeddf hon, yn y man neillduol yma, yn arddangos yn rhyfeddol ragfeddwl haelionus y Bôd Dwyfol. Trwy y cyfnewidiad hwn, y mae y rhew yn symud yn y dwfr, onidê rhewai ein llynoedd, ein haberoedd, ein hafonydd, a'n ffynonau yn sylweddol—yn *solid*.

# Bwrdd y Golygydd.

## GAIR AT FY NGHYFEILLION YN AMERICA.

*Anwyl Gyfeillion*—Yr ydwyf wedi bod yn hir iawn cyn eich anerch, ond "gwell hwyr na hwyrach." Gwyddoch nad ydwyf yn ngwaelod y môr, na chwaith yn y ddaear, onide buasech wedi clywed oddiwrthyf yn gynt. Mae blinder, prysurdeb, a thipyn o afiechyd wedi fy rhwystro i ddanfon gair atoch hyd yn hyn. Ymadewais â'ch gwlad fabwysiedig fawr a phrydferth, yn Tachwedd, a chefais y gipdrem olaf, efallai am byth, arni o borthladd mawreddog, a braidd dihafal Efrog Newydd, pan ruthrai mil a myrdd o adgofion a myfyrdodau drwy fy meddwl, cofnodiad o ba rai a lanwent rifyn cyfan o'r Wawr. Rhoddais iddi ffarwel dwym a chalonog Cymro, gan wylo, a bendithio ei thrigolion a'i Duw. Wylwn a chanwn bob yn ail;

Wylwn ar ol fy nghyfeillion
Breswyliant America lân,
Ond cofio hen Walia anwylach
A droai fy nghwynfan i gân.

Cefais fordith lled arw ond cyflym, a gwnai cyflymdra iawn digonol am dwrw'r gwynt a berw mawr y môr, a melusai y cwbl y tiriad yn Liverpool. Fel hyn y bydd yn ddiau ar derfyn y fordaith fawr:

Po arwaf fyddo'r fordaith tua'r Gwawl,
Melusach fydd y porthladd tawel, clyd;
Po ddyfnaf fyddo'r ing, uwch fydd y mawl
I'r Oen fu farw dros ein heuog fyd;
Bydd hyfryd dôn ar dannau'r delyn bêr,
Yn fwy na thâl am chwerwon ddagrau oes;
Bydd mynyd dan y goron uwch y ser,
Yn anghof byth i ingawl boenau'r groes.

Yn mhen wythnos a diwrnod cefais fy hun yn hwylio i fyny trwy yr Irish Channel"—

"Gweled tiroedd ar bob llaw,
Gweled gwlad fy ngenedigaeth,
Gweled hefyd Gwerddon draw"—

A sicrhaf chwi na fu bachgen erioed yn falchach i weled ei fam neu ei gariad nag oeddwn i,

Pan welais gyntaf fryniau Gwalia wen,
O draw yn llu yn mwyn gusanu'r nen,
A Chymru yn addoli wrth eu godrau,
A'r nefoedd yn ymagor ar eu penau.

Wel, wir, yr oeddwn yn wylo, canu, caru, addoli, llesmeirio, cofleidio, cusanu a neidio. Efallai y dywedir mai gwendid oedd hyn oll, ond caniataer i mi unwaith ymffrostio yn fy ngwendid. Cefais lety a chroesaw a chysur yn nhy Mrs. James, 19 Union Street, Liverpool; ac ni cha teithwyr ei well, ac anaml ei gystal. Darlithiais yn Byrom Hall, nos Wener, ar "Dafydd Evans, Ffynonhenry," a chafodd yr hen frawd a minau dderbyniad croesawus, a chyrhaeddais orsaf Narberth nos Sadwrn, lle yr oedd amryw o'm cyfeillion yn fy nysgwyl, ac yn eu plith y plant bach yn llamu o lawenydd a balchder, ond "y fron yn rhy lawn i'r tafod lefaru," a minau yr un fath, ac arllwysiad môr o deimlad naturiol trwy gofleidio a chusanu.

Yn mhen tair wythnos traddodais ddarlith ar fy nhaith i America, ac erbyn hyn yr ydwyf wedi ei thraddodi mewn amryw fanau, ac mae "nhw" yn dweyd ei bod yn dda iawn, a minau yn lled goelio mai nid cyfeiliornad yw y cwbl. Fel hyn yr ydwyf wedi treulio fy amser trwy y gauaf mewn dweyd am America, a charu tipyn ar Gymru wen, ac y mae y "lleuad fêl" yn para hyd yma. Nid ydwyf wedi bod yn Cilycwm eto yn gweled bedd "Nero." Bwriadwyf fyned yr haf yma.

Cyflwynaf fy niolchgarwch gwresocaf i chwi, fy anwyl gyfeillion yn America, am eich nawdd i mi pan yna, am bob gair a gweithred garedig, am bob gwên serchog a chydymdeimlad Cristionogol a dderbyniais, a derbyniais lawer—mwy nag a haeddwn—a chymaint a allwn ddal; yr oedd yn ddigon i suddo lawr. Carwn eich enwi bob un; rhoddai hyn fwynhad i mi; ond gwn y gwnai yr hen gyfaill Giraldus dori allan i ddweyd, "O! 'r taid, Thomas bach, paid, wir, 'rwan, cofia brinder y gofod; O! 'r taid, paid 'rwan."

Nid anghofiaf byth eich caredigrwydd, a chyda diolch i chwi, diolchaf i Dduw pob dyddanwch am ei wenau a'i amddiffyn, am fywyd a mesur o iechyd, a hwyl weddol ambell waith, er gwaethaf blinder a gwres, y rhai a'm llethent yn lân, nes peri i mi waeddi yn aml, "Paid a mi, fel y cryfhawyf." Gofidiaf am na welais lawer a obeithiwn weled, ac hefyd am na chefais fwy o gyfeillach rhai sydd yn anwyl i mi, ond efallai y cawn fwy o amser y tro nesaf.

Diolch am y WAWR bob mis. Yr oedd yn ddyddorol o'r blaen, ond mil mwy yn awr. Parhaed i wenu ar wlad y Gorllewin, a thafled, fel arfer, ambell i wên lon arnom ninau yma.

Yn iach, yn iach, yn awr fy hoff gyfeillion,
Eich lluniau y'nt gerfiedig ar fy nghalon,
A thra bo hon o dan fy mron yn curo,
Nis gallaf fi yn wir eich hir anghofio.
Yn "ngwlad machludiad haul" bu'r cwrdd diweddaf—
Yn "ngwlad y dydd" efallai cwrddwn nesaf;
Bu melus i mi yna y gyfeillach,
Ond yn y Wynfa wen fe fydd felusach;
Mae Cymru lân o hyd ar dân yn moli,
A Duw o'r nef o hyd a wena arni;
Mae'n fyw ac iach, a'i serch yn dyn am danoch
A deigryn ar ei grudd yn cofio atoch;
Anwylaf, fwynaidd fam, mae'n caru beunydd
Ei phlant a drigant draw dros donau'r Werydd,
Ac wrth orseddfainc gras y gwna'n ddi-fraw
Y fam a'r plant yn fynych ysgwyd llaw—
Mae hi'n gweddio'n aml drosoch chwi,
A gwn gweddiwch chwithau drosti hi.
Mae'n falch i glywed weithiau ar ei thaith,
Eich bod yn caru 'ch Duw, eich gwlad, a'ch iaith,
A llona wrth wel'd y *Wasg*, y *Drych* a'r *Wawr*,
Yn dod oddiwrthych dros y Werydd fawr:
Parhaed y cariad rhwng y plant a'u mam,
A llosged byth mewn cenedlgarol fflam!

B. THOMAS (*Myfyr Emlyn*).

*Bushacre, Narberth, Ebrill* 18, 1881.

---

## DYFYNIADAU

### O GOFIANT Y PARCH. JOHN PRICHARD, D. D., LLANGOLLEN.

Ganwyd Dr. Prichard Mawrth 25, 1796, mewn ffermdy bychan yn agos i addoldy y Bedyddwyr yn Llaneilian, tua milldir o dref Amlwch, yn sir Fon. Enw y lle oedd Tan-y-graig, ond gelwid ef weithiau Llain-y-delyn, oddiwrth ddarn o dir ar ffurf telyn oedd yn perthyn i'r lle. Enw ei dad a'i fam oedd John a Jane Prichard. Ganwyd ei dad yn Chwefror, 1763, a bu farw Chwefror 12, 1837, yn 74 mlwydd oed. Ganwyd ei fam yn Gorphenaf, 1766, a

bu farw Mehefin 8, 1852, yn 85 oed. Claddwyd y ddau yn yr un bedd, yn mynwent y Bedyddwyr yn Glanwydden. Bu ei dad am flynyddoedd lawer yn gaethwas i ddiodydd meddwol, ond pan yr oedd tua 62 mlwydd oed, cymerodd cyfnewidiad trwyadl le, a bedyddiwyd ef a'i fab ieuengaf, Mr. William Prichard, Llandudno, ar yr un pryd, gan y Parch. John Roberts, wedi hyny o Lansilin. Dyma fel y dywed Dr. Prichard, yn nghofiant ei frawd, gyda golwg ar yr amgylchiad: "Golygfa ddymunol i gyfeillion y Gwaredwr, yn y nefoedd ac ar y ddaear, pechadur ifanc heb gyrhaedd ei ugain oed, a hen bechadur mawr dros driugain mlwydd oed, yn proffesu ar gyhoedd mai eu hunig obaith am fywyd tragywyddol oedd yn marwolaeth, claddedigaeth, ac adgyfodiad Iesu Grist, Mab Duw. Er fod fy nhad yn meddu synwyr cyffredin o radd uchel, yn weithiwr diddiogi, yn wybodus uwchlaw y cyffredin mewn mwnyddiaeth; fel y dywedwyd am Naaman y Syriad a'i ragoriaethau, 'ond yr oedd yn wahanglwyfus,' rhaid dywedyd am fy nhad, yr oedd yn oferddyn, ac yn ynfydddyn; defnyddiai ei synwyr a'i ddawn canu i ddifyru meddwon, a gwariodd yn ei oes ganoedd o bunau i feddwi ei synwyrau ei hun, a gwneyd cam a'i deulu. Wedi dyfod at Iesu, bu cyfnewidiad moesol mor eglur arno a chyfnewidiad maes-lywydd Syria. Llefai yn fynych mewn teimlad dwys, '*Mi* a gefais drugaredd!' Bu fyw am tua deuddeg mlynedd er gogoniant i'r hwn a'i cipiasai fel pentewyn o'r gyneu dân, a bu farw a'i 'bwys ar waed yr Oen.'"

Yr oedd ei fam yn wraig gynil, ofalus, a gweithgar. Llafuriodd yn ddiwyd i fagu ei phlant, yn ngwyneb llawer o anfanteision; ac er nad oedd, fel y rhan fwyaf o'i chyfoedion, ond dynes lled anllythyrenog ei hun, gwnaeth ymdrech ganmoladwy i roddi addysg i'w phlant. Yr oedd hithau mewn oedran lled fawr cyn proffesu crefydd, ond gan iddi fyw yn hwy na'r cyffredin, cafodd gryn lawer o flynyddau yn y winllan, a bu farw "gan ddysgwyl trugaredd ein Harglwydd Iesu Grist i fywyd tragywyddol." Darlunia Dr. Prichard ei hangladd yn y geiriau canlynol: "Claddwyd hi yn Llanwydden, ar yr 11eg o Fehefin, 1852, yn medd ei gwr, yr hwn a gladdwyd bymtheg mlynedd yn ol. Cyn cychwyn yno, pregethodd Mr. John Griffiths, ei bugail, oddiar Mat. 24: 42–44 yn synwyrol ac effeithiol. Ac yn Llanwydden, rhoddes Mr. T. R. Davies, i'w canu ar lan y bedd, y geiriau,

'Pan byddwy'n gorwedd yn y llwch,
Mewn heddwch gwna im' huno;
Ac adgyfodi ar dy wedd,
Pan glwywy'r bedd yn dadglo,'

ac a areithiodd yn briodol iawn i'r amgylchiad. Yr oedd yn brydnawn dydd Gwener teg—haul pump o'r gloch yn tywynu yn hyfryd ar y gladdfa lonydd, a'r golygfeydd, ac agwedd y ddaear yn adfywiol. Pan dawodd y cantorion, dechreuodd y gog byncio ei hundôn ar gangen gerllaw, a phan orphwysodd, tarawodd y fronfraith i ganu yn fwyn oddiar y cangau glaswydd, ar y llaw arall; a phan ddystawodd hithau, ail ddechreuodd y gog ei thôn amserol. Yr oedd prydferthwch yr olygfa, tegwch yr hin, tawelwch y llanerch, cynwysiad yr araeth, a mwyneidd-dra y cantorion, yn gwneyd i mi hoffi trigle llwch fy mam. Tra mae ei llwch yn gorphwys yma, gobeithio fod ei hysbryd mewn prydferthach bro, lle mae tecach hîn, a thawelach man, a mwynach cân; lle y cenir i'r Iesu, yr hwn a'n carodd, ac a'n golchodd oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun, ac a'n gwnaeth ni yn freninoedd, ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef. Iddo ef y byddo y gogoniant yn oes oesoedd; a hithau, mi hyderaf, yn uno yn y gân."

Nis gallasom gael nemawr i ddim o hanes hynafiaid Dr. Prichard yn mhellach yn ol na'i rieni; daethom ar draws cofnodiad fel hyn yn un o'i lyfrau pregethau: "Bu farw fy nhaid yn y gwanwyn, Chwefror neu Mawrth, 1825, yn y 86 flwyddyn o'i oedran, a chladdwyd yn Rhydwyn." Y mae nodiad fel hyn hefyd yn ei gofiant i'w frawd, Mr. W. Prichard: "Fel y gwel y darllenydd, nis gallai W. Prichard ymffrostio yn nghyfoeth ei rieni; eithr pan fydd-

ai plant y byd hwn yn ymffrostio yn anrhydedd bydol eu hynafiaid, gallasai yntau ddyweyd, 'Yr oedd fy nain i a Lord Dinorben yn gyfyrdryd, a'i daid ef a'i thaid hithau yn ddau frawd.'"

## AMGUEDDFA GYMREIG.

Dyddorol i ni, y diwrnod o'r blaen, oedd galw gyda y Cymro cenedlgarol, Daniel L. Jones, Ysw., Brooklyn, N.Y. Y mae ei anedd-dy yn wir deilwng o'r enw Amgueddfa Gymreig, gan mor llawn ydyw o weddillion hynafiaethol, yn dwyn rhyw gysylltiad a'n cenedl ni. Yn mhlith pethau eraill dangosodd *watch* y byd-enwog Oliver Cromwell, yr hwn oedd yn sicr, medd Mr. Jones, o gyff Cymreig, ac yn berthynas agos i Roger Williams. Wel, ai tybed hefyd y bu hon yn eiddo y gwron enwog Cromwell? Digon gwir, ebe Mr. J. Edrychem arni, teimlem hi, ac ymsyniem, gan geisio sylweddoli i ddwylaw y Cadfridog a'r gwr mawr hwnw fod yn ymaflyd ac yn trosi yr un gwrthddrych. Yn y man arweinid ni i fyny i oruwch-ystafell, lle y dangoswyd i ni wreiddiau coed afalau a estynasant eu breichiau yn ffurf corph dynol. Tystiolaethai Mr. Jones fod y gwreiddiau hyny wedi eu cael yn medd Roger Williams; ac fel rheswm am y ffurf a gymerasant, dywedai iddynt dyfu ac ymledu felly, gan gymeryd eu ffurf oddiwrth gorph maluriedig y Rhyddfrydwr enwog, pan gan reddf yr ymestynent yn mlaen am feithriniad. Cysegredig yn wir ydyw y gwreiddiau hyn gan yr hynafiaethwr cenedlgarol, Mr. Daniel L. Jones. Dangosodd i ni newyddiaduron a llyfrau yn cynwys erthyglau yn traethu am Roger Williams. Darllenasom yn un o'r papyrau hyn hanes cwrdd, flynyddau yn ol, a gynaliwyd er ystyried y priodoldeb o gael cofgolofn hardd ar fedd Roger Williams, yn mha un y cofnodid i Mr. Daniel L. Jones roddi can' dolar i ddechreu at hyny. Cydnabyddai un o'r siaradwyr yn y cwrdd hwnw fod y Cymro o Brooklyn yn hawlio Roger Williams fel yn perthyn i'w genedl ef; ac nid oedd dim i'w ddweyd yn erbyn hyny. Dangosai Mr. Jones i ni hefyd y rhifyn cyntaf o bapyr newydd Cymreig a gyhoeddwyd gyntaf erioed yn America, o dan yr enw *Cymro America*, sef cyfrwng pymthegnosol o wybodaeth fuddiol mewn hanesiaeth, athroniaeth, celfyddyd, crefydd, dysg, &c. Caerefrog Newydd, Ion. 1, 1833. Argraffedig gan J. Williams, 88 Heol Division. Deuddeg o rifynau a ddaeth allan. Dygwyd yr anturiaeth i derfyniad trwy i'r argraffydd gyfarfod a'i ddiwedd trwy foddi. Deallwn mai ar y boneddwr hwn, Mr. Daniel L. Jones, yr oedd y cyfrifoldeb o'i ddygiad allan.

Gofod a ballai i ni fynegu yr haner o'r henafiaethau Cymreig dyddorol a ddygwyd i'n sylw. Wrth ymfwynhau yn eu canol teimlem fel yn cael ein mantellu gan ysbryd henafiaethol Cymreig; a'n calon a gynesai wrth dderbyn croesawiad Cymro mor genedlgarol.

## "BRYS I FEDYDDIO."

*Mr. Gol.*—Yn mysg erthyglau dyddorol y WAWR y mae yn bleser genyf ddarllen yr *editorials;* ond synais nid ychydig at gynwys yr ysgrif uchod. Diau fod rhywbeth allan o le; ond ai tybed mai yn y "brys" yr achwynir yn ei gylch y mae y diffyg? Pa le y mae yr awdurdod Ysgrythyrol dros oedi bedydd? Onid bedydd *babanod* yw bedydd y Testament Newydd?—h. y., geni o *ddwfr* ac o'r Ysbryd yr un diwrnod! A ddywedir fod gan yr Apostolion lygaid mwy craff i ganfod twyll nag a feddir yn awr? Twyllwyd Phylip. (Act. 8: 13.) Cyfeirlwch at y *catechumens;* gwell genyf droi at yr Arglwydd ei hun. "Gwnewch ddysgyblion;" h. y., dygwch hwy dan fy iau; yna bedyddiwch hwy. *Wedi hyny* beth? "Gan ddysgu," &c. Dyna y gwir ddiffyg, yn ddiau. Gwnaeth yr eglwys foreuol—*nid* yr apostolaidd—ddysgu *cyn* bedyddio, yr hyn *nad yw* yn y comisiwn. Yr ydym *ni* yn esgeuluso dysgu *wedi* bedyddio, yr hyn

*sydd* yn y comisiwn. Nid pwyll mwy wrth fedyddio, ond ffyddlondeb mewn egwyddori y bedyddiedig, yw *angen mawr yr eglwys heddyw*—o leiaf dyna fel y darllenir yr Ysgrythyrau gan,

Yr eiddoch,

*Coatsville.* E. E.

Er a ddywed y brawd Edwards i'r gwrthwyneb, credwn yn ddiysgog ein bod yn iawn wrth ddweyd fod gormod brys i fedyddio, a rhy fychan o addysgu *cyn* bedyddio yn yr eglwysi y dyddiau hyn. Ond y pwnc mawr ydyw cael dynion i ddechreu y bywyd crefyddol yn ol y gair—eu cael wedi eu hail-eni. Rhy ddiweddar fydd dysgu dynion anghrediniol wedi eu bedyddio. Paham y rhaid cael Paul i blanu? Ni ysgrifenwn ragor ar y pwnc yn bresenol; bydd croesaw i rywrai eraill ymhelaethu arno. GOL.

## BRAWD FFYDDLAWN.

Pan yn gweinidogaethu yn Minersville, Pa., oddeutu tair blynedd ar ddeg yn ol, dygwyddodd i frawd ffyddlon, o'r eglwys, sef Mr. Isaac Owen, gyfarfod a'i ddiwedd yn y gwaith glo, trwy i ddarn o'r nen syrthio arno. Cynyrchodd ei farwolaeth ar y pryd deimladau trallodus yn ei deulu, yn yr eglwys, ac yn mhlith ei gyfeillion lluosog. Brawd da, ffyddlon, oedd ef, hynod selog gyda'r achos, mewn gair a gweithred. Ar gareg ei fedd yn Minersville, mae yr englyn canlynol yn gerfiedig:

Cywir oedd Isaac Owen—a duwiol
Ei duedd a'i elfen;
O'i wyro i'r ddaearen,
'N iach ei nwyf aeth uwch y nen.

Mae Mrs. Purcell, ei weddw, yn byw er's blynyddau yn Mahanoy City, yn chwaer dda, selog, ac yn deilwng o gael ei chyfrif yn un o ddiaconesau yr eglwys.

Pruddaidd gofiwyf Isaac Owen,
A'r ffyddloniaid flwyddi'n ol,
Oe'nt yn ffyddlon gyda'r achos,
Heb ymrwystro'n wag a ffol.
O, mor weithgar oedd yr eglwys,
Pawb yn llenwi'n dda eu lle,
Ac arwyddion hawdd eu gweled
O foddlonrwydd Brenin Ne'.

## YR ERTHYGL AR Y DEG LLWYTH.

Hyderwn y bydd yn dda gan ein darllenwyr gael yr erthygl ddyddorol hon, a welir yn flaenaf yn y rhifyn hwn. Ysgrifena y brawd Ap P. A. Mon atom, gan ddweyd, "Yr wyf yn gobeithio y bydd i chwi gyhoeddi yn y WAWR ysgrif y Dr. Hugh Jones ar y Deg Llwyth, bob gair—bob gair, nid *synopsis* o honi." A hyn yr ydym wedi cydsynio mor belled, oddigerth rhoi y cyfeiriadau Ysgrythyrol a llenorol a noda yr awdwr parchus, i ategu ei ymadroddion. Gadawsom y cyfryw allan, oblegid prinder gofod—rhoddwn y gweddill o'r ysgrif yn y rhifynau dyfodol. Canfydda y darllenydd sylwgar fod y gwaith yn cynwys llawer iawn o wybodaeth werthfawr. A chan fod y mater yn tynu cymaint o sylw dysgedigion ac eraill yn y dyddiau hyn, hyderwn y ca sylw darllenwyr y WAWR. Amcan yr ysgrif yw dynoethi y ffiloreg o ddechreuad Iuddewig y Prydeinwyr.

## WELE YMA.

Y mae arnom eisiau i'r darllenydd wneyd cyfiawnder ag ef ei hun ac a'r WAWR, mewn darllen yn fanwl ac ystyriol yr erthygl flaenaf o gyfres o erthyglau, a welir yn y rhifyn hwn. Ni phetruswn ddyweyd y talant iddo am ei drafferth. Mae yn dda genym weled y brawd anwyl William Jones yn trin ei wrthwynebydd mor fedrus; ni synwn ddim na fydd yn "gwichian" tipyn o dan y fflangell hon.

Yn canlyn ceir "Gohebiaeth o Gymru," gan y Parch. H. Cernyw Williams. Buasai yn hynod dda genym gael gohebiaeth oddiwrth Mr. Williams bob mis, ond dywed ei fod yn rhy brysur; addawa anfon atom yn awr a phryd arall. Wel, cofiwch, frawd Williams, yn sicr, canys mynych y cwynir gan ein derbynwyr da, "Gadewch i ni gael ychwaneg o hanes Cymru yn y WAWR."

"Hyn a'r Llall" sydd yn ddyddor-

ol, gan y Parch. John Evans, "brawd Fred." Anhawdd iawn ydyw cael gan y bechgyn doniol yma "*stico*" ati, i ysgrifenu yn gyson. Yr ydym yn benderfynol na chânt lonydd genyf o hyn allan.

"Y Parch. David Jones, Caerdydd," gan y Parch. D. W. Morris, Hyde Park. Na feddylied neb ein bod yn adolygu yn ein ffafr ein hunain. Galw sylw yr ydym at waith eraill, rhag na bo yr un briwsionyn yn myned ar goll. Dywed y brawd Morris, "Nid oes o fy mlaen yn awr un ddalen, na brawddeg, na gair, o hanes am dano; o'r hyn a ddarllenais, a glywais, ac a gofiais, yn unig, yr wyf yn ysgrifenu." Wel, *dear* anwyl, sut mae'r dyn yn cofio *dates* a manylion fel hyn! Addawa y brawd Morris ysgrifenu bob mis erthygl o natur hon ar y cewri Bedyddiedig Cymreig, y rhai y mae eu coffadwriaeth yn fendigedig.

Bydd yn fuddiol iawn i'r rhai ydynt ddiofal i gadw yn sanctaidd ddydd Duw, ddarllen yn fanwl atebiad y Parch. Llewelyn Rees. Mae yn ei wneyd yn fater personol. Diolchwn i'r brawd D. A. Davies am ddwyn y mater teilwng hwn i sylw.

Mae Ap P. A. Mon yr wreiddiol a detholedig o hyd. Mae ganddo ef damaid i'r llenorion, yn gystal ag i'r Cristionogion—i'r bach a'r mawr. Y neb a ddarlleno, ystyried.

## TYSTEB DR. PRICE.

Deallwn fod tysteb gyffredinol yn cael ei gwneyd yn Nghymru gan yr enwad, i'r Parch. Thomas Price, D. D., Aberdare; credu yr ydym y dylai ei gyfeillion yn America wneyd rhywbeth. Diamheu fod yn y wlad hon luoedd a deimlent fel rhoddi rhywbeth at dysteb y Dr. Price, yr hwn sydd wedi bod mor ffyddlawn dros ein hegwyddorion am gynifer o flynyddoedd. Pwy bynag fyddo yn ewyllysio cyfranu, gallant anfon eu rhoddion i ni, a throsglwyddwn hwynt i'r Trysorydd, gan roddi cyfrif o'r enwau yn y WAWR.

## Y PARCH. FRED. EVANS, D. D.

"Wel, y mae Ednyfed yn dod yn ol, onid ydyw?" Dyma fel ein cyfarchir yn fynych yn y dyddiau presenol. Yr atebiad sydd genym ydyw hwn: Mae yn debyg iawn ei fod yn dod yn ol yn y *fall* nesaf. Dywedir fod yr eglwys yn Franklin yn adeiladu *parsonage* iddo erbyn y daw.

## MYFYR EMLYN.

Yr oeddym wedi dechreu digio wrth Myfyr Emlyn, wrth ei weled ef mor anniolchgar, ac mor anghofus o honom, wedi iddo ein gadael. Mae wedi enill ei le yn ol yn ein serchiadau eto, trwy iddo anfon atom oll yr anerchiad cynes a welir yn y rhifyn hwn. Gwylied ef redeg dim ar ein gwlad ni i lawr, wrth ddarlithio arni draw yn Nghymru. Bydd yn dda genym glywed oddiwrtho yn fuan eto.

## TRO FFOL.

Rhoddodd y seneddwyr Conkling a Platt, o Dalaeth New York, eu swyddi i fyny fel seneddwyr y Talaethau Unedig, ar y 16eg o'r mis diweddaf, am eu bod yn wrthwynebol i benodiad y Barnydd Robertson gan yr Arlywydd yn Gasglydd i borthladd New York. Mae y blaid Werinol yn gyffredinol yn condemnio y weithred. Mae y cynseneddwyr yn dra awyddus i gael eu hail-ethol; ond cynelir cyfarfodydd yn mhob parth o'r Dalaeth a danfonir deisebion i'r cynrychiolwyr yn Albany yn deisyf arnynt beidio ei hail ethol, a dewis seneddwyr yn eu lle a gefnogant yr Arlywydd. Achosodd y mater gryn gyffro.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Llesg gan henaint ydyw y Parch. D. Jenkins, Hubbard, O. Ychydig mae yn ei ymlwybro yn bresenol. Da

fod ganddo "dicinach" erbyn dyddiau blin. Dymuna ei gofio yn gynes at ei gyfeillion oll. Enwa amryw o'i hen ffryndiau y mae yn cofio yn fawr atynt.

—Drwg genym orfod dweyd fod y brawd anwyl y Parch. Benjamin Bowen, Olyphant, yn dyoddef yn drwm oddiwrth effeithiau anhwylderau corphorol a phwysau blynyddau. Nid yw yn gallu pregethu ond ychydig ambell dro.

—Mae y Llawlyfr Moliant wedi cymèryd yn America yn ardderchog. Y mae naw cant wedi eu gwerthu eisoes, a buasai y FIL wedi myned er's wythnosau pe yn yr hen nodiant. Anfonodd y pwyllgor yn Nghymru gant o gopiau yn y sol-ffa yn fwy na'r archeb, ac y mae cynifer a hyny yn ormod. Dichon, o ran hyny, fod amryw eto fuasai yn hoffi cael rhai o honynt. Byddwn yn anfon am gyflenwad newydd yn ddioed yn yr hen nodiant. Brysied pawb fyddo am ychwaneg i anfon atom faint sydd eisiau, canys ni anfonwn ond yn ol rhif yr archebion. Gwelwn fod yr ugeinfed fil o'r llyfr allan yn Nghymru. Mae argraffiad bras heb y tônau yn cael ei ddwyn allan hefyd, i'w roi ar y pwlpud, ac at wasanaeth hen bobl a phersonau gwanaidd eu golygon.

—Y mae y Parch. John E. Evans, Woodbine, Ill., wedi dod yn ol yno, wedi bod am flwyddyn yn mhellach yn y Gorllewin. Mae Mr. Evans yn selog dros y WAWR, a da genym bob amser glywed oddiwrtho.

—Diolchwn i'n cyfeillion yn y Gorllewin am eu ffyddlondeb dros y cyhoeddiad.

—Y rhwystr mawr yn Burmah i lwyddiant yr efengyl ydyw Buddiaeth (*Buddhism*). Gwel y "Maes Cenadol" yn y rhifyn hwn.

—Ebai y brawd Thomas Evans, Sioux Rapids, Iowa: "Frawd Griffith—Yr ydym yn meddwl y gallech chwi fod yn gwybod am ryw rai ydynt yn awyddus i symud i'r Gorllewin. Os gwyddoch am ryw rai, byddwch cystal a rhoddi cyfarwyddyd i ni i ysgrifenu atynt." Gwnawn, gyda y parodrwydd mwyaf; canys gallwn yn galonog anog pobl o duedd ymfudo i'r Gorllewin i ddewis eich sefydliad chwi—sefydliad campus ydyw.

—Mae ugain o WAWRIAU yn myned i Morris Run yn fisol. Y brawd ffyddlon John W. Phillips, yw y dosbarthwr, a gwna ei waith yn rhagorol.

—Da genym fod yr achos Bedyddiedig Cymreig wedi ei ail gychwyn yn Shamokin, Pa., yn yr hen gapel; mae y brodyr ydynt yno yn teimlo yn selog ac yn benderfynol i wneyd eu goreu dros yr achos. Pregethir iddynt gan y Parch. Jeremiah Griffiths, Ashland.

—Er mor ychydig mewn nifer ydyw y frawdoliaeth yn Mount Carmel, Pa., nid yn hawdd y ceir brodyr mwy ymdrechol na hwynt. Maent yn benderfynol o weled y ddyled sydd ar y capel wedi ei symud cyn hir. Mae ganddynt dy cwrdd bach twt.

—Diolchwn i Mr. David T. Price, British Columbia, am barhad ei ffyddlondeb. Un o deulu y Cefn Mawr yw ef, ac un o ddysgyblion yr anwyl Ellis Evans, D. D.

—Bydd yn dda gan gyfeillion y Parch. Jonathan Nicholas, Spencer, N. Y., ddeall ei fod ef yn hynod hapus ac yn llwyddianus yn maes ei weinidogaeth.

—Mae y Parch. Edward Jenkins wedi symud i Palmyra, ac yn cyfyngu ei weinidogaeth i'r eglwys yn y lle hwnw yn bresenol. Mae Palmyra yn dod yn lle poblogaidd, gweithfeydd glo yn agoryd a lluosogi, yr hyn sydd yn tynu llawer o weithwyr i'r ardal.

—Ysgrifena gohebydd o Rolling Mill Hill, ger Wilkesbarre, Pa., atom fel hyn: "Mae yr achos ar ei gynydd, cyfarfodydd poblogaidd ar y Sabboth, Mr. John Roberts yn pregethu yn dra derbyniol gan y bobl a'r gwrandawyr. Diolchwn i Dduw trwy Iesu Grist am ei anfon yma. Mae yma ysgol Sabbothol lled gref—rhifa oddeutu 70 ar gyfartaledd."

# Barddoniaeth.

## RHOSYN CYNTAF YR HAF.

Testyn Cystadleuol Eisteddfod Hyde Park, Dydd Gwyl Sant Padrig, 1881, ar fesur "Toriad y Dydd."

Mae rhosyn cynta'r hafddydd yn tyfu yn y drain,
Fel llygad seraph syllu mae, pan fyddo'r coed yn gain;
Y tecaf yw y rhosyn o flodau heirdd y maes,
A gemyn yw, digymar un, mewn gwisg o hugan laes;
Mae ef yn blentyn anian, a thyner yw ei rudd,
O'i lwyn mae peraroglau swyn yn taenu gyda'r dydd,
Mae hefyd yn adloni ac yn adfywio'r claf,
A balchder sydd mewn llanerch am rosyn cynta'r haf.

Y rhosyn sydd yn gwenu y'ngwyneb haulwen dlos,
Mae addurn prydferth ar y berth, aroglir ef y nos,
Y blaenffrwyth yw o'r meirw, a phlentyn cynta'r haf:
Y tyst ffyddlona' y cawn cyn hir hoff ffrwythau llawn a braf;
Mae gruddiau coch y rhosyn yn gelf o waith ein Duw,
A gwyrddion ddail y ddraenen fad i'r rhosyn gorsedd yw;
Mae gwlith yn ei addurno â pherlau heirdd o'r nen,
Ac yntau sydd fel seren dlos rhwng cangau'r ddraenen wen.

Y blodau a fu'n harddwch sydd eto yn eu bedd,
A rhosyn cynta'r hafddydd mwyn sydd ar ei newydd wedd,
A llun y gwanwyn arno yn newydd a di-ail,
A'r huan wenodd ar ei wedd, a gwridodd yn y dail;
Mae'n brawf o adgyfodiad gwiwedig flodau'r nais;
Er bod yn mynwent gauaf du, cyfodant wrth ei lais,
Y ddaear oedd yn llwydaidd a welir mewn gwisg werdd,
A rhosyn cynta'r hafddydd sy'n gain a thestyn cerdd.

Mae'r ddaear oll mewn pryder am wel'd y rhosyn mad
Sydd wyn a gwridog fel yr haul a chenad Duw i'n gwlad;
Mae gwel'd y rhosyn cynta'n dadlenu'r haf a'i fri,
A phobpeth byw o fewn y byd a fola'r rhosyn cu;
Y Duw fu yn gofalu am rosyn cynta'r haf
Yn nyfnder oerni'r gauaf du, a dd'wedodd minau gaf
O ddyfnder bedd fy nghodi i eistedd gydag ef
Yn hardd fy llun fel Iesu gwiw yn ninas bur y nef.

*"Iolo Fychan,"*
Sef Edward E. Jones, Providence, Pa.

## Y GWAS ESGEULUSEDIG.

A chamrau blin, a llygad llaith
Ai dyn disylw ar ei daith—
Dyn Duw a daflwyd heibio;
A dd'wedir iddo wneuthur drwg,
A thynu arno wawd a gwg
Y rhai sy'n ei ddibrisio?

Na, ni wnaeth ddrwg, mewn gyrfa hir,
Ond gwnaeth ei oreu dros y gwir,
A thros eneidiau dynion;
Ei fywyd ro'es yn aberth byw
Er lles i ddyn a chlod i Dduw;
Er cymaint ei dreialon.

Ond dyrnod drom afiechyd maith
Osododd derfyn ar ei waith,
Ac ar ei ddefnyddioldeb;
Yn marn y byd, nid yw yn awr,
O unrhyw les tra ar y llawr
Nes cyrhaedd anfarwoldeb.

A chamrau blin, a llygad llaith
Mae'n myned eto ar ei daith,
Ond 'nawr mae yn heneiddio;
A'r rhai fu gynt yn canu'i glod
Sy'n edrych arno'n myn'd a dod
Heb farch, na sylw iddo.

Heb allu enill dim at fyw,
Na dim yn 'stor, ond cyfoeth Duw—
A oes rhyw rai i'w beio?
"Ni fynwn ddyn," medd Dives hy',
"A lanwo'i le mewn parch a bri—
A neb yn *beiddio wfftio*.

Er cael ei wrthod amser maith,
Nid llwyr unigol yw ei daith—
Daw'r Anweledig ato;
Ac enfyn ef ei engyl glân
I'w nerthu ar ei daith yn mla'n,
A gweini cysur iddo.

A chamrau blin, a llygad llaith,
Nis gwelir mwyach ar ei daith,
Wr Duw yn myned heibio;
Mae'r gwaith ar ben, ac yntau'n rhydd,
Yn nghwmni Duw a theulu'r ffydd,
Heb byth ei esgeuluso.

Nac ofned unrhyw was i Grist,
Er gorfod rhodio'n wyneb drist,
Mewn nychdod a thylodi;
Er bod yn hen, a'i daflu ma's,
Ni edy ef ei ffyddlon was—
Ca nefoedd i gartrefu.

Arall-eiriad, gan J. Edred Jones.

## ENGLYN CAREG BEDD

Y PARCH. THOMAS HOLLAND.

Yr awr hon, y llon ddarllenydd—ystyr
Yn wastad dy ddefnydd,
A chofia 'n bena' beunydd
Heb ragfarn y farn a fydd.—Y GOG.

## MAWREDDAU'R IESU.

Enw Iesu sydd yn anwyl,
Ynddo ceir trysorau'r nef;
Ac nis gall un sant na cherub
Dreiddio ei fawreddau ef;
Pwy sydd debyg, &c.,
Iddo cân holl deulu'r nef.

Iesu, prophwyd mawr ein cyffes,
Archoffeiriad odiaeth yw,
Brenin y breninoedd hefyd
A chynaliwr pobpeth byw;
Duw y duwiau, &c.,
Cyd-addolwn ger ei fron.

Os edrychwn ar y cread,
Gwelwn yno allu Duw,
Ond wrth edrych i Galfaria
Gwelwn feirw'n dod yn fyw,
Gwyrth y gwyrthiau, &c.,
Gwyrth y cariad mwya' 'rioed.

Mae y perffeithderau dwyfol
Yn dysgleirio yn yr Iawn,
A gofynion deddf doredig
Oll yn cael boddlonrwydd llawn,
Haleliwia, &c.,
Byth coroner ef yn ben.

*Parsons, Pa.* HUGH OWEN.

## LLINELLAU

AR OL Y DIWEDDAR JOHN E. JONES, PICATONICA, WIS.

Brawd fu farw 'n Picatonic'
Oedd yn addurn mawr i'r lle;
Byr y cystudd yma gafodd
Pan y galwyd ef i dre'.

Un o'r rhai ffyddlonaf ydoedd
Yn yr eglwys ar bob pryd,
Fel pren almon 'mhlith y coedydd
Yr adwaenid ef o hyd.

Ffyddlon swyddog am flynyddau
Y gweinyddodd ef i'r saint,
Ni phetrusai gario beichiau
Gan nad beth eu rhif a'u maint.

Oedd ddadganwr tra rhagorol
A'i holl enaid yn y dôn,
Bywiog ganai a gweddiai
Fel 'r arferai yn sir Fon.

Nid gwan ganwyll oedd dan lestr
Fel mae llawer yn y ty,
Ond yr oedd yn seren oleu
Amlwg yn ein hardal ni.

Mawr y gofid sydd o'i farw,
Galar sydd yn eglwys Dduw,
A'i berth'nasau a hiraethant
Ar ei ol tra byddont byw.

Mae y meddwl yn ofidus
Pan yn claddu saint y ne',
Heb un arwydd yn yr ardal
Cael rhai eraill yn eu lle.

Bendith Ior fo ar ei weddw
A'i berth'nasau oll sy'n fyw;
Cofia dithau, hoff ddarllenydd,
Gadw holl orch'mynion Duw.

*Picatonica, Wis.* D. D. HOWELL.

## YR IESU A SAFODD.

Yr Iesu a safodd! Pwy safodd? Ow! syndod!
Creawdwr mawr fydoedd aneirif y nen,
Cynaliwr y cread—y Duwdod mewn dyndod,
Y cadarn Jehofah—yr Ior dyrchafedig;
Tad tragwyddoldeb—'r anfeidrol Fôd mawr,
Y Duw Hollalluog—yr Ydwyf mawreddig;
Ei gamrau ataliodd! do, safodd yn awr;
Yr Iesu a safodd! O, syned angylion!
A oes rhyw ddyryswch trwy'r cread yn bod?
A wyrodd planedau o'u cyson gylchdroion?
A gollodd rhyw seren fawreddog ei nod?
A ydyw deddf natur 'n ei grym wedi pallu?
A neidiodd yr haul o'r canolbwynt yn syn?
A ydyw dymchweliad y cread yn nesu?
Yr Iesu a safodd! O! beth ydyw hyn?
Yr Iesu a safodd! Oes engyl yn syrthio?
Diamheu fod uffern ar enill y dydd!
Mae cedyrn golofnau y nef yn dadfeilio!
Yr uchel orseddfainc ar syrthio y sydd!
Na, O! na, gwel acw rhyw ddall sydd ar weddi!
O! Iesu Fab Dafydd, trugaredd i mi,
Cyn gwrthod ei wrando, ca'r cread ymdd'rysu,
O! weddi, O! weddi, un ryfedd wyt ti!

## ENGLYN

I GLOCHDY EGLWYS BABYDDOL FROSTBURGH.

Y Clochdy a ddeffry ddyffryn—y pen,
O'r Pab y mae'n ddarlun;
'E gura'r gwynt ei goryn
A'i groes gan awel a gryn.

*Palmyra, O.* GABINTWR.

## FFRWYDRIAD MEWN GWAITH GLO.

O'r danchwa! dyna daniad—yr angeu
A'i rengoedd sy'n siarad;
Ar faes brwydr dost y ffrwydriad,
Erchyll lais archolla wlad.

J. P. HARRIS (*Ieuan Ddu.*)

# Y Maes Cenadol.

GAN Y GOLYGYDD.

O herwydd afiechyd yn y teulu, mae y brawd ffyddlon, y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, wedi methu anfon un dwysen i'r Maes Cenadol y mis hwn. Nid oes genym ond ysgrifenu gair ein hunain am y tro. Yr hyn gaiff fod o dan ein sylw fydd sefyllfa Buddaeth (*Buddhism*) yn Burma.

Cymerwn ein cyfarwyddo gan ysgrif alluog ar y pwnc yn y *Standard*, Chicago, am Mai 12, gan y Parch. J. N. Cuning, cenadwr y Bedyddwyr yn Burma. Gwnaed dau fath o adroddiad yn ddiweddar mewn perthynas i Buddaeth yn Burma. Dywed un: Y mae Buddaeth yn colli tir; mae ei ddelwau a'i bagodau yn dadfeilio, a'i allorau a'i demlau yn cael eu hesgeuluso fwy-fwy. Mae y llall yn tystiolaethu fod llafur diflino cenadon Eglwys Loegr, eglwys Rufain, a'r Bedyddwyr, er ys rhyw ugain mlynedd, wedi bod braidd yn hollol ddieffaith, hyd yn nod mewn perswadio y Burmiad mor ddiwerth yw ei grefydd. Mae awdwyr y ddau adroddiad hyn wedi cael profiad personol o waith cenadol yn Burma.

Os cyfyngwn ein hystyriaeth o effeithiau gwaith cenadol yn mhlith y Burmaniaid, y genedl gryfaf yn y wlad, mewn rhif a dealltwriaeth, mae yr ail adroddiad yn llawer nes i'r gwirionedd na'r cyntaf. Yn y ddau adroddiad cyfeirir at Buddaeth; gan hyny rhaid gadael y Kareniaid allan o'r cyfrif. Yn wir, hyd yn hyn, oblegid llwfrdra y Kareniaid, yn cael ei feithrin gan orthrwm oesau, o dan lywodraeth Burmah, ac oddiwrth y ffaith eu bod hwy fel pobl yn preswylio y mynyddoedd a'r diffaeth-leoedd, gryn bellder oddiwrth y Burmaniaid, nid yw y Cristionogion Karenaidd, er eu bod yn gorph mawr mewn rhifedi, yn cario ond ychydig ddylanwad uniongyrchol ar y Burmaniaid, y genedl gryfaf. Ar ol triugain mlynedd o lafur caled ac ymroddol, nid oes i gyd ond rhyw bymtheg cant o gymunwyr Burmanaidd, tra y mae poblogaeth Burma Isaf yn rhifo amryw filiynau. Pan yr ystyriwn gymeriad Buddaeth, a'i afael ar y meddwl Burmanaidd, mae genym resymau digonol i fendithio Duw fod *cynifer* o ddychweledigion. Eto ni ellir dweyd mewn un modd fod Buddaeth yn colli tir. Y mae mewn cyflwr cynyddus yn bresenol, fel y dengys ychydig ffeithiau.

1. Ni fu dyddiau addoliad y llawn a'r newydd loerau erioed yn cael eu cadw gan fwy o addolwyr, ac ni fu yr offerynau erioed yn fwy cyflawn ac yn fwy drudfawr nag yn bresenol. O dan heddwch a llwyddiant y llywodraeth Seisnig, mae canoedd o'r Burmaniaid wedi dyfod yn gyfoethog. Mae masnach y *rice* yn neillduol wedi cyfoethogi y wlad, y trinwyr yn gystal a marsiandwyr y dinasoedd. Ni chyfyngir offrymau mwyach i *rice*, ffrwythau a blodau y wlad, a nwyddau o wneuthuriad cartrefol. Defnyddir nwyddau o wledydd pellenig i raddau mawr. Wrth ymweled yn ddiweddar (ebe y cenadwr) a'r *pagoda* mawr, canfyddais wrthddrychau o wneuthuriad Seisnig yn gorchuddio y byrddau, megys potiau o *jam*, canwyllbren arian, a phethau eraill o darddiad tramor, y rhai oeddynt offrymau dau ddyn cyfoethog.

2. Ar wahan oddiwrth roddion mawrion, ni fu erioed symiau mwy yn cael eu treulio i adeiladu neu adgyweirio adeiladau nag yn bresenol.

3. Mae gallu y mynachod yn aros heb ei wanhau. Yn gymaint ag y dysgwylir i bob plentyn o fachgen i fyw yn y mynachdy am ryw amser, mae y mynach yn meddu y cyfleusdra i roddi cyfeiriad am ei fywyd i feddwl ieuanc y plentyn. Y canlyniad yw, fel rheol, mae y Burmaniaid, dysgedig neu annysgedig, yn edrych gyda pharch ar y swydd offeriadol, ac yn dangos eu parch mor hir ag y byddo yr offeiriaid yn ymddwyn yn deilwng. Yn ddiweddar yn Zaloon, pan y cerddai offeiriad Burmaidd o'i fynachdy i lan afon i fyned gyda y bad i Ragoon, efe a dderbyniwyd gan y ffyddloniaid a lanwent ochrau y ffordd ar bob llaw yn y fath fodd fel yr ymostyngent ar lawr gan

roddi gwallt hir eu penau ar draws ei lwybr fel y gallai gerdded arno. Mae rhai o'r bobl hyn wedi eu haddysgu mewn ysgolion Seisonig, er hyny yn hollol barchusol yn eu hymddygiad tuag at swyddogion offeiriadol.

4. Y mae ysbryd cenadol bywydus yn mhlith y Buddiaid. Er's amser maith mae yn ddiamheuol fod Buddiaeth yn gwneuthur mwy o ddysgyblion o blith y Kareniaid, na Christionogaeth. Mae ymdrechion mawrion yn cael eu gwneyd yn bresenol i argraffu mân draethodau Buddaidd, a rhanau o'r llyfrau cysegredig, fel ag yr ydym ni yn argraffu mân draethodau o'r Ysgrythyrau. Mae dau sefydliad argraffu yn Ragoon, yn dwyn allan argraffiadau o ddeng mil o gopiau ar y tro. Gwasgerir y llyfrau hyn ar led yn yr heolydd, yn y pagodau, ac yn y *jungles*. Mae cynllun yn awr ar droed i ffurfio cwmni o Burmiaid cyfoethog gyda chyfalaf o 500,000 *Rs.*, er adeiladu adeilad *brick*, a'i wneyd yn ganolfan i argraffu a gwasgaru y Betagat, neu Ysgrythyrau Buddiaeth—math o *Buddhist Bible Society*. Ofna y cenadwr hwn nad ydyw gwir sefyllfa Burma yn cael ei iawn ddeall gartref. "Yr ydym yn clywed," meddai, "am ein mwy na phedwar cant o eglwysi, ac un-mil-ar-hugain o gymunwyr yn Burma. Nid ydym yn clywed mor aml fod dim ond yn unig yn nghylch ugain o eglwysi *Burmaidd*, a phymtheg cant o gymunwyr *Burmaidd*, tra nad yw y mwyafrif o'r eglwysi Karenaidd, oblegid eu sefyllfa a llwfrdra y Kareniaid, yn cario unrhyw ddylanwad gweledig bron ar y Burmiaid, ac fel hyn ar Buddiaeth Burma. Mae y gwaith mawr o ddychwelyd Burma i gael ei wneyd eto."

Mae y Bedyddwyr Americanaidd wedi rhoddi sylfaen ardderchog i lawr. Amser a ddengys a wnant hwy oruwchadeiladu ar y sylfaen a roddwyd i lawr ganddynt, neu adael i eraill i'w wneyd. Yr adeg hon mae genym yn Burma bedwar o genadon gwrywaidd yn mysg y Burmiaid. Gweithio yn mhlith y Burmiaid ddylai fod ein prif ymdrech. Ond yn hytrach na bod Buddiaeth yn lleihau, ymddengys mai rhif y cenadon sydd yn lleihau. Yn gymaint a bod y gwaith cenadol yn arwydd o fywyd yr eglwysi, a bod ein maes Bedyddiedig henaf hwn yn cael ei esgeuluso mor annghyffredin, fel nad oes genym heddyw ond pedwar dyn ar gyfer pedair miliwn o Burmiaid yn Burma Isaf, onid yw yn bosibl fod Cristionogaeth Americanaidd yn lleihau? Os nad ydyw, gadewch i ni gael nifer lluosog a chryf o ddynion. Mae Bassein, Henthada, Shawaygyeen, a Tavoy heb un cenadwr Burmaidd, tra y mae Burma Isaf yn unig, canol-fanau pwysig o boblogaeth fel Thayet, Neyo, Myanoung, a Pegu, heb erioed gael cenadwr, heblaw y flwyddyn y bu Douglas yn byw yn Myanoung. Yr hyn sydd eisiau ydyw anfon nifer cryf o genadon *Burmaidd*, —digon trwy fendith Duw i wneyd Buddiaeth i ddarfod mewn modd gweladwy.

---

## HANESION CARTREFOL.

### NILES, O.

Mae yr eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn yn adnewyddu, a llafur ein gweinidog, sef y Parch. D. C. Thomas, yn cael ei fendithio—plant afradlon yn dyfod adref, ac ambell un o'r newydd yn dweyd, "Awn gyda chwi." Mae yr ysgol Sabbothol hefyd wedi cymeryd agwedd newydd; ein gweinidog yw yr arolygydd. Er hyn oll edrych yr ydym am well amser, sef mwy o lwydd. —*Brawd.*

### DAWN, MO.

*Mr. Gol.*—Dymunol genym wneyd yn hysbys i'n brodyr a'n chwiorydd drwy'r wlad a'r byd, am lwyddiant egwyddorion teyrnas ein Harglwydd Iesu Grist. Mae yma lwyddiant parhaus ar yr achos goreu. Mae ein haddoldy yn cael ei lanw â gwrandawyr, a'r efengyl dragywyddol gyda nerth a dylanwad anwrthwynebol yn cael ei thraethu, a'i derbyn fel gwir air Duw. Sabboth, Mai 1, 1881, wedi pregeth Saesneg gan y gweinidog oddiwrth 2 Bren. 5: 10—12, aeth y dyrfa yn eu cerbydau tua

fferm y brawd Thomas E. Thomas, lle yr oedd dyfroedd lawer yn gyfleus i fedyddio. Wedi canu yr hen emyn anwyl,

> "Mi welaf yn medydd fy Arglwydd
> Ogoniant gwir grefydd y groes," &c.,

aeth ein gweinidog, y Parch. R. M. Richardson, yn llawn zel, i mewn i dreio y dwfr; daeth yn ol ac arweiniodd un fenyw ieuanc, a chladdodd hi yn ddiesgeulus yn y dyfrllyd fedd, yn ol y cynllun ysgrythyrol, a threfn ddieithriad yr oes apostolaidd, yna arweiniodd ddwy ferch ieuanc, bob yn un ac un; ac yn eu canlyn daeth dau ddyn ieuanc, dau frawd naturiol, a chrefyddol bellach, i ufuddhau i orchymyn Crist. Teg yw dweyd, fod y 5 a fedyddiwyd yn aelodau o'r un teulu, sef plant W. R. Hughes, gynt o Pont-y-beren, yn agos i Bonthenry, Sir Gaerfyrddin, D. C., a thystiolaeth unfrydol y dorf fawr o edrychwyr ydoedd, na welsant weinyddiad ac ufudd-dod mwy gogoneddus ac ardderchog erioed.—Llwyddiant eto i air gwirionedd yr efengyl, nes enill y byd o'i blaid, a chael dynion y ddaear i dalu mwy o sylw i orchymyn Crist, pen yr eglwys, nag i ofergoeliaeth Babyddol dynion hunanol.

O, ïe, mae "Llawlyfr Moliant," y rhai a anfonasoch i'r brawd J. A. Lewis, yn gwerthu yn rhwydd, ac wedi cymeryd lle casgliad Lewis Jones eisoes. Yn wir, maent yn dda odiaeth, ac yn deilwng o gefnogaeth unfrydol yr enwad Bedyddiedig.

Bydd ein Cymanfa eleni yn Clay Co., Iowa, Meh. 18—20, 1881. Ai tybed y bydd Dr. Cefni Parry yno?—deallwn yn ddystaw bach, felly, fod eglwys Bevier, Mo., wedi sicrhau ei wasanaeth fel ei gweinidog. Da iawn. Bydd yn dechreu ar ei weinidogaeth yno yn fuan. Yn gywir, fel arfer—*Gwenffrwd.*

---

EGLWYS Y COED, GER DODGEVILLE, WIS.

Mae yma eglwys fechan o Fedyddwyr, a golwg hynod lewyrchus arni yn brresenol. Yr ydym yn amddifad o weinidog er pan y cipiodd angau o'n plith y dyn da, y Cristion cywir, a'r pregethwr rhagorol hwnw, sef y Parch. Thomas Holland. Cawsom bregethu achlysurol yma gan y Parch. William Jones, Ridgeway, hyd nes yr ymadawodd â Ridgeway. (Da genyf gael ar ddeall ei fod wedi dychwelyd.) Efe a wnaeth ddaioni mawr yn ein plith, ac a fedyddiodd amryw. Hefyd mae y brawd ffyddlon a doniol David M. Powell yn ein hanerch rai gweithiau.

Mae yma ffyddlondeb neillduol yn mysg y brodyr a'r chwiorydd, cyrddau gweddi ac ysgol Sabbothol yn cael eu cynal yn gyson, a chynulleidfa ragorol bob Sul—gweddiau taerion yn cael eu hanfon at Dduw ar ran y gwrandawyr, ac y mae yntau yn ein hateb trwy ychwanegu at ein rhif. Gobeithio nad yw hyn ond blaenffrwyth o gynhauaf toreithiog yn y dyfodol.

Talodd y Parch. John Thomas, o Braidwood, Ill., ymweliad â ni, a Sul, y 17eg o Ebrill cawsom ddwy bregeth ganddo; yr oedd yma gynulleidfa dda, a chafodd pawb eu boddloni. Hefyd pregethodd y nos Wener canlynol a Sul y 24ain. Y mae Mr. Thomas yn ddyn serchus, yn llefarwr hyawdl, ac yn bregethwr penigamp. Teimlad yr eglwys yw y carai ei weled yn dyfod a sefydlu yn ein plith.—*T. R. J.*

---

GIRARDVILLE, PA.

Yn y lle hwn mae y Parch. D. T. Davies yn gweinidogaethu. Cymro cywir-galon. Nid ydyw yr amser yn faith er pan y dechreuodd lafurio yn y lle, er hyny mae gwaith mawr wedi ei wneyd. Y flwyddyn ddiweddaf adeiladwyd capel i'r enwad, yn mesur 34 wrth 48 o droedfeddi; yr adeiladwyr oeddynt Price a Hull, Lansford, Pa., ac maent wedi gwneyd eu gwaith yn rhagorol. Y draul oedd $2,500, o'r hyn y mae'r haner wedi ei glirio yn barod. Rhoddwyd y *lot* yn rhad gan y Girard *estate.* Agorwyd y capel newydd y Sul cyntaf o'r flwyddyn hon. Rhifa yr eglwys oddeutu 60 o aelodau. Yn y ffrynt mae yn gerfiedig, "*Zion Baptist Church.* Llwyddiant eto."

> "Cerdd yn mlaen, Nefol dân,
> Cymer yma feddiant glân."

### DAWN, MO.

Mae achos y Bedyddwyr Cymreig yn llewyrchus iawn yn y lle hwn—ein parchus weinidog (y Parch. R. M. Richardson) yn parhau i weini i'r eglwys hon yn ffyddlon a llwyddianus. Y mae pumb o bobl ieuainc o flaen yr eglwys, y rhai a fedyddir y Sabboth nesaf (Mai 1af). Y mae golwg ddymunol ar y wlad yma ar hyn o bryd, a rhagolygon yr amaethwr yn obeithiol am gnydau da.

Diau y gwnai ein brodyr sydd yn symud i'r Gorllewin les iddynt eu hunain a sicrhau eu cysuron crefyddol pe troent yma, lle gallant brynu ffermydd yn rhad iawn, wrth ystyried y diwylliadau arnynt, y cyfleusderau a'u cylchynant, yn nghyda'r manteision crefyddol di-ail yn y Gorllewin.—*J. A. L.*

---

### DYGWYDDIAD GALARUS YN DAWN, MO.

"Yn nghanol ein bywyd yr ydym yn angau," sydd wirionedd a gadarnheir yn ddyddiol yn mhlith plant dynion. Felly y bu yn y lle hwn ddydd Sadwrn, Ebrill 2, 1881, fel yr oedd dyn o'r enw Joshua Thomas, mab i Mr. David J. Thomas a'i briod, Mrs. Ellen Thomas, yn dychwelyd o dref Utica, lle yr oedd wedi bod yn ymofyn blawd o'r felin. Pan yn agos i haner y ffordd rhwng Dawn ac Utica (y ffordd y buoch chwi, Mr. Golygydd, yn ei theithio), ymddengys i'r ceffylau, ryw fodd neu gilydd, gael eu dychrynu, gwylltiasant a gwnaethant ymdrech i redeg â'u holl egni; a thra yr oedd y bachgen anffodus yn ymdrechu i'w hatal, wrth groesi *culvert* oedd wedi myned yn lled ddrwg ar ol yr holl dywydd garw diweddar, torodd yr awenau yn ei law, a chan faint yr ysgydwad, pan ddisgynodd yr olwynion i'r agen, taflwyd ef ar ei ben o'r wagen i ochr y clawdd, a'r tebygolrwydd yw iddo dori un o'i *lungs*. Cododd ar ei draed yn fuan, a cherddodd ychydig latheni, yna cwympodd i lawr, a bu yn gorwedd yno ryw yspaid, nes daeth rhyw Samaritan heibio. Cymerwyd ef i bentref Dawn, lle y derbyniodd driniaeth feddygol gan Dr. Webb. Cymerwyd ef oddiyno i'w gartref mewn cerbyd, yr hwn le sydd ryw ddwy filldir a haner i'r de-orllewin o Dawn, lle y bu mewn poenau dirdynol hyd un o'r gloch bore Sabboth, pryd yr anadlodd yr anadl olaf; rhoddodd angau derfyn ar ei holl boenau, ac ehedodd y wreichionen fywiol o hono at Dduw yr hwn a'i rhoes.

Boreu Llun canlynol ymgasglodd tyrfa anarferol fawr at anedd ei rieni, y dyrfa fwyaf (medd yr hen bobl) a welwyd erioed yn y lle hwn mewn angladd. Gwyddom ni fod 50 o gerbydau yn llawn o gydymdeimlwyr â'r rhieni galarus yno, ac yn tywallt dagrau hiraeth ar ol un o'r bechgyn ieuainc mwyaf siriol, addfwyn, a pharod i wneyd daioni oedd yn y lle.

Yr oedd Joshua Thomas yn un a gerid gan bawb; ac fel y dywedai yr hen ddiacon da a ffyddlon John Williams (y gof) wrth gyfaill, "Dyna fy *favorite* i o holl fechgyn ieuainc Dawn"—ac felly yr oedd. Yr oedd yn gyfeillgar ac yn hynaws i bawb; ond er ei holl ragoriaethau, fe'i cymerwyd ef, drwy gyfrwng y ddamwain erchyll i wyddfod ei Farnwr. Teg yw dyweyd, er na chafodd y fraint o wneyd proffes o grefydd, yr oedd yn ffyddlon fel gwrandawr, ac fel aelod o'r ysgol Sabbothol, ac amlygodd, ychydig yn ol, ei deimlad wrth gyfeillion, yr hyn a brofai fod crefydd yn agos at ei galon, a'i awydd i ymuno â'r eglwys; ond bu farw cyn cael amser i ufuddhau. Ei oedran ydoedd 26 mlwydd.

Gweinyddwyd yn yr angladd yn Saesneg gan y Parch. R. M. Richardson, a chynorthwywyd ef ar lan y bedd gan y Parch. J. K. Mosher (M.)

Y nefoedd fyddo yn dyner o'i dad clwyfus a'i fam alarus, y rhai sydd yn aelodau dichlynaidd o'r eglwys Feddiedig yn y lle hwn. O! mae eu galar yn annhraethol! Ond rieni anwyl, ymbwyswch ar addewidion Duw. Dyma'r fan mae eich cysur; ymdrechwch gyrhaedd profiad Job, i ddwedyd, "Pe lladdai efe fi, eto mi a ymddiriedaf ynddo ef."

Yr un fraint i'r oll o'r teulu yw ein

gwir ddymuniad; a bydded i'r amgylchiad chwerw a difrifol hwn fod yn symbyliad i ieuenctyd yr ardal i ymbarotoi ar gyfer awr yr ymddatodiad. —*Moril Ddu.*

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Hiawatha, Kansas, bedyddiwyd un brawd ieuanc gwir obeithiol ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw. Ei enw ydyw Isaac Morgans, genedigol o Sir Gaerfyrddin, D. C. Wedi tori iâ trwchus a rhoddi penill i'w ganu, aeth y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., i'r dyfrllyd fedd, gan arwain y brawd ieuanc gydag ef, a bedyddiodd ef yn ddiesgeulus yn ol y drefn apostolaidd a gorchymyn Crist. Llwyddiant i'r gwirionedd dwyfol nes enill y byd o'i blaid, &c.

*Frostburgh, Md.*—Bedyddiwyd naw, adferwyd chwech, a derbyniwyd trwy lythyr un. Gwnaed hyn yn ystod mis Mawrth, a'r Sul cyntaf yn Ebrill, pan y bu y Parch. D. H. Jones yn gwasanaethu yno. Mae yr un yn myned yno eto, gan ei fod wedi cael galwad unfrydol i wasanaethu yr eglwys yn yr Arglwydd—i ddechreu yr 8fed o Fai. "Hyd oni wawrio y dydd."—*Brawd.*

---

*GANWYD—*

Ebrill 23, 1881, mab i John R. Jones, a'i briod, o Sewell Station, W. Va. Gelwir ef Robert Evan.

---

*PRIODWYD—*

Ion. 8fed, 1881, gan y Parch. D. Probert, Mr. John Allen a Mrs. Hannah Evans, y ddau o Youngstown, O.

Mawrth 28ain, 1881, gan y Parch. D. Probert, Mr. William Rees a Miss Hannah Perkins, o Weathersfield, a Girard.

Ebrill 16eg, 1881, gan y Parch. D. Probert, Mr. David Davies a Miss Catherine Thomas, y ddau o Youngstown.

Ebrill 30ain, 1881, yn Drifton, Pa., gan y Parch. Owen Griffith (*Giraldus*), Mr. John Price a Miss Sarah Turner, y ddau o Upper Lehigh, Pa.

Mai 1af, 1881, yn nhy Mr. a Mrs. W. J. Thomas (*Gareg Goch*), Dawn, Mo., ymunwyd mewn glân briodas, Mr. John E. Jones, Omaha, Neb., a Miss Hannah H Jones, Chillicothe, Mo., gan y Parch. R. M. Richardson.

Ebrill 7fed, 1881, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, Mr. Charles Jones a Miss Lydia Williams, y ddau o Jermyn, sir Lackawanna, Pa.

Yr uniad fo'n wir enwog,—dau yn un
Dan wenau'r Eneiniog;
'E ddyrcha Charles yn ardderchog—deua
Efe a'i Lydia yn nef-oludog.

Ebrill 9fed, 1881, yn yr un lle, a chan yr un, Mr. David J. Jones a Miss Margaret Griffiths, o Providence.

Daeth dydd i Dafydd gael dyfod—i'r cylch—
Cylch y gwyr call priod;
Diameu 'n awr dyma nod
Dry allan bob rhyw drallod.

*BU FARW—*

---

MRS. MARTHA WILLIAMS.

Pan welodd Mrs. Williams oleuni dydd, yr oedd llawer o bethau yn Nghymru yn eu babandod. Nid oedd y gweithfeydd haiarn a glo ond megys yn dechreu, yn Morganwg a Mynwy, at yr hyn ydynt heddyw. Nid oedd chwaith yr achos crefyddol ond yn fachgen bach at a welir yn awr. Digon gwir fod cewri y weinidogaeth, megys Christmas Evans, &c., yn taranu bygythion Sinai, ac yn sio geiriau mêl Calfaria wrth y bobl. Yn 1810, nid oedd Morganwg a Mynwy ond yn blaguro at eu sefyllfaoedd blodeuog presenol.

Merch oedd Martha Williams i William a Mary Williams, Sirhowy, Mynwy. Ganwyd hi (y dydd a'r mis yn anhysbys) yn 1810 Yr oedd ei thad a'i mam yn aelodau parchus gyda'r Bedyddwyr. O'r cryd argraffwyd yr egwyddorion ar galon yr ymadawedig. Hanodd o hen linach enwog o'r genedl Gymreig. Terfynodd ei gyrfa ar ol cystudd blin, yn nhy Mr. Lewis Morgan, Weathersfield, O., Chwef. 13, 1881, a chladdwyd hi yn mynwent Weathersfield y 15fed o'r un mis, a Mr. Jones yn gwasanaethu Cafodd ei chladdu yn anrhydeddus, a lluaws heblaw ei phlant a'i pherthynasau yn galaru ar ei hol.

Ymfudodd i'r wlad hon yn 1841, a sefydlodd yn Minersville, Pa. Yn Ebrill, 1850, cafodd ei phriod, John Williams, ei ddiwedd yn y Red Ash Slope. Yn yr amgylchiad hwn cafodd hi a deg o blant eu gadael yn amddifaid i ymgodymu â'r byd goreu y medrent. Nid colled bychan oedd colli Mr. Williams, am ei fod yn ddyn hynaws, gofalus o'i deulu, ac yn aelod parchus gyda'r Bedyddwyr. Mae cofiant ardderchog iddo gan y Parch. J. P. Harris yn y *Seren Orllewinol*, am 1850.

Yn 1853, symudodd Mrs. Williams, a'i phlant, i Weathersfield, O., ac wedi hyny i

Mineral Ridge. Yn y cylchoedd hyn addfedodd i'r byd ysbrydol. Cafodd lawer o ofid i godi ei phlant, a llawer o flinder yn ymadawiad rhai o honynt am wlad yr aur—California. Cafodd yr anrhydedd o gael rhai o honynt i'w gwylied yn ei horiau olaf, ac i ddilyn ei llwch i dir y bedd. Bu William, diacon parchus yn eglwys y Ridge, a'i briod yn hynod o ffyddlon iddi yn ei chystudd olaf.

Bedyddiwyd yr ymadawedig pan yn 13eg oed, yn Sirhowy, Mynwy. Bu yn ffyddlon hyd y diwedd. Cymeriad crefyddol gloew a feddai ein chwaer. Yr oedd yn frwd dros yr egwyddorion dwyfol. Bedydd-wraig o'r Bedyddwyr ydoedd. Pe b'ai rhagor o'i delw gyda'r enwad, byddai gwell graen ar yr eglwysi. Meddai galon i deimlo a llaw i roi at yr achos crefyddol. Pe bae holl aelodau eglwysig yn meddu calon fel yr ymadawedig, ni welid eglwysi yn gwywo o angen yr elfenau gofynol i flaguro. Gwyr llawer o bregethwyr yr enwad am ei charedigrwydd. Yr oedd ei thy hi yn agored iddynt yn Minersville, Pa., Weathersville, a'r Ridge, O. Heblaw y dosbarth hwn mae ugeiniau yn brofiadol o'i haelionusrwydd. Fel pob Cristion, elai ar gynydd mewn gras, addfedai i dir y bywyd. Yr oedd yn neillduol yn hyn y blynyddau olaf o'i hoes. Gallem feddwl ei bod yn ymwybodol o'i hymddatodiad buan rai misoedd cyn iddi farw. Aeth am dro i weled ei phlant yn Pittsburgh a Parker's Landing, Pa., ychydig fisoedd cyn canu yn iach i'r byd, gan ddweyd y carai eu gweled unwaith eto cyn myned i ffordd yr holl ddaear.

Mae ein chwaer wedi tewi yn angeu, ond mae ei chymeriad yn llefaru eto. Nodded Duw ei phlant galarus.—*Charles Jones.*

### MR. GRIFFITH R. GRIFFITHS.

Mawrth 16, 1881, yn Remsen, N.Y., yr hen frawd duwiol a ffyddlon gyda chrefydd, Mr. Griffith R. Griffiths, ar ol cystudd byr, yn 76 mlwydd, 5 mis a 5 diwrnod oed. Ganwyd ef yn Llidiardau, Aberdaron, sir Gaernarfon. Ymunodd mewn priodas a Margaret Williams, Bryngroes, yr hon sydd wedi ei gadael ar ol yn nyffryn galar a thrallod. Ganwyd iddynt naw o blant, pump o'r rhai sydd yn fyw, sef tair o ferched a dau o feibion, i gydalaru a'u mam oedranus. Ymunodd ein brawd a chrefydd pan yn lled ieuanc yn yr Hen Wlad, sef gyda'r Bedyddwyr, yn Rhoshirwaen, Lleyn. Ymfudodd ef a'i deulu am America yn 1825, a daethant i gylchoedd Remsen a Steuben, ac yma y bu nes i angau ei gymeryd o'i dy o glai i dy nid o waith llaw, tragywyddol yn y nef. Mae yn debyg mai ag eglwys y Bedyddwyr yn y Capel Isaf, Steuben, yr ymunodd gyntaf yn y wlad hon, ac yna ag eglwys Capel Coch, yr hon a adeiladodd gapel yn mhentref Remsen, a elwir Capel Seion. Wedi hyny cawn ei fod ef a'i briod yn mysg y tri ar-ddeg a gorphorwyd yn eglwys y Bordwell, o'r rhai nid oes yn aros ond tri neu bedwar. Mae yr achos, pa fodd bynag, yn fyw, a'r aelodau wedi mwy na dyblu; ond gwnaeth angau fwlch pwysig wrth dori yr hen frawd ffyddlon i lawr, ac yntau yn ddiacon mor ffyddlon, ac iddo air da gan bawb a chan y gwirionedd ei hun. Un tro, yr oedd dyn pur ragfarnllydd at y Bedyddwyr yn golchi yn lled ddidrugaredd arnynt wrth ddyn arall nad oedd yn Fedyddiwr, a gofynai yn sydyn i'r cyfaill hwnw, "A ydych chwi yn meddwl yr ä rhai o'r hen Faptists yna i'r nefoedd?" Tarawyd y cyfaill hwnw a syndod, a gofynodd, "Dear anwyl, beth feddyliech chwi am Griffith Griffiths, Llidiardau?" Gostyngodd y cyfaill rhagfarnllyd ei ben am eiliad, a dywedodd, "Yn wir, dyna y tebycaf i fyn'd i'r nefoedd o'r un a wn i o honynt."

Un rhinwedd mawr ynddo oedd ei ffyddlondeb hyd y gallodd i foddion gras; ond yr oedd wedi methu a'u dilyn er's rhai misoedd o herwydd henaint a gwaeledd, yr hyn a deimlai y frawdoliaeth yn golled fawr. Nis gellid byth ddweyd am y brawd anwyl hwn, ei fod yn euog o esgeuluso ei gydgynulliad, "megys y mae arfer rhai." Os yn absenol y byddai, teimlai pawb yn benderfynol fod rhyw achos o bwys wedi ei luddias. Credaf fod yr adnod hono yn briodol iawn i fod ar ei gareg fedd—"Hyny a allodd hwn, efe a'i gwnaeth," a chredaf ei fod cyn hyn wedi cael ei gyfarch gan ei Arglwydd—"Da was, da a ffyddlon, buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Peth arall yn rhagorol yn y brawd hwn oedd ei ddawn gweddi. Byddai yn toddi pob calon a'i gwrandawai, a gwelwyd llawer un digrefydd ac anystyriol a'r dagrau yn treiglo dros eu gruddiau pan yn gwrando arno. Byddem yn falch o'i gael i ddechreu o flaen yr oedfa, canys gallwn braidd bob amser bregethu yn rhwyddach. Ond y mae wedi gadael yr anial a myned i wlad sydd well i fyw; eithr "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." Ein colled ni sydd enill tragywyddol iddo ef. Duw a ofalo yn dyner am yr hen chwaer a'r plant i orphen eu pererindod ar y ddaear hon. Y Sadwrn canlynol ymgynullodd torf o'i hen gyfeillion a'i berthynasau i dalu y gymwynas olaf i'w ran farwol, pryd y pregethwyd yn nghapel Bordwell gan y Parch. John Seth Jones, Remsen, yn Gymraeg, a chan yr ysgrifenydd yn Saesneg. Yna awd a'i ran farwol i fynwent Fairchilds.—*Owen F. Parry.*

### MR. CARADOG THOMAS.

Yn Mahanoy City, Pa., Ebrill 21ain, 1881, Mr. Caradog Thomas. Mab ydoedd i'r Parch. W. D. Thomas a'i briod, Mahanoy City, Pa. Ganwyd ef yn St. Clair, Pa., Rhagfyr 26, 1865. Bedyddiwyd ef yn aelod o eglwys y Bedyddwyr yn y lle uchod gan ei anwyl dad, Hydref, 1879. Bu yn cael ei flino am flynyddau gan gryd cymalau, ond am y deg wythnos olaf o'i fywyd dyoddefodd lawer gan glefyd y galon, a hyn a roddodd derfyniad i'w anadl einioes pan oedd yn 15 mlwydd, 3 mis a 28 diwrnod oed.

Claddwyd ef yn nghladdfa Mahanoy City, Ebrill 27ain. Yr oedd Caradog yn fachgen mwyn a hynod o gyfeillgar yn ei ffordd. Fel a ganlyn y dywedai un o newyddiaduron Mahanoy am dano: "He was a bright, intelligent boy, whose pleasant manners had gained for him the esteem of all his acquaintances." Yr oedd yn hynod oddefgar a boddlon yn ei gystudd, ofnai beri gofid a thrallod hyd yn nod i'w rieni yn ei oriau olaf. Tebyg y gellir priodoli hyn i raddau helaeth i ddylanwad crefydd Crist ar ei galon ieuanc. Hoffai weddio, a gofynai yn aml i'w dad a brodyr eraill o'r eglwys i weddio gydag ef; yr oedd cael mwynhau moddion gras yn foddion effeithiol a dymunol i'w enaid, a theimlai ei hun yn gwella o ran yr ysbryd wrth ymwneyd â'r moddion hyn. Cynghorai ei gyd-ieuenctyd i ddarllen y Beibl, myned i'r Ysgol Sabbothol, a charu yr Iesu, a chredwn yn gadarn iddo farw yn iach ei enaid, er fod afiechyd y corph yn ormod i'w orchfygu gan y gofal tyneraf ar y ddaear. Dydd ei angladd daeth tyrfa yn nghyd—cynrychiolwyr o'r Cymry o'r holl ardaloedd cylchynol, ac yr oedd arwyddion amlwg fod teulu parchus iawn mewn trallod, a phawb megys ar leddfu eu galar a'u presenoldeb cydymdeimladol. Yr oedd amryw o weinidogion hefyd wedi dod ar yr un neges. Ni ellid trefnu i bob un gael rhan yn y gwrando, ond fel y canlyn y cymerodd pethau le. Yn y ty darllenodd a gweddiodd y Parch. O. Griffith (*Giraldus*); yn y capel darllenodd y Parch. D. Todd Jones (A.), Shenandoah, Pa., ac yna gweddiodd y Parch. Mr. Woods, gweinidog y Presbyteriaid, Mahanoy City, yn Saesneg. Pregethodd y Parch. D. S. Thomas (B.), St. Clair, yn Saesneg, a'r Parch. D. Jones (B.), Shenandoah, yn Gymraeg Ar lan y bedd siaradodd y Parch. Mr. Mathews (A.), Mahanoy City, a'r Parch. O. Griffith. Aeth Caradog o'i gartref daearol i'w gartref nefol a thragywyddol—o boen i wynfyd—nid marw yw, ond byw. Y nefoedd fyddo yn dyner wrth ei rieni galarus, ac o'r plant sydd eto ar y ddaear, ac a'u cymwyso oll, a ninau gyda hwy, i gyfarfod tu fewn i'r llen, lle na bydd raid ymadael mwy.—*Dewi Trerhedyn.*

MR. JOHN J. THOMAS.

Mawrth 8, 1881, yn Steuben, N. Y., yn 50 mlwydd oed, Mr. John J. Thomas, ar ol ychydig ddyddiau o glefyd trwm, yr hwn a derfynodd yn angeuol, sef *typhoid pneumonia*. Nid oedd ond ychydig dros dair blynedd er pan yr ymunodd mewn priodas a Miss Libbie Humphreys, merch Mr. John Humphreys a'i briod, o Marcy, N. Y., a ganwyd iddynt un bachgen. Tad yr amddifad a barnwr y weddw a ofalo am danynt. Yr oedd yr ymadawedig yn frawd Mr. Robert J. Thomas, Remsen. Nid oedd erioed wedi gwneyd proffes o grefydd, ond yr oedd yn wrandawr cyson, ac yn hynod ffyddlawn gyda'r Ysgol Sabbothol, yn Pen-y-graig. Yr oedd yn ddyn o synwyr cyffredin cryf, ac yn ddyn moesol hynod, a gair da iddo fel cymydog a dyn gonest, a theimlai yn ddwys pan y deallodd ei fod yn y glyn fel llawer wedi oedi mater mawr yr enaid cyhyd; ond gobeithio ei fod wedi cwrdd â Gwaredwr, a'i fod wedi cael maddeuant o'i holl bechodau. Ond cymered pawb rybudd i beidio esgeuluso achos mor bwysig hyd wely angau. "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef," ydyw y gorchymyn. Y Llun canlynol, er fod y ffyrdd yn hynod anhawdd eu trafaelu, daeth tyrfa fawr o'i hen gydnabod, cyfeillion, a'i berthynasau i hebrwng ei ran farwol i gladdfa Pen-y-graig. Pregethwyd yn y capel yn Gymraeg gan yr ysgrifenydd, ac yn Saesneg gan y Parch. E C. Evans, Remsen. Cymerwyd rhan gan y brawd ieuanc o Hamilton College, W. D. Jones, a'r Parchn. John Seth Jones, Remsen, ac E. R. Hughes, Steuben.—*Owen F. Parry.*

MRS. DAVIES.

Yn Youngstown, Ohio, bu farw Mrs. Davies, priod Evan Davies, gynt o Rymni, D. C., yr hon a orphenodd ei gyrfa yn y byd presenol Ebrill 3, 1881, yn 26 oed. Ni chafodd ond cystydd byr, ond arteithiol iawn. Ei chlefyd oedd y *typhoid fever;* am rai dyddiau teimlai yn anhwylus, ond cyn diwedd yr wythnos gwaethygodd, a bu farw yn annysgwyliadwy ac er pob ymdrech i'w chadw. Bu farw oddeutu pedwar o'r gloch, gan adael priod anwyl a dwy ferch fechan, a brawd a chwaer yn amddifaid i alaru ar ei hol. Nid oedd hi a'i phriod wedi bod yn y wlad hon ond prin flwyddyn; ond wele hi wedi ymadael am wlad well na hon, a'n gobaith ydyw ei bod wedi dechreu canu yr anthem ber am farwol glwyf nas bydd diwedd arni mwy.

Yr oedd ein chwaer Catherine Davies yn aelod er yn ieuanc o eglwys Fedyddiedig Penuel, Rhymni, D. C. Gwnaeth broffes dda ger bron llawer o dystion, a bu yn ffyddlon gyda chrefydd hyd ei marwolaeth. A thebyg y gallwn ddweyd fel Crist, "Yr hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth." Dydd Mawrth, Ebrill 5, daeth tyrfa luosog o'n cydgenedl yn nghyd, er cludo ei gweddillion marwol i'r bedd. Gweinyddwyd yn y ty cyn cychwyn gan y Parch. D. Probert, gweinidog yr eglwys lle yr oedd ein chwaer yn aelod yn bresenol, a'r Parch. D. J. Nicholas wrth lan y bedd, yn mynwent Brier Hill, ger Youngstown; yna daearwyd ei chorph, lle yr huna hyd foreu udganiad yr udgorn mawr. Yr Arglwydd a fyddo yn dyner o'i phriod a'i phlant amddifaid, ac a'u parotoa oll erbyn yr un amgylchiad.—*D. Probert.*

MRS. ELIZABETH R. WILLIAMS.

Ebrill 7, 1881, yn Danville, Pa., yn 55 ml. oed, Mrs Elizabeth R. Williams, gweddw y diweddar Wm. R. Williams, ac yn adnabyddus iawn gan lawer o weinidogion yr enwad Bedyddiedig. Yr oedd Mrs. Williams yn enedigol o Dowlais, swydd Forganwg, D. C. Ymfudodd i'r wlad hon yn y flwyddyn 1846,

gan ymsefydlu yn Howard, Centre Co., Pa., ond yn fuan symudodd y teulu i Danville, lle y bu hyd ei bedd. Ymunodd ein chwaer â byddin Iesu yn dra ieuanc, pan yn 15eg oed. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn ol y dull a'r rheol apostolaidd yn Llanelli, sir Frycheiniog, D. C., a pharhaodd yn ffyddlon ac ymdrechgar yn ngwaith ei Harglwydd hyd angau.

Meddai barch mawr, a safle uchel am ei hymdrechion diflino, a'i haelioni yn y gymdeithas at gynorthwyo y tlawd, a meddylid yn uchel o honi gan bawb o bobl y dref, fel y gellir dweyd am dani fod iddi "air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun." Teimla eglwys Danville golled fawr ar ei hol. Gweledd eglwys Danville lawer dydd cymylog ac ystormllyd o'r blaen, ar wahanol adegau, oherwydd colli tadau a mamau o Seion, ond ymddengys hwn y tywyllaf o'r oll, o herwydd colli chwaer mor ffyddlon. Bu ty Mrs. Williams am flynyddau yn croesawu gweision y Goruchaf ar eu hymweliad â Danville, ond y mae bellach wedi ei ddryllio. Ac y mae enw ein chwaer yn adnabyddus yn mhlith y rhan fwyaf o'r saint. Ymdrechodd am wellhad trwy lawer o feddygon, ond yr oedd eu cyffeiriau yn ddieffaith, a therfynwyd ei gyrfa ddaearol gan angau drwy y clefyd poenus a dirdynol y cancr yn y cylla. Yn ei bywyd sicrhaodd olud gras, "Y rhan dda, yr hwn ni ddygir oddiarni."

Meddai wybodaeth helaeth o'r Ysgrythyr lân, a hoff oedd ganddi siarad am ei egwyddorion; ei hiaith oedd, "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn, a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau." Claddwyd hi Ebrill 10fed, yn ymyl ei phriod, yn mynwent yr Odyddion yn Danville. Gyda phriodoldeb y gellir dweyd am ein chwaer ymadawedig fod ei "choffadwriaeth yn fendigedig." Gadawodd lawer o berthynasau i alaru ar ei hol, a phedwar o blant, dau o ba rai, mab a merch, tra ieuainc, yn ddibriod, wedi eu gadael yn y ty yn amddifad o dad a mam. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan weinidog y Presbyteriaid Seisnig, J. B. Grier, a Wm. D. Williams, oddiwrth y Methodistiaid Cymreig. Tad yr amddifaid a ofalo am y rhai a adawyd. Heddwch i'th lwch dithau, fy chwaer, hyd ddydd mawr coroniad a gogoniant y saint. Yn ddiffuant, yr eiddoch.—*Jacob Davies.*

MARY ANN MORRIS.

Mawrth 24, bu farw, yn Arnot, Pa., Mary Ann, merch John ac Alice Morris, yn 8 ml. a 5 diwrnod oed. Yr oedd yn un o ddwy efeilliaid, a thrwy hyny, y mae yr amgylchiad wedi peri galar dwys yn yr holl deulu, yn fwyaf neillduol i'w chwaer fach; yr oeddent yn wastadol yn gydymaith y naill i'r llall. Yr oeddynt y Sabboth blaenorol wedi adrodd eu darnau i'r pwyllgor ymchwiliadol, i'r dyben o'u hadrodd yn nghyfarfod adroddiadol yr Ysgol Sabbothol y Sabboth canlynol. Ond yn lle bod gyda phlanigfa eglwys Dduw yma ar y llawr, yr oedd o ran ei chorph yn y bedd, a'i henaid wedi ehedeg i blith y dyrfa ag sydd yn canu iddo ef, yr hwn a'n carodd ac a'n golchodd yn ei waed. Iddo ef byddo y gogoniant yn oes oesoedd. Y Sadwrn canlynol cyfarfyddodd tyrfa luosog i gyflawni y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol, pryd y pregethodd y Parch. William Williams oddiar Rhufeiniad viii. 22, 23. Cawsom bregeth dda a tharawiadol i'r amgylchiad.

Dyma blentyn anwyl i ni
  Wedi myned tua thref;
Dywedodd Iesu, dyma'n cysur,
  Mai eiddo rhai'n yw teyrnas nef,
Gwna ni'n barod, gwna ni'n barod,
  Erbyn myned ar ei hol.

—*Henry S. Jones.*

MR. WILLIAM J. LLOYD.

Chwef. 24, yn Providence, Pa., bu farw Mr. William J. Lloyd, yn 50 ml. oed. Mwnwr oedd Lloyd wrth ei alwedigaeth, a dywedir ei fod yn un o'r dynion mwyaf gofalus fel gweithiwr tan-ddaearol, y rhai sydd yn enill bywoliaeth iddynt hwy eu hunain a'u teuluoedd yn nghanol peryglon bob awr. Ond er pob rhagofal a gwyliadwriaeth, daeth gwrthddrych ein coffa i'w ddiwedd yn ddisyfyd drwy i gareg syrthio arno o'r nenfwd a'i hyrddio yn ddirybudd i'r byd mawr tragywyddol.

Ganwyd a magwyd ef yn Ceredigion, sir Aberteifi. Pan yn llanc 16eg, ymadawodd â bro ei enedigaeth gan hwylio'i gamrau tua'r gweithiau haiarn a glo, a daeth i Abercanaid yn Merthyr Tydfil; nis gwyddom pa cyhyd yr arosodd yno, ond yr hanes nesaf gawn am dano ei fod yn Mountain Ash, ac yno y bu nes iddo ymadael i America.

Yn y flwyddyn 1867, cymerodd Mrs. Margaret Polly yn wraig; priodwyd hwy yn Merthyr. Yn y flwyddyn 1869, gadawodd Mountain Ash, fel rhagredegydd y teulu, gan wynebu ar fyd y Gorllewin, ac yn mhen naw mis daeth y teulu ar ei ol i America, a sefydlasant yn Providence, Pa, ac yma y bu ein hanwyl frawd fyw a marw, a chladdwyd ei weddillion marwol yn mynwent y Cymry yn Hyde Park. Yr oedd yr ymadawedig yn ddyn a berchid yn fawr gan ei gymydogion a'i gydweithwyr o bob cenedl, a chafwyd amlygiad o hyny yn eu presenoldeb a'u galar ar ddydd yr angladd. Dyn llawn o gydymdeimlad â'r anffodus a'r trallodedig ydoedd, a gwnelai bob amser yr oll ag oedd yn ei allu i liniaru briwiau yr archolledig, cymwynasgar a thawel yn ei holl gylch. Yr oedd yn dyner a serchog yn ei deulu; dyn gweithgar a darbodus ar gyfer ei eiddo, a mawr yw eu colled ar ei ol. Yn y flwyddyn 1877, ymunodd âg achos crefydd, bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn Mab Dew, yn un o'r dorf luosog a fedyddiwyd gan y Parch. J. P. Harris yn Providence, ac yr oedd yn aelod gweithgar o'r eglwys pan ddaeth

y wys i'w alw gartref. Y mae'r frawdoliaeth yn teimlo hiraeth a cholled ar ei ol, a bod angau wedi gwneyd bwlch yn y fyddin; ond credwn, er fod y datodiad wedi bod yn golled i ni ac i'r teulu, iddo fod yn elw iddo ef. Yr Arglwydd fyddo yn nawdd i'r weddw a'r plant a adawyd yn amddifaid.

Ymgasglodd tyrfa yn nghyd i'w hebrwng i'r fynwent, a chafodd gladdedigaeth anrhydeddus, ac amlygwyd cydymdeimlad mawr a'r teulu trallodedig. Gweinyddwyd wrth y ty, yn yr addoldy, ac wrth lan y bedd gan y brodyr D. B. Griffiths a J. P. Harris. Huned mwy hyd foreu adferiad, pan bydd

"—— dorau beddau'r byd
Ar un gair yn agoryd."

—*Cydymdeimlydd*

MR. JAMES DAVIES.

Yn Yorkshire Center, swydd Wyoming, N. Y., Hydref 15, 1880, yn 52 mlwydd oed, bu farw Mr. James Davies. Yr oedd yr ymadawedig yn enedigol o South Trenton, swydd Oneida, N. Y., ond yr oedd wedi treulio yr 28 mlynedd olaf o'i fywyd yn Cattaraugas. Yr oedd yn aelod gyda'r Bedyddwyr yn eglwys Freedom. Bedyddiwyd ef yma gan y Parch. J. Edred Jones. Bu yn ddichlynaidd gyda chrefydd hyd angau. Dyoddefodd yn galed am bythefnos oddiwrth y *typhoid fever*, yr hyn a roddodd derfyn ar ei fywyd daearol. Efe a aeth i dangnefedd. Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. A. S. Kneeland. Gadawodd weddw a dau o blant a chylch eang o berthynasau i alaru eu colled ar ei ol.—*W. M. Evans.*

MR. WILLIAM P. MORGANS.

Yn Freedom, swydd Cattaraugus, N. Y., Ebrill 2, 1881, bu farw Mr. William P. Morgans, mab i Mr. John H. Morgans a'i briod, yn 9 mlwydd, 2 fis a 25 diwrnod oed. Dyoddefodd gystudd trwm am amryw wythnosau, gan y dolur poenus a braidd anfeddyginiaethol y troethlif (*diabetes*). Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Yr oedd rhagolygon dymunol o flaen yr ymadawedig, pe cawsai fyw; canys yr oedd yn nodedig o gyflym i ddysgu pa beth bynag yr ymaflai ynddo; ond dyryswyd holl gynlluniau a bwriadau y tad a'r fam, a chymerwyd William bach i fyd gwell i fyw gydag angylion a saint perffeithiedig. Os na welir ef mwyach yn nghôr yr aelwyd ar y llawr, y mae erbyn hyn wedi uno â chôr mwy urddasol a gogoneddus.—*W. M. Evans.*

—Mae gan Lundain, gyda phoblogaeth o 4,000,000, le mewn addoldai i 1,000,000 o bersonau i addoli, ond nid oes mwy na 500,000 ynddynt ar unrhyw un Sabboth.

—Rhedodd llanc ieuanc 17 mlwydd oed, yn byw yn Glen's Falls, N. Y., ymaith gyda gwraig weddw 40 ml. oed. Buont yn cyfeillachu am beth amser, yn fawr yn erbyn dymuniadau rhieni y llanc.

## DYDDANION.

Aeth dyn ieuanc i mewn i addoldy un boreu Sul, ar ddechreuad y gwasanaeth, ac eisteddodd i lawr, gan adael ei het ar ei ben. Yn fuan daeth y *sexton* ato, a dymunodd iddo dynu ei het, ond ni thalodd y dyn ieuanc un sylw iddo. "Tynwch eich het, syr," ebai efe drachefn; ond ni thalai y llanc un sylw iddo. Yna cydiodd y *sexton* yn ei het, a thynodd hi yn sydyn oddiar ei ben, pan y treiglodd i lawr chwart o gnau ffreinig (*walnuts*), gan wneyd cryn stwr wrth syrthio i'r llawr. "'Nawr chwi welwch beth a wnaethoch," ebai y dyn ieuanc, "mae'n well i chwi bigo y cnau yna i fyny yn awr."

—"John!" gwaeddai mam wrth ei bachgen, un boreu Sabboth, "Oes arnat ti ddim cywilydd chwareu *marbles* yn yr heol ar ddydd Sul? Os myni chwareu *marbles*, dos i'r *yard*." "O'r goreu, mam," ebai John, "ond ydy' hi ddim yn ddydd Sul yn yr *yard*?"

—Danfonodd cyfaill at Daniel O'Connell, yr areithiwr Gwyddelig, am ei *autograph* (ei law-ysgrif), i'r hwn y danfonodd yr ateb: "Syr, nid wyf byth yn danfon *autographs*. Yr eiddoch, Daniel O'Connell."

—"Pa bryd yn y boreu y caf fi eich galw chwi i fyny?" gofynai *waiter* mewn *hotel* i Wyddel, un nos pan oedd ar fyned i'w wely. Atebodd yn ddifrifol, "Mi gana' i y gloch pan y dymunwyf gael fy ngalw."

—"Faint o amser fyddi di yn gorphen y *job* hon?" gofynai boneddiges i brentis oedd yn paentio ei thy. "Wel, nis gwn i Ma'am," meddai, "mae fy meistr wedi myn'd i chwilio am *job* arall; os caiff hi, gorphenaf yma yfory, ond os na chaiff, yr wyf yn ofni y cymer fi yr oll o'r wythnos nesaf."

## YMWELIAD A SHELTER ISLAND.

Y mae tua dwy flynedd er pan ymddangosodd hanes ymweliad y Parch. Ll. D. Bevan, New York, a minau, â Shelter Island, pryd y cyfansoddwyd "Barddoniaeth y Rheilffordd." Yn niwedd y flwyddyn ddiweddaf, talasom ail ymweliad â'r lle, i'r dyben o adolygu hafdy y Doctor; ac er na fu y daith mor ffrwythlawn mewn ystyr farddonol, bu yn dra dyddorgar. Y mae y Doctor yn gwneyd ei oreu i ymgydnabyddu â llenyddiaeth Gymreig, ac yn dwyn mawr hoffder mewn cyfieithu i'r Seisneg benillion ac englynion Cymreig. Mae ef o gorffolaeth lled fawr, a'i ben yn meddu cyfartaledd digonol mewn cyferbyniad idd ei aelodau a'i gorph. Y mae ei het yn gorphwys ar fy ysgwyddau, pan ei gwisgaf, ond heb gyffwrdd ag un ran o fy mhen. Yr oedd ganddo het frethyn y tro hwn, wedi ei gwneyd yn bwrpasol iddo, ag ymylau anferthol lydan. Gan fy mod wedi bod mor anffodus a cholli tair *overcoat* o fewn y pedair blynedd diweddaf, trwy ymweliad y frawdoliaeth a elwir *sneak thieves* â'm swyddfa, ac yn canfod het anferth y Doctor ar yr eisteddle yn y cerbyd, mi a ddywedais wrtho, os buaswn mor anffodus a cholli côt fawr eto, y deuwn i ofyn iddo am un o'i hen hetiau, i gael gwneyd un allan o honi. Arwyddodd foddlonrwydd i'm gwasanaethu, os dygwyddaswn fod eto mor anffodus a cholli fy nghôt fawr. Ond pan oedd yr ymddyddan hwnw wedi myned o'm côf, gosododd ysgrif yn fy llaw fel y canlyn:

TO THE PARSON'S MONSTER HAT.

"My coat," Aneurin cried, "some wicked man
Hath carried off, the rogue, but what of that,
To save my hard earned cash, I see a plan,
I'll make a new one from the parson's hat."

THE PARSON'S ANSWER.

You're welcome to the hat, my friend,
Although you oft deride it;
I only wish that I could lend
The head that goes inside it.

Wedi darllen yr uchod, yr oeddwn yn teimlo y gallasai fod defnydd pen mor deilwng o ystyriaeth a'i faint, a dygwyddodd i mi ar y pryd weled twll bychan yn mhlyg het y Doctor, a phenderfynais wneyd mwys-air (*pun*) o hono. Anhawdd gwneyd *pun* yn y Gymraeg, o herwydd nad oes ynddi amlder o eiriau cyfunsain o wahanol ystyr. Eithr y mae y Saesneg yn llawn o honynt, yr hyn a gyfrif am luosogrwydd ei mwyseiriau. Yn mhen ychydig mi a roddais bapyr yn llaw y Doctor, ac a ganlyn arno, wedi mwyseirio y twll yn ei het:

The parson's head is lieu of mine
I'll take, if for its learning solely;
But otherwise I must decline,
I think the hat is much more hol(e)y.

Y cysur oedd, i'r Doctor gael digon o ddigrifwch yn y gair mwys i faddeu i mi am ensyniaw fod het y person yn sancteiddiach na'i ben. Yn ystod y daith wrth fyned a dyfod, efe a gyfieithodd yr englynion canlynol:

Nos dywell yn dystewi—caddug
Yn cuddio 'r Eryri;
Yr haul yn ngwely 'r heli,
A'r lloer yn arianu 'r lli'.
*Gwallter Mechain.*

The night is dark and still, the shadows deep
Lie thick and heavy on Eryri steep;
The sun is sleeping in his briny bed,
The silver moonlight o'er the stream is shed.

ARCH NOAH.

Noddfa yn mhorthladd newyddfyd,—a'i sail
Ar gwys ola'r cynfyd;
Dros elfen drws i eilfyd,
Crothlwythog beichiog o'r byd.
*Iago Emlyn.*

Port of a new world's refuge strong foundation laid,
Where the primeval world's last furrow ran;
A new world's portal o'er the waters made,
Full womb of time, pregnant with future man.

Nid oedd a'i boddlonai heb gael englyn neu ddau o'm heiddo fy hun, felly rhaid i'r darllenydd ei feio ef am hyn o fyfiaeth:

"The concious water saw its God and blushed."

Y dw'r iachus a edrychodd—yn wyneb
Yr Eneiniog,—sylwodd
Ar y gwawl dwyfawl a dodd
Ei Greawdwr, a gwridodd.

The pure water gazed upon the face
Of the anointed, and beheld the grace
Of the Creator veiled in light divine,
It knew its God, and blushed in ruddy wine.
*Aneurin Fardd.*

[I'w barhau.]

# Y WAWR.

CYF. VI.] GORPHENAF, 1881. [RHIF. 4.

## Y PARCH. JAMES SPENCER LLANELLI.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE, PA.

Bu cysylltiad rhwng James Spencer a phedair sir yn ei wlad, pedair tref yn ei fro, a phedair o eglwysi clodfawr ynddi. 1. Treffynon, yn Flint, a'i magodd. Mae i sir Flint ei Bryn-goleu, maenor Thomas Pennat; y Dderwen Lydan, magwrfa Matthew Henry; a Threffynon, a swyddfa y *Traethodydd* ynddi. Ac yn Treffynon y ganwyd James Spencer, yn y flwyddyn 1812, pan oedd Nelson ar y Nile yn maeddu, magnelau Waterloo ar saethu, ac Andrew Fuller yn dechreu dihoeni. Tad Mr. Spencer a fu farw yn gynar, gan adael y fam i wylo, y plant i gwyno, a'r teulu i ymdaro. Pan yn 12 mlwydd oed bedyddiwyd James Spencer gan y Parch. Owen Williams, Treffynon, yr adeg hono, wedi hyny Trefforest, yn Morganwg, ac yn ddiweddaf y Twyngwyn, yn Mynwy. Tri o leoedd arwyddol—yn Treffynon, yr olchfa; Trefforest, ein gyrfa; a Thwyngwyn, ein gorphwysfa. Dan ddeunaw oed dechreuodd James Spencer bregethu, a myned i Bagillt i gael ei brofi, i Lixwm i gael ei bwyso, ac i Mold i gael mesur ei ddawn yno. A bu *rhag*farn yn ei dafoli, *cam*-farn yn ei boeni, a *chywir*-farn yn ei loni. Ac yn y cyfnod hwnw' yr oedd ganddo bedwar gorchwyl i gyflawni—tirio y mwnglawdd du, dosbarth yn yr ysgol Sul i hyfforddi, cynorthwyo ei fam i fywioli, a myfyrio gyferbyn a phregethu. Amcanai nid i ddysgleirio yn y llu, ond dysgu a goleuo; nid ymgodi uwch y ser, ond ymegnio yn fwy na llawer, a mwy fu y sylwedd i lenwi na'r swynion i loni.

2. Tref-silyn yn ei hyfforddi. Tua'r flwyddyn 1834 yr oedd John Williams, wedi hyny o Rhosllanerchrugog, a'r Drefnewydd, yn weinidog y Bedyddwyr yn Llansilyn, yn sir Dinbych. Tri pheth i'n synu—"Canwyll" i Walia o Lanymddyfri; "Gwinllan y Prydydd" o Lanrwst, a doniau mawrion o Lansilyn. Yno cyfansoddwyd "Oraclau Bywiol," yr eglurwyd *Hades* a *Sheol*, ac y manylwyd ar gyfamod Sinai, a'r cynllun mwy rhagorol. Ac yr oedd John Williams yn cadw ysgol yn Llansilyn i godi dynion ieuainc i bregethu; ac efrydwyr yn Llansilyn fu Cynddelw, brenin awen; Nefydd, y nofiwr trylen; a James Spencer, ddu ei ben, gwelw ei wedd, a thal ei gorphyn. Tair cainc ar y winwydden yno a fu—crefydd yn addurn, cymeriad dilychwin, a chynydd amlwg i bawb, ond i ambell elyn. Antur, amser, ac arian, oedd y tri pheth a ganfyddwyd yno. Antur i gydio, amser i lafurio, ac arian i dalu am ei ddysg yno. Tybiwn mai Coleg Llansilyn a'i gwnaeth yn athronydd o dueddion, beirniad yn manylu, Cymreigydd cywir, duwinydd o allu, ac efengylydd mor gymeradwy. Deallodd geinion Massilon, derbyniodd sylweddau Surin, drachtiodd o ffynonau llawnion Fuller, a gadawodd John Williams, Llansilyn, ei argraff arno ar hyd ei oes, ac i'w therfyn. Dyn crwca oedd Alexander Pope; bu y

bechgyn yn y ddinas y bu efe yn byw ynddi yn crymu a chamu er mwyn ei efelychu; eithr ni ddeallais erioed i James Spencer efelychu Cynddelw, dynwared Nefydd, na cheisio tebygu i Williams, Drefnewydd, yn aruchel-edd ei ddarfelydd, dyeithrwch ei ddawn a synedigaeth ei swyn.

3. Trefethin a'i derbyniodd. Mae Trefethin yn Mynwy, ac yn y plwyf hwnw mae Pontypool, ac athrofa fawr gan y Bedyddwyr, er y symudiad o Abergaveny yn y flwyddyn 1836. Dyna y flwyddyn y derbyniwyd James Spencer i mewn iddi, a Dr. Thomas yn ei arwain i'r dolydd duwinyddol; Mrs. Thomas iddo yn fam fwyn, a George Thomas, M. A., yn ei hybu i diroedd Heber y Cenead, yn ei groesawu i Groeg, ac yn ei loni ar lwyfan y Lladin, canys yr oedd y Parch. George Thomas yn deall saith neu ddeg o ieithoedd yn ddiwadu, a thri pheth yn ei hynodi—mawreddigrwydd brenin, didwylledd pererin, a symledd y plentyn. Dano ef am agos tair o flwyddi y daeth James Spencer i lefain *Abrec*, a phlygu *Geography* y lleni, a *Homo Lupus Homoni.*

4. Tref Llanelli a'i galwodd. Derbyniodd alwad o eglwys Capel Seion, Llanelli, sir Gaerfyrddin, i gydlafurio â'r doniol David Bowen, yn y flwyddyn 1838. Croesawyd ef yno gan Mr. John Davies, Park Street; John Hugh, Llandafen, a'r Thomasiaid, o Llanlliedi, gyda'r blaenaf yn ei barchu. Tri o newyddion i mi yn hogyn, yn haf 1838, ydoedd clywed enwi y frenines Victoria, clywed am gladdu Christmas Evans yn Abertawe, a chlywed am urddo Mr. James Spencer yn weinidog i gapel Seion, Llanelli. Pe yn y cwrdd buaswn yn cofio heddyw pwy fu yn pregethu yno, pa fodd y bu y moddion, a pha wedd ar y dyrfa, canys mae y cof gyda mi yn drysgell i dderbyn iddi, ac nid â mymryn i golli. Eithr nid oeddwn i yno, ac nid oes yn fy meddiant air o'r hanes am dano o dan pob dyferyn o gwpan y cofio. Eangwyd capel Seion yn llawer mwy, adeiladwyd Bethel, Glanymor, ac addoldy tlws yn y Cwmbach, a'r Parch. James Spencer yn llwyddo yn y dystawrwydd. Priododd yn dra buan â merch ieuanc weddaidd, o Dreffynon; ni bu iddynt deulu, ac y mae Mrs. Alice Spencer eto yn fyw, a Bedyddwyr haelionus Llanelli yn gofalu am dani. Dan weinidogaeth Mr. Spencer y dechreuodd y Parchn. David Phillips, Pontrhydyfen, a J D. Williams, Llundain, bregethu—y ddau wedi meirw er ys tro. Argraffwyd pregeth alluog o eiddo Mr. Spencer yn *Seren Gomer* tua'r flwyddyn 1847, ar "Lonyddwch i'r eglwysi yn Galilea, Judea, a Samaria," a ffyniant yn ei ddilyn. Mi a glywais bregeth ddirfawr o ddylanwadol ganddo ar "Dduw fel tad yn tosturio;" arall ar "Y Gwaredwr yn ewyllysio gogoneddu ei ganlynwyr," ac ar "Y Tyst ffyddlawn a chywir."

Yn mis Chwefror, 1853, y gwelais i y Parch. James Spencer ddiweddaf, yn Llanelli; ac yr oedd ei wallt, nid wedi gwynu na llwydo, ond ei liw yn wahanol, er syndod i mi ac i eraill oedd yn sylwi. Ar ol dihoeni am adeg fer, bu farw y Parch. James Spencer, yn mis Mai, 1854, yn 42 mlwydd oed. Pregethodd y Parch. Daniel Davies, D. D., Abertawe, yn ei angladd, a daearwyd ei weddillion yn mynwent yr Ymneillduwyr, rhwng Llanelli a Maesycaner. Mae gan y Bedyddwyr yn Llanelli heddyw naw o gapeli dirfawr eu maintioli, rhwng dwy a thair mil o aelodau, a'r Parch. J. R. Morgan, D. D., yn nghapel Seion, W. Hughes yn Bethel, Enos George yn Bethania, John Rowlands yn Moriah, R. D. Roberts yn Soar, R. Evans yn Greenfield, P. Philips yn Maesycaner, John Jones yn Adulam, a J. G. Phillips yn Horeb. Myn rhai gyhoeddi Mr. Spencer yn Saul yn y llu, yn Samson y cewri, ac yn "anrhydeddusach na holl feibion y brenin;" eithr ni'm gosodwyd i yn farnwr i fanylu, ond gallaf ymuno yn galonog yn y waedd hono:

"Eneinied yr Arglwydd hil yr hen Gymry
Ag olew goleuni er llenwi y lle;
Mae r Ysbryd yn ngweddill, a gall ei gyfranu,
Er donio rhai eraill yn weision y ne';
O dyger ein meddwl ar ol ein cyfeillion,
I'r wlad lle mae Spencer yn nofio mewn hedd,
Pan fyddom yn disgyn i anedd y meirwon,
O fyd y trallodion yn welwon o wedd."

# Y DEG LLWYTH.

GAN Y PARCH. HUGH JONES, D. D., PRIF ATHRAW COLEG LLANGOLLEN.

## RHAN II.

Yn y rhifyn diweddaf sylwyd ar bedwar o dybiadau o gylch pwy ydynt olynwyr y deg llwyth; yn awr deuwn at y dybiaeth olaf a enwir, sef

5. *Preswylwyr yr Ynysoedd Prydeinig.*—Mae rhai yn teimlo dyddordeb rhyfeddol yn y ddamcaniaeth ryfedd hon, ac yn meddu ffydd gadarn ynddi. Mae y tri llyfryn cyntaf ar y rhestr uwchben yr ysgrif hon, yn cerdded bron yr un llwybr, ac yn defnyddio yr un rhesymau; felly adolygu un o honynt fydd yr un peth yn sylweddol ag adolygu y tri. Cyfyngwn ein sylwadau, gan hyny, i lyfryn y Parch. B. W. Savile, M. A. Gwnawn hyn yn fwy neillduol, yn gyntaf, am fod Lazarus yn nodi ysgrifau Philo-Israel fel ei adnoddau o ba rai y tynodd allan ei resymau; ac, yn ail, am fod Philo-Israel, yn ei Ragarweiniad i lyfryn Mr. Savile, yn desgrifio llyfryn Mr. Savile "a more advanced and better book upon the subject" na'r hyn a ysgrifenasai Philo-Israel ei hun ar y pwnc.

Oni buasai y Benod I. ar "Ymadroddion Celyd," buasem yn cael ein temtio yn y fan yma i ddefnyddio rhai ymadroddion lled rymus am y llyfryn dan sylw; ond yr ydym yn cael ein tyngedu i ymatal hyd nes yr awn trwyddo.

Wel, awn rhagom, ynte. Damcaniaeth yr awdwr hwn ydyw, mai *Preswylwyr yr Ynysoedd Prydeinig yw y Deg Llwyth.* I ategu y syniad hwn, noda yr awdwr lu o resymau; megys y Cronicl Saxonaidd, Prophwydoliaeth Ezeciel am uniad Judah ac Ephraim, yr ysgrifen Beth Khumri ar lechau adfeilion Ninefeh, Tystiolaeth yr Apocrypha, Bedd-argraffiadau yn y Crimea, Ieithyddiaeth, Uchafiaeth Prydain yn mhlith y teyrnasoedd, Lluosogrwydd hiliogaeth, Crwydriadau yn mysg y cenedloedd, a llu o brofion israddol. Pe byddai lluosogrwydd gosodiadau yn profi gwirionedd damcaniaeth, dylai y ddamcaniaeth dan sylw fod yn wirionedd digymysg.

Gwnawn ymchwiliad i rym y gosodiadau hyn bob yn un, fel yr awn rhagom.

(1.) *Tystiolaeth y Cronicl Saxonaidd.*—Cyfansoddwyd y Cronicl hwn tua mil o flynyddau yn ol, yn nheyrnasiad Alfred Fawr. Olrheinir achau Alfred Fawr i fyny "*link by link*, though many generations are omitted," i'r patriarch Sem, mab Noah, gan brofi trwy hyny fod y Saxoniaid yn genedl Semitaidd! Da yr addefir fod llawer o genedlaethau ar goll, ac felly nid yw y Cronicl yn werth y papyr ar yr hwn yr ysgrifenwyd ef. Olrhain achau Sais, fil o flynyddau yn ol, i fyny hyd at y diluw, a hyny yn cael ei gredu a'i ddysgu gan un o athrawon crefyddol yr oes, fel sail i darddiad Israelaidd y Prydeinwyr! Ar ol rheswm fel hwn, ni ddylem ryfeddu at un math o wrthuni yn ol llaw.

(2.) *Prophwydoliaeth Ezeciel am uniad Judah ac Ephraim.*—Cyfeirir at brophwydoliaeth Ezeciel (Ezec. 37: 19–22) am uniad y deuddeg llwyth ar adeg y dychweliad o gaethiwed Babilon, fel prawf o ddamcaniaeth yr awdwr, er nas gallwn ddirnad yn iawn pa fodd y dealla yr awdwr fod yma ategiad i'w ddychymyg. Cyflawnwyd y brophwydoliaeth mewn rhan ar uniad y llwythau ar adeg yr adferiad o Babilon, a chyflawnwyd hi yn llwyr trwy undeb yr holl gredinwyr o dan deyrnasiad y Messiah.

(3.) *Y Geiriad Ty Omri.*—Swm y prawf hwn yw yr hyn a ganlyn: Omri a adeiladodd Samaria; ar y meini darganfyddedig yn adfeilion Ninefeh, saif yr enw Beth Omri (*Khumri*, yn ol y llyfryn), am y Deg Llwyth caethgludedig; bu y Cimmerii yn preswylio unwaith mewn talaeth o'r enw Khubusna,

neu fynyddau Khurdistan; er fod yn debygol fod y Cimmeriaid hyn wedi cael eu llyncu i fyny gan y Beth Khumri, a bod y Deg Llwyth wedi rhoddi eu henw eu hunain, Khymri, ar y rhan hono o'r Celtiaid a elwir y Cymry. Dyma blethwaith o ddychymygion, onide?

(*a*) Nid oes awdurdod dros ddarllen Beth Omri neu Beth Khumri. Nid oes un Gramadeg na Geiriadur yn seinio *Ayin* yn K. Mae y sain yna yn cael ei osod allan gan y *Caph* neu y *Qoph*. Yn nhu dal. 62 seinia yr awdwr ei hun hi *E*, *Ai*, neu *Aing*.

(*b*) Nid oes rhith o sail dros ddywedyd fod Ty Omri wedi dyfod i olygu Ty y Cymry.

(*c*) Mai tyb hollol o eiddo yr awdwr ydyw fod y Cimmeriaid wedi ymgymysgu â'r Deg Llwyth ac ymgolli ynddynt, a derbyn yr enw Cymry oddiwrthynt.

(*d*) Mae yn debycach o lawer mai parhad o'r enw Cimmeriaid yw yr enw presenol Cymry; ac nid yw honi fod cysylltiad rhwng Cymry Prydain a Chimmerii yr hynafiaid yn cynwys fod y cysylltiad lleiaf rhyngddynt a'r Deg Llwyth.

Mae yr awdwr wedi trawsnewid enw Omri yn Khumri, ac adeiladu castell ar ei ddychymyg gwyllt ei hun!

(4.) *Tystiolaeth yr Apocrypha.*—"Y rhai hyn yw y Deg Llwyth y rhai a gaethgludwyd o'u gwlad eu hunain yn amser Hosea y brenin, y rhai a orchfygasai Samanezer, brenin Assyria; ac efe a'u dug hwynt dros yr afon Gozan [ychwanegiad awdwr y llyfryn yw y gair yma], fel y daethant i wlad arall. Ond ymgyngorasant â'u gilydd, y buasent yn gadael cynulleidfa y paganiaid, a myned i wlad bell, yn yr hon na thrigasai dyn erioed, fel y gallent gadw yno y deddfau y rhai na chadwasent yn eu gwlad eu hunain. Ac aethant dros yr Euphrates yn lleoedd culion yr afon; oblegid dangosodd y Goruchaf arwyddion iddynt, gan atal y llif, nes iddynt fyned drosodd. A theithiasant yn mlaen bellder mawr, taith blwyddyn a haner, hyd nes y daethant i le a elwir ARSARETH."—2 Esdras, xiii. 40—48.

Yn awr y mae lle o'r enw Arsareth, ebe'r ysgrifenwyr hyn, yn Roumania, i ba le yr aeth y Deg Llwyth ar eu hymdaith i Brydain; a thybia awdwr y llyfryn ei fod wedi dwyn barn i fuddugoliaeth! Dr. Grant, modd bynag, a dybia fod Arsareth yr un peth ag Ararat. (*The Nestorians, p.* 218.) Ond nid yw y llyfr Apocryphaidd hwn ond ffug. Nid yw i'w gael yn y Groeg na'r Hebraeg, ond y Lladin; proffesa fod wedi cael ei ysgrifenu gan Ezra yr offeiriad, tra y cynwysa ymadroddion ag sydd yn debyg iawn i ddyfyniadau o'r Testament Newydd. Mae yn debygol ei fod wedi cael ei ysgrifenu yn y ganrif gyntaf, a'r unig beth a brawf yw fod dychymyg ar waith tua diwedd y ganrif gyntaf yn nghylch y Deg Llwyth, tra yr oedd *ffeithiau* yr hanes wedi cael eu hanghofio.

(5.) *Bedd-argraffiadau ac ysgrifeniadau yn y Crimea.*—Ychydig o flynyddau yn ol dangosodd Rabbi yn y Crimea, ysgrif i'r Parch. Mr. Stern, cenadwr Seisnig yno, yr hon oedd fel y canlyn: "Myfi wyf Jehudi, fab Moses, fab *Jehudi y Galluog*, gwr o Lwyth Naphtali, yr hwn a gludwyd i gaethiwed gyda llwyth Simeon a llwythau eraill Israel, gan y tywysog Salmaneser, o Samaria, yn nheyrnasiad Hosea, brenin Israel. Cludwyd hwy i Halah, i Habor, yr hon yw *Cabul*, i Gozah, ac i Chersonesus, yr hon yw y *Crimea*. Adeiladwyd Cherson gyntaf gan dad Cyrus; dinystriwyd hi eilwaith, ac adeiladwyd hi drachefn, a galwyd hi *Crim*.

Mae dau beth yn nodweddu y dystiolaeth hon: (1.) Anwybodaeth yr ysgrifenydd o ddaearyddiaeth y Dwyrain, canys gwna yr afon Habor, Chabor, neu Chebar, yr un peth a Chabul, prif ddinas Affghanistan. (2.) Ei gwrthdarawiad â'r Beibl; canys dywed hwnw yn bendant mai i Assyria y cludasid y Deg Llwyth.

Dywed un o'r ysgrifeniadau dan sylw fod y Deg Llwyth wedi eu gwasgaru *trwy yr holl Ddwyrain, mor bell a China.*

Nid yw y rhai hyn, o ganlyniad, o

fawr werth i goleddwyr yr athrawiaeth Anglo-Iuddewaidd.

(6) *Ieithyddiaeth.*—Nodir dau brawf o natur ieithyddol, er ategu y ddamcaniaeth dan sylw, sef fod Taliesin yn cyfansoddi yn Hebraeg, a thebygolrwydd yr Hebraeg i'r Gymraeg. "*My lore has been declared in Hebrew; in the Hebrew tongue have I sung.*" Dyma, meddir, yw ystyr dwy linell yn ngwaith Taliesin, yn y chweched ganrif. Ysgrifenai y bardd Milton rai darnau barddonol, a chenadwriaethau y llywodraeth, yn y Lladin; cyfansoddodd yr esgob Lowth ei Ddarlithiau ar Farddoniaeth Hebreig yn y Lladin; byddai yr un mor gyson haeru mai Rhufeinwyr oedd y ddau hyn, am eu bod yn cyfansoddi yn y Lladin, ag mai Hebrewr oedd Taliesin am ei fod yn cyfansoddi yn yr Hebraeg. Yr oll a brofai y cyfansoddiad Hebraeg ydoedd, nerth talent naturiol y bardd, a'i gariad at Air yr Arglwydd, gan ei fod yn ei ddeall a'i fyfyrio yn yr iaith wreiddiol.

Mae beirniadaeth yr awdwr ar y Gymraeg yn rhy dywyll, a'i ymdriniaeth â'r Hebraeg a'i thebygolrwydd i'r Gymraeg yn rhy aneglur, i mi allu ei ddilyn; a'i engreifftiau yn ymddangos i mi yn unrhyw beth heblaw profion. Y cyfieithiad o Psalm xxiv. 10, yn iaith y Cymry, eb efe, fyddai, "Pwy yw Efe yr hwn sydd yn Feddianydd ar bob doniau? Myfi yr hwn wyf I-A-VW-VO Iehofah Arglwydd y lluoedd, Efe yw y Meddianydd pob doniau." Nid cyfieithiad o honi, fel y mae yn y Beibl Hebraeg, bid siwr.

(7.) *Uchafiaeth Prydain yn mysg cenedloedd y byd.*—"Yna yr Arglwydd dy Dduw *a'th esyd yn uwch na holl genedloedd y ddaear.*" Deut. 28: 1. "Gwae y rhai esmwyth arnynt yn Seion, . . . *y rhai a enwir yn benaf o'r cenedloedd,* y rhai y daeth ty Israel atynt." Amos vi. 1. "Cenwch orfoledd i Jacob, a chrechwenwch *yn mhlith rhai penaf y cenedloedd.*" Jer. xxxi. 7. Cymwysir y geiriau hyn at fuddugoliaethau Lloegr ar dir a môr, a dylanwad Lloegr yn mhlith teyrnasoedd y ddaear. Esboniad hollol ddychymygol. Dichon y gwna y tro i'r Anglo-Israel, ond ni foddlona y *Cambro-British.* Gellid profi unrhyw beth a phob peth, os yw y dull yna o esbonio yr Ysgrythyrau yn iawn. Fe gofia y darllenydd mai at Israel y cyfeiria y gair, ac nid at y Saeson; a mwy rhesymol fil o weithiau yw deall y geiriau "penaf o'r cenedloedd," am y genedl Iuddewig, "yr hon a elwir felly," (ebe Dr. Henderson, ar Amos vi. 1), "am ei bod y *benaf,* neu y fwyaf urddasol o holl genedloedd y ddaear; gan ei bod wedi cael ei gwneuthur yn bobl briodol i Dduw, ac yn meddu cyfreithiau a rhagorfreintiau anadnabyddus i un genedl arall. Da y gellid ei desgrifio fel yn sefyll ar ben y rhestr."

---

## ADOLYGIAD

### AR Y PARCH. R. H. EVANS.

GAN Y PARCH. WILLIAM JONES, WISCONSIN.

Efallai mai y peth cyntaf ddylwn wneyd yn yr ysgrif hon yw amddiffyn Dr. Carson, yr hwn sydd yn awr yn ei fedd. Dywed Mr. Evans i Carson roddi lawr ei osodiad, fod "*Baptizo* bob amser yn arwyddo trochi." Darlunia y Dr. yn sefyll ar ei anffaeledigrwydd, gan ddywedyd, "Nyni sydd yn iawn, ac y mae pawb eraill yn cyfeiliorni," &c. Ond paham y dylid condemnio Carson am lefaru mor benderfynol, "mai unig feddwl y gair *baptizo* yw trochi," pan y mae cymaint o daenellwyr dysgedicaf yr oesau a'r gwledydd yn dweyd yr un peth.—*Haynes' Cycl., vol.* 1, *p.* 18. "*Baptisein.* i fedyddio, a arwydda yn unig i drochi, ac nid i olchi; ond yn unig fel canlyniad." Dyma ddyn gwir ddysgedig yn llefaru mor benderfynol, er yn daenellwr, a Dr. Carson, gan ddweyd mai "unig arwyddocad y gair yw trochi." Dyna yn gymwys fel y mae Dr. Carson yn dweyd. Beza, cyfaill John Calvin, a ddywed, "Crist a orchymynodd ein bedyddio, wrth yr hwn air yn sicr y golygir trochiad." Peng. 42. Eto dywed, "I fedyddio mewn dwfr nid yw yn golygu dim ar-

all ond ein trochi mewn dwfr." Sylwer mai nid dyweyd y mae Beza fod y gair yn golygu trochi, ond mai trochi ydyw ei unig feddwl. Dyma Bab arall i Mr. Evans ei gondemnio, gyda Carson a minau, am anffaeledigrwydd. Altingius. "Bedydd sydd drochiad, pan fo'r holl gorph yn cael ei drochi mewn dwfr, ond ni ddefnyddir y gair bedydd am dywalltiad." Judson, p. 10. Os na ddefnyddir y gair am dywalltiad, fel y sylwa y dyn dysgedig hwn, mae yn sicr na ddefnyddir y gair am daenelliad. Hospinianus ddywed, "Gorchymynodd Crist i ni gael ein bedyddio, wrth yr hwn air, yn sicr, trochiad a olygir." R. Fuller, p. 19. Nid dyweyd a wneir yma fod trochi yn un meddwl i'r gair, ond mai trochi oedd i'w olygu wrth y gair, ac nid dyweyd ei fod yn meddwl mai dyna ei feddwl, ond ei fod yn sicr mai dyma ei feddwl. Ni lefarodd Dr. Carson, nac un Bedyddiwr arall, yn fwy penderfynol na hyn. Buddeus. "Y geiriau *baptizein* a *baptizmos*, nid ydynt i'w cyfieithu yn dywallt, ond bob amser yn drochiad." R. Fuller, p. 20. Pe buasai yn bosibl cyfieithu y gair yn rhywbeth heblaw trochi, ni fuasai y gair anghyfieithedig Bedydd wedi ei roddi i ni gan gyfieithwyr y brenin Iago. Dr. Parson, Proffeswr yn yr iaith Roeg, yn Cambridge, Lloegr, ddywed, "Mae gan y Bedyddwyr fantais arnom ni; mae bedydd yn golygu llwyr drochiad." Carson, p. 23. Dengys y Proffeswr fod bedydd yn golygu, nid rhyw drochiad ysgafn a hanerog, ond llwyr drochiad. Pa fantais hefyd, fel y dywed, sydd gan y Bedyddwyr arnynt hwy, y taenellwyr, os yw y gair yn meddwl tywallt neu daenellu? Dywed hefyd, "fod yn ddirmygus meddwl fod i'r gair un meddwl priodol arall ond trochi." Dyna un arall i R. H. Evans i'w gondemnio o sefyll ar ei anffaeledigrwydd; oblegid mae yn dyweyd yn gymwys fel Dr. Carson. Wele eto Roegwr o genedl yn llefaru. Staurdra. "Nid oes gan y ferf *baptizo* ond un meddwl; mae yn llythyrenol a gwastadol olygu trochi; mae bedydd a throchiad yn gyfystyr; mae dyweyd bedydd trwy dywalltiad mor anghyson a dyweyd trochiad trwy dywalltiad." Dr. Chase, p. 63. Yn sicr, mae y Groegwyr dysgedig uchod yn gwybod yn well am air perthynol i'w hiaith eu hun, na'r Cymro o Waukesha. Drs. Starr a Flatt, yn eu gwaith duwinyddol: "Nis gallai dysgyblion ein Harglwydd ddeall ei orchymyn mewn un dull arall ond yn gorchymyn trochi." Vol. ii. p. 290. Eto, "Yn ngwyneb hyn mae yn beth i'w ofidio na fuasai Luther yn alluog i gwblhau ei ddymuniad i ddwyn trochiad yn y bedydd, fel yr adferodd y gwin yn y cymundeb." p. 291. *London Quarterly Review.* "Nid oes cwestiwn ar y pwnc, nad dull gwreiddiol bedydd, unig feddwl y gair, oedd llwyr drochiad yn y dyfroedd dyfnion; ac am bedair canrif, o'r hyn lleiaf, yr oedd pob dull arall, naill ai yn anadnabyddus, neu ynte a gyfrifid yn eithriad." Salmatius. "Bedydd a olyga drochiad, ac nid taenelliad, ac ni fedyddiodd yr hynafiaid neb ond drwy suddiad." Fuller, p. 20. C. J. Vosius: "Fod yr apostolion yn trochi y rhai a fedyddient, nid oes un amheuaeth, a bod yr eglwys gyntefig wedi dilyn eu hesiampl, a brofir yn dra eglur drwy dystiolaethau y tadau." Disp. 1, § 6. Dr. Anthon, Proffeswr yn yr iaith Roeg, yn Columbia College, New York, un o brif ddysgedigion America, a ddywed, "Prif feddwl y gair yw soddi neu drochi; a'r ail feddwl, os bu iddo un erioed, oll a gyfeiriant mewn rhyw ddull neu gilydd at yr un prif ddrychfeddwl; mae taenelliad allan o'r cwestiwn." Os nad oedd Dr. Anthon yn gwybod am ail feddwl i'r gair *baptizo,* onid yw yn profi yn eglur y peth mae Dr. Carson yn ei ddyweyd, sef, mai un meddwl sydd iddo, a phan y mae yn dyweyd fod taenelliad allan o'r cwestiwn, onid yw yn ynfydrwydd mewn dyn fel R. H. Evans i geisio gwneyd taenelliad yn un o feddyliau y gair; a phe gallai rhyw un gael ail feddwl i'r gair, mae Dr. Anthon yn tystio fod hwnw hefyd yn cynwys yr un drychfeddwl a'r gair trochi. Mae yn edrych yn bur dywyll ar Mr. E., fod ei ddysgedigion ei hun yn llefaru mor benderfynol yn ei erbyn. Henry Ward

Beecher a ddywed mewn pregeth a draddododd amser yn ol, am fedydd, "No doubt it is immersion; there is no use trying to dodge Jordan; and if the preacher thought it was a question of following the actions of Christ, he would be immersed, and preach immersion. Greenfield—galwaf eich sylw at y dyn hwn, am mai efe oedd y dyn oedd yn India yn edrych dros y gwahanol gyfieithiadau, pan ddygwyd cyfieithiad Dr. Yates allan, sef y cyfieithiad y gwrthododd y Gymdeithas yn Llundain i roddi cymorth i'w ddwyn allan. Pan alwyd am farn Greenfield ar y cyfieithiad, dywedodd, "Er nad oedd yn Fedyddiwr, nac yn fab i Fedyddiwr, eto ei fod yn ystyried y cyfieithiad mor gywir ag y gallai dyn ei wneyd." Dywed ar Fedydd fel hyn: "Ymddengys mai y gair trochi, neu ryw air cyfystyr iddo, yw'r unig air priodol ellir ei ddefnyddio fel cyfieithiad o'r gair Groeg *baptizo*." Gellir ychwanegu at y tystiolaethau uchod luaws o rai eraill, i ddangos fod Dr. Carson yn sefyll yn mysg cwmpeini ardderchog o brif ddynion yr oesau a'r byd, yn troi yn y cylchoedd uchaf, megys *Professors* yn y colegau uchaf mewn gwahanol wledydd, awdwyr *Encyclopedias* a Geiriaduron, yr esboniadau a'r cyfieithiadau enwocaf ar y ddaear; a'r oll yn daenellwyr oddieithr rhyw un neu ddau; oblegid gan fod Mr. E. yn cario meddwl mor isel am y Bedyddwyr, yr wyf yn eu cadw hwy rhag llefaru ar y pwnc.

Erfyniaf amynedd y darllenydd o herwydd fy mod yn dwyn nifer mor lluosog o dystion i brofi fy ngosodiadau, ac amddiffyn cymeriad mor uchel a Dr. Carson; lle byddo anghrediniaeth a gwrthwynebiad mawr, mae yn angenrheidiol cael y prawfiadau yn gryfion a lluosog i'w symud ymaith. Heblaw hyny, gwasanaetha y tystiolaethau uchod i wrthbrofi yr haeriadau hyfion eraill a wneir gan Mr. Evans. Yr wyf yn eu galw yn haeriadau, am nad yw yn dyfynu iaith yr awdwyr y mae yn eu henwi, ond yn unig ddyweyd eu bod yn dyweyd fel hyn ac fel arall; nid yn cyfeirio at eu gwaith, drwy ddyweyd pa le y maent yn dweyd felly, pa gyfrol, pa du dalen, &c.; hyd nes y gwnelo hyn, yr wyf yn eu galw yn haeriadau hyfion o'i eiddo.

Gan fy mod wedi clirio cymeriad Dr. Carson oddiwrth y dybiaeth o'i fod yn honi gormod o anffaeledigrwydd, drwy y tystiolaethau uchod, yr ydwyf finau yn awr am roddi gwaith i Mr. Evans i glirio a phrofi gwirionedd tystiolaeth un o'i ddynion yntau, yr hwn sydd yn awr yn ei fedd, fel Dr. Carson. Cyfeiriaf at Esboniad y Parch. James Hughes, Llundain, ar Act. 8: 38. Dywed, "Ffurfied pawb eu meddyliau eu hunain am y dull y bedyddiodd Phylip yr eunuch, yn ol eu gwahanol dybiau ar y pwnc; ond mae yn sicr nad yw y rhagddodyn *eis* yma, ac *ek* yn yr adnod nesaf, yn arwyddo dim mwy na myned at ryw le, ac oddiwrth ryw le, ac nid myned i mewn iddo, ac allan o hono." Gwelir fod Mr. Hughes yn sicrhau mor benderfynol a Carson. Yn awr yr wyf yn galw ar Mr. Evans i brofi gwirionedd yr haeriad uchod, os gall; neu os na all, ei ddyledswydd ydyw rhybuddio darllenwyr yr Esboniad mai sicrhau anwiredd mae'r awdwr. Nid anmharch ar y marw sydd mewn golwg, ond rhybuddio y byw rhag cael ei gam-arwain.

## BEDYDDWYR BOREUOL PENNSYLVANIA.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, COATSVILLE, PA.

RHAN II.

Rhaid i mi ddechreu yr ysgrif hon gyda gair o eglurhad. Ofnwyf fod y peniad yn tueddu i gam-arwain darllenwyr yr ysgrifau hyn. *Lleol*, nid cyffredinol, drwy "olrhain," fel y dywedais, "*ychydig* o'r hanes mewn cysylltiad â Bedyddwyr Boreuol y *parthau hyn*," yw amcan a gwerth yr erthyglau. Yn enwedigol eglwys Hephzibah, sydd yn fy meddwl, a theulu o Gymry, sef y Powelliaid. Nodion hanesyddol, nid hanesyddiaeth, geir yma. Dyledswydd yr Edwards hwn, fel yr Edwards gynt, yw cadw llygad

ar y "*materials towards a history.*" Felly y gwasanaethwyd ei genedlaeth gan yr enwog Morgan Edwards, tua chanrif yn ol.

Y POWELLIAID ETO.

Soniasom fod merch Abel Griffiths, Rachel, wedi dyfod yn wraig i John Powell, yn 1785. Pregethodd ei thad yn eglwys Brandywine, a'i changen yn Laurel, neu Newlin, am yspaid tri-degtri o flynyddoedd. Y gangen hon yw eglwys Hephzibah, a pharhaodd mewn undeb a'r fam eglwys hyd 1810 Yn nhy John Powell, tad yr hanesydd a'r bardd, a hendad, neu daid, yr hen ddiacon yr ymwelsom ag ef, y corphorwyd yr hen eglwys, sef Brandywine, yn y fl. 1715.* Fan yma y dechreuwn gael gafael yn hanes y teulu yn y wlad hon. Bedyddiwyd Thomas Powell Mawrth 10, 1697, yn Ridley, ac yn yr un lle bedyddiwyd John Powell a'i briod, Gorphenaf 27, o'r un flwyddyn. O'r pymtheg a ffurfiasant eglwys Brandywine ar y cychwyn, ceir y drydedd ran yn y teulu enwog hwn. John Powell a'i briod Elizabeth, Joseph Powell a'i wraig Joan, a Mary Powell. Yn 1734 prynodd Joseph ddarn mawr o dir gan deulu Penn. Yr oedd y tir hwn yn East Fallowfield, lle y ceir y teulu o hyny hyd yn awr. Yr oedd i Joseph ddau fab, John a Dafydd, ac i'r olaf y trosglwyddwyd gweithredoedd y tir. Bedyddiwyd Dafydd yn 1746, ac unodd â'r addolwyr yn Newlin, sef Laurel. Bu yn flaenor canu yma am flynyddoedd, ac yn 1760 urddwyd ef i'r swydd ddiaconaidd. Fel y gweddill o'r "llwyth," anrhydeddodd ei swydd hyd angau. Wedi i hwn fyned i'w orphwysfa, priododd ei weddw un o'r enw John Bentley. Yn nhy y dyn hwn, ac yn ei ysgubor, y pregethai y parch Owen Thomas, gynt o Gilmanllwyd, sir Benfro, D. C. Daeth Mr. T. i'r wlad hon yn 1707, ac yn 1760 bu farw, wedi mwy na haner can' mlynedd o lafur gweinidogaethol y tu yma i'r Werydd. Gwel Benedict, tu dal. 628. Efe oedd y Bedyddiwr cyntaf a bregethodd yn Newlin Township; er mai y Parch. Abel Griffiths ddechreuodd yr achos a sefydlwyd yn Newlin, ac a symudwyd i Hephzibah.—Rhoddwyd tir ac arian tuag at y capel yn Newlin neu Laurel, gan Jeffrey, mab y Bentley a nodwyd, yn 1752.

Soniasom fod tad yr hen flaenor John Powell, yn fardd ac emynwr. Byddai yn ddyddorol i ni, efallai, wneyd dyfyniad neu ddau, er yn yr iaith arall. Yn 1872 canodd 45 o benillion ar "Brofiad Dyn Canol Oed," sef ei hunan, pan yn nesâu at y 30 oed, ac yn ymgeisydd am gartref *crefyddol:*

"The Baptist church I liked the best,
I thought it must be right;
I *tried*, and found it *stood the test*,
And shone with gospel light."

Efo'r boreuaf o'i gynyrchion cawn ef yn canu, yn y flwyddyn byth-gofiadwy '76, ar "Y Bedwaredd o Gorphenaf," am yr *Ymosodiad*, fel yma:

"Ten thousand troops we hear there are
Now landed on our shore," &c.

Am *deimlad y wlad*, fel hyn:

"They quickly said, 'We will be free.
Though all the world say Nay,
And have proclaim'd this day to be
An Independence day.'"

Y mae y gân hon yn 29 o benillion. Ionawr, 1795, cyfansoddodd ar "Fywyd a Marwolaeth y Parch. Abel Griffiths;" ac os na throseddaf yn ormodol ar amser ac amynedd y darllenydd, dyfynaf ychydig linellau o'r *dau-a-thriugain* penill ar y testyn hwn:

"Griffiths, that star that shone so bright,
* * * * *
He took delight in going to preach
To distant churches within his reach,
And spent much time from year to year,
In preaching Christ both far and near."

Rhoddir i ni amryw o nodweddion a rhinweddau yr hen bregethwr, ond rhaid peidio ar hyn. Maddeuer i ni os ydym wedi aros yn rhy hir gyda John Powell y bardd. Terfynaf y tro hwn. Yn y nesaf bydd genyf hanes dyddorol am hen eglwys, a hen bregethwr, a hen lyfr, a hen wraig.

* Rhif presenol yr hen eglwys barchus yw 258.

## CYFADDASRWYDD
(EXPEDIENCY).

GAN Y PARCH. LL. REES, JOHNSTOWN, PA.

Anwyl ddarllenydd, galwaf dy sylw manylaf y tro hwn at y mater uchod, yr hwn ar olwg neu ddau a ymddengys yn llai dyddorus na'r materion y cefais dy sylw atynt o'r blaen; er hyny mae yn fater, o dan ryw amgylchiadau, ag sydd o'r pwys mwyaf. I'r rhai awyddus am ddeall y Beibl, a gweithredu yn ol ei oleuni ar bethau; y rhai a edrychant yn gyntaf oll am "Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd," yn awdurdod iddynt weithredu, y mae yn dyfod o'r pwys mwyaf i ddeall pa mor bell mae natur gyfaddasol pethau at amgylchiadau, yn dyfod yn awdurdod i weithredu ynddynt. Mae heddwch presenol a dyfodol, a llwyddiant ein heglwysi, os nad yn wir ein bodolaeth yn y pen draw, yn ddibynol iawn, yn ol fy ngolwg i, o'u sefyllfa, ar iawn ddealltwriaeth o'r egwyddor o gyfaddasrwydd (*expediency*) yn ei chymwysiad at grefydda. Mewn oes dueddol i redeg i eithafion, mae dynion, îe, Cristionogion galluog a da yn agored, yn eu hawydd mawr i ymgadw rhag y graig, i syrthio i sugnbwll. Llawer o'n llestri, er iddynt gael eu cyfrif fel *Great Easterns*, ac er perthyn i lynges y Brenin Mawr, o dan ymosodiad rhuthrwyntoedd anghydfod personol neu eglwysig, allant yn hawdd suddo, neu gael eu gadael gyda eu meirw i ymdori yn ysgyrion ar draeth distryw, oddigerth iddynt o dan arweiniad y *pilot* hollwybodol, gadw eu golwg ar y seren yr hon a gyfarwydda ein tynged i'r cartref yr awyddir am dano, ac yn yr amgylchiadau y gelwir hwy i fyned drwyddynt.

Dylem fod yn ddrwgdybus o unrhyw drefniant, gan nad pa mor deg a ffansiol i'r golwg y byddo, os ymddengys mewn rhyw ystyr yn beryglus i ryddid y saint o dan yr efengyl. Eto mae yn bosibl i amryw o honom, yn ein sel fawr a chyfiawn dros sefyll wrth gyfarwyddid geiriol (*verbal dictation*) ein Hathraw yn mhethau crefydd, i roddi cymeriad anffafriol i drefniadau y rhai na ellir eu hystyried yn cyfyngu dim ar ein ffydd, na'i deddf; nac ychwaith yn gwneuthur deddf ddynol i lanw lle un ddwyfol. Mae y trefniadau soniedig, er yn ddynol eu sefydliad, yn herwydd cymwysder eu natur a'u cyfeiriad, yn dyfod yn foddion da a hylaw i sicrhau parch a llwyddiant i'r hyn a sefydlodd yr Arglwydd. Mae holl drefniadau Duw yn ei air yn eu natur yn ateb i angen dyn; ond y mae angen dyn yn myned yn angenrheidiau; a'r rhai hyn, er nad ydynt yn cyfnewid yn eu natur, a gyfnewidiant eu hagweddau, yr hwn gyfnewidiad mewn un cyfnod a awgryma y moddion cymwysaf i gael trefn Duw ac angen dyn i gyswllt; ac mewn cyfnod arall foddion eraill.

Gofyniad o bwys gan hyny yw hwn: A ddarfu Duw sefydlu a desgrifio modd neillduol i'r ufudd-dod a ofyna yn ei air i'w holl orchymynion? Neu a adawodd efe hyn i ddadblygiad galluoedd a doethineb dyn—i fabwysiadu y dull a'r modd goreu i sicrhau y dyben dwyfol-awdurdodedig?

Yma dymunaf wneyd y gosodiad pwysig hwn, sef, Nad yw Crist o dan yr efengyl wedi desgrifio y modd i gadw un o'i orchymynion; mae wedi gorchymyn y peth sydd i'w wneyd yn ddiffael, gan adael y modd i gael ei awgrymu gan ddoethineb ymarferol yr hwn sydd yn ei garu, yn ol natur y peth sydd i'w wneyd. Paid a barnu pethau cyn pryd, ddarllenydd meddylgar, ond canlyn fi yn mlaen hyd ddiwedd yr ysgrif.

Cyn myned yn mhellach, priodol yw yn awr rhoddi deffiniad o beth a feddylir wrth gyfaddasrwydd, neu yn hytrach buddioldeb, yn y Testament Newydd. Wrth fuddioldeb (*expediency*) yn ei gymwysiad arferol a chyffredin, golygwn, briodoldeb — addasrwydd moddion at gyrhaedd rhyw amcan. Y gair Groeg a gyfieithir buddiol (*expedient*) yn y Testament Newydd, yw *sumpheroo*, ac y mae yn gyfystyr i'r gair Lladin *simul fero, confero*, &c.—dwyn neu gario yn nghyd. Cyfieithir ef yn ei wahanol ddullweddau i gyd-

gynwysiad, budd, cyfaddas, buddiol, da, ac a gyfarfyddir yn Matth. v. 30; xviii. 6; xix. 10; Ioan xi. 50; xvi. 7; 1 Cor. vi. 12: vii. 35; x. 33; xii. 7; Heb. xii. 10.

Mae holl bwyntiau ffydd, duwioldeb a moesoldeb, priodol i'w hystyried felly yn bwyntiau eglur a phenodol datguddiad; o ganlyniad, unrhyw ddyn neu ddosbarth o ddynion a ymgymerant a gwneuthur erthyglau ffydd, gweithredoedd addoliadol, neu egwyddorion moesoldeb, a gymera iddo hawlfraint dwyfol, ac yn rhyfygus a *drespassa* ar diriogaeth yr apostolion a'r prophwydi. I ddarllenydd deallus o'r Ysgrythyrau, ag sydd yn caru Duw, ac yn meddu calon wir ufudd iddo, mae yn afreidiol gwneyd y gosodiad hwn, yn neillduol ei brofi a'i egluro. Gwnaethum y gosodiad fel ar ei bwys y gallaswn ddangos gwahaniad cyson rhyngddo a deddf cyfaddasrwydd (*expediency.*) Yn awr a ydyw deddf cyfaddasrwydd, yn ol y deffiniad a roddasom uchod o honi, wedi ei gadael i ddyn? Yr ydwyf yn credu ei bod, ac yr ydym yn barod i eglurhau hyn. Mae wedi gadael i ddoethineb ddynol, o herwydd yn ol natur pethau mae yn rhaid ei bod. Yr ydym yn darllen ar du dalenau hanesyddiaeth hanes dyn, yn ngoleuni pa un gwelwn fod yr hil ddynol, o dywyniadau cyntaf hynafiaeth hyd yn bresenol, wedi myned i annhrefn ac afreoleiddiwch; fod y nwydau dynol, a buddion gwrthdarawol yn ymrafaelio â'u gilydd, ac yn darostwng ein natur i ryfel â hi ei hun, ac a'u hamgylchiadau amgylchynol. O ganlyniad mae dyn i raddau pell yn greadur amgylchiadau; a chyhyd ag y pery hyn yn wir am dano, bydd yn ddyledswydd arno i gymeryd mantais o bob cyfaddasrwydd a threfniad doeth, ag y dichon Rhagluniaeth fod wedi ei roddi o fewn ei gyrhaedd, i wneyd ei sefyllfa yn fwy goddefol nag y gallasai fod pe fel arall. Cyfrifa Cristionogaeth nid yn unig am annhrefn ac anffodion yr hil ddynol, ond hefyd darpara feddyginiaeth, a gwna defnyddio neu annefnyddio y feddyginiath hon i fod yn rhan o'n cymeriad profedigol.

Cyn myned yn mhellach, priodol sylwi fod dau fath o weithrediad a elwir wrth yr enw *expediency.* Y cyntaf sydd hunanol a dirmygus, ac sydd a dyben personol yn unig mewn golwg; ond y llall sydd haelfrydig, ac sydd fel efengyl, a lles cymdeithas mewn golwg. Nid yw cyfaddasrwydd yn yr ystyr sydd genym, ond enw arall ar ddoethineb pur. Am hon yr ydym yn son—am yr *expediency* hono a gymwysa egwyddor addefedig at amgylchiadau, nid ar draul aberthu egwyddorion da eraill, ond trwy gymwysiad doeth a theg. Byrhau yr hwyl mewn ystorm, a'i lledu pan ostynga y gwynt, ydynt ddyledswyddau wrth reol cyfaddasrwydd o'r fath ag ydym yn son; ond ni wna yr un ddyledswydd na'r llall ddifeichio y *pilot* o'r cyfrifoldeb o gadw y llestr yn ei chwrs priodol; o fyfyrio y fôr-len (*chart*) oreu; ac o gadw ei lygaid ar y ser ac ar y cwmpawd. Dyna wir gyfaddasrwydd, yr hwn a sicrha ymarferiad o wir egwyddorion, y rhai a elent, oni bae hyn, i gam arferiad, neu allan o arferiad, ac a wnaent hyn drwy gael eu cymwyso yn briodol at newidiad amgylchiadau, amser, a lle. "Drwy gyfaddasrwydd doeth y sicrheir daioni." Efe ydyw y droell (*pulley*), y drosol (*lever*), yr echel (*axle*), a'r llyfnyr (*plane*), yn y wyddor gelfyddydol. Mae yn ysgaffold i saer maen i uchelu y mur; yn argraffwasg i ystrydebu gwybodaeth, ac yn ager-gerbyd i drafaelu yn gyflym. Mewn gair, mae cyfaddasrwydd y moddion cyflymaf a diogelaf i gyrhaedd dyben da ac angenrheidiol. Ni a edrychwn yn nesaf ar y mater hwn yn ngoleuni yr Ysgrythyrau. Mae hyd yn nod pethau yr efengyl wedi darostwng i raddau helaeth i *expediency.*

[Gorphenir yn ein nesaf.]

—Y mae sancteiddrwydd a dedwyddwch wedi cael eu cysylltu mor ddoeth â u gilydd fel na oddefa Duw iddynt gael eu gwahanu — *W. Secher.*

—Y mae dynion annuwiol yn tramgwyddo wrth flewyn ar y ffordd i'r nef, ac yn dringo dros fryniau ar y ffordd i uffern. — *Yr un*

## DYFYNIADAU

### O GOFIANT Y PARCH. JOHN PRICHARD, D. D., LLANGOLLEN.

---

#### EI DROEDIGAETH.

Yn y flwyddyn 1815 yr adeiladwyd y capel cyntaf i'r Bedyddwyr yn Llandudno, yr hwn hefyd oedd y capel cyntaf yn y lle, ond ymddengys fod y Bedyddwyr yn pregethu yno er tua 1798. Y mae yn amlwg, pa fodd bynag, mai ar y Methodistiaid Calfinaidd y byddai John Prichard yn gwrando, ac mai gyda hwy yr oedd ei holl gydymdeimlad hyd ar ol ei fynediad i Liverpool. Cafodd fwy o gyfleusdra i wrando ar y Bedyddwyr ar nosweithiau gwaith, pan oedd yn yr ysgol yn y Fforddlas gyda Jesse Jones; ond gan y byddai yn dyfod adref dros y Sabbothau, ni ddaeth i lawer o adnabyddiaeth â hwy. Dodwn hanes cyfnewidiad ei olygiadau ar fedydd yn ei eiriau ef ei hunan:

"Teimladau fy meddwl o berthynas i grefydd pan oeddwn ar gychwyn i Liverpool, oedd fel hyn: Dymunwn o'm calon gael y fraint o yru adref yn fuan fy mod yn aelod gyda y Trefnyddion Calfinaidd. Dyna oedd fy nymuniad y pryd hwnw. Tra buom yn Liverpool, gwrandawsom y cwbl bron gyda y Trefnyddion yn Bedford Street. Yr oeddym yno yn yr ysgol Sul hefyd mor gyson fel na chollasom ond dau Sabboth; nn pan yn glaf iawn gan y frech goch, a'r llall wrth ymofyn am gapel y Bedyddwyr Cymreig. O'r amser y deallais fod eisiau gwir grefydd cyn y gellid marw yn ddedwydd, a byw yma i ateb dybenion ein creadigaeth, hyd yr amser hwn, nid oedd neb crefyddwyr wrth fy modd ond y Trefnyddion Calfinaidd, a dymunaswn gael bwrw fy nghoelbren yn eu plith. Ond wrth ddarllen y Testament Newydd yn eu hysgol, ac edrych arnynt yn gweinyddu ordinhadau yr eglwys, synais yn aruthrol wrth weled cymaint o wahaniaeth rhyngddynt a Ioan Fedyddiwr, Iesu o Nazareth, a physgodwyr môr Galilea, hanes pa rai a gawn yn y llyfr da a elwir y Testament Newydd. Pan yn bedyddio plentyn, fel y dywedent, rhyfedd mor annhebyg i'r Bedyddiwr cyntaf oeddynt. Dynion mewn oedran i edifarhau, cyffesu eu pechodau, a chredu yn yr hwn oedd yn dyfod ar ei ol a fedyddiai hwnw, ond yma maban dwy wythnos oed. Dysgwyliwn wedi hyny i gael eu gweled yn myned at 'ryw ddwfr,' rhyw 'Ainon,' neu 'Iorddonen,' ond yn lle hyny ychydig o ddwfr mewn cwpan! Pethau fel hyn a fagodd amheuaeth yn fy meddwl am weinyddiad yr ordinhadau gyda y Methodistiaid. Hyn a'm harweiniodd, fel y soniwyd uchod, i ymofyn am gapel y Bedyddwyr Cymreig; ond er chwilio ni chawsom ond un tlawd yn Beavington Bush, ac ychydig o gyfeillion yno yn cadw cyfarfod gweddi; wedi terfyniad y cyfarfod aethom i gapel Byrom Street, ac oddiyno adref, gan feddwl peidio encilio mwy o Bedford Street, ac felly y bu; cadwasom ein lle yno yn yr ysgol Sabbothol, ac i wrando pregethu tra yr arosasom yn Liverpool."

Ymddengys fod Dr. Prichard wedi dyweyd yr hanes y cyfeirir ato uchod wrth Dr. Ellis Evans, Cefnmawr; rhoddodd yntau grynodeb o hono yn ei hanes anghyoeddedig o eglwys Llandudno. Gan fod ysgrif Dr. Evans yn ychwanegu rhyw bethau at yr uchod, a bod yr ychwanegiadau yn cael eu cadarnhau yn rhai o ysgrifau Dr. Prichard ei hun, ni a ddyfynwn yr hyn a ddywed Dr. Evans ar y mater:

"Ar y Trefnyddion Calfinaidd y byddai ef yn arfer gwrando gartref ac yn Liverpool. Pan yn Liverpool yr oedd yn mawr ddymuno cael y newydd i'w anfon adref i'w fam ei fod wedi ymuno â hwy, ond yr oedd rhywbeth ar y ffordd o hyd. Yr ydoedd yn cyrchu yn ddyfal atynt i'r ysgol Sabbothol. Un tro yr oedd yno bregeth ar ol yr ysgol, a thaenellu baban ar ol y bregeth, a rhoddid yr ysgolheigion i chwilio am ysgrythyrau dros fedydd babanod. Darllenai yntau yr adnodau am fedydd yn y Testament Newydd yn ddyfal, ond wrth gydmaru y weithred a'r Ysgrythyrau â'u gilydd, meddyliai nad oeddynt yn cydgordio. Wrth fy-

ned adref o'r oedfa, dywedodd wrth ei gyd-ysgolhaig, a'i brif gyfaill, yr hwn oedd yn fab i un o flaenoriaid y Trefnyddion, sef W. Williams, Dr. Williams, Abergele, wedi hyny: 'A wyddost ti beth, William, yr wyf fi yn meddwl nad oedd y dyn yna yn bedyddio yn ol y Beibl.' 'O nac oedd,' ebe yntau, 'y Bedyddwyr sydd yn bedyddio yn ol y Testament Newydd.' Dyna a fu am y tro hwnw.

Yn mhen rhyw gymaint yr oedd yno fedydd i fod wedi hyny, anogid y plant i sylwi ar y prawfiadau a'r sylfaeni o hono, fel o'r blaen, ac wrth wneuthur hyn meddyliai ei fod yn gweled yr un anghydgordiad a chynt. Dywedodd wrth ei gyd-ysgolhaig, fel o'r blaen, ei ei fod yn meddwl nad oedd eu bedydd yn ol yr hyn a ddarllenasai ef yn y Testament Newydd. 'Wel, nac ydyw,' ebe yntau, 'mi a ddywedais i ti o'r blaen mai y Bedyddwyr sydd yn bedyddio yn ol y Testament Newydd.' 'Pa fodd y gwyddost ti hyny?' ebe John Prichard. 'Wel,' ebe W. Williams, 'yn llyn melin ty nhad y byddant yn bedyddio yn y Fforddlas, a mi a'u gwelais hwy lawer gwaith, ac y maent yn gwneyd yr un fath yn union ag y mae y Testament Newydd yn dywedyd.' Yr oedd hyn tua y flwyddyn 1813. Cyn hir daeth ei amser i ddychwelyd adref o'r ysgol. Wedi dyfod adref, efe a gyfarfu â'i hen gyfaill, Jas. Williams, ac aeth yn ymddyddan. Yn mhlith rhyw bethau eraill, gofynodd John Prichard i James Williams, 'Bedyddiwr ydych chwi yrwan, onide, James?' 'Iē,' ebe yntau, 'pa beth wyt ti?' 'Yn wir,' ebe John Prichard, 'nis gwn i pa beth ydwyf fi yn awr, os wyf fi ddim byd.' Yna efe a adroddodd ei amheuaeth yn nghylch cysondeb bedydd babanod a'r Beibl. 'Wel,' ebe James Williams, 'y mae bedydd i fod yn y Roewen y Sabboth nesaf, gwell i ti ddyfod yno gyda mi, gael i ti weled hwnw hefyd, ac yna fe fydd yn haws i ti benderfynu pa beth wyt.' Yno yr aed, ac wrth weled gweinyddu yr ordinhad, llwyr foddlonwyd ei feddwl. Wedi gorphen, gofynodd James Williams iddo, 'Wel, John, pa beth wyt ti yn awr?' 'Yr un peth a chwithau,' oedd yr atebiad."

Bu tywydd mawr ar ei feddwl, ar ol cael boddlonrwydd gyda golwg ar fedydd y Testament Newydd, cyn cael gorphwysdra i'w enaid. Dyma fel y mae ef ei hun yn darlunio ei ystormydd: "Ychydig wedi dyfod adref cafodd fy meddwl nychdod blin oddiwrth ofnau fy mod wedi pechu y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glan. Meddyliais lawer gwaith fy mod yn euog o gablu Ysbryd Duw; nid erioed mewn iaith hyglyw, ond meddyliwn fy mod yn ddystaw yn dyweyd rhyw gabledd. Poenodd hyn fy meddwl yn annhraethol fawr dros amser hir; a phan glywwn ryw athraw yn crybwyll am gabledd yn erbyn yr Ysbryd Glan, gwrandawn a'm holl egni; eto, er gwrando a darllen pob peth a gawn afael arno a thuedd ynddo i roddi goleu ar y mater, bu pobpeth yn ofer hyd nes y gwelais bregeth o waith y Parch. J. Harries, Abertawe, ar y testyn; rhoes hyny dawelwch i fy meddwl, a choeliais nad oeddwn wedi myned dros derfyn ymgeledd maddeuol gras. O, Dduw! mawl fyddo i'th enw.

MEWN CYMANFA FAWR.

Y mis Gorphenaf dilynol aeth y crefyddwr ieuanc i Gymanfa Mon, lle y mae amryw bethau yn dygwydd rhy ddyddorol i'w cadw oddiwrth y darllenydd, ac ni chawn well lle i'w dodi i mewn nag yma. Yr ydym yn cyfieithu yr hanes o bapyr a ysgrifenodd Dr. Prichard yn 1865. "Yn y mis Gorphenaf canlynol, ymwelais a Chymanfa y Gogledd, yn Llangefni, Mon. Yr oedd gwaith yr eglwysi yn cael ei gario yn mlaen gan y cenadon a'r gweinidogion mewn cyfarfod neillduol. Yr oedd y cyfarfodydd pregethu yn cael eu cynal yn yr awyr agored. Edrycher ar gynulleidfa o chwe' mil o bobl ar gae glas, ar ddiwrnod hafaidd, wedi dyfod yn nghyd o bob rhan o'r wlad i fwynhau gwledd ysbrydol. Yr oedd esgynlawr wedi ei gyfodi i'r gweinidogion; ac o'i flaen, un arall is i'r cantorion—cantorion yn canu a'r deall ac a'r ysbryd. Canwyd un o em-

ynau y groes, darllenwyd penod, offrymwyd gweddi, a chanoedd yn rhoddi 'Amen' llawn o galon. Mae y pregethwr yn darllen ei destyn, yn glywadwy i bawb. Yr un yr wyf yn cyfeirio ato oedd Diar. xvii. 17. 'Cydymaith a lyn bob amser, a brawd a anwyd erbyn caledi,' gan John Jenkins, Hengoed. Tua chanol y bregeth mae y gynulleidfa fawr yn ysgwyd fel coedwig o dan wynt cryf, mae y dagrau yn disgyn fel cawod o wlaw haf; mae y saint yn cael eu nerthu a'u llenwi o orfoledd, ac ugeiniau o bechaduriaid yn cael eu dwyn at y 'Brawd a anwyd erbyn caledi!' Dyna y fath oedd cynulliad bendigedig y diwrnod hwnw. Wedi i'r gwasanaeth fyned drosodd, cyfarfyddais â fy nhaid; amaethwr cryf, golygus, uwchlaw triugain oed. Ei ofyniad cyntaf oedd, 'Fy machgen anwyl, a wyt ti yn meddwl am grefydd?' Rhoddwyd atebiad cadarnhaol, a dychwelwyd y gofyniad gan y llanc, i'r hyn yr atebwyd, 'Ydwyf, fy machgen anwyl. Mi a dreuliais ddeugain mlynedd o fy oes gan feddwl fod genyf grefydd, a meddyliai eraill fy mod yn grefyddol, ond nid oedd genyf ond *rhith* o grefydd. Nid oeddwn wedi gweled drwg pechod, na fy hunan yn bechadur yn haeddu marwolaeth dragywyddol; ac na allasai Duw y cariad achub fy mywyd heb aberthu bywyd ei briod Fab. Mi a fum yn myned i'r eglwys am ddeugain mlynedd, a rhagor, a pharheais yn Pharisead oer a difywyd. Ond yn awr, yn marwolaeth uniganedig Fab Duw, yr wyf wedi gweled fy hunan yn golledig; ac yr wyf yn gobeithio fy mod wedi fy nghadw yn Nghrist, heb fy nghyfiawnder fy hun. Yr wyf wedi fy medyddio i Grist Iesu, a thrwy gymorth ei ras ef, yr wyf yn benderfynol o fyw i'r hwn a fu farw droswyf.' Ni a wylasom, fel Joseph a Jacob, mewn gorfoledd."

---

Y mae y byd, er pan y daeth pechod iddo, yn fyd anghyfiawn; ond o bawb sydd wedi dyoddef camwri, Iesu a gafodd yr anghyfiawnder mwyaf.—*Dr. Prichard, Llangollen.*

## GWREIDDIOL A DETHOLEDIG.

GAN AP P. A. MON.

### XII.

"Chwiliwch yr Ysgrythyrau," &c. Ni fu erioed y fath chwilio ag sydd yn cymeryd lle y dyddiau hyn. Dydd Gwener, yr 20fed o fis Mai, y rhoddwyd y Testament Newydd Diwygiedig yn y farchnad. Gwerthwyd mewn deuddydd yn Mhrydain ddau filiwn o gopiau! Yn New York gwerthwyd dros haner miliwn, ac yr oedd yr archebion yn dyfod i mewn o wahanol leoedd yn yr Undeb am y fath nifer nas gellid eu cyflenwi nes pellebru i Brydain am chwaneg. Gwerthwyd ar heolydd y ddinas (New York) erbyn dau o'r gloch prydnawn dydd Sadwrn dros bum' mil o gopiau! Yr wyf yn ysgrifenu y llinellau hyn bore dydd Llun, (Mai 23). Doe, ac am rai oriau ddydd Gwener a dydd Sadwrn, bum yn darllen ac yn cymharu y "Diwygiedig" â'r Hen Argraffiad sydd mor anwyl gan bob Cristion. Nid oes yr amheuaeth lleiaf yn fy meddwl, fod y Testament Diwygiedig yn rhagori llawer ar eiddo y Brenin Iago, fel ei gelwir. Ond dylasid gwneyd diwygiadau pellach, ac mae y rhai a gynygiwyd gan yr Americainaid, ond na fabwysiadid, yn profi hyny yn amlwg. Y mae y rhai hyn mewn "Dangoseg" yn niwedd y Testament. Na cham-ddealler. Yr oedd y Prydeinwyr yn cyduno â'r rhan fwyaf o'r cyfnewidiadau a gynygid gan yr Americaniaid; ond y rhai na fabwydiadwyd a geir, fel y dywedais, mewn Attodiad (*Appendix*) yn niwedd y Testament.

Un reol benderfynol gan y dysgedigion a ymgymerasant â'r gwaith llafurfawr, yn yr hwn y treuliasant ddeg mlynedd, oedd, Na byddai dim cyfnewidiadau i gael eu gwneyd i ffafrio unrhyw sect neu enwad. Felly gadawwyd y gair *Baptizo* ac eraill heb eu cyfieithu, fel o'r blaen. Yr oeddwn yn disgwyl gweled y gair *ymolchi—wash themselves*—yn Marc vii. 4, 5, a Luc xi. 38, wedi ei newid i feddwl y

gwreiddiol; ond erys fel o'r blaen. Yn yr Attodiad, gwelaf fod yr Americaniaid wedi cyngori defnyddio y gair *bathe* yn lle *wash*, yn yr adnodau uchod. Buasai mabwysiadu eu cyngor yn welliant diamheuol, gan fod "*bathe* themselves" (ymdrochi), yn cyfleu meddwl y gwreiddiol, mor bell a bod y gair *bathe* yn cynnwys y meddylddrych o *immerse* (trochi), yr hwn air sydd gyfieithiad cywir o'r gair Groeg.

Y mae holl newyddiaduron y wlad a chanddynt rywbeth i'w ddweyd yn nghylch y Testament Diwygiedig—cymeradwyaeth yw y ddedfryd gyffredin; er fod rhai yn cwyno am y peth hyn a'r peth arall. Dywed un newyddiadur yn Brooklyn: "The revisers of the New Testament have used the word 'love' for 'charity,' in St. Paul's immortal sentences. They have obscured the meaning and destroyed the music of the lines." Er hyny y gair *love* yw y gair priodol, fel ag y mae yn y Gymraeg: "ffydd, gobaith, cariad," &c.

Yr erthygl alluocaf a welais i, sydd yn *Scribner's Magazine* am Mehefin, gan Proff. George P. Fisher, o Goleg Yale.

*Boreu Dydd Mawrth.* Wedi edrych dros y newyddiaduron ddoe, yr wyf yn cael unfrydedd annisgwyliadwy yn mysg gweinidogion New York a Brooklyn, yn eu cymeradwyaeth, a gynwysir mewn crynodeb o'u sylwadau ar y Sul, a gyhoeddwyd ynddynt. Edrychais yn bryderus am ddedfryd y Dr. William R. Williams; ond hyd yn hyn ni welais air. Yr oedd efe yn wrthwynebol i'r *Baptist Union* ddwyn allan gyfieithiad newydd flynyddau yn ol, a chyhoeddodd ei olygiadau mewn pamphlet. Y mae pob gair a ddywed Dr. Williams yn deilwng o'r ystyriaeth fanylaf a'r parch mwyaf. Yn yr ychydig amser a gefais i gymharu y cyfnewidiadau a wnaed yn y Testament â darlleniad Testament y *Baptist Union*, cefais fod y ddau yn fynych yr un fath, weithiau ychydig yn wahanol, ac weithiau, fel yr wyf yn barnu, engreifftiau o welliant yn y Diwygiedig. Yr oedd hyn yn rhesymol i'w ddisgwyl. Dywed Dr. Porter, New York, fod yr holl gyfnewidiadau a wnaed yn meddiant ysgolheigion am haner can' mlynedd yn ol. Mae hyn yn bur amheus—ac efallai na ddywedodd y Dr. "yr holl"—oblegid yn ddiweddar y bu Proff. Tischendorf mor ffodus a chael gafael mewn MS. perthynol i'r bedwaredd ganrif, mewn mynachlog ar fynydd Sinai.

Dywedir fod pob cynhyrfiad nodedig a gymerodd le o fewn dwy fil o flynyddoedd, trwy yr hwn y dyrchafwyd Ewrop, wedi ei ragflaenu gan gyfieithiad newydd o'r Beibl yn iaith y werin. Nis gallasai holl ysgrifenwyr clasurol hen a diweddar greu y fath gynhyrfiad ag y mae ymddangosiad y llyfryn bychan hwn yn wneyd. Ac nid rhyfedd hyny, os ydyw, fel y dywedodd yr enwog Ewing wrth y Deon Stanley, yn cynwys holl ddoethineb y byd.

*Dydd Mercher.* Dyma gŵyn arall gan yr un papyr yn Brooklyn, yr *Union-Argus*: "While the revisers were 'going for' such archaic words as 'let' for 'hinder,' and 'wot' and 'wist' for 'know,' they took the trouble to sacrifice Agrippa's manly utterance to Paul, 'Almost thou persuadest me to be a Christian,' and to substitute for it, 'With but little persuasion thou wouldst fain make me a Christian.' 'Fain' is quite as obsolete (allan o arfer) as the other tabooed words."

Y mae llawer iawn o rwgnach hefyd am adael allan y fawl-wers yn niwedd Gweddi yr Arglwydd. Myn yr ysgolheigion Ellmynaidd fod llawn cymaint, os nid mwy, o awdurdod dros ei adael fel ag yr oedd.

Gwelaf nad yw Dr. W. R. Williams, er yn cydnabod ysgolheigdod y gwaith, yn ei gymeradwyo yn hollol. Dywed ei fod yn credu fod rhai pethau wedi eu gadael allan y bydd beirniadaeth ddyfodol yn eu hadferyd.

Mewn perthynas i'r gair *charity*, y dwrdia y Brooklyn *Union-Argus* mor chwerw, am ei gyfnewid i *love*, gellir dyweyd ei fod yn tarddu o'r Lladin *caritas* from *carus*, dear (anwyl). Deffiniad Cymraeg o'r gair "charity," yw; cariad; tosturi; elusen, &c.

Mae Shakespeare yn defnyddio y ddau air fel pe o wahanol ystyron—i raddau, beth bynag:

"God bless thee, and put meekness in thy breast;
Love, charity," &c.

"Duw a'th fendithio, ac a roddo addfwynder yn dy fynwes;
Cariad, tosturi," &c.

*Mehefin* 1. Wrth derfynu y nodiadau hyn, yr wyf yn argyhoeddedig o'r ffaith, yn ol llais Prydain a geir yn y gohebiaethau diweddaf, bod llawer iawn o anfoddlonrwydd i ran fawr o waith y diwygwyr, yn enwedig lle y maent wedi cyfnewid geiriau a brawddegau oeddynt yn gysegredig yn meddwl y bobl, a hyny heb wellâu dim ar y synwyr, er fe allai yn dal yn nes at arddull y gwreiddiol. Gwaith araf fydd beirniadu llafur mor fawr; ond cymerer amynedd, a chawn mewn amser wybod golygiadau holl ysgolheigion y byd; felly byddwn amyneddgar, a chwiliwn yr Ysgrythyrau.

—Hardd yw y ddaear, yn ei chyfoeth chwardd,
A chadarn yw yr wybren glir;
Heneiddio fel dilledyn a wnant hwy,
Darfyddant, er cael gyrfa hir.
Efe, yr Hwn o ddim eu crewr yw,
Parhau yr un y mae, Tragwyddol Dduw.

Er cyn i Amser fod, a chyn i'r haul
Roi gwawl a byw mewn bydoedd fyrdd—
Cyn cread dyn i wel'd gweithredoedd Duw,
A gogoneddu ei holl ffyrdd—
Cyn i un seraph seinio clodydd Iôr,
Byw oedd Efe cyn bod na thir na môr.

Pe byddai pobpeth i ddyryswch droi,
A chael eu hyrddio i ddiddymdra oll;
Pe byddai i'r aneirif fydoedd ffoi
I ddinystr, a phawb ar goll;
Pe trengai Natur wech, a'i rhwysg i gyd,
Duw bythol fyddai ynddo'i hun o hyd.

Cyfyd yr haul, tywyna'n dêr, â i lawr;
Dydd ymlid nos, a'r nos y dydd;
Y ddaear o'i thrysorau rydd bob awr,
Ac yna yn dadfeilio bydd.
Beth yw enfawredd, ond newidiant mawr?
Ond Duw ni thry, yr un yw Ef bob awr.

Anghyfnewidiol ydwyt Ti, O Dduw!
Dirmygi Amser, Angau du:
Ni fydd fy ngobaith byth yn llai nag yw,
Ei sylfaen yn safadwy sy'.
Ti fu erioed, O Dad, ein Ceidwad mawr,
A byddi i ni'n Dduw mewn cyfyng awr.

Gan hyn, aed holl gysuron daear mwy,
A holl obeithion byd i gyd;
O'm bron doed trom loes gri fy enaid, trwy
Ddagrau hallt, a phoenau drud;
Mewn hedd terfyna'm holl ofidiau'n awr;
Ti, Dduw, yw'm Cyfaill a'm Gwaredwr mawr.

(O'r Daenaeg gan Zelitz, trwy y Saesnaeg.
AP P. A. MON.)

*Cywiriadau.*—Yn y rhifyn diweddaf, yn lle "Adfyd cyfnewidia," darllener "gyfnewidia." Yn y farddoniaeth, y gair olaf yn y drydedd linell, yn lle "few," darllener "fyw."

[Trwy ddilyn y copi y dygwyddodd y ddau wall uchod. Nid bai y cysodydd ydoedd.]

# Bwrdd y Golygydd.

## Y CYFIEITHIAD DIWYGIEDIG.

Diamheu na fydd ymddangosiad y cyfieithiad newydd yn iachusol i grefydd ar y cyfan. Y mae eisoes wedi tynu sylw arbenig at yr Ysgrythyrau efengylaidd. Y mae fod y fath nifer o brif ddysgedigion y byd wedi treulio y tymor maith o ddeng mlynedd gyda y gwaith yn tystio llafur, gofal a manylwch anarferol; a'r casgliad naturiol ac uniongyrchol ydyw, fod rhyw bwys annhraethol mewn meddu yr Ysgrythyrau yn eu purdeb gwreiddiol. Nid cyson a'r fath waith o gael cyfieithiad cywir o'r Ysgrythyrau ydyw bod yn ddifater yn nghylch eu dysgeidiaeth. Y fath fendith i grefydd ac i'r byd fyddai pe b'ai dynion yn meddu mwy o wroldeb a gonestrwydd i chwilio yr Ysgrythyrau drostynt eu hunain, yn lle cymeryd eu harwain yn ddall gan draddodiadau ac opiniynau dynol, na threuliasant fynyd erioed i chwilio pa un ai gwir ai anwir oeddynt—ysgrythyrol neu fympwyol. Ai tybed na fydd y cyfieithiad diwygiedig hwn yn foddion i symbylu meddyliau dynion yn y cyfeiriad daionus hwn? Un o'r prif elfenau yn nghomisiwn y Bedyddwyr

i'r byd ydyw: "At y gair ac at y dystiolaeth.

## YR HEN GYFIEITHIAD.

Ni allwn lai na barnu mai nid rhyw hawdd, wedi'r cyfan, y troir yr Hen Gyfieithiad o'r neilldu mewn ymarferiad cyhoeddus. Braidd na addefir gan y cyfieithwyr eu hunain fod rhagorion yn ieithwedd yr hen gyfieithiad, nad ellid mo'u cyffwrdd heb eu anmharu; a chanfyddwn mai un o reolau y cyfieithwyr oedd gwneyd can lleied o gyfnewidiadau ag oedd bosibl a bod arddull yr hen gyfieithiad i'w ddilyn yn fanwl. O, ydyw, mae yr hen gyfieithiad yn ardderchog, mae yn debyg iawn; ac yn siwr i chwi, nid hawdd y troir ef heibio. Pe caem ni gyfieithiad newydd Cymreig, nid hawdd y rho'em ninau yr hen gyfieithiad cysegredig heibio.

## WILLIAM SALESBURY AT Y CYMRY.

Yr anerchiad canlynol a geir ar ddechreu Testament yr enwog William Salesbury. Cyfeirir yn hwn at anerchiad arall a'i blaenora, gan "*Episcop. Menew.*" Ystyriwn yr anerchiadau yn *hynod* ddyddorol ar hyn o bryd, ar ymddangosiad y cyfieithiad newydd. Cymered y darllenydd bwyll wrth geisio deall ei Gymraeg:

At yr oll o'r Cembru ys ydd yn caru ffydd ei hen Deidiau y Britanieit gynt:

**Rat, a' thangneddyf gan Dduw Tat ein Arglwydd Iesu Christ.**

Megis y mae yn ddiareb gan y metelwyr may goreu aur yw'r hen, ac mal y dywet yr ein ys sydd yn trino hanas popul y byt, mae goreu cydymaith yw'r hen gydymaith; velly yr vn modd yr ei ys y yn dyval ymdreiglo yn yr Scrythur 'lan, sy yn dywedyt hwytheu may goreu ffydd yw'r ffydd hen, yr yr vn y Prophwytodd y propwyti o hanei, yr hon a ddyscawdd Christ ai Apostolion ir popul yn eu hamser, a'r hon gwedy, a gadarnhaodd y Merthyron ai gwaed, gan testio gyd a hi, a' dyoddef pop artaith yd angeu. Ac am hyny gwae'r nep ailw hon yn newydd, o ba vodd bynac y gwnel, ai o anwybod ai trwy wybot, yw dwyllo y hun ac y hudo 'r bopul. At y ffydd hon yn ei Epistol yma vehot y maer anrrhydeddus Dat D. R. D. ail Dewi Menew yn yn ceisio eich gohawdd, eich llwybro, ach arwein oll am yr eneit. Can ys pwy all cael dim bai arnaw, o ddieithr am yddaw yn ol arver S. Paul, ac ymadrodd goisel cydnabyddus megis a llaethwyt ych porthi chwi (yr ei yn wir nid ydych eto anyd 'rei bychein yn yr iawn ffydd) neu o ddieithr yddaw yn ol addysc S. Chrysostom eich bwydo chwi mor vanol a mamaeth naturiol yn bwydo hi phlentyn bop ychydic ac ychydic val y gwelo hi ef ei vwynhau. Eithyr a's chwychwi trwy rat y gan vaethddrin cyfryw laethpwyd a gynnydwch y allu treulo bwyt a vo dwysach a' ffyrfach, bid diau y cewch y roddy gar eich bron y canddo ef a i vroder eich Escyp eraill trwy nerth Duw, yr hwn ach gwnel yn adds, yn barawt, ac yn wyllyscar y ymborth arno, Amen. Eich car o waet yn ol y cnawt, ach brawt ffydd yn Christ Iesu,

WILLIAM SALESBURY.

O'r un Testament eto cymerwn y cyngor canlynol:

CYNGOR SANCT IOAN AUR-ENEU I'R LLAICON AI 'REI BYDOL. CCCCV.

Gwrandewch, atolwc, chwychwi'r lleigion. Mynnwch gahel y-chwi'r Bibl ys meddiciniaeth yr eneit. Any*d* wyllysiwch ddim angwanec, mynnwch y Testament Newydd o'r hyn lleiaf, yr Epistolae, yr Actae, yr Euangelon, yn 'oystatol ac yn ddyval ddyscyawdwyr y chwy. O bleit a's dygwydd yt' tristit neu advyd, edrych y mywn yma ar yr hein megis yn-cell meddiciniaetheu. O *dd*yma y cymery ymwared ir mallhaint, pa vn pynac vydd ai dygwyddo eniwet yt, ai marwoleth, ai collet am tuylwyth. Eithyr na'c edrych y mewn yn vnic, amyn tro a' *d*atro y cwpl oll: a' chynnal yn vevyr yn dy gof. Ac y

dalvyrru, hyn yw achos yr oll ddrygeu, eisieu gwybot yr Scrythurae.

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Yn hanes Cymanfa ddiweddar y Trefnyddion Calfinaidd yn Remsen, gwelwn a ganlyn:

"Yn nghyfarfod y pregethwyr yn nglyn a Chymanfa y T. C. yn Remsen, bu y pwnc o Fedydd o dan ystyriaeth, sef y priodoldeb o ganiatau i weinidogion y Cyfundeb drochi aelodau, pan ddymunir hyny, yn hytrach na thaenellu. O blaid 'perffaith gyfraith rhyddid,' yn mysg eraill, deallwn fod y Parch. G. H. Humphrey, M. A.; tra yr amddiffynid yr hen drefn gan y Parchn. Hugh Davies, James Jarrett, ac eraill."

Nid rhyw ddiogel iawn fuasai cyflwr gweinidogion a gynygiasent bethau o'r fath yn nghymanfa yr hen gorph ychydig flynyddau yn ol. Wel, wir, mae arwyddion yr amserau yn gwellâu. Ni raid petruso wrth ddweyd fod a fyno y Bedyddwyr a chynyrchu gogwyddiadau o'r natur hyn.

## CYMANFA ONEIDA.

Mae y Gymanfa hon yn parhau i fod yn boblogaidd a llewyrchus, er braidd y gellir dweyd fod y Bedyddwyr Cymreig yn y Swydd hon yr hyn y buont unwaith. Mae peidiad ymfudiaeth o Gymru, ymfudiaeth i'r Gorllewin, a symudiadau trwy angau, wedi eiddilo y rhengoedd eglwysig Cymreig i raddau gweladwy. Ond er y cyfan, mae y Gymanfa yn gwrthod colli ei bri a'i brwdfrydedd cynhenid. Tystid gan yr henuriaid fod y Gymanfa eleni yn dal ei chystadlu yn dda â'r gwyliau gynt, pan y byddai yr enwogion William Owen, Pittsburgh, a William Morgans, Pottsville, yn sefyll ar yr "adwy danllyd" ynddynt. Efallai nad oes un Gymanfa yn y wlad yn dwyn adnoddau pregethwrol o dan lymach prawf na hon. Beth feddyliech am bregethu ryw naw neu ddeg o weithiau yn olynol o fewn ychydig ddyddiau, o flaen cynnulleidfaoedd mawrion wedi dod yn nghyd i deimlo cynhyrfiadau cymanfaol? Dygwyd y Parch. John Evans, Westerly, R. I., o dan y prawf crybwylledig yn neillduol; pregethodd ryw naw o weithiau, a gwnaeth hyny yn ardderchog. Er pan y gwrandawsem ef o'r blaen yr oedd tair blynedd ar ddeg wedi pasio. Tynwyd ein sylw yn fuan yr adeg hon gan ei gynydd pregethwrol. Yr oedd efe yn dda gynt, ond yn sicr i chwi mae yn well yn awr. Y mae wedi gwneyd *cynydd mawr* fel pregethwr. Mae cynlluniau ei bregethau, ei faterion, ei egluriadau, ei lais, ei arddull, ei ymddygiad, yn bob peth a ellid ddymuno. Y mae yn efe ei hunan bob tro, a'i ddelw ei hun ar ei waith. Mae yn rhaid i'w frawd, Ednyfed, edrych ati, neu fe â John o'i flaen fel pregethwr. Da frawd, ewch yn mlaen; nid ydych wedi bod yn segur; da machgen i, wir. Credwn, os cewch fywyd, eich bod ar y ffordd i ragori mwy eto. Buasai y naw pregeth a draddododd efe yn Nghymanfa Oneida eleni yn ymddangos yn ardderchog mewn *print*. Gwrandawwyd arno yn astud.

Dygwyd y brawd Wm. M. Evans, Cattaraugus o dan brawf pur danllyd hefyd. Pregethodd ef *wyth* o weithiau; a chofier, y mae efe yn Nghymanfa Oneida flwyddyn ar ol blwyddyn. Y mae'r bobl yn gwrando yn foddhaus ar Mr. Evans bob amser; hoffant ei wrando cystal, odid, ag un. Mae ganddo *efengyl* i'r bobl, a dywed hi yn syml, cynes, a hyawdl. Nid yw yn un o "slafiaid yr hwyliau," chwedl Cynddelw—ond parabla yn iaith, llais, ac ieithwedd efengyl.

Y Parch. Daniel E. Bowen eto, yr oedd yntau yn llefaru yn dda y tri thro y safodd i fyny. Yr oedd yn llai gwasgarog, ac yn llai "*anecdotol gyffredin*" nag y clywsom ef erioed—cadwodd oddiwrth "bob lol wirion," ac ymadroddion isel. Pregethai fel yn y blynyddau gynt, meddai yr hen frodyr. Yr oedd y bregeth y boreu yn Remsen yn wir effeithiol, a thynodd

ddagrau o lawer llygaid, ni dybiwn, a ninau gyda hwynt.

Cafwyd gan y Parch. John Edred Jones, yntau, bregeth addysgiadol, apeliadol, a theimladwy.

Y Parch. Thomas T. Williams, Pomeroy, Ohio, a enwn nesaf. Daethai efe yma ar ei union o Gymanfa Ohio, yn Mineral Ridge, gyda llythyrau cymeradwyol fel efengylydd "i'r holl fyd." O ran hyny, nid oedd nemawr angen arno ef am lythyrau cymeradwyaeth. Bu ef yn llefaru dair gwaith yn y Gymanfa. Mae yr hybarch frawd Williams yn berarogl Crist. Mae ganddo arddull weddaidd yn y pwlpud. Traddoda yn bwyllog a difrifol, ac weithiau yn danllyd. Yn nghwrs ei bregeth, dwg lawer o "ymadroddion iachus" o flaen ei wrandawyr. Nis gwyddom yn iawn beth i'w ddweyd am *rai* pethau y mae efe yn eu dysgu. Efallai mai ychydig a enilla efe i gredu y dylai pregethwyr ac aelodau werthu eu meddianau a'u da a'u rhoddi i'r eglwysi; o ran hyny, anfynych mae gan bregethwyr, druain, ddim o'r fath i'w roddi ymaith na'i werthu i neb. Tybid mai nid rhyw dda iawn yr oedd y Parch. Owen F. Parry, Bordwell, yn hoffi yr athrawiaeth newydd hon. Bwriada y brawd Williams alw heibio yr eglwysi yn Pennsylvania yr wythnosau dyfodol; gobeithiwn y bydd yr eglwysi ac unigolion yn dyner o hono.

Cafwyd pregethu efengylaidd iawn hefyd gan y Parch. Edward Edwards (brawd Ebenezer Edwards, Coatsville). Yr oedd tuedd ryfeddol o dda trwy ei holl bregeth. Ei destyn oedd, "O, Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Gwasgai at gydwybodau yr angenrheidrwydd am faddeugarwch yn mhlith y saint, yr hyn y mae gwir angen am dano.

Bu Golygydd y WAWR, yntau, yn ceisio dweyd tipyn, ond ni ymhelaethwn am dano ef, rhag ofn i ni arfer myfiaeth. Gwnaeth ei oreu, druan.

Ychwanegwn trwy ddweyd i'r Gymanfa yn Oneida eleni basio yn rhyfeddol o dda; gadawodd argraff dda yn y gwahanol fanau lle y bu.

Dangoswyd llawer iawn o garedigrwydd Cristionogol yn Utica, Bordwell a Remsen—yr Arglwydd a'u gwobrwyo.

Dymunwn nodi yn mhellach i ni gael ein boddhau yn fawr yn symlrwydd y bobl yn gwrando. Sylwasom yn neillduol ar hyn yn Remsen. Cyn hyn gwelsom fath o anesmwythder, sisial, a thwrf yn mhlith y bobl ieuainc ac eraill, yn neillduol tua'r drysau a'r llofft, ond dim o'r fath yn y Gymanfa eleni. Ystyriwn fod y symlrwydd hwn yn dweyd llawer, nid yn unig am barch y bobl i grefydd yn gyffredinol, ond am barchusrwydd yr eglwysi. Gobeithiwn yn fawr y bydd effeithiau daionus yn canlyn y cynadleddau, y pregethu, a holl waith y Gymanfa.

---

## YR ERTHYGL ARWEINIOL.

Galwn sylw at erthygl ragorol y Parch. D. W. Morris, Taylorville, ar y Parch. James Spencer, yn y rhifyn hwn. Da genym ddeall fod nifer luosog o'n darllenwyr yn gwerthfawrogi y gyfres hon gan Mr. Morris.

Mae yn eithaf posibl i ambell un gymeryd ysgrifeniadau Mr. Morris fel gwaith brysiog, neu chwareu â geiriau ac ymadroddion, heb ddeall peroriaeth ei gyfunseiniau, ei barabl llathraidd, a'i swyn hynodol. I ni ymddengys ei eiriau a'i frawddegau fel rhesi o allweddau a chlychau mewn gwesty mawr, yn cyfarwyddo i ystafelloedd ardderchog y ty, neu fel dangoseg gyfluniol o ddyddorion amryfath Amgueddfa nodedig.

---

## ATEBIAD

I OFYNIAD J. SPINTHER JAMES, YN RHIFYN MAWRTH, 1881.

*Barchus Olygydd*—Gan fod y gofyniad yn briodol ac yn deilwng o sylw, penderfynais wneyd ymdrech i'w ateb, yn y modd mwyaf syml. Gwir fy mod wedi hir ddysgwyl i rai o gewri politicaidd Cymreig America ymgymeryd ag ateb Mr. James; mae'n ffaith fod gwrthddrych ei ofyniad yn werth sylw,

ac fe ddylai pob Cymro ymffrostio ynddo, yn fwyaf neillduol am ei fod ef ei hunan yn cydnabod ei hun yn Gymro. A gresyn mawr na b'ai mwy o ymchwilio yn cael ei wneyd i fywyd a chymeriad personau fel Jefferson. Fe fyddai hyny yn fantais i'r bobl ydynt am gyrhaedd pinacl urddas y byd hwn.

Awn at y pwnc, sef gofyniad Mr. James, Fod Jefferson wedi derbyn ei awgrymiad cyntaf am ein ffurf-lywodraeth bresenol oddiwrth gyfansoddiad a threfn dysgyblaeth eglwys fechan o Fedyddwyr yn Monticello, Virginia.

Yn gyntaf, dilynwn y gwrthddrych o'i enedigaeth. Ganwyd Thomas Jefferson Ebrill 2, 1743, yn Shadwell, Albemarle Co., Va., yr ieuengaf o wyth o blant. Cawn ef pan yn bump oed mewn ysgol Seisnig, a phan yn naw oed rhoddwyd ef mewn ysgol Ladinaeg, lle y bu hyd farwolaeth ei dad, yn 1757. Fe wel y craffus ei fod yn 14 oed y pryd hwnw. Ar ol marwolaeth ei dad fe'i cawn ef dan ofal gweinidog o'r enw Maury. Bu yn ngofal y gwr parchus hwnw am ddwy flynedd. Yn y flwyddyn 1760 cawn ef yn Ngholeg William a Mary, lle y bu am ddwy flynedd eto. Yma daeth i gysylltiad â Dr. William Small, o Scotland, Proffeswr o *Mathematics* yn y coleg hwnw; a dyma ddywed Jefferson am dano: "Profound in most of the useful branches of science, with a happy talent of communication, of correct and gentlemanly manners, and with enlarged and liberal mind." Meddai yr awdwr (*Linn's Life of Jefferson*), "And they became daily and inseparable companions. From the conversations of this learned man and true friend, Jefferson confesses that he first imbibed his views of the expansion of science, and of the system of things in which we are placed."

. Dychwelodd Dr. Small i Ewrop yn y flwyddyn 1762 (*American Biography*), a'r doethawr hwn sicrhaodd le i Jefferson i fod yn fyfyriwr o'r gyfraith gyda'r enwog George Wythe, un o ddynion mwyaf ei oes, ac un o arwyddwyr Datganiad Annibyniaeth y Talaethau Unedig; ac wedi hyny yn Gangellydd Talaeth Virginia.

Daeth eu cyfeillach y fath fel pan fu farw Wythe, yr ewyllysiodd yr oll o'i lyfrgell iddo, am, meddai Wythe, "ei fod wedi profi ei hun yn deilwng o'r parch hwnw iddo."

Nis gwn a ydyw yr uchod yn ddigon i foddloni Mr. James a'i peidio. Nid yw o bwys i roddi hanes yr eglwys, gan fod yr uchod yn brawf digonol lle y cafodd Jefferson y drychfeddwl cyntaf o ffurf gwerin-lywodraeth. Shadwell oedd enw y tyddyn lle y ganwyd Jefferson; mae y lle hwn yn gysylltiedig a'r lle newydd Monticello—enw Italaidd, ystyr yr hwn yw Mynydd Bychan. Y pentref agosaf i Monticello yw Charlottesville, meddai yr awdwr, "a town at the foot of the mountain on which Mr. Jefferson resided.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

*Palmyra. O.* T. W.

## GOFYNIADAU.

*Mr. Gol.*—Dymunaf arnoch chwi neu ryw rai o'ch gohebwyr medrus i roddi eglurhad i mi ar y gofyniadau a ganlyn:

1. Beth sydd i'w olygu wrth bren melldigedig y groes? A oedd y pren hwn yn gwahaniaethu oddiwrth ryw bren arall, gan ei fod yn cael ei alw yn bren melldigedig?

2. A ydyw yr enw pechadur yn briodol i Gristion sydd wedi cael ei enill trwy yr efengyl?

Gan fod llawer o ddadleu wedi bod yn nghylch y pwnc hwn, carwn yn fawr os gwnewch sylw o hono trwy roddi eglurhad goleu ac Ysgrythyrol.

Yr eiddoch yn frawdol,

*Girard, O.* DAFYDD JAMES.

*At y Parch. Dr. Cefni Parry.*

Anwyl Frawd—Carwn ofyn i chwi a ydyw ail-eni dyn neu gyfnewid calon pechadur yn wyrth a'i peidio? Atebiad ac eglurhad i'r uchod rydd foddlonrwydd i lawer heblaw y gofynydd. —*John M. Thomas.*

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Ebe y Parch. William Jones, Wis.: Bwriadwyf anfon amryw ysgrifau eto ar Gymundeb. Pe byddai darllenwyr y WAWR yn darllen y *Cyfaill*, gwelent fwy o angen, a theimlent fwy o ddyddordeb yn fy ysgrifau. Eto, dywed yn mhellach. Cawsom Gymanfa boblogaidd, yr hin yn ddymunol, a'r pregethu yn dra derbyniol gan y gwrandawyr; dim gwrthdarawiadau yn y Gynadledd.

—Diolchwn yn wresog i'n cyfeillion yn Hiawatha, Kansas, am eu ffyddlondeb dros ein cyhoeddiad.

—Cydnabyddwn yn ddiolchgar hefyd ein cefnogwyr yn Dodgeville, Wis., ac yn neillduol y Parch. Meredydd Evans, am yr enwau newyddion, a Mr. Thos. R. Owens, y dosbarthwr, am ei ffyddlondeb a'i onestrwydd. Gwna ei waith yn deilwng o fab yr hen Drebor anwyl.

—Bydd yn dda gan gefnogwyr y WAWR ddeall fod genym ddosbarthwyr gwir selog a gweithgar bron yn ddieithriad trwy y wlad.

—Mae y Parch. David H. Jones, M. A., Johnstown, Pa., wedi ymsefydlu yn weinidog ar yr eglwys yn Frostburgh, Md., o dan amgylchiadau hynod ffafriol.

—Fel y gwelir mewn man arall, mae y Parch. Allen J. Morton wedi ymadael o Pittsburgh, ac wedi ymsefydlu yn weinidog ar yr eglwys yn Parisville, Ohio.

—Ebe y Parch. D. S. Jones, Thurman, O., "Mae y WAWR yn dyfod yn brydlon i law, ac y mae yn hynod dda."

—Damwain ofidus iawn oedd boddiad Mr. David Davies, myfyriwr yn ngholeg Llangollen. Dywedir ei fod yn ddyn ieuanc ag yr oedd pawb yn ei hoffi. Gwel yr hanes mewn man arall yn y rhifyn hwn.

—Mae Mr. Thomas Evans, Mahanoy City, Pa., wedi ymsefydlu yn Audenried, a bwriedir ei ordeinio yn weinidog ar yr eglwys Fedyddiedig yn fuan.

# Barddoniaeth.

## MEHEFIN.

GAN IORWERTH GLAN ALED.

Edrychais ar yr awyr glir,
  A'r bryniau gwyrddion ban,
A thybiais pan mewn tawel dir
  Y rhoi'r fy marwol ran,
Mai hyfryd yn Mehefin fwyn,
Pan ddyry'r ffrydiau gerdd drwy'r llwyn,
  A'r coed beroriaeth wan
Fydd tori y dywarchen lwys
Er gwneyd o dani'm beddrawd dwys.

Na foed fy nghell mewn rhewbridd cla',
  Na'm harch ei dwyn trwy eirwlaw ffroch;
Na thafler arni dalpiau iâ
  Tra cura y tymestloedd croch,
Mae hyn i'm calon fach yn gas,
Ond mwyn fo'r gwynt, a'r nen yn las,
  A gwyrdd fo'r ddaear ddu;
Yn dyner rhoed y gwylaidd bridd
I lenwi'm beddrod cudd.

Ac yno trwy faith oriau'r haf
  Gorphwysed euraidd wawl,
A'r glaswellt ieuainc, blodau braf
  Yn eu prydferthaf hawl;
Nythed yr *oriole* mewn hedd,
Gan draethu ei chwedl ar fy medd;
  Boed yno'r gloyn byw
Yn gorphwys, a boed byth mewn clyw
'R wenynen fach, a chân y dryw.

Ac os daw llonfloedd draw o'r llan
  I'r lle yn niwedd mawn,
A cherdd morwynion teg i'r fan
  Dan d'wyniad lleuad lawn;
Ac os i ddilyn gwyll yr hwyr
  At wyddfa wylaidd iawn,
Hoffwn na ddelai dim i'r lle
Mwy cas na hyny dan y ne'.

Mae'n wir na welaf fi mo wedd
  Y brydferth adeg hon,
Ni th'wyna i lawr i'm tywyll fedd,
  Ni chlywaf ei miwsig lon;
Ond os o gylch fy argel fan
Daw'm ffryndiau hoff i wylo'u rhan,
Awelon mwyn, a cherddi hedd,
A'u cadwo i oedi wrth fy medd.

Boed hyn yn dwyn i'w bronau clau
  Adgofion am a fu,
Gan draethu am un nad all fwynhau
  Y dirion olwg gu;
Hwn sydd a'i unig ran yn awr
Rhwng balchder bryniau lliwiog wawr,
  Sef fod ei fedd yn wyrdd;
Ac O! mor felus iddynt hwy
F'ai gwrando'i lais ef unwaith mwy.

## LLINELLAU GALARNADOL

Ar ol y chwaer ieuanc Mrs. MAGGIE JENKINS, priod Mr. OBED JENKINS, a merch fabwysiedig i Mr. HENRY P. DAVIES a'i briod, Kingston, Pa., yr hon a fu farw Chwefror 25ain, 1881, yn 24 ml. a 13 diwrnod oed.

---

'Tro rhy anhawdd idd ei ddeall
Ydoedd tori Maggie i lawr,
Symud pan ar drothwy bywyd,
Un mor fwyn i'r eilfyd mawr;
Tybiem fod y byd mewn eisiau
Gwragedd o'i rhinweddau hi,
Symud ymaith y drygionus
Fuasai'n ddoeth i'n golwg ni.

Ond er byred fu ei bywyd,
Treuliodd ef yn ofn Duw,
Ymgysegrodd i'w wasanaeth,
Iddo y chwenychai fyw;
Nid oedd hi 'n un ymddiriedai
'I henaid drud i broffes wan,
Ond un ydoedd feddai galon
Geisiai'n ffyddlon wneyd ei rhan.

Er mawr ofal ei rhieni,
A ffyddlondeb priod mwyn,
Profi wnaeth ei chystudd chwerw
'N ormod iddi hi i'w ddwyn;
Datod wnaeth ei phabell egwan,
Yr hoel olaf ddaeth yn rhydd;
Uwch ei phen ymgasglodd cwmwl,
Aeth yn nos cyn canol dydd.

Teimlodd fod ei hymddiriedaeth
Pan yn llithro lawr i'r glyn,
Yn yr hwn ddyoddefodd drosti
Draw ar ben Calfaria fryn;
Yn swn dwndwr trwm yr afon
Cafodd afael yn ei law,
Trwy ddwfn rydiau'r dyfroedd oerion
Aeth yn iach i'r ochr draw.

Anhawdd ydyw ymgymodi,
Goruchwyliaeth chwerw yw,
Archoll ddofn raid fod ei cholli—
Archoll dorodd hyd y byw;
Ond, gyfeillion, na alarwch,
Chwi gewch eto ail fwynhau
Ei chymdeithas ddedwydd, siriol,
Yn y byd sydd i barhau.

*Kingston, Pa.* BRAWD.

---

# Y Maes Cenadol.

---

GAN Y GOLYGYDD.

---

Peth cymarol ddiweddar ydyw cenadaeth dramor yn mhlith Protestaniaid. Yr oeddynt yn estroniaid i'w gilydd. Un yn cael ei anfon dros y môr i wledydd paganaidd i gyhoeddi y newydd da o lawenydd mawr; yn cael ei gynal yno gan gymdeithas neillduol i'r pwrpas—y mae peth fel hyn yn beth newydd iddynt hwy—yn beth a gymerodd le yn eu plith yn ddiweddar.

Nid oedd yn beth newydd i'r Pabyddion. Yn mhell cyn hyn, arferent hwy anfon cenadon oddicartref; ond y gwir yw, ychydig iawn o ddaioni a gynyrchid ganddynt wedi eu hanfon. Dygid i mewn ganddynt lawer o bethau can waethed a phaganiaeth ei hunan; gan hyny, nid oedd y byd nemawr gwell o'u cael.

Gynt, edrychid ar ddrygau mawrion y gwledydd paganaidd fel yn anmhosibl idd eu symud. Yr oeddynt yn debyg i hinsoddau afiach rhanau o'r byd. Gwyddoch nad oes neb yn meddwl symud y rhai hyny; a phe byddent yn meddwl, byddai, wrth gwrs, yn beth hollol ofer. Felly hefyd, fel yr hinsoddau hyny yr edrychid gynt ar ddrygau gwledydd paganaidd y ddaear fel yn ansymudadwy. Pa fodd bynag, o'r diwedd, cyfnewidiodd cyfeillion crefydd yn eu barn er gwell. Mynasant hwythau genadon i wneyd ymosodiad arnynt. Ar y dechreu edrychid ar yr anturiaeth fel y ffolineb a'r rhyfyg mwyaf. Yr oedd yn peri i lawer anffurfio eu gwynebau; chwerthinid am ben y rhai a flaenorent yn yr anturiaeth; a theimlid tosturi tuag atynt yn gweithredu mor ffol a diamcan. Ond erbyn hyn, gwelir fod gwynebau dynion yn dechreu dyfod i'w ffurf briodol. Teimlir erbyn hyn mai nid ffolineb oedd ganddynt mewn llaw, ond pethau yn llawn gwirionedd a sobrwydd.

Mae y cenadwr wedi dyfod yn gymeriad pwysig. Wrth ddweyd hyn nid ydym yn anghofio cymeriadau da eraill. Nid ydym yn anghofio gwladychwyr a dyngarwyr enwog sydd wedi ac yn llafurio yn ddyfal er lles a daioni eu cyd-ddynion. O, na fydded i ni fod yn anghyfiawn i anghofio eu gwaith a'u llafurus gariad. Ar yr un pryd ni ddylem fod yn ddisylw o hyn, sef fod eu llafur hwy yn cael ei gyfyngu yn unig er eu lles tymorol, tra y mae y cenadwr yn ymdrechu gwneyd

mwy na hyn. Llafuria ef nid yn unig er eu lles tymorol, ond hefyd er eu lles ysbrydol a thragywyddol. Ymdrecha ef, yn ol ei allu, eu dwyn i feddu addewid o'r bywyd sydd yr awr hon a'r hwn a fydd.

Eisoes, y mae cenadon enwog wedi bod ar y maes, a hyny gan y Bedyddwyr—Ward, Marshman, Burchell, Carey, &c., &c., gwyr a fu yn llafurus a llwyddianus yn eu dydd a'u cenedlaeth—gwyr ag y bydd eu coffadwriaeth yn fendigedig tra fyddo haul, ac yn hir wedi hyny. Nid y lleiaf o honynt oedd yr anfarwol Knibb; ac erbyn hyn mawr yw mintai y rhai a gyhoeddant y Gwaredwr yn y gwledydd tramor, a mawr yw y gwaith a wneir ganddynt. Un o'r arwyddion goreu o ffyniant crefydd gartref ydyw, fod tuedd ynddi i estyn cortynau ei phreswylfeydd. Y mae yn gydymffurfiad â'r archiad apostolaidd, "Eanger chwi." Mae yr efengyl yn newydd da *i'r byd.* Y mae llwyddiant y Genadaeth Dramor y llynedd wedi bod yn gyfryw a ddylai ail-enyn doniau cenadol yr eglwysi yn fwy nag erioed.

### ATHROFA Y BEDYDDWYR YN PARIS.

Y mae y dyddordeb a deimlir yn y sefydliad ieuanc ond pwysig hwn, nid yn unig yn parhau, ond hefyd yn cynyddu yn fwy-fwy. Cynaliwyd cyfres o gyrddau yn ddiweddar yn Lloegr er dadleu ei hawliau, a sicrhau cynorthwy arianol at ei gario yn mlaen. Da genym weled Dr. Mitchel a'r sefydliad yn cael cefnogaeth wresog y fath frodyr pwysig a dylanwadol a Dr. Angus, Dr. Dodd, Dr. Wayland, o America, Dr. Underhill, ac eraill. Bydd yn dda gan ein darllenwyr, yn ddiddadl, ddeall fod yn Ngholeg Paris, er nad ydyw ond newydd ei sefydlu, chwech o wyr ieuainc yn efrydu ar gyfer y weinidogaeth. Hyderwn y gwelir y chwech wedi cynyddu cyn hir yn chwech ugain. Na ddiystyrwn ddydd y pethau bychain.

### JAPAN.

Mae yn debyg mai ymerodraeth Japan yw yr hynaf yn yr holl fyd. Mae yn hynach a llawer mwy sefydlog na hyd yn nod ymerodraeth China. Mae llawer o linachau breninol wedi bod yn China yn nghorph y ddwy fil a'r pum' can' mlynedd diweddaf, ond y mae hen deulu Mikado wedi parhau ar orsedd Japan yn ddidor am ddwy fil a haner o flynyddoedd. Dywed hyn, yn nghyda phethau eraill a allasem nodi, am sefydlogrwydd y Japaniaid. Ond er mor sefydlog ydynt wedi bod trwy yr oesau, y mae yr efengyl yn peri cyfnewidiadau cyflym yno yn y blynyddau diweddaf. Dichon nad oes dim mor Bentecostaidd yn hanes crefydd mewn unrhyw wlad yn yr oesau diweddaraf ag sydd yn hanes crefydd yn Japan. Edrycha y Cristionogion yno ar eu hanes fel math o ail argraffiad o Actau yr Apostolion. Nid oes ond rhyw ugain mlynedd er pan aeth y cenadwr cyntaf yno. Rhyw ddeng mlynedd, fe allai, ar y goreu, y mae Cristionogaeth wedi gael o faes clir i weithio ynddo. Y capel cyntaf a godwyd yno oedd yr un a godwyd yn Yokohama yn y flwyddyn 1872. Ond erbyn hyn y mae yno gant a thriugain o genadon yn pregethu yr efengyl, a thros gant o bregethwyr brodorol. Ceir yno haner cant o eglwysi corphoredig, tair mil o aelodau, a rhyw wyth mil o wrandawyr. Cyfieithir a chyhoeddir yr Ysgrythyrau a llyfrau da eraill yno hefyd, yn nghydag un papyr newydd crefyddol. Fel hyn y mae "gwlad codiad haul," gyda'i phymtheg-miliwn-ar-hugain trigolion, yn ymryddhau o lyffetheiriau rhagfarnau a barbareiddiwch oesol, gan estyn eu dwylaw yn brysur at Dduw. Tebygol yw nad oes yr un maes cenadol arall mor addawol a deniadol a Japan.—*Y Greal.*

---

## HANESION CARTREFOL.

---

### *CYMANFA BEDYDDWYR TALAETH NEW YORK.*

**Cynaliwyd y gymanfa hon eleni fel y canlyn: Cynadledd yn Utica, Mehefin 11eg, pryd y dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Wm. H. Williams, Freedom, Cattaragus. Dewisiwyd y Parch. O. F. Perry yn Gadeirydd, a'r Parch. Owen Griffith yn ysgrifenydd am y cyfarfod hwn, a John R.**

Ellis yn drysorydd y gymanfa. Enwau y Cenadon oedd fel y canlyn: Utica, Wm. Thomas a John Hughes; Remsen, John R. Ellis ac Evan Roberts; Bordwell, Parch. O. F. Perry a J. R. Thomas; Steuben, Parch. J. Seth Jones a Thos. E. Williams; Cattaragus, James Higgins, a Wm. H. Williams. Darllenwyd *report* y Gymanfa yn Cattaraugus, a derbyniwyd ef fel un cywir. Cynygiwyd fod y penderfyniadau a basiwyd yn Cattaraugus mewn perthynas i eglwys Utica, yn cael ei adystyried. Ar ol tipyn o siarad, penderfynwyd gohirio y mater hyd gynadledd Remsen. Cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus nos Sadwrn 11eg, a thrwy y dydd Sabboth.

Nos Lun, dechreuodd y cyfarfod yn Bordwell, trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. Owen Griffith. Pregethodd y Parch. Thos. T. Williams a Daniel E. Bowen yn Gymraeg, a John Evans, Westerley, R. I., yn Saesneg. Dydd Mawrth, dechreuwyd am 10 trwy ddarllen a gweddio gan T. T. Williams, a phregethodd y Parchn. Owen Griffith ac Edward Edwards. Dechreuwyd y cyfarfod prydnawn gan J. Seth Jones, a phregethodd y Parchn. Wm. M. Evans a John Evans.

Cyfarfod yr hwyr a ddechreuwyd gan D. E. Bowen, a phregethodd John Evans yn Saesneg, a Wm. M. Evans yn Gymraeg. Mehefin 15fed, cawsom gynadledd yn Remsen, pryd y darllenodd ac y gweddiodd y brawd James Higgins, Freedom, Cattaraugus. Dewiswyd y Parch. Wm. M. Evans yn llywydd a J. R. Thomas yn ysgrifenydd. Rhoddwyd gwahoddiad croesawus i'r brodyr dyeithr i gymeryd rhan yn y cyfarfod. Darllenwyd llythyr cymeradwyaeth y Parch. T. T. Williams, a phenderfynwyd:

"Ein bod yn anog yr eglwysi yn nghylch y Gymanfa hon i roddi derbyniad croesawus i'r hen hybarch frawd, y Parch, Thos. T. Williams, Pomeroy, O., ar ei ymweliad presenol a hwynt.

"Ein bod yn galw sylw yr eglwysi at reol 11eg o'n Cymanfa: Nad yw'r eglwysi perthynol i dderbyn unrhyw bregethwr neu weinidog o unrhyw le tu allan i gylch y Gymanfa i'w pwlpudau heb lythyrau cymeradwyol, wedi eu llawnodi gan yr eglwys y perthynant iddi, a'r Gymanfa neu'r Cyfarfod Chwarterol y byddont yn aelodau o honynt, neu oddiwrth weinidogion o ymddiried perthynol i'r unrhyw.

"Ein bod yn taer gymell y *Wawr* i sylw yr eglwysi Bedyddiedig, ac yn eu hanog i'w darllen yn fyfyrgar, deallus a sylwgar, er eu hadeiladaeth a'u cysur personol; ei chymell (gan fynegi ei rhagoriaethau) i eraill, talu am dani yn brydlon, &c. Ein bod hefyd yn cydnabod y golygydd hyglodus gyda'r diolchgarwch cywiraf, didwyllaf, a gwresocaf am ei ymdrechion cyflawn a digoll," &c.

Dechreuodd y cyfarfod cyhoeddus yn Remsen, nos Fercher, pryd y pregethodd y Parch. J. Edred Jones a John Evans, a T. T. Williams a Daniel E. Bowen am 10 yn y boreu dydd Iau; Wm. M. Evans a J. Evans am 2 yn y prydnawn; yn nghyfarfod yr hwyr, pregethodd y Parch. Owen Griffith a Wm. M. Evans yn Gymraeg, a John Evans yn Seisneg. Felly y terfynwyd y gymanfa yn Oneida y flwyddyn hon. Cawsom gymanfa fendigedig, bendithion y nefoedd yn cael eu tywallt yn y cyfarfodydd. Bydded i'r gwirioneddau pwysig a gafodd eu traethu gael lle yn nghalonau llawer o'r newydd, a phlant Seion fyddo yn cael eu deffroi.

YSTADEGAU YR EGLWYSI.

*Eglwys Cattaraugus.*—Bedyddiwyd, 1; derbyniwyd trwy lythyr, 3; gollyngwyd trwy lythyr, 2; bu farw, 4. Rhif yr eglwys, 193. David H. Evans, Ysg.

*Eglwys Remsen.*—Derbyniwyd trwy lythyr, 11; gollyngwyd trwy lythyr, 4. Rhif presenol, 88. Wm. G. Griffiths, Ysg.

*Eglwys Utica.*—Bedyddiwyd, 1; derbyn-trwy lythyr, 1; gollyngwyd trwy lythyr, 5; diarddelwyd, 7; bu farw, 3. Rhif presenol, 49. J. Williams, Ysg.

*Eglwys Bordwell.*—Gollyngwyd trwy lythyr, 4; Bu farw, 1. Rhif presenol, 42.

J. R. Thomas.

---

## Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.

Cynaliwyd y Gymanfa uchod eleni yn Mineral Ridge, O., Mai 27—30.

Boreu dydd Sadwrn, am 10 o'r gloch, agorwyd y gynadledd gan frawd, trwy weddi, a phenderfynwyd amryw o benderfyniadau, y rhai a fwriedir eu cyhoeddi yn y rhifyn nesaf o'r Wawr. Y rheswm na chyhoeddir hwynt yn y rhifyn hwn yw, o herwydd i'r gynadledd basio penderfyniad i gyhoeddi rheolau y Gymanfa yn gysylltiedig â hanes y Gymanfa hon, yn y Wawr; a thaer gymelliad ar i bob eglwys yn nghylch y Gymanfa i osod copi o'r rhifyn hwnw yn llaw pob aelod. Teimlai y gynadledd, yn gymaint a bod y y rhan luosocaf o'n haelodau yn hollol anwybodus o reolau ein Cymanfa, fod gwir angen am eu cyhoeddi er mantais i'r rhai hyny eu cael, a hyny ar delerau esmwyth. Byddai yn gryn orchwyl i ni eu cyhoeddi ar ein cyfrifoldeb ein hunain; ond gan fod golygydd parchus y Wawr mor garedig a chaniatau i ni y Wawr at ein gwasanaeth i'r perwyl uchod, taer ddymunir ar i bob eglwys anfon ei harchebion iddo ef yn

brydlon, fel y gall wybod i sicrwydd y nifer gofynol i'w hargraffu. Ymddengys i mi mai y cynllun mwyaf effeithiol i gael hyn oddiamgylch yn llwyddianus fyddai, i bob eglwys benodi un o'r brodyr mwyaf gweithgar yn eu plith i gasglu enwau, a'u hanfon ar unwaith i'r golygydd. Bydded i'r golygydd hysbysu beth fydd pris y rhifyn.

[Y pris fydd 15 cent y copi.—GOL.]

Da genym allu dyweyd i ni gael cymanfa ragorol o'i dechreu i'w diwedd, cynadledd heddychol ac adeiladol, a phawb fel pe yn ymdrechu at les yr eglwysi, purdeb y weinidogaeth, a llwyddiant yr achos yn gyffredinol.

Un peth ag y teimlwn yn ddiffyg yno, a diffyg mawr yn fy ngolwg i, yw hyny—llythyrau oddiwrth rai o'r eglwysi yn llawer rhy feithion; treuliwyd dros awr o amser yn unig i ddarllen llythyrau, yr hyn oedd yn orchwyl blinderus i'r Ysgrifenydd, ac yn sicr o fod yn orchwyl blinderus i'r gynadledd i'w gwrando. Byddai yn dda i Ysgrifenydd pob eglwys ysgrifenu mor fyr mewn mor lleied o eiriau ag y byddo modd. Da chwi, frodyr, cedwch hyn mewn cof erbyn y Gymanfa nesaf, os cawn fyw i'w gweled. Maddeuwch i mi am wneyd y sylw; cofiwch mai trefn a hwylusdod y gynadledd sydd genyf mewn golwg.

Dygwyd y cyfarfodydd yn mlaen yn y drefn ganlynol:

Nos Wener pregethwyd yn y capel. Nos Sadwrn a thrwy y Sabboth pregethwyd yn yr *Odd Fellows' Hall*, am fod y capel yn llawer rhy fychan i gynwys y gynulleidfa luosog oedd wedi ymgynull yn nghyd. Nos Lun, drachefn, pregethwyd yn y capel. Yr oedd yno amryw ddoniau, a phob un yn ol ei allu a'i ddull ei hun yn ymdrechu i draddodi gair y bywyd yn eglurhad yr ysbryd a nerth. Bendith Duw fyddo yn dilyn y Gymanfa.

Yn y rhifyn nesaf o'r WAWR anfonaf hanes ein Cymanfa yn gyflawn, y penderfyniadau, rheolau y Gymanfa, ac ystadegau yr eglwysi am y flwyddyn.

*Sharon, Pa.* THOS. THOMAS, *Ysg.*

### BEVIER, MO.

*Mr. Gol.*—Carem wneyd yn hysbys i'r byd Cymreig trwy gyfrwng y *Wawr*, fod egwyddorion teyrnas yr Arglwydd Iesu Grist yn llwyddo ychydig yn y lle hwn. Dilewyrch iawn ydyw yr achos wedi bod yma am lawer o amser; ond y mae yn gwisgo agwedd fwy dymunol yn ddiweddar, ar amryw ystyriaethau. Ond y mae llawer o le i wella eto. Y mae yr efengyl yn cael ei phregethu yn y purdeb o honi yma yn barhaus gan ein hanwyl frawd, y Parch. J. D. Evans, er nad yw yn weinidog ar yr eglwys hon.

Sabboth Mai 29, cawsom yr hyfrydwch o'i weled yn claddu yn y bedydd, yn ol rheol y Testament Newydd, un chwaer, yr hon oedd wedi bod yn aelod am tua saith mlynedd gyda yr Annibynwyr; ond oddiar yr ystyriaeth fod y "bedydd bach" yn anysgrythyrol, daeth i'r penderfyniad ei bod yn angenrheidiol ymostwng i gomisiwn yr Arglwydd Iesu Grist, trwy gael ei chladdu gydag ef yn y dyfrllyd fedd. Cawsom anerchiad byr a phwrpasol ar yr amgylchiad gan ein hanwyl frawd Evans. Tystiolaeth gyffredinol pawb o'r gwyddfodolion oedd, na welsant ufudd-dod na gweinyddiad mwy anrhydeddus erioed. Llwyddiant eto i air y gwirionedd, ac i'r brawd Evans, i gael y fraint o weinyddu yr ordinhad ar luaws yn y dyfodol. Yr eiddoch,

—*John C. Williams.*

---

### YMADAWIAD Y PARCH. D. S. THOMAS A LANSFORD, PA.

Eglwys y Bedyddwyr, Lansford, Mawrth 28, 1881.

*At bawb y perthyn iddynt wybod:*

Hyn sydd i hysbysu fod y Parch. D. S. Thomas yn aelod rheolaidd o'r eglwys hon, ac fel y cyfryw dymunwn iddo gael ei dderbyn i fynwes unrhyw eglwys o Fedyddwyr Neillduol y dichon iddo gyflwyno ei hun a'i lythyr hwn, i ymaelodi ynddi.

Yn mhellach, y mae genym i'ch hysbysu fod y brawd Thomas wedi ein gwasanaethu yn ffyddlon fel ein gwein-

idog, am saith mlynedd a haner, yn diweddu gyda ni y dydd hwn.

Mae yr Arglwydd wedi bod yn dda iawn i ni yn gysylltiedig a gweinidogaeth y brawd Thomas; y mae yr eglwys wedi treblu nifer ei haelodau, a'r gynulleidfa wedi lluosogi yn fawr yn amser arosiad y brawd yn fugail arnom.

Yr ydym yn ei ollwng ymaith gan ei fod wedi rhoddi i ni dri mis o rybudd, ac ymddiswyddiad.

Ni wnawn udganu ei glodydd; gwaith afreidiol yw hyny; ni raid iddo wrth lythyr canmoliaeth; ond dymunwn Dduw yn rhwydd iddo, a'r un arddeliad dwyfol fyddo ar ei weinidogaeth yn y dyfodol pa le bynag y tywysir ef, ag sydd wedi bod yn y gorphenol.

Yr eiddoch dros yr eglwys,
JOHN DAVIES, DAVID JAMES,
JOHN E. JENKINS, WM. WARTON,
*Diaconiaid.*

[Cyflwynodd y brawd parchus, y Parch. D. S. Thomas, y llythyr uchod i'r frawdoliaeth yn St. Clairs, Pa., i'r hon y mae efe yn weinidog.—GOL.]

---

SEWELL STATION, W. VA.

Mehefin 6, 1881.

*Barchus Olygydd*—Y mae rhai misoedd bellach wedi myned heibio er pan anfonais air i'r WAWR o'r blaen. Buasai yn dda genyf fod o ryw wasanaeth i'r WAWR, am mai "Cylchgrawn Misol y Bedyddwyr Cymreig yn America" ydyw! Hi sydd yn dal i fyny ein hegwyddorion ar gyhoedd y byd, fel nad oes achos i'r un Bedyddiwr ofni yr enllibwr na'r athrodwr. Y mae genym yn bresenol y WAWR, a diolch am hyny. Aed rhagddi.

Anaml yn ydym yn cael pregethu; nid ydym wedi clywed ond tair pregeth Seisnig er's saith mis; hefyd ni chawsom yr un gyfeillach na chyfarfod gweddi, nac ychwaith yr un ysgol Sabbothol—rhy ddrwg, yn wir! Y mae yma lawer iawn o Fedyddwyr yn y cylchoedd hyn; hwynt-hwy yw y mwyafrif o ddigon. Gresyn meddwl fod yma gynifer o honom mor amddifad o foddion gras mewn gwlad fel hon, onid yw? O'r braidd na fyddai yn well genyf farw na bod fel meudwy wrthyf fy hun. Pa fodd bynag, hyderwyf y bydd i Dduw anfon rhyw frawd da atom ar fyrder.

Pan ar dro yn ddiweddar yn Coal Valley, cefais yno, er fy syndod, y Parch. John R. Jones, Mason City, W. Va. Yr oedd yn dda genyf gael golwg ar ei berson, a chael ysgwyd llaw a'n gilydd am y waith gyntaf erioed, sicr yw yr oedd yn dda genyf ei weled a'i glywed yn pregethu. Cawsom ddwy bregeth odidog ganddo, un yn Gymraeg, a'r llall yn Saesneg. Y mae Mr. Jones yn bregethwr da yn ngwir ystyr y gair. Bydded i bobl Mason City wneyd yn fawr o hono. Llwydd iddo o galon. Byddwn yn ei ddysgwyl i fyny yma o hyn i ddiwedd y mis hwn.

Y mae yr eglwys yn Coal Valley yn cynyddu o ran nifer yn ddirfawr, a'r ysgolion Sabbothol yr un modd. Diau mai "o'r Arglwydd y mae hyn oll, a rhyfedd yw yn ein golwg ni." Hefyd y mae ganddynt gapel hardd yn cael ei adeiladu, a diau ei fod erbyn hyn wedi ei gwblhau. Y mae yn amlwg fod yr Arglwydd yn arddel ei bobl; a llef yr eglwys ydyw, "Dyro le i mi, fel y preswyliwyf."

Yr wyf yn darllen y WAWR gyda blas anarferol; yn wir, Mr. Gol., y mae ynddi erthyglau gwerth ei phris am ddeg mlynedd. Cefnogwn hi a'i golygydd, a dangoswn hyny trwy ei derbyn, a thalu am dani yn brydlawn, "Hyd oni wawrio y dydd." Yr eiddoch—
*John R. Jones.*

---

CWRDD YMADAWOL Y PARCH. ALLEN J. MORTON.

Peth newydd i lawer o gyfeillion y Parch. Allen J. Morton, oedd iddo hysbysu yr eglwys Fedyddiedig ar heol Chatham yn Pittsburgh, ei fwriad i ymadael ar unwaith, ac ymgartrefu yn Parisville, O.; wedi derbyn galwad oddiwrth yr eglwys hono, a'i hateb yn gadarnhaol, ac i ddechreu ar ei weinidogaeth yno y Sul nesaf (Meh. 8fed). Yn gyffredin, y mae gweinidogion yn rhoddi rhybudd prydlawn i'r eglwysi pan yn ymadael, ond barnodd y bon-

eddwr uchod mai doethach fel arall. Dydd Sul diweddaf, gwnaeth yn hysbys ei benderfyniad, ac nid oedd gan yr eglwys ddim i wneyd ond derbyn ei *resignation*, a thalu iddo yr hyn oedd ddyledus, ac ychydig dros ben; ac yna i dreio cael ychydig o gyfarfod ymadawol y nos Fercher canlynol, er datgan teimladau cynes y bobl tuag ato, a'u dymuniad am ei lwydd yn ei faes newydd. Daeth cynulleidfa dda iawn yn nghyd, ac ystyried fod mwyafrif y bobl yn gweithio y nos. Galwyd y cyfarfod i drefn, ac etholwyd Mr. Lloyd Jones yn gadeirydd, a Gol. y *Wasg* yn gofnodydd. Siaradodd y brodyr canlynol yn uchel am Mr. Morton fel pregethwr, boneddwr a Christion, sef Mri. John E. Williams, Henadwr Thomas, Owen Jones, R. T. Daniels, y Parch. J. Gwawrfryn Evans, a'r llywydd. Canwyd gan Mri. James Wynn, R. T. Daniels, a chôr y plant, o dan arweiniad y brawd D. Dowlais Jones. Colled i Gymry y ddinas hon yw gorfod ffarwelio a Mr. Morton. Ni fu un gweinidog Cymreig yn fwy parchus gan y gwahanol enwadau crefyddol yma nag ef, ac nid ydym yn credu fod un rheswm o'i eiddo yn y cyfarfod ymadawol yn ei gyfiawnhau i dori ei gysylltiad a'r eglwys y bu yn gwasanaethu ynddi am ddwy flynedd. Dywedai mai mab i ffermwr ydoedd, a bod awydd arno fyned i amaethu. Y mae y brawd yn llawer rhy dew, ac heb nemawr gymwysder at at hyny o orchwyl, ac os ydyw ef yn tybied y gwna amaethwr llwyddianus, barn y lluaws yw, mai *failure* ofnadwy fydd. Y mae pobl Pittsburgh yn credu mai yr areithfa yw lle y brawd Morton, ac mai anhawdd iawn fydd cael neb i lanw ei le yn mhwlpud gwag Catham St. Eglwys Parisville, aethoch a'r dalent oreu, a'r seren ddysgleiriaf o ddinas y mwg. Prisiwch eich braint.—*Gohebydd.*

---

### Pottsville, Pa.

Gofidus genym hysbysu nad yw pob peth yr hyn a ddymunid yn y presenol yn hen eglwys barchus yr hybarch William Morgans, gynt. Bernir gan amryw y dylid ymddwyn yn fwy tyner tuag at frodyr da ydynt yn methu cyduno a threfniadau rhai o'r swyddogion. "A chwi y rhai ysbrydol adgyweiriwch y cyfryw rai mewn ysbryd addfwynder."—*Brawd.*

---

### *BEDYDDIWYD—*

*Lansford, Pa.* — Bedyddiwyd yma ddau frawd ac un chwaer, ar yr 22ain o Mai—y Parch. D. S. Thomas, cynweinidog yr eglwys yn gwasanaethu.—*Daniel M. Jones, Ysg. pro tem.*

---

### *PRIODWYD—*

Mai 22, 1881, gan y Parch. B. E. Jones, Mr. Henry Watkins, Lykens, Pa., a Miss Sarah Ann Dando, Wiconisco., Pa.

Mehefin 11, 1881, yn nhy tad y briodasferch Ocean Mines, Md., gan y Parch. D. H. Jones, Mr. Thomas Lewis a Miss Mary A. Williams, y ddau o Frostburgh.

---

### *BU FARW—*

MRS. MARY T. LEWIS.

Chwefror 16, 1881, bu farw Mrs. Mary T. Lewis, yn 25 ml., 1 mis ac 8 diwrnod oed, yn Mahanoy City, Pa. Yr oedd gwrthddrych y nodiadau hyn yn ferch i'r hen frawd a chwaer Howell a Sarah Jeffreys, gynt o Minersville, ac yn wraig i Walter T. Lewis o'r ddinas hon. Ffaith amlwg i bawb yw fod marw yn beth cyffredin.

"Son am farw glywaf yma,
Son am farw glywaf draw."

Ond nid yr un teimladau sydd yn ein meddianu ar farwolaeth pawb o'n perthynasau a'n cyfeillion. Y mae yn sych ac yn galed i'r eithaf mewn ambell i angladd—dagrau hiraeth yn hynod o anaml; brydiau eraill, mewn angladdau, nid yn unig y perthynasau welir yn tywallt arwyddion serch tuag at, a hiraeth am yr ymadawedig, ond y rhan amlaf o bawb o'r gwyddfodolion. Y mae yna achos i'r naill ymddygiad fel y llall. Gall dyn dyeithr ddarllen hanes bywyd yr ymadawedig i raddau perffaith iawn. Colled fawr yw colli ambell un, ac y mae colli ambell un arall yn fwy o enill nag yw o golled i'r rhai sydd ar ol; ac y mae maint y golled, fel rheol, yn cael ei benderfynu gan yr hiraeth a'r dagrau a welir ar ddydd yr angladd.

Mae eglwys y Bedyddwyr yn Mahanoy City, yn ddiweddar, wedi colli amryw ag y teimlir colled a hiraeth ar eu hol, ac un o'r cyfryw yw gwrthddrych y llinellau hyn.

Gwnaeth ein chwaer broffes o grefydd yn mlodau ei dyddiau, a bu ei bywyd yn ddiargyhoedd hyd ei hesgyniad i baradwys at ei Duw. Yr oedd nodweddion gwir grefydd yn amlwg yn ei bywyd. Yr oedd crefydd a hithau yn byw yn eu gilydd.

Yr oedd yn un hynaws iawn—yr oedd hyn yn amlwg yn ei gwynebpryd; ac wrth ymarfer a chymdeithasu a hi, caed prawf fod yr allanol yn arddangosiad cywir o ansawdd a thymer ei meddwl.

Yr oedd yn un ffyddlawn—mewn enw yn unig y mae crefydd llawer un. Na atto Duw i ni farnu neb yn anmhriodol; eto, mae rheol Crist yn anffaeledig ar y pwnc, a dyma hi, "Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt." Nid yw moddion gras o fawr bwys gan rai; ac os yw gair Duw yn wir, nid yw crefydd y cyfryw yn werthfawr iawn. Mae ffyddlondeb gyda moddion gras yn anhebgorol er profi meddiant o grefydd. Un ffyddlawn yn y moddion oedd Mrs. Lewis.

Yr oedd yn un ddefnyddiol gyda chrefydd. Bu cyhyd ag y gallodd yn chwareu yr organ yn ngwasanaeth y cysegr. Bu am amser hir yn athrawes yn yr Ysgol Sabbothol. Cymerai ran yn nghyfarfodydd gweddi y chwiorydd, a chymerai fantais o'r gyfeillach i adrodd ei phrofiad crefyddol. Gellir dweyd am dani fel y dywedodd y Ceidwad am un arall, "Yr hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth;" felly, nid rhyfedd y teimlir hiraeth a cholled ar ei hol, yn y teulu ac yn yr eglwys. O'i cholli, collwyd plentyn anwyl, chwaer garedig, gwraig a mam fwyn, hawddgar, gofalus a duwiolfrydig; ond gan iddi roddi trwy ei bywyd ac wrth farw, cynorthwyir hwynt oll i gyflawni cyngor yr apostol, i beidio galaru yn ormodol fel rhai heb obaith. Credir eu bod oll yn ymddibynu ar yr Arglwydd am nerth i ddal yn ngwyneb yr amgylchiadau chwerwon sydd wedi eu goddiweddyd yn ddiweddar. Cafodd ein chwaer a'n brawd ieuainc ddau o blant; mae un gyda'i fam yn y wlad well, a'r llall yma yn ngofal ei dad. Duw fyddo yn nodded iddynt oll.

Cafodd angladd anrhydeddus, a chydymdeimlad mawr. Cawd gwasanaeth crefyddol yn y ty, y capel, ac wrth y bedd. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd a'r Parchn. Mr. Mathews (A.), ac A. J. Keyser (D. Ref.) A thystiolaeth un ac oll oedd ein bod yn rhoi ei rhan farwol yn y bedd mewn llawn obaith y bydd iddi gael rhan yn adgyfodiad y rhai cyfiawn yn y dydd diweddaf.—*W. D. Thomas.*

### MRS. MARGARET JENKINS.

Chwefror 25, 1881, yn Kingston, swydd Luzerne, Pa., bu farw Mrs. Margaret Jenkins, anwyl briod Obed Jenkins, yn 24 mlwydd a 12 diwrnod oed. Yr oedd llawer o bethau yn mywyd ein chwaer yn deilwng o efelychiad. Y mae y bywyd dynol i'w gymeradwyo yn ol graddau dadblygiad y galluoedd deallol a moesol, wrth gyfarwyddyd y grefydd Gristionogol. Golygwn wrth hyn fod Cristionogaeth yn gefnogol i ddadblygiad y galluoedd meddyliol yn mhob agweddiad, ac nis gall bywyd fel hwn lai na bod yn fywyd o wasanaeth personol a chymdeithasol.

Faint bynag yw dylanwad amgylchiadau ar fywyd, nid oes dim yn eglurach na bod rhyw fath o hawl gan bob dyn a dynes i wneyd bywyd yn hapus, neu yn anhapus, fel yr ewyllysio. Nid yw yn arddangosiad o ddoethineb i feio amgylchiadau a Rhagluniaeth am anhawsderau a thrallodion, sydd yn gynyrchion ein ffolinebau yn nhrefniad amgylchiadau ein bywyd. Yr oedd bywyd ein chwaer hoff ymadawedig yn rhydd iawn oddiwrth feiau a ddeilliant oddiwrth gamlywodraeth yn nhrefniad ei hamgylchiadau. Priodolwn hyn, i raddau helaeth, i hynawsedd ei thymerau naturiol. Nid yn rhwydd y byddai yn cyffroi a chynhyrfu; yr oedd hi fel Mair gynt, yn caru dystawrwydd. Bendithiwyd hi ag ysbryd ufudd a boddlongar; eto nid oedd yn llwfr a difater, ond yn hollol fel arall; byddai mor ddiwyd a'r wenynen, ac hefyd yn ofalus iawn am ddyledswyddau a berthynai iddi fel gwraig ac fel mam. Dyma dystiolaeth y rhai a'i hadwaenai oreu: ni chaffai annhrefn ac annybendod aros o fewn ei golwg, gosodai bob peth yn ei le, a'i le i bob peth. Gellir dweyd am dani fel y dywedodd Solomon am y wraig rinweddol, ei bod yn goron i'w gwr. Cydymdeimlwn a'r brawd ieuanc Obed Jenkins yn ei alar a'i hiraeth ar ol cydmar bywyd mor ofalus o'i amgylchiadau.

Fel aelod eglwysi, llanwai ei chylch yn hynod foddhaol, yr oedd mynychu moddion gras yn un o bleserau penaf ei henaid; cydunai a'r frawdoliaeth mewn mawl a gweddi, a'r deall ac a'r ysbryd. Yn ei marwolaeth, collodd yr Ysgol Sabbothol un o'i deiliaid ffyddlonaf. Gallaf fi fel ei hathraw ddweyd na welais neb yn fwy astud i wrando; ac os buasai rhywbeth yn dywyll yn yr hyn a ddarllenid, gofynai eglurhad yn wylaidd a pharchus; nid oedd am guddio ei hanwybodaeth dan len balchder. Yr oedd tueddiad lled amlwg yn ei meddwl at y beirniadol, eto ni adawai hyny i wrthdaro yn erbyn meddyliau eraill oeddynt yn fwy ymarferol eu hansoddau.

Nodweddid ein chwaer hefyd am ei hawddgarwch a'i sirioldeb, a medrai ddangos hyny yn hynod ledais a dystaw, heb un arwydd o ysgafnder gwageddus, fel y gwelir rai prydiau gan bersonau o'r nodweddion hyn. Hefyd, medrai ddangos anfoddlonrwydd heb ddefnyddio geiriau llymion a sarhaus; credai yr adnod hono, "Ateb arafaidd a ddetry lid," ond hi a fu farw.

Dydd ei hangladd daeth tyrfa luosog yn nghyd; hawdd gweled fod un a gerid yn fawr yn cael ei hebrwng i dy ei hir gartref. Cynaliwyd gwasanaeth yn y capel. Darllenwyd a gweddiwyd yn effeithiol gan y Parch. T. C. Edwards (A.), ac yna cafwyd sylwadau dwys a phwrpasol gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, y gweinidog. Claddwyd hi yn mynwent brydferth Fonty Font, tua thair milltir o'r lle hwn.

Gwasanaethwyd ar lan y bedd gan yr ysgrifenydd, yna ymadawsom hyd foreu mawr yr adgyfodiad.—*James R. Price.*

MRS. ANN HOPKINS.

Mai 9fed, 1881, yn Doughton Station, yn agos i Coalburgh, Ohio, bu farw Mrs. Ann Hopkins, yn 50 ml. oed, priod Mr. John Hopkins, gan adael priod a chwech o blant, pedair o ferched a dau o feibion i alaru ar ei hol. Y dydd Iau canlynol ymgasglodd torf fawr o Gymry parchus a gwahanol genedloedd eraill i dalu y gymwynas olaf iddi, ac i hebrwng ei gweddillion marwol i'r gladdfa yn Youngstown, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. A. S. Phillips.

Ganwyd Mrs. Ann Hopkins y 15fed o Hydref, 1831, yn Llwynpriod, yn agos i'r Felinfoel, Llanelli, sir Gaerfyrddin, D. C.

Merch ydoedd i William a Mary Bowen, Llwynpriod, y rhai a fuont yn aelodau ffyddlon yn hen eglwys barchus y Felinfoel am 70 o flynyddau, ac a hunasant yn yr Iesu yn y flwyddyn 1869, a'r tad wedi cyrhaedd yr oedran mawr o 92, a'r fam yr oedran teg o 87.

Priododd ein hanwyl chwaer â Mr. John Hopkins, o Llwynhendy, yn y flwyddyn 1852, a bedyddiwyd hi gan y Parch William Hughes, Bethel, Glan-y-mor, Llanelli, tua'r flwyddyn 1855. Yn Awst, 1856, ymfudodd i'r wlad hon at ei phriod i Swatara, Schuylkill Co., Pa., ac ymunodd trwy lythyr â'r eglwys Fedyddiedig yn Fremont. Symudodd oddiyno i'r lle hwn yn y flwyddyn 1865; ac yr oedd ein hanwyl chwaer yn un o'r rhai oedd yn corphori yr eglwys Fedyddiedig yn Coalburgh, O.

Bu yn aelod ffyddlon trwy ei hoes, yn llawn sel a gweithgarwch dros orchymynion sanctaidd ei Gwaredwr, ac yn llawn cariad at y brodyr, a chadwodd ei chrefydd hyd y diwedd. Ychydig cyn iddi huno yn yr angau, cusanodd ei theulu anwyl, gan eu rhybuddio hwy ac eraill oedd yn ymyl ei gwely i fawrhau gorchymynion yr Arglwydd uwchlaw pob peth. Cafodd y fraint o weled pedwar o'i phlant yn talu ufudd-dod a pharch i grefydd ein Harglwydd Iesu Grist; a hyderwn yr atebir ei gweddiau ar ran y gweddill o'r plant a'n cyfaill anwyl ei phriod galarus.

Heddwch i lwch ein chwaer, a ewyllys da Preswylydd y berth fyddo ar y teulu anwyl a galarus.—*A. S. Phillips.*

MRS. MARTHA MATTHIAS.

Yn Centerville, Allegany Co., N. Y., Ebrill 22, 1881. yn 73 mlwydd oed, bu farw Mrs. Martha Matthias, anwyl briod Mr. Thomas J. Matthias. Yr oedd ein hanwyl chwaer ymadawedig yn enedig o Treletteret, swydd Benfro, D. C. Cafodd ei bedyddio er's dros haner can' mlynedd yn ol yn Jabez, gan y diweddar Barch W. Havard, a daliodd gyffes ei gobaith yn ddisigl hyd y diwedd. Ymfudodd y teulu i'r wlad hon er's tua 28 o flynyddau yn ol, ac ymsefydlasant yn ardal Freedom, N. Y. Yr oedd ein chwaer er ei dyfodiad yma yn aelod selog a gweithgar yn eglwys y Bedyddwyr yn y lle hwn, a theimlir hiraeth a cholled fawr ar ei hol; yr oedd yn un o ragorolion y ddaear yn mhob ystyr. Chwaer gariadus, hunanymwadol, a thangnefeddus oedd Mrs. Matthias. Yr oedd mor ddiniwed a baban newydd eni. Bu yn briod ffyddlon i'n hen frawd sydd wedi ei adael yn nyffryn galar, am 51 o flynyddoedd. Cawsant 11 o blant, o ba rai y mae tri yn fyw, sef un mab a dwy ferch. Y mae y mab yma, ac un ferch yn Chicago, Ill., a'r llall yn mhellach yn y gorllewin. Nawdd Duw Israel fyddo ar y teulu oll. Cafodd ein brawd oedranus golled anadferadwy, ond yr oedd yr ymadawiad yn elw tragywyddol iddi hi. Ymgasglodd torf luosog yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol. Claddwyd hi yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr Cymreig. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Bydded i'r Arglwydd lanw y bylchau sydd yn cael eu gwneyd gan angau mor aml yn Seion Duw y dyddiau hyn.—*W. M. Evans.*

MR. RICHARD HUGHES.

Mai 11, 1881, ger Centreville, Gallia Co., O., o'r *cancer*, yn 59 oed, bu farw Mr. Richard Hughes. Dyoddefodd ein brawd boen mawr a chystudd maith iawn; fe ddyoddefodd boen dirdynol am ddwy flynedd a haner. Bu ei briod yn hynod dyner, gwyliadwrus a ffyddlon iddo yn ei gystudd. Yr oedd yn ddyn o feddwl cryf, yn ymresymwr da, ac yr oedd ganddo gof tu hwnt i neb a welsom erioed; yr oedd yn dda odiaeth mewn dosbarth yn yr Ysgol Sabbothol; yr oedd yn ddiacon yn eglwys Ebenezer er's rhai blynyddau, ond aeth o'n gafael, collasom ef yn y glyn. Gadawodd briod a saith o blant i wylo ar ol un oedd yn anwyl ganddynt. Heddwch i'w lwch. Brodor oedd o sir Fon, G. C.—*D. S. Jones.*

WILLIE GRIFFITHS.

Ebrill 24ain, yn Oak Hill, Ohio, bu farw Willie, anwyl fachgen Dr. T. E. Griffiths. Yr oedd yn fachgen hynod addfwyn. Yr oedd yn ergyd drom i'r teulu i golli eu bachgen mor fuan ar ol eu hanwyl ferch. Yr oedd yn ei ddeunawfed flwyddyn.

MR. MOSES RICHARDS

Ebrill 27, yn Oak Hill, Jackson Co., Ohio, bu farw yr hen ddiacon parchus Mr. Moses Richards, yn 83 oed. Yr oedd ein brawd yn un o oreuon y ddaear; yr ydym yn barnu yn sicr ei fod yn addfed i'r nefoedd. Gadawodd briod, un ferch, ac amryw o wyrion i alaru ar ei ol.—*D. S. Jones.*

MR. TITUS JONES.

Ebrill 26, 1881, yn Sharon, Pa., bu farw Mr. Titus Jones, yn 65 ml. oed. Ganwyd ef

yn mhlwyf Llangynog, sir Gaerfyrddin, Ebrill 1, 1816. Pan yn ddyn ieuanc symudodd i Dowlais, sir Forganwg, lle y bedyddiwyd ef yn Nghaersalem, gan y Parch. Wm. Davies.

Bu dair blynedd yn aelod yn Nghalfaria, Aberdar. Symudodd yn ol drachefn i Dowlais, a bu yn aelod am flynyddau yn Nghaersalem a Moriah. Yn y flwyddyn 1869, symudodd o Dowlais i Youngstown, Ohio, ac oddiyno i Bedford, Ohio. Bu byw yr wyth mlynedd olaf o'i fywyd yn Sharon, lle yr oedd yn aelod gyda'r Bedyddwyr Cymreig. Dyoddefodd am flynyddau oddiwrth yr *asthma*, o'r hwn glefyd y bu farw. Bum yn siarad ag ef y noson cyn iddo farw, a dywedodd wrthyf ei fod yn teimlo yn hapus iawn ei feddwl. Claddwyd ef yn Sharon. Gwasanaethwyd yn ei angladd gan y brodyr Jenkins, gweinidog yr A., Thos. Thomas, a'r ysgrifenydd. Gadawodd weddw oedranus a chystuddiedig ac wyth o blant i alaru eu colled. Gofaled yr Arglwydd am danynt oll.—*J. T. Griffiths.*

MRS. SARAH EVANS.

Yn Ebensburgh, Cambria Co., Pa., ar yr 28ain o Mai, bu farw hen chwaer ffyddlawn a bucheddol iawn, sef Mrs. Sarah Evans, gwraig Evan R. Evans. Genedigol oedd o blwyf Llanfair, sir Drefaldwyn, G. C. Ymfudodd i'r wlad hon pan yn chwech oed, gyda'i rhieni; mae er hyny 63 mlynedd, felly yr oedd yn 69 oed pan fu farw. Ymunodd a chrefydd pan yn 21 oed, a bu ei bywyd crefyddol yn ddifrycheulyd. Ymunodd mewn priodas ag Evan R. Evans yn Ebensburgh, a buont yn cydfwynhau y sefyllfa hono am yr yspaid o 47 mlynedd. Bu iddynt 12 o blant, chwech o ba rai sydd eto yn fyw i gydalaru a'r tad ar ol mam a gwraig durion, ofalus, cariadus a rhinweddol iawn mewn gwahanol ystyron. Tiriwyd ei gweddillion yn mynwent y Bedyddwyr, Gogledd Ebensburgh. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. J. J Morris, o Houtzdale, Pa. Pregethwyd wrth y ty oddiar Job xvi. 22, ac yn yr addoldy oddiar 2 Timotheus iv. 7, 8. Heddwch i'w llwch hyd ddydd yr adgyfodiad, pryd, yn ddiamheu i mi, y caiff dderbyniad croesawus gan ei Cheidwad i'r lle a ddarparwyd iddi er seiliad y byd.—*J. J. Morris.*

JOHN ROBERT PARRY.

Mehefin 14, 1881, yn Newburgh, O., yn 2 flwydd a 9 mis oed, John Robert, mab Dafydd a Jane Parry. Cafodd y bychan tlws gystudd caled a phoenus am chwech wythnos, a bu farw o dan effeithiau y *scarlet fever*. Claddwyd y rhan farwol o hono dydd Iau canlynol, yn Newburgh Cemetery. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan y Parchn. Edwards (A.), Richards (B.), a Thomas (M. C.) Boed nodded ac amddiffyn y nef ar y teulu yn eu galar.—*Iota.*

## NODION O'R "HEN WLAD."

—Mae mesur cau y tafarnau ar y Sabboth wedi dod yn ddeddf yn Nghymru, ac y mae y ffaith fod y genedl bron yn unfrydol drosto, yn glod i'r Dywysogaeth.

—Y mae tysteb Dr. Price, Aberdar, yn debyg o droi allan yn llwyddiant. Y mae cydymdrech cyffredinol trwy Gymru yn cael ei gwneyd er sicrhau hyn, a chymellir cyfeillion Americanaidd, a phawb, i gymeryd rhan yn y gorchwyl teilwng.

—Yn mis Mai diweddaf yr oedd y Parch. J. R. Morgan, D. D., yn dechreu ar ei seithfed-flynedd-ar-hugain yn weinidog ar eglwys Seion, Llanelli, a dygir tystiolaeth fod yr achos yno yn bresenol yn dra llewyrchus.

—Rai dyddiau yn ol cyflwynwyd cofeb i Archesgob Caergaint, wedi ei llawnodi gan 23,997 o aelodau lleygol Eglwys Loegr, yn protestio yn bendant yn erbyn goddef oddimewn i Eglwys Loegr unrhyw un o'r athrawiaethau neu yr arferion sydd yn ffafriol i arferiad Pabaidd, neu unrhyw efelychiad o hono, neu ddygiad y gyffesgell i mewn neu unrhyw honiadau offeiriadol ar ran y clerigwyr wrth bregethu y gair a gweinyddu y sacramentau.

— Mae Arglwydd Faer Llundain newydd roddi mil o bunau i Gymdeithas Genadol Wesleyaidd, fel cofeb gariadus o'r diweddar Dr. Morley Punshon. Rai dyddiau yn ol hefyd darfu iddo roddi gwledd yn y Mansion House er croesawu Dr. Moffat, y cenadwr Affricanaidd enwog, a thad-yn-nghyfraith Dr. Livingstone.

—Pan yr oedd pwnc cofgolofn Iarll Beaconsfield yn cael ei ddadlu yn Senedd Lloegr, ni roddodd Mr. Bright ei bresenoldeb yn y Ty; a phan gliriwyd y Ty i ymranu ar y gwelliant, aeth Mr. Chamberlain, Syr Charles Dilke, Mr. Trevelyan, a Mr. Courtney, allan.

—Ymddengys fod y brodyr da, Mr. Williams, Rhondda, a Mr. Thomas,

Porth, yn bwriadu cychwyn cyhoeddiad cenadol Cymreig, at wasanaeth Bedyddwyr Cymru. Maent eisoes nid yn unig wedi cael addewidion amryw o'r cenadon am ysgrifau cyson a pharhaus, ond addewir eu cynorthwyo gan bersonau o nod a safle yn yr enwad. Llwyddiant i'r anturiaeth.

—Y mae'r byd-enwog a'r "Prifardd Cefni" (chwedl ei hun) yn anfon llithiau yn achlysurol i *Seren Cymru* yn bresenol, ac y mae yn sicr y dylai Cymry dirywiol yr Unol Dalaethau gael gwybod ychydig am gynyrchion llenyddol diweddaraf awdwr mor adnabyddus. Ofnwn na chaniata y golygydd i ni wneyd ond dyfyniad neu ddau fel hyn: "Colled i Gymry America ydyw colli dynion fel Thalamus, pe baent yn deall; ond, o ran hyny, y maent yn rhy hunanol i weled rhagoriaeth yn neb ond ynddynt eu hunain. Y maent lawer gwaeth am eu hunanoldeb yn awr na phan oedd Thalamus yn gadael America; oblegid y mae rhyw lu o weinidogion ieuainc wedi codi, y rhai ydynt yn efrydwyr, wedi treulio rhyw gymaint o amser yn y Brif-ysgol, ond heb berffeithio eu hunain mewn un gangen o ddysgeidiaeth, eithr yn dod allan yn *students' crop* yn wynt i gyd, ac yn diystyru ac yn dirmygu pob peth, a phawb ag y byddo gwynt Johnny Bull arno. Dyna ydyw teimlad hunanol rhyw gilod fel hyn, sydd yn blino Israel y dyddiau hyn yn y wlad hon."

Ac er mwyn pobl y ffwrnesi a'r pyllau glo, dyfynwn un nodyn bach arall: "Nid yw mor galed i ddynion weithio y cynhauaf yn America ag ydyw yn Nghymru, ond y mae yn llawer caletach i geffylau. Yn bur gyffredin, menywod sydd yn eistedd ar y *reapers* i yru y ceffylau. Golwg sobr! Merch barchus amaethwr cyfrifol a chyfoethog, a hen *wrapper* mawr am dani, a hen fonet mawr fel bonet *gipsy* am ei phen, a chwip fawr yn ei llaw, yn eistedd ar y *reaper* drwy y dydd, ac yn *drivo* yr hen geffylau i'r andras wyllt, gan waeddi a chlochderain nes dychrynu holl bryfed, ac adar, a bwystfilod yr ardaloedd i ffoi am heddwch a diogelwch yn yr anialwch draw."

Os bydd y nodiadau hyn yn dderbyniol, Mr. Golygydd, addawaf barhau i godi nodiadau i chwi o hyn allan yn fisol. Yr oedd y WAWR am y mis diweddaf yn fy moddloni yn rhyfedd. GLANCLYDAU.

---

BODDIAD MYFYRIWR.

Oddeutu pump o'r gloch nos Fawrth, Mai 31ain, taflwyd Llangollen i gryn brofedigaeth gan y newydd pruddaidd ddarfod i ddyn ieuanc o'r enw David Davies, un o fyfyrwyr athrofa y Bedyddwyr yn y dref gyfarfod a'i farwolaeth drwy foddi yn yr afon Dyfrdwy. Ymddengys ddarfod iddo ef a thri eraill o ddynion ieuainc yr athrofa fyned i ymdrochi i'r afon, ac iddo fyned i le dwfn a gwyllt, a suddo i'r gwaelod, yr hwn le ydoedd yn ddeuddeg troedfedd o ddyfnder. Gwnaeth ei gymdeithion eu goreu i'w gynorthwyo, ond i ddim pwrpas, a bu agos i un o honynt a boddi wrth geisio ei achub. Daeth canoedd o bobl i'r lle pan wnaed y peth yn hysbys, a deuwyd o hyd i'w gorph ar ol cryn ymdrech. Brodor ydoedd o Blaen y Ffos, swydd Frycheiniog, ac unig fab gweddw dlawd. Y mae un peth rhyfedd yn nglyn a'r amgylchiad hwu, sef fod yr ymadawedig yn pregethu y boreu hwnw yn yr athrofa ar y geiriau hyny, "Y nos hon y gofynir dy enaid oddiwrthyt." Mae y teimladau dyfnaf ar ei ol yn y gymydogaeth a'r athrofa, canys yr oedd yn ffafryn hoff yn y cylch yr oedd yn troi ynddo.—*Llais y Wlad.*

---

*Marwgoffa.*—Bu farw yr hen frawd John R. Jones, (Alltud Glyn Maelor), Brymbo, Mai 8, yn 84 mlwydd oed. Yr oedd yn dad i'r Parchn. W. Jones, Abergwaen, a J. R. Jones, Llwynpia. Nis gwyddom ond y peth nesaf i ddim am ddyddiau boreuol ein hen frawd. Credwn ei fod yn enedigol o Lanarmon yn Iâl, swydd Dinbych. Ganwyd ef tua'r flwyddyn 1797. Symudodd i ardal Cefn Mawr pan yn ieuanc, ac yno

yr ymunodd a'r Bedyddwyr, ac y bedyddiwyd ef gan y diweddar Dr. Ellis Evans. Nid ydym yn gwybod dyddiad ei fedydd, ond tybiwn i hyny gymeryd lle er's dros 50 mlynedd yn ol. Symudodd o'r Cefn i Brymbo. Daeth a'i lythyr gollyngdod gydag ef, ond nid oedd achos gan y Bedyddwyr yn Brymbo y pryd hwnw. Dechreuwyd yr achos yn y flwyddyn 1836, pan ddaeth y Parch. Benjamin James heibio i'r lle i bregethu. Yr oedd Alltud yn un o dri neu bedwar a ymunodd i ddechreu yr achos yn y lle y pryd hwnw. Efe yn awr oedd y Bedyddiwr hynaf yn y lle. Bu yn gymorth mawr i'r achos yn ei wendid. Yr oedd yn gyfaill mawr i bregethwyr, ac y mae lle i gredu iddo fod yn fwy hael nag y gallasai ei amgylchiadau fforddio mewn croesawu pregethwyr i'w dy, &c., a hyny pan oedd y Bedyddwyr yn ymdrechu gosod eu traed i lawr yn y gymydogaeth. Y mae enw Alltud Glyn Maelor yn adnabyddus trwy Gymru fel bardd, ac fel awdwr rhai o'r emynau goreu yn yr iaith Gymraeg, megys,

"Cofio'r wyf yr awr ryfeddol,
Awr wirfoddol oedd i fod," &c.,

a hefyd,

"Mi welaf yn medydd fy Arglwydd,
Ogoniant gwir grefydd y groes," &c,

a lluaws o rai eraill nas gallwn eu nodi. Cyhoeddwyd llawer o'i weithiau awdurol yn llyfryn, dan yr enw, "Y Fodrwy Aur," ac y mae darnau amrywiol o'i waith yn britho tu dalenau ein cyfnodolion yn ystod y deugain mlynedd diweddaf.

Cymerodd ei angladd le dydd Mercher, Mai 11. Claddwyd ef yn mynwent hen eglwys Brymbo. Gweinyddwyd yn y capel ac wrth y bedd, gan y brodyr J. Davies, gweinidog, S. Roberts, a J. Pickering, Coedpoeth.—*Y Greal.*

—Ysgrifena y brawd ffyddlon Mr. Robert Roberts, Ffestiniog, G. C., (Utica gynt), fel hyn: "Lled farwaidd yw y fasnach lechau, ond yr ydym ni yn Ffestiniog yn cael gweithio chwe' diwrnod; ond pedwar y mae Llanberis a Bethesda yn ei weithio. Y mae yma adeiladu capelau anarferol. Mae Bedyddwyr Tanygrisiau bron a chael to ar eu capel newydd hardd; hefyd y mae Bedyddwyr Four Crosses ar ddechreu adeiladu capel yn Llan Ffestiniog. Mae lle i gredu fod dychweliad pobloedd lawer at y Siloh i fod, gan ei fod yn rhoddi yn nghalon ei blant i barotoi mor helaeth am le i'w derbyn. Darllenais eich erthygl yn y WAWR ddiweddaf, yn cwyno fod y gyfeillach grefyddol yn colli tir yna. Mae yr un peth i'w weled yma. Yn wir, gellir dyweyd yr un peth am holl gyfarfodydd yr wythnos; mae gogwydd yr oes at wagedd. Bu ein cyfarfod blynyddol y Sabboth olaf yn Mai, y brodyr canlynol yn ei gynal: Dr. Fred. Evans, Seth Jones, a Dan Davies, Bangor. Hefyd bu Dr. Evans yn traddodi darlith ar "Y Cymro yn America," y nos Lun ganlynol.

BEDYDDIWYD—

Yn Niles, Ohio, Mai 20, 1881, bedyddiwyd dau frawd ar broffes o'u ffydd yn Iesu Grist, gan y brawd D. C. Thomas.

Yn yr un lle, a chan yr un brawd, bedyddiwyd un, Mehefin 19, 1881. Da genym fod llafur ein gweinidog yn cael ei fendithio.—*Brawd.*

GANWYD—

Mai 28, yn Niles, O., bachgen tlws iawn i Mrs. Job, anwyl briod John Job, diweddar o Gymru, gelwir ei enw William Vernon Job.

NILES, OHIO.—Mae yr eglwys hon yn bresenol yn gweithio gydag egni er harddu y capel.—*Brawd.*

## DYDDANION.

### YMWELIAD A SHELTER ISLAND,

YN NGHWMNI Y PARCH. LL. D. BEVAN.

[Parhad.]

Y GWADWR A'R BRADWR.

Rhwygiedig eiriau'r gwadwr—a ddioed
Faddeuai'n Hiachawdwr;
Eithr ei hedd dros gamwedd gwr,
Ni fwriadodd i'w fradwr.

Denial spake the harrowing word
The Saviour swift forgave,
The love that all the Godhead stirred
The traitor would not save.

Yna cafwyd cyfieithiad o englyn Dewi Wyn i'r rhaiadr.

Uchelgadr raiadr dwr ewyn—hydrwyllt
Edrych arno'n disgyn;
Crochwaedd y rhedlif crychwyn,
Synu, pensyfrdanu dyn.

Lofty and strong the foaming waters leap,
Behold how bold and wild adown the steep,
Loud roars the rushing torrent, rough and white,
Man stands bewildered, dizzy at the sight.

Eithr dygwyddiad mwyaf cyffrous y daith oedd ehediad delor brith (golden winged woodpecker) yn min nos ein hymweliad a thy Mr. Bevan. Pan yn cerdded oddiamgylch y ty, ac yn myned heibio un o'r bwthynod (*cottages*) cyfagos, ni a glywem ruthriad yn erbyn y mur o dan y bargod, a thybiem i ni glywed aderyn yn hedfan ar ei draws yn ngolewych yr echwydd, ond methem weled ei ehediad oddiyno. Boreu dranoeth, wrth rodio oddiamgylch yr un lle, cododd Mr. Bevan yr aderyn i fyny ar y cae yn farw. Damweiniodd hedeg yn erbyn y ty, a rhwng braw ac anaf, bu farw mewn canlyniad. Aderyn brith, melynfron, hardd ydoedd, ac y mae ei rywogaeth yn gyffredin yn y rhan hono o'r wlad, ond nid mor gyffredin mewn amryw o wledydd Ewrop. Rhoddodd y Doctor ef i'w lenwi gan wr cynefin â'r gwaith, ac anfonodd ef yn anrheg i gyfaill yn Switzerland. A chan fod yr amgylchiad mor hynod efe a gyfansoddodd y penillion canlynol ar yr achlysur:

To a Golden-winged Woodpecker,

which the author and his friend startled, and it flew against a cottage and injured itself, and was picked up next day dead.

Alas! poor golden winged bird,
Affrighted as we hasty stepped,
Why wert thou from thy refuge stirred
Where sheltered thou hadst safely slept?

Our feet upon the crispen leaves,
Bore no marauders to thy nest;
We spread no net that malice weaves,
We aimed no missile at thy breast.

We saw thee in thy luckless flight
Against the eaves in terror borne;
Then vanish from our pitying sight
With bruised head and pinion torn.

Ah! now thou liest still and cold
My bleeding heart doth o'er thee yearn,
Where doth thy mate her wing enfold,
And longing wait for thy return?

Fair golden wing! red ruby crest!
No more to flash 'neath sunny sky;
Vain open beak! poor silent breast!
Thine only safety was to die.

Ah! thus the cords of life are riven
Startled we fly with panting breath;
Fear blinded, or by passion driven,
To find our refuge, but in death.

Gan fod y dygwyddiad mor hynod, a phenillion Dr. Bevan mor briodol i'r achlysur, teimlais awydd eu cyfieithu i'r Gymraeg.

Ow! ddelor eurog edyn tlawd,
Gan swn ein traed ddychrynwyd, pa'm
O'th noddfa daethost mor ddiffawd,
Lle y gallesit fod heb nam?

Ein twrst ar y crasddeiliog lawr,
Difwriad oedd roi iti darf;
I'th ddrygu ni feddyliem fawr
Dy rwydo, nac anelu arf.

Dy ddilwydd hediad welsom pan
Yn erbyn y bargodion llym
Mewn braw tarewaist d'aden, gan
O'n gwyddfod hofiaw yn ddi-rym.

Ha! 'n oer gorweddi yn y cae,
Fy nghalon erddot deimla'n ddwys;
Dy gymar unig, Pa le mae
Yn dysgwyl dy ddychweliad glwys?

Deg euraidd aden! gopa rhydd!
Dan heulwen ni lewyrchi mwy;
Agora'th big yn ddystaw brudd,
Marwolaeth oedd iachad dy glwy!

Ha! felly edau'r bywyd brau,
Brawychus hedwn yn ein brys
Yn ofnus ddall, gan gael yn glau
Ymwared mewn angeuol wys.

Os ydyw ffrwyth helyntion fel uchod yn ateb chwaeth darllenwyr y Wawr, lled debyg y bydd genyf ychwaneg i'w rhoddi cyn bo hir. Y mae genym amryw benillion eraill, yn nghyd a chyfieithiadau iddynt, y rhai a gesglir eto yn sypynau pan fo hamdden.

*New York.* Aneurin Fardd.

# Y WAWR.

CYF. VI.] AWST, 1881. [RHIF. 5.

## PAUL YN ATHEN.

GAN Y GOLYGYDD.

RHIF I.

*Rhagarweiniol.*

Awn yn ol ddeunaw cant a haner o flynyddau, a pha beth welwn? Gwelwn "gyflawnder yr amser" wedi dod yn ffaith—goruchwyliaeth newydd wedi gwawrio ar y byd. Y fath wanwyn moesol a dorodd allan! Yr amser i'r adar ganu a ddaeth, ac mae llais y ddurtur yn y wlad. Murmurai bywyd hylifol drwy holl anian; nawseiddiodd tymeredd awyrgylch y byd. Onid yw ysbryd y peth byw yn y fan hyn ac yn y fan draw? Onid yw awel y dydd yn fwy lledneisfwyn nag arfer? A mwy na hyn, oni adnewyddodd sirioldeb y ser, tegwch y lleuad, ac urddas yr haul? Yn ddiau ar ddaear dyn gwawriodd gobaith gwell;

> "Blwyddyn y Jubili a ddaeth
> A rhyddid cu i'r enaid caeth."

Mae goruchwyliaethau blaenorol yn ymddatod a diflanu. Mae goruchwyliaeth ragorach *wedi* ymddangos. Trosglwyddir gwaed newydd i wythienau y corph cymdeithasol. Adeg y diwygiad ydyw—diwygiad y diwygiadau. Gwireddir y geiriau, "Yr hen bethau aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd"—cyfreithiau, dysgeidiaeth, cymellion, rheolau ac arferion newydd. Hen ganolfuriau gwahaniaeth cenedloedd dynir i lawr hyd eu sylfaeni. Dychlama calon dynoliaeth o dan ddylanwad gobaith gwell; ymddadebra ysbryd a meddwl dyn; bywheir cyneddfau meirwon. "Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir; y gŵyr a wneir yn uniawn, a'r anwastad yn wastadedd." "Tir Zabulon, a thir Naphtali, wrth ffordd y môr, tu hwnt i'r Iorddonen, Galilea y Cenedloedd: y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch, a welodd oleuni mawr; ac i'r rhai a eisteddent yn mro a chysgod angau, y cyfododd goleuni iddynt." Daeth teyrnas Dduw yn agos at ddyn. Yn ddiau, dyma adeg na welsai y byd erioed ei thebyg. Bu adegau rhwysgfawr, cynhyrfus a thrystfawr yn flaenorol, a gadawsant eu hol ar genedlaethau, ond nid un yn gyffelyb i hon. Fel mewn pedair-awr-arhugain gall llawer dygwyddiad yn natur fod yn fwy trystfawr a chynhyrfiol na chodiad haul y boreu, eto nid oes yr un mor effeithiol ac ymlonol—yr un mor bwysig i'r myrddiynau, ac mor hanfodol i fywyd—mor angenrheidiol i anian fawr amgylchog: felly hefyd yn ystod pedair mil o flynyddoedd, olwynodd heibio adegau o bwys i'r hil ddynol—adegau cynhyrfiol, brochus, ac weithiau bendithiol; ond eilfydd i'r adeg hon ni fu. Yn awr cods Haul Cyfiawnder ar y byd tywyll cenedlig, a meddyginiaeth yn ei esgyll. Yr efengyl a bregethir i'r Cenedloedd—sefydlir teyrnas Dduw ar y ddaear. Yr amcan yw dyrchafu dyn—ei urddasoli yn faterol, yn gymdeithasol, ac ysbrydol. Bydd y naill urddas yn amod i'r llall.

Yn y dyn cyfyngir yr hunanol, helaethir y dyngarol, a dysgyblir yr ysbrydol. Eangir dyn tu allan iddo ei hun; codir ef yn uwch nag ef ei hun. Yr ysgol fawr i ddringo i'r lan at y dwyfol fydd y dynol — cydymdeimlo a'r dynol; gwneyd daioni i bawb, ond yn enwedig i rai o deulu y ffydd; caru'r brodyr. Y ffordd i ddytod o hyd i Dduw fydd cyd-weithredu ag ef yn iachawdwriaeth y byd.

Portread (*model*) yr oruchwyliaeth hon fydd bywyd a marwolaeth Iesu o Nazareth. "Gwir yw y gair, ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i *gadw pechaduriaid.*" Y groes—hunan-aberthiad—yw prif nodwedd y portread gogoneddus hwn; y groes yw *key-note* iachawdwriaeth teulu y codwm mawr. Ni ddaeth Mab y dyn *i'w* wasanaethu, ond *i* wasanaethu. "Yr hwn a fyno fod yn fawr yn eich plith chwi, bydded *was* i bawb." O Iesu mawr, tybiwn weled gwawr yn tori arnom. "Yr hwn a *ddisgynodd* yw yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd." Y mae diwygiad mawr efengyl, meddwn, i ddwyn delw y cynllun a roes Iesu yn ei fywyd a'i farw i ni. Ac y mae y diwygiad yn yr unigol i ddwyn delw yr un cynllun nefol. Mae goruwch-reolaeth y gwaith achubol yn ol y portread a nodwyd, i fod yn llaw Iesu; "Canys rhaid iddo deyrnasu hyd onid osodo ei holl elynion dan ei draed." Y mae hyd yn nod dylanwadau argyhoeddiadol a sancteiddiol yr Ysbryd Glan i fod yn unol a deddfau ei deyrnasiad ef. "Efe a ddysg i chwi yr holl bethau, ac a ddwg ar gof i chwi yr holl bethau *a ddywedais i chwi.*" Dyna rai o nodau rhyfeddol y cyfnod mawr efengylaidd oedd yn bresenol wedi ymweled â phlant dynion.

*Yr oedd yn y byd fawr angen am y diwygiad newydd hwn.*

Yr oedd cyflwr yr hen fyd wedi myned mor ddrwg fel nad oedd nemawr gwell na methdalwr. Llawer gwaith y bu ei wisg yn goch gan waed. Ei brif orchwyl erioed fu gwrthryfela yn erbyn deddfau Duw a dyn. Ei brif ddrwg oedd hunanoldeb. Os yw ei ddrych yn druenus, efe ei hun sydd i'w feio; os nad oes drws ymwared, efe ei hun a'i cauodd. Ymranodd y ty yn ei erbyn ei hun, ac am hyny pa fodd y saif? Aeth hyd yn nod y genedl ddewisedig o dan draed gormeswyr esgeler estronol; ac am ganoedd o flynyddau peidiasai y nefoedd a llefaru wrthi. Ni chyfodasai prophwyd, offeiriad, na brenin i arwain na rheoli. Mae llyfr prophwydoliaeth o dan sel, ac ni chaed neb yn deilwng i ddatod ei seliau ef. Aeth y ty fuasai unwaith yn dŷ Dduw yn anghyfanedd. Y mae y byd, druan, erioed wedi byw uwchlaw ei sefyllfa. Ei lais yn bresenol ydyw, Pwy a'm gwared i oddiwrth gorph y farwolaeth hon? A oes dim balm yn Gilead? ai nid oes yno physigwr? Y gwyliedydd, beth am y nos? Y gwyliedydd, beth am y nos? Un-ochrog fu ei ddiwylliaeth, anmherffaith, hunanol, a fu ei ymgeisiadau, blinderog a llwythog ei gyflwr. Pwy a dosturia wrtho? Pwy a ddengys i'r truanfyd foddion gwaredigaeth? Mae oesau yn myned heibio, a neb yn ateb. Modd bynag, o'r diwedd, yn nghyflawnder yr amser, mae ymwared yn dod; mae trugaredd ddwyfol yn ei haelionusrwydd grasol yn cofio am lwch y llawr. Haleliwia! Bendigedig! Molianus fyddo enw yr Arglwydd. Cenwch, nefoedd, a gorfoledda ddaear; bloeddiwch ganu, y mynyddoedd, canys yr Arglwydd a gysurodd ei bobl, ac a drugarha wrth ei drueiniaid.

*Parotoisid y byd gan Ragluniaeth Ddwyfol i dderbyn y diwygiad.*

Mae y llywodraeth fawr Rufeinig yn cyfodi. Cyrhaedda ben pinacl ei gogoniant drwy rym egnion tri math o lywodraethau—y freninol, y werinol, a'r ymerodrol. Tafla ei chysgodion awdurdodol dros brif genedloedd daear. Ni welwyd gyffelyb y peth hwn erioed, cynt na chwed'yn. Bu ymerodraethau eraill yn helaethach eu tiriogaethau, a lluosocach eu poblogaeth, ond ni fu ail ymerodraeth iddi yn holl gwrs hanesyddiaeth, allodd gysylltu yn gyffelyb ynddi ei hun holl genedloedd

diwylliedig ei hamser. Ond tra yr ydoedd yr ymerodraeth rwysgfawr yn ymddadblygu, yn enill nerth, a thrachefn yn tra ymawdurdodi, y mae rhagluniaeth yn defnyddio y gallu aruthrol hwn—yntau yn is-wasanaethgar i hyrwyddo cerbyd efengyl trwy ororau a diffaeth-leoedd y byd cenedlig. Mae teyrnas nefoedd yn debyg i ronyn o had mwstard, ond os yw yr had i dyfu, rhaid i'r maes gael ei barotoi. Yr ymerodraeth Rufeinig oedd y maes. Mae teyrnas nefoedd yn debyg i surdoes, ond os yw y surdoes i'w gymysgu â'r blawd, rhaid i'r blawd gael ei gydysgwyd. Yr ymerodraeth Rufeinig oedd y clamp toes cymysgedig i dderbyn Cristionogaeth gyntaf. Yn mharotoad y maes hwn beth a welwn?—Gwelwn brif-ffyrdd a phontydd yn cael eu gwneuthur fel rhed-welyau i wahanol gyfeiriadau pellaf yr ymerodraeth eang ar hyd y rhai y symudai y llengoedd milwrol a'r llys-genadon—y symudai trafnidaeth masnach—yr ymdeithiai dysgedigion i gasglu gwybodaeth o'r byd. Ac O! mor hynod gyfleus a gwasanaethgar y daeth y priffyrdd hyn i genadon hedd i allu cydsynio a'r archeb hono, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur."

Eto gwelwn fanteision i ledaeniad yr efengyl, oddiwrth y ffaith fod y cenedloedd lluosog o dan yr un lywodraeth fawr gyffredinol. Trwy hyn ymdreiddiai cyfreithiau a diwylliaeth Rhufain i bob cwr o'r byd; i raddau o flaen y gallu cyffredinol hwn diflanai rhagfarnau hen, anghofid gwersi traddodiadau, ymddatodai llyffetheiriau ofergoeledd, trais a gormes oesoedd gynt. Gwelwn yr iaith Roeg, y Lladin a'r Hebraeg yn cymeryd y flaenoriaeth yn mharabl pobloedd estronol—yr Hebraeg yn ymdreiddio o'r Dwyrain i'r Gorllewin; y Lladin o'r Gorllewin i'r Dwyrain, a'r Roeg yn y canol, yn ymledu ar bob llaw, i'r Dwyrain a'r Gorllewin—y tair iaith hyn yn aros—a'r fwyaf o'r rhai hyn oedd y Roeg. Ni phetruswn ddweyd felly, gan mai hi gafodd fod yn iaith gyntaf Cristionogaeth; ac o gostrelau yr iaith hon y mae yn rhaid i ni yn awr yfed gwinoedd puraf efengyl.

Gwelwn wahanol genedloedd yn meddu diwylliaeth unffurf. Yn yr hen gyfnod cadwai cenedloedd ar wahan oddiwrth eu gilydd—yr oedd pob cenedl yn byw iddi ei hun, ac yn llafurio iddi ei hun. Parai hyn ddiwylliaeth gyfyngedig. Nid oedd cenedloedd yn cyd-gynorthwyo er effeithio dadblygiad cyffredinol; ond o dan yr ymerodraeth fawr Rufeinig *dechreuodd* cenedloedd ddyfod yn naill ddibynol—pob un yn meddu rhan i'w wneyd—pob un yn rhoddi ac yn derbyn. Arweiniad at bethau gwell oedd hyn. Yr efengyl yn unig oedd i rwymo cenedloedd mewn unoliaeth gwirioneddol a mewnol. Unoliaeth allanol yn unig oedd hwn; nid oedd yn amgen nag unffurfiaeth. Mae unoliaeth sylweddol yn tybio amrywiaeth. Braidd mae yn angenrheidiol awgrymu fod y pethau hyn yn gynorthwyon i ledaeniad yr efengyl yn y byd. Nid oedd cynhyrfiad crefyddol a gynyrchid mewn un man yn agored mwyach fel y gallasai fod mewn canrifoedd blaenorol, i farw mewn cylch bychan pobl neillduedig; yr oedd y ffordd wedi ei pharotoi i'r gair fyned i derfynau pellaf y ddaear. Ganwyd yr ymerodraeth Rufeinig yr un adeg a'r deyrnas nad yw o'r byd hwn. Pan oedd yr hen fyd ar ben ei binacl uchaf, o dan deyrnasiad Augustus Cæsar, "Bachgen a aned i ni, Mab a roddwyd i ni, a bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef." Dyma y gyfnewidfa o'r hen gyfnod i'r newydd—dyma dro-bwynt yr oesau. Ac fel mewn natur, nid yw y planigyn newydd a gymer le un arall, yn aros i'r hen farw yn hollol, ond ymsaetha allan, gan dyfu tra mae y llall yn marw, ac ymbortha y newydd ar fywyd yr hen, felly yma; yr oedd planigyn Cristionogaeth wedi tarddu allan a llwyddo llawer pan oedd yr hen blanigyn yn ymddangosiadol fyw yn ymerodraeth Rhufain, ond dirywio, marw yr ydoedd, tra yr oedd y gallu newydd yn enill tir. Ganwyd un i gynyddu, a'r llall i leihau.

Ond nid yn y byd paganaidd yn unig yr *adnabyddir cyflawnder yr amser;*

*yn y byd Iuddewig yn neillduol adnabyddid ef yn ddiamheuol.* Yr oedd i Israel genadwriaeth ddeublyg. Yr oedd i fod yn darddle yr eglwys Gristionogol, ac i barotoi y ffordd iddi yn mhlith y paganiaid. Meddai yr Iuddewon ar bob cymwysder i gyfarfod â'r gofyniadau hyn. Sefydlai yr Iuddew ei hunan fel dinesydd yn mhob gwlad ; gwyddai y ffordd yn dda yn mhob man i wneyd cartref iddo ei hun, ac ar yr un pryd parhau i fod yn Iuddew. Yr ydoedd Palestina, gyda'r Deml a'r Hen Destament Hebreig, yn cyfansoddi gallu canolbwyntol cartrefol. Yr oedd y synagog, hithau, gyda'r Hen Destament yn yr iaith Roeg, yn allu gwasgarol, ac yn addasu Israel i fod yn genad Duw yn yr holl fyd.

Yn flaenorol i'r caethgludiad bu yr Iuddewon gartref ar wahan, er ffurfio eu cymeriad cenedlaethol. Y caethgludiad oedd y tro-bwynt. Rhan yn unig o'r Iuddewon a ddychwelasant o Babilon; arosodd y nifer luosocaf o honynt yno, neu hwy a grwydrasant i wledydd eraill. Yr oedd y nifer hwn yn cynyddu yn feunyddiol. Fel yr oedd yn naturiol, cynrychiolid hwy gryfaf yn y gwledydd dwyreiniol. Ac yn y cyfeiriad gorllewinol hefyd, oddeutu tueddau Mor y Canoldir, yn mlaen hyd at Groeg, yr Ital, Ffrainc, a'r Ysbaen, ac hyd yn nod Prydain, yr oeddynt yn cyfansoddi elfen bwysig o'r boblogaeth, odid yn mhob dinas a phentref. Eu prif orchwyl oedd masnachu, a lle bynag y gellid gwneyd arian yr oedd Iuddew yno. Yn mha le bynag y preswylient yn nghyd yn nifer digonol, meddent synagog, neu o'r hyn lleiaf le gweddi. Yr oedd yr holl gynulleidfaoedd Iuddewig hyn yn dwyn y cysylltiad agosaf â'u gilydd, ac â'r canolfan cysegredig yn Jerusalem. Nid lluosog, efallai, oedd nifer y dychweledigion atynt oddiwrth baganiaeth, ac eto mae lle i gredu oddiwrth gyfeiriadau Ysgrythyrol fod nifer cymedrol o honynt, a bod personau duwiolfrydig yn eu plith. Mor ryfedd yr oedd hyn oll wedi ei barotoi ar gyfer yr efengyl.

Yr hyn oedd Palestina i'r holl fyd, ydoedd y synagog i bob dinas. Pa fodd y gallasai Cristionogaeth ieuanc weithio ei ffordd trwy haenau creigaidd paganiaeth heb y *gwasgariad?* Trwyddo cafodd rwydwaith o gamlesi megys yn ymledu dros holl ymerodraeth Rhufain i'w galluogi i ymwasgaru yn mhob cyfeiriad. Wrth i ni wybod am brif eisteddleoedd Iuddewiaeth, yr ydym yn gwybod yn mlaen llaw am brif eisteddleoedd Cristionogaeth foreuol. Gwasanaethodd Iuddewiaeth fel cleddyf amddiffynol i'r planigyn ieuanc, nes y cyrhaeddodd nerth digonol i ddal y stormydd. Mor hir ag yr oedd Cristionogion yn cael eu hystyried yn sect Iuddewig, ymddengys iddynt gael eu goddef heb erlidigaeth.

*Yr oedd diwylliaeth Roegaidd mewn ffurf fanteisiol i'r diwygiad mawr Cristionogol.*

Ni pherthyn i ni yma fanylu pa mor bell y troes y diwylliaeth hwnw yn gyffredinol yn fanteisiol i Gristionogaeth. Nodwn yn unig ddwy elfen—iaith ac athroniaeth, neu yn hytrach deddfau rhesymeg. Ond nid oedd y naill na'r llall o'r elfenau hyn yn meddu ar y cymwysderau angenrheidiol fel yr oeddynt gartref; rhaid oedd iddynt fyned trwy barotoad pellach mewn gwledydd estronol. Pa fodd y dygir hyn o amgylch? Gwasanaethwyd yr amcan trwy dueddiad y Groegiaid i fasnachu a threfedigaethu. Yn canlyn eu gweithgarwch meddyliol, yr oedd anesmwythder yni corphorol. Dangosodd y bobl nodedig hyn bob amser duedd i ymwasgaru. Ac mae y byd yn ddyledus iddynt hwy am egwyddorion cyntaf morwriaeth a daearyddiaeth. Yma y mae canlyniadau buddugoliaethau Alexander Fawr yn ymddangos. Tra yr oedd efe ei hun yn dilyn cymellion uchelgeisiol ei natur, troes Rhagluniaeth y canlyniadau yn fanteisiol i'w bwriadau neillduol hi. Gwasgarwyd diwylliaeth Roegaidd ar hyd llinellau ei ymdeithiadau. Ac ar ol rhanu ei ymerodraeth, yr oedd yr effeithiau yn aros. Daeth Alexandria ac Antiochia yn brif fanau masnach a diwylliaeth yn y Dwyrain. Y prif ddaioni yn y cyfeiriad hwn a wnaeth i Antiochia oedd gwasgaru yr iaith Roeg—yr iaith gyf-

lawnaf a mwyaf llednais, meddir, a welodd y byd erioed—ac am hyny yn iaith wreiddiol Cristionogaeth, a chyfieithiad yr Hen Destament. Gwaith penaf Alexandria oedd ffurfio iaith dduwinyddol a rhesymegol, i drosglwyddo ac amddiffyn athrawiaethau Cristionogol; ac nid oedd gwaith y ddwy ddinas uchod ond engreifftiau o'r hyn a ddygid yn mlaen mewn lleoedd eraill ar raddfa lai trwy holl derfynau eang ymerodraeth ddiwylliedig Alexander Fawr!

Yn sicr yr oedd cyflawnder yr amseroedd wedi gwawrio; yr oedd yr hen fyd yn barod, nid i gynyrchu Cristionogaeth o hono ei hunan, ond i'w derbyn. Yr oedd dygwyddiadau dyfodol yn taflu eu cysgodion o'u blaen. Yma, os yn unman, y gwelwn law rasol Duw yn palmantu y ffordd er cyflawni bwriadau ei ras yn Nghrist Iesu tuag at hil syrthiedig Adda. Ac wrth i ni adolygu yn frysiog fel hyn weithrediadau Rhagluniaeth mewn dwyn amser gwell, y fath doriad gwawr gobeithiol a gyfarcha ein golygon! "O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

> "Wele'r dydd yn gwawrio draw,
> Amser hyfryd sydd gerllaw."

---

## R. H. EVANS A CHAETH-GYMUNDEB.

GAN Y PARCH. WILLIAM JONES, WISCONSIN.

*Erthygl III.*

Gall y rhai sydd wedi bod yn darllen fy ysgrifau yn y WAWR am Ion., 1880, gofio fy mod wedi profi fod y plant yn cael eu hystyried yn aelodau eglwysig gan y rhan fwyaf o'r enwadau a arferant daenellu ar blant. Profais drwy dystion o fysg y taenellwyr fod cymundeb babanod wedi dechreu ar yr un pryd a'u bedydd, a bod eu cymundeb wedi parhau am tua mil o flynyddoedd, a bod yr un dynion ag oedd yn dadleu dros eu bedydd, yn dadleu yr un mor selog dros eu cymundeb, gan ddywedyd fod yr un rheswm dros y naill ag oedd dros y llall. Profais yr holl bethau uchod, nid drwy dystiolaethau y Bedyddwyr, ond drwy gyfaddefiadau taenellwyr dysgedig ac enwog. Dangosais fod y Bedyddwyr yn fwy rhydd a chyson yn eu cymundeb na'r rhai a'u condemniant o fod yn gaeth, gan eu bod yn ei roddi i'r oll a ystyriant yn aelodau eu heglwysi, tra mae y taenellwyr yn atal cymundeb oddiwrth y naill haner o'u haelodau goreu ac addfetaf i'r nefoedd. Nid yw Mr. E., wrth sylwi ar fy ysgrif, yn ceisio gwadu fod plant yn cael eu hystyried yn aelodau eglwysig ganddynt. Nid yw ychwaith yn ceisio gwadu na ddechreuwyd cymuno plant pan ddechreuwyd eu bedyddio; nid yw yn ceisio dangos fod mwy o gysondeb nac ysgrythyr dros roddi yr olaf iddynt mwy na'r cyntaf. Nid yw yn ceisio dangos fod mwy o briodoldeb yn ngwaith y Pab o Rufain yn stopio y cymundeb ac yn parhau y bedydd, mwy na phe buasai yn stopio y bedydd a pharhau y cymundeb. Nid yw yn ceisio gwrthbrofi y pethau a nodais, er eu bod yn bethau pwysig, a phriodol iddo eu gwrthbrofi, os gall; ond yn hytrach na'u gwrthbrofi, mae yn eu hysgoi drwy ddweyd fy mod yn beio y taenellwyr mewn ffordd wawdlyd, gan eu darlunio yn "cadw y plant yn y ty, ond mewn modd creulon yn cadw oddiwrthynt un o freintiau y ty;" eu bod yn "gwrthod rhoddi iddynt fwyd cryf am eu bod yn rhy wan i'w dderbyn." Os wrth (fwyd cryf) yr hwn a gedwir gan y taenellwyr oddiwrth y plant am eu bod yn rhy wan i'w dderbyn, y golyga Mr. E., y cymundeb, nis gall fod yn wir, gan i mi brofi fod y plant wedi bod yn derbyn cymundeb am oddeutu mil o flynyddoedd. Mae yn sicr fod y prawf wedi bod yn ddigon o hyd.

Wedi hyny, aiff Mr. E. yn mlaen gan ddarlunio y Bedyddwyr fel "dyn yn troi ei blant allan o'r ty, ac yn ymffrostio ei fod yn rhoddi bwyd i'r oll sydd yn y ty." Arwydda R. H. E. drwy y gydmariaeth nodedig hon, fod y Bedyddwyr lawer yn fwy creulon at eu plant na'r taenellwyr, am eu bod yn eu cadw allan o'r ty, "byw neu farw," tra mae y taenellwyr yn eu cadw i mewn. Ond, atolwg, Pa beth mae

plant taenellwyr yn ei gael yn y ty mwy nag mae plant y Bedyddwyr yn ei gael allan o'r ty? Maent wedi cael eu taenellu, mae yn wir, ond pa ragorfraint ydyw hyny iddynt? Pa les iddynt gael peth mor ddibwys ag y darlunir bedydd yn fynych gan daenellwyr? A fedr plant fyw ar blisg a chysgod, &c.? Pa fantais i blant ydyw eu rhoddi yn yr eglwys? Gofynir, "A all y Bedyddwyr brofi fod plant wedi cael eu tori allan o'r eglwys Gristionogol?" Atebaf fod yn anmhosibl i'r Bedyddwyr brofi iddynt gael eu tori allan o eglwys Iesu Grist, gan na phrofwyd erioed eto iddynt fod i mewn ynddi. Yn wir, mae yn anhawdd i'r Bedyddwyr gredu fod y taenellwyr eu hunain yn credu eu bod yn aelodau, hyd nes yr ymddygant atynt fel aelodau. Gofynaf, A oes rhith o sail i gredu, wrth ddarllen y Testament Newydd, fod mwy nac un math o aelodau yn eglwys Crist—rhai yn cael holl freintiau'r eglwys, a'r lleill ran o honynt; rhai yn aelodau cyflawn, a'r lleill yn haner aelodau; rhai fel Ismael wedi eu geni yn ol trefn natur, a'r lleill fel Isaac wedi eu geni yn oruwchnaturiol, drwy ffydd yn addewid Duw; rhai wedi eu geni o'r cnawd, a thrwy hyny yn gnawd, ac eraill wedi eu geni o'r ysbryd, a thrwy hyny yn feini bywiol yn yr adeiladaeth ysbrydol? Nid yw eglwys Iesu Grist yn gynwysedig o rai yn adnabod yr Arglwydd, a'r lleill yn rhy anwybodus, gan ddiffyg oedran, i adnabod eu tad a'u mam; na, nid rhyw Babel gymysgedig fel yna ydyw eglwys Gristionogol. "Hwynt-hwy oll a'm hadnabyddant i, medd yr Arglwydd, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt." "Od oes neb yn Nghrist, mae efe yn greadur newydd," meddai Paul. Y Bedyddwyr, meddai Mr. E., "fel dyn yn troi ei blant bach allan o'r ty!" Ond, atolwg, pa fantais mae plant y taenellwyr yn ei gael trwy eu gwneuthur yn aelodau o'r eglwys? Ni honir, mae yn debyg, eu bod yn cael gwell manteision teuluaidd; gan fod plant y Bedyddwyr yn cael eu magu mor anwyl, eu hymgeleddu, eu porthi, eu dilladu, a'u dysgu; ni haerir, mae'n debyg, nad yw plant y Bedyddwyr mor laned, mor gryfed, mor iachusol, dysgedig, a moesol, &c., ag ydyw plant taenellwyr. Mae'n debyg mai mewn breintiau crefyddol ac ysbrydol yr ystyrir fod plant y taenellwyr yn cael y fantais drwy gael eu taenellu, a'u codi yn yr eglwys, ond gwan yw'r arwydd hwn eto fod plant y Bedyddwyr ar ol. Dywed Dr. Watts "Nad yw ef wedi sylwi ar un fantais yn deilliaw oddiwrth weinyddiad bedydd i fabanod." Dr. Gibbon in Carter's Remarks, p. 24. Yn sicr, pe buasai rhyw fantais o fedyddio plant, &c., buasai Dr. Watts wedi ei gweled. Mewn adroddiad a wnawd gan arolygwyr yr Ysgol Sabbothol yn Baltimore, yn y fl. 1851, cawn fod agos dair gwaith gymaint o ddychweledigion, mewn cyfartaledd i rifedi yr aelodau, yn eglwysi y Bedyddwyr ag oedd yn ysgolion enwadau eraill. Ac onid yw cynydd rhyfeddol y Bedyddwyr, yn fwy nag enwadau eraill, yn brawf anwadadwy nad yw bedydd ac aelodaeth babanod o un lles, ond yn hytrach yn niwed iddynt. Mae sylw Bunsen yn ei nodiadau ar Hypolytus a'i Amserau yn deilwng iawn o sylw ar y pen hwn; meddai, "Pan gysylltodd yr eglwys hawliau ac addewidion o fendithion ag unrhyw beth heblaw â chydwybodol ymwrthodiad â phechod, yn nghyd ag ymrwymiad gwirfoddol o gyflwyno corph ac enaid i'r Arglwydd, darfu cydwybodrwydd o bechod, yn nghyd ag hiraeth am drwyadl a gwirioneddol ddiwygiad, fawreiddio ymaith yn mysg eu haelodau. Gwel Bunsen's View of Baptism, p. 11. Gwnaeth yr awdwr dysgedig y nodiadau uchod wrth sylwi ar effeithiau a ddilynodd y cyfnewidiad a wnawd ar ddull a deiliaid bedydd yn yr eglwys wedi yr oes apostolaidd.

Dywed Mr. E. yn mhellach, "Y cawn fod bedydd babanod, wrth ddarllen hanesyddiaeth, yn yr eglwys er yr oes apostolaidd." Nid yw Mr. E. yn enwi ei awdurdod hanesyddol; ond gan fod Mosheim a Neander yn cael eu hystyried yn ddau o brif haneswyr y byd, cânt hwy ddwyn eu tystiolaeth; dywed Neander, "Gyda golwg ar ddull bedydd, yr oedd mewn cydffurf-

iad â'r sefydliad cyntefig, ac â meddwl gwreiddiol y gair, yn cael ei gyflawni drwy drochiad." Church His. Vol. 1, p. 310. Eto, Mosheim a ddywed, "Yr oedd yr ordinhad o fedydd yn cael ei chyflawni yn y ganrif hon (sef y gyntaf) tu allan i'r cynulliadau cyhoeddus, mewn lleoedd wedi eu parotoi i'r dyben, ac a gyflawnid trwy drochiad yr holl gorph yn y Fedyddfan." Gwel Vol. 1, p. 46. Gyda golwg ar ddeiliaid bedydd dywed Neander, "Mae yn sicr na ordeiniodd Crist fedydd babanod. Nis gallwn brofi fod yr apostolion wedi ordeinio bedydd babanod yn y lleoedd hyny lle mae son am fedyddio teuluoedd, megys yn Act. 16: 33; 1 Cor. 1: 16. O'm rhan fy hun, yr wyf yn analluog i'r gorchwyl." Eto dywed, "Mae genym bob rheswm i beidio sylfaenu bedydd babanod ar ordeiniad apostolaidd." Mae geiriau Neander fawr o Berlin yn deilwng o sylw neillduol, "O'm rhan fy hun, yr wyf yn analluog i'r gorchwyl." Dywed Lange, "Fod pob cynyg i brofi bedydd babanod o'r Testament Newydd wedi methu." Wedi y cwbl, mae R. H. E. yn meddwl y gall wneyd yr hyn y dywed Neander ei fod yn analluog i'r gorchwyl! A Lange yn dweyd fod pob cynyg wedi methu!

Bunsen ddysgedig ddywed, "Yr oedd bedydd babanod yn hollol anadnabyddus i'r eglwys gyntefig, nid yn unig i lawr i'r ail ganrif, ond hefyd i ganol y drydedd ganrif.

*North British Review*, Presbyterian: "Nid oes yn hollol, un hanes am dano (bedydd babanod) yn y Testament Newydd; nid oes un gair sydd yn tystio ei fodolaeth." Mae yn edrych yn dywyll iawn, Mr. Evans.

Henry Ward Beecher: "Yr wyf yn caniatau, ac yn tystio, yn gyntaf, na orchymynir bedyddio babanod mewn un man yn y Testament Newydd, ni ddygwyd ef i mewn i gymeryd lle'r enwaediad." Mae yn edrych yn dywyll iawn fel hyn.

---

Nid lladron yw pawb y byddo cwn yn cyfarth arnynt.

## BEDYDDWYR BOREUOL PENNSYLVANIA.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, COATSVILLE, PA.

### RHAN III.

[CYWIRIAD GWALL.—Rywfodd, naill ai drwy ddiofalwch yr ysgrifenydd neu y cysodydd, ymddangosodd y fl. 1872 yn lle 1782, pan yn crybwyll amseriad y Penillion ar Brofiad Dyn Canol Oed.]

Yr wyf eisoes wedi awgrymu cynllun ac amcan yr ysgrif hon. Addawais sylwi ychydig ar "Hen eglwys, a hen bregethwr, a hen lyfr, a hen wraig." Ymddengys fod

*Hen Eglwys Brandywine,*

ger Rhyd Chadd, neu Chadd's Ford, yn hynach na'r dyddiad a welir yn Benedict a Spencer. Dywedais inau mai "yn nhy John Powell, tad yr hanesydd a'r bardd, a hendad neu daid yr hen ddiacon yr ymwelsom ag ef, y corphorwyd yr hen eglwys, sef Brandywine, yn y fl. 1715." Oddiwrth ddyfyniadau a welais, ar fy ail ymweliad â'r brawd Powell, yn llaw-ysgrif y bardd, ei dad, ymddengys fod hanes am Fedyddwyr a bedyddiadau mor foreu a 1699 yn y lle hwn. Hefyd, mae yr enwau yn profi cysylltiad y Bedyddwyr hyn a'n cenedl; megys Thomas Powell, William Thomas, Jane Phillips, Samuel Miles, Edward Edwards, &c. Dyfynir fel hyn: "Hyd 1700 yr oedd yr eglwys yn fyw, yna *diflanodd am flynyddoedd.* Yn 1715, ar ddyfodiad mynych ein hoffus frawd Abel Morgan i bregethu i ni, ar nosweithiau yr wythnos, *ail-gorphorwyd* yn nhy John Powell. Cynorthwyodd Abel Morgan, Philadelphia, James James, a Jos. Eaton, o eglwys y Welsh Tract, o'r un farn a threfn, yn Province of Pennsylvania and New Jersey." Heblaw "y drydedd ran" o'r pymtheg a ail gychwynasant yr achos, y rhai oeddynt yn Powelliaid, yr oedd eraill o hil Gomer yn y corphoriad, megys Thomas George a Dafydd Roberts. Wele ddyfyniadau eraill o'r Llyfr Eglwys: "Sadwrn, cyn ail ddydd yr Arglwydd

yn Hydref, 1770, bedyddiwyd John Powell, a'r dydd canlynol derbyniwyd ef i gymundeb.—Abel Griffith, gweinyddydd."

Eto, engraifft arall: "Ar y seithfed dydd cyn y trydydd dydd yr Arglwydd yn Medi, 1790, bedyddiwyd Joseph Powell a'i briod Mary, ac a dderbyniwyd i gymundeb.—Joshua Vaughan, gweinyddydd."

Un dyfyniad eto: "Rhag. 9, 1787, derbyniwyd Josh. Vaughan drwy lythyr, i aelodaeth yn yr eglwys. Cafodd yr eglwys fod ein brawd Josh. Vaughan yn ddyn o ddoniau arbenigol. Mewn cwrdd eglwys, Awst 9. 1788, cafodd alwad gan yr eglwys i arfer ei ddoniau yn y weinidogaeth, a chydsyniodd efe. Mewn cyfarfod trefniadol, (*business meeting*,) Hydref, 1789, cynygiwyd gan Abel Griffith i neillduo ein brawd Josh. Vaughan trwy urddiad difrifol i waith y weinidogaeth. Cymerodd yr urddiad le Rhagfyr 12, a phregethodd Abel Griffith ar yr achlysur." Hwn yw

*Yr Hen Bregethwr*

oedd yn fy meddwl. Tybiwyf fod yr hanesyn canlynol yn werth ei gofnodi mewn cysylltiad â'r Parch. Joshua Vaughan, gweddillion yr hwn sydd yn gorwedd yn mynwent Hephzibah. Y mae yr hanes yn meddiant yr hen flaenor, Powell, ac yr oedd yn ffafr arbenig i mi gael menthyg y papyr o'r hwn y codais y dernyn hynod a ganlyn:

Yr oedd yr ordinhad o fedydd yn agored i wawd nid ychydig y dyddiau hyny. Ar un adeg clywodd Fychan fod dau ddyn wedi ymrwymo i ddial arno am ei frwdfrydedd enwadol. Tyngent y gosodent ef o dan y dwfr y tro nesaf y gweinyddai yr ordinhad. Daeth yr adeg yn o fuan. Pan welodd y pregethwr nad oedd ar lan yr afon nemawr nad oeddynt mewn cyngrair â'i elynion, dywedodd ei fod yn gwybod pwy oedd yn ei fygwth. Yr oedd, er yn Fychan mewn enw, yn ddyn mawr, cryf, wedi arfer gweithio fel gôf. Yn wrol, fel y Joshua gynt, ni phetrusodd fwrw ymaith ei gôt a lledu ei freichiau nerthol, a thorchi llawes ei grys mewn agwedd amddiffynol. Heriodd y mwyaf gwrol o'i elynion i ddynesu ato; anogai hwynt i'w ofni *ef*, os nad oeddynt yn ofni Duw. Dywedodd y tarawai y cyntaf a ddynesai i'r llawr, y taflai ef i'r afon, ac y mathrai y cyfryw o dan ei sawdl yn y dwfr! Meddyliodd "meibion Belial" mai goreu ydoedd peidio ymosod ar y Bedyddiwr hwn. Ceisient wthio y naill y llall i ddechreu yr ymosodiad. Gan feio eu gilydd am eu diffyg gwroldeb, ymadawsant, ac aeth y pregethwr yn mlaen a'i waith yn weddaidd a diofid.

Y mae golygydd parchus y WAWR am gael ysgrifau *byrion*, felly erfyniaf ar y darllenydd faddeu i mi os ychwanegaf ychydig ar "yr hen bregethwr," er gorfod gwneyd erthygl neu ran, arall ar "Yr hen Lyfr a'r hen Wraig."

Ganwyd Vaughan, neu Fychan, yn Chester Co., o deulu o darddiad Cymreig. Yr oedd yn fachgenyn yn adeg gyffrous y Chwyldroad (*Revolutionary War*). Bu yn *Deputy Sheriff* i'r Sir, ac o dan ei ofal ef y gosodwyd carchar Caer neu Chester. Pregethai y Parch. Phylip Hughes yn fynych yno ar y pryd. O dan ei weinidogaeth ef y cafodd J. V. droedigaeth. Yn 1780 bedyddiwyd ef gan Hughes, ac unodd fel aelod ag Eglwys Gyntaf y Bedyddwyr yn ninas Philadelphia, a gorphorwyd yn y fl. 1686. Yr ydym eisoes wedi nodi ei symudiad i eglwys Brandywine, a'i dderchafiad i'r swydd weinidogaethol. Pregethwr hynod o lafurus, a *phoblogaidd* anarferol, ydoedd Josh. Vaughan. Yn Hephzibah rhaid oedd iddo bregethu yn y coed y tu allan, am fod y capel yn llawer rhy fychan i gynwys y torfeydd a ymgasglent i'w wrando. Yr oedd yn enwog am ei ddyngaredd, ac ar ei fedd-faen, yn sefyll i fyny yn bedwar-ochrog, tua thair troedfedd oddiar y ddaear, y mae yn gerfiedig, "In hope of a glorious resurrection here lies all that was mortal of the Rev. Joshua Vaughan, a Christian Philanthropist. He finished his labors on the 30th day of August, 1808, in the 57th year of his age. As a minister of the gospel his exertions were unremitting, and were abundantly

owned of God." Er fod Vaughan yn ei fedd bellach saith-deg-a-thair o flynyddoedd, yr oedd yr hen flaenor, Powell, y dydd o'r blaen yn siarad am dano oddiar *adgofion ei ieuenctyd*, a choledda syniadau uchel am Fychan, fab *Vulcan*. Yr oedd y gôf "yn weithiwr cymeradwy, difefl," yn yr eglwys megys y bu yn yr efail. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig."

# Y DEG LLWYTH.

GAN Y PARCH. HUGH JONES, D. D., PRIF ATHRAW COLEG LLANGOLLEN.

RHAN III.

(8.) *Lluosogrwydd Hiliogaeth.*—Addawsai Duw wneyd had Abraham *mor lluosog a llwch y ddaear*, a gwneyd y genedl Israelaidd yn *fil mwy nag ydoedd*, a gwneyd had Ephraim *yn lluaws o genedloedd.* Nis gellir gweled cyflawniad yr addewidion a'r prophwydoliaethau hyn yn un man, yn ol yr awdwr, ond yn lluosogrwydd ac amrywiaeth deiliaid Prydain Fawr. Tu dal. 39—41.

Mae yr awdwr yn gorestyn pwynt, er cadarnhau ei ddamcaniaeth.

(*a*) Gesyd boblogaeth China yn 250,-000,000: buasai yn agosach i'w le pe dywedasai 350,000,000.

(*b*) Gesyd boblogaeth y Llywodraeth Brydeinig yn 300,000,000. Ond nid *Anglo-Saxons* yw yr Hindwaid, ac felly nid yw y ffigyrau i'r pwrpas.

(*c*) Ni olygid fod had Ephraim i ddyfod yn lluaws o genedloedd. Y darlleniad llythyrenol yw, "Ei had a ddaw yn gyflawnder y cenedloedd," neu "yn gyflenwad y llwythau." Golyga y gair "cenedloedd" (*goim*) yma lwythau Israel, a chyfeirir at flaenoriaeth a dylanwad Ephraim yn mhlith y llwythau, fel pen y Deg Llwyth. Fe gofia y darllenydd o hyd mai Israel sydd gan yr ysgrifenwyr sanctaidd mewn golwg, ac mai Lloegr sydd gan awdwr y llyfryn o flaen ei lygaid.

(9.) *Crwydriadau yn mysg y Cenedloedd.*—Yr oedd Israel i fod yn crwydro yn mysg y cenedloedd; yr oedd y Saeson yn crwydro cyn sefydlu yn Lloegr; o ganlyniad Israeliaid yw y Saeson. Bu cenedloedd eraill hefyd yn crwydro wrth ymwasgaru ar hyd wyneb y ddaear, cyn ymsefydlu o fewn "terfynau eu preswylfod;" o ganlyniad, Israeliaid yw pob cenedl arall!

(10.) *Amrywiol Brofion eraill.*

(*a*) Jacob yn dad "cenedl a chynulleidfa cenedloedd." Gwel y sylw blaenorol yn nghylch Ephraim, 8 (*c*).

(*b*) Israel i "gornio y bobl hyd eithaf y ddaear," yn arwyddo Lloegr yn estyn ei changenau, a gwthio ei buddugoliaethau i eithafoedd y byd.

Desgrifio buddugoliaethau Israel, modd bynag, y mae Moses, yn benaf yn nyddiau Joshua, ar lwythau Canaan, hyd eithaf neu derfynau *y wlad*, yr hyn a olyga y gair *erets*, yn ogystal a'r *ddaear* yn yr ystyr eangaf.

(*c*) "Saith amser."

"I will punish you *seven times* more for your sins"—"*saith mwy* am eich pechodau." Mae y "*seven times*" hyn, ebe'r awdwr, yn golygu cyfnod o 2,520 o flynyddau, yr hyn oedd hyd y cyfnod o gaethgludiad y Deg Llwyth, cyn Crist 720 mlynedd, hyd A. D. 1801, pryd y dechreuai mawredd, buddugoliaethau a llwyddiant Lloegr fyned rhagddynt fel llanw anorchfygol, ac y daeth Ephraim grwydrol yn "benaf yn mysg y cenedloedd." Tu d. 49.

Gresyn nad oedd rhith o sail i adeilad mor dlws. "Saith mwy" ydyw y cyfieithiad Cymreig. *Sheba* yn unig a geir yn yr adnodau, yr hwn a gyfieithir *seven-fold* gan Keil. Dywed Gesenius mai rhagferf ydyw, a'i fod yn cael ei ddefnyddio am *amser neu rifedi anmhenodol.* Defnyddir y gair yn yr adnodau canlynol: "*Seithwaith* yn y dydd yr ydwyf yn dy glodfori." Ps. 119: 164. "Canys *seithwaith* y syrth y cyfiawn, ac efe a gyfyd drachefn."

Diar. 24 : 16. Rhaid rhoddi y 2,520 mlynedd i mewn yn gyntaf, cyn y gellir eu cael allan o'r gair.

(*d*) "Anifeiliaid buain."

"A hwy a ddygant eich holl frodyr * * * ar *anifeiliaid buain* i'm mynydd sanctaidd Jerusalem."

Wrth ddefnyddio y geiriad "anifeiliaid buain," yr oedd Esaiah, ebe'r awdwr, yn llefaru o dan ysbryd prophwydoliaeth, ac yn cyfeirio at y "*march haiarn*"—y *ceffyl tan,* neu y *train,* gyda dyfeisio a gweithio pa un y mae yr Anglo Saxon wedi dyfod mor enwog! Ac ar awdurdod Cardinal Mezzofanti, dywed yr awdwr fod y gair Hebraeg *circaroth,* yr hwn a gyfieithir "anifeiliaid buain," yn golygu "peirianau yn troi o amgylch gyda chyflymdra y fellten." Dyna'r *train* ar y *line!* Ystyr y gair, modd bynag, yn ol yr esbonwyr Iuddewig, ydyw *camelod, dromedariaid;* â'r hyn y cytuna Gesenius, Delitzsch, Henderson, Barnes, Noyes, Alexander, a Lowth.

(*e*) Tystion Duw.

"Fy nhystion i ydych chwi, medd yr Arglwydd" (wrth Israel), yr hyn a gymwysa yr awdwr hwn at y genedl Brydeinig, am ei bod yn Brotestanaidd, ac am fod y grefydd Brotestanaidd yn grefydd sefydledig y wlad! Tu d. 52, 58, 59. Mae addewidion Duw i'w eglwys yn cael eu cymwyso gan yr awdwr yn ddibetrus at y genedl Seisnig, fel pe na fuasai safon sancteiddrwydd y Beibl ddim uwch na moesoldeb presenol y werin Seisnig!

(*f*) Y Dderwen Brydeinig.

Fel y mae yr awdwr hwn yn nesu at y *climax,* y mae ei brofion o hyd yn dyfod yn fwy arbenig. Yr oedd Israel yn eilun-addoli o dan y dderwen; yr oedd y Derwyddon yn addoli o dan y dderwen; o ganlyniad yr oedd y Derwyddon Prydeinig yn disgyn o'r Deg Llwyth. Yr oedd mamau Israel yn rhoddi llaeth i'w plant; yr oedd mamau Prydain gyntefig yn rhoddi y fron i'w hiliogaeth; o ganlyniad yr oedd mamau Prydain yn disgyn o famau Israel! Prawf yw hwn sydd yn profi dim, am ei fod yn profi gormod. Ymddengys fod llawer o genedloedd, hen a diweddar, yn myned trwy eu defosiynau o dan gangenau tewfrig y goedwig, yn ogystal â'r Israeliaid a'r Cymry.

(*g*) Y Llew, a'r Unicorn, a'r Ysgarlad.

Ystyria yr awdwr fod y cyfeiriadau at Judah ac Israel yn y Beibl, fel *Llew* ac *Unicorn,* yn cyfeirio at arwyddluniau yr awdurdodau Prydeinig, a bod y fath eiriau a Nahum 2 : 3, "Ei wyr o ryfel a wisgwyd ag *ysgarlad*"—yn cyfeirio at *wisg goch* y fyddin Seisonig. Wel, nid oes genym ond dweyd mai dychymyg gwyllt yw y cyfan, ac nad oes un sail i gredu yn y fath esboniad. Dywed Gesenius nad oes awdurdod dros gyfieithu *reem* yn *unicorn;* ac mai y *buffalo* neu yr ych gwyllt a olygir.

(*h*) Y gair *England* yn y Beibl.

Dyma y *climax!* Beth mwy sydd eisiau? "Sonir am Ephraim," ebe'r awdwr, "fel *aner* wedi ei dysgu, ac yn dda ganddi dynu. Gellir seinio y gair Hebraeg am "aner," *Aingl-ah;** ac yn ei ffurf luosog, megys yn Amos 6: 1–4, lle y cyffelybir ty Israel i'r "lloi o ganol y cut," gellid ei seinio, megys yn Mal. 4: 2, *Aingli* neu *Angli,* yr enw adnabyddus ar y genedl, yr hon ar ddiwedd ei chrwydriadau, a aeth drosodd o Saxony i'r Ynysoedd Prydeinig." Ysiyr y gair *England,* yn ol yr oracl yma, gan hyny, yw *aner,* ac ystyr y gair *Englishmen* yw LLOI! Wel, nid

---

* Gellid cynyrchu beirniadaeth o'r natur yma wrth y dunell; er engraifft:

*Hebread*—Gen. 14 : 13 Heb. IBRI, lluosog, ABARIM, yr un peth ag Aber, *un o drigolion Aber.*

*Carnarfon*—Heb. CEREN, mewn cystrawiad CARN, pen mynydd, bryn, (Esa. 5 : 1), yn cyfeirio at fynyddau uchel Arfon.

*Carmarthen*—Heb. CEREM, mewn cystrawiad, CARM, gwinllan, (Esa. 5 : 1), yn cyfeirio at ddyffrynoedd ffrwythlon sir Gaerfyrddin.

*Dinbych*—Heb. DIN, barn, yn cyfeirio at ddyrchafiad aelodau Seneddol sir Ddinbych i'r gadair farnol.

*Mon*—Heb. MIN, oddiwrth, ar wahan, gan gyfeirio at Fon fel ynys, ar wahan oddiwrth siroedd eraill y Dywysogaeth.

Ystyrid beirniadaethau fel hyn, a hyny yn gyfiawn, yn eithafion ynfydrwydd; ac eto y mae yn llawn mor gadarn a chywir a'r hyn a geir yn y llyfryn dan sylw.

awn i ddadleu ag ef ar y pen hwn, gan fod yn bosibl ei fod yn gywir am rai o honynt.

Mae gan yr awdwr rai pwyntiau eraill er ategu ei ddamcaniaeth, megys fod Israel a Judah i ddychwelyd o'r *Gogledd* i Ganaan, h. y., yn ol ei dyb ef, o'r *Gogledd-Orllewin*, sef o Brydain. Ond yn ieithwedd Jeremiah, saif y "gogledd" a "thir y gogledd" am y *Gogledd-Ddwyrain*, sef Assyria a Babilon, o'r lle y daeth y dinystr ar y genedl.

Nyni a derfynwn ein sylwadau ar yr adran hon o'n hysgrif, trwy ddyfynu y nodiadau canlynol ar y pwnc, o lyfryn Mr. John Wilkinson, "*Englishmen not Israelites*," cyhoeddedig gan Shaw & Co., Llundain:

"1. Mae pobl Israel i breswylio eu hunain, ac i beidio cael eu cyfrif gyda'r cenedloedd. Mae hyn yn wir am yr Iuddewon, ond nid am yr Anglo-Saxons.

2. Mae Israel i barhau am ddyddiau lawer heb frenin na thywysog, ac heb wybodaeth gywir am Dduw. Nid yw yr Anglo-Saxons yn yr amgylchiadau hyn.

3. Mae y Deuddeg Llwyth, allan o Palestina, i fod yn ychydig mewn rhif, o dan felldith fel cenedl, ac yn aml a lluosog yn unig ar ol eu hadferiad, ac nid cyn hyny. Ond mae yr Anglo-Saxons, er allan o Palestina, yn mwynhau bendith fel cenedl, ac yn llawer mewn nifer.

4. Y gosp am fod yn ddienwaededig oedd toriad ymaith. Mae yr Anglo-Saxons yn ddienwaededig.

5. Mae yr Anglo-Saxons yn saint neu yn bechaduriaid: os saint, yna (er yn Israeliaid) y maent wedi eu gwahanu oddiwrth y genedl, a'u huno â'r eglwys; os pechaduriaid, yna y maent o dan felldith y ddeddf.

Dychwelodd nifer digonol o Babilon o herwydd ystyriaethau gwladol a chrefyddol, i beri fod y caethion dychweledig yn gynrychiolaeth deg o'r holl genedl; fel, pe na fuasai gan un genedl arall yn y byd hawl i ystyried eu hunain o darddiad Israelaidd, y gellir ystyried y bobl a elwir yn Iuddewon yn meddu hawl deg i fod yn gynrychiolwyr deuddeg llwyth Israel, ac i etifeddu yr hyn a fwriedid iddynt."

Rhaid i ni adael damcaniaeth Dr. Grant, yn nghyda sylwadau terfynol o'r eiddom ein hunain ar y pwnc hyd rifyn dyfodol.

---

## Y PARCH. H. W. JONES,

### CAERFYRDDIN.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE.

Ei dri enw oedd, Hugh, a hoffwn; William, a welwn; a Jones, a gwrddwn yn gyffredin. Anturiodd Hugh Latimer i ddwrdio tywysogion; Hugh Miller i chwilio celloedd anian, a Hugh William Jones i deithio tiroedd trugaredd, broydd cariad, ac uchelfeydd y tragywyddol.

1. Penrhyncoch yn adwedd ei eni. Y mae Penrhyn yn Maldwyn, heb ychwanegu; Penrhyn-deu-draeth yn Meirion, a Phenryncoch yn mharthau uwchaf Sir Aberteifi. Mewn amaethdy mawr, gerllaw môr Aberystwyth, mwnau Talybont, mawndir Llanbadarn, a maenor y Gogerddan, y ganed H. W. Jones, o gwmpas y flwyddyn 1799, pan oedd yr Awstriaid wedi eu danfon o Itali; Ffrainc, ar ol y chwyldroad, yn llonydd; Napoleon Bonaparte yn ei rym; enwogrwydd mordwyol Britannia yn fawr; Syr John Jarvis yn meddianu Cape St. Vincent, a Camperdown yn plygu i alluoedd Duncan. Adeg fel yna oedd hi pan ddaeth H. W. Jones gyntaf i dy ei rieni; ac y mae enw y fam, nodwedd y tad, a rhif y teulu, o'n golwg ni.

2. Penderfynol Eglwyswyr oedd ei rieni. Degwm Lefi, cloch Aaron, llithiau y Llan, a'r Weddi Gyffredin, oedd eu cân ar hyd y dydd, eu cerdd ar y dolydd, a'u cysur yn mhob rhyw dywydd. Marchnad Aberystwyth, ffair y Borth, ac eglwys Llanfihangel-geneu-y-glyn, oedd eu balm, eu blodeuyn a'u mel. Eu meddwl a fu codi Hugh eu mab yn Eglwyswr diwyro, yn Llanwr drwyddo, ac yn offeiriad dawnus yn ei

fro. Tri offeiriad diguro fuasai David Parry, Llywel; John Hughes, Llanbadarn, a H. W. Jones, Goginan, y bachgen gwridog ei wedd, glân ei ddullwedd, a mawr ei rinwedd. Tri phall a fu yno—pallu gogwyddo i gyfeiliorni, pallu gwrando ar y clochdy, a phallu gadael i anianolion ei ddenu. Tri thlws i'r Bedyddwyr a fu James Harrington Evans yn cychwyn, Baptist Noel i ganlyn, a H. W. Jones gyda y rhai hyn. Tri math o gylchoedd y buasai yn eu llenwi—Rector gweddus, Rheithor dawnus, a Chanon campus, a wnai i deyrnas Denmark i grynu, dyfroedd Copenhagen i ferwi, ac Ynys yr Archangel i ryfeddu.

3. Pyncio ag un arall yn ei argyhoeddi. Teithwyr drwy y wlad yn mhlith y Bedyddwyr oedd John Vulcan, o Ferthyr; Jenkin Harris, o Lanavan, a William Goodman, o'r Gogledd. Mawr ddaioni gyflawnodd y tri, ac y mae Mr. Bowman i blygu, Mr. Merryman i wenu, a Mr. Goodman i flaenori. Trwy ymddyddanion Mr. William Goodman yn nhy ei rieni y cafodd H. W. Jones ei argyhoeddi o'i ddyledswydd i gydffurfio a'r Iesu yn y bedydd yn ddioedi. Bedyddiwyd ef gan John James, Aberystwyth, neu Simon James, Penrhyncoch, o gylch y flwyddyn 1820, a daeth o'r Llan i'r llyn; o gorlan y degymu i gorlan Iesu, ac o'r eglwys waddoledig i'r eglwys gyntefig, i ymaelodi mwy.

4. Parwyd iddo gychwyn gyda y pregethu. Tlysni ei gorph, serchawgrwydd ei wedd, swynion anghydmarol ei lais, a rhinweddolrwydd ei ymarweddiad, a barasant i'r bobl gyda brys ei anog i gyhoeddi tangnefedd; ac yr oedd Duw yn ei gefnogi, dynion yn awyddu, a'i duedd ei hun yn gogwyddo gyda hwy. Ebrwydd y gwybu y torfeydd, o Dan i Delphos, o Bethel i Beth-horon, ac o Siloh i Salem, godi gwr grymus yn Sir Aberteifi, gwr mawr ar lanau y Rheidiol, a gwr yn Mhenrhyncoch, a phen arno, pwer ynddo, a phawb yn son am dano. Derbyniwyd ef i Athrofa y Bedyddwyr yn Bradford, a gall mai y Dr. William Steadman, a W. H. Murch, ac athrawon felly, a fu yn ei addysgu. Tri Hugh o fri gyda y Bedyddwyr gynt a fu Hugh Evans o Bristol, Hugh Williams o Gaerbaddon, a Hugh W. Jones, o Gaerfyrddin.

5. Penodwyd y man i ymroddi. Efe a urddwyd yn Blaenavon, symudodd i'r Casnewydd, ac ymsefydlodd yn y Tabernacl, Caerfyrddin, yn y flwyddyn 1835. Mae y cof yn mynegu i mi mai cyn-weinidogion y Tabernacl a fu Titus Lewis, D. D. Evans, wedi hyny o Bontrhydyryn, a Rhys Gibbon, a fu farw yn 1833, yn 33 mlwydd oed. Titus Lewis yn athrawiaethu, D. D. Evans yn adeiladu, Rhys Gibbon yn boddloni, a H. W. Jones yn meddu rhagorion y tri, a llais dihafal yn y llu. Merch Titus Lewis oedd ei wraig, a chafodd lawer ganddi, mwy ynddi, a chrefydd yn ei choroni; ond bu farw mewn oed cynar. Enw ei mab oedd Titus Lewis Jones, ac megys "Haran, a fu farw o flaen Terra ei dad," wedi cystudd poenfawr. Priododd Mr. Jones yr ail waith yn 1849, â Mrs. Watkins, gweddw y Dr. Watkins, M. D., a mab y Parch. Joshua Watkins, Heol-y-prior, a bu hi farw o'i flaen amryw flwyddi. Eangwyd y Tabernacl yn 1842, adeiladwyd addoldy Saesneg yn Heol Awst, yn 1859, a bernid Aberhonddu, y Bontfaen, a Chaerfyrddin, yn meddu y Saesneg puraf drwy holl Gymru. Bu Mr. Jones yn golygu *Seren Gomer*, pan oedd Mrs. Alice Williams, Heol-y-Brenin, yn ei chyhoeddi, ac am flynyddoedd yn Ysgrifenydd Cymanfa Caerfyrddin ac Aberteifi. Rhagorolion yn y Tabernacl yn nydd Mr. Jones a fu Mr. W. M. Evans, D. M. Morgan, Roberts yr *ironmonger*, Williams y *currier*, a Davies y *Factory*. Treuliodd H. W. Jones ddeunaw-ar-hugain o flwyddi yno, a chaed ynddo y cyfaill diwyrni, y gweinidog dylynwiw, a'r pregethwr rhyfeddol ei ddawn. Anrhydeddwyd fi â'r fraint o gyd-bregethu ag ef yn agoriad capel Llanstephan a Soar, Llwynhendy; ond yr oedd y corn aur yn methu, y freiniol floedd yn colli, a Phicton y torfeydd yn diarfogi.

6. Penaeth y cynulleidfaoedd a fu. A oes gan y golygydd, neu y cysodydd,

neu ryw ddarllenydd y WAWR, air Cymraeg a rodda i mi i ddynodi *Stageman?* canys ni wna chwareuyddwr, esgynloriwr, na llwyfanwr, fy moddloni. Mi a glywais droion mai tri o *stagemen* a geid yn mhlith gweinidogion Cymru, a dyna hwy—John Elias gyda y T. C., Rees, Llanelli, gyda'r Annibynwyr, a H. W. Jones, Caerfyrddin ar y banlawr Bedyddiol, ddydd Cymanfa. Edrychwch ar y gwallt melyngoch yn modrwyo y wyneb, a gwên y wawr, y llygad, a'r lloer yn llawn ynddo, a dyna y brenin yn y llu, y boneddwr digoegni, a'r brawd fyddwch yn ei hoffi. Eithr clywch, dyna y daran floedd yn fyw, y delyn danog a bys angel arni, a dyfroedd y mynydd yn brawddegu cariad. Ddydd Cymanfa Llaneilio mae coed y gelli aur yn anthemu, castell Denefwr yn crynu, uchelion Brynceth-in yn canu, a H. W. Jones yn gerub y llu. Dydd Cymanfa Llwynhendy, yn 1859, bu yn enwi y meirw oeddynt newydd ymadael â ni, ac effeithiodd yr ymadroddi, fel yr oeddem yn aros i Simon Jones, Cilgeran, J. D. Thomas, Felinfoel, a B. Thomas, Saron, i gyfodi a defnyddio iaith y mellt, a mynegu, "Wele ni," canys y mae Jones, Caerfyrddin a'i ddihafal ddawn yn ein denu. Ddydd Cymanfa Bethel, Cayo, yn 1843, yr oedd y pregethwr newydd gladdu ei fam ei hun, a chymerodd yn y Gymanfa yn destyn, "Y Jerusalem uchod, yr hon yw ein mam ni oll;" ac yr oedd H. W. Jones yn yr oedfa hono wedi rhoddi ei law ar orsedd y goleuni, a'r bobl yn credu iddynt glywed yr awelon yn canu "Y Jerusalem fry;" y cwmwl yn parablu, "Uchod y mae," a phelydron haul yn mynegu, "Ein mam ni oll yw hi." Enillwyd yno amryw i lefain ar Dduw, "Ein Tad ni," ar Seion, "Ein mam ni," ac ar Iesu, "Ein brawd ni." Bu farw y dyn rhagorol, y cyfaill mad, a'r gweinidog poblogaidd hwn yn y fl. 1873, yn llawn 72 mlwydd oed.

7. Perarogla ei enw er ei gladdu.—Tri sylw carem eu cyhoeddi yn mhellach am dano:

(1.) Triga yn ddwfn yn serchiadau y llu. Pan elai i gyfarfodydd tri-misol, y gymanfa, a gwyliau mawrion eraill, byddai y teuluoedd yn darparu danteithion er mwyn ei roesawu, ond dyna Mr. Jones yn eu rhoddi o'r neilldu ac yn galw am y bara ceirch a'r ymenyn, y llaeth a'r bwyd cyffredin, a gadael y mwythebion i'r neb oedd yn eu caru. Mae pob gwr a gwraig, pob mab a merch, pob gwas a morwyn, yn mhob teulu lle bu, yn rhwym o edmygu y brawd pur, y cyfaill calonog, a'r dyn mawr yma. A byddai yr un fath yn y palas ag yn y bwthyn, yn y parlwr ag yn y gegin, a chyda phendefigion a phobl gyffredin.

(2.) Triga ei ddylanwad yn y dref yn ddaioni. Aeth i Gaerfyrddin pan oedd David Peters yr hanesydd yn dihoeni, John Breese, Liverpool, ar ddyfod iddi, *Seren Gomer* yno yn cael ei chyhoeddi, doniau Rhys Gibbon eto yn llefaru, ac eglwys y Tabernacl i raddau yn aflonydd, fel Llyn Ontario wedi i gorwyntoedd Canada ei fflangellu. Eto medrodd H. W. Jones heddychu Ephraim, llonyddu Manasseh, a magu meibion Joseph yn mhebyll Judah, a'u dwyn i ganu tôn y brawdgarwch. Parchedigaeth i'r tri a barai i weinidogion ieuainc i son am "y Dall o Abertawe," "y Melyn o Aberystwyth," a'r "Coch o Gaerfyrddin;" ac yr oeddem yn caru y dall, y melyn, a'r coch, â rhyw gariad anniffoddadwy. Rhaid y gofyna lawer o synwyr, o sylw ac o swyn, i allu byw gyda yr un gynulleidfa am yn agos i ddeugain mlynedd yn ddigolli.

3. Triga ei enw yn mynwes cyfeillion. Ei gorph a orphwysa yn mynwent y Tabernacl, yn y dref y bu y Rhufeiniaid yn byw ynddi cyn geni yr Arglwydd Iesu, y merthyrwyd yr Esgob Robert Ferrar yn nydd Mari, ac y codwyd arwyddfaen milwrol Picton, er adgof am Waterloo, ynddi. Ryw ugain mlynedd yn ol aeth Mr. Jones i Lundain i wrando Dr. Landels, i gymdeithasu â Samuel Morton Petto, ac i ymofyn Baptist Noel i bregethu ddydd Cymanfa y Tabernacl. Daeth y boneddwr megys brawd, a mawr a fu Eglwyswyr yn barnu, Annibynwyr yn canmol, Trefnyddion yn dawel, a Bed-

yddwyr yn canu, "Dyna Mr. Jones ni wedi llwyddo i gael Mr. Baptist Noel i bregethu yn ein Cymanfa ni, a phawb ond Mr. Jones yn ffaelu llwyddo, er i lawer ei geisio." Mae Mr. Jones, a Mr. Noel, a lluaws oedd yn y Gymanfa, wedi eu gogoneddu yn dragywydd. Ein neges ni yma yw cyfarwyddo ymfudwyr i'r Talaethau Tragywyddol, ac awn yno yn ebrwydd i ail fyw gyda charedigion lawer y'nt wedi blaenu.

## CYFADDASRWYDD
### (EXPEDIENCY).

GAN Y PARCH. LL. REES, JOHNSTOWN, PA.

[Gorpheniad.]

1. Edrychaf ar y mater dan sylw fel prawf y gosodiad diweddaf a wnawd. Dywedasom mai dweyd beth i wneyd wna Duw dan yr efengyl, ac nid dweyd pa fodd i'w wneyd. Gadawer i ni weled a ellir profi peth fel hyn. Dechreuwn gyda gwneyd yr efengyl yn hysbys i ddynion. Pe gwnelsai Iesu gyfraith o gyfaddasrwydd, wrth ba un y bwriadai gario allan ei ddybenion tuag at y byd, cydweddol a'r oes pan oedd ef ar y ddaear, a phe gwnelsai y gyfraith hon i fod yn rhwymedig ar bob oes, buasai i'w ddangos yn ddeddfroddwr hynod annoeth, gan na allai ragweled amgylchiadau amrywiol dyn. Deddf o *expediency* addas i un oes a fyddai yn anghyson neu yn ffol a dwl mewn oes arall. Fel eglurhad: pe gorchymynasai Crist fod y cyhoeddiad o'r efengyl i gael ei wneyd yn unig gan ddyn yn sefyll mewn man cyhoeddus, ac yn llefain yn uchel fel cyhoeddwr cyffredin newyddion i'r ddinas; nis gellid yn awr gymeryd mantais o dafod yr argraffwasg; buasai yn rhaid i'r *Wasg*, y *Drych*, a'r Wawr daflu i'r fasged bob peth efengylaidd; buasai yr efengyl i gyd yn beth i'r glust, ac i'w chyhoeddi yn unig oddiar y lwyfan gyhoeddus. Mae dyfeisiadau pob oes yn newid i ryw fesur gymeriad yr oes. O ganlyniad, o fewn y tair canrif ddiweddaf mae dyfeisiad yr argraffwasg wedi newid holl arwynebedd cymdeithas, a gwneyd ei chyflwr mor annhebyg i'r hyn ydoedd yn amser Crist ag yw ieuenctyd i henaint. Gwelwn, gan hyny, ddoethineb a hollwybodolrwydd ein Harglwydd, yn y ffaith na ystrydebodd efe, yn ei amser yn y cnawd, ddull arbenig o wneyd yr efengyl yn hysbys, yr hwn oedd i fod i bob oes. Sefyll ar y *stump*, neu ar gonglau yr heolydd, neu yn y marchnadoedd, neu unrhyw le cyhoeddus, oedd y rhai a gyhoeddent newyddion o bwys yn y dref a'r ddinas. Fel y cyfryw, dyna y dull a gymerodd yr apostolion i wneyd yr efengyl yn hysbys. Yn awr y mae neuaddau a chapeli a chyhoeddiadau pwrpasol i'w cael. Credu yr wyf pe buasai Paul byw mai ysgrifenu i'r Wawr fuasai o hyd os cawsai pob adnod ymddangos. Credwn y bydd i'r gosodiad na ystrydebodd Crist un modd neillduol i bregethu yr efengyl, yn neillduol y modd lleisiol-ysgrechiadol a cherddorol, pan ddaw gwirioneddau yr efengyl, yn eu gwerth eu hunain fel gwirioneddau a ffeithiau, yn sefyll yn ddiangenrhaid o fenthyca swyn a nerth oddiwrth lais a *chwirks* areithyddol, gael ei deimlo a'i dderbyn. Mynych y sonir am ddyn o flaen ei oes. Wel, y mae rhai wedi, yn, ac i, fod, am beth amser, sut bynag, o flaen eu hoes; a diau fod llawer, pe deallent gyfrifoldeb yr oes hon, ar ol eu hoes. Ond gan nad pa nifer o ddynion sydd o flaen eu hoes, sicr, fel mae resyn y ffaith, fod llawer o'r efengyl o flaen ei hoes. Nid oes genym ofod nac amser i ymhelaeth yn awr.

2. Bedydd.—Tueddir fi i gredu na orchymynodd Crist y modd i fedyddio. Gorchymyn y peth a wnaeth Crist, gan adael y modd i'w benderfynu gan ddoethineb yr eglwys oleuedig. Nid yw y peth gorchymynedig—bedydd—wedi ei adael i gyfaddasrwydd, ond y mae y modd. Gorchymynodd Crist fedydd, yr hyn yn ddadansoddedig yw *ba-ad-ydd*, yr hyn sydd gyfystyr i dansuddiad neu drochiad; ond ni orchymynodd y modd. Trocha y Bedyddwyr ddyn ar ei gefn, ond y Dunkards a wnant ar y wyneb, ac y mae un dull gystal a'r llall o ran gwasanaeth yr or-

dinhad i'w hathrawiaeth. Yr oll o angen corph marw yw cael ei roddi yn y ddaear—i gyd yn y ddaear. Nid yw o gymaint pwys iddo ef nac i gymdeithas, yn y pen draw, pa un ai ar ei wyneb, ynte ar ei gefn, ar yr ochr ddeheu ynte yr ochr aswy y ca ei gladdu; cael ei gladdu i gyd o'r golwg, yw yr hyn a orchymynir—doethineb y byw sydd i benderfynu y dull o gladdu. Felly yr un modd gyda chladdu ffigyrol yn yr ordinhad. Gan nad oes genym orchymyn pendant gyda y dull fel y cyfryw, mae yn rhaid fod yr *expediency* anocheladwy i'w benderfynu gan athrawiaeth yr ordinhad. Nid oes tu arall (*alternative*) am dani gyda golwg ar gorph marw; mae sefyllfa farwol y corph, a'i chanlyniad, yn gofyn yn benderfynol gladdu—gosod o'r golwg yn y ddaear; ond y mae y dull o gladdu i'w benderfynu wrth ddeddf *expediency*. Tra y mae Crist yn gorchymyn tansuddiad, nid yw yn dyweyd pa un ai mewn celwrn, cafn, pwll, llyn, neu mewn dwfr rhedegog, y dylid ei wneyd; neu pa un ai y ca ei wneyd ar yr ochr, y wyneb, neu ar y cefn. Mae hyn i gyd wedi ei adael i gyfaddasrwydd; ond y mae yn rhaid i'r gyfraith gael ei chyflawni. Yn ngwyneb fy ngosodiadau uchod, gwelir fod yr egwyddor ddoeth a da o gyfaddasrwydd, ag yr ydym yn son am dani, i gael ei rheol gyda golwg ar fedydd oddiwrth adnabyddiaeth drylwyr o athrawiaeth neu ddyben yr ordinhad; dyma y cyfeiriad yn benaf y dylid myned i wybod y modd iawn i gyflawni yr ordinhad yn foddhaus i Dduw. Nid oes achos wrth gymaint o ddadhuddo ystyron geiriau bedyddiadol estronol; gormod, mae yn debyg genyf, sydd wedi, ac yn bod o hyn. Byddai hyddysgrwydd yn nyben yr ordinhad, fel y dysg yr epistolau apostolaidd ef, yn gadarnach safle i egluro y pwnc yn effeithiol, ac i ladd cecraeth hunanol.

3. Swper yr Arglwydd.—Mae y Beibl yn gorchymyn i ni dori bara ac yfed gwin mewn cymundeb er cof am farwolaeth yr Arglwydd, ac mewn rhagddysgwyliad am ei ail ymddangosiad; ond ni ddywed pa un ai dan y balmwydden, neu mewn ty cysegredig at hyn, y dylid gwneyd hyn—mae hyn wedi ei adael i gyfaddasrwydd.

Mae yr eglurhadau uchod yn dangos yn amlwg, feddyliwyf, na ellir cyflawni un ddeddf o eiddo Iesu Grist heb fabwysiadu *expediency;* a chan fod *expediencies* yn ymddibynu ar ddewisiad, fe ddysgwylir i ni fel creaduriaid rhesymol ddethol a mabwysiadu yr *expediencies* mwyaf cyfaddas i gyrhaedd dyben y trefniant ysbrydoledig.

Mae Gair Duw, mewn manau ynddo, yn gwneyd yn amlwg y gwahaniad rhwng yr hyn sydd yn orchymyn Crist a'r hyn sydd wedi ei adael i ddoethineb y saint. Darllener y 14eg a'r 15fed benod o'r Epistol at y Rhufeiniaid, a cheir gweled y meddylddrych hwn yn cael ei ddirwasgu ar y saint: "Mae un yn barnu diwrnod uwchlaw diwrnod, ac arall yn barnu pob diwrnod yn ogyfuwch. Bydded pob un yn sicr yn ei feddwl ei hun." Mae yr adnod hon yn engraifft dda ar y mater. Gyda golwg ar hyn y dywedir am Grist, na ymddangosoddd i foddio ei hun, gan ei fod yn was a gweinidog i'r enwaediad. Mae yr egwyddor hon yn rhedeg trwy yr efengyl. "Dygwch feichiau eich gilydd," &c. "Nac edrychwch ar yr eiddoch eich hunain, ond ar yr eiddo eraill hefyd." Pwy na wel, nid yn unig awdurdod ddwyfol i blygu i ddeddf *expediency*, ond hefyd ddoethineb y fath ddeddf? Nid oes dim, gan hyny, yn fwy amlwg yn y gwirionedd na bod deddf *expediency* i i gael ufudd-dod yn nheyrnas nefoedd; a dylai y saint ufuddhau iddi hyd yn nod pan ddarganfyddont fel lleiafrif fesur heb fod y doethaf, o'r hyn lleiaf hyd nes gallant drwy ffordd gyfreithlawn fabwysiadu mesur doethach. Os gallai ein Harglwydd yn gyson â dyben eithaf ei ymweliad a'r byd, ufuddhau i ddeddfau yr ymerodraeth Rufeinig, a chenedl Israel, am y barnai hyny yn gyfaddas; ac os gallai Paul eillio ei ben, a chymeryd arno yr adduned Nazareaidd, fel na rwystrid yr efengyl, gallwn ninau, feddyliwyf, gyda rhwyddineb, blygu i bob *expediency* ddoeth yr oes, gyfaddas i gario allan egwyddorion a dybenion ein crefydd ogoneddus.

Heblaw hyn, mae yn ogoniant Cristionogaeth ei bod yn llywodraethu ei holl ddeiliaid wrth egwyddor yn fwy nag wrth ddeddf bendant; gan hyny, dylai pob *expediency* a fabwysiedir fod yn ddarostyngol i egwyddor fawr yr efengyl. Ni orchymynwyd bedydd, mwy na ffydd a chariad, er mwyn dangos awdurdod benarglwyddiaethol, gan mai *expediency* yw—peth ag y mae rheidrwydd yn galw am dano er gwasanaethu yr athrawiaeth fawr sydd ynddo. Gwel Rhuf. 6ed ben.; Col. 2: 12, a 3: 1.

Rhaid i mi yn awr sychu yr inc ar y pin. Mae y pwnc hwn yn gofyn traethawd llafurfawr arno, gwahanol iawn i'r bras olwg yr ydwyf wedi gymeryd o hono. Gobeithiwyf yr un pryd y bydd yr hyn a ysgrifenais arno yn foddion i osod meddyliau darllenwyr y WAWR arno, ac y bydd iddynt ddyfod i'w ddeall yn drwyadl, ac y daw y pwnc drwy hyny o wasanaeth mawr i'r eglwysi efengylaidd. Daeth y mater hwn i fy meddwl drwy offerynoliaeeh gair neu ddau o eiddo D. A. Davies, yn ei ofyniadau i mi yn y WAWR am fis Ebrill, a dyma fi wedi gosod i lawr y meddyliau a ymdarawent i mi fel ar wibdaith ar y pwnc. Dichon yn mhen ychydig amser yr ymaflaf yn y mater hwn eto, ac y bydd genyf well hamdden i wneyd cyfiawnder ag ef.

# Bwrdd y Golygydd.

## Y PARCH. HENRY THOMAS.

Mae yn hysbys bellach i lawer o'n darllenwyr fod y brawd teilwng uchod wedi glanio yn America. Dymunwn yma gyduno yn y tystiolaethau cymerwyol a roddir mor gyffredinol iddo. Adnabyddwn Mr. Thomas er's blynyddoedd. Pan oeddym yn Hwlffordd, arferai ef ddod yno o Briton Ferry i'r etholiad blynyddol. Amlygai ei hun y pryd hwnw yn hynod o ddirodres, ac yn ddiofal, fel yr ydym ni yn America yma, o ryw fân reolau cymdeithasol. Nid yw ryfedd yn y byd genym iddo ddod trosodd. Mae yn Americanwr erioed. Mae yn sicr o dreulio gweddill ei oes yma. Yn canlyn mae dau lythyr Saesoneg ganddo o Gymru. Paham na fuasai y brodyr yn ysgrifenu yn Gymraeg, nis gwyddom:

NEATH, May 16.—The Welsh Baptist Association of Glamorganshire, South Wales, to the Baptist Churches of America: Dear brethren in the Lord—The following resolution was passed at a quarterly meeting of the above Association, held at Aberdulais, near Neath, on the 4th of May, 1881. "That a letter of recommendation be given to the Rev. Henry Thomas, of Swansea, from this Association to the Baptist churches in America; and inasmuch as he intends to spend some time, if not the remainder of his life, in that country, we hope he will be received there as a worthy brother, and a good and faithful preacher of the gospel of our Lord Jesus Christ.—BENJ. EVANS, *Secretary*.

MAESTEG, May 13.—I know the Rev. Henry Thomas well; he is a kind man, a conscientious Christian and a good preacher. He leaves Wales with the good wishes of his brethren in the ministry. As an architect he has excelled most—the chapels which he has built are an ornament to the country. Inasmuch as he has made up his mind to turn his face to the "land of the West," I wish him God speed, and you, kind brethren, receive him kindly in the Lord. He his worthy of your sympathy. Yours fraternally—FRED. EVANS.

Dymunem ddweyd yn mhellach, fod y brawd Thomas yn frawd da, yn bregethwr rhagorol yn y ddwy iaith fel eu gilydd. Ond druain o honom ni y Cymry, gadael i Mr. Thomas fyned at y Saeson a wnawn, mi wrantaf.

## AT Y SAESON ETO!

Cyn y bydd y rhifyn hwn o'r wasg, bydd y Parch. John Edred Jones, Utica, wedi ymsefydlu yn weinidog ar eglwys o Fedyddwyr Americanaidd yn New England, o fewn ychydig filldiroedd i'r brodyr adnabyddus, y Parchn. John Evans a Stephen Howells. De-

allwn ei bod yn eglwys luosog a hynod gyfrifol, a'i bod wedi rhoddi galwad unfrydol i Mr. Jones. Fel hyn mae y brodyr Cymreig yn ymadael o un i un at y Saeson. Dylai y Cymry, fodd bynag deimlo yn dda fod cynifer o honynt yn myned ydynt yn adlewyrchu anrhydedd ar eu cydgenedl. Bydd y brawd Jones yn gadael Utica gyda dymuniadau goreu llawer o gyfeillion. Bydd yntau yn ddiau yn teimlo yn chwith ar ol llawer o ffryndiau yn y cylch Cymreig.

## PAUL YN ATHEN.

Gwelir yn erthygl arweiniol y rhifyn hwn ddechreu cyfres ar y testyn uchod. Yr ydym yn ymgymeryd â'r gwaith hwn ar gais amryw frodyr adnabyddus yn ein plith, y rhai a rwgnachent am na ysgrifenem fwy ein hunain i'n Cylchgrawn. O'r dechreu hyd yn awr yr ydym yn fwriadol wedi ymgadw rhag ysgrifenu ond cymharol ychydig, gan y tybiem y buasai yn well gan ein darllenwyr weled gwaith ein llenorion adnabyddus.

Os deallwn fod y gyfres newydd hon yn dderbyniol, bwriadwn ychwanegu am amryw fisoedd.

## ADFERIAD YR ARLYWYDD.

Mae calonau lawer, lawer yn curo yn obeithiol am adferiad yr Arlywydd, yr hyn bob dydd sydd yn dyfod yn fwy tebygol. Credwn y bydd i'r anfadwaith hwn ar brif swyddog y llywodraeth effeithio yn ddaionus ar wladlywiaeth a moesau y wlad. Y mae eisoes wedi tynu sylw y wlad at ragoriaethau yr Arlywydd fel dyn cywir, crefyddol, a gwrol.

Mae lle i ofni fod y *spoils system*, sef yr arferiad sydd yn ffynu o roddi swyddau am wasanaeth etholiadol, wrth wraidd y drwg a dorodd allan yn saethiad yr Arlywydd.

Cafodd yr Arlywydd *relapse*, ar y 23ain a'r 24ain, ond trwy gyflawni gweithrediad law-feddygol arno, dechreuodd yr arwyddion bygythiol gilio yn ol drachefn.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

Ebe Ap P. A. Mon: Anwyl frawd, Wedi addaw i chwi, ac wedi addunedu i mi fy hun, y buaswn yn ymdrechu anfon gohebiaeth bob mis am flwyddyn, yr wyf wedi cyflawni fy addewid. Pan bydd y tywydd poeth wedi myned heibio, efallai y bydd i mi anfon ail gyfres o'r "Gwreiddiol a'r Detholedig," os bydd hyny yn dderbyniol genych chwi a derbynwyr y Wawr. Mae ysgrif Wm. Jones yn *sledge hammer* ar gopa R. H. Evans; ac ysgrif Mr. Morris, yr arweiniol, yn wir ddyddorol.

[Dysgwyliwn i'r brawd gofio ei addewid.—Gol.]

—Mae capel Danville, Pa., wedi myned o dan adgyweiriad ardderchog yn ddiweddar; rhoddwyd yn agos i $600 o gostau arno. Mae y frawdoliaeth fechan hon yn dangos gweithgarwch mawr. Yr oedd yr arian at y treulion mewn llaw cyn dechreu y gwaith.

— Cydymdeimlwn yn ddwys â'r brawd parchus y Parch. Dr. Griffith, Oak Hill, Ohio, a'i deulu, ar farwolaeth ei anwyl fab, Willie Griffith. Yn ddiweddar bu farw anwyl ferch iddynt, ac yr oedd colli Willie mor fuan yn dyfnhau yr archollion o golli Maggie. Chwith genym feddwl na chawn weled yr anwyliaid hyn yn Oak Hill mwy.

—Nid oedd marwolaeth yr hybarch Benjamin Bowen, Olyphant, Pa., ond yr hyn a ofnid er's tro. Pan oeddym yno ychydig wythnosau yn ol, edrychai yn bur wael. Amlygai wrthym ei fod yn teimlo bron ar ben ei yrfa, ac na ddysgwyliai fyw nemawr hwy. Oeddym yn rhyfeddol hoff bob amser o alw heibio Mr. Bowen. Credwn nad aeth o'r cyffiniau nemawr gwell dyn nag ef. Nid oedd dichell yn ei ysbryd. Diniwed oedd efe. Deddf ei Dduw oedd yn ei galon. Dyma un o'r hen bererinion gynt, cydoeswyr yr enwogion, W. Owen, Pittsburgh, a W. Morgan, Potts-

ville, wedi ein gadael eto. Coded yr Arglwydd lawer tebyg iddynt. Dysgwyliwn y bydd rhyw frawd medrus, megys y Parch. J. P. Harris, yn ysgrifenu cofiant i'n hanwyl frawd ymadawedig.

—Mae y Bedyddwyr yn cyduno a'r teimlad cyffredinol o golli yn yr angau yr enwog Dean Stanley. Yr oedd ef yn ddigon gonest i gyfaddef, er yn un o brif ddynion yr Eglwys Sefydledig, mai y Bedyddwyr sydd yn bedyddio yn ol y dull apostolaidd. Y mae ei ysgrif ar y pwnc hwnw wedi gwneuthur yn ddiangenrhaid ysgrifenu llawer ar y pwnc mwyach, a pheri i ni deimlo fod y sawl a geisio ddysgu fod yr apostolion yn taenellu babanod yn mhell ar ol yr oes.

—Bydd marwolaeth Mr. Lewis Everett, golygydd y *Cenhadwr* Americanaidd yn cael ei deimlo yn fawr yn ei deulu, ei gymydogaeth a'i enwad. Rhoddid gair uchel i Mr. Everett bob amser gan bawb a'i hadnabyddai.

—Mae y Parch. B. James, diweddar o America, yn cael derbyniad cynes yn yr hen wlad.

—Mae cyflenwad newydd o'r "Llawlyfr Moliant" yn yr Hen Nodiant wedi dod. Brysied pawb fydd am dano.

# Barddoniaeth.

## LLINELLAU

O gydymdeimlad â Mr. EVAN THOMAS (Ieuan Dar) a'i Briod hoff, Mrs. ELLEN THOMAS, Parsons, Pa., wedi Marwolaeth eu hanwyl ac unig Blentyn, yn union wedi i'w hoff dad ymadael i'r America.

O ganol perswynion awelon yr haf,
  A cherddi hudolus yr adar,
Gan storom aruthrol fy chwythu a gaf
  O'r mwyniant i ofid a galar;
Ha! gyda fod blodau ei swynion bach hi
  Yn lledu a chwerthin yn dirion,
Dy Lizzie fach, Ieuan, a hedodd i fri,
  Gan hyny paid tori dy galon.

Pan gollais y lili a blenais o'm gardd,
  Fy ngardd a wnaeth golli ei thlysni,
O'i hol nid oes flodyn fel hon sydd mor hardd,
  Eill lenwi lle gwag fy hoff lili;
Dy Lizzie di, Ieuan, pa lili mor fwyn?
  O, meddai ryw lu o brydferthion;
Nid rhyfedd ei bod hi mor gryfed ei swyn,
  O, Ieuan, paid tori dy galon.

Mi wn fod dy Lizzie yn iach ac yn llon
  Pan aethost i ffwrdd oddi yma,
Ond gyda y newydd dy fod dros y don,
  Ehedodd yn union i Wynfa;
Ond nid fel y lili yr aeth Lizzie chwi,
  Heb adael o'i hol i'ch gysuron;
O fyd o wae 'hedodd i wynfyd o fri—
  Paham y gwnewch dori eich calon?

*Aberdare, D. C.* CYNONFRYN.

## IESU A'R GWAREDIGION.

O! 'r olwg ddysglaer welaf fry,
  Y gwr fu ar y pren,
A'r goron hardd gyfryngol sy
  Yn berlog ar ei ben.

Yno y mae'r ddedwyddaf dorf,
  Afrifawl ydynt hwy,
Yn uchel seinio cân heb dor,
  Am rinwedd marwol glwy.

Cyfeillion calon i mi sydd
  Ar fynydd Seion draw,
Yn ddedwydd mewn trag'wyddol ddydd,
  A'u palmwydd yn eu llaw.

O, ddedwyd fan i'r saint i fod,
  Yn ngwyddfod Iesu glân,
Ac iddo ef y rhoddant byth
  Eu mawl a'u dilyth gân.

*Dell Roy, O.* LLYWARCH.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## CENEDL O DAN WARTH.

Nid oes dim wedi bod o gymaint rhwystr i'r gwaith cenadol yr haner can' mlynedd diweddaf a'r fasnach helaeth mae Lloegr yn gario yn mlaen yn China mewn cysgfwl (*opium*). Mae gwthio y nwydd dinystriol uchod ar y Chineaid, er gwaethaf pob peth, a hyny gan genedl sydd yn honi bod yn Gristionogaidd a chrefyddol, yn peri i'r Chineaid, a hyny yn naturiol, gredu nad yw crefyddoldeb a Christionog-

aeth y Saeson yn ddim ond honiad. Nid yw paganiaid China wedi dysgu digon i wahaniaethu rhwng Cristionogaeth Crist ag eiddo ei ganlynwyr. Cysgfwl yw sudd y *poppy* wedi ei sychu. Tyf y rhan helaethaf o hono yn India. Y prif fan yn India yw darn o dir ar lan y Ganges, yr hwn sydd yn 600 milldir o hyd, ac yn 200 o led. Mae yr holl dir yn perthyn i Lywodraeth Lloegr, ac ni oddefa i neb dyfu y cysgfwl heb ei chaniatad hi. Golala, wedi rhoddi caniatad i'w dyfu, naill ai am brynu yr holl gynyrch, neu osod cymaint o doll arno fel na all neb wneyd arian arno ond hi ei hunan. Yr oedd cyllid Lloegr oddiwrth fasnach yr opium yn 1877 yn cyrhaedd y swm aruthrol o $45,612,300. Dygir y nwydd i'r farchnad mewn blychau, yn cynwys 136 pwys yr un. Yn 1878, gwerthai yr opium yn rhwydd am $5.67 y pwys. China yw y brif farchnad. Cludwyd yno yn 1878 9,656,400 pwys o hono. Ysmocio y nwydd y bydd y Chineaid fynychaf; ond bwyteir ef gan rai, a gwneir gwlybwr o hono gan eraill. Y mae yr oll o'r dyn yn cael ei effeithio ganddo. Achosa boen arteithiol yn yr aelodau a'r coluddion; collir archwaeth at fwyd—methu cysgu yn esmwyth, ac eir i sefyllfa o wendid cyffredinol. Ar ol dechreu ei ddefnyddio, rhaid ei gael yn barhaus. Gwna y cadarn a'r iach yn hen wr methedig pan yn 40 mlwydd oed. Dylanwada yn rhyfedd hefyd ar alluoedd meddyliol, a moesau y rhai a'i defnyddiant; collant y gallu i gofio, ac ânt yn llygredig eu meddyliau a'u harferion. Dywedyd celwydd, anlladrwydd, a phenrhyddid, ydyw prif ddrygioni y Chineaid; a dywedir gan awdurdodau o bwys, fod y defnydd aruthrol a wnant o'r cysgfwl yn gorwedd wrth wraidd y drygioni hyn, ac yn brif achosydd o honynt.

### Y CHINEAID YN WRTHWYNEBOL IDDO.

Nid oes awydd naturiol yn y Chineaid at opium—wedi ei fagu y mae yr awydd ynddynt. Er y flwyddyn 1799 hyd yn awr, mae Llywodraeth China wedi gwrthwynebu masnach yr opium, hyd y gallai; ac er amser Warren Hasting, yr hwn yn y flwyddyn 1781 a ddanfonodd i China 1,600 o flychau o hono, mae Llywodraeth Lloegr wedi cario y fasnach yn mlaen, er pob peth a ddywedwyd yn ei herbyn gan y Chineaid. Gwnaeth Llywodraeth China ymgais ar ol ymgais o'r flwyddyn 1799 i lawr i 1834, i gael gan Loegr osod terfyn ar y fasnach uffernol, ond i ddim pwrpas. Yn hytrach nag atal, gyrid llongau rhyfel i lanau China er cynorthwyo y rhednwyddwyr (*smugglers*) i'w gario i'r wlad yn ddiarwybod i swyddogion y llywodraeth. Mae masnach yr opium yn hollol yn meddiant y Llywodraeth Brydeinig er 1834, pryd y darfyddodd breinlen yr East India Company. Penderfynwyd yn 1834, trwy bleidlais gan brif ddynion China, nad oedd rhagor o opium i ddyfod i'w gwlad. Hysbyswyd Lloegr o'r penderfyniad, a rhoddwyd dwy flynedd a haner iddi i ymryddhau o'r fasnach. Ond er cael, a hyny gan baganiaid, ddwy flynedd a haner o ras, ni edifarhaodd, ac ni newidiodd ei ffyrdd drygionus—aeth yn mlaen a'r fasnach fel arfer. Yn y diwedd gyrodd China swyddog i Canton, o'r enw Lin, yr hwn a gymerodd feddiant o 20,000 o flychau o'r nwydd, y rhai a dorodd yn agored; cymysgodd galch a halen ag ef, yna taflodd ef i aber oedd gerllaw, a chafodd ei gario gan ddyfroedd yr aber i'r môr. Dygodd hyn ar China law greulon Lloegr, a chawsom ryfel cyntaf yr opium rhwng y ddwy wlad. Gorchfygodd Lloegr wrth gwrs—dylasai orchfygu. Wrth wneyd amod heddwch gorfodwyd China i agor pump o'i phorthladdoedd, rhoddi $21,000,000 o iawn, ac Ynys Hong Kong i Loegr. Er hyn oll, ni chaniataodd China ryddid i gario yn mlaen y fasnach opium. Eto i gyd gyrai Lloegr drwy ei swyddogion yn India werth miloedd ar filoedd o ddoleri yno bob blwyddyn drwy ryddnwyddwyr. Yn nechreu y flwyddyn 1856, daliodd swyddogion China long ag oedd yn cario lluman Prydeinig wrth y gorchwyl o ysmyglio, a bu hyny yn achos o ail frwydr rhyngddi hi a Lloegr. Mae China wedi bod yn ymdrechu dro ar ol tro oddiar hyny hyd

yn awr, ond i ddim llwyddiant. Mae y fasnach mor fywiog heddyw ag erioed, os nad yn fwy felly.

TEIMLAD Y CHINEAID HEDDYW MEWN CYSYLLTIAD A'R FASNACH.

Yn Medi, 1880, llaw-nodwyd cytundeb rhwng America a China, yr hwn a gynwysa, gyda phethau eraill, "nad yw dinasyddion Americanaidd i atgludo cysgfwl i un o borthladdoedd agored China." Hefyd, mae China, yn ddiweddar, trwy ei llys-genad yn Washington, wedi bod yn deisyf ar y wlad i atal opium i'r wlad hon, a hyny er budd y Chineaid sydd yn trigianu yma. Felly ti weli, ddarllenydd, fod China, er yn wlad anwareiddiedig, ar ei heithaf i gadw draw oddiwrth ei phobl y nwydd sydd yn myned o dan wraidd bywyd, ac yn difa cysur, a damnio eneidiau ei miliynau trigolion.

A OES GOBAITH Y DERFYDD RYW BRYD?

Mr. Gladstone, cyn dyfod i'r swydd y mae ynddi, a ddywedai yn ddifloesgni ei fod yn erbyn y fasnach, ac y carai weled y gwarthrudd wedi ei symud yn llwyr oddiar gymeriad Lloegr. Mae hyn i raddau yn obeithiol. Da genym feddwl hefyd fod miloedd heblaw Mr. Gladstone yn teimlo i'r un cyfeiriad. Mae y cwestiwn pwysig hwn wedi bod bump o weithiau yn y deugain mlynedd diweddaf o flaen Senedd Prydain, ond bob tro yn aflwyddianus. Ond hyderwn a gweddiwn na fydd yn hir cyn dod eto, ac y bydd i'r holl wlad deimlo, a phenderfynu na fydd iddi byth mwy drochi ei dwylaw a'i chymeriad yn nglyn â masnach mor waradwyddus. Am hyn bydded i bob Cristion weddio o eigion ei enaid.

---

## HANESION CARTREFOL.

### Hyde Park, Pa.

Er fod eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn y lle hwn yn cael rhai o oreuon cyfenwad Bedyddiedig y cylchoedd yma, beth bynag, i bregethu iddynt dri Sabboth o bob mis, sef y Parchn. D. W. Morris, Taylorville; Theophilus Jones, Wilkesbarre, a D. R. Jones, Plymouth; er hyny, nid oes rhyw lwyddiant neillduol i'w ganfod yr adeg bresenol. Gobeithio y gwawria yn fuan.

Gorph. 3ydd, pregethodd y Parch. Henry Thomas, Abertawe, D. C., yma gyda gradd o lwyddiant. Penderfyna yr eglwys ei wahodd i'w gwasanaethu am ddau fis. Dechreua ar ei waith y Sabboth cyntaf o'r mis nesaf, os cydsynia a'r cais.

Mae gan yr eglwys hon Ysgol Sabbothol weddol lwyddianus a lluosog, rhifa o bump i chwe' chant o ysgolheigion. Cynelir yr ysgol mewn pedwar o wahanol fanau ar y Sabboth, oblegid mae ganddi dair o gangenau, sef y 4th Ward, Bellevue a'r Continental. Ar y 4th of July cafodd yr ysgol a'r cangenau yn nghyd bic-nic ardderchog, a digon o bob peth angenrheidiol er eu gwneyd yn hapus.

Nos Wener, y cyntaf o Gorphenaf, cafodd cangen Bellvue gyfarfod dyddorol—Ebenezer Lloyd yn llywyddu. Cafwyd areithio, canu gan y Band of Hope, a *solos*. Ei ddyben oedd talu yn ol i'r plant yr arian a gynilasant yn ystod y flwyddyn erbyn y *Fourth*. Mae gan y plant bach yma fath o fanc cynilo (*savings bank*), bydd yn agored un noswaith o bob mis i dderbyn arian i fewn. Ymdrechant fyned a phob cent allant gael gafael ynddi i'r banc; oblegid telir bob blwyddyn, ychydig ddyddiau cyn y *Fourth*, yr arian gyda llog, yn ol i'r plant, fel byddo ganddynt arian at law y diwrnod hwnw. Mae wedi cychwyn yn agos i bedair blynedd yn ol.

Ar y noswaith uchod, talwyd y swm o fil, pum' deg a phedair o ddoleri ($1,054), y symiau yn amrywio o 5 cent i fyny i amryw ddoleri, a phawb yn cael llôg. Ymdrechodd y swyddogion dalu llôg o 1 cent i'r hwn oedd a dim ond 5 cent yn dod iddo, ac ychydig o lôg i'r rhai a 25 cents ganddynt. Barna y swyddogion fod hyny yn llawer iawn o lwyddiant iddo.

Nos Sadwrn, y 9fed, agorodd i dderbyn i fewn erbyn y 4th nesaf, pryd y

derbyniwyd y swm o $167. Lled dda, meddaf.

Meddyliodd y brodyr a'i cychwynodd y gallai fod yn gynllun da iawn i blanu yn foreu yn meddwl yr ieuanc y syniad o gynilo ac arbed arian. Gwelant erbyn hyn fod eu cynllun yn llwyddo yn dda. Yr ymddiriedolwyr ydynt y brodyr, Thomas D. Davies, Isaac Morgans, Ebenezer Lloyd, Wm. D. Davies a William Jenkins; Ysgrifenydd, Edward E. Thomas, a'i gynorthwydd, George Sanders; Trysorydd, J. W. Davies.

Mae y gweithfeydd ychydig yn well yma yn bresenol nag y buont.

Yr eiddoch, D. Z. D.

---

## *CYMANFA*

### BEDYDDWYR CYMREIG OHIO A GORLLEWINBARTH PENNSYLVANIA.

Cynaliwyd y gymanfa uchod eleni yn Mineral Ridge, Mai 27—30, 1881.

Am 10 o'r gloch boreu dydd Sadwrn agorwyd y gynadledd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd Joseph T. Jones, Johnstown, pryd y penderfynwyd a ganlyn:

1. Wedi darllen llythyrau ac ystadegau yr eglwysi am y flwyddyn, etholwyd y brodyr canlynol yn swyddogion y gymanfa am y flwyddyn ddyfodol:

Charles Jones, M. A., New Straitsville, yn Llywydd; Thomas Thomas, Sharon, yn Ysgrifenydd; a Thomas M. Matthews, Hubbard, yn Drysorydd.

2. Ein bod yn rhoddi derbyniad gwresog i'r brawd John T. Griffiths i'n hundeb cymanfaol, ar sail llythyr a dderbyniwyd oddiwrth gymanfa Seisnig.

3. Ein bod yn rhoddi gwahoddiad i'r brodyr A. S. Phillips, Church Hill; Samuel Bassett, Palmyra; George Hague, Cleveland Shafft, a Philip Martin, Sharon, i gyd-eistedd a chydweithredu â ni yn y gynadledd.

4. Ein bod yn penderfynu sefyll at yr hen gynllun parth breinlen yr eglwysi, sef i bob eglwys ofalu am ei heiddo ei hun.

5. Ein bod yn cymeradwyo ysgrif y brawd Charles Jones, M. A., yn y WAWR, ac yn anghymeradwyo yr ysgrif ymosodol yn y *Wasg*.

6. Ein bod yn penodi pwyllgor o dri i dynu allan benderfyniad i anghymeradwyo ysgrif "Nid Gelyn," yn y *Wasg*.

Daeth y pwyllgor a'u hadroddiad i mewn, yr hyn sydd fel y canlyn: Ein bod fel pwyllgor yn ystyried ysgrif faleisddrwg "Nid Gelyn," yn y *Wasg* am Mai 21, yn ymosodiad di-alw am dano, annheg, ar ysgrif y Parch. Chas. Jones, M. A., yn y WAWR, gan na wnaeth ef gymeradwyo na chefnogi y naill na'r llall mewn cysylltiad a breinlen yr eglwysi; ond yn unig nodi y manteision a'r anfanteision yn syml, yn ol dymuniad cynadledd Cymanfa Pittsburgh, yn y flwyddyn 1880.

Amos Prosser, Mineral Ridge, D. Ll. Jones, Pittsburgh, Thos. E. Parry, Hubbard, *Pwyllgor*.

7. Ein bod yn derbyn ac yn mabwysiadu adroddiad y pwyllgor, ac yn eu rhyddhau.

8. Ein bod yn cyngori y brawd Francis Argust i weithredu yn unol a'r cyngor a gafodd yn Nghyfarfod Trimisol Palmyra, sef ymaelodi mewn eglwys Gymreig, a'r eglwys hono (os yn unol a'i hewyllys) i wneyd apeliad at gwrdd tri-misol neu gymanfa, am ei godi yn rheolaidd i'r weinidogaeth.

9. Ein bod yn cydnabod y brawd Wm. R. Jones, diweddar o Houtzdale, Pa., fel aelod a phregethwr rheolaidd yn ein plith, ar sail llythyr a dderbyniwyd oddiwrth Wm. S. Edwards, un o ddiaconiaid eglwys Houtzdale, yr hwn sydd yn ysgrifenu yn enw ac yn awdurdod yr eglwys hono, yn sicrhau fod pob cyhuddiad a ddygwyd yn erbyn y brawd Jones, tra yn aros yn eu plith, yn hollol anwireddus, heb y gradd lleiaf o wirionedd ynddynt. Rhoddodd hyn berffaith foddlonrwydd i'r gynadledd.

10. Ein bod yn penodi pwyllgor o dri i chwilio i mewn i achos Llewelyn Rees.

Daeth y pwyllgor a'u hadroddiad i mewn, yr hwn sydd fel y canlyn:

"Ein bod yn cyngori yr eglwysi i gau eu pwlpudau yn erbyn Llewelyn Rees, gan nad yw wedi cydymffurfio â rheol yr unfed-ar-ddeg o'r Gymanfa hon, yr hon sydd yn darllen fel y canlyn: 'Na fyddo derbyniad i un pregethwr yn eglwysi y Gymanfa hon, heb fod ganddo lythyr oddiwrth yr eglwys y perthyna iddi; ac oddiwrth gwrdd tri-misol yn ei gymeradwyo o ran ei gymeriad cyffredinol, ac o ran ei gymwysderau gweinidogaethol.'

William Williams, Mineral Ridge; Thos. Gwyn, Weathersfield; Philip Davies, Parisville, *Pwyllgor*."

11. Ein bod yn derbyn ac yn mabwysiadu adroddiad y pwyllgor, ac yn eu rhyddhau.

12. Ein bod yn teimlo yn llawen i roddi y derbyniad mwyaf gwresog i eglwys Girard i'n hundeb cymanfaol.

13. Ein bod yn caniatau i'r hen frawd Thomas T. Williams, Karr's Run, i fyned o amgylch yr eglwysi i bregethu yr efengyl, ac yn cymell yr eglwysi i roddi derbyniad gwresog iddo.

14. Ein bod yn datgan ein cydymdeimlad mwyaf dwys â'r brawd John W. James, yn marwolaeth ei anwyl briod; a'r hen frawd David Jenkins, Hubbard, yn ei henaint a'i fethiant; ac â David Evans a'i briod, Wheatland, yn eu cystudd; a'n gweddi yw, ar i Dduw Israel ofalu am danynt oll.

15. Ein bod yn gohirio cais eglwys New Straitsville am flwyddyn, sef codi trysorfa i gynorthwyo eglwysi gweiniaid i adeiladu addoldai.

16. Ein bod yn teimlo dan rwymau i gydnabod y brawd Owen Griffith, golygydd y WAWR, yn ddiolchgar, am ei ffyddlondeb yn dwyn allan y WAWR at ein gwasanaeth fel enwad, ac yn dymuno am ei barhad yn y dyfodol.

17. Ein bod yn cyhoeddi Rheolau y Gymanfa yn nghyda hanes y Gymanfa hon yn y WAWR, ac yn taer gymhell pob eglwys yn nghylch y Gymanfa i osod copi o'r rhifyn hwn yn llaw pob aelod.

Gwneir hyn am y rheswm fod y rhan luosocaf o'n haelodau yn hollol anwybodus o reolau y Gymanfa.

18. Fod y cyfarfod tri-misol nesaf i'w gynal yn Niles, O.

19. Fod cymanfa y flwyddyn 1882 i'w chynal yn Palmyra, O.

*Y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Wener, am 7 o'r gloch, dechreuwyd y cyfarfod gan y brawd David Hopkins, Palmyra, a phregethwyd gan y brodyr George Hague, Cleveland Shaft, ac Edward Jenkins, Palmyra.

Cynaliwyd y cyfarfodydd nos Sadwrn a'r Sabboth yn yr *Oddfellows' Hall*, am fod y capel yn llawer rhy fychan.

Nos Sadwrn, am 7 o'r gloch, darllenodd a gweddiodd y brawd Thomas M. Matthews, Hubbard, a phregethodd y brodyr James F. Richards, Newburgh, a David C. Thomas, Niles.

Boreu Sabboth, am 10 o'r gloch, dechreuwyd y cyfarfod gan y brawd D. Lloyd Jones, Pittsburgh, a phregethwyd gan y brodyr John T. Griffiths, Sharon, Thomas M. Matthews, Hubbard, a Joseph T. Jones, Johnstown.

Am 2 o'r gloch, darllenwyd a gweddiwyd, i ddechreu y cyfarfod, gan y brawd David Nicholas, Youngstown, a phregethwyd gan y brodyr Edward Jenkins, Palmyra, ac Allen J. Morton, Pittsburgh.

Am 7 o'r gloch, yn yr hwyr, dechreuwyd gan y brawd Samuel Bassett, Palmyra, a phregethwyd gan y brodyr Thomas Thomas, Sharon, Chas. Jones, M. A., New Straitsville, a D. Probert, Youngstown.

Nos Lun, am 7 o'r gloch, pregethodd y brodyr Thomas T. Williams, Karr's Run, a Wm. A. Jones, Palmyra.

Felly terfynodd y Gymanfa ragorol,—cynulliadau mawrion, gwrandawiad astud, pregethau hwylus a dylanwadol, a Duw fel pe yn gwenu ar y cyfarfodydd, o'r dechreu i'r diwedd.

Teimlwn yn ddiolchgar i eglwys barchus Mineral Ridge, ac i enwadau eraill yn ogystal, am eu sirioldeb a'u caredigrwydd tuag atom yn ystod y gymanfa. Bendith Duw fyddo yn aros arnynt oll.

Mae Ystadegau y Gymanfa am y fl. 1881, fel y canlyn:

| Eglwysi. | Gweinidogion. | Ysgrifenyddion. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd trwy Lythyr. | Gollyngwyd trwy Lythyr. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif presenol yr Eglwys. | Rhif presenol yr Ysgol. | At draul y Gymanfa. | At draul yr Ysgrifenydd. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Pittsburgh, Pa | | D. Lloyd Jones | 2 | 5 | 10 | 8 | 22 | 1 | 151 | 65 | $5 00 | $1 00 |
| Parisville, O | Allen J. Morton | Evan T. Davies | 18 | | | 7 | | 1 | 65 | 50 | 3 40 | 50 |
| Youngstown, O | D. Probert | John M. Evans | 2 | 4 | 23 | 19 | | 3 | 126 | 50 | 6 00 | 1 00 |
| Mineral Ridge, O | | Henry H. Williams | 3 | 2 | 11 | 5 | 5 | 2 | 85 | 90 | 28 71 | |
| Ebensburgh, Pa | | William Leighty | | 2 | | | 1 | | 34 | | 1 80 | |
| Coalburgh, O | | David Edwards | 9 | 3 | 2 | 5 | 3 | 1 | 85 | 85 | 2 70 | 1 00 |
| Thomastown, O | | Enoch H. Jones | 3 | 3 | 6 | 6 | 8 | | 55 | 50 | 3 50 | 50 |
| Sharon, Pa | John T. Griffiths | John Devereux | 19 | 11 | 4 | 3 | 5 | 2 | 81 | | 2 75 | 1 00 |
| Church Hill, O | | David D. Griffith | | 8 | 11 | 10 | 13 | | 58 | 90 | 2 10 | 1 00 |
| Weathersfield, O | A. S. Phillips | J. W. Morgans | | | 10 | | | 1 | 17 | 30 | | |
| Pomeroy, O | | John James | | | | | | | 22 | | 2 20 | |
| Niles, O | D. C. Thomas | David Williams | 2 | 3 | 5 | 3 | 1 | | 26 | 30 | 1 60 | 1 00 |
| Brookfield, O | | David Jeremiah | | 2 | 5 | 6 | | 2 | 43 | 50 | 1 80 | 50 |
| Hubbard, O | Thomas M. Mathews. | Thomas E. Parry | | 1 | 1 | 7 | | | 30 | 50 | | |
| Palmyra, O | Edward Jenkins | James Roach | | | | | | | 45 | | 2 05 | 50 |
| Wheatland, O | David Evans | | 1 | 2 | | | | | 25 | 35 | 2 00 | 50 |
| Houtzdale, Pa | | William T. Edwards | | | 10 | 8 | 3 | | 56 | 50 | 1 00 | |
| Hartford City, W. Va | | | | | | | | | | | | |
| Mason City, W. Va | John R. Jones | Richard Collins | | | 5 | 1 | | 1 | 24 | 40 | 2 40 | |
| Irwin Station, Pa | | Jacob Owens | | 4 | 2 | | | 1 | 22 | | 1 00 | 50 |
| Dennison, Pa | | | | | | | | | | | | |
| Oak Hill, O | | | | | | | | | | | | |
| New Straitsville, O | C. Jones, M. A | D. A. Davies | | 3 | 6 | 2 | 3 | | 83 | 100 | 4 00 | 75 |
| Centreville, O | D. T. Jones | John L. Jones | | | | 9 | 2 | | 35 | 40 | 2 00 | |
| Karr's Run, O. | | | | | | | | | | | 3 85 | |
| Pigeon Run, O | | Daniel Griffiths | 2 | 1 | 2 | 11 | | | 12 | | | |
| Girard, O | | Edward P. Jones | | 2 | 2 | | | | 23 | | 1 75 | |

Gollyngwyd 18 trwy lythyrau o eglwys New Straitsville, i ymsefydlu yn eglwys yn Shawnee—y brawd D. B. Davies yn gofalu am danynt yno, ac yn pregethu iddynt bob Sabboth.

Rhai eglwysi heb anfon eu hystadegau i mewn.

*Gweinidogion heb ofal Eglwysi.*—Thomas Thomas, Sharon; David Nicholas, Youngstown; David Hopkins, Palmyra; Thomas T. Williams, Wm. Lawrence, Karr's Run; David Jenkins, Hubbard, a Wm. R. Jones, Palmyra.

*Pregethwyr Cynorthwyol.*—D. Lloyd Jones, Pittsburgh; George Hague, Brookfield; Samuel Bassett, Palmyra, a Thomas Morris, Thomastown.

*Symudiadau Gweinidogion am y flwyddyn.*—Joseph T. Jones, yn symud o Thomastown, i gymeryd gofal eglwys Johnstown. John T. Griffiths, o Sheckleyville, i gymeryd gofal eglwys Sharon. Edward Jenkins, o Parisville, i gymeryd gofal eglwys Palmyra. Allen J. Morton, o Pittsburgh, i gymeryd gofal eglwys Parisville. D. B. Davies, o New Straitsville, i gymeryd gofal y brodyr yn Shawnee. Chas. Jones, M. A., o Mineral Ridge, i gymeryd gofal yr eglwys yn New Straitsville. James F. Richards, o Church Hill, i gymeryd gofal yr eglwys yn Newburgh; a Wm. M. Evans, Houtzdale, wedi myned yn ol i'r Hen Wlad.

Llwyddiant i'r brodyr oll yn eu gwahanol leoedd i wneyd llawer o ddaioni i ddynion, a dyrchafu gogoniant y Meistr mawr.

THOMAS THOMAS, *Ysg.*

---

## *RHEOLAU CYMANFA*

### BEDYDDWYR CYMREIG OHIO A GORLLEWINBARTH PENNSYLVANIA.

1. Fod y Gymanfa i gael ei galw yn Gymanfa Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania, Gogledd America.

2. Fod y pynciau a ganlyn, y prif athrawiaethau a gredir ac a broffesir gan eglwysi y Gymanfa, ac i fod yn sylfaen eu perthynas gymanfaol yn nheyrnas ac amynedd Iesu Grist, sef yw hyny: Tri o bersonau gogyfuwch yn y Duwdod, priodol Dduwdod a gwir ddyndod ein Harglwydd Iesu Grist; etholedigaeth dragywyddol; pechod gwreiddiol; prynedigaeth neillduol; cyfiawnhad rhad trwy gyfiawnder cyfrifol Crist; gras effeithiol mewn ail-enedigaeth; adgyfodiad y meirw; y farn gyffredinol; dedwyddwch tragywyddol y cyfiawn; cosbedigaeth ddiddiwedd yr anedifeiriol; yn nghyda holl drefn yr eglwys yn ol y Testament Newydd.

3. Fod amcan a dyben y Gymanfa yn gyfangwbl yn grefyddol ac efengylaidd, ac nid yn wladol a pholiticaidd; ac na fyddo dim a berthyna i'r wladwriaeth un amser i gael ei ddwyn i gynadledd y Gymanfa.

4. Fod y Gymanfa i gyfarfod unwaith bob blwyddyn mewn rhyw le ag y penderfynir arno y flwyddyn o'r blaen.

5. Fod gwasanaeth cyhoeddus y Gymanfa i gynwys darllen yr Ysgrythyrau, gweddio, canu mawl, a phregethu gair Duw, yn nghyda chyngori bawb eu gilydd yn mhob peth a dueddo i adeiladaeth y frawdoliaeth yn gyffredinol.

6. Fod pob eglwys berthynol i'r Gymanfa i anfon llythyr a chenad neu genadau i'r cyfarfod blynyddol, a bod hwnw i gynwys cyffes ffydd yr eglwys, hanes ei gweithrediadau trwy y flwyddyn, a'r cyfnewidiadau a gymerasant le ynddi oddiar y cyfarfod o'r blaen.

7. Fod enwau cenadon pob eglwys i fod yn eu llythyr at y Gymanfa, ac na fyddo hawl pleidlais gan neb yn y cyfarfod blynyddol ond y cenadon a enwir felly.

8. Fod y Gymanfa yn ymwrthod yn hollol â'r duedd leiaf i dra-awdurdodi ar yr eglwysi o ran eu ffydd, eu hymarferion, neu eu dysgyblaeth; eithr ystyried pob eglwys yn gorph anymddibynol, ac amcan neillduol eu hundeb yw cynorthwyo eu gilydd trwy gyngorion, rhybuddion, cyfarwyddiadau, anogaethau, ac yn mhob modd dichonadwy cydweithredu yn achos y Gwaredwr mawr, er ei ogoniant ef a'u cysuron hwy eu hunain.

9. Fod y Gymanfa i ymwrthod ym-

drin ag unrhyw anghydfod a ddichon godi mewn un eglwys, heb yn gyntaf fod y rheol a roddes Crist yn Matth. 18: 15—20, wedi ei chymeryd a'i dilyn yn yr achos. Hefyd fod y mater wedi bod dan sylw a thriniaeth y Cwrdd Tri-misol ag y perthyna y pleidiau ymrysonol iddo, a bod y pleidiau hyny a'r Cwrdd Tri-misol yn cyduno i roddi y mater i ystyriaeth ac ymdriniaeth y Gymanfa.

10. Na fyddo un eglwys berthynol i'r Gymanfa i dderbyn un a fyddo wedi ei ddiaelodi o eglwys arall heb ganiatad yr eglwys hono, neu ymgyngori a'r Cwrdd Tri-misol ar yr achos.

11. Na fyddo derbyniad i un pregethwr yn un o eglwysi y Gymanfa hon heb fod ganddo lythyr oddiwrth yr eglwys y perthyna iddi, ac oddiwrth y Cwrdd Tri-misol, yn ei gymeradwyo o ran ei gymeriad cyffredinol, ac o ran ei gymwysderau gweinidogaethol.

12. Fod llythyr arwyddbwynt defnyddiol i gael ei anfon oddiwrth y Gymanfa, wedi ei arwyddo gan y Cymedrolwr, yn flynyddol, at yr eglwysi, er eu haddysg a'u hyfforddiant yn athrawiaeth yr Arglwydd.

13. Fod pob eglwys i roddi rhyw gymorth arianol yn flynyddol er cynorthwy yr eglwys lle y byddo y Gymanfa i gael ei chynal.

14. Fod perthynas pob eglwys â'r Gymanfa hon yn ymddibynu ar ei chydffurfiad â'r rheolau hyn.

15. Na fyddo awdurdod gan neb i gyfnewid na chwanegu at y rheolau hyn, ond mewn cyfarfod cyffredinol blynyddol y Gymanfa, pryd y gellir cyfnewid, diwygio, neu chwanegu atynt, yn ol fel y byddo yr amgylchiadau yn galw.

*Trefn y Gynadledd.*

1. Fod cynadledd er darllen llythyrau yr eglwysi ac ymdrin â materion eraill y Gymanfa, i gael ei chynal y dydd cyntaf o'r cyfarfod blynyddol.

2. Fod gweinidog yr eglwys lle y cynelir y Gymanfa, neu ryw frawd gweinidogaethol arall a ddewiso y cyfarfod, i fod yn Gymedrolwr.

3. Fod i bob gweinidog neu genad a fyddo yn llefaru yn y gynadledd, godi ar ei draed, a chyfeirio ei ymadroddion at y Cymedrolwr.

4. Fod trefn a dystawrwydd cyffredinol i gael ei gadw tra y byddo y gweinidogion a'r cenadon yn ymdrin ag achosion y Gymanfa.

5. Na fyddo dim ond un yn llefaru ar y tro; er atal dyryswch ac annhrefn.

6. Fod y gweinidogion a'r cenadon yn ddarostyngedig i reolaeth y Cymedrolwr, yn nygiad yn mlaen y gynadledd.

---

CYMANFA DWYREINBARTH PENNSYLVANIA.—Cynelir y Gymanfa hon eleni gyda'r eglwys yn Lansford, Swydd Carbon, ar yr 20, 21, a'r 22ain o fis Awst. Y Gynadledd yn dechreu ddydd Sadwrn, am 10 o'r gloch. Gofaler fod llythyrau yr eglwysi at y Gymanfa yn cynwys y cyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle yn ystod y flwyddyn—fod yr ystadegau yn llawn parth rhif, a'r swyddogion perthynol i'r Gymanfa i'w cyhoeddi, yn nghyd a'r arian a gasglwyd at y gwahanol Gymdeitbasau; hefyd rhif yr Ysgol Sul cysylltiedig â'r eglwysi. Dysgwylir i'r gweinidogion a'r cenadon fod yn brydlawn, ac i arian traul y Gymanfa, &c., gael eu hanfon yn llaw y genad, neu mewn llythyr at yr Ysgrifenydd.

J. P. HARRIS, *Ysg.*
*Providence, Pa.*

---

CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG WISCONSIN.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Dodgeville, Meh. 4ydd a'r 5ed. Boreu dydd Sadwrn, am 10, dechreuwyd y gynadledd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd David James, Salem, ger Oshkosh.

Etholwyd y Parch. Meredith Evans yn Gadeirydd y Gymanfa; R. Bennett yn Ysgrifenydd, a D. M. Powell yn Drysorydd. Yna galwyd am y llythyrau oddiwrth yr eglwysi.

Cenadon—Eglwys Dodgeville, Joseph Powell a David Williams; Ridgeway, H. E. Davies, B. Lewis ac R. D. Jones;

Salem, y Coed, D. M. Powell a Henry Davies; Salem, ger Oshkosh, R. Bennett a D. James; Berlin, Parch. R. D. Evans; Springwater, R. D. Evans; Braidwood, Ill., Parch. John Thomas; Braceville, Parch. John Thomas; Picatonica, Parch. Hugh Hughes.

Darllenwyd llythyr cymeradwyol y Parch. John Thomas, Braidwood, o Gymanfa Ohio, a derbyniwyd ef i'r undeb cymanfaol yn unfrydol ar sail y llythyr cymeradwyol.

Caniatawyd i'r Parch. R. M. Richardson, Dawn, Mo., i gyd-eistedd yn ein plith, a chymeryd rhan yn ngweithrediadau y gynadledd.

Daeth cais oddiwrth eglwys Braceville ger bron am gael derbyniad i'n Cymanfa, yr hyn a ganiatawyd yn unfrydol.

Penderfynwyd, Ein bod yn cefnogi cyhoeddiad y Wawr, a'n bod yn dymuno ei llwyddiant a'i chynydd yn mhob cyfeiriad.

Penderfynwyd, Fod y Gymanfa y flwyddyn nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Braidwood, Ill.—yr eglwys i benderfynu yr amser i'w chynal.

Penderfynwyd, Fod pwyllgor o dri, i gael eu dewis gan y cadeirydd, i ffurfio cydnabyddiaeth o gydymdeimlad a'r eglwys a thylwyth y Parch. Thomas Holland, am y golled y maent wedi ei gael trwy ei golli yn nghanol ei lafur a'i ddefnyddioldeb. Y pwyllgor ydynt y Parchn. William Jones, H. C. Parry, D. D., ac R. M. Richardson.

Penderfynwyd, Fod yr Ysgrifenydd i anfon ystadegau y Gymanfa hon i'r Parch. R. M. Richardson, i'w hanfon i Gymru, i'w cyhoeddi yn y Dyddiadur.

Gohiriwyd hyd 2 o'r gloch, a therfynwyd trwy ganu mawl, a gweddi.

Am 2 o'r gloch, dechreuwyd gan R. Bennett; yna darllenwyd penderfyniad y pwyllgor yn nghysylltiad â marwolaeth y Parch. Thomas Holland, a'r chwiorydd Mrs. R. C. Owen a Mrs. James Jones: Dymuna y Gymanfa hon gydnabod llaw yr Arglwydd yn ei ragluniaeth ddoeth a da gydag ymostyngiad parchus i'w ewyllys yn symud ein hanwyl frawd, y Parch. T. Holland, gweinidog parchus a ffyddlon eglwys y Bedyddwyr yn Dodgeville, o faes ei lafur gwerthfawr i dderbyn ei wobr ogoneddus yn ngwlad y bywyd byth; ac hefyd ddatgan cydymdeimlad dwys a'r eglwys alarus, yn nghyd a'i briod wylofus a'i blant amddifaid, yn ngwyneb yr oruchwyliaeth dywyll hon, gan ddymuno i Ben yr eglwys gofio yn ei diriondeb am yr eglwys drallodus, drwy ei chysuro a'i llwyddo eto yn mhob gras, a thaenu aden Tad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon dros deulu galarus ein brawd ymadawedig, gan eu cymwyso i gael eto ei gyfarfod ar diriogaeth y bywyd byth, trwy Iesu Grist.

Yn mhellach, dymunwn ddatgan ein cydymdeimlad â pherthynasau galarus ein chwiorydd ffyddlon a fuont yn yr eglwys hon yn nghorph y flwyddyn gymanfaol hon, sef Mary Ann Owen, gweddw y diweddar Barch. R. C. Owen (*Trebor*); a Mary Jones, gweddw y diweddar Morgan Jones, y rhai a gymerwyd o daith yr anialwch i'r orphwysfa nefol. Bydded i Dduw pob gras noddi a chysuro y perthynasau galarus oll, a dwyn eraill i lenwi y bylchau a dorwyd gan angau.

Penderfynwyd gohirio y gynadledd hyd y Gymanfa yn Braidwood, yn 1882.

Terfynwyd cyfarfod 2 o'r gloch mewn cyfeillach grefyddol dra dymunol.

---

Y MODDION CYHOEDDUS.

Am 6 o'r gloch nos Sadwrn, dechreuwyd gan y Parch. John Thomas, Braidwood, a phregethwyd gan y Parchn. R. D. Evans, Springwater, ac H. C. Parry, D. D.

Boreu Sabboth, am 8, cafwyd cyfarfod gweddi gwresog i ddymuno llwyddiant ar y Gymanfa, yn nghyd a'r efengyl dros y byd.

Am 10, dechreuwyd gan y Parch. H. C. Parry, a phregethodd y Parchn. J. Thomas ac R. M. Richardson, Dawn.

Am 2, dechreuwyd gan y Parch. H. Hughes, Picatonica, a phregethodd y Parchn. R. M. Richardson, ac H. C. Parry, D. D.

Am 6, dechreuwyd gan y Parch. W. Jones, Ridgeway, a phregethwyd gan y

Parchn. R. M. Richardson ac H. C. Parry, D. D.

Felly terfynodd y Gymanfa mewn modd llewyrchus; cafodd y gweinidogion rwyddineb mawr i draethu y genadwri yn eglurhad yr Ysbryd ac mewn nerth. Gobeithiwn y bydd arddeliad amlwg yn y dyfodol, trwy fod llawer yn cael eu dychwelyd o gyfeiliorni eu ffyrdd at Fab Duw.

Gallwn gasglu oddiwrth lythyrau yr eglwysi fod brawdgarwch a chydweithrediad yn ffynu ynddynt oll.

RICHARD BENNETT, Ysg.

## YSTADEGAU.

| Eglwysi. | Gweinidogion. | Der. trwy Fedydd. | Der. trwy Adferiad. | Der. trwy Lythyrau. | Goll. trwy Lythyrau. | Coll. trwy Ddiarddel. | Coll. trwy Farw. | Rhif yr Aelodau. | Rhif yr Ysgol. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Salem, ger Oshkosh | H. C. Parry, D. D. | 3 | 1 | .. | .. | .. | | 38 | 39 |
| Coed, ger Berlin | R. D. Evans | .. | .. | .. | 3 | .. | .. | 25 | 35 |
| Ebenezer, Springwater | R. D. Evans | 1 | .. | 2 | .. | .. | .. | 10 | 17 |
| Sardis, Dodgeville | Meredith Evans | .. | .. | .. | .. | .. | 3 | 29 | .. |
| Ridgeway | Wm. Jones | 1 | .. | .. | .. | 1 | 1 | 45 | .. |
| Salem y Coed | " " | 4 | 2 | 1 | .. | .. | .. | 20 | 25 |
| Picatonica | Hugh Hughes | .. | .. | .. | 5 | .. | 2 | 4 | .. |
| Braidwood, Ill. | John Thomas | 2 | 2 | 2 | 7 | 4 | 1 | 13 | 49 |
| Braceville, Ill. | John Thomas | .. | 4 | 6 | .. | .. | .. | 12 | 40 |
| | | 11 | 9 | 11 | 15 | 5 | 7 | 193 | |

### CYMANFA Y BEDYDDWYR CYMREIG GORLLEWINOL I'R MISSISSIPPI.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn swydd Clay, Iowa, Mehefin 18, 19, 20, 1881. Y brodyr fuont yn gwasanaethu yno oeddynt y rhai canlynol: y Parchn. R. M. Richardson, Dawn, Mo.; Thos. D. Evans, Bevier, Mo.; Wm. Evans, Beatrice, Neb., a D. V. Thomas, Hiawatha, Kansas.

Prydnawn Sadwrn, am 2, agorwyd y gynadledd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd Daniel Davies, Aspinwall, Neb. Ac wedi darllen llythyrau y gwahanol eglwysi, etholwyd y swyddogion canlynol am y flwyddyn ddyfodol: Cymedrolwr, y Parch. J. W. Jones, Clay Co., Iowa; Ysgrifenydd, Thos. D. Evans, Bevier, Mo.; Trysorydd, Mr. Thomas Evans, Sioux Rapids, Buena Vista Co., Iowa. Wedi hyny, pasiwyd y penderfyniadau canlynol:

1. Ein bod yn derbyn adroddiad y trysorydd am y flwyddyn ddiweddaf.

2. Fod yr eglwys Gymreig yn Hiawatha, Kansas, yn cael ei derbyn yn aelod o'r Gymanfa hon. Rhoddwyd deheulaw cymdeithas gan y cymedrolwr i'w chynrychiolydd, y Parch. D. V. Thomas.

3. Fod chweched penderfyniad cynadledd Red Oak, Mehefin, 1878, yn cael ei gyfnewid i ddarllen fel hyn: "Fod pob eglwys o fewn y cylch i dalu treulion ei gweinidog i'r Gymanfa, ac fod yr eglwys lle cynelir y Gymanfa i dalu eu treulion yn ol."

4. Fod pob eglwys o fewn y cylch i wneyd casgliad blynyddol tuag at ddwyn treulion y Gymanfa.

5. Ein bod yn parhau i roddi ein cefnogaeth i Giraldus yn nygiad allan y WAWR; ac yn anog ein dynion mawr i ysgrifenu yn amlach i'w cholofnau.

6. Ein bod yn awdurdodi y trysorydd i dalu ddwy ddolar i'r ysgrifenydd tuag at ei dreulion.

7. Fod y Gynadledd hon yn neillduo cenadon i fyned i Aspinwall, Neb., i geisio adferyd trefn yn yr eglwys hono.

8. Fod y brodyr J. W. Jones, D. V. Thomas, ac R. M. Richardson i fod yn genadon i'r perwyl hwnw.

9. Fod cais eglwys Dawn, Mo., am y Gymanfa y flwyddyn nesaf yn cael ei ganiatau. Gohiriwyd y Gynadledd hyd foreu Llun. Terfynwyd trwy weddi gan R. M. Richardson.

Cyfarfyddwyd boreu Llun drachefn mewn Cynadledd, ac wedi darllen a gweddio gan Thos. D. Evans, Bevier,

10. Darllenwyd y papyr parotoedig ar "Gariad Brawdol," gan Thomas D. Evans, Bevier.

11. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i'r brawd Evans am ei bapyr dyddorol ac adeiladol, ac yn dymuno arno ei gyhoeddi yn y WAWR yn ddiffael.

12. Fod y Parch. D. V. Thomas i gyfansoddi papyr erbyn y Gymanfa nesaf ar "Y Cyfieithiad newydd o'r Testament yn ei gysylltiad a'r gwahanol enwadau.

Treuliwyd y gweddill o'r cyfarfod hwn mewn ymddyddanion crefyddol, ac yr oedd yn gyfarfod gwlithog a dymunol dros ben, llawn o deimladau hyfryd yr hen amser gynt. Gohiriwyd i gyfarfod nesaf gyda'r eglwys yn Dawn, Mo. Cawsom gynadleddau trefnus a heddychol rhagorol.

### Y MODDION CYHOEDDUS.

Nos Sadwrn, am saith o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Thomas D. Evans, Bevier, a phregethodd Wm. Evans, Beatrice, ac R. M. Richardson, Dawn.

Boreu Sabboth, am ddeg o'r gloch, dechreuwyd gan R. M. Richardson, a phregethodd y brodyr Thomas D. Evans, Bevier, a D. V. Thomas, Hiawatha.

Am ddau o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. D. James (Pres.), o Le Mars, Iowa, a phregethodd Wm. Evans ac R. M. Richardson, yr olaf yn Saesneg.

Am chwech o'r gloch, dechreuwyd gan William Evans, a phregethodd Thos. D. Evans, Bevier, ac R. M. Richardson, Dawn.

Nos Lun, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. D. James, a phregethodd D. V. Thomas ac R. M. Richardson.

Cawsom Gymanfa ardderchog o'r dechreu hyd y diwedd. Yr ydym yn credu fod gwenau yr Arglwydd ar yr holl gyfarfodydd. Yr oedd y teimladau hyfryd, a'r gwres ysbrydol a deimlasom yn y dyddiau gynt yn ngwlad ein tadau i'w deimlo yn amlwg yn yr holl gyfarfodydd. Gobeithio y bydd i'r Gymanfa hon fod yn fendith i'r eglwys yn Clay Co., Iowa, yn gystal ag i bawb o'r ymwelwyr. Yr oedd ein cyfeillion yn gyffredinol yn Clay Co., ar eu heithaf yn gwneyd y Gymanfa hon yn llwyddiant yn mhob ystyr. Ni welsom gymaint o garedigrwydd ac haelfrydedd calon mewn un man erioed. Taled yr Arglwydd iddynt yn helaeth yn dymorol ac ysbrydol.

### YSTADEGAETH Y GYMANFA.

Dawn, Mo.—Gollyngwyd trwy lythyr, 9; bedyddiwyd, 8; diarddelwyd, 1; rhif presenol, 90.

Bevier, Mo.—Bedyddiwyd, 1; derbyniwyd drwy lythyr, 2; adferwyd, 2; diarddelwyd, 3; bu farw, 1; rhif presenol, 39.

Hiawatha, Kansas.—Bedyddiwyd, 1; rhif presenol, 12.

Clay Co., Iowa—Bu farw, 1; rhif presenol, 27.

Gweinidogion heb fod a gofal eglwysi arnynt, Wm. Evans, Beatrice, Neb., a Thomas D. Evans, Bevier, Mo.

Ni chlywyd oddiwrth eglwysi New Cambria, Mo., a Red Oak, Iowa.

J. W. JONES, Cymedrolwr.
THOS. D. EVANS, Ysgrifenydd.

---

## *BEDYDDIWYD—*

*Johnstown, Pa.*—Dydd Sabboth y 19eg o Mehefin, cafodd y Bedyddwyr yn y lle uchod y mwynhad a'r plesermawr o weled a syllu ar un o'r golygfeydd harddaf ag sydd yn bosibl i

blant a phobl yr Arglwydd ei weled a'i fwynhau y tu yma i'r trigfanau nefol ei hunan, a'r olygfa hono oedd gweled chwaer ieuanc o'r enw Lizzie Owens yn canlyn ol traed ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist yn y dyfrllyd fedd. Darllenwyd, gweddiwyd, a siaradwyd ar lan y dwfr (y Long Creek) gan y Parch. H. F. Colelesser. Dyn ieuanc gwir obeithiol yw'r person uchod, a gweinidog presenol yr eglwys Fedyddiedig Seisnig yn y dref. Gweinyddwyd yr ordinhad mewn modd deheuig iawn gan y brawd anwyl a pharchus, Joseph T. Jones, gweinidog yr eglwys Gymreig, i'r hon y perthyna y bedyddiedig. Duw'r nefoedd fyddo gyda'r hen frawd o hyn hyd derfyn ei oes, a'i lwyddo yn y dyfodol fel yn y gorphenol yw dymuniad yr eiddoch.—*Thomas T. Price.*

*Sharon, Pa.*—Nid wyf wedi gweled dim yn y WAWR mewn perthynas i'r eglwys hon yn ddiweddar, am hyny dichon y bydd ychydig ffeithiau yn dderbyniol. Dechreuais fy ngweinidogaeth yma y Sul cyntaf yn mis Mawrth, 1881. Yn fuan wedi i mi ddyfod yma, cynaliasom dair wythnos o gyfarfodydd, a phregethais bron bob nos yn Gymraeg a Saesneg; cawsom wenau a bendith Duw ar y cyfarfodydd, ac felly cawsom y fraint o fedyddio pedwar-ar-bymtheg fel y canlyn: Mawrth 27ain, chwech; Ebrill 10fed, tri-ar-ddeg. Y mae yr eglwys yn unol iawn yn bresenol, a phethau yn ymddangos yn ffafriol. Gobeithio y bydd iddi barhau felly. Bwriadwn fedyddio un y Sul nesaf.—*J. T. Griffiths.*

---

## *PRIODWYD—*

Yn Kingston, Pa., Gorph. 2il, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Morris James a Miss Ann Jones, y ddau o'r lle uchod.

Yn Wilkesbarre, Mehefin 28ain, gan y Parch. Theophilus Jones, yn nhy Mr. William Rees, gynt o Mninersville, tad y briodasferch, Mr. Daniel J. Jones, Wilkesbarre, a Miss Elizabeth Rees o'r un lle.

Yn Wilkesbarre, Gorphenaf 2il, 1881, gan y Parch. Theophilus Jones, Mr. William Brett a Miss Mary Ann Telley, y ddau o'r Plains, Luzerne Co., Pa.

Yn Newtown, Luzerne Co., Gorphenaf 2il, 1881, gan y Parch. Theophilus Jones, Mr. William M. Hughes, o Upper Lehigh, a Miss Miss Ellenor Edwards, o Rolling-Mill Hill, yn agos i Wilkesbarre, Pa.

Yn Youngstown, Ohio, Gorph. 12, 1881, gan y Parch. D. Probert, Mr. David P. Jones a Miss Elizabeth Thomas, y ddau o Church Hill, O.

Yn Wheatland, Pa. Gorph. 14eg, gan y Parch. D. Evans, Mr. David Edmunds a Miss Elizabeth Jones, y blaenaf o Wheatland, a'r olaf o Hubbard.

## *BU FARW—*

### MRS. MARY JAMES.

Gwraig ydoedd yr ymadawedig i'r Parch. J. W. James, Mineral Ridge, Ohio. Mae bywyd rhinweddol mewn byd o lygredd fel hwn yn teilyngu coffadwriaeth barchus, am ei fod yn arddangosiad o ras Duw, ac yn tueddu i nerthu gweiniaid Seion ar eu taith tua gwlad yr addewid. Gallwn ddweyd hyn am fywyd ein hanwyl chwaer ymadawedig, Mary James..

Cychwynodd ei gyrfa grefyddol pan yn dra ieuanc, a chadwodd ei hyder yn y Gwaredwr hyd y mynydau olaf. Trwy ei holl waeledd corphorol, yr oedd yn teimlo fod Duw yn garedig iddi. Dywedodd gyda'r Salmydd pan yn rhodio glyn cysgod angau nad oedd yn ofni dim niwed. Cyrhaeddodd yr oedran teg o 58 mlwydd.

Ganwyd hi yn Rhymni, D. C. Merch ydoedd i Philip a Sarah Phillips. Y mae iddi ddau frawd yn y lle uchod yn awr, os ar dir y byw; ac yn y lle hwnw y daeth ein hanwyl chwaer i gyffyrddiad a chydmar bywyd yn mherson y Parch. John W. James, yr hwn sydd wedi ei adael i alaru ar ei hol yn ei hen ddyddiau. Yr oedd yr ymadawedig yn fam i 12 o blant, o ba rai y mae saith yn fyw i alaru eu colled ar ei hol, a phump o honynt wedi ei rhagflaenu i'r ty rhagderfynedig i bob dyn byw.

Bedyddiwyd hi 32 mlynedd yn ol gan un Dewi Elfed. Nid wyf yn gwybod yn iawn yn mha le, ond y ffaith yw ei bod wedi cael ei chydgladdu gydag ef yn y bedydd, ac wedi cyfodi i fyw buchedd newydd. Daeth y teulu i'r wlad hon tua 28 mlynedd yn ol, a gwnaethant eu harosiad cyntaf yn Remsen, New York, buont byw yn y lle hwn am rai blynyddau gyda rhyw lwyddiant, ond tueddwyd hwy i symud o'r lle hwn i Cattaraugus, fel ag y mae amgylchiadau yn newid pethau. Symudasant oddiyma drachefn i Pittston, Pa., o'r hwn le y daethant i'r lle hwn. Dygasant yr iau gyda'u gilydd yn dra ffyddlawn am hirfaith flynyddau yn dra chysurus. Torodd angau y cysylltiad rhyngddynt ar y 14eg o Fai diweddaf. Dydd Sul canlynol ymgasglodd tyrfa luosog i dalu iddi y gymwynas olaf, ac hebryngwyd y corph i dy cwrdd y Dysgyblion, pryd y gweinyddwyd gan amryw o weinidogion yr enwad ac amryw o weinidogion enwadau eraill yn y ddwy iaith yn dra effeithiol. Ar ol y gwasanaeth, awd yn orymdaith drefnus tua Warren Cemetery, ac yno dodwyd hi mewn cell (*vault*) hyd y 3ydd o Fehefin, pryd y daearwyd hi yn yr un gladdfa Nis gallwn ddweyd yn iawn beth oedd ei chlefyd; bu yn dihoeni am flynyddoedd dan ryw anhwyldeb oedd yn nglyn â hi am yn agos i ugain mlynedd heblaw pethau eraill, felly rhwng pob peth fe dynwyd y ty o bridd i lawr. Gellir dweyd am ein hanwyl chwaer ei bod yn un o ragorolion y ddaear, mewn diniweidrwydd yn nodedig, yn ddystaw yn ei chymydogaeth, byth yn trafod helyntion

pobl eraill, ymddygai yn dirion tuag at bawb, ei bywyd yn esiampl i wragedd gweinidogion yn efengyl. Nerth a gaffom oll i'w hefelychu yn ei rhinweddau Dymunwn heddwch i'w llwch hyd nes bydd "beddau y byd ar un gair yn agoryd."—*David Mathews, Mineral Ridge, O.*

MR. HUGH RICHARDS.

Ion. 20, 1881, yn swydd Clay, Iowa, bu farw Mr. Hugh Richards, yn 74 ml. oed. Yr oedd yn enedigol o Felin Byr-redyn, sir Drefaldwyn. Pan yn 26 ml. oed, ymunodd mewn priodas a Mrs. Ann Jones, o'r lle uchod. Yno y treuliodd y blynyddau cyntaf o'i oes, yno hefyd y dechreuodd ei fywyd priodasol a chrefyddol.

Yn y flwyddyn 1847, daeth ef a'i deulu drosodd i'r wlad hon. Treuliasant rai blynyddau yn nghylchoedd Remsen a Cattaraugus, Talaeth New York. Symudasant i Dalaeth Wisconsin. Treuliasant lawer blwyddyn yn ardaloedd Columbus a Dodgeville. Yn y flwyddyn 1870, symudasant i'r ardal hon. Derbyniwyd y brawd Richards a'i briod yn aelodau o'r eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn, a bu yn aelod ffyddlawn ac ymdrechol. Yr oedd iechyd y brawd yn wael er's tua blwyddyn neu fwy. Tua dechreu y gauaf cafodd *stroke* o'r *apoplexy*, fel y gorfu arno aros yn ei wely. Ar y 19eg o Ionawr, cafodd *stroke* arall, pryd y dystawodd ei leferydd, a phallodd ei holl nerth; bu fyw yn y sefyllfa hono o ddideimladrwydd am ychydig oriau. Tynodd ei anadl olaf boreu yr 20fed. Mae sail gref i gredu ei fod wedi cael mynediad helaeth i mewn i dragywydd deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist. Gadawodd wraig ac 8 o blant i alaru ar ei ol. Tad yr amddifad a Barnwr y weddw fyddo yn nodded ac amddiffyn i'n hanwyl chwaer yn ei galar.

Cafodd un o'r claddedigaethau mwyaf lluosog a fu erioed yn Clay Co. Gweinyddwyd yn y capel ac wrth y bedd gan y Parch. J. W. Jones. Claddwyd ef yn nghladdfa y Bedyddwyr.—*T. Evans.*

MRS. ANNE JANE HARRIES.

Yn Pittston, Mawrth 21, 1881, bu farw Mrs. Ann Jane Harries, gwraig Mr. George Harries, yn 26 ml. oed, gan ei adael gyda thri o rai bach i ofalu am danynt, ar ol mam dyner a gofalus. Bu Mrs. Harries farw ar enedigaeth ei thrydydd plentyn, yr hwn sydd yn dyfod yn mlaen yn dda. Bu y bychan yn hynod ffodus trwy gael mamaeth dda yn ei modryb, Mrs. B. Havard, yr hon oedd newydd gladdu ei baban. Ganwyd Mrs. Harries yn Pittston, lle treuliodd ei holl ddyddiau. Ymunodd mewn priodas a Mr. Harries yn 1876, a threuliasant eu tymor byr yn hynod ddedwydd hyd nes y dadgysylltodd angau yr undeb. Yr oedd Mrs. Harries yn hynod dawel a charedig, gyda gair da iddi gan bawb a'i hadwaenai. Merch ydoedd i Thomas a Martha Havard, y rhai sydd yn aelodau parchus o o'r eglwys Fedyddiedig, a chymydogion parchus wedi dyfod yma o Rhymni, D. C. Y dydd Iau canlynol yr oedd tyrfa luosog o bell ac agos wedi dyfod i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol, pryd y gweinyddwyd yn y ty, ac yn y capel, ac ar lan y bedd gan y Parch. Mr. Furman, a'r brawd Mr. John Hunden, Hyde Park. Rhoddwyd yr hyn oedd farwol o honi i orphwys yn nghladdfa yr Odyddion hyd foreu caniad yr udgorn diweddaf; yna cefnodd ei pherthynasau a chymydogion gyda dymuno i'r awel chwythu yn dawel ar ei beddrod.—*Jacob W. Evans.*

MISS LIZZIE OWEN.

Yn Providence, Pa., Gorph. 6ed, bu farw Lizzie, merch William Owen ac Ann ei briod, yn 10 mlwydd, 5 mis a 5 diwrnod oed. Genedigol o Ynys Mon yw Mr. Owen a'i briod, a hen sefydlwyr yn y lle hwn. Yr oedd Lizzie yn un o'r genethod mwyaf deallus a ffraeth, ac yn anwyl iawn gan ei rhieni a phawb a'i hadwaenent. Cafodd y fechan y *scarlet fever*, ac wedi hyny yr *inflammatory rheumatism*, yn nghyd a chlefyd y galon; dihoenodd yn raddol, ac yn ddisymwth ymadawodd a'r ty o glai, yn yr ymwybodolrwydd ei bod yn newid er ei gwell. Yr Arglwydd fyddo yn noddfa i'r rhieni hiraethlawn. Daearwyd ei gweddillion yn y Forest Hill Cemetery, y Parch. J. P. Harris yn gweinyddu.

Dwyn y gwan o dan y gwys—wnaeth angeu,
 Ei thynged oedd gorphwys;
Ehedodd hi, Lizzie lwys
Ar edyn i baradwys.

—*Cydymdeimlydd.*

MRS. ANN WATKINS.

Yn Youngstown, Ohio, Mehefin 26, 1881, bu farw Mrs. Ann Watkins, gwraig John Watkins, yn 63 ml. oed, ar ol hir afiechyd—ond y diwedd yw marw. Ganwyd Mrs. Watkins yn Brynbica, swydd Fynwy. Merch ydoedd i Joshua ac Ann Davies; cigydd oedd ef wrth ei alwedigaeth, ac fel yr adwaenid ef oreu. Ymunodd ein chwaer mewn priodas pan yn 22 oed, a Mr. Watkins. Bu iddynt 11 o blant, o ba rai nid oes ond tri yn fyw, sef un mab a dwy ferch—y mab yn weddw, ond y merched yn briod er's blynyddoedd, y cyfryw sydd weddill gan angau wedi eu gadael, yn nghyd a'i phriod i alaru eu colled ar ol mam dyner a gofalus, a gwraig rinweddol. Cafodd hi a'i phriod gydoesi gyda'u gilydd am yr ysbaid hir o yn agos i 41 o flynyddoedd. Buasai yn 63 oed pe cawsai fyw i weled y 10fed o Awst nesaf; ond cyn cyrhaedd pen y tymor diangodd o'n byd ni i wlad well i fyw, gan ffarwelio a chanu yn iach i bob trallod a helbul, poenau corphorol, a thrallod meddwl am byth. Canu yn hyfryd iawn mae hi. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedeg," a'r unig ffordd i ysgoi cael ein hanghofio yw, bod yn gyfiawn ger

bron Duw. Bydd gweithredoedd da y saint byth mewn cof. Ni ddarfu i dyrau mawrion yr Aipht drosglwyddo, hyd yn nod enwau y rhai a gladdwyd ynddynt i'r hiliogaeth, ac ni wnaeth y gelfyddyd o embalmo ond rhoddi mantais i'w symud oddeutu, a'u hamlygu hwy i'r byd, a'u gwneyd yn ddrych i'r celfydd mewn iselder ac erchylldod. Ond y mae crefydd y saint a'r hen dduwiolion a fu yn cael eu mawrygu hyd heddyw. Pan bydd y *pyramids* wedi suddo, a'r môr wedi darfod chwareu yn ei wely mawreddog, a'r haul, a'r ser, a'r lleuad wedi myned i ebargofiant, bydd y cyfiawn mewn coffadwriaeth y pryd hwnw, ac am byth. Anghofia Duw ddim o waith a llafur ei blant; un o'r teulu yma yw gwrthddrych ein cofiant. Bu ein chwaer Mrs. Watkins yn aelod gyda'r Bedyddwyr am yr ysbaid o 40 mlynedd, ac nid yn rhywfodd fel llawer, y rhai y mae yn anhawdd gwybod pa un ai crefyddol neu ddigrefydd ydynt. Ond am hon, rhodiodd fel Enoch gyda Duw, yr oedd yn actio crefydd mewn modd gwastadol yn ei bywyd; ymdrechodd hardd deg ymdrech y ffydd, gorphenodd ei gyrfa, cadwodd ei ffydd. Bu farw fel y bu byw, a phwys ei henaid ar y Ceidwad. Teimlodd argen crefydd yn ieuanc; aeth i'r gyfeillach yn Brynbica, gan amlygu ei phenderfyniad i ymuno a chrefydd, a chanlyn Iesu Grist; ond cyn cael ei bedyddio, symudodd hi a'i phriod i Dredegar, ac yno y cafodd y fraint o wneyd proffes gyhoeddus o Fab Duw, ac yr aelododd yn eglwys Soar, Tredegar. Bedyddiwyd hi gan y Parch. William Davies, Caersalem, Dowlais, am fod Soar, Tredegar heb weinidog ar y pryd. Mewn rhyw gymaint o amser ar ol hyny, yr hyn nad wyf yn sicr o'r amser, daethant i'r wlad hon, a buont yn aros mewn gwahanol fanau, a gwahanol eglwysi yn Nhalaeth Pennsylvania, ond cymerai yr ysgrif hon ormod o ofod i'w henwi, ond daethant i'r lle hwn yn 1864—dwy-flynedd-ar bymtheg yn ol, a gallaf ddweyd oddiar adnabyddiaeth o'r chwaer, heb ymorphwys ar dystiolaeth eraill, ei bob wedi bob yn ffyddlon trwy bob tywydd ac amgylchiadau. Cadwodd ei gwisgoedd yn lan. Bu yn ffyddlon a diwyd yn ol ei gallu, fel mai priodol dweyd am dani fel Mair, "Yr hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth." Corph gwan a gafodd, yr oedd yn hynod wanaidd ei hiechyd yn aml. Er's rhai blynyddoedd, byddai weithiau am wythnosau yn methu dyfod allan o'i thy gan ei gwendid mawr; ond mor gynted ag y cawsai dipyn o hamdden a rhyddhad oddiwrth y dolur, byddai yn y capel—crefydd oedd ei phob peth. Y Sabboth cyn ei hymadawiad bu yn y capel y boreu a'r hwyr yn siarp iawn. Nid oedd neb yn meddwl y buasai y boreu Sabboth canlynol yn dechreu ar Sabboth na fuasai diwedd arno mwy.

Siaradai am grefydd fel peth ymarferol, ac fel prif wrthddrych ei serch, nid siarad am feiau ei brodyr a'i chwiorydd a'r cymydogion byddai hi, ond sain cân a moliant i Dduw oedd yn ei genau am ei hachub, a dweyd ei phrofiad crefyddol y byddai pan yr ymwelwn a hi. Un o blant Duw oedd, a diameu ei bod heddyw mewn gwell lle na bod yma gyda ni.

Dydd Mawrth, Mehefin 28ain, a'm 10 o'r gloch, daeth cynulliad lluosog i'r angladd, er gosod ei gweddillion marwol yn y bedd, pryd y pregethwyd ar yr amgylchiad gan y Parch. D. J. Nicholas a'r ysgrifenydd, yn y ty ac wrth y bedd. Claddwyd hi yn mynwent y ddinas, lle yr huna yr hun dawel hyd foreu y codi cyffredinol. Wrth derfynu, dywedaf o deimlad calon, Yr Arglwydd a ofala am ei phriod unig yn ei drallodd, a'r plant yr un modd, a'u cynorthwyo i fyw i Dduw fel y bo marw yn elw, fel y cânt gwrdd yn y wlad well, lle na bydd raid ymadael mwy. Pregethodd yr ysgrifenydd bregeth angladdol iddi y Sabboth cyntaf ar ol claddu, oddiar Hos. 13: 14.—*D. Probert.*

### MRS. HANNAH FREY.

Mehefin 5, 1881, yn Brier Hill, yn ymyl Youngstown, bu farw Mrs. Hannah Frey, gwraig George Frey, yn 79 ml. oed, wedi bod yn nychu am flynyddoedd; ei chlefyd oedd y *dropsy*. Yr oedd yn un o hen aelodau yr eglwys hon. Daeth yma yn 1847, ac yr ydym yn hyderus ei bod wedi marw yn yr Arglwydd. Daeth tyrfa luosog yn nghyd i ddaearu ei rhan farwol, prydnawn dydd Mawrth, Mehefin 7fed, pryd y gweinyddwyd ar yr amgylchiad yn y ty ac wrth y bedd gan yr ysgrifenydd, a'r Parch. Mr. Maxwell yn Saesneg; yna daearwyd ei chorph yn mynwent y dref, lle yr huna yn dawel mewn hedd hyd foreu y codi cyffredinol. Yr Arglwydd a fyddo yn dyner o'i phriod amddifad, ac a'i parotoa er teithio yr un daith.—*David Probert*

### MRS. SUSANNAH JAMES.

Ebrill 1, 1881, bu farw Mrs. Susannah James, priod Mr. David James, yn 55 ml. ac 8 mis oed. Byr fu ei chystudd, ond trwm ac eithafol. Ymadawodd yr elfen fywiol o'r ty daearol yn hollol annysgwyliadwy i'w phriod, y teulu, a'r holl berthynasau.

Yr oedd Mrs. James yn ferch i'r diweddar Wm Rowlands a'i briod, y rhai a'i blaenasant hi i fyd yr ysbrydoedd er's amrai flwyddi. Hanodd o un o'r teuluoedd parchusaf yn yr hen sefydliad Cymreig yn Parisville, Ohio, a gellir dywedyd iddi hi gadw i fyny ag urddas y teulu yn ei serchawgrwydd a'i pharodrwydd lletygarol a chynorthwyol at bob achos ac amgylchiad teilwng o'i nodded.

Ganwyd Mrs. James mewn lle a elwir Croespenmaen, swydd Fynwy, D. C., o'r hwn le yr ymfudodd ei rhieni pan ydoedd hi yn blentyn tua 6 mlwydd oed, ac i'r ardal hon y daethant ac y sefydlasant; ac felly, yma y treuliodd hi y rhan flaenaf o'i hoes.

Yn y flwyddyn 1861, bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan y Parch. R. T. Davies, gweinidog yr eglwys yn Paris ar y

pryd hwnw. Yn 1863 ymunodd mewn priodas a Mr. David James, a gweinyddwyd ar yr achlysur gan y diweddar Barch. Wm. Owen, Pittsburgh, ac yn y ddinas hono y buont byw am tua 15 mlynedd, a Mrs. James yn aelod ffyddlawn yn eglwys y Beddyddwyr drwy y blynyddau hyny.

Tua thair blynedd yn ol, wedi marwolaeth Mrs. Gittins, ei modryb, a diweddar briod yr hen frawd Thos. Gittins, darfu iddynt symud i Parisville, a sefydlu ar dyddyn Mr. Gittins, a chadw ty a chartref cysurus i'r hen wr yn ei unigedd ar ol ei hanwyl briod, yr hyn a gyflawnwyd gan Mr. a Mrs. James yn odidog, drwy ofalu am yr hen frawd fel pe buasai yn dad naturiol.

Ac yn y ty hwn y gorphenodd ei gyrfa ddaearol, gan adael ar ei hol i wylo mewn hiraeth dwys ei phriod anwyl, tyner a ffyddlawn, mab a merch, chwe' brawd a dwy chwaer, yn nghyd a lluaws o berthynasau a chyfeillion hoff, oblegid yr oedd hi yn fam dyner a gofalus, yn wraig dda odiaeth, yn gymydoges hawddgar, gonest, a pharod; calon agored, ty agored, a bwrdd agored a llawn pan fuasai angen yn galw am hyny.

Teimlir colled fawr ar ei hol. Dydd Llun, y 4ydd, daeth tyrfa fawr yn nghyd i hebrwng ei gweddillion marwol i orphwys yn hen fynwent Capel Ceryg. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. D Davies (Dewi Emlyn), a'r ysgrifenydd Pregethwyd y bregeth angladdol ar gais y teulu gan yr ysgrifenydd yn nghapel Parisville. Ein gweddi yw ar fod nodded y nef ar ein cyfaill anwyl James yn y storm arw hon, yn nghyd a'r holl berthynasau agos a phell.—*Ed. Jenkins.*

---

## NODION O'R "HEN WLAD."

—Bu Mr. Parry (Robyn Ddu Eryri), yn Abercarn yn ddiweddar (dan nawdd Arglwyddes Llanofer) yn areithio ar ddirwest. Y mae yr hen bererin yn edrych yn dda, ac yn gallu dweyd cystal ag erioed.

—Y mae'r gweinidog da a'r pregethwr melus, y Parch. J. R. Jones, Llwynpia, wedi bod yn glaf, yn agos i angau, ond er llawenydd i'w gyfeillion lluosog, y mae yn gwella yn gyflym.

—Y mae gwaith haiarn Cyfartha, Merthyr, ar gael ei atal yn gyfangwbl, a'r wythnos hon, mae yn debyg, y chwythir allan y ffwrnes olaf.

—Cynrychiolir y Pabyddion yn dda yn Senedd Lloegr, canys y mae yn Nhy yr Arglwyddi 39 o bendefigion Pabyddol; mae 47 o'r Barwniaid yn Babyddion; chwech o aelodau y Cyfringyngor yn Babyddion, a 55 o aelodau y Ty Cyffredin yn credu yr un grefydd.

—Darganfyddwyd yn ddiweddar fod afon yn Algiers, Affrica, yn inc du o'r fath oreu. Ffurfir yr afon trwy uniad dwy ffrwd, un yn tarddu o fwn haiarn du, a'r llall o ryw sylwedd du arall, a'r canlyniad yw inc du.

—Y mae Anghydffurfwyr Prydain yn ystyried yr angenrheidrwydd am gyfieithiad diwygiedig o'r Testament Cymreig, ac y mae yn foddhad i'r Cymry weled fod mudiad o'r fath ar droed yn mhlith y gwahanol enwadau i gario allan yr amcan clodwiw hwn.

—Dywedir y dengys y *census* fod poblogaeth Prydain wedi cynyddu dair miliwn yn ystod y deng mlynedd diweddaf. Cynyddodd poblogaeth yr Unol Dalaethau yn ystod yr un amser un-filiwn-ar-ddeg!

—Ymddengys fod yn Ariandy Lloegr 94,000,000 o nodau papyr perthynol i'r banc, wedi eu newid am aur yn ystod y saith mlynedd diweddaf; a phe byddai iddynt gael eu gosod y naill ar y llall, gwnaent golofn wyth milldir o uchder! Pe gosodid hwy oll ar y ddaear, y ffordd hwyaf, ac iddynt gyffwrdd a'u gilydd, byddai y rhes yn bymtheg mil o filldiroedd o hyd!

—Hysbysir fod Mr. William Thomas, C. E., Bryn Awel, Aberdar, yn bwriadu gwneyd prawf gyda'r *electric light*, er goleuo dan y ddaear yn nglofa y Maerdy. Os gellir llwyddo yn yr amcan, diau y bydd iddo leihau ffrwydriadau yn y pyllau glo i raddau helaeth.

—Dyn dall ydyw Mr. Henry Fawcett, Post Feistr Cyffredinol Prydain, ond y mae y mwyaf medrus a llwyddianus o neb a fu erioed yn y swydd.

—Cymerodd mab ieuangaf Victoria ei eisteddle yn Nhy yr Arglwyddi ychydig amser yn ol, dan y teitl o Duke of Albany; dywedir mai efe yw'r galluocaf o'r teulu breninol, a'i fod yn debyg o enill safle uchel fel dadleuwr.

GLANCLYDAU.

# Y WAWR.

CYF. VI.] MEDI, 1881. [RHIF. 6.

## Y PARCH. JOHN JENKINS, D. D., HENGOED.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE, PA.

Tal yn mhlith y llu, ac yn llawn pump o droedfeddi, a deg modfedd i ychwanegu, yn y cyfeirnod a gymer dyn tuag i fyny, talcen y pwyllebwr, trwyn main, llygaid mwynion, a gwedd yn dynodi meddylgarwch, boddineb, a mwynhad. Trwsiad am dano fyddai hugan lâs, gwasgod ddu, llodrau llwydion, het lydan, a napcyn sidan neu y gwyn. Tywysog a fu yn mhlith Bedyddwyr Cymru am ddeg-a-deugain o flwyddi. "Shon Siencyn" y byddai yr hen bobl yn ei enwi; John Jenkins, meddai ambell un; Mr. Jenkins, meddai Miss Thomas, Tygwyn; a Dr. Jenkins bellach gan y werin. Rhag meithder, cymerwn destyn i bregethu am dano yn Exodus xxxii. 18: "Yntau a ddywedodd, Nid llais bloeddio am oruchafiaeth, ac nid llais gwaeddi am golli y maes; ond swn canu a glywaf fi."

I. Tri llais, a'r cyntaf yn adrodd achau yr arwr.

1. Am y blaguryn boreuol. Ei dad oedd Jenkin Jenkins, gwr moesol a diniwed, a darllenwr y Beibl gyda manylrwydd. Ei fam oedd Margaret Plumer cyn iddi briodi; ac yn Eglwys y Plwyf yr oedd hi yn arddel crefydd. Ei frodyr a'i chwiorydd yn saith o nifer, ac efe oedd yr ieuangaf ond un o blant ei rieni. Ei Sir oedd Brycheiniog, yn blodeuo swynion; ei blwyf oedd Llangynidr, ar geulan afon; ei gartref oedd Cilfynydd, ar y fron; a mis ei eni oedd Tachwedd anhylon, a'r 28ain o'r mis hwnw, yn y flwyddyn 1779, y daeth John Jenkins i'r byd i ymboeni; "a'r gauaf oedd hi." Dyna Brycheiniog yn bwydo awdwr i "Balas Arian;" Llangynidr yn magu esboniwr y Beibl drwyddo; a Chilfynydd yn codi lladmerydd i'r llu.

2. Am dano yn blentyn cynyddol. Pan yn bedair mlwydd oed, drwy ymddyddanion ei fam a dynes arall yn y ty, y gwybu y medda dyn enaid nad yw i drengu. Pan yn bum' mlwydd yr oedd yn caru gwrando ei dad yn darllen manylion Jacob a Laban, helyntion Joseph yn Midian, a nodweddion Moses a theulu Canaan; a phan yn naw mlwydd, bu yn y maes yn myfyrio y Mawrhydi yn mhenod y blodau, memrwn y meillion, a Salm yr afon yn murmur ei melodi. Ac yr oedd mam yn addysgu, tad yn athroni, ac anian yn ei arddenu i drigfa goleuni.

3. Am y bachgenyn dewisol. Ac efe yn 12 oed, aeth i Lansantffraid, chwe' milldir islaw Aberhonddu, at amaethwr yno i weinyddu; ac yr oedd y meistr yn darllen y Beibl a'i barchu, yn cadw y Sabboth, ac yn gwrando yr efengyl. Tua'r flwyddyn 1792 daeth y Parch. James Lewis, Llanwenarth, Mynwy, i Langynidr, i bregethu, a gwybu John Jenkins am y fath blaid a'r Bedyddwyr yn bodoli. Tyddynwr yn byw yn y Tyle oedd y cyntaf a ganfu yn cael ei fedyddio, a theimlai yn anfoddlon i'r Bedyddwyr am weinyddu, i'r bedyddiedig am iddo blygu, ac i'r

bedydd am y soddi. Pan yn 14 oed aeth yn was i Philip Joseph, Dyffryn Crannon, yr hwn oedd yn wrandawr cyson, a thra yno y cafodd John Jenkins olwg ar Iesu yn noddfa i golledigion. Dyna yr adeg y daeth y Parch. Morgan Rhys i anog sefydlu ysgolion yn mhob cynulleidfa; ac yn fuan ymfudodd i America. Prynodd John lyfr bychan ganddo er ei ddysgu i ddarllen, canys awr o ysgol erioed ni chafodd y bachgen. Philip Joseph a brofodd iddo nad oes yn y Beibl un adnod dros fedydd babanod. Tachwedd 29, 1795, bedyddiwyd John Jenkins gan Mr. James Lewis, Llanwenarth, ac ef yn 15 mlwydd oed.

4. Am dano yn bererin edmygol. Tair Llan a'i denodd—Llangynidr y bedyddio; Llangatwg i deithio; a Llanwenarth i gymuno. Tair llanerch a gymerodd—aeth yn mhen blwyddyn wedi ei fedyddio at Ffwrnes Cenedl i lafurio; i Sirhowi i godi glo; ac i Merthyr er mwngloddio. Tair llen ddu a welodd—methu enill digon i dalu am ei lety; methu aros gan gywilydd yn y ty, a methu ymadael heb roddi ei ddillad i'r teulu. Tri lleuad yno a lewyrchodd—gonestrwydd diwadu; cydwybodusrwydd diwyrni; a chrefydd yn ei ddyrchafu.

II. Tri llais, a'r ail heb gyhoeddi y buddugwr.

1. Dim bloeddio goruchafiaeth cyn ei brofi. Efe a adawodd Merthyr, a myned i Gwm Ebwy, at un Edmund Thomas Edmunds, i weinyddu, a'i gyflog yn y flwyddyn oedd wyth gini. Treuliodd flwyddyn allan o'r cymun. Dychwelodd i Lanwenarth yn edifeiriol gredadyn; ac wedi ei ddwys gyngori cafodd ei dderbyn i dy. Ac nid oedd yr eglwys wedi ei ddiaelodi, a bu coron olew eneiniad ei Dduw arno yn ddigolli, a methodd Amon ei duo, Amalec ei ddiraddio, Bethaven ei dwyn, na phalasau Benhadad ei chymeryd oddiarno.

2. Dim bloeddio goruchafiaeth, ond awyddir am bregethu. Mynych y bu y ffordd yn deml, y *cart* yn bwlpud, y ceffylau yn gwrando, a'r gwas yn pregethu i gynulleidfa fel hono. Eto yr oedd yn dymuno ar y bobl yn Llanwenarth i weddio y duedd i bregethu yn mhell, ac na ddychwelai mwy i'w flino ganddi; ond nid oedd y bobl yn gweddio, na'r duedd yn cilio, a rhaid fu cydsynio. Anogwyd ef gan un o'r diaconiaid i ddewis testynau anghyffredin, iddo gael profi ei hun, a'r cyntaf iddo yn y gyfeillach a fu Psalm cxii. 10: "Yr annuwiol a wel hyn ac a ddigia," a dyna un digon anghyffredin. "A'r ail yn gyffelyb iddo," canys methodd Mr. James Lewis a dyfod i Langynidr i'w gyhoeddiad. Anogwyd John Jenkins i roddi anerchiad, a'r testyn fu Job xlii. 2: "Pethau rhy ryfedd i mi;" a mawr y cafodd y bobl eu boddloni yn rhyfeddodau y genadwri. Rywbryd yn y flwyddyn 1801 y bu hyn, a derbyniodd nodyn o Lanwenarth yn ei gyflwyno i efengylu i'r holl eglwysi, a'r gweinidog a phump o'r diaconiaid yn ei law-nodi.

3. Dim bloeddio goruchafiaeth, a dyna briodi. Erbyn haf 1801 yr oedd Mr. Edmunds, Glyn Ebwy, wedi ei gladdu, Mrs. Martha Edmunds yn weddw, gyda theulu; ac aeth John Jenkins yno yr ail waith i weini, ac yn Hydref priododd hi. Bu iddo yn wraig ragorol am naw-ar-hugain o flwyddi, a a phedwar mab a dwy ferch fu rhif y teulu. Eu mab Benjamin a fu farw yn 1827; Titus, yr hwn oedd yn weinidog yn Lloegr, fu farw yn 1835; John, y cenadwr yn Llydaw, fu farw tua 1869, a Llewelyn yn 1878. Adwaenwn ei ferch Martha, a chyda hi a'i phriod, Mr. Daniel Price, Maesycwmwr, yr oedd Dr. Jenkins yn 1851 yn cartrefu. Bum yno droion yn ei gwmni, a phleser oedd ymweled a'r teulu.

4. Dim bloeddio goruchafiaeth, canys aeth y byd i wgu. Maent yn mudo o Blaen Ebwy, yn 1804, i dyddyn bychan Blaenmorlais, yn agos i Merthyr; ac yn mhen blwyddyn a haner nid oedd eidion yn y beudy, na dafad yn pori, na dim gan y teulu ond a enillai y tad dan y cwmni. Adeg yr aflwydd aeth i Lanwenarth yn ei dro i bregethu, ac yn lle dau swllt neu dri, cafodd ddeg o niferi; gan Mrs. Lewis, Darenfelen, cafodd sofren melyn i'w

loni. Edrychai ar hyn yn rhagluniaeth yn gofalu, a bu yn diolch iddi. Erbyn yr adeg yma yr oedd wedi ymaelodi yn Ebenezer, Merthyr, ac yn pregethu yn aml yn nhy un Henry Thomas, Gwernllwgur, Dowlais. Elai yno a'i ddillad gwaith am dano, ystôl fechan i sefyll arni, a dechreuad eglwys y Bedyddwyr yn Dowlais fel yna y bu. Dyna yr adeg y gwahoddwyd Mr. Jenkins gan ddyn anghrefyddol i bregethu ar brydnawn Sabboth yn ei dy; cafodd y pregethwr yno un o'r oedfaon mwyaf tywyll a chaled, ond er ei syndod argyhoeddwyd pedwar ynddi. Aml oedfa hwyliog yn methu, a'r oedfa gymylog yn ail-eni.

III. Tri llais, heb nodi y colledwr.

1. "Ac nid llais gwaeddi am golli y maes," a dyna iddo alwad. Ddechreu haf 1806 aeth i fyw i Ddyffryn Crannon, ac yn y Tryfil yn codi meini y bu, a galwodd eglwys Llangynidr ef yn weinidog iddi. Ei urddiad a fu Mai 21, 1805. Mr. Joshua Thomas, Tredegar, yn gweddio, a'r enwogion David Evans, Maesyberllan; John Evans, Penygarn; a Christmas Evans o bob man, yn pregethu. Dull y talu oedd casglu bedair gwaith y flwyddyn. Bychan fyddai y symyn, ond nid oedd efe byth yn achwyn. Tri pheth annymunol yn y pregethwr yw anghofio anian, bloeddio yn annyddan, a chrio am fwy o arian.

2. "Ac nid llais gwaeddi am golli y maes," ond bu iddo ail benodiad. Eglwys Hengoed a gorphorwyd yn 1652; yr oedd Oliver Cromwell yn penogi, a derbyniodd y Parch. John Jenkins alwad iddi yn 1808. Merthyr oedd ei le i gartrefu; cadwai yno swyddfa i argraffu, ac yno y cyhoeddwyd ei "Balas Arian," ei Esboniad ar y Beibl, a'i Barthsyllydd, yn gydranog a'r hynafydd clodfawr, Iolo Morganwg. Ac onid syndod meddwl am ddyn ag oedd ugain mlwydd oed cyn medru ysgrifenu gair ar bapyr, yn dyfod yn awdwr o allu, yn bregethwr o fri, a chadlywydd mawr yn myddin ei Brynwr.

3. "Ac nid llais gwaeddi am golli y maes" o'r cychwyniad. Ein brawd R. Edwards, Pottsville, a gofia am Hengoed yn ymgangenu, Berthlwyd a Phontypridd, i Gelligaer a Phontypengam, i'r Ynys Owen, ac Ysgwyddgwyn i Maesycwmwr, ac i'r Nelson. Ac yn y 44 o flynyddoedd y bu Dr. Jenkins yn Hengoed, canfu ddeg neu ddeuddeg o eglwysi, magwyd dano amryw ddoniau i bregethu, ac yn mhlith y rhai hyn yr oedd tri mab iddo ef ei hun. Daeth o Merthyr i fyw i Maesycwmwr yn 1827, fel y byddai yn fwy agos i'r eglwys dan ei ofal; a chafwyd ynddo y trugarog i dlodion, y tangnefeddwr yn mhlith cymydogion, a'r cyfaill y medrai un ymddiried iddo gyfrinach ei galon. Edrychai y pechaduriaid duaf, y pererinion glanaf, a phobl y broydd arno yn seren y goleuni, yn salm ddiwyrni, ac yn sant diffaelu.

4. "Ac nid llais gwaeddi am golli y maes" yn ei ddylanwad. Annichonadwy ei ddarlunio yn pregethu, canys yr oedd yn dylanwadu heb ddelwi, yn darswyno heb dôno, ac yn dysgu y galon i ganu heb lef na gwaeddi. Pregethodd yn y Berthlwyd ar nos Sul, Awst, 1851, a chadwodd ni yno hyd naw y nos i orfoleddu gyda y "Testament gwell, y Meichniydd yn talu, a diogelwch ei eiddo." Traddodwyd pregeth o'i flaen nos Cymanfa Tongwynlais, y flwyddyn 1851, ar y Berth yn Llosgi, a fflamiau ofnadwy a fu; ac ar ol y tân mawr dyna Jenkins, Hengoed, yn mynegi gweinidogaeth cyfiawnder yn rhagori, ac yno y bu rhyfeddu a bloeddio, gorfoleddu ac wylo, a braidd nad oedd yno aml gredadyn yn dechreu dawnsio yn y dyffryn. Traddododd bregeth yn Hengoed un boreu Sabboth, ar "Weithredoedd y gwaredigion yn eu canlyn i'w coron;" ac Alon Bacuth oedd yr oedfa drwyddi—pawb yn wylo gorfoledd ynddi; ac ein brawd rhagorol, Mr. William C. Williams, Hyde Park, a gofia byth am dani. Adnabuwyd ei allu yn Arfon; bu yn dyferu y manna yn Mon, a brenin a fu ar y banlawr droion.

IV. Tri llais, a'r diweddaf, i dangnefeddwr.

1. Ei swn canu, nid alarmus alawon. Ei ddymuniad a fu, na byddai i'r gelyn i arafu, na llygaid duon marwolaeth

yn hir i'w boeni, ond y rhoddid iddo aden dystawrwydd i ymgodi o'r glyn; marw yn sydyn, a byw yn y mwyniant diderfyn. Ac yr oedd yn ddigon o athronydd i ddeall angau yn ergydio; yn ddigon o addolwr i ymbwyso, ac yn ddigon agos i'r nefoedd i neuaddu ar Nebo, gwenu ar y dyffryn drwyddo, a chanu yn ymyl y fro.

2. Ei swn canu yn bêr i brynedigion. Efe ydoedd wr glân ei gorph, glân ei galon, glân ei gredo, a glân ei genadwri—ac yn meddu nodweddion felly, nid rhyfedd iddo dawelu yn mrochellion angeu du, rhifo tonau y rhyferthwy a hwylio i hafan y gogoneddu. Misoedd y bu yn dihoeni, Maesycwmwr yn dy, ardal y Mynyddislwyn yn lle i drengu, ac "O, fy Arglwydd a'm Duw, derbyn fi," oedd y diweddaf ymadroddi. A gallasai pob un yn ymyl ei orweddfa gyhoeddi, "Ond swn canu a glywaf fi, penill angelion, mesur nefolion, ac emyn i brynedigion i ddysgu.

3. Ei swn canu allan o'r cyffion. Ar brydnawn y dydd Sabboth, Mehefin 5, 1853, y bu farw y Dr. John Jenkins o Hengoed, yn 74 mlwydd oed. Daeth llu mawr i'w gladdu, pregethodd y Parch. William Jones yn yr addoldy, a mynwent fawr Hengoed yn derbyn gweddillion credadyn i'w chysegru. Erioed ni welwyd cymaint o wylo ynddi, gan deulu am dad, gan eglwys am fugail, gweinidogion am frawd diwyrni, a chymydogion am gyfaill, a'i fwriad beunydd ar ddaioni.

4. Ei swn canu, y fywiol, fyddarol dôn. Anrhydeddwyd ef yn nechreuad ei oes ag anian i geisio diangfa; ganol ei oes â dyrchafiad mwy yn y dyrfa; ar hyd ei oes â gwenau y drugareddfa; ddiwedd ei oes â'r D. D., o goleg yn America; ac yn ei ail oes â lle mawr yn mhlith tywysogion gwynfa.

"Pe cawn lety'n mhell oddiyma,
Draw o diroedd anial mawr,
Man gorphwysa y fforddolion,
Ar ol lludded blin y llawr;
Meddu pabell i breswylio,
Lle na throediodd gwae erioed,
Yno y cawn ymgartrefu,
Mewn rhadioni uwch y rhod."

# PAUL YN ATHEN.

GAN Y GOLYGYDD.

## Rhif II.

*Rhagarweiniol—(Parhad.)*

Boneddwr Seisnig a ddywed iddo, ar ymweliad diweddar ag Athen, yn hytrach na chymeryd ei gipio mewn ychydig fynydau gyda'r gerbydres o'r porthladd i'r ddinas—sef ar hyd yr unig gledrffordd a fedd Groeg, iddo agosâu at y ddinas mewn cerbyd araf, cyffredin, gan farnu y cawsai trwy hyny well mantais i fwynhau y teimladau cyntaf ar yr amgylchoedd clasurol, ac hefyd y buasai y modd hwn yn fwy cydweddol â'r gwyleidd-dra dyladwy wrth agosâu at y fath fan hynodol.

Efallai y byddai yn eithaf priodol i ninau i'w efelychu ef yn y myfyrdodau hyn, trwy beidio rhuthro yn ddisymwth i'r fath le, rhag cael ein hunain yno yn ymddwyn yn chwithig—rhag i ni golli golwg ar ysplander y golygfeydd ar y ffordd, ac yn neillduol rhag ein cael yn fyr o dalu gwarogaeth ddyladwy i bwysigrwydd yr anturiaeth, a'r neges sydd genym mewn golwg. Mae ystyriaethau eraill yn cymell arnom i fabwysiadu y cynllun hwn. Carem fyned yn nghwmni yr Apostol tuag Athen wedi ein llenwi ag ysbryd y cyfnod hwnw, oedd yn bresenol wedi gwawrio ar y byd; carem ymgydnabyddu ag adnoddau y gallu newydd oedd yn dechreu gweithredu; carem gymeryd ein darllenwyr gyda ni yn debyg fel y gwna cadfridog doeth wrth agosâu at y gwrthwynebydd, pan yn cadw cysylltiad rhwng ei adran filwrol a'r adnoddau o'r tu ol.

Os cyrhaeddwn Athen rywbryd dymunem allu barnu pethau yno yn ngoleuni y drefn newydd—dymunem gario ffaglen gwybodaeth Gristionogol yn ein llaw, fel na byddom yn ymbalfalu yn y tywyllwch. Os felly, arafwn, ynte—ymdrown, gan ymdeithio yn mlaen megys ar hyd ochr bryn, gan esgyn i fyny yn raddol, ac eto yn ddyfal.

Pwnc y benod flaenorol ydoedd

Gwawriad y cyfnod Cristionogol ar y byd; cyfyngwn y benod hon i sylwi ar y *Moddion Offerynol* i ddwyn oddiamgylch y cyfnod byd-lydan hwnw. Ceisiwn lenwi ein llusernau gweigion ag olew gwirionedd—ceisiwn drwsio ein lampau, canys rhaid i ni addef ein bod yn bwriadu ymsymud yn mlaen trwy fanau tywyllion, ac ymlwybro trwy nos tra chaddugawl, fel os na allwn lwyddo i gadw yn agos at yr Apostol yn mhob man, a rhodio yn ei oleuni ef, y byddo genym ronyn o oleuni personol i'n cadw rhag myned ar gyfeiliorn.

Yn yr hen amser byddai cyfnodau chwyldroadol a diwygiadol yn cael eu heffeithio gan nerthoedd ffurf-fawr, trym-fawr, goresgynol, yn llaw ffurflywodraethau unbenaethol a thrahausfalch. Pa foddion bynag a ddefnyddid i ddwyn trefn gymdeithasol a gwellhad personol, yr oedd y cyfan yn dwyn delw y llywodraeth—ategid yr oll gan ei hawdurdod ormesol a llethiadol hi. Yr oedd y deddfau yn ddigyfnewid, ac nid oedd llys apeliadol nac achwyniadol i'w gael. Teyrnasai yr allanol mewn modd haerllug, ac yr oedd yn rhaid cydymffurfio. Gwisgai yr awdurdod olwg frawychus, a chynyrchai ofn yn y deiliaid. Y dyfarniad oedd, Yr enaid a becho hwnw fydd marw. Yr oedd pob gweithrediad dynol wedi ei linellu allan fel nad oedd gan neb pwy bynag hawl i roddi llais ar y mater. Deuai pob gorchymyn at ddyn megys tyngedfen, na fynai ei throi yn ol. Taranai bygythion, ysgydwid teyrnwiail, fflachiai coronau, nes brawychu trueiniaid. Dirwasgid dynoliaeth i lawr fel na allent ddringo i fyny gan faint y pwysau gorlethol. Bron na ddihanfodai rai cyneddfau yn y meddwl dynol, ac eraill a anffurfid. Drain a mieri a dyfent yn lle myrtwydd, ysgall yn lle gwenith. Crasdir a welid yn lle porfeydd gwelltog. Arwyddlun eglur yr hen gyfnodau ydoedd gwialen haiarn. Y trystfawr allanol oedd y moddion arferedig er sicrhau ymostyngiad. O'r diwedd, modd bynag, daeth y cyfnodau trwm-lwythog hyny i derfyniad—dyma gyfnod newydd yn cael ei ddwyn oddiamgylch gan foddion newydd; dyma Baganiaeth henafol a Christionogaeth foreuol; y llywodraeth Rufeinig a'r eglwys efengylaidd, yn sefyll wyneb yn wyneb. Erioed o'r blaen yn nghwrs hanesiaeth ni welwyd dau allu ymddangosiadol mor anghyfartal yn gwynebu eu gilydd—y nerthoedd gwanaf yn cyfarfod a'r cryfaf. Cymerer i ystyriaeth y galluoedd gwrthwynebol: y Rhufeiniaid buddugoliaethus, y Groegwr craff ac amryddawn, y Dwyreiniwr coelgrefyddol, y deddfwr Iuddewig, y gallu Rhufeinig, dysgeidiaeth Alexandria, elw, arabedd, gwawdiaeth, gwatwaredd, edmygedd o'r gorphenol, rhagfarn traddodiadol, uchelfrydedd rheswm dynol, trysorau doethineb ddaearol, a llygredd calon dyn—meddylier—yr oedd yr oll o'r nerthoedd hyn, ac ychwaneg, yn erbyn Cristionogaeth dyner, addfwyn, ieuanc—y cwbl yn sefyll yn uniongyrchol ar ei ffordd i gyrhaedd ei hamcanion daionus, a dwyn i mewn amser gwell. Yn erbyn y nerthoedd hyn, modd bynag, cawn y gallu gwylaidd, llariaidd, boneddigaidd, ac ymddangosiadol anghyfartal, yn cychwyn i'r frwydr; ac, ebai llais prophwydoliaeth, ni ddigalona y maes-lywydd, nes "dwyn allan farn i fuddugoliaeth." Ymgorpholai y gallu newydd nodedig hwn mewn nifer o bersonau na chaed eu henwau erioed cyn hyny yn rhestr enwogion daear. Hollol wahanol i hyn y buasai doethineb ddynol yn trefnu. "Eithr Duw a etholodd ffol-bethau y byd, fel y gwaradwyddai y doethion, a gwanbethau y byd a etholodd Duw, fel y gwaradwyddai y pethau cedyrn. A phethau distadl y byd a phethau dirmygus a ddewisodd Duw, a'r pethau nid ydynt, fel y diddymai y pethau sydd."

Mae yr ymdrechfa yn cael ei chychwyn trwy *bregethu yr efengyl;* ac yn ddilynol, trwy sefydliad yr eglwysi Cristionogol, y rhai oeddynt i drysori yr effeithiau buddugoliaethus, mewn ffurf gyfansoddedig, fel na byddai dim o'r yspail yn myned ar goll; ac fel y byddont yn rhanol yn y gwaith mawr ei bwys. Y gorchymyn oedd, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl

i bob creadur," &c. Y testyn oedd "Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio." Yn sicr, testyn newydd a dyeithr—testyn i'r Iuddew yn dramgwydd, ac i'r Groegwr yn ffolineb. Ymddangosasai yr Iesu hwn yn y byd mewn agwedd gwas, ond bu yn ufudd hyd angeu, ie, angeu y groes. "Ynddo ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion." Preswyliai ynddo elfenau bywyd ysbrydol. Caed ynddo ef yn y perffeithrwydd mwyaf bob peth a berthyn i fywyd dynol cyflawn. Ynddo ef yr oedd bywyd—bywyd ydyw y rhywbeth hwnw sydd yn cyfuno yn nghyd holl amrywiol ranau bodolaeth dyn mewn ffurf weithredol. Bywyd naturiol sydd yn cadw y corph a'r aelodau rhag llygru—yn peri gweithgarwch trwy ei holl ranau—yn achosi prydferthwch, defnyddioldeb a gweithgarwch yn yr holl fodolaeth—yn cadw undeb rhwng pob rhan, gan ysgogi pob cyneddf, gallu ac aelod i gyrhaedd amcanion teilwng, ac i gyflawni swyddogaethau priodol dyn fel creadur cyfrifol. Bywyd ysbrydol neu foesol ydyw y peth hwnw a effeithia gydweithrediad yn mhob rhan foesol ac ysbrydol o ddyn—y peth hwnw a gyfuna yr holl amrywiol ranau yn un gyfundrefn, ac a asia bob mymryn o honom fel bodau rhesymol er gwneyd i fyny un dernyn o fodolaeth, heb un iota yn llygru, yn anffurfiedig, yn ddiffrwyth, yn ffaeledig, yn farw. Wel, ynddo ef yr oedd y bywyd hwn mewn perffeithrwydd cyflawn. Cyd-hanfodai ynddo ef bob peth a berthyn i fywyd dyn ar y ddaear, ac a'i cyfaddasai i fyw mewn byd uwch a gwell. Gwasanaethodd y bywyd cyflawn hwn yn oleuni dynion—yn ddangoseg—yn bortread o'r hyn ddylai y bywyd dynol fod—llewyrchodd oddiwrtho oleuni ar holl lwybrau a dyledswyddau dyn. Dyma oedd eisiau—dyma oedd angen mawr y byd—cael y bywyd dynol mewn ffurf berffaith yn cael ei actio allan o dan yr anfanteision mwyaf. Yn mywyd, marwolaeth, ac adgyfodiad Iesu caed y portread dymunadwy hwn. Am hyny, yn ei fywyd ef bodola blagur gwareiddiad y byd. Os gofynir am ddarnodiad o'r peth hwnw ynddo ei hun a elwir bywyd ysbrydol, credwn y gallwn ateb yn gywir trwy ddweyd, mai y bywyd hwnw yn Iesu ydoedd adnabyddiaeth berffaith o'r Tad a'i gymeriad, a chariad angerddol ato. Bywyd ysbrydol yn y Cristion ydyw adnabyddiaeth o Iesu, a chariad dwfn, nes ei arwain i'w efelychu. Ymarweddodd Iesu yn ddifwlch yn y tair berthynas fawr y saif dyn ynddynt—y berthynas â'r dwyfol, y dynol, a'r materol; dadblygodd ef y corphorol, y dynol a'r dwyfol yn ddilynol yn eu nodweddau llawn. Y dyn bach yn y preseb a ganfyddwn gyntaf—y bachgen Iesu yn y deml yn mhlith y doctoriaid. Drachefn: yn y man, wele, aeth y byd ar ei ol ef; ac ni allai efe fod yn guddiedig—deuai i gysylltiad ymarferol â dynion fel eu dysgawdwr a'u cymwynaswr—deuai ei nodweddau moesol i'r golwg. Fel yr elai yn mlaen yn ei fywyd cyhoeddus, deuai mwy o'r dwyfol ger bron; ymgyfodai megys oddiwrth a thrwy y dynol at y dwyfol, gan ddangos y ffordd y dylem ninau wneyd yr un peth.

Pa ryfedd i'r fath berson a hwn—un yn meddu y fath fywyd, ganfod ei ffordd trwy angeu a'r bedd, a thrwy y pyrth i mewn i'r nefoedd wen! Wel, yn hwn, ynte, Mab y Tad, y mae ein gobaith ni. Efe ei hun yw craidd y byd moesol; ato ef y pwyntia nodwydd serch ein calonau. Ynddo ef y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig. Efe yw Prophwyd, Offeiriad, a Brenin ein cyffes ni. Er ffrwydriadau cenedlaethol, cymdeithasol, ac unigol; gwrthdyniadau afrywiog amseroedd enbyd, rhaid fydd ei gydnabod ef yn ben.

Gwylier darnio y portread a geir ynddo. Nid yw ei rinweddau fel esiamplydd yn wahanol i'w rinweddau Iawnol, fel y dysgir i ni weithiau. Yr un sylweddau yn Iesu oedd yn gwneyd Iawn i Dduw ag sydd yn esiampl i ddyn. Y mae yr egwyddor o hunan-aberthiad yn rhedeg trwy ei holl hanes—yr egwyddor hon oedd yn cyfansoddi Iawn i'r llywodraeth ddwyfol, ac hefyd yn gynllun bywyd i'r byd.

*Iesu Grist a'i groes oedd testyn mawr*

*gweinidogaeth* y pregethwyr boreuol. Efe, yn ei gymeriad hunan-aberthol, a godent hwy i fyny ar drostan eu gweinidogaeth o flaen llygaid y byd cenedlig, ac a weithient allan yn addurnol yn eu bywyd: oddiyma yr oeddynt yn cymeryd defnyddiau eu pregethau, yr hyn oedd yn troi yn newydd da i filoedd o blant Adda.

*Sylwer ar ffurf eu gweinidogaeth.* Yr oedd yn syml. Ni allasai fod yn wahanol. Pregethent y pethau oeddynt wedi eu gweled a'u clywed a'u teimlo am air y bywyd. Ni athronyddent yn ddamcaniaethol a chasgliadol. Arosent gyda y pethau hysbys a diamheuol, gan gymeryd safle gadarn i sefyll arni, oddiar ba un yr esgynent yn wyliadwrus a graddol megys ar hyd ysgol, i fyny at y dwyfol. Da fyddai pe gwnaethai llawer o hyf-feddylwyr a damcaniaethwyr anianol yr oes hon yr un peth, yn lle athronyddu y dwyfol, ac amcanu dyhysbyddu ar unwaith ddirgelion y natur ddwyfol a byd ysbrydol, da fyddai iddynt chwilio yn gyntaf oll am risiau iselaf yr ysgol fawr. Yn mlaenaf oll dysgent actio yn ddynol, yn gymwynasgar, dysgent garu eu rhywogaeth, dysgent ymhoffi yn y pur a'r llednais, cymhwysid hwy trwy hyny i gydymdeimlo a'r ysbrydol, ac i ddeall dirgelion teyrnas nefoedd, a chaent yn y man y fraint o rodio gyda Duw.

Nodweddau eraill yn ffurf gweinidogaeth yr Apostolion oedd *difrifoldeb a brwdfrydigrwydd.* Y canlyniad oedd, pregethent yr efengyl yn eglurhad yr Ysbryd a nerth, ac mewn sicrwydd mawr.

*Llefarent wrth yr hyn oedd oreu mewn dyn.* Y ffordd a gymer y meddyg gyda y claf, ydyw gweithredu ar yr afiechyd trwy y manau goreu yn ei gyfansoddiad—yr organau treuliadol a bywydol nesaf ato, teimla guriad y gwaed, ymgydnebydd â chyflwr y cylla a'r afu; yn y modd hwn ymdrecha weithio ar yr afiechyd, a myned o dan ei wreiddiau, gan gymell y rhanau mwyaf bywydus ac iachus i fwy o weithgarwch, a chael ganddynt eangu terfynau eu dylanwad, nes gwthio yr afiechyd ymaith. Yn gyson a'r modd naturiol hwn y gweithredai y pregethwyr cyntaf. Cyfarchent yr hyn oedd oreu mewn dyn—ei syniad am dda a drwg, ei syniad o rwymedigaeth i wneyd y da a gwrthod gwneyd y drwg, a'i allu i fwynhau y da, a'i allu i deimlo gofid o wneyd y drwg. Cywirent syniadau dynion am dda a drwg—dangosent iddynt yn Iesu y da puraf—deuent a'r rhesymau cryfaf dros wneyd y da ac ymadaw rhag y drwg—sicrhaent y dedwyddwch mwyaf o wasanaethu y naill, a'r gofid mwyaf o wasanaethu y llall. Tarawent fysedd eu gweinidogaeth ar dant y dysgwyliad dwfn-bryderus oedd yn mhlith dynolryw yn neillduol yn y cyfnod hwnw am y Messiah. Yn ddiau yr oedd cyfeirio nerthoedd ffeithiau dwyfol yn y modd hwn yn gyson â'r doethineb mwyaf. Yr oedd Cristionogaeth foreuol, yn y modd a nodwyd o ddysgu, yn defnyddio y cynllun a gymhellir yn y dyddiau hyn gan awdwyr galluog, fel y dull mwyaf effeithiol i gyfranu addysg i'r ieuanc, er ei addasu i gyflawni gorchwylion bywyd. Eglurir yr angenrheidrwydd i sylwi ar dueddfryd a thueddiadau naturiol plant i wybod y peth hwn a'r peth arall, megys y nodwedd a welir yn y plentyn pan y dengys i chwi y tegan a fedd, neu a welir ynddo pan yn rhedeg atoch i ddangos y blodau prydferth a gasglodd. Pan yr ystyriom yn ddyladwy, ni raid amheu nad y ffordd hon sydd iawn. Ac wrth gymeryd i fyny yr egwyddor hon yr oedd yr efengyl yn rhagflaenori; blaenorai yn y *modd* i ddysgu, yn ogystal ag yn y gwirioneddau a ddysgai yn y fath fodd effeithiol.

*Cyhoeddid maddeuant i'r euog.* Tra byddo gan ddyn ei dda a'i ddrwg, a thra y byddo efe yn dewis y drwg yn hytrach na'r da, mae euogrwydd i ryw raddau, a ffurfiau, yn sicr o ganlyn. Dichon iddo fod megys awyrgylch drom yn gorchuddio y meddwl a'r gydwybod; dichon iddo fod yn fudfarw; er hyny mae yn rhwym o fod yn bresenol, yn pwyso yn flinderus ar yr ysbryd, ac yn sychu i fyny ffynonau sirioldeb a chysur. Yn yr adeg hon, deffroai ymwybodolrwydd o bechod yn y byd cenedlig, a dysgwyliad am war-

edigaeth. Gruddfanai llawer o dan faich o euogrwydd, gan ymddyheu am lanhad, am faddeuant. Yn ngweinidogaeth leddf efengyl cawsant yr hyn y chwiliasant am dano yn ofer yn y temlau paganaidd, y rhai oeddynt lawn o eilunod, defodau a seremoniau cnawdol. Trwy waed yr Oen cynygid iddynt faddeuant rhad a llawn o'u holl bechodau, yn unig ar yr amod iddynt gredu, ufuddhau, a dwyn ffrwythau addas. Pan oedd y byd yn dirywio, a rhifedi y blinderog a'r trwm-lwythog yn amlhau yn barhaus, y fath werth a dylanwad oedd yn ngwahoddiad ein Harglwydd, "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog a llwythog, a mi a esmwythaf arnoch."

*Cyhoeddai y pregethwyr dihafal hyny hefyd ryddid i'r caethion.* "Canys ymddangosodd gras Duw, yr hwn sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn." Pob dyn—y gwas yn gystal a'r meistr; y caeth yn gystal a'r rhydd. "Os y Mab a'ch rhyddha chwi, rhyddion a fyddwch yn wir;" hyn a wnai efe yn awr. Y genadwri oedd, "Nid oes nac Iuddew na Groegwr, nid oes na chaeth na rhydd, nid oes na benyw na gwryw, canys chwi oll un ydych yn Nghrist Iesu. Newydd da yn wir oedd hyn i'r miliynau rhwym!

*Cyhoeddid cyfoeth i'r tlodion.* Ymlifai y dylanwad Cristionogol megys llifeiriant tuag at y tlawd, yr angenus, y gorthrymedig, y dirmygedig, y llafurus, a'r galarus. Mab y dyn a ddaeth yn ngherbyd ei drugaredd i geisio a chadw y rhai a gollasid—y darnau arian—y defaid cyfrgolledig—yr afradloniaid. Gyda swyn ei gydymdeimlad agorodd ffynonau dyfnder mawr calonau meibion dynion, a rhoddodd yn eu genau gân o foliant i Dduw. Yn yr amseroedd hyny yr oedd nifer y tlodion gorthrymedig a diamddiffyn yn fawr iawn. Y fath argraff ddwfndreiddiol, gan hyny, a raid fod yn cael ei gwneyd ar y cyfryw bersonau, y rhai na feddent un gyfran yn nghyfoeth a mwynianau Rhufain foethus—ar y dinod, ar y rhai oeddynt o dan draed eu gorthrymwyr—ar gelfyddydwyr, y rhai na chyfrifid o un gwerth ond i ddilyn eu galwedigaeth, ac i'w hesgeuluso a'u gadael iddynt eu hunain pan fethent. Y fath argraff, meddwn, a raid fod gweinidogaeth yr apostolion yn ei gael ar y cyfryw bersonau, pan ydoedd y tlawd Iesu, yr hwn ei hun fuasai farw o farwolaeth caethwas, yn cael ei gyhoeddi iddynt, ac ynddo ef dderbyniad i mewn i'w deyrnas fendigedig—heb yr un gwahaniaeth yn cael ei wneyd ynddi rhwng y tlawd a'r cyfoethog!

*Cyhoeddid sicrwydd i'r amheus.*—Mewn amser pan oedd ymofynion pryderus yn nghylch byd arall yn beth cyffredin, a chwestiynau fel hyn yn cael eu mynych roddi, A oes byd arall?—os oes, pa fodd y gallwn fod yn ddedwydd yno?—y fath argraff a raid fod pan gyhoeddid adgyfodiad Crist. Yn y *ffaith* hon yr oedd atebiad i'r oll o'r fath gwestiynau. Yma y dygid yn mlaen yr hyn na feddai y byd paganaidd ddim o'r fath—gobaith bywiol. Dal y pethau hyn mewn cof a rydd help i ni ddeall llwyddiant Cristionogaeth, yn ngwanwyn "blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd.

*Yr oedd yr eglwysi Cristionogol yn eu cymeriad a'u gweithgarwch yn cario dylanwad mawr.* Yr oedd y gwasanaeth crefyddol yn eu plith yn syml, ac yn rhydd oddiwrth yr allanol gorwych. Yn y gynulleidfa yr oedd *bywyd* addoliadol. Ffynai cariad brawdol, ac unai yr holl frawdoliaeth yn nghwlwm tangnefedd. Dysgid cysegredigrwydd y rhwymau priodasol. Dyrchefid dynes i'w safle briodol. Dysgid dyledswyddau rhieni at y plant, a'r plant at y rhieni. Mewn gair, yr oedd yr eglwys y pryd hwnw yn halen y ddaear ac yn oleuni y byd—oedd yn engraifft deilwng o'r hyn ddylai y bywyd dynol fod; cesglid i mewn iddi ffrwythau llafur gweinidogaeth lafurus apostolion yr Oen. Mawr oedd y dylanwad. Braidd, meddir, yr aethai canrif heibio er dydd y Pentecost cyn i'r holl ymerodraeth fawr Rufeinig gael ei gorchuddio megys â rhwydwaith o eglwysi efengylaidd. Yn sicr, profasai y *drefn newydd* yn llwyddiant. O! na cheid mwy o ysbryd gweithgarwch, a sel y

Cristionogion boreuol yn y dyddiau hyn.

"O Arglwydd Dduw, 'r hwn bia'r gwaith,
Arddel dy faith wirionedd,
Fel byddo i bechod o bob rhyw
Gael marwol friw o'r diwedd."

## DR. IOAN CENT (SHON CENT).

GAN CADWGAN FARDD.

Nid yw y dyn mawr a dysgedig hwn wedi, nac yn cael, y sylw a haeddai gan ei genedl yn ol y cnawd. Dichon mai yr achos o hyny yw, fod y werin anwybodus yn credu ei fod yn swynwr peryglus, a'i fod mewn masnach gyson â'r diafol, a bod hyd yn nod enwi Shon Cent yn gymaint o bechod ag ydyw i grefyddwr ddweyd d——l. Yr oedd y werin yn Ngwent a Morganwg, haner canrif yn ol, yn credu yn ddieithriad y medrai Shon Cent, trwy gynorthwy Mr. Nic, wneyd unrhyw beth a ewyllysiai; ac y mae y gorchestion rhyfeddol a gyflawnasent gyda eu gilydd, ar len y werin, i'w cael yno hyd y dydd heddyw. Ond gan nad oes neb am a wn i, yn y dyddiau yma, yn credu y fath chwedlau disail, nid ydynt yn werth i'w rhoddi ar bapyr.

Ganwyd Dr. Ioan Cent yn Abertridwr (fel y gelwid y lle y pryd hwnw), yn mhlwyf Eglwys Eliam, Morganwg, D. C. Enw cyffredin Abertridwr yn awr yw, Cwmyraber, ac y mae yn sefyll tua milldir o Gaerffili, a haner milldir o hen eglwys barchus y Groes Wen, lle mae llwch y ddau fardd enwog Ieuan Gwynedd a Chaledfryn yn llechu hyd nes y chwytho yr archangel

"Yn ei gorn mingorn mawr."

Yr oedd Shon Cent, pan nad oedd ond hogyn ieuanc, yn hynod awyddus am addysg, a phenderfynodd ei gyrhaedd os cawsai einioes ac iechyd. Dyma ei ddewis bethau pan ydoedd yn fachgen tlawd yn Nghwm-yr-aber, ac yn cael ei adnabod wrth yr enw Shoni, Abertridwr:

Myvyr encilgoed,
Trem serchawg,
Wynebpryd siriawl,
Boddlondeb i'r byd a vo,
Cof am gâr a chyfaill,
Hoffi rhagorgamp,
Blasog bwyd a vo,
Ymddwyn yn syber, &c.

Dywedai Shon Bradford am Shon Cent, "Mai hynod am awen a deall oedd yn fachgen; ond (fel y bu erioed, ac y bydd byth) ei gymydogion a genfigenent wrtho, ac a'i hanmharchent yn annghyfiawn, ac yntau yn fachgen tlawd, wedi colli tad a mam."

Yr oedd rhieni Shon, tra fuont fyw, yn rhoddi pob cymorth ag a fedrent i'w mab gael ychydig addysg, o herwydd ei fod mor awyddus am dano. Yr oedd gan Shon y pryd hwnw ewythr yn byw yn mhlwyf Pentyrch; ac yr oedd yn fonach gwir ddysgedig; ac yr oedd mor haelfrydig ar ei ddysgeidiaeth eang, fel yr oedd yn foddlon ei chyfranu yn rhad ac am ddim i bwy bynag a fuasai yn dyfod ato i'w derbyn. Gwnaeth Shoni bach y goreu o'r cyfleusdra hwn. Cychwynai yn y boreu o Abertridwr, tua Phentyrch, i'r ysgol at ei ewythr, gwlaw a hinon, rhew ac eira, yr un fath; ac yr oedd yn yfed dysgeidiaeth helaeth ei ewythr gyda rhwyddineb a chywirdeb anhefelydd.

Dywedir nad neb llai na Dafydd Ddu Hiraddug, ydoedd y monach dysgedig a haelfrydig hwn; ac y mae y lle yr oedd yn byw ynddo yn myned o dan yr enw "Llwyn Dafydd Ddu," hyd y dydd heddyw.

Wedi i Shon gladdu ei dad a'i fam, cymerodd ei ewythr ef i'w dy ato ei hun; ac yr oedd hyny yn ateb chwaeth Shon gystal a phe buasai yn cael derbyniad i Goleg Rhydychain. Yn fuan wedi hyny cafodd Dafydd Ddu ddyrchafiad eglwysig, meddai Dafydd Morganwg, yn ei lyfr rhagorol ar Hanes Morganwg; a chafodd fywoliaeth Bodfari, Sir Flint. Cymerodd ei nai bychan gydag ef, er mwyn ymgeleddu ei gorph a'i feddwl—ei feddwl yn neillduol, o herwydd yr oedd yn gwybod fod ganddo feddwl seraph. Ond wele eto ergyd arall i Shon, can drymed a cholli ei dad a'i fam, sef marw ei ew-

ythr, gan ei adael yntau yn hogyn tylawd, amddifad, heb gar na chyfaill, yn mhlith dyeithriaid. Felly penderfynodd ddychwelyd yn ol i'w hen ardal enedigol, ac i wneyd yr hyn a allai at ei fywoliaeth gyda yr amaethwyr. Cafodd le gydag amaethwr yn ymyl ei hen gartref, yr hyn oedd ef yn ei hoffi yn fawr. Ond dygwyddodd i'w feistr fod yn hen greadur cas iawn; ac yr oedd yn dwrdio ac yn curo Shon bach amddifad, a hyny mor ddidrugaredd a phe buasai ful neu lwdn asyn gwyllt. Y mae llawer o fechgyn a genethod bychain, amddifaid a diamddiffyn, yn cael eu dwrdio a'u trin yn erwin gan feistriaid creulon, dideimlad a disynwyr. Duw a dalo i'r cyfryw rai yn eu bathion eu hunain, yw hyd a lled fy ngweddi i drostynt.

Gan nad oedd Shon fychan yn cael ei drin gan ei feistr yn debyg fel y dylasai, penderfynodd ymadael i chwilio am well lle. Cychwynodd heb ddyweyd gair wrth neb, heb ddim yn ei feddiant ond ychydig ddillad am dano, a nifer bychan o lyfrau, y rhai yn ddiau oedd ei ewythr wedi ei anrhegu â hwy; ac os felly, nid bychan oedd eu gwerth yn ei olwg. Trodd ei wyneb tua Mynwy, gan gyfeirio tua chodiad haul; a chroesodd Gwent o'r naill ochr i'r llall, heb gael neb i'w gyflogi, yn ol dim a wyddus yn amgen. Wedi iddo gyrhaedd Sir Henffordd, aeth at balas boneddwr o'r enw Syr John Scudamore, yr hwn oedd yn briod â merch y gwladgarwr dewr a diffuant, Owain Glyndwr. Cafodd le yno i ofalu am y ceffylau, ac i gael ei wala o fwyd, ychydig o arian, a gwely i gysgu y nos yn yr ystabl.

Nid hir y bu ei ffyddlondeb gyda y ceffylau cyn enill sylw ei feistr. Deallodd hefyd fod ei farch-was bychan yn perchenogi ychydig o lyfrau, a'i fod yn medru eu darllen; ac yr oedd fod bachgenyn tlawd fel Shon yn medru darllen, y pryd hwnw, yn gymaint o ryfeddod a phe byddai dyn yn awr yn llyncu das o wair. Aeth ei feistr i brofi Shon, er mwyn cael gweled ei hun pa un ai darllen yn wirioneddol, neu ynte ai ffugio darllen ydoedd; ac er ei fawr syndod fe welodd fod ei farch-was yn medru darllen Cymraeg, Saesnaeg, a Lladin, gyda rhwyddineb a chywirdeb; ac nid yn unig hyny, ond yn eu deall yn drwyadl hefyd. Pan welodd ei feistr beth felly, dywedodd wrth Shon na chawsai ef ddim bod ychwaneg yn yr ystabl i ofalu am y ceffylau; fod yn rhaid iddo ddod i'r palas, yn athraw i'w blant; ac felly bu. Dyna godiad i Shoni bach, Abertridwr, onide? Beth ond athrylith annhraethol ei grym a allasai wneyd peth mor fawr a hynyna? Gresyn na fuasai Mr. Humphrey, New York, yn rhoddi hynyna yn ei awdl orchestol ar Athrylith, yn lle rhai o'r cymeriadau estronol sydd yn ei britho.

Wedi i Shon fod yn athraw am flynyddau i feibion a merched Syr John Scudamore, a chyflawni ei swydd mor ddeheuig, a bod ei ymarweddiad a'i fuchedd yn ddifrycheulyd, ac o yni crefyddol, penderfynodd ei feistr ei anfon i'r coleg i Rhydychain, a thalu ei draul ei hun. Bu yno am flynyddoedd, nes daeth yn un o brif ddysgedigion y coleg, ac enillodd y gradd o D. D. Yno urddwyd ef yn offeiriad, a chafodd eglwys yn Emlyn, meddai Dafydd Morganwg. Ond beth bynag am hyny, nid hir y bu yno cyn cael galwad i ddod yn offeiriad teulu i'w hen feistr, Syr John Scudamore, i Kentchurch; ac yno lle bu hyd derfyn ei oes, mewn parch ac anrhydedd mawr.

Oddiwrth Kentchurch y cafodd y cyfenw Kent. Nid wyf yn gwybod ei gyfenw cyn hyny; Shoni, Abertridwr, oeddynt yn ei alw yn ei ardal enedigol, nes cafodd y cyfenw Kent.

Urddwyd y Dr. Shon Cent yn offeiriad gan yr Eglwys Babaidd, a gwasanaethodd hi yn ffyddlawn am flynyddau; ond yr oedd yn canfod llygredigaethau yn ymlusgo iddi yn dra chyflym, ac ni phetrusai yntau gyhoeddi yn eu herbyn. Dyma fel y dywed Iolo Morganwg ar ol Shon Bradford, yn y Myvyrian Archaiology of Wales:

"Yr oedd yn wr hen iawn yn marw; yr oedd ev yn gweled y mawr lygredigaeth ag oeddynt wedi ymlusgo i mewn i'r eglwys, ac yn dwyn ei dyst-

iolaeth yn vawr yn eu herbyn; am hyny y cyvrivid ef yn un o'r Lolariaid."

Yr oedd y Dr. Shon Cent yn Lolariad, fel y prawf ei Gywyddau Coffa am ei anwyl gyfaill Syr John Oldcastle, neu Arglwydd Gobham, yr hwn a rostiwyd gan y Pabyddion tanllyd, wrth dân araf, am ei fod yn un o'r Lolariaid. Gan fod y Dr. S. Cent yn Lolariad, yr oedd yn fwy na haner Bedyddiwr, gan fod y Lolariaid yn ymwrthod â bedydd babanod fel seremoni afreidiol. Mae llawer yn rhyfeddu pa fodd y diangodd y Dr. Cent rhag cael ei wneyd yn aberth tanllyd i ddofi llid eiriasboeth y Pabyddion, fel y gwnaethent a'i gyfaill anwyl Arglwydd Gobham. Credai y ddau, "Fod pob traddodiad na ddysgir yn yr Ysgrythyr, yn afreidiol a drygionus, ac na ofyna Duw ragor gan y Cristion yn y bywyd hwn nag ufuddhau i orchymynion ei gyfraith fendigedig. Ac os gofyna offeiriad neu Bab fwy na hyn, neu ryw fath arall o ufudd-dod, ei fod yn elyn i Grist, ac yn codi ei hun uwchlaw Duw." Nid yw athrawiaeth fel hona yn dygymod dim â daliadau y Pabyddion yn ein dyddiau ni, llai o lawer yn nyddiau y Dr. Cent, tua phedwar can' mlynedd yn ol. Yr oedd y Dr. yn pregethu athrawiaeth felly bob Sabboth am lawer o flynyddau; a chan fod Pabyddiaeth ar yr orsedd, yn y Senedd, ac yn yr eglwys, mae yn syndod braidd na fuasent wedi rhoddi taw arno, trwy wneyd i'r tân ei droi yn lludw. "Ond a fyno Duw a fydd, a'r hyn ni fyno ni fydd."

Er fod y Dr. Shon Cent yn Lolariad, eto cadwodd ei le fel offeiriad yn yr eglwys tra fu byw. Nid oedd am ymneillduo oddiwrth yr Eglwys Babaidd, ond am ei diwygio a'i phuro oddiwrth y sothach anghristaidd oeddynt wedi dyfod i mewn iddi fel afon ddinystriol. Yr oedd y Dr. Shon Cent yr un fath yn union a'r Dr. John Wickliffe, "Seren Ddydd y Diwygiad," fel ei gelwir. Nid oedd y Dr. Wickliffe am ymadael â'r Eglwys Babaidd, o herwydd bu fyw a marw yn offeiriad ynddi; ond yr oedd am ei diwygio a'i phuro oddiwrth y llygredigaethau drewedig oedd yn ei chynteddau. Mae yn amlwg oddiwrth y ffeithiau yna mai dau Buritan oedd y Dr. Wickliffe a'r Dr. Cent; a phe buasent yn byw yn oes Elizabeth, dyna fuasent yn cael eu galw. Yr oedd y Dr. Shon Cent yn ddyn hynod lafurus, fel llenorydd, bardd, a duwinydd. Dywed y Parch. D. Peter, Caerfyrddin, yn Hanes Crefydd yn Nghymru, am dano fel hyn: "Yn nghylch yr amser hyn (sef yr amser y llosgwyd i farwolaeth Syr John Oldcastle am ei grefydd), yr oedd Dr. John Cent, yr hwn oedd yn brydydd ac yn dduwinydd enwog, yn ei flodau. Yr oedd ef yn un o'r Lolariaid, ac ysgrifenodd lawer o lyfrau ar dduwinyddiaeth, yn yr iaith Ladin, a llawer o brydyddiaeth yn yr iaith Gymraeg.

Oblegid fod Dr. John Cent yn fwy ei ddysg a'i wybodaeth na'r cyffredin, y bobl anwybodus a choelgrefyddol a dybient ei fod yn swynwr; ac adroddir llawer o bethau gwag a disail yn nghylch ei fasnach â'r diafol, hyd heddyw." Nid wyf yn gwybod yn sicr pa le y gellir cael golwg ar lyfrau duwinyddol Dr. Shon Cent; ond tybiwyf y gellid eu gweled yn rhai o lyfrgelloedd Rhydychain, neu o leiaf mi glywais beth felly. Ond am ei farddoniaeth Gymreig, y mae llawer o hono ar gael, ychydig yn argraffedig, a llawer mewn llaw-ysgrifau. Gwelais amryw o gywyddau o'i waith gan Cynddelw, mewn llaw-ysgrif. Yr oeddynt wedi eu hysgrifenu yn gampus, mewn llaw fras, ddim yn annhebyg i law-ysgrif J. W. Jones, y *Drych*. Mae yn ofid genyf yn awr na fuaswn wedi eu cofio; ond hyny ni wnaethum. Bu ymryson barddonol go chwerw rhyngddo ef a Rhys Goch o Eryri, yn nghylch drwg-ymarweddiad beirdd yr oes hono. Yr oedd Rhys yn credu mai

"Ysbryd Glan fel tân tyner—puredig,
Paradwys oleufer,"

oedd awen y beirdd Cymreig. Ond yr oedd y Dr. Cent yn amheu, a hyny o herwydd drwg-ymarweddiad y beirdd. Credai mai yr Ysbryd Glan oedd awen Esay, mab Amos, ac eraill o'r prophwydi ysbrydoledig, ac yn neillduol

Awen Crist. Ond gwadai yn benderfynol mai nid Ysbryd Glan oedd awen beirdd y Cymry, fel y prawf y llinellau canlynol o'i eiddo:

"Dwg ryw awen, dioer, ewybr,
Y sy'n y byd loywbryd lwybr;
Awen gan Grist, ddidrist ddadl,
O iawn dro, awen drwyadl:
Awen arall, nid call cant,
Ar gelwydd fudr argoeliant,
Yr hon a gafas Gwyr Hu,
Camrwysg brydyddion Cymru."

Mae yn amlwg oddiwrth y llinellau uchod fod y Dr. Shon Cent, heblaw puro yr eglwys oddiwrth y llygredigaeth Pabyddol oedd wedi ymlusgo iddi, ei fod am buro barddoniaeth ei genedl hefyd oddiwrth y twyll a'r rhagrith oeddynt wedi ymlusgo i mewn, yr un fath yn union ag y mae yn ein dyddiau ni. Nid oes eisiau ychwaneg i brofi hynyna na darllen y marwnadau sydd yn gorfritho maes ein barddoniaeth y blynyddoedd hyn. Y mae y llinellau dyfynedig yn dangos hefyd ei fod yn fardd o'r dosbarth blaenaf.

Dyfynaf eto ychydig linellau o'i Gywydd i'r Nef, y rhai a ddangosant yr un peth:

"Llan uchel yn llawn iechyd,
O bob dirifwch o'r byd;
Llawn traserch yw, llawn trysor,
Llawn cerdd felusig mewn cor;
Llawn, llawn, llawn, llawn llawenydd,
Llawn oesdeg, heb nos ond dydd;
Llawn aml yw'r llan yma,
Llawn, llawn yw o bob dawn da."

Dywed Shon Bradford fod Shon Cent yn gydoeswr a Dafydd ab Gwilym; ac y mae ei Gywydd i'r Nef yn profi hyny, neu o leiaf ei fod wedi ei gyfansoddi cyn i Llawdden berffeithio y gynganedd yn Eisteddfod fawr Caerfyrddin yn y flwyddyn 1450. Gan fod y papyr yn darfod, rhaid i minau derfynu gyda dweyd,

Ioan Cent oedd Gristion cu—yn gadarn
Ddysgawdwr i'n dysgu;
A chywrain barch arwain bu
Reidusion at Grist Iesu.

---

—Byddwn fyw fel y dylem, sef yn dduwiol; yna ni a gawn farw fel y dymunem, sef yn ddedwydd.

# BEDYDDWYR BOREUOL PENNSYLVANIA.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, COATSVILLE, PA.

RHAN IV.

Tybiasom yn oreu, rhag gwneyd ysgrif faith, dori'r hyn y bwriadwyd ei gynwys yn Rhif III. yn ddau. Nid ydym yn sicr na flina y darllenydd ar fy nodion gwasgaredig. Cofus genym am bregethwr yn Nghymru a arferai gysuro ei wrandawyr gan ddweyd "Yr ydym yn tynu tua'r *amen*." Gwir fod y gymydogaeth yn bur eang, ond yr oedd y pregethwr yn golygu dyfod i'r terfyn rhyw bryd. Yr wyf am hysbysu na bydd ond un ysgrif ar ol hon, ar y pwnc yr ydym wedi ceisio ei godi i sylw yn yr erthyglau hyn.

*Yr Hen Lyfr*

y cyfeiriasom ato yw y Beibl Teuluaidd sydd wedi gadael cymaint o'i argraff ar y llwyth diaconaidd a nodasom, o waed Cymreig. Fel hyn y soniai Rachel Powell, merch yr hen flaenor John, a chwaer y blaenor Abel G., sydd yn awr o dan fy ngofal yma: Yn ol a ddysgais i, meddianwyd y llyfr yn gyntaf gan Richard Miles, Cymro a ddaeth i'r wlad hon, ac a sefydlodd yn neu gerllaw i Montgomery County. Ar farwolaeth hwn, daeth y Beibl yn eiddo i'w fab-yn-nghyfraith, y Parch. Benjamin Griffiths, ac ar ei ol yntau yn eiddo y Parch. Abel Griffiths, ei fab. Rhoddodd Abel ef i'w fab yntau, sef John, gan yr hwn ei cludwyd i Baltimore, lle y bu farw John Griffiths, yn Medi, 1795. Wedi hyn syrthiodd y trysor gwerthfawr i Elizabeth Griffiths, chwaer John. Yr oedd hon yn byw yn Philadelphia, ac felly anfonwyd y Beibl iddi hi. Ar y ffordd, yn Georgetown, ysbeiliwyd y llyfr o'r cefn, y *clasp*, a'r gofrestr deuluaidd. Bu hyn yn anffawd enfawr. Pa fodd bynag, yn y cyfryw gyflwr y daeth yr hen lyfr i feddiant Elizabeth, gor-wyres y Richard Miles a nodwyd. Ar ol marwolaeth hon trosglwyddwyd y Beibl i'w chwaer, sef Mrs. Rachel Powell, mam yr hen

flaenor John G., i'r hwn y rhoddodd hi y *relic* enwog. Am yspaid blynyddoedd bu y gyfrol sanctaidd o hanes dyddorol yn nhy hwn ac yn fendithiol i'w deulu. Mynai rhai o'r gweinidogion i'r hen frawd Powell osod y Beibl yn feddiant i'r enwad, a'i gyflwyno yn anrheg i Goleg Duwinyddol Rochester, N. Y., ond barnodd yntau yn naturiol y gallai fod o gymaint defnydd yn llyfrgell athrofa Lewisburgh, Pa., ac felly y bu. Yno y mae yr hen gyfrol gysegredig, ond mewn rhwymiad newydd. Y mae yn gyfieithiad hen, gan Theodore Beza, ac wedi ei argraffu yn Llundain, mor foreu a 1587.* Os yw yr Hen Lyfr anwyl wedi myned o feddiant y teulu diaconaidd, y mae ei ddylanwad yn aros, ac yn cael ei arddangos mewn aml i lythyr Crist a ddeallir ac a ddarllenir yn y parthau hyn.

*Yr Hen Wraig*

oedd mewn golwg genym sydd fam yn Israel, ac yn ymyl pedwar-ugain-a-deg oed. Y mae ei chartref o fewn tua thair milltir i Coatsville, yn West Coln. Ei henw yw Polly Doran. Mor foreu a Mai, 1814, bedyddiwyd hi, a chafodd ei derbyn yn aelod o eglwys y Dyffryn Mawr, tua deunaw milltir o Philadelphia. Dywedodd wrthym mai y Parch. Dafydd Jones, taid yr aelod o'r Ddeddf-wneuthurfa yn Harrisburgh, yr Anrh. Horatio Gates Jones, oedd yn pregethu pryd hwnw yn eglwys y Dyffryn. Gwelodd dad Horatio, mab y pregethwr Horatio, yn cael ei fedyddio. Nid oedd hi ond ieuanc iawn y pryd hwnw, a meddyliai fod y gweinidog yn greulawn dros ben pan yn bygwth boddi dyn! Cymro o Gymru oedd taid Mrs. Doran, a Jones oedd ei enw yntau hefyd. Wedi ymuno â'r achos pan nad oedd ond 21 neu 22 oed, y mae yn parhau yn selog neillduol dros ei hegwyddorion hyd y dydd hwn. Y mae ei brawd yn byw gyda hi, sydd tua blwyddyn a haner yn hynach; ac y mae yn bleser genyf alw i'w gweled a'u cysuro. Nid oedd amgylchiadau y chwaer Doran yn caniatau iddi gadw cerbyd, ac yr oedd tua saith milltir o'i thy i gapel Hephzibah, er hyn oll cerddai bob Sabboth agos am yspaid pymtheng mlynedd ac ychwaneg i'r addoldy ac yn ol. Unodd mewn priodas â Phabydd, ac ni chafodd fawr gefnogaeth gan ei gwr yn ei hymdrech i wasanaethu yr Arglwydd. Pa fodd bynag, y mae ei chlod yn y cylchoedd hyn am ei hymdrech a'i defnyddioldeb. Gosododd ei meddwl ar gael capel yn agos i'w chartref, ac y mae hen eglwys West Coln, lle yr wyf yn pregethu ddau brydnawn Sabboth yn y mis, yn gofgolofn i'w ffyddlondeb hi. Arferai y Parch. John S. Jenkins, gwr da o waed Cymreig, bregethu yma am flynyddoedd. Gobeithiwn y gwelir yr hen faes yn adfywio eto. Er nad oes ond ychydig o aelodau wedi eu gadael, y maent yn anturio gwneyd cryn gyfnewidiad yn agwedd y capel, yn ddioedi. Ceir yn y gladdfa sydd yn ymyl amryw enwau Cymreig ar y beddlechau. Cyn bo hir, gosodir gweddillion yr hen wraig i orphwys yn y *Necropolis* hon—dinas y meirw; canys er fod ei chof yn dda, a'i thafod a'i chalon yn iach, y mae yn gloff a ffaeledig ei haelodau.

Yn y nesaf, a'r olaf, o'r brys-ysgrifau hyn, gwnawn sylw o Hephzibah, ac o enwau Cymreigaidd y cylchoedd hyn.

*Dichon y carai rhywun hoff, fel fy hun, o hen bethau, i mi grybwyll fod yn meddiant y blaenor Abel G. Powell, hen lyfr a argraffwyd yn Llundain yn 1681, sef gwaith enwog Benj. Keach ar "Gydmariaethau Ysgrythyrol." Y mae hwn yn dwyn enw John Davies, 1733, yna Rachel Powell, nain Abel, yna Abel G. Powell, rhodd gan ei nain 1844.

---

—Mae Sultan Twrci wedi caniatau 1,500,000 o erwau o dir yn rhandir Gilead a Moab, i drefedigaeth Iuddewig. Y mae wedi derbyn ei dâl am y tir oddiwrth Iuddewon cyfoethog. Mae y tir wedi gorwedd yn hir yn ddidriniaeth, yn benaf o herwydd fod yr Arabiaid diddeddf wedi bod yn crwydro drwyddynt. Amcan yr Iuddewon ag ydynt yn trefnu yr anturiaeth yw sefydlu trefedigaeth fawr o'u cenedl yno.

—Dywed gohebydd o Rufain fod cynygion difrifol wedi cael eu gwneyd yn ddiweddar i'r Pab, yn ei anog i drosglwyddo sedd yr Esgobaeth Sanctaidd i America, lle y sicrheir sefyllfa annibynol iddo ef.

## COFIANT.

### Y DIWEDDAR BARCH. BENJ. E. BOWEN, OLYPHANT, PA.

---

Mae coffadwriaeth y da a'r rhinweddol yn werth ei gofnodi; yn ddyddorol i'r oes a ddel i'w ddarllen, ac edmygu y cymeriad Cristionogol yn myd y profedigaethau. Cymeriad wedi ei addurno â rhinweddau nefol ydoedd eiddo ein diweddar frawd Bowen. Yr oedd addfwynder a gostyngeiddrwydd yn nodweddion ei fywyd llafurus. Ni fynai wthio ei hun ar y blaen, ac i sylw cyhoeddus; na, blodeuyn ydoedd yn ngardd ei Arglwydd a ymagorai yn ei brydferthwch swynol, gan berarogli o'i gwmpas; nid yn aml y ceid ef yn y gwely blodau, ond yn nghwr yr ardd, ac yno yn gwenu ar bawb o'i amgylch. Mae'r seren wibiog, gynffonog, yn galw sylw'r byd ati pan wnel ei hymddangosiad; nid comed oedd y brawd, ond seren sefydlog y gwyddid pa le i'w chael yn nos adfyd, ac yn hwyrddydd bywyd. Nid gwynt ystormus ydoedd, yn cynhyrfu ffordd yr elai, ond awel fwyn ac adfywiol yn nydd y poethder mawr; afonig ddofn yn ymddolenu drwy'r glyn yn ddystaw ac araf, ac nid cornant trystfawr, yn agored i sychu yn nhymor haf, yn ansefydlog fel Ephraim, gan droi yn siomiant i'w edmygwyr. Na, deuai atom fel gwlithyn perlog, yn dawel a didwrw, ac nid yn ddylif i foddi y gymydogaeth; yn hyn yr oedd ei fawredd a'i ddefnyddioldeb yn gynwysedig. Un o fechgyn sir Gaerfyrddin ydoedd—un ardal, Rhydargaeau, yn adwedd iddo flynyddoedd ei oes—lle bu James Davies yn llafurio, David Evans, Ffynonhenry, â'i arabedd yn swyno'r bobl; a Joshua Watkins, Caerfyrddin, yn traddodi iddynt fawrion weithredoedd Duw.

Ganwyd Benjamin E. Bowen, Mai 10, 1810, mewn lle a adnabyddir wrth yr enw "Pen Boreu Bach," yn mhlwyf Abergwili. Nid ydym yn gwybod nemawr o hanes boreuol ein hanwyl frawd, amgen ei fod wedi dechreu ei yrfa grefyddol yn foreu, pan yn 13 oed—ei fod wedi dysgu y gelfyddyd o wneyd esgidiau yn dda, canys crydd oedd efe o ran ei alwedigaeth, a pharhaodd i raddau mwy neu lai drwy ei oes i ddilyn yr alwedigaeth hono; soniai lawer am y *lapstone*, a byddai wrth ei fodd ar y sedd yn y gweithdy. Tra yn ieuanc, gwnaeth ei ffordd tua'r gweithfeydd yn sir Forganwg; yr hanes cyntaf gawn am dano yw, ei fod mewn undeb crefyddol yn yr eglwys Gynulleidfaol yn Maesteg, a pherthynai i'r undeb parchus hwnw pan welsom ef gyntaf yn Minersville, Pa., yn y fl. 1845, ac yn cael ei gydnabod yn bregethwr derbyniol a chymeradwy yn eu plith. Yn y fl. 1831 ymunodd mewn priodas â Dinah, merch Jenkin Lloyd, o'r Wig, Morganwg, yr hon fu iddo yn ymgeledd gymwys yn mhob ystyr o'r gair; ac wedi cyd-rodio dan yr iau briodasol am 50 mlynedd, mae Mrs. Bowen wedi goroesi ei hanwyl briod, yn fam i ddeg o blant, tri o ba rai ydynt heddyw yn fyw. Yn Maesteg y dechreuodd ein hanwyl frawd a chwaer gyd-fyw yn y rhwymyn priodasol, ac o'r lle hwnw y cychwynasant i America yn y fl. 1840. Do, treuliodd ddeugain mlynedd yn ngwlad machludiad haul—deugain mlynedd yn yr anialwch cyn croesi'r Iorddonen i'r Ganaan hyfryd. Yn New Jersey y rhoddodd Mr. Bowen ei droed i lawr ar y cyfandir newydd; bu yno yn dilyn ei alwedigaeth dymhorol am tua blwyddyn o amser, ond o herwydd afiachusrwydd y lle, ymadawodd, gan groesi'r afon Delaware i Dalaeth Gwilym Penn, a syrthiodd ei goelbren yn Philadelphia, dinas y cariad brawdol, lle y bu ef a'r teulu yn aros am ystod pum' mlynedd, yn gysurus ac yn ddiwyd; ond awyddent am fwy o gymdeithas Gymreig, ac am y moddion crefyddol yn yr hen iaith anwyl yn yr hon y magwyd hwynt, ac y clywsant gyntaf son am Geidwad enaid—yn nghydag awydd yn y brawd i fod yn fwy defnyddiol a gwasanaethgar gyda'r achos goreu—yn fwy felly nag y gallasai fod yn mhlith yr Americaniaid. Daethont i Minersville, sir Schuylkill, yn 1845 neu 1846, ond byr fu eu harosiad yno; braidd cyn fod y babell wedi ei lledu, darbwyllwyd

hwynt i ymadael. Yr oeddent yn teimlo yn ddedwydd yn mhlith eu cenedl yn Maesdre'r Mwnwyr; yr oedd y lle yn un cynyddol y pryd hwnw, yr achos yn addawol a llewyrchus yn mhlith y Bedyddwyr a'r Annibynwyr, y brawd J. P. Harris yn bugeilio y gorlan Fedyddiedig, a'r Parch. R. R. Williams newydd ymsefydlu yn fugail ar yr eglwys Gynulleidfaol. Byddai ymfudwyr o'r Hen Wlad yn dylifo wrth yr ugeiniau i'r ardal hon yr adeg hono. Daeth ei frawd naturiol, y Parch. D. E. Bowen, heibio y pryd hwnw, yn esgob Carbondale, a dylanwadodd ei frawd a'r teulu i symud i Luzerne, y gwnelai yn well yno; felly cododd y brawd ei babell drachefn; ac ar ein hymweliad â Carbondale yr ydym yn ei gael yno, ac yn parhau gyda ei alwedigaeth, hefyd yn pregethu yr efengyl gyda nerth a deheurwydd mawr. Yn esgobaeth y diweddar a'r parchus frawd Lewis Williams, coffa da am dano, y boneddwr Cristionogol a welsom ni ynddo, wedi hir flynyddoedd o gydnabyddiaeth, y mae yntau yn dwysen addfed wedi symud o faes ei lafur i ddinas ei Dduw.

Ni bu arosiad y brawd Bowen ond rhyw bum' mlynedd yn Carbondale. Yr oedd Pittston (Pittston Ferry, fel y gelwid y lle y pryd hwnw) yn ei gynydd yn amlwg—y fasnach lo yn cael ei dwyn yn mlaen ar raddfa eang, a chyrchfa y Cymry tuag yno o'r Hen Wlad, ac o Schuylkill—addoldai newyddion wedi cael eu hadeiladu gan y gwahanol enwadau crefyddol, ac nid y lleiaf oedd eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn y lle. Yr oedd y brawd E. Edwards wedi bod yn llafurio am beth amser yn eu plith, ac wedi adeiladu capel cyfleus i addoli Duw ein tadau; ond ymadawodd y brawd oddiyno i Cincinnati, Ohio. Yr oedd y praidd erbyn hyn heb un bugail, a baich o ddyled ar lethu y frawdoliaeth. Daeth Pittston yn faes llafur gwrthddrych ein coffa, ac ymddangosai fod y lle a'r dyn yn cyfateb i'w gilydd.

Wedi i Mr. Bowen symud i Pittston, arwyddodd mai Bedyddiwr ydoedd o ran ei olygiadau ar ddull a deiliaid bedydd, a'i fod felly er pan oedd yn medru darllen a deall y Testament Newydd, ond fod rhyw gwlwm agos wedi ei ddal wrth ei hen frodyr Annibynol; eto ei fod ar hyd yr amser yn credu syniadau gwahaniaethol y Bedyddwyr, ac yn ystyried ei bod yn ddyledswydd arno i'w proffesu yn gyhoeddus, ac nid oes yr amheuaeth lleiaf am ei ddidwylledd, wedi gwasanaethu yr enwad Bedyddiedig drwy lawer o siomedigaethau hyd derfyn ei oes (dros ddeng mlynedd ar hugain). Er mor anhawdd oedd gadael hen gyfeillion ac arferion, y mae yn dadgysylltu ei hun oddiwrth undeb yr eglwys Gynulleidfaol, ac ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, bedyddiwyd ef yn ngwydd torf o dystion yn afon y Susquehanna, gan ei frawd, y Parch. D. E. Bowen. Derbyniwyd ef yn aelod y dwthwn hwnw, ac yn fuan cafodd alwad unfrydol i gymeryd gofal bugeiliol yr eglwys, ac urddwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth; y cyngor yn cael perffaith foddhad yn ei olygiadau ar bynciau sylfaenol crefydd, ac mai gwirionedd Duw, y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, oedd wedi bod yn foddion iddo ymuno â'r Bedyddwyr, a bu yn fugail ffyddlon a gofalus am flynyddau—ac ychwanegwn, yn llwyddianus hefyd yn llaw ei Dduw fel offeryn i droi lluaws at y Ceidwad. Ymdrechodd lawer i godi yr achos trwy Luzerne, yn nghwm y Lackawanna, ac yn nyffryn y Wyoming, o Carbondale i Wilkesbarre; a gellir dyweyd, Efe a lafuriodd, ac eraill a aethant i mewn i'w lafur. Yr oedd angen gweithwyr yn ngwinllan Crist yn ardaloedd Cymreig Luzerne y pryd hwnw.

Yr oedd y brawd William Richmond, un o'r hen *bioneers*, wedi myned yn hen, efe oedd tad eglwys fawr Hyde Park; arferai bregethu yn yn yr ysgoldy ar Shanty Hill, Scranton, a thrwy yr holl gylchoedd, cyn bod eglwysi rheolaidd wedi eu sefydlu mewn lleoedd lle mae yr achos yn flodeuog heddyw. Bu ein hanwyl frawd yn hau yr had ar hyd y meusydd, ac yn trafaelio yn aml o Pittston i Carbondale ar ei draed, wedi ymadawiad ei frawd,

y Parch. D. E. Bowen, o'r cylchoedd Cymreig, ac o'r Dalaeth wedi hyny.

Mae blynyddoedd bellach er pan ymadawodd y brawd Bowen o Pittston—un ar bymtheg o flynyddoedd oddiar ei symudiad a'i sefydliad yn Olyphant. Bu yn wasanaethgar i'r eglwys hon yn ei gwendid; gwerthfawrogid ei lafur yn eu plith, a theimlir colled fawr yn yr eglwys a'r ardal ar ol gweinidog heddychol ac ymdrechol. Yr oedd yn gof alu yn fisol am yr achos yn Carbondale tra y parhaodd ei nerth, ond o ran hyny bu farw yn yr *harness*, a gellir dyweyd am dano, "Da, was da a ffyddlon, buost ffyddlon ar ychydig. * * * dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." "Trwy ffydd y mae efe, wedi marw, yn llefaru eto." Heb. 11: 4. Gellir cymwyso geiriau yr Aposol Pedr, pan ar ddiosg ei dabernacl daearol—"Ac mi a wnaf fy ngoreu hefyd ar allu o honoch bob amser, ar ol fy ymadawiad i, wneuthur coffa am y pethau hyn." 2 Pedr 1: 15.

Nid oes genym ddim i'w ddyweyd am dano fel bardd a llenor, fel y dywedir am lawer y dyddiau hyn; ond gwyddom fod ynddo arabedd y gallai rhai beirdd fod yn falch o hono. Gwyddom ei fod yn feddyliwr gafaelgar, ac yn feddyliwr mawr, ond ni wyddom pa nifer o'i feddyliau tlysion sydd wedi eu rhoddi ar bapyr, eto gwyddom y bydd llawer o honynt ar gof a chadw yn meddwl y werin am amser hir, ac yn bendifaddeu yn fwy na'r cyfan, yr hoffem ei dduwiolfrydedd. Yr oedd Cristionogaeth y brawd Bowen nid yn unig yn y llyfr, ac yn y deall, ond wedi gwreiddio yn y galon, ac felly i'w gweled a'i theimlo yn y fuchedd; gweithiai allan ei hegwyddorion yn ei fywyd, a diau fod hyn yn annhraethol fwy gwerthfawr nag un ymhoniad a ellir wneyd. Nid yw ein holl eiriau na'n pregethau ond megys ûs a gwegi, heb fod y fuchedd yn cydbregethu. "Yr oedd iddo ef air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun." O, fy mrawd, fy mrawd, er trallodion y llawr, siomedigaethau, cystudd a galar, "ni ddygodd neb dy goron di."

Fel pregethwr, yr oedd ei bregeth bob amser yn drefnus, y geiriad yn bwyntog—trafodai ei fater yn oleu—deallai ef. Nid mewn niwl a thywyllwch y byddai yn siarad, ond yn y goleuni. Yr oedd y meddwl yn oleu, ac ymsaethai goleuni a gwres drwy ei holl bethau. Pregethu y gair oedd ei amcan. Byddai bob amser y clywais i ef yn fyr, ond yn swynol. Nid yn y llais yr oedd ei swyn ef, ond yn y pethau a ddangosai i'r bobl. Carem weled rhai o'i *sketches* gwreiddiol a tharawiadol yn ymddangos yn "Mhwlpud y Wawr." Ydyw, y mae yn llefaru eto, er wedi rhoi y tabernacl hwn heibio; cofir am ei weddiau; yr oedd yn hynod afaelgar o flaen yr orsedd, yn syml, ac anaml ei eiriau, tra yn galw ar enw yr Arglwydd. Gwr yn ymdrechu â Duw oedd efe, ac yn gweddio mewn gweddi; siaradai yn ffyddiog ac yn hyderus â'i Dad nefol. Ni chlywsom ef erioed, fel y mae arfer rhai, yn amgylchu tir a môr, a ffynonau dyfroedd, tra yn nghymydogaeth yr orsedd; gwell ganddo ef oedd gweddio yn y bregeth na phregethu yn y weddi, ac nid anghofir ei eiriau sobr a difrifol—ydyw, y mae yn llefaru eto, er wedi marw.

Yr oedd y brawd yn hollol ymddiriedol fel cyfaill, ni wnai efe fychanu na bradychu ei frawd. Wedi gwneyd cyfaill, glynai wrtho drwy y blynyddoedd, ac ni ollyngai ei afael. Gwn fod ei afael yn gryf yn ei hen gyfeillion pan oedd angau yn tynu y ty o glai i lawr; ac yn llaw y Cyfaill goreu, y Cyfaill a lyn yn well na brawd, y glaniodd yn ddiogel yr ochr draw. Dyoddefodd gystudd yn amyneddgar; bu ei salwch yn hir a thrwm—yr oedd gwywder wedi ei ddal—dihoenai yn raddol. Yr oedd y flwyddyn ddiweddaf o'r einioes wedi pwyso yn drwm arno. Rhyw fis y bu yn gyfyngedig i'w wely, a thra yno awyddai am fyned adref. Yr oedd yn ymwybodol fod pen draw y daith yn agos, ac yn hollol dawel yn pwyso ei enaid ar air ac addewid ei Dduw—"Yr hwn y mae'r Mab ganddo, y mae ganddo fywyd." "Ni frysia yr hwn a gredo." Trefnai, ac ymddyddanai am bethau perthynol i'w

gladdedigaeth gyda'r tawelwch mwyaf; yr oedd ofn marw wedi ei symud. Dywedai wrth yr ysgrifenydd, nad oedd am iddynt wneuthur rhyw arddangosiad o'i gorph ar ddydd yr angladd. Gofynodd a wnai yr ysgrifenydd bregethu ei bregeth angladdol—fod ganddo destyn wedi ei ddewis, ac adroddai eiriau y Salmydd, "Arwain fi a'th gyngor, wedi hyny y'm cymeri i ogoniant." Addawsom wneuthur, yn nghydag ysgrifenu nodion bywgraffiadol ar ei ol (os mai hyny oedd ewyllys yr Arglwydd).

Gofynasom iddo pan ar lan yr afon, a swn ei thonau yn cylchynu ei enaid, os oedd y pethau ag oedd wedi bregethu i eraill yn werthfawr iddo yn awr yn y cyfyngder olaf? "O," ebai efe gyda nerth, ac effaith trydanol, yn ei lais crynedig, a gwên byd arall ar ei ruddiau, "O, y maent yn aur pur—yn *dal*," ebai efe, "fy unig gysur ydynt—maent yn gryfach na phileri y greadigaeth." Do, aeth o'i ludded i dangnefedd, gan adael priod a phlant i ddwys alaru ar ei ol. Mae'r chwaer Bowen wedi ei gadael yn weddw; wedi bod yn cyd-ddwyn yr iau am haner canrif. Gwnaeth ei rhan fel cydmares gwr Duw. Cafodd nerth gan yr Arglwydd i weini ar ei hanwyl briod hyd y diwedd. Barnwr y weddw fo yn nawdd iddi yr ychydig sydd yn weddill o'i heinioes. Y mae ei hunig ferch, sef gweddw y diweddar Dr. Roberthon, o Hyde Park, wedi cael, ac yn teimlo, colled fawr ar ol ei hanwyl dad a'i chyfaill daearol goreu. Yr oedd yr afael a'r ymlyniad o bob tu yn gryfach na'r cyffredin. Mae'r chwaer anwyl hon wedi colli ei hiechyd, wedi ei gadael yn amddifad yn nhy ei mam, gyda ei phedwar bychain amddifaid. Tad yr amddifaid ledo ei aden dros y gweddwon a'r plant amddifaid. Ni chaf ond enwi y ddau fab. Y mae y Parch. B. F. Bowen yn Randolph, Sir Cattaraugus, N. Y., a'r brawd Lloyd Bowen yn Sir Venango, Pa.

Y mae ein hanwyl frawd wedi ein blaenu; gorphenodd ei yrfa ar y 26ain o Fehefin; ei anhwyldeb oedd clefyd yr arenau, neu yr hyn a eilw y meddygon *diabetes*—aeth tu draw i fedrusrwydd dynol i'w wella, er gwneyd pob ymdrech. Claddwyd ei weddillion marwol yn mynwent Washburn Street, Hyde Park. Wrth y ty darllenodd a gweddiodd y brawd T. T. Williams, Karr's Run, O. Pregethodd J. P. Harris, Providence, ar ei ddymuniad, ac ar destyn o'i ddewisiad, y bregeth angladdol (Salm 74: 24), a gwnawd sylwadau pwrpasol gan y brawd B. W. Thomas, Jackson St., Hyde Park, yn yn yr iaith arall. Ar lan y bedd siaradodd y brodyr Theophilus Jones, Wilkesbarre, a D. Rhoslyn Davies, Kingston, yn deimladol a hiraethlawn iawn, a gweddiwyd gan y brawd W. F. Davies, Nanticoke. "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd."

J. P. HARRIS.

---

## GOFYNIADAU.

*Mr. Gol.*—Gan mai cyfrwng yw y WAWR, er goleuo y deall, a gyru ar ffo bob cwmwl tywyll oddiar len hanesyddiaeth, agoryd hen gloiau dyrys y gwyddorau, a myned i mewn i athroniaeth pynciau mawr y gyfrol ysbrydoledig, erfyniaf arnoch roddi lle i'r pwtyn bychan hwn.

*At y Parch. Ll. Rees, Johnstown.*

Hynaws gymrawd. Hoffwn i chwi roddi ychydig eglurhad ar a ganlyn: Mewn pa beth, neu bethau, yr oedd ymddygiad yr Iuddewon, yn eu prawf diweddaf o Grist, yn anghyson â'u deddf a'u harferion. Pob llwydd i'r WAWR a'i Gol. anturiaethus. Yr eiddoch,—*Ymofynydd.*

*At y Parch. John Evans, Westerly, R. I.*

Wrth roddi ystadegau y gwahanol enwadau yn y WAWR dro yn ol, dywedwch y Pump enwad Protestanaidd. Ar ba dir y gelwch y Bedyddwyr yn Brotestaniaid? Os syrth y gofyniad eich sylw, dymunaf i'r Parch. Ll. Rees wneyd sylw o hono.—*Bedyddiwr.*

*Mr. Golygydd*—Carwn gael eglurhad ar y brawddegau canlynol, y rhai yd-

ynt yn dra thywyll i mi, yn eu perthynas ac yn gysylltiedig â Rheolau Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania: Y peth cyntaf, Tri o bersonau yn ogyfuwch yn y Duwdod. Y gofyniad cyntaf, Pa faint sydd yn bodoli yn y Duwdod, a pha faint o nifer sydd? Yn ail, Pa sawl Person sydd yn y Duwdod, a pha beth y mae Person yn ei olygu fel trosglwyddiad i ni eu hamgyffred. Y brawddegau tywyllion eraill sydd yma i mi ydynt, gofyniad cyntaf, Beth sydd i'w olygu wrth Etholedigaeth Dragywyddol, Pechod Gwreiddiol, Prynedigaeth Neillduol?

Brawddeg arall sydd dywyll i mi, sef "Gras effeithiol mewn ail enedigaeth."

Anwyl frodyr, nid wyf yn gofyn y gofyniadau uchod er mwyn cecru â neb, ond er mwyn eglurhad a goleuni ar y pwnc; a rhag i'r gofyniadau fyned yn ddisylw, cyfeiriaf hwynt at y Parch. T. Thomas, Sharon, Pa., Ysgrifenydd y Gymanfa. Yr eiddoch yn rhwymau cariad, DAVID MATHEWS.

*Mineral Ridge, O.*

# Bwrdd y Golygydd.

## Y PARCH. ALEXANDER CARSON, LL. D.

Yn y *Greal* am Gorphenaf, ysgrifena y Parch. Owen Davies, Caerynarfon, am y gwr enwog uchod fel y canlyn:

Ganwyd Dr. Carson yn Ngogledd yr Iwerddon, yn y flwyddyn 1776. Ysgotiaid oedd ei rieni, ond eu bod wedi myned i'r Iwerddon i fyw. Wedi derbyn pob addysg gyrhaeddadwy yn agos i'w gartref, anfonwyd ef i brifysgol Glasgow, a dywedir iddo ddyfod yr ysgolhaig goreu yn y lle. Yr oedd wedi ymuno â'r Presbyteriaid er yn ieuanc; a phan yn ddwy-ar-hugain mlwydd oed, ordeiniwyd ef yn weinidog ar eglwys Bresbyteraidd yn Tubbermore, Iwerddon. Yn fuan wedi ei ordeinio, priododd â Miss Margaret Ledlie, merch i foneddwr cyfrifol a chyfoethog, a chafodd ynddi gydmares bywyd o'r fath fwyaf rhagorol yn mhob ystyr. Yn y flwyddyn 1804, yn mhen tua phum' mlynedd ar ol ei ordeinio, cyfnewidiodd ei olygiadau ar drefn eglwys, a gadawodd y Presbyteriaid, ac ymunodd â'r Annibynwyr. Yr oedd y cam hwn yn un tra cholledus iddo mewn ystyr dymorol, canys yr oedd yn derbyn cyflog cysurus gyda y Presbyteriaid; ond nid oedd golwg am ond y peth nesaf i ddim, yn yr ardal hono, gyda'r Annibynwyr. Yn ngwyneb hyn, cymerodd fferm yn y gymydogaeth, yn yr hon y magodd dri-ar-ddeg o blant. Ymddengys mai y wraig oedd yn gofalu yn gwbl bron am y fferm, a phethau amgylchiadol eraill, tra yr oedd yntau yn ymroddi at waith y fyfyrgell. Ymddengys iddo fod am tua deng mlynedd yn pregethu mewn ysguboriau a thai anedd, gan nad oedd ganddo ef na'i bobl fodd i adeiladu capel. Yn y flwyddyn 1814, adeiladwyd capel rhad a diaddurn, yn yr hwn, wedi amryw adgyweiriadau, y bu yn llafurio am tua deng-mlynedd-ar-hugain. Yn mhen rhai blynyddau wedi i Dr. Carson fyned at yr Annibynwyr, ymunodd y ddau Haldane o Scotland â'r Bedyddwyr, ac anfonasant genadwr i bregethu i'r Iwerddon. Tynodd athrawiaeth y cenadwr sylw rhai o bobl Dr. Carson, a gofynasant iddo ysgrifenu yn eu herbyn. Ymgymerodd yntau â'r gwaith, ac wedi bod yn llafurio am tua mis, methodd a myned yn mlaen heb newid ei ochr. Argyhoeddwyd ef yn llwyr mai y Bedyddwyr oedd yn iawn ar fedydd; ac un prydnawn Sadwrn, llosgodd yr hyn a ysgrifenasai, a'r Sabboth canlynol, cyhoeddodd ei hun yn Fedyddiwr. Wrth iddo egluro gweithrediadau ei feddwl, daeth y rhan fwyaf o'r eglwys yn Fedyddwyr i'w ganlyn, ac felly ni newidiodd ei gapel, ac ni newidiodd ei eglwys; a'r fath oedd ei anwyldeb at bobl ei ofal, fel y methwyd ei gael oddi wrthynt hyd angeu, er cael

gwahoddiadau oddiwrth eglwysi mawrion, a chael cynyg hefyd ar y gadair Roeg yn Mhrifysgol Glasgow. Bu amryw droion ar daith trwy Scotland a Lloegr, ac yn 1844 bu hefyd yn Nghymru. Wrth ddychwelyd y tro hwnw i Belfast, tra yn dysgwyl y llestr yn Lerpwl, dygwyddodd iddo, yn hollol ddamweiniol, i syrthio i un o'r *docks*. Yn ffodus, yr oedd dyn yn ei ymyl yn ei weled, a chafwyd ef allan yn fuan, ond yr oedd wedi derbyn cryn niwed. Aeth yn mlaen i Belfast gyda yr agerlong gyntaf, ond bu farw yno yn mhen wyth niwrnod, sef ar y 24ain o Awst, 1844.

## UNDEB CYMANFAOL.

Mewn traethawd gan y Parch. C. Davies, Lerpwl, yn y *Greal* am Gorphenaf, mae y sylwadau canlynol ar Annibyniaeth Eglwysig a dybenion yr Undeb Cymanfaol :

Nid oes gan y cyfryw Gymanfa neu gyngor unrhyw awdurdod i lywodraethu ar yr eglwysi, nac i rwymo ei benderfyniadau arnynt. Cyngor, a chyngor yn unig, sydd gan bob rhyw Gymanfa fel hyn i'w roddi; nid deddf, na gorchymyn, na bygythiad awdurdodol. Ac nid prawf o wendid ynddi yw hyn, ond o wir nerth, sef y nerth moesol hwnw sydd gynwysedig mewn cyngor doeth a charedig, a'r unig nerth sydd yn gyson âg ysbryd Cristionogaeth bur.

Mor bell ag yr wyf fi wedi sylwi ar ddeddfau cyfansoddiadol Undeb Bedyddwyr Cymru, a rheolau ein Cymanfaoedd, nid ydynt ond cyfryngau o undeb cariadlawn rhwng yr eglwysi; ac ni phroffesant wneuthur mwy na chyfarwyddo a chyngori; ac y maent yn cyfyngu eu hunain i'r pethau hyny a berthynant i lesiant cyffredinol yr achos yn ein plith, heb ymyryd âg amgylchiadau mewnol yr eglwysi.

Nid wyf yn meddwl y dylid edrych ar gynadledd Cymanfa fel cynadledd o *gynrychiolwyr* yr eglwysi. Cynrychiolydd ydyw un wedi ei ddanfon gan eraill gydag awdurdod i weithredu drostynt. Yn awr, os yw eglwys yn awdurdodi unrhyw un i'w *chynrychioli* mewn cynadledd, y mae yn rhwymo ei hun i gydsynio a chydweithredu â'r penderfyniad y delo y gynadledd iddo; yr un fath ag y mae teyrnas neu lywodraeth wrth benodi person neu bersonau i'w chynrychioli mewn llys neu gyngorfa rhwng-genedlaethol, yn rhwymo ei hun i dderbyn y penderfyniad y deuir iddo. Y mae eglwys wrth ddewis un i'w chynrychioli, yn rhoddi yn llaw *un*, y gallu sydd yn perthyn yn briodol i'r llawer; ac yn rhoddi ar arall yr awdurdod a'r cyfrifoldeb a ymddiriedwyd ac a roddwyd yn unig iddi hi ei hunan fel cymdeithas. Nid yw eglwys i fod yn gyfrifol am gario allan ddim ond a benderfyno hi ei hun; ond y mae yr egwyddor o gynrychiolaeth, os wyf yn ei deall yn iawn, yn symud y cyfrifoldeb a'r awdurdod o'r eglwys, ac yn ei osod mewn cynadledd o gynrychiolwyr.

## YN Y GORLLEWIN.

Hysbys i lawer o'n darllenwyr, bellach, fod y Parch. Joseph T. Jones wedi ymadael o Johnstown, ac wedi myned i Dodgeville, Wis. Cychwynodd oddicartref foreu dydd Mercher, Awst 17, er gallu cyrhaedd yn gysurus i wasanaethu ar y Sabboth canlynol. Yr oedd y brawd parchus Mr. Jones yn myned i Dodgeville trwy gael gwahoddiad cynes gan y brawdoliaethau yno. A thebyg iawn os byddant yn hoffi eu gilydd y bydd efe yn ymsefydlu yn eu plith. Mae yno ddwy eglwys heb fod yn lluosog, er hyny maent o *quality* pur dda, ni gredwn. Mae yno frodyr a chwiorydd a chyfeillion selog. Hiraethant yn fawr ar ol eu diweddar weinidog, y Parch. Thos. Holland—dyn, Cristion, a phregethwr gwir dda. Hiraethant hefyd ar ol yr hen frawd calon-dda, Trebor. Hoffaf weled arwyddion o deimladau felly. Rywsut neu gilydd, mae mwy o gynesrwydd, serchawgrwydd, brwdfrydedd, a sel Gristionogol yn eglwysi y Gorllewin nag yn y Dwyrain; o'r hyn lleiaf dyna ein barn ni; ac y mae llawer iawn o'r elfenau da hyny yn Dodgeville

a'r gymydogaeth. Yn y gymydogaeth hon yr ymgartrefa y Parch. Meredydd Evans, pregethwr da, cyfaill cywir, a Christion ffyddlon—ac yn Fedyddiwr hefyd. Y mae efe yn myned y'mlaen mewn blynyddau, a galwedigaethau ei fywoliaeth yn gyfryw fel nad ydyw yn teimlo i gymeryd gofal yr eglwysi. Y mae efe yn llenor a bardd gwych. Nid oes caredicach pobl i gael i bregethwyr nag efe a'i briod. Y mae brawd arall cystal ag yntau, wedy'n, yn byw gerllaw, sef y Parch. D. M. Powell. Y mae yntau yn teimlo gyda golwg ar y weinidogaeth yn debyg i'r brawd Evans. Y mae ei dy ef hefyd yn agored i bregethwyr, ac nid oes terfyn ar garedigrwydd Mr. a Mrs. Powell. Bydd y brodyr da hyn, yn gystal a'r aelodau yn gyffredinol, yn llawen i weled rhyw frawd da yn dyfod i lafurio yn eu plith. Mae y Parch. Wm. Jones gerllaw, a bydd yn dda gan ei galon gael cymydog newydd o weinidog, yn perthyn i'w bobl ef, y rhai a gred efe ydynt yn dilyn apostolion yr Oen.

Wel, llwyddiant i'r Parch. Joseph T. Jones yn Dodgeville, a Salem y Coed. Da genym iddo dderbyn cymaint o arwyddion o barch diffuant yn Johnstown ar ei ymadawiad oddiyno. Parhaed brawdgarwch.

---

## YR ARLYWYDD.

Mis o bryder dwys oedd y mis diweddaf mewn perthynas i'r Arlywydd —weithiau byddai y gobeithion am ei adferiad yn uchel, tra ar brydiau eraill byddent bron a diflanu yn llwyr. Ond y dyddiau mwyaf pruddaidd mewn perthynas iddo oeddynt ddydd Gwener a dydd Sadwrn, y 26ain a'r 27ain, pryd y rhoddodd yr holl feddygon fyny bob gobaith, a dysgwyliai y wlad glywed am ei farwolaeth ar y Sabboth. Ond yn ddiweddar brydnawn Sadwrn, cymerodd tro le, a pharhaodd arwyddion o wella drwy y diwrnod ddydd Sul, ac erbyn boreu Llun, y 29ain, mae y meddygon yn dra gobeithiol am ei adferiad—er, wrth gwrs, y mae eto mewn cyflwr tra pheryglus. Gofynir amryw ddyddiau o welliant cyson, cyn y gellir ystyried ei adferiad yn sicr.

---

## CYMANFAOEDD CYMRU.

[Yr oeddym wedi bwriadu cyhoeddi yr hanesion canlynol yn ein rhifyn diweddaf, ond o ddiffyg gofod cawsant eu hoedi hyd yn awr. Nid yw eu dyddordeb yn ddim llai yn bresenol.]

*Cymanfa Mynwy.*—Cynaliwyd yn Nebo, Glyn Ebbwy, Mai 24, 25. Yn Bengoed bydd y Gymanfa nesaf, y Parch. J. G. Davies, Beulah, yn llywydd. Aeth y brodyr oll drwy eu gwaith yn ganmoladwy.

*Yr Hen Gymanfa.*—Cynaliwyd yn Llandrindod, Meh. 1, 2. Neillduwyd y Sul cyntaf yn Awst i weddio am dywalltiad yr Ysbryd Glan, er adfywio credinwyr a dychwelyd pechaduriaid.

*Cymanfa Arfon.* — Cynaliwyd yn ninas henafol Bangor, Meh. 8, 9. Y llywydd, yr hen dad y Parch. R. Jones, Llanllyfni. Y Gymanfa nesaf i fod yn Pwllheli; Richard Williams, Ysw., Garn, yn gadeirydd. Anogwyd haelionusrwydd at y gymdeithas genadol. Cafwyd Cymanfa dda.

*Cymanfa sir Benfro.*—Cynaliwyd yn Blaenconin, Meh. 7, 8. Darllenodd y cadeirydd, y Parch. H. Price, bapyr dyddorol ar "Grefydd gyhoeddus," neu "Grefydd yn ngwydd y byd." Pasiwyd 29 o benderfyniadau, un o ba rai oedd neillduo y Sul cyntaf yn Awst i weddio am dywalltiad yr Ysbryd Glan. Y Gymanfa nesaf i fod yn Ebenezer; Dr. Davies, Hwlffordd, yn Gadeirydd. Mae y Gymanfa hon yn awr wedi ymuno âg Undeb Bedyddwyr Cymru.

*Cymanfa Dinbych, Fflint, a Meirion.* —Cynaliwyd yn Penycae, Meh. 14, 15. Pasiwyd yn mhlith pethau eraill, "Ein bod yn rhoddi derbyniad cynes i eglwys Bootle a'i gweinidog parchus i'n Hundeb Cymanfaol." Nid oes gwell gweinidog, dyn, a Christion yn Lerpwl na Mr. Davies; brawd da sydd yn

teimlo gwir ddyddordeb yn yr achos ydyw ef. Hiraethir yn y Gymanfa hon ar ol y brawd anwyl ymadawedig, y Parch. Henry Morgan, Dolgellau.

*Cymanfa Caerfyrddin ac Aberteifi.*—Cynaliwyd hon yn Nghwm-sarn-ddu, Meh. 14, 15. Yr oedd yr oll bron yn cael eu cynal mewn cae cyfleus, a chafwyd Cymanfa lewyrchus. Bydd y Gymanfa nesaf yn Mhen-y-parc, a'r llywydd am y flwyddyn yw y Parch. J. Jones, Felinfoel.

*Cymanfa Mon.*—Cynaliwyd yn Amlwcb, Meh. 15, 16. Cadeirydd, y Parch. D. Thomas, Llangefni; caed anerchiad prydferth ganddo. Da oedd sylwi ar sel a chydweithrediad y brodyr drwy yr ynys. Yr oedd darpariadau cyfeillion crefyddol Amlwch yn helaeth a chroesawus. Rhyfedd fel y mae bron yr holl gymanfaoedd yn cael eu cynal ar yr un dyddiau.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae amryw o'r hen bererinion Cymreig wedi marw yn ddiweddar yn Utica, N. Y. Bu tri o honynt farw mewn oedran teg, yn mis Awst. Mri. William Williams a David Morgan, buont hwy yn ddiaconiaid yn yr eglwys Fedyddiedig Gymreig am flynyddau—y llall ydoedd Mr. Thomas Davies, gwr a berchid yn gyffredinol. Fel hyn y mae'r Cymry yn myned yn llai eu nifer yn barhaus yn y parthau hyn.

—Mae y frawdoliaeth yn Sharon, Pa., yn hynod weithgar a llwyddianus ar hyn o bryd o dan weinidogaeth y Parch. J. T. Griffiths. Un o'r pethau da a wnant ydyw rhoddi y capel o dan adgyweiriad trwyadl. Bydd y treulion o wneyd hyn uwchlaw tri chant o ddoleri. Gwaith da a gwir angenrheidiol. Cynaliwyd cwrdd agoriodol ar y Sabboth, yr 28ain o Awst, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. David Probert, Youngstown, ac Edward Jenkins, Palmyra.

—Yn Church Hill, O., mae yr eglwys a'r gynulleidfa yn defnyddio y Llawlyfr Moliant i bwrpas. Arweinia y brawd D. D. Griffiths y canu yn fedrus. Anfynych y gwelir neb yn arwain y canu yn fwy hunan-feddianol a sicr—ä yn mlaen gan ddal ei ben yn *steady*, megys ar led-ochr, ond heb droi ar y dde na'r aswy. Mae yr eglwys mewn cyflwr siriol, a'r teimladau yn dda yn mhlith y frawdoliaeth. Y mae'n ddrwg iawn genym glywed am y ddamwain ofidus a gyfarfyddodd â'r brawd Benjamin Williams. Gobeithiwn yn fawr y bydd ar y ffordd i wella yn fuan. Cael niwed i asgwrn ei frest a wnaeth yn y gwaith, os hysbyswyd ni yn gywir.

—Bydd yn dda gan lawer ddeall fod yr eglwys yn Newburgh, O., yn bywiocau a lluosogi o dan weinidogaeth y Parch. James F. Richards.

—Er fod y gweithfaoedd glo o amgylch Coalburgh yn darfod, a'r gweithwyr yn gorfod myned i bellder o ffordd o'r lle bob dydd i'r gweithiau ydynt wedi agor yn y gymydogaeth, mae yr eglwys a'r gynulleidfa yn dal heb leihau.

—Rywfodd dygwyddodd casgliad o $2.15 o eglwys Hubbard, O., gael ei adael allan o gyfrifon Ysgrifenydd y Gymanfa, yn y rhifyn diweddaf.

—Yr oedd gweinidogaeth y Parch. D. Rhoslyn Davies yn gymeradwy iawn yn Pittsburgh, ar ei ymweliad diweddar â'r frawdoliaeth yno.

— Mae llawer iawn o Fedyddwyr Cymreig, a phregethwyr hefyd, yn ymsefydlu yn Palmyra, O. Y mae y lle yn dod fel math o Jerusalem. Deallwn fod gweinidogaeth Mr. Jenkins yn cymeryd yn dda, gan fod y capel yn rhy fychan i gynwys y gwrandawyr yn aml. Nid rhyw dda mae y gweithfeydd yn myned yn ddiweddar.

—Mae y Parch. Iago W. James wedi bod yn wael ei iechyd yn ddiweddar; ond mae yn gwella yn raddol.

—Bu y Parch. T. P. Morgan, Ashland, Pa., yn *supplyo* yn Thomastown, O., yn Awst. Sonid am ei gael yn weinidog.

—Ebe gohebydd: Ddydd Sabboth, Awst 21, yr oedd yr hybarch David Evans yn *supplyo* yn Church Hill, y Parch. James F. Richards yn Girard, Giraldus yn Weathersfield, a'r Parch. Mr. Morton yn Mineral Ridge. Yn Bryn Eglwys yr oedd Mr. Evans yn dyddanu ac adeiladu y saint, Richards yn Girard, yn traethu y genadwri mewn arddull cydweddol ag enw y lle hefyd, sef â nodwedd Seisnig, a llenorol; h. y., mwy yn arddull y dyddiau diweddaf hyn, gyda mwy o deimlad a thân nag a geir yn gyffredin. Giraldus, yntau, yn Weathersfield, yn ddarluniadol, ac efallai yn ymylu tipyn ar y barddonol, megys a wneir wrth ddarlunio y tywydd a'r maesydd. Mr. Morton yn Mineral Ridge, yn trin y *minerals* a geir mor gyflawn yn mwngloddiau yr Ysgrythyrau. Gwnaeth y pedwar eu goreu, mae yn debygol.

—Mae yr hybarch dad, y Parch. David Probert, yn fawr ei barch yn Youngstown. Mae yr eglwys hono yn parchu ei hunan wrth barchu ein hanwyl frawd. Yn Youngstown mae y Proff. Phillips. Mae yn gwneyd yn dda.

—Cafodd y Parch. Saml. Job, Cleveland, O., dderbyniad croesawgar yn Nghymru. Cwynai am na chafodd fwy o amser i ymweled a gwahanol fanau yn y Dywysogaeth. Mae yn edrych yn rhagorol. Bu uwch ben bedd Nefydd, meddai, yn fyfyriol a hiraethlon, am haner awr.

# Barddoniaeth.

## DUW.

[Y gân ardderchog ganlynol sydd allan o gasgliad Rwssiaidd, ac a gyfansoddwyd gan yr enwog fardd Derzavine. Dywedir iddi gael ei chyfieithu i'r Japanese trwy orchymyn yr Ymerawdwr, a'i gosod i fyny mewn gemwaith aur yn nheml Jeddo. Cyfieithwyd hi hefyd i'r Chineaeg a'r ieithoedd Tartaraidd, ac wedi ei hysgrifenu ar ddarn o sidan prydferth, a'i gosod i fyny yn y palas breninol yn Pekin. Mae yn gyfansoddiad ardderchog, ac yn deilwng o'r holl gyfryw anrhydedd.]

CYFIEITHIAD.

Drag'wyddol UN, wyt holl-bresenol DDUW;
Wyt lon'd diddymdra, ac ANFEIDROL FOD:
Trwy chwyldroadau, digyfnewid wyt;
Wyt unig Dduw, heb arall ond tydi;
Wyt uwchlaw pawb, ac yn alluog Ior—
Anamgyffredawl, annarluniawl byth;
Wyt lon'd bodolaeth, heb ond TI DY HUN,
Yn cynwys, cynal, ac yn llywio'r oll;
Am nad oes arall, galwn di yn Dduw.

Gall athronyddiaeth yn ei hymchwyl dwfn
Fesur y dyfnder, rhifo'r tywod mân,
Neu fân ronynau 'r haul: ond ti, O Dduw,
Nid oes it' bwysau, na mesur, ac nid oes
A ddring i'th ddirgelion. Rheswm sydd fflam;
Er wedi ei gyneu genyt, ofer byth
Yr ymchwil i'th fwriadau dyfnion cudd;
Dychymyg ymgolla mewn trag'wyddol fyd,
Fel awr yn colli mewn trag'wyddol rawd.

O ddim dechreuawl gelwaist oll i fod,
*Kaos*—Bodolaeth wed'yn. Arglwydd! Tydi
Oedd sylfaen Trag'wyddoldeb—pobpeth oll
O honot, gwawl a dedwyddwch unawl ddaeth,
Awdwr prydferthwch—hollgyfoethog Dduw;
Dy air a greodd bobpeth ac mae'n creu;
D'ogoniant leinw'r gwagle â Dwyfol wawl;
Yr wyt, yr oeddit, ac a fyddi byth,
Yn rhoddwr bywyd, a chynalydd mawr.

Dy linyn a gylchyna'r bydoedd oll,
A'u cynal, a chael genyt anadl byw;
Rhwymaist y Dechreu wrth y Diwedd mawr;
Bywyd a marwolaeth, cymhlethaist hwy,
Fel gwreichion yn esgyn o angerddol fflam;
Heuliau a enir—bydoedd a wreichioni Di,
Fel perlau eirian yn ngronynau'r haul,
Yn gwneyd yr eirian arian, a holl rwysg
Llu'r nefoedd sydd yn datgan byth dy fawl.

Myrdd o fan ffaglau daniwyd gan dy law,
Ymgrwydrant byth o fewn y gwagle dwfn,
Yn rhwym i'th allu, ac yn gwneyd dy arch;
Nofiant mewn bywyd, ac y'nt hyawdl i fawl;
Pa beth y'u galwn? Talpiau grisial pur,
Gogonawl uniad y'nt o ffrydiau aur;
Llusernau 'n llawn ufelwy'n ddysglaer fflam,
Heuliau yn llawenhau cysawdiau fyrdd,
A thithau iddynt fel mae'r lloer i'r nos.

Iê, fel dyferyn dwfr yn y môr,
Syrth eu gogoniant yn dy ymyl di;
Beth yw deng mil o heuliau ger dy fron?
Gan hyny, beth wyf fi? Afrifed lu,
A'u lluoseiddio fil-waith, ac o'u rho'i
Yn ngwisg dychymyg, â'u holl addurn byw,
Ni f'ai ond gronyn yn dy glorian di;
Ger dy ogoniant megys diddim yw,
Ger anfeidroldeb beth wyf fi ond dim!

Dim—Ond dylifiad o dy ddwyfol wawl,
Dy wybiawl fydoedd i'm myfyrdod ddaeth,
Ac yn fy ysbryd t'wna'th Ysbryd Di;
Megys dysgleirdeb haul mewn gwlithyn bach;

Dim!—Ond 'rwy'n byw—ar edyn gobaith af
Yn sywiog i dy wyddfod; ynot Ti
'Rwy'n byw, anadlu, ac yn dringo 'n uwch,
Hyd ymyl gorsedd dy Ddwyfoldeb claer,
Yr wyf, O! Dduw, a rhaid i tithau fod.

Yr wyt!—yn tywys pobpeth, ac yr wyt!
O! tywys fy neall atat ti dy hun;
Arwain fy ysbryd a fy nghrwydrawl serch,
Os gronyn wyf mewn trag'wyddoldeb mawr,
Eto wyf rywbeth luniwyd gan dy law,
Yn dal canolbwynt rhwng y nef a'r llawr,
Ac ar derfyngylch bodaeth sefyll 'rwyf,
Gerllaw 'r uchaf-lys, lle ca'dd engyl fod,
Ac ar derfyngylch yr ysbrydol fyd.

Cadwyn bodolaeth sydd gyflawn ynof fi,
Gwehelyth mater ynof ymgolla 'n llwyr.
Y raddfa nesaf—Ysbryd!—Duwdod; ond,
Gallaf reoli'r mellt, ac eto'n llwch;
Wyf deyrn, a chaethwas; wyf bryfyn, a Duw;
Pa fodd y daethum? Mor ofnadwy yw.
Fy nghreu a'm geni y'nt ddirgelwch dwfn,
Tywarchen godwyd gan ryw allu uwch,
Nis gallai yn ddamweiniol neidio i fod.

Greawdwr! dy ddoethineb a dy Air,
A'm creodd—Ffynon bywyd wyd;
Ysbryd fy ysbryd, a fy Arglwydd Ior,
Cyflawnder d'oleuni a dy gariad pur,
A'm llanwodd ag anfarwol enaid, fel
Y croeswn lynclyn mawr marwolaeth ddu,
Y gwisgwn wisgoedd y trag'wyddol ddydd,
Ac yr ehedwn uwch presenol rawd,
Nes cyrhaedd ei darddle - atat Ti Dy Hun.

O! feddwi annhraethadwy! ac O! wawl,
Er holl ddistadledd ein hamgyffred byr;
Cysgod dy ddelw lenw 'm mynwes, fel
O honi i'th Dduwdod yr ymsaetha mawl:
Fy Nuw! fel hyn fy isel fryd ehed
I geisio 'th bresenoldeb. Ddoeth a Da;
Edmygu dy weithredoedd gyda mawl:
Pan gyll y tafod ei hyawdledd byr
Mewn dagrau gorfoledd traetha'r enaid byth.

*Palmyra*, O. *Cyf.* E. MORDDAL EVANS.

## Y DYDDIAU DEDWYDD.

Fe droir holl wyneb daear
  Gan bur wybodaeth Ior,
'Nol geiriau'r brophwydoliaeth,
  Fel toa'r dwr y mor;
Daw cred Mahomet greulon
  A Babilon i lawr,
Gwir eglwys Crist ddyrchefir
  Uwch holl fynyddau'r llawr.

Un Duw, un ffydd, un bedydd,
  Un grefydd fydd trwy'r byd,
Bydd pleidwyr camsyniadau
  Yn gorfod myn'd yn fud;
Bydd llednais gariad brawdol
  O fewn i Seion wiw;
Ar ffrwynau'r meirch pryd hyny
  Ceir gwel'd sancteiddrwydd Duw.

O bedwar cwr y ddaear
  At Iesu try pob un,
Iuddewon a Chenedloedd
  A fyddant yn gytun,
Diddymir trais a gormes,
  A'r byd fydd megys gardd,
Cyfiawnder a flagura
  Ac a flodeua'n hardd.

Daw'r Deist i gywir dystio,
  Mai gwir yw geiriau Duw,
A'r Atheist ddaw i gredu
  Fod Iesu Grist yn Dduw,
I lawr daw camsyniadau
  A gau gredoau'r oes,
Daw pawb i ganu'n beraidd
  Am rinwedd gwaed y groes.

*Dell Roy.* LLYWARCH.

## CUSAN.

Agorwr ffordd i gariad - ymsuddo
  Am sêdd aur y teimlad,
Ydyw cusan mwynlan, mâd,
  Byr, rhyfedd, yw ei brofiad.

*Braceville, Ill.* ARIANFRYN.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA

RHYFEDDODAU DUW YN MHLITH Y TELUGUS.

Nid oes yr un genadaeth wedi dyoddef cymaint, eto wedi llwyddo i'r fath raddau, ag eiddo y Bedyddwyr yn mhlith y trigolion uchod yn India. Y mae Duw wedi cyflawni pethau rhyfedd yn eu mysg, a hyn mewn amser byr. Mae Ongole heddyw, a'r torfeydd mawrion sydd wedi eu dychwelyd yno yn y ddwy flynedd ddiweddaf, yn peri i'r byd Cristionogol i siarad am dani fel y Pentecost a Jerusalem gynt. Y mae llawer yn dra chyfarwydd a hanesion cenadol gwlad y Telugus; tra mae eraill nad ydynt. Er mwyn y rhai nad ydynt yn gwybod yr ysgrifenwn a ganlyn:—

Mae Bedyddwyr America wedi argraffu eu henwau yn annileadwy mewn llawer man yn India. Cawn ol eu

traed braidd o amgylch Machwy Bengal, o Madras i Calcutta, i Rangoon a Tavog. Yn mhlith y Telugus mae ein brodyr Americanaidd, yn nghyda Bedyddwyr Canada, yn llafurio. Yn Orissa mae y brodyr a alwant eu hunain yn Fedyddwyr Rhydd yn llafurio; o gylch Calcutta mae Bedyddwyr Lloegr wrthi yn ffyddlon er diwedd y ganrif o'r blaen; a phan ddeuwn yn nes i lawr, a chadw i'r chwith, cyfarfyddwn a Bedyddwyr America yn Burmah. Yn Assam, i'r gogledd o Bengal, cawn Fedyddwyr Americanaidd yn llafurio er 1836, a hyny gyda gradd da o lwyddiant, wrth ystyried cymeriad y trigolion. Yn y rhanau dwyreiniol o India mae gwlad y Teluguaid. Mae yn wlad helaeth, yn fwy na Thalaethau Canol a Dwyreiniol America gyda'u gilydd. Mesura 600 milldir o hyd, a 350 o led, ac mae yn perthyn iddi agos i ddau cymaint o drigolion a'r Talaethau uchod. Yn ol y cyfrifiad diweddaf yr oedd poblogaeth y wlad yn 18,000,000. O dan ofal Prydain Fawr mae y wlad hon i gyd. Y brif dref yw Madras. Dynion byr yw y Teluguaid fel rheol, ond yn dra chedyrn, esgyrn y bochau yn uchel, ychydig o farf, gwefus deneu, y trwyn yn tebygu peth i eiddo y dyn du, a lliw y croen yn tynu at liw y pres. Mae eu hiaith yn anhawdd iawn ei dysgu, eto ystyrir hi yn un o ieithoedd prydferthaf India, ac y mae mor llyfn fel y gelwir hi yn fynych Italaeg yr India. Mae y ffurf waethaf o eilunaddoliaeth yn mhlith y bobl hyn. Mae y *caste* hefyd yn ei rym yn eu mysg. Prif ddosbarthiadau y castiau ydynt y Brahminiaid, y Gwroniaid, y Marchnadwyr, a'r Sudra, neu caste y caethion. Heblaw y rhai hyn, ac yn is drachefn, mae Pariahs, y rhai a ystyrir yn rhy annheilwng hyd yn nod i berthyn i ddosbarth y caethion. Y castiau uchod yw y prif rwystrau ar y ffordd i'r efengyl gael ei derbyn gan y bobl hyn. Mae cenadon ar y maes hwn er 1805 gan Gymdeithas Genadol Llundain. Dechreuodd cymdeithas arall yno yn 1841. Aeth y Lutheriaid yno yn 1850; ac mae amrai eraill wedi danfon cenadon yno oddiar hyny hyd yn awr; ond mae llwyddiant cenadon y Bedyddwyr wedi bod y fath fel mae anaml y clywir am genadon un enwad arall, er eu bod yno yn llafurio. Cenad cyntaf y Bedyddwyr at y Telugus oedd y Parch. Samuel S. Day, yr hwn a aeth yno yn 1835. Bu Mr. Day agos a chael ei ladd yn Madras yn fuan wedi myned yno, am iddo bregethu ar ddiwrnod o wyl yn y ddinas. Yn 1840 y bedyddiodd Mr. Day y Telugu cyntaf, yn Nellore. Yn 1845 gorfodwyd ef i ddychwelyd adref o herwydd afiechyd, a Mr. Van Husen, yr unig genadwr Bedyddiedig arall yn y wlad. Yn nghyfarfod yr Undeb Cenadol y flwyddyn hono bu dadleu brwd gan rai dros roddi y genadaeth yn Telugu i fyny. Yn y cyfarfod hwnw, ac yn mhoethder y ddadl, cododd yr anfarwol Judson ar ei draed, a dywedodd, Er ei fod yn hen ac wedi colli ei iechyd, eto byddai yn well ganddo groesi y Bengal Bay, a dysgu iaith newydd, na chodi ei law dros roddi y maes i fyny. Cafodd y maes lonydd am dair blynedd. Yn y fl. 1848 daeth y pwnc i fyny drachefn, dychwelodd Mr. Day, ac aeth un Mr. Jewett gydag ef. Dilynodd pum' mlynedd o lafur, ond dim llwyddiant er y mynediad yno y tro hwnw. Dychwelodd Mr. Day drachefn, gan adael Mr. Jewett yno wrtho ei hun. Yn nghyfarfod yr Undeb yn Albany, yn 1855, dadleuwyd drachefn dros roddi y maes i fyny. Yn ystod y cyfarfodydd hyny y cyfansoddodd Dr. Smith ei benillion ar *The Lone Star*—yr enw roddodd un o'r siaradwyr ar y maes. Adroddodd y penillion yn y cyfarfod, a chawsant ddylanwad gwefreiddiol ar yr holl wyddfodolion. Yn hytrach na rhoddi y maes i fyny, danfonwyd un Mr. Douglass allan at Mr. Jewett. Buasai yn dda genym osod holl benillion Dr. Smith ger bron y darllenydd, ond ni chaniata gofod. Modd bynag gosodwn un, fel y gwelo y darllenydd, wrth gymharu llwyddiant yr efengyl yno a syniadau y penill, pa mor gyflawn y mae wedi ei wirioneddu.

"Shine on, Lone Star, the day draws near
When none shall shine more fair than thou,

Thou, born and nursed in doubt and fear,
Wilt glitter on Immanuel's brow."

Bu Mr. Jewett yno am naw mlynedd, drachefn, y'nghanol aflwyddiant. Dychwelodd wedi colli ei iechyd. Yn 1862 dadleuwyd y cwestiwn o roddi Telugu i fyny unwaith yn ychwaneg. Defnyddiodd Mr. Jewett yr holl nerth oedd ynddo i berswadio ei frodyr i barhau i ddanfon cenadon yno. "Mae yno bobl lawer i Dduw," meddai, "ac os caf iechyd, af yn ol yn un i'w casglu." Wedi y cyfarfod hwnw, yn Providence, Rhode Island, ysgrifenodd un brawd at Mr. Jewett, gan ddywedyd, "Os oedd yn benderfynol i ddychwelyd i Telugu, y byddai yn angenrheidiol iddynt ddanfon brawd gydag ef i'w gladdu—ei fod yn deilwng o gladdedigaeth Gristionogol yn y wlad baganaidd hono." Yn 1854 bu Jewett yn pregethu yn Ongole, ac yn hwyr y dydd aeth a phagan dychweledig i fryn uwchben y ddinas, a chynaliwyd awr mewn gweddi daer ar Dduw i ddanfon cenadon i Ongole. Yn 1864 mae y gweddiau hyny yn cael eu hateb. Wele Mr. Jewett ac un Mr. John Everett Clough, yr hwn fu yn swyddog dan y Llywodraeth yn Minnesota, a chenadwr am flwyddyn yn Iowa, yn cychwyn am Telugu, ac yn cyrhaedd yno yn gynar yn 1865. Yn fuan wedi eu glaniad mae y cymylau oeddynt wedi bod am gymaint o amser yn cuddio y *Lone Star*, yn dechreu gwasgaru, a'i llewyrch siriol yn dyfod i'r golwg. Yn y fl. 1867 mae yr eglwys gyntaf yn cael ei chorphori yno, ac wyth o aelodau yn ei gwneyd i fyny. Erbyn 1874 yr oedd wedi cynyddu i 3,300. Aeth cenadon newyddion yno. Daeth yn amlwg fod yno filoedd ar roddi i fyny eu heilunod, a chofleidio y Mab; a rhag blaen yr aeth y gwaith hyd 1877, pan y rhoddwyd braidd atalfa hollol arno. Bu newyn trwm yn y wlad am dros ddwy flynedd. Bu 500,000 o'r trigolion feirw. Gyrwyd i bob man am gynorthwy, a daeth cynorthwy. Gorfu i'r cenadon roddi heibio bregethu, i ofalu am y cleifion a'r newynog. Ni dderbyniwyd un aelod am bymtheg mis. Mehefin, 1878, dechreuwyd pregethu a derbyn aelodau, ac yn yr amser byr o chwech wythnos yr oedd dros 8,000 wedi eu bedyddio. O'r dydd hwnw hyd yn awr, rhag blaen mae y gwaith wedi myned, a miloedd lawer wedi eu hychwanegu. Bedyddiwyd yno yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, 2,757. Y mae yr eglwys yno heddyw yn rhifo 15,692. "O Dduw y mae hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

Mae eisiau llawer iawn o genadon yno i ofalu am gymaint o ddychweledion. Mae eisiau athrawon yn yr ysgolion, gweinidogion i sefydlu eglwysi newyddion, a gofalu am danynt, yn nghyda meddygon Cristionogol i weini ar y dorf dlodion sydd yn eu plith yn analluog i dalu dim am feddyginiaeth. Mae cynauaf o ddeunaw miliwn o eneidiau yn fawr; am hyny atolygwn ar Arglwydd y cynauaf i ddanfon gweithwyr i'r cynauaf.

# HANESION CARTREFOL.

### Cyfarfod Tri-Misol yn Niles, O.

Cynelir y Cwrdd Tri-Misol sydd yn perthyn i Gymanfa Ohio, yn Niles, ar yr 16eg, 17eg, a'r 18fed o Fedi—y gynadledd i ddechreu am 2 o'r gloch, ddydd Sadwrn, yr 17eg. Dymunir ar y cenadon a gweinidogion y cylch fod yma yn brydlon.

David Williams.

### Gwerthfawrogi Teilyngdod.

Ddydd Llun, Mai 2, prysurodd Mr. Jacob W. Evans, Ysgrifenydd ac un o ddiaconiaid eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn Pittston, Pa., o gyfarfod Odyddol i fyned i gyfarfod busnes yn ei eglwys. Synwyd ef wrth weled tyrfa fawr tu allan i'r capel, a'r tu fewn wedi ei orlenwi. Yn fuan ar ol dyfodiad Mr. Evans, cyfododd Mr. Samuel Edwards, diacon arall o'r eglwys, a dechreuodd roddi mawr ganmoliaeth i'r Ysgrifenydd am ei wasanaeth gwerthfawr yn y blynyddoedd aethant heibio. Yna dywedodd Mr. Edwards fod y chwiorydd yn myned i roddi arwydd

bychan o'i gwerthfawrogiad o Mr. Evans am ei wasanaeth gwerthfawr. Galwodd y llefarwr yn nesaf ar Mrs. Alexander Martin, yr hon a ddaeth yn mlaen ac a anrhegodd Mr. Evans a *rosewood desk* brydferth iawn a phin a phwyntil aur ardderchog, yn nghyda llogell-lyfr hardd, a edrychai fel pe buasai yn lled lawn. Tarawyd Mr. Evans â syndod—yr oedd hyn yn hollol annysgwyledig iddo. Gorchfygwyd ef gan ei deimladau fel mai prin y gallai dalu diolch, ac amlygu ei ddymuniad i wasanaethu yr eglwys a'i Feistr yn fwy ffyddlon yn y dyfodol.—*D. S. Thomas, St. Clair, Pa.*

---

AIL AGORIAD CAPEL Y BEDYDDWYR CYMREIG YN DANVILLE, PA.

Mae pawb sydd wedi bod yn Danville yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf yn gwybod fod ein capel wedi myned i sefyllfa wael dros ben. Ond pa fodd oedd ei wella, oedd gwestiwn anhawdd iawn ei ateb, gan fod y frawdoliaeth can lleied o rif, a'r rhan fwyaf o lawer yn chwiorydd. Modd bynag, ychydig fisoedd yn ol, gwnaed ymgais i weled beth allem wneyd. Dechreuwyd gweithio o ddifrif, ac os rhywbeth, y chwiorydd oeddynt fwyaf brwdfrydig. Er syndod i bawb, yn mhen ychydig wythnosau wedi dechreu, yr oedd dros $500 yn y drysorfa, yr hyn oedd agos gymaint ag oedd arnom eisiau, a llawer mwy nag oedd neb o honom wedi ei ddysgwyl wneyd. Dechreuwyd ar y gwaith yn uniongyrchol. Penderfynwyd gwneyd y tu fewn oll yn waith coed, a gwneyd i ffwrdd â *phlastering* yn mhob man. Gosodwyd lle bedyddio o dan y pwlpud, a lampau newyddion bob tu i'r pwlpud, y rhai a roddant oleuni ardderchog. Yn ymyl y drysau oedd yn arwain i'r capel o'r blaen, mae dwy ystafell dlos a chyfleus wedi eu hadeiladu, er cyfleusdra i'r bedyddiedigion i newid. Gosodwyd hefyd *garpet* newydd ar y lloriau, a phaentiwyd yr hen ddodrefn mewn lliwiau cyfatebol i'r capel; a rhwng y cyfan, mae yr hen gapel yn edrych fel yn newydd spon i gyd. Wedi ei orphen mor anrhydeddus, rhaid oedd ei agor, fel bydd y Cymry yn arfer, sef drwy gael rhes o gyfarfodydd pregethu. Penderfynwyd ar y 30ain a'r 31ain o Orphenaf i hyny gymeryd lle. Y pregethwyr a wahoddwyd oeddynt y Parchedigion Theophilus Jones, Wilkesbarre, a W. F. Davies, Nanticoke.

Nos Sadwrn, pregethodd Mr. Jones. Boreu Sul, am 10, Mr. Davies a Mr. Jones. Am 2, Mr. Street, gweinidog y Bedyddwyr Seisonig, a Mr. Davies, y ddau yn Seisonig. Am 6, yn yr hwyr, Mr. Davies a Mr. Jones. Caed cynulliadau rhagorol trwy y dydd, a'r brodyr yn pregethu gyda dylanwad neillduol. Teimlad pawb oedd yn bresenol oedd, na wrandawsant Mr. Jones erioed yn well, a mwy hapus, os mor hapus, a'r tro hwn. Ac am Mr. Davies, myned i fyny yn uwch o hyd fel pregethwr y mae yn marn y Danvilliaid o bob enwad, er y tro cyntaf y pregethodd yma, pan yn yr Athrofa. Dechreuwyd y cyfarfodydd, un gan Mr. Jones, y llall gan Mr. W. Williams, dyn rhagorol, a phregethwr gyda y M. C., a Mr. Rees, pregethwr arall gyda yr un enwad.

Wedi cael capel mor dlws a chysurus ag sydd genym yn awr, a'r fath gyfarfodydd rhagorol ar ei agoriad, hyderwn y bydd i Seion Duw o'i fewn weled cyfnod o lwyddiant ac adfywiad cyffredinol.—*Brawd.*

---

KINGSTON, PA.

Cynaliodd Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr yn Kingston gyfarfod tra dyddorol Gorphenaf 18fed. Yr oedd y plant yn canu ac yn adrodd yn rhagorol. Canwyd amryw ddarnau yn arbenig gan Mri. J. T. Jones, E. Arthur, J. D. Evans, ac M. J. Davies. Hefyd, mewn canu ac adrodd, ychwanegwyd llawer at ddyddordeb y cwrdd gan Misses Maggie Waters, Mary Jane Jenkins, C. Price, Mary Ann Davies, El. Mary Carpenter, Annie Bedford, Sarah Jane Davies a Sallie Hatten. Cafwyd anerchiad hefyd ar "Judas Iscariot," gan Mr. H. P. Davies, a darlleniad gan

Mr. Richard Jones. Aeth pawb adref wedi cael eu mawr foddloni, a'r teimlad cyffredinol oedd, "Melus, moes eto." Llywyddwyd gan y gweinidog, y Parch. D. Rhoslyn Davies.—*Un Oedd Yno.*

---

PALMYRA, OHIO.

Mae achos y Gwaredwr yn myned yn ei flaen yn llewyrchus yn y lle hwn yn bresenol. Mae y capel yn rhy fychan i'r gynulleidfa. Sabboth, Mehefin 12fed, bedyddiwyd tair chwaer ac un brawd, ac adferwyd un brawd.—*Gohebydd.*

---

GWEITHRED DEILWNG O EFELYCHIAD.

Y mae pob gweithred o haelionusrwydd crefyddol yn deilwng o gydnabyddiaeth a chyhoeddusrwydd. Teithia y son am gyflawniadau drwg dynion trwy y byd cymdeithasol bron gyda chyflymder y fellten chwim; ond y mae miloedd o weithredoedd da yn cael eu cyflawni gan unigolion nad oes gair byth o son am danynt. Nid yw hyn yn iawn. Dylid bod yn barotach i gydnabod y weithred ddaionus nag i son am ddiffygion pobl. Canmolai ein Ceidwad y da lawn can gynted ag y ceryddai y drwg: "Ha, wraig, mawr yw dy ffydd," &c.

Yn ddiweddar, darfu i Mrs. Ann Lewis, o Remsen, Swydd Oneida, N. Y., roddi pedwar cant o ddoleri yn anrheg i eglwys y Bedyddwyr yn Freedom, Cattaraugus, N. Y. Nid ydym am organmol na seboni y chwaer Lewis, ond yn unig am grybwyll y ffaith. Dymuna y frawdoliaeth yma ei chydnabod yn ddiolchgar iawn trwy gyfrwng y WAWR, am ei rhodd werthfawr. Dymunol fyddai i lawer o gyfoethogion ein heglwysi gymeryd yr awgrym oddiwrth y chwaer hon, i roddi cyfran o'u heiddo at wasanaeth crefydd. Y cwbl sydd ar feddwl llawer, hyd yn nod o bobl flaenaf ein heglwysi, yw darparu cyfoeth i'w plant, gan adael achos yr Arglwydd i fyw neu farw o'u rhan hwy. Dysgwylia y cyfryw gael "pyrth y nef o led y pen" i'w derbyn iddi ar eu hymadawiad o'r byd hwn, a hwythau wedi bod ar hyd eu hoes yn gybyddlyd at achos y Gwaredwr. Mae lle i ofni y câ llawer eu siomi yn ddirfawr y dydd hwnw y daw Crist i farnu y byd. Ceir llawer, ysgwaetheroedd, yn werth eu miloedd yn methu hebgor cymaint ag *un* ddolar yn y mis i'r Arglwydd. Prif bechod crefyddwyr y wlad hon yw bydolrwydd, a gor-awydd i ymgyfoethogi ar bethau daearol. O! na fyddai i Arglwydd y lluoedd ddeffroi y cyfryw rai o'u cysgadrwydd ysbrydol. Y mae rhodd deilwng at achos crefydd yn fwy effeithiol i anfarwoli y rhoddwr o beth annhraethol nag un maen cywrain o fynor a ellir ei gael. Garedigion cyfoethog, efelychwch y chwaer dda o Remsen mewn haelioni Cristionogol. Carwn weled ysgrif dda yn y WAWR ar "Haelioni Cristionogol." Hwyrach y gwnelai les mawr.—*W. M. Evans.*

---

PARSONS, PA.

*Mr. Gol.*—Dymunaf arnoch roddi ychydig o ofod y WAWR nesaf i hysbysu, fod eglwys Parsons, Pa., wedi rhoddi galwad unfrydol i'r Parch. Wm. D. Thomas, Mahanoy City, i ddyfod i'w bugeilio yn yr Arglwydd; ac y mae yntau wedi ateb yn gadarnhaol, a bydd yn dechreu ar ei lafur yn ein plith y Sabboth cyntaf yn Medi. Yn frawdol —*Wm. Francis.*

---

*Y PARCH. JOSEPH T. JONES YN YMADAEL O JOHNSTOWN, PA.*

*Cyfarfod ymadawol lluosog—Teimladau da at Weinidog llafurus.*

**JOHNSTOWN, PA., Awst 5ed.—Byd rhyfedd yw hwn—byd cyfnewidiol iawn; a chredwyf ein bod ninau yr un mor gyfnewidiol. Ac y mae llawn cynifer o gyfnewidiadau yn cymeryd lle yn Johnstown yn ol ei faint a rhif y boblogaeth, ag yn un rhan arall o'r byd Americanaidd beth bynag. Y cyfnewidiad cyntaf ddaw dan ein sydd yn dal perthynas a'r brawd da a duwiol, y Parch. Joseph T. Jones, gweinidog y Bedyddwyr Cymreig, yn nghyd a phobl ei ofal, sef ei ymadawiad ef oddiwrthynt. Mae yn wir na fu ei arosiad yn hir yn eu plith—rhywle tua deg mis neu flwyddyn, eto gallwn ddweyd iddo fod yn ffyddlawn i'w alwedigaeth yn Nghrist, gan iawn gyfranu gair y gwirion-**

edd i bawb a ddeuai i'w wrandaw, a hyny mewn modd gonest, a chydwybodol, heb dderbyn wyneb neb mwy na'u gilydd. Hefyd, er na fu ond ond tymor byr yma, cawsom brawfion amlwg na fu ei lafur yn ofer yn yr Arglwydd. Gan mai y Sabboth diweddaf oedd ei Sabboth olaf yn Johnstown dros dymor beth bynag, os nid am byth, penderfynodd y brawd parchus draddodi pregeth ymadawol y noson hono, yr hyn a wnaeth er boddhad cyffredinol i bawb a'i clywodd, gan fod ei thraddodiad yn orlawn o'r teimladau mwyaf dymunol tuag at bawb oedd yn ei wrandaw, a chredwn iddi gael dylanwad bendigedig ar y mwyafrif mawr o'r rhai oedd yn bresenol.

Y nos Lun ganlynol cynaliwyd cyfarfod ymadawol a thystebol iddo. Dechreuwyd am 10:30, trwy ddarllen rhan o'r gwirionedd dwyfol, ac offrwm gweddi gan y Parch. D. Celyddon Phillips, yn nghyd a chanu swyn gan y gynulleidfa. Yna cynygiwyd, eiliwyd a phasiwyd mewn modd rheolaidd, fod Mr. Benjamin F. Watkins, Foundry Boss y C. I. & S. Co., a diacon ieuangaf yr eglwys i fod yn llywydd, a Thomas J. Price yn ysgrifenydd gohebol. Wedi anerchiad agoriadol gan y llywydd, galwyd ar y Parch. Henry Colclasier (B. S.) i draddodi yr anerchiad cyflwynol, yr hyn a wnaeth mewn modd dylanwadol a tharawiadol iawn yn yr iaith Saesneg, er mwyn y bobl ieuainc, a ffryndiau eraill perthynol i'r gynulleidfa. Terfynodd ei araeth drwy alw ar y chwaer Mrs. Ann Lewis (gwraig weddw gyfrifol a pharchus perthynol i'r eglwys) i roddi coden sidan hardd am ei wddf, o wneuthuriad ei merch Miss Maggie Lewis, yn cynwys $25, fel arwydd fechan a gwanaidd iawn o'r parch a'r cariad cynes oedd wedi ei enyn a'i feithrin cydrhyngddynt fel bugail a phraidd mewn can lleied o amser. Amcanodd y derbynydd gwylaidd a gostyngedig wneyd rhyw fath o araeth mewn ffordd o ddiolchgarwch am eu caredigrwydd tuag ato; ond dyn a helpo'r dyn, aeth yn llongddrylliad arno yn yr ymgais, oblegid yr oedd wedi ei drechu yn llwyr gan y teimladau drylliog yn ngwyneb y fath brawf diymwad o'r serch a'r anwyldeb oedd yn ffynu rhyngddynt fel gweinidog ac eglwys.

Gan iddo fethu dweyd gair braidd, fe'i hesgusodwyd, a galwodd y llywydd ar y Parch. E. W. Jones (A.) i anerch y cyfarfod. Dywedodd ef ei fod yn adnabod y Parch. J. T. Jones am 15 mlynedd yn Talsarn, G. C., cyn i'r un o honynt ddyfod i'r wlad hon, ac mai yr un cymeriad bendigedig oedd iddo y pryd hwnw ag sydd yn awr, fel gwas da a ffyddlon i'w Feistr nefol, a bod llawer o bobl ieuainc gwyllt ac anystyriol y dyddiau hyny oddeutu y chwarelau, ag ydynt wedi dyfod i oedran gwyr a gwragedd, yn diolch i Dduw, yn ogystal ag i'r Parch. J. T. Jones, am y cynghorion, y rhybuddion, a'r ceryddon gwerthfawr a gawsant ganddo yn y dyddiau gynt. Teimlai yn siomedig hefyd wrth ei golli mor fuan, am fod cynifer o weinidogion, o bob enwad ac iaith, wedi dyfod a myned oddiar pan y mae ef yn Johnstown, sef 10 mlynedd i'r Sabboth diweddaf. Y Sul olaf yn Gorphenaf, 1871, yr ymgymerodd a bugeiliaeth y praidd Annibynol yn y lle hwn. Gobeithiai hefyd, os ymadael y buasai ef rywbryd yn y dyfodol, y cawsai y fraint werthfawr o ymadael fel y brawd Jones, sef myned o hono ei hun, ac nid cael ei yru ymaith fel un o ddiffrwythwyr y tir yn ngwinllan ei Arglwydd. Dywedodd wrth derfynu hefyd, er fod yr ymadawedig wedi bod yn enau cyhoeddus am 47 mlynedd yn yr eglwys Gristionogol, eto y gallasai gyhoeddi uwchben Johnstown, wrth ymadael, fel pob lle arall y bu ynddo, "Glan ydwyf oddiwrth waed pawb oll o'm gwrandawyr."

Y nesaf ar yr esgynlawr ydoedd y bardd awenyddol y Parch. D. Celyddon Phillips (T. C.), gan yr hwn y cawsom sylwadau ffraethbert a thlws iawn. Nid oedd efe yn gwybod yr achosion o ymadawiad y brawd Jones, os oedd achosion o gwbl, ac nid oedd yn ymofyn gwybod ychwaith; ond yr oedd yn gwybod un peth, sef, fod tarddle y Parch. J. T. Jones yn darddle nodedig iawn mewn ystyr neillduol. Megys ag yr oedd Stratford-on-Avon yn nodedig fel tarddle Shakespeare, un o brif feirdd y byd; felly tarddle Mr. J., bu yn darddle rhai o ser dysgleiriaf y pwlpud Cymreig, ac yn eu plith, nid y lleiaf o honynt yw y gwr a anrhydeddir yma heno.

Wedi ychydig sylwadau terfynol yn fyr ac i'r pwrpas gan y llywydd, yn nghyd a phasio pleidlais o ddiolchgarwch y cyfarfod i'r ddwy chwaer a gasglasant y donation, sef Mrs. Mary Edwards a Mrs. Ann Lewis, terfynwyd drwy ganu y Doxology yn Seisneg, a gofyn y fendith gan y Parch. Henry Colclesser, yna aeth pawb i'w cartrefleoedd wedi eu meddianu a'r teimladau goreu tuag at y brawd ymadawedig, gan ddymuno Duw yn rhwydd iddo ef a'i deulu o hyn hyd derfyn eu hoes. Y boreu canlynol daeth amryw o'i ffryndiau, yn wyr ac yn wragedd, at *depot* y Pennsylvania Railroad i ffarwelio ag ef, pan yn cymeryd y cars a'i wyneb tua'i hoff gartref. Gobeithio y cyrhaedda ben ei daith yn ddiogel. Hyn yw dymuniad ei edmygydd—

THOMAS J. PRICE.

---

## *PRIODWYD—*

Yn Pomeroy, Ohio, Mehefin 16, 1881, yn nhy tad a mam y briodasferch, D. S. Lewis a'i briod, gan y Parch. J. R. Jones, Mr. William E. Morgan â Miss Mary A. Lewis, y ddau o'r lle uchod. Cafwyd cerddoriaeth leisiol ac offerynol, a gwledd ragorol ar yr achlysur.

Awst 10fed, yn Taylorville, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Thomas Jones â Miss Priscilla Hughes, y ddau o'r lle uchod.

Awst 13eg, yn Kingston, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Phillip Price â Miss Lydia Parsons, y ddau o'r lle uchod.

## *BU FARW—*

### MR. JOHN F. JONES, MORRIS RUN, PA.

"Y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw." Dywed Dafydd, "Y cyfiawn fydd byth mewn coffadwriaeth;" hefyd rhydd Solomon reswm digonol dros barhau ei goffadwriaeth; canys dywed, "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." Gallwn weled wrth hyn paham y mae cynifer o gofiantau dynion da yn y Beibl. Cyhoeddodd Iesu Grist ei hun gofiant rhai, gan sicrhau eu parhad cyhyd a phregethiad ei efengyl ef yn y byd. Gallwn ddweyd fod y stamp a'r ddelw yr hon y mae Duw yn ei harddel yn y dydd diweddaf i'w gweled yn ngwrthddrych y cofiant hwn, a dyna ein rheswm dros ei anfon i'r WAWR Ganwyd John F. Jones yn sir Aberteifi, D. C. Nid ydym yn gwybod yn mha le yn y sir y ganwyd ef; ond dechreuodd ei yrfa grefyddol o dan ofal gweinidog o'r enw Jones, yn eglwys Symlog, a bedyddiwyd ef yn Afon Symlog er's yn agos i ddeugain mlynedd yn ol. Oddi yno efe a symudodd i Rhymni, sir Fynwy; yno cawn ef yn aelod o eglwys Penuel, o dan ofal gweinidogaethol y Parch. Mr. Jones, Youngstown, yn bresenol. Oddi yno symudodd i Tredegar, ac yn aelod yn Siloh, yn mha le y bu yn aelod ddeng mlynedd, ac yn athraw ar yr un dosbarth yn yr Ysgol Sul am yr holl amser heb golli yr un Sabboth.

Ymfudodd i'r wlad hon yn mis Mehefin, 1871, ac ymsefydlodd yn yr ardal hon, yn mha le y treuliodd yr holl amser hyd nes daeth cenad i'w alw oddiwrth ei waith at ei wobr. Yr oedd yn aelod ac yn ddiacon parchus gyda'r Bedyddwyr yn y lle hwn. Cafodd wybod fel eraill o blant dynion, trwy brofiad, eirwiredd tystiolaeth yr Arglwydd Iesu Grist i'w ddysgyblion mai trwy lawer o orthrymderau y mae myned i mewn i deyrnas Dduw. Tystiolaeth pawb ar ei ol ydyw ei fod wedi anrhydeddu athrawiaeth Duw ei iachawdwriaeth, ac wedi rhodio yn addas i efengyl Crist. Yr oedd yn ddarllenwr mawr, y Beibl oedd ei hoff lyfr. Hefyd yr oedd yn un ffyddlon iawn, nid oedd dim ond afiechyd a fuasai yn ei atal o dy yr Arglwydd; bu yn ei holl ddyledswyddau yn ffyddlon hyd angeu. Ei eiriau diweddaf pan yn marw oedd, "Gollwng fi yn rhydd, O, Arglwydd."

Gorphenodd ei yrfa ddaearol Chwefror 22ain, yn yr oedran teg o 62 mlwydd oed. Claddwyd ef yn nghladdfa Morris Run. Cafodd gladdedigaeth barchus. Cyflawnwyd y gwasanaeth crefyddol gan y Parch Owen Griffith (Giraldus). Darllenodd yr Iforiaid eu llith angladdol ar lan y bedd. Gadawodd weddw a phlant a lluaws o gyfeillion i alaru ar ei ol. Bydded i'r Arglwydd eu parotoi oll i wynebu yr un daith.

Heddwch i'w lwch hyd foreu mawr y bydd Iesu yn agos "holl ddorau beddau'r byd" i'w saint ddod i fyny i fod ar ei ddelw am byth. "Ystyr y perffaith ac edrych ar yr union, cynes diwedd y gwr hwn fydd tangnefedd."

"Na alarwn ar ol y saint,
Nid marw ond ymado maent,
'Dyw angeu ond cenad Crist o'r nef
I'w galw hwynt i'w freichiau ef."

—*Thomas J. Evans.*

### JOHN PRICHARD.

Gorphenaf 22ain, yn Lansford, Pa., ar ol byr gystudd, bu farw y plentyn uchod yn nghymydogaeth tair blwydd oed. Yr oedd yr un baban yn fab i Hannah a Thos. Pritchard o'r lle hwn. Yr achos uniongyrchol o'i farwolaeth oedd *convulsions.* Yr oedd yn nodedig am ei ffraethineb yn y teulu, er nad oedd ond tair blwydd oed, ac yr oedd ei golli o'r teulu yn oruchwyliaeth chwerw iddynt. Bydded hyn yn rhybudd i'r teulu hwnw, ac yn alwad effeithiol iddynt i droi o gyfeiliorni eu ffyrdd, rhag dygwydd iddynt beth fo gwaeth. Gwasanaethwyd yn yr angladd gan ysgrifenydd y llinellau hyn. Priodol iawn i'r amgylchiad hwn yw geiriau yr anfarwol Telynog.

"Os dirgel cyngor Duw, mae'n ddoeth—
Na wylwch chwi rieni;
Aeth heibio i bechod cas a'i boen,
A gwlad ddihoen trueni.

Er na wnaeth eich blodeuyn bach
Ar ddaear lawr addfedu,
Ei harddwch wna yn awyr iach
Y nef, fyth, fyth ymledu."

—*Daniel M. Jones.*

### ELLA MAY JONES.

Awst 3, 1881, yn Newburgh, O., Ella May, plentyn ieuangaf John a Maggie E. Jones (gynt o Utica) yn agos i naw mis oed. Gwywodd o herwydd effeithiau y *cholera infantum*, i flodeuo ac addfedu yn y fro nefol. Claddwyd yr hyn oedd farwol y dydd canlynol yn mynwent y lle gan dorf barchus. Gweinyddwyd yn y gwasanaeth crefyddol gan y Parchn. Thomas, M. C., Jeffreys, M. C., a Richards, B. Bydded nodded y nef ar y teulu yn eu galar.—*Brawd.*

### MR. WILLIAM E. WILLIAMS.

Yn Freedom, swydd Cattaraugus, N. Y., Gorphenaf 29, 1881, yn 92 mlwydd oed, Mr. William E. Williams. Adnabyddid ef yn fwyaf cyffredin wrth yr enw "Williams, Pwll-y-cyw." Ganwyd gwrthddrych y nodiadau hyn mewn lle o'r enw Gwag-y noi, sir Feirionydd, G. C., yn mis Gorphenaf yn y flwyddyn 1789. Symudodd ei rieni pan oedd efe yn lled ieuanc i le a elwir Uwch y Mynydd, ac oddiyno drachefn i Pwll-y-cyw, yn mhlwyf Aberdaron, sir Gaernarfon, G. C.; ac yno yr arosodd hyd ei ddyfodiad i'r wlad hon. Ymunodd mewn priodas â Miss Margaret Lewis; o'r un lle, yn y flwyddyn 1812, a bu y briod hawddgar a ffyddlon iddo am dros haner cant

o flynyddoedd. Gadawodd hi y fuchedd hon tuag 16 o flynyddoedd o flaen ei hanwyl briod. Ymfudodd y teulu i'r wlad hon yn 1832, a sefydlasant yn Holland Patent, plwyf Trenton, swydd Oneida, N. Y. Buont yno 14 o flynyddau; ac yn 1846 daethant i'r lle hwn. Unodd yr ymadawedig â chrefydd pan yn 23 oed, gydag enwad parchus y Wesleyaid, ac ar ol dyfod i Oneida ymaelododd ef a'i briod yn eglwys Sixty. Wedi iddynt ddyfod i'r lle hwn, cymerasant eu haelodaeth gyda'r Annibynwyr ar County Line, Freedom, o herwydd nad oedd yma un eglwys Gymreig gan y Wesleyaid. Parhaodd yn aelod gyda'r Annibynwyr hyd angeu; ond yn y blynyddoedd olaf o'i fywyd yr oedd wedi cyfnewid yn ei farn gyda golwg ar y pwnc o Fedydd. Credai a thystiolaethai mai y Bedyddwyr sydd yn dilyn y Testament Newydd yn null a deiliaid Bedydd. A chredwyf, yn ol ei iaith ef ei hun, mai dim ond henaint a methiant oedd yr unig rwystr ar ei ffordd i dalu ufudd dod yn y peth hwn i orchymyn Pen yr eglwys. Bu yn aelod bywiog diwyd, a gweithgar tra yn alluog i ddilyn moddion gras. Ystyrid ef gan bawb a'i hadwaenai yn un o'r dynion mwyaf parchus a chrefyddol trwy yr holl gymydogaeth. Nid oedd neb yn ameu ei dduwioldeb, oblegid ymddysgleiriai bob amser yn ei fywyd pur a chyson, ac yn ei holl ymdrafodaeth â'r byd Yr oedd crefydd Iesu Grist yn llanw ei enaid, hi oedd yn teyrnasu ar orsedd ei galon, ac yn llywodraethu ei holl ysgogiadau. Nid crefydd *fits and starts* oedd ganddo ef, fel y gwelir gan lawer yn rhy aml y dyddiau hyn; eithr crefydd *sound*, fel y dywedai yr hen bobl. Yr oedd yn blaen, gonest, a dirodres. Ffieiddiai weniaith, a cheryddai y balch yn llym yn ei wyneb. Crybwyllai gyda dyddordeb am hen bregethwyr tanllyd a hwyliog dechreu y ganrif bresenol; ac adroddai amryw o'u testynau, yn nghyd a darnau o'u pregethau, a thywalltai y dagrau yn hidl yn aml wrth wneyd hyny. Dymunol oedd ei glywed yn adrodd am y diweddar T. Rees Davies (y Cap Du) ac eraill. Yr oedd yn hoff iawn o ddarllen a myfyrio Gair Duw. Dyma y ffynonell fawr o ba un y tynai faeth a chysur i'w enaid yn wastadol. Trysorodd lawer o hono ar ei gof, ac ysgrifenodd ddyfyniadau lluosog o hono, y rhai a hoffai ddangos i'w gyfeillion pan y byddent ar ymweliad ag ef. Y Beibl a'i athrawiaethau dwyfol oedd ei bob peth ef er's amser maith. Yr oedd yn nodedig am gywirdeb wrth adrodd geiriau y Beibl. Ni byddai byth yn llurgunio a llofruddio adnodau, hefyd rhoddai y pwyslais fynychaf yn y lle priodol.

Gadawodd bêr arogl hyfryd ar ol yn y teulu a'r gymydogaeth yn gyffredinol. Y mae efe yn ei aml rinweddau "er wedi marw yn llefaru eto." Bu farw fel y bu byw a'i ymddiried yn ddisigl ar ei Waredwr. Rhai o'i eiriau olaf oedd, "Crist yn y galon, gobaith y gogoniant." Bu iddo ef a'i briod un-ar-ddeg o blant, o ba rai y mae saith yn fyw. Mae y mab hynaf, sef Samuel Williams, yn Illinois, ac un ferch, sef Mrs. Davies, yn Iowa. Mae yma ddau fab a thair merch iddo, sef W. M. Williams, a John W. Williams, yr hwn sydd yn ddiacon parchus yn eglwys y Bedyddwyr, a Mrs. Owens, Mrs. Higgins, a Mrs. Benjamin, y rhai ydynt yn aelodau gweithgar gyda'r Bedyddwyr yn Freedom.

Claddwyd un ferch i'r ymadawedig o'r gymydogaeth hon tua chwech wythnos o flaen ei thad, sef Mrs. Margaret Roberts, anwyl briod Mr R. Roberts. Y Sul canlynol i'w farwolaeth ymgasglodd torf fawr o gyfeillion a pherthynasau i'r angladd. Yr oedd capel y Bedyddwyr yn orlawn, yn ymyl yr hwn y rhoddwyd ei weddillion i orwedd hyd foreu caniad yr udgorn diweddaf. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd. Heddwch i'w lwch.—*W. M. Evans.*

MRS. JAMES.

Ganwyd Mrs. James yn Tredegar, D. C., yn y flwyddyn 1825. Enwau ei rhieni oeddynt Joshua a Jane Jones. Ymbriododd â John James yn y flwyddyn 1847. Bu iddynt wyth o blant, o'r rhai y mae chwech, yn nghyd a phriod oedranus, wedi eu gadael i alaru ar ol mam dyner a gofalus, a phriod hawddgar; a gellir dyweyd eu bod wedi treulio eu tymor yn hynod ddedwydd hyd nes torodd angau yr undeb rhyngddynt. Cafodd Mr. James golled fawr ar ei hol, canys yr ydoedd hi yn hynod ofalus am dano, yr hwn sydd wedi ei amddifadu o'i olwg er's amryw flynyddau; eto mae yn gysur iddo, er wedi ei amddifadu o'i anwyl briod, fod ganddo blant tyner a gofalus o hono.

Cafodd ein chwaer y fraint o ymuno â chrefydd pan oedd yn 15eg oed. Bedyddiwyd hi gan y Parch. David Roberts, yn Carmel, Sirhowy, lle y bu yn aelod ffyddlawn. Yn y fl. 1855 ymfudodd hi a'i phriod a'u plant i America, a sefydlasant yn Tamaqua, Schuylkill Co., Pa., lle y treuliasant amryw flynyddau, ac enillodd serch, a pharch mawr iddi ei hun yn mynwes yr eglwys. Yn y flwyddyn 1862 symudodd i Pittston, Pa., lle y treuliodd weddill ei dyddiau, ac ymaelododd yn yr eglwys hon, gan enill iddi ei hun enw da.

Yr oedd ein hanwyl chwaer yn feddianol ar lawer o rinweddau gwerth eu cofnodi, ac yn deilwng o efelychiad. Bywgreffir nodweddion plant yr Arglwydd yn aml, a mynegir eu pethau goreu, gan adael i'r brychau fyned ymaith, a chladdu eu gwendidau yn y llwch. Nid wyf am ddyweyd nad oedd ffaeleddau yn ein chwaer; O, na, ond yr oedd ei rhinweddau yn gorbwyso ei ffaeleddau; yr oedd ei sêl a'i diwydrwydd gyda chrefydd yn werth eu cadw o fedd ebargofiant; ac er ei bod wedi marw, y mae ei ffyddlondeb eto yn llefaru wrthym ni; a gellir dywedyd am y chwaer hon yn Seion, mai crefydd oedd y peth agosaf at ei meddwl bob amser.

Hefyd, yr oedd yn hynod haelionus at yr achos; byddai yn cyfranu yn llawen, yr hyn

oedd yn rhinwedd da ynddi; hefyd yn chwaer synwyrol a charedig, yn Gristion dysglaer, a mam dyner a gofalus iawn; yn gymydoges dirion, addfwyn a chymwynasgar. Yr oedd gair da iddi gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Fel aelod eglwysig, yr oedd yn ffyddlon, diwyd a chyson yn ei hymarferiad â moddion gras, a gwelir ei lle yn wag yn yr eglwys.

Cafodd gystudd trwm. Ei hafiechyd oedd y dyfrglwyf, yn nghyd a dolur y galon; ond dyoddefodd y cwbl yn amyneddgar hyd y diwedd. Bu farw mewn tangnefedd, a'i ffydd wedi ei sylfaenu ar Graig yr Oesoedd, a'i llygaid yn gweled ei iachawdwriaeth Ef. Erys ei choffadwriaeth ar ei hol yn fendigedig yn yr eglwys hon. Hunodd ein hanwyl chwaer yn yr angau Mehefin 29, 1881, gan adael priod a chwech o blant, a llu o berthynasau, i alaru ar ei hol.

Dydd Gwener canlynol daeth torf luosog yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol. Claddwyd hi yn mynwent yr Odyddion, Pittston, a gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan yr Hybarch Theophilus Jones, a phregethodd oddiwrth Dat. 14: 13. "Gwyn eu byd y meirw, y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd," &c. Yr oedd yn un o'r pregethau goreu a glywsom ar y fath amgylchiad, y traddodiad yn nerthol a theimladwy. Wel, gorphwysed ein chwaer yn dawel, a chwythed yr awelon yn dyner dros ei beddrod hyd foreu caniad yr udgorn diweddaf, yw gwir ddymuniad yr ysgrifenydd. JACOB W. EVANS.

MRS. THOMAS.

Awst 9, 1881, yn Danville, Pa., bu farw Mrs. Thomas, priod Mr. Samuel Thomas, o'r lle uchod, yn 47 mlwydd oed. Bu yn sal am gryn amser. Achos ei hafiechyd a'i marwolaeth ydoedd *tumor* ar y coluddion. Aeth trwy boenau dirfawr, ond dyoddefodd yr oll yn hollol ddirwgnach. Bu ei hanwyl briod, y cymydogion, a meddygon yr ardal, yn gweini arni yn ffyddlon, a chafodd, yn ddiamheu, yr oll a allai dyn wneyd iddi, ond i ddim pwrpas. Ymadael oedd raid, ac ymadael a wnaeth, a hyny yn foreu y dydd a nodwyd.

Dydd Gwener canlynol, daeth tyrfa fawr i'w hangladd, yr hyn a brofai yn amlwg fod dynes barchus wedi canu yn iach i'r byd. Wedi darllen, gweddio a chanu, yn y ty, aed a'r corph i gapel y Bedyddwyr Cymreig, a chaed gwasanaeth yno, yn Gymraeg, gan y brawd W. Williams (M. C.), Danville, ac yn Saesoneg gan y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, yr hwn hefyd a wasanaethodd yn y ty ac ar lan y bedd. Rhoddwyd ei gweddillion marwol i orphwys yn mynwent yr Odyddion, mewn gobaith am adgyfodiad gwell y "dydd hwnw."

Genedigol o Dredegar, D. C., oedd y chwaer Mrs. Thomas. Daeth i America yn y fl. 1855. Bedyddiwyd hi an 1858, gan y Parch. David Evans, yn Danville, lle y bu yn aelod ffyddlon hyd ddiwedd ei hoes. Yr oedd yn ddynes dawel, cymydoges garedig, gwraig hynod ofalus, ac yn un o ragorolion y ddaear. Fel crefyddwraig, yr oedd gair da iddi gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. BRAWD.

MR. WILLIAM J. HUGHES.

Gorphenaf 27, 1881, yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., bu farw Mr. William J. Hughes, yn 61 mlwydd oed. Ganwyd yr ymadawedig yn Rhydwyn, Sir Fôn, G. C. Mab ydoedd i John Hughes, Gyfynys, yr hwn, fel y clywais, oedd yn ddiarhebol am ei dduwioldeb. Ymfudodd i'r wlad hon o Gaergybi, tua saith mlynedd ar hugain yn ol, ac ymsefydlodd yn y lle uchod. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd er's tua deng mlynedd ar hugain, gan y diweddar Barch. Dr. Morgan. Ar ol dyfod yma, ymunodd ef a'i anwyl briod ag eglwys y Bedyddwyr yn Freedom, lle y bu yn aelod dysglaer hyd angau.

Gwr cadarn yn yr Ysgrythyrau oedd y brawd Wm. Hughes. Yr oedd yn Gristion goleuedig a gweithgar yn ngwinllan ei Arglwydd. Perchid ef yn fawr gan bawb a'i hadwaenai. Bu yn ddiwyd am y ddau fyd. Gadawodd dystiolaeth dda ar ol ei fod yn marw mewn heddwch â Duw. Nid oes amheuaeth nad oedd marw yn elw iddo. Ymdrechodd hardd deg ymdrech y ffydd. Hyderwn y bydd i'r plant oll ddilyn llwybrau uniawn eu tad duwiol. Gadawodd weddw a naw o blant i alaru ar ol priod gofalus a thad tyner. Y mae iddo bedwar o frodyr a mam oedranus yn byw yn agos i Oshkosh, Wisconsin. Bydded Tad y weddw a Phriod yr amddifad yn dyner a gofalus o'r perthynasau sydd ar ol yn nyffryn galar.

Claddwyd ei weddillion marwol yn barchus yn mynwent Ebenezer, addoldy y Bedyddwyr, yn Freedom, N. Y. Pregethywyd ar yr achlysur yn y capel gan yr ysgrifenydd, oddiwrth 2 Tim. 4: 7, 8. Bydded i Dduw yn ei ras alw llawer eto i lanw y bylchau a wneir y dydd iau hyn yn rhengoedd byddin yr Oen.

W. M. EVANS.

---

# NODION CYFFREDINOL.

—Yn Newport, Quebec, ymgrogodd Ferdinand Pitcher, bachgen deng mlwydd oed, o herwydd i'w fam ofyn iddo osod y bwrdd i swper.

—Mae amryw o Negroaid wedi cael eu penodi yn heddgeidwaid gan Faer Philadelphia yn ddiweddar, yr hyn sydd yn anfoddloni rhai pobl wynion; ond rhydd y Maer resymau da dros yr hyn a wnaeth.

—Yn ol adroddiad *Mine Inspectors* rhandiroedd glo Pennsylvania, ag sydd newydd ei gyhoeddi, nifer y personau a laddwyd yn mhyllau glo y Dalaeth yn ystod y flwyddyn 1880, ydoedd 202, tra y cafodd 671 eu clwyfo yn dost. Mae llawer o'r olaf wedi meirw er pan

wnaethpwyd yr adroddiad, ac y mae eraill wedi eu hefryddu am eu hoes.

—Mae y Cadf. Grant wedi prynu ty yn New York am $90,000.

—Casglwyd y swm o $11,764 yn New York am drwyddedau i gadw cwn y tymor presenol.

—Cafodd ornestwr yn Ffrainc ei ddedfrydu i bedwar mis o garchariad; ac i dalu $20,000 i deulu ei wrthwynebwr, yr hwn a laddodd.

—Mae nifer o for gwn (*sharks*) wedi cael eu dal yn ymyl y docian yn New York yn ddiweddar. Mesurai un o honynt ddeg troedfedd o hyd, ac un arall dros naw troedfedd a chwe' modfedd.

—Mae llythyr cymun David Carroll, dyn cyfoethog o Baltimore, yn gadael ei holl eiddo i aelodau o'i deulu, ac y mae yn gosod o'r neilldu $100,000 i amddiffyn yr ewyllys yn erbyn unrhyw ymgyfreithiad dichonadwy.

—"Fe chwarddwn pe b'ai i mi syrthio a thori fy ngwddf," ebai James Maloney, o Tappan, N. Y., tra yn y weithred o ddisgyn o ben coeden. Y foment nesaf yr oedd yn gorwedd ar y ddaear wedi tori ei wddf. Ond ni chwarddodd.

—Darfu i Dy yr Arglwyddi o'r Parliament Prydeinig y dydd o'r blaen wrthod y *land bill* fel y gadawodd Dy y Cyffredin ar ol saith mis o waith arno. Yr oedd y weithred o'i wrthodiad yn syndod nid yn unig i Dy y Cyffredin, ond i'r holl genedl. Gwnawd ymdrechion wed'yn gan y ddau Dy i ddyfod i gytundeb, a buont yn llwyddianus.

—Gwnaeth *tramp* ymgais i fyned i mewn i doll-dy a gedwid gan wraig weddw, yn agos i Greenwood, Ind., yn ddiweddar. Rhoddodd y weddw ei holl arian i'r dyn trwy ffenestr yn y drws, ond parhaodd efe i geisio myned i fewn i'r ty, a saethodd hi ef yn farw.

—Yn ystod y tri chanrif a haner diweddaf mae y Pabyddion wedi cynyddu yn Ewrop o 80,000,000 i 149,000,000. Mae poblogaeth y cyfandir wedi cynyddu yn ystod yr amser hwnw yn driphlyg, tra y mae y Protestaniaid wedi enill eu holl nifer yn ystod yr amser hwnw.

—Mae awdurdodau Madrid wedi cau i fyny yr hapchwareudai yn y ddinas hono, ac y mae yr hapchwareuwyr wedi bod yn cymeryd dialedd trwy ffrwydro *torpedoes* yn yr heolydd. Maent yn gobeithio dychrynu y Llywodraeth i'w gadael hwy yn llonydd.

—Ehedodd gwenynen y meirch (*hornet*) i mewn i geg lodes ddu yn New Jersey, yn ddiweddar, a brathodd hi yn ei gwddf fel yr ydoedd yn ei lyncu ef. Chwyddodd ei gwddf yn y fath fodd fel yr ydoedd y lodes yn debyg i farw; ond trwy ddefnyddio meddyginiaethau yn ddiatreg, achubwyd ei bywyd.

## DYDDANION.

—Cwynai y Parch. Griffith Jones, Tre'rgarth, wrth chwaer mewn ty capel yn sir Gaernarfon, fod ganddo boen yn ei glun. "Iê, effaith henaint Mr. Jones bach, ydyw, oblegid ni ddaw henaint ddim ei hunan," medd hithau. "Nage, Mary, yr ydych yn camsyniad," medd yntau, "oblegid y mae y glun arall cyn hyned a hithau, ac y mae hono yn berffaith iach."

—"Y mae dau wedi priodi (medd rhywun) yn gyffelyb i siswrn, wedi eu huno yn y fath fodd fel nad ellir yn hawdd eu gwahanu, yn ymsymud yn fynych mewn gwahanol gyfeiriadau, ond bob amser yn cosbi pa beth bynag ddaw rhyngddynt."

—"Pa sawl blwyddyn sydd er pan ydych yn fud?" gofynai boneddwr tosturiol i gardotyn, a gymerai arno ei fod wedi ei amddifadu o'i lafar. "Pum mlynedd," atebai y twyllwr yn ddifeddwl.

—Yr oedd cybydd yn ddiweddar mewn dawnsfa, a chlywsai foneddwr yn adrodd am hen foneddiges gyfoethog. "Bu farw ddoe yn 89 mlwydd," meddai yr hysbysydd. "Y fath *bity* (meddai y cybydd) buasai yn *fatch* iawn i ryw un ddeuddydd yn flaenorol."

—Arferai y diweddar Williams o'r Wern wneyd y sylw pert a ganlyn: Pan welai bregethwr yn gwneyd rhagymadrodd cwmpasog anmherthynol i'w destyn, dywedai na wyddai i ba le yr oedd yn *myned;* ac os byddai yn y diwedd yn tynu addysgiadau anmherthynasol i'w bwnc, ei fod yn amlwg na wyddai yn mha le *yr oedd wedi bod.*

—"A welodd un honoch groen Elephant erioed?" gofynai holwr mewn Ysgol Frytanaidd amser yn ol. "Do, Syr, mi welais i," medd bachgen bychan chwech oed. "Yn mha le?" medd yr holwr. "O gwmpas yr Elephant ei hun," medd y bachgen gyda phobdifrifwch.

// Y WAWR.

CYF. VI.] HYDREF, 1881. [RHIF. 7.

# Y PARCH. BENJAMIN THOMAS, PENRHIWGOCH.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE, PA.

I. Agorodd ei lygaid gyntaf yn mhentref Cilgeran. Mynych y cwynir mai cul yw Cymru; ac nid yw yn gwadu. Ac y mae Cilbebyll yn Morganwg, Cilmaenllwyd yn Myrddin, Cilfain yn Mrycheiniog, a Chilgeran yn Mhenfro. Rhyw frenin yn nyddiau Owain Glyndwr, a ddigiodd wrth ei ferch am briodi; Ann oedd yn enw arni; ac i ddial arni am briodi a'r bachgen Bili, mynegodd ei thad iddi, "Cul fydd y caerau i ti, Ann." Adnabyddus iawn fu William Morris, Cilgeran, drwy Walia; Thomas John, Cilgeran, oedd wr hyglod; ac yn Cilgeran y ganed Benjamin Thomas, Penrhiwgoch. Meddwl yr wyf fi mai yn y flwyddyn 1804 y cafodd ei eni; a bu aflonyddwch mawr yn y Werddon y flwyddyn hono, fel eleni. Robert Emmett oedd yn ei achosi, a lladdwyd Arglwydd Cilwarden a nai iddo gan y Parnelliaid oedd y cyfnod hwnw yn blaenori. Y mae cyfoethogion yn y Bridell, y ty mawr Cilfowyr, yn Llangoedmor, a phalas Cilwendeg; ond y cyffredinolion gan mwyaf yn preswylio Cilgeran. Twno y meini llwydion, taflu rhwydau i'r afon, a chyflawni pob cyffredin orchwylion, y byddai pobl onest Cilgeran. Adwaenwn y tri brawd, David yn masnachu glo yn Aberteifi; John yn archenyddwr yn Cilgeran, a Benjamin yn was i'r Iesu yn Penrhiwgoch; ac yr oedd y tri yn grefyddol iawn, ac yn dwyn tebygolrwydd neillduol i'w gilydd. Tu hwnt i Lechryd y mae Tregaron; draw i Monachlogddu y mae Trelech, ac heibio i Landudoch y mae Trewyddel, a phobl eraill yn byw yno; ond magwyd Benjamin Thomas yn Cilgeran; y Bedyddwyr yno yn blaenori, a Penuel y galwant yr addoldy.

II. Afon Teifi oedd y man ei bedyddiwyd. Mae afon Teifi yn golchi gwyneb Cilgeran, yn magu pysgod i'r bobl, ac yn rhoddi lle i fedyddio y sawl fyddai yn credu. Ac nid oedd hi yn lluddias dwfr i daenellu; ond mynegwyd i mi mai gwell gan yr afon y sawl fyddai yn soddi. Tri Benjamin o fri a fedyddiwyd ynddi—Benjamin Davies, Cilfowyr; Benjamin Jones, Coedmor, a Benjamin Thomas, Cilgeran. Rhyw impyn bach oedd efe yn cael ei fedyddio; y dawnus John Henry yn ei fedyddio; a glynodd gyda'r Iesu wedi ei fedyddio am ddeugain mlynedd, os nad mwy. Trueni na buasai Mr. Thomas, Cwmbach, Llanelli; Mrs. Evans, yn Erw-wastad, Llanedi; a Richard Jones, Pontarddulais, yn fyw yn awr i ddarllen y manylion am anwylddyn eu calon. Eithr y mae Benjamin Thomas, Ysw., Cornhwrdd, Llanelli, wedi cael yr enw Benjamin gan ei rieni er mwyn Benjamin Thomas, Penrhiwgoch, ac i ddal ei enw i fyny.

III. Addasdeb ynddo i gylch cyhoeddus. Mae Duw yn donio yr afon i glebran â'r meini, y daran i roddi bloedd, a'r eos i ganu. Ac yr oedd y daran, yr afon, a'r eos yn y bachgen o

Gilgeran. Trugaredd oedd y gwely, heddwch oedd y cwmwl, a chariad oedd y llwyn. Magodd adenydd i godi, galwyd ef yn rheolaidd i bregethu, a bu John Henry yn ei wrando gyda hwyl; William Richards, Penparc yn ei galonogi, a Nathaniel Miles, Cilfowyr, yn foddlon i Benjamin bregethu yn well nag ef ei hun. A chofiwch mai yno y codwyd Thomas Rhys Davies, yr hwn a ddaeth yn dywysog y "Cap Du," yn ddarluniwr y Cap Coch, ac yn dderbyniwr y Cap Gwyn. Anogwyd Benjamin Thomas i gario "dyfroedd Siloah" o "borth y brenin" i blant y glyn, a bu siroedd y Gogledd yn sugno, y Deheudir yn drachtio, a Chymru oll a wybu am dano. Mi a dybiwn iddo roddi tro i drefydd Lloegr, ond nid i'r Werddon, na Newfoundland, na Chanada, nac un o Dalaethau America, a byddai arno ofn byw ynddi; ac ar hyn y bydd i ni sylwi cyn diweddu, os daw hyny.

IV. Agorwyd iddo le i lafurio. Mi roddwn lawer am un gair yn awr wedi ei argraffu am dano, ond rhaid i mi ysgrifenu hebddo. Eithr gan iddo dderbyn galwad i Penrhiwgoch, a'i urddo yn weinidog i'r eglwys yno tua'r fl. 1833, rhaid mai y Parchn. John Morgan, Talgryn; Daniel Davies, Velinvoel; David Bowen, Llanelli, a Joshua Watkins, Caerfyrddin, a fu yn ei urddo. Anhawdd mewn ambell wlad yw cael un eglwys fechan ynddi er y son mawr am dani; eithr yr oedd gan Mr. Thomas *dair* o eglwysi cryfion, yn sir Gaerfyrddin, mewn tri o blwyfi—Penrhiwgoch, Llanarthey; Sardis, Llanedi; a Saron, Llandybie. Priododd â merch i David Stephens, amaethwr o allu, brawd rhagorol, cymydog diwyro, ac un o ddiaconiaid Saron. Ac yno y bu Mr. Thomas yn magu ei deulu, ac oddiyno y cafodd ei gladdu, wedi byw yno o bump i saith ar hugain o flwyddi. Achubwyd ef rhag i Abimelech ei daro â meini; mab Jerubaal â drain yn ei ddysgu; neu y twr yn Sichem i syrthio ar ei ben a'i lethu.

V. Agweddau i'w cofio. Mae tri sylw man hyn arno: 1. Ei brydweddion. Mi a'i gwelaf yn awr o fy mlaen yn wr tew, trwm, a thywyll o wedd; pen mawr, a llygaid mor llonydd a'r ser yn yr haf; ac yn y ddau lygad y mae diniweidrwydd yr oen bach ar y mynydd mawn, twyni Maespica, a morfa Moreb. 2. Ei bryder. Marchogaeth y byddai i'r gwahanol eglwysi, a llawer gwaith y bu David Evans y saer yn ei hebrwng o Sardis, John Jenkins o Benrhiwgoch, a Thomas Thomas o Saron. Ac od yw un o feibion y WAWR ddim yn credu, gofyned i Mrs. Daniel Smith, ei mam a'i brodyr hi yn Parsons, Pa.; ond bu eu tad yn teithio droion gyda Mr. Thomas, o Saron i'r ty. Tybio yr wyf fi mai nid ofn tarw, ofn ci, nac ofn dyn oedd arno; ond ofn ei hunan yn anadlu, y llwyn yn ddu, a'r nos yn tewi. 3. Ei bregethu. Tybiwyf eto y byddai yn hoff iawn o Petr yn ysgrifenu; ac felly yr Esgob Leighton, yr esboniwr Adams, a Mr. Thomas, Penrhiwgoch. Tachwedd, 1839, oedd y waith gyntaf i mi ei wrando, a rhy ieuanc oeddwn i gofio ond y testyn yn 1 Petr iv. 18. "Y cyfiawn caredig braidd yn gadwedig." Drachefn "Cael ei deulu mewn tangnefedd gyda'r Iesu." 2 Petr iii. 14. Ac yn ddiweddaf, yn agoriad Soar, Ystalyfera, Medi, 1856. Pregethwyd o'i flaen gan frawd o fri, a'r dylanwad yn annarluniadwy; ond aeth yr alawydd o Benrhiwgoch i ddolydd Simon, cawg yr addewidion, a mynodd y "didwyll laeth" i fabanod Seion; ac yno y bu sugno, a gwenu, yfed a chanu, a gellid aros yno i'r wawr i godi. Mae mwynder y dôn, naturioldeb y nodion, a sylweddau y swynion, yn rhy anhawdd eu gadael i golli. Ddydd Nadolig, y flwyddyn 1845, bu urddo diaconiaid yn Aberavon—"Arwystl" yn darlunio y swydd; Dr. Davies, Abertawe, gyda'r *Logos* yn pabelli, a Mr. Thomas, Penrhiwgoch, yn offrymu gweddi y neillduad, ac yn dymuno i wallt y brodyr hyny i droi yn wyn gyda bwrdd y cymun, a thrwy gario y bara a'r gwin; ac y mae yr oslef hono yn awr yn fforest fy meddwl i. Dibynai gryn lawer ar "y deheuwynt yn chwythu yn araf," a phan na byddai y "Porthladdoedd Prydferth" yn y golwg, yr oedd yn

gorweddan ar astyllen ei areithfa, yn pwyso ar y Beibl, yn methu cydio mewn colofn o'r ty, ac yn rhoddi yr oedfa yn fuan i fyny. Tri pheth rhy anhawdd ganddo eu cyflawni, oedd, curo y diniwed, ceryddu yn galed, a chasglu at gapel a fyddai mewn dyled. Aeth i Morganwg un waith ar neges felly, gan alw yn Merthyr "o dy i dy," ac os byddai yno ballu, dyna Mr. Thomas yn digaloni, ac yn wylo yn ei wely, am nad oedd y bobl yn cyfranu. Penderfynwyd peidio ei anfon mwyach i ymboeni, ond ei gadw gartref i godi "cloffion Ephraim," "grawnwin Abiezer," sypiau Engedi, a danteithion "yr hyfryd wlad."

VI. Adrodd yn mhell am dano. Edrycha yr ysgrifenydd beddyw arno ei hun yn wr wedi ei anrhydeddu drwy gael galwad yn olynydd i Mr. Thomas, yn Saron, ac i eglwys arall yn y fro gyforiog hono. Eithr nid hyny oedd gyda mi yn awr i nodi, ond adroddion pell am dano. Mr. Henry E. Davies, o Ridgeway, yn Wisconsin, a gofia am y cenadydd o Benrhiwgoch, yn Gallt-yr-erw, Rhandirmwyn, ac yn pregethu i bobl Bwlch-y-rhiw a chapel Seion, ar gynllun trugaredd yn eiddo y colledig ddyn, a Morgan Lewis yn ymgolli, David, Troedrhiwblynon, yn ymdoddi, a Shon o'r Bylchau wedi neidio i gopa Nebo, ac yn mesur tiroedd Naphtali, yn mhellach na Soar. Mrs. Sarah Davies, pan oedd hi, a gofiai hyny; ond y mae hi yn awr o Wynfa y gwaredigion yn meddu melus adgofion, ac wedi ail-ymuno â'r pregethwr dawnus y tu hwnt i'r afon gynhyrfus.

VII. A'r negesydd yn ei gipio. Ar foreu Sabboth yn nrws ei dy, pan yn cychwyn i Sardis, Llanedi, dyna y gelyn mawr yn rhoddi ergyd o'r parlys mud iddo, a bu am ddyddiau mewn cyflwr o dawedogrwydd, ac ni ddywedodd un gair mwyach, a bu farw dan wenu, yn mis Rhagfyr, y flwyddyn 1858; ac nid oedd yn fwy na 54 ml. oed. Ei orweddfa a geir yn ymyl Saron, a maen yn nodi y man; a meddyliau llu mawr yn anwylo ei enw. Mab i frawd iddo yw y Parch. Benjamin Thomas, Trelettert, yn sir Benfro; ac y mae yn dra thebyg iddo yn ei ddull o gyfansoddi, ei ddawn yn traddodi, ac amryw o neillduolion y pregethu. Tra byddo Benjamin Thomas, Narberth, yn byrlymu ei brydferthion, a Benjamin Thomas, Trelettert, yn brawddegu swynion, bydd Benjamin Thomas, Penrhiwgoch gyda ni mewn anrhydeddus adgofion.

Dyna'r nablydd wedi tewi,
  Tafod aur y ddwyfol gloch,
Ar y twyni uwch y dolydd
  Bu alawydd Penrhiwgoch;
Dodi'r surdoes fu yn Sardis,
  Dwys lefeinio yn y fan,
A rhyw seren fu yn Saron,
  Yn sirioli ar y lan.

Dwsmel gras a nabl cariad,
  Dyna ganiad felus fwyn,
A chynfrodorion maesydd Myrddin
  A fu yn delwi dan y swyn;
Mae'r mynydd mawr a'r meini gwynion
  A maes y meillion eto yn fyw,
Rhyw angyles yw yr afon,
  Ac yn ei chalon gofion gwiw.

Aml un i diroedd estron,
  Aeth o Saron draw yn mhell,
Eto deigryn o'r gorllewin
  Adrodda gwyn y dyddiau gwell.
Tra symudir ser y siroedd,
  Mae y floedd a waedda'n groch,
Am gael lampau mwy llewyrchus,
  Megys Thomas, Penrhiwgoch.

---

## AIL-ENEDIGAETH.

GAN DR. H. CEFNI PARRY.

Athrawiaeth fawr a phwysig, ac un o brif athrawiaethau y grefydd Gristionogol yw Ail-enedigaeth; a gellir edrych arni yn sefyll fel un o wirioneddau hanfodol yr efengyl, ac un o egwyddorion neillduol y Testament Newydd. Dygwyd yr athrawiaeth bwysig hon ger bron yn yr ymddyddan mawr a gymerth le rhwng ein Harglwydd sanctaidd a Nicodemus, penaeth yr Iuddewon. "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn drachefn ni ddichon efe weled teyrnas Dduw." Gwirionedd newydd! Ffaith ryfedd!—geni dyn drachefn! Disgynodd yr ymadroddion dyeithr hyn ar glust a chalon Nicodemus yn holl newydd-deb a

nerth llais o fyd arall. Ni ddeallodd y syniad newydd hwn, eithr safodd yn syn uwchben y dirgelwch a orweddai ynddo, a gofynodd yn frawychus, "Pa fodd y dichon dyn ei eni ac efe yn hen? a ddichon efe fyned i groth ei fam eilwaith a'i eni?" Tebyg i Nicodemus ceir llawer eto, o ran dirnadaeth gywir, neu amgyffred goleuedig am natur yr oruchwyliaeth fawr hon, "Geni dyn drachefn!" Mae yr un oruchwyliaeth yn cael ei dysgu mewn gwahanol ymadroddion; megys, ad-enedigaeth, ail-eni, geni o Dduw, adgenedlu, creu o'r newydd, ffurfio Crist ynoch. Yr un peth a osodir allan trwy yr holl ymadroddion hyn, a'r cyffelyb. Rhaid cofio mai ymadroddion cymhariaethol neu draws-symudol (*metaphorical*) ydynt oll. Nid oes geni llythyrenol, yn ysbrydol neu foesol, mwy nag yn anianyddol, yn cymeryd lle, pan yr effeithir yr oruchwyliaeth fawr hon; ac nid oes creu llythyrenol, mewn un ystyr yn cymeryd lle. Ni roddir dim newydd, yn anianyddol, yn y natur foesol neu ysbrydol; ac ni newidir sefyllfa naturiol un gallu neu gyneddf yn y meddwl, pan y dygir yn mlaen y gwaith mawr hwn. Y syniad a ddysgir trwy yr ymadroddion cyffelybiaethol hyn, ydyw, Bod y cyfnewidiad a ddygir yn mlaen ar y dyn trwy yr oruchwyliaeth hon, mor fawr, effeithiol, ac eglur, a phe genid dyn drachefn, neu y crëid ef o'r newydd. Am hyny y dywedir, "Gan hyny od oes neb yn Nghrist y mae efe yn greadur newydd; yr hen bethau a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth o'r newydd." Ymddengys fod y gyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth dderbyniad y proselyt o'r cenedloedd i mewn i ragorfreintiau gwladwriaeth Israel, y rhai yn wladol ac eglwysig a berthynent yn wreiddiol i'r Iuddewon, plant o genedl Abraham. Edrychai yr Iuddewon ar y proselyt, yr hwn a dderbynid i mewn i blith cynulleidfa yr Arglwydd, trwy yr enwaediad gwaedlyd a seremoniau cnawdol eraill, fel dyn wedi ei eni drachefn, ei eni eilwaith, neu ei eni o'r newydd. Ni feddyliai yr Iuddew am enedigaeth felly i neb ond i'r cenedlddyn. Ni ddychymygai am i un Iuddew gael ei eni drachefn; a theimlai y syniad o enedigaeth newydd i'r Iuddew, yr hwn eisoes a anesid yn freiniol, mor ddyeithr a phe buasai dyn i fyned i groth ei fam eilwaith, a'i eni. Dyna oedd yn synu a dyrysu Nicodemus. Nid yr ail-enedigaeth gymaint a'r ffaith o eni yr Iuddew drachefn. "Na ryfedda ddywedyd o honof i wrthyt, Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn." Mae dwy ffaith fawr yn hawlio ein sylw wrth ymdrin â'r pwnc dyrys a phwysig hwn.

I. NATUR AIL-ENEDIGAETH.—Ymddengys fod yr ysgrifenwyr sanctaidd ac ysbrydoledig yn golygu dau beth pan yn defnyddio yr ymadroddion hyn —adenedigaeth, ail-eni, adgenedlu, geni drachefn, a genedigaeth newydd. Cynwysa y syniad

1. *Ffurfiad y fuchedd sanctaidd, neu ddadblygiad y cymeriad Cristionogol, trwy ymarferiad y grasusau ysbrydol.*—Priodolir hyn i air Duw; felly i gyfrwng moddion. "Wedi eich ail-eni nid o had llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw, yr hwn sydd yn parhau yn dragywydd" "Fy mhlant bychain, y rhai yr wyf yn eu hesgor drachefn, hyd oni ffurfir Crist ynoch." "O'i wir ewyllys yr enillodd efe nyni trwy air y gwirionedd, fel y byddem ryw flaenffrwyth o'i greaduriaid ef." Pan y priodolir cyfnewidiad pechadur i ffydd, ffurfiad y fuchedd sanctaidd a ddeallir; oblegid ffydd yw y gras cyntaf ynddi; ac felly yn gynhyrfydd, symudydd, ac arweinydd y grasusau eraill, yn eu dadblygiad rhinweddol yn nghyfansoddiad y cymeriad Cristionogol. "Gan buro eu calonau trwy ffydd." "Yn yr hwn hefyd y'ch cydgyfodwyd trwy ffydd, gweithrediad Duw." Yn yr ystyr hwn y priodolir ail-enedigaeth i fedydd, fel proffes, rhwymedigaeth, neu ffurf y fuchedd sanctaidd; oblegid mai yn y bedydd y dechreuir rhodio mewn newydd-deb buchedd. "Geni o ddwfr;" "golchiad yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glan;" "yr olchfa ddwfr trwy y gair;" "cyffelybiaeth cyfatebol i'r hyn sydd yr awrhon yn ein hach-

ub ninau, sef bedydd, (nid golchi ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist," ydynt ymadroddion yn priodoli ffurfiad y fuchedd sanctaidd i fedydd, fel ufudd-dod ffydd.

Fel y mae bedydd yn ail-enedigaeth i'w chymeryd yn y synwyr o ddechreuad y fuchedd newydd a sanctaidd, priodolir maddeuant pechodau, golchiad ymaith bechodau, a mabwysiad i deulu Duw, i fedydd, fel dechreuad y bywyd newydd, a rhwymedigaeth iddo. Yn yr ystyr eang hwn priodolir ail-enedigaeth i gyfrwng neu offerynoliaeth moddion.

*Yr ail syniad i ail-enedigaeth yw, cyfnewidiad ysbrydol, o waith Ysbryd Duw ar natur ysbrydol dyn, yn ffurfiad y duedd sanctaidd yn y galon.*—Priodolir hyn bob amser i Dduw, ac i Ysbryd Duw, yn hollol, ac annibynol ar gyfrwng moddion. "A'r Arglwydd a agorodd galon Lydia." "Ac efe a roddes i ni feddwl, fel yr adnabyddem yr hwn sydd gywir." "Nid cig a gwaed a ddatguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd." "Canys ei waith ef ydym ni, wedi ein creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da." "Yr hyn a'n gweithiodd ni i hyn yma yw Duw." "A'r hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Nid all gweinidogaeth moddion effeithio dim ar y natur ddi-ail-enedig, gan nad oes ganddi ffydd, gweithrediad Duw, i wneyd defnydd rhinweddol o'r moddion.

Yn yr ail-enedigaeth rhoddir gallu yn y galon i gredu. Felly gelwir ffydd yn rhodd Duw, a gweithrediad Duw. Nid oes ond y drwg yn y dyn pan yr ail-enir ef. Am hyny dywedir fod Duw yn rhoddi calon newydd ac ysbryd newydd yn yr ail-enedigaeth. Dywedir fod Duw yn gweithio yr ewyllysio a'r gweithredu o'i ewyllys da ef; ond ni ddywedir ei fod yn creu ewyllys newydd. Pe byddai rhyw allu, cyneddf, neu ermig newydd yn cael ei roddi yn y dyn, byddai hyny yn dinystrio ei gyfrifoldeb. Er nad oes dim newydd yn cael ei roi ynddo, eto mae pob peth yn cael ei wneyd yn newydd. Am hyny y gelwir y gwaith yn "Adnewyddiad."

A ydyw ail-enedigaeth yn wyrth? Yr ydym yn dyweyd, nad all ond gallu dwyfol, a hyny yn oruch-naturiol, wneyd y gwaith; ac nad trwy foddion, eithr yn ddigyfrwng moddion y gwneir ef; a hefyd nad oes dim newydd yn cael ei roi yn y dyn, na dim cyfnewidiad lleol yn cael ei effeithio ar yr un o alluoedd y meddwl, yn y cyfnewidiad mawr hwn; eto yr ydym yn dywedyd yn mhellach, Nad yw ail-enedigaeth neu gyfnewidiad calon pechadur, yn wyrth, yn mhellach na bod pob peth perthynol i drefn cadw dyn, yn wyrth. Pe yn wyrth, dinystrid seiliau cyfrifoldeb dyn, a dirymid rhwymedigaeth dyn i fywyd rhinweddol. Y cwestiwn gan hyny yw, Pa beth a roddir yn y dyn, yn yr ail-enedigaeth, i effeithio y cyfnewidiad mawr hwn? Dim, ond tuedd (*bias*) newydd! Gwyddis nad yw tuedd ond agwedd, osgo (*bent*) ar beth. Pa fodd y rhoddir y duedd (*bias*) newydd yn y meddwl heb gyfryngiad gwyrthiol? Gwyrth yw eithriad i drefn gyffredin natur, yn anianyddol neu ysbrydol, a hyny naill ai trwy weithredu yn groes i ddeddf sefydlog, neu yn uwchlaw iddi. Nid yw ail-eni pechadur yn cymeryd y naill ochr na'r llall, eithr yn berffaith gydweddol â deddfau natur ysbrydol dyn. Rhoddwyd natur ysbrydol yn y dyn pan y crewyd ef; sef natur i dderbyn argraffiadau (*impressions*) oddiwrth yr amlygiadau allanol o Dduw, i ddirnad am Dduw, ac i gydymdeimlo â Duw. Dyma y natur a'i gwna yn fod crefyddol. Ni chollwyd y natur hono yn y cwymp. Y mae hi ynddo eto, ond ei bod wedi ei dyrysu, ei rhwystro a'i marweiddio; a'r duedd ysbrydol wedi marw ynddi, o herwydd diffyg gweithio allan y natur hono yn rheolaidd a rhinweddol, mewn cydffurfiad ag ewyllys Duw. Pechod sydd wedi dyrysu y natur ysbrydol; a diffyg gweithio allan y natur hono yw marwolaeth tuedd wreiddiol y natur ysbrydol. Trwy hyny y mae y natur ysbrydol dan lywodraeth y natur anianol; a'r duedd wreiddiol wedi ei gorthrechu dan lyw-

odraeth y cnawd yn y chwantau a'r meddyliau. Yr hyn sydd raid ei gael i ddwyn pethau i drefn yw, cyffroi y natur ysbrydol yn y dyn, a'i galw allan yn duedd ysbrydol ynddo. Nis gall y dyn ei hun wneyd hyn; nis gall neb ond Duw ei hun wneyd hyn. Gall Duw wneyd hyn, yn y natur ysbrydol, heb gyfryngiad gwyrthiol, yr un modd ag y gollynga ei Ysbryd i adnewyddu gwyneb y ddaear, ar aden awel y gwanwyn yn y byd anianyddol. "Yr Ysbryd a anadla lle y myno." Mae yr Ysbryd Glan yn allu hydreiddiol (*pervasive energy*), yn gallu myned i mewn i'r dyn, a threiddio ei natur ysbrydol, a dwyn bywyd a nerth gydag ef, nes ei bywhau, ei deffroi, a'i thynu allan yn anian neu duedd ysbrydol. Y cyffyrddiad hwn sydd yn rhoddi gogwyddiad newydd yn y dyn; a'r *bias* newydd hwn ydyw dechreuad chwyldroad ysbrydol yn natur foesol dyn, a chychwyniad cyfeiriad y fuchedd newydd—yr AIL-ENEDIGAETH.

Yr anadliad dwyfol (*divine inspiration*), nid i lefaru geiriau Duw, ond i wneuthur ei ewyllys ef, ydyw y goruchwylydd effeithiol yn nygiad yn mlaen yr enedigaeth newydd—"geni o'r Ysbryd." Y cwestiwn yw, Gan mai yn gyson â deddfau sefydlog y natur foesol, ac nid trwy gyfryngiad gwyrthiol, y dygir yn mlaen y cyfnewidiad hwn, pa fodd na byddai pob dyn yn cael ei ail-eni? Rhaid cofio fod rhyw agwedd meddwl neu ystâd teimlad neillduol yn ofynol i'r Ysbryd Dwyfol i'w gael, i weithio yn achubol arno. Rhaid argyhoeddi y dyn yn gyntaf cyn ei ail-eni. Ysbryd Duw sydd yn argyhoeddi, yn gystal ag ail-eni. Eto, gweithrediadau allanol, ac nid mewnol, ydyw hyn; a thrwy foddion y dygir hyn yn mlaen. Gall yr Ysbryd Glan fod yn ymryson â'r meddwl am flynyddau, cyn i'r dyn deimlo argyhoeddiad effeithiol ac achubol. Tra heb deimlo hyn, ni ellir ei ail-eni, oblegid yn gwrthwynebu, yn tristâu, ac yn diffodd yr Ysbryd; a'r Ysbryd eto yn cael ei gadw allan o'r galon. Mae gan ddyn gydwybod, a dyna'r unig beth achubadwy sydd yn aros yn y dyn ar ol y cwymp. Mae y deall wedi ei dywyllu, y serch yn ddaearol, a'r rheswm yn gnawdol. Ond y mae y gydwybod, er ei bod yn ddrwg, eto yn deimladwy. Ar y gydwybod mae cymellion yr Ysbryd yn gweithio. Pan bydd y gydwybod yn cael ei dwyn i gydymdeimlo â'r hyn sydd rinweddol, y mae agwedd y meddwl ac ystâd teimlad y dyn yn gyfryw ag y gall yr Ysbryd Dwyfol fyned i mewn i'r natur ysbrydol yn y dyn, ac anadlu bywyd ysbrydol ynddi, fel y ffurfier y duedd ysbrydol allan o'r natur ysbrydol sydd yn y dyn y dydd y crewyd ef, er wedi ei dyrysu gan bechod. Nid gwyrth ydyw hyn, ond trefn reolaidd Duw i weithio ar ddeddfau ysbrydol byd y meddwl, megys y gweithia yn ei drefn reolaidd ar ddeddfau anian, yn y byd naturiol. Y perygl mawr yw, peidio rhoddi chwareu teg i'r gydwybod i deimlo, meithrin, a phlygu i'r argyhoeddiadau, fel y deuai y meddwl i agwedd briodol i'r Ysbryd i weithio ynddo y cyfnewidiad mawr hwn, yr hwn yn ei ddygiad yn mlaen, mewn dadblygiad rheolaidd o rasusau yr Ysbryd Glan, a ffurfia y fuchedd sanctaidd, a'r cymeriad Cristionogol. Arweinia hyn nyni at y meddwl arall, sef—

II. YR ANGENRHEIDRWYDD AM AIL-ENEDIGAETH.—Mae tri meddwl awgrymedig yn yr ymddyddan rhwng yr Arglwydd Iesu a Nicodemus, ar yr angenrheidrwydd hwn; sef geni drachefn, geni o ddwfr, a geni o'r Ysbryd. Geni drachefn, i *weled* teyrnas Dduw; geni o ddwfr, i fyned i mewn i deyrnas Dduw; a geni o'r Ysbryd i fwynhau yn ysbrydol deyrnas Dduw. Mae yr awgrymiadau hyn yn cynwys,

1. *Dirnadaeth ysbrydol i adnabod pethau ysbrydol.* "Gweled teyrnas Dduw." Yn ol y dysgedig John Williams, "Teyrnas Duw," sef y drefn achubol a osodai Duw i fyny dan yr efengyl; neu yr egwyddor ddwyfol, a'r ddysgeidiaeth sanctaidd, trwy y rhai yr ymwnai Duw â dynion daear, dan deyrnasiad y Messiah. Mae elfenau ysbrydol teyrnasiad Duw yn bethau nad ellir eu dirnad yn eu hysbrydolrwydd, eu canfod yn eu gwerth, na'u

derbyn yn eu rhinwedd achubol, heb y geni drachefn. "Canys dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw; canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Rhaid cael dirnadaeth ysbrydol i farnu, neu ymsynied pethau ysbrydol. "Ond yr hwn sydd yn barnu, sydd yn barnu pob peth; eithr efe nis bernir gan neb." Y geni drachefn sydd yn goleuo llygad y meddwl, yn agor y galon, ac yn datguddio pethau ysbrydol, fel y gwelir teyrnas Dduw yn ysbrydolrwydd ei chymeriad, arucheledd ei natur, a nefolrwydd ei hansawdd.

2. *Cymwysder ysbrydol i freintiau ysbrydol.*—Rhaid geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd cyn y gall efe fyned i mewn i deyrnas Dduw. Megys na allai y cenedl-ddyn fyned i mewn i fwynhau rhagorfreintiau yr eglwys Iuddewig gynt, heb fyned dan ddefodau gwaedlyd yr enwaediad, i'w eni drachefn, fel proselyt, felly nid all na Iuddew na chenedl-ddyn fyned i mewn i eglwys y Testament Newydd, heb ei eni drachefn o ddwfr y bedydd. Gwaed oedd yn aileni y proselyt gynt; ond dwfr yw ailenedigaeth dan y Testament Newydd. Yr enwaediad gwaedlyd oedd sacrament yr eglwys hono; bedydd dwfr yw sacrament yr eglwys yn awr. "Geni drachefn"—*gennethe annothen* — geni oddi uchod. Eto, mae y geni oddi uchod yn eni o'r dwfr. Paham y gelwir geni o ddwfr yn eni oddi uchod? Gelwir ef felly ar dair ystyriaeth. 1. Oblegid mai sefydliad dwyfol yw bedydd. Os oedd bedyddio y proselytiaid yn arfer yn mysg yr Iuddewon, peth nad ellir ei brofi, nid oedd yn sefydliad dwyfol. Ni orchymynid ef yn y gyfraith. Peth dynol oedd. Yr oedd bedydd Ioan o'r nef; felly yn beth oddi uchod, ac yr oedd ufudd-dod iddo yn eni oddi uchod. Mae pethau dwyfol yn dyrchafu dyn—pethau oddi uchod ydynt. Felly bedydd—geni oddi uchod. 2. Oblegid egwyddorion nefol mewn meddiant yw y cymwysder i fedydd. Edifeirwch am bechod, ffydd yn Nghrist, ac ufudd-dod i'r efengyl. Nis gellir dod i eglwys Dduw, trwy ddwfr y bedydd, neu y geni drachefn o ddwfr, heb y pethau nefol hyn. 3. Oblegid mai i gyflwr nefol y trosglwyddir y bedyddiedig. Nid i ragorfreintiau gwladwriaeth ddaearol, ond i ddinasfraint nefol teulu Duw, ac etifeddion gobaith bywyd tragywyddol, yn nghadw yn y nefoedd. 4. Oblegid arferion nefol a actir yn y broffes uchel yn y bedydd. Marw i bechod—cydgyfodi gyda Christ—rhodio mewn newydd-deb buchedd — cydeistedd gyda Christ yn y nefolion leoedd—ceisio y pethau sydd uchod—rhoddi y serch ar bethau sydd uchod—actio pob peth uchel a nefol. Mae geni o ddwfr yn rhwymo hyn. Cydnabydda pob enwad Cristionogol fod bedydd yn angenrheidiol fel cymwysder i fyned i mewn i eglwys Crist, neu deyrnas Dduw ar y ddaear.

3. *Gallu ysbrydol i fwynhau pethau ysbrydol.*

Mae yn rhaid geni o ddwfr ac o'r Ysbryd, i fyned i mewn i deyrnas Dduw. Er meddu cymwysder seremoniol, trwy eni o ddwfr bedydd i fyned i mewn i eglwys weledig Crist ar y ddaear, rhaid geni o'r Ysbryd i fyned i mewn i deyrnas ysbrydol gras, i fwynhau ei bendithion achubol ar y ddaear, ac i deyrnas dragywyddol y gogoniant yn y nefoedd. Ni all dim ond geni o'r Ysbryd godi dyn uwchlaw lefel y cnawd. "Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd, a'r hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Er pob peth, cnawd fydd y dyn, ac ni all y cnawd fod yn ddarostyngedig i ddeddf Duw. Rhaid dyrchafu dyn uwchlaw lefel y cnawd, cyn y gall ymgodi at bethau ysbrydol i'w mwynhau. "A'r hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Geni o'r Ysbryd sydd yn rhoddi gallu yn y natur ysbrydol i ddarostwng yr anianol dan lywodraeth yr Ysbryd, ac i farweiddio gweithredoedd y cnawd trwy yr Ysbryd, nes yn y diwedd llwyr ddyfetha llywodraeth y cnawd yn rhanau iselaf y natur, nes rhyddhau yr ysbrydol i ymddyrchafu yn hollol at bethau nefol, ysbrydol, ac anllygredig, ac ymorphwyso yn Nuw, o'r hwn y ganwyd ef.

# PAUL YN ATHEN.

GAN Y GOLYGYDD.

RHIF III.

Mae y *gallu* mawr newydd wedi cyrhaedd Ewrôp. Sylweddolwyd deisyfiad "y gwr o Macedonia," "Tyred drosodd a chymhorth ni." Mae chwaon dwyfol hedd a chariad yn chwareu yn dyner ar aeliau meibion a merched Japheth. Afonydd a rhaiadrau y wlad chwareuant newydd alawon. Ymlona gwynebpryd y diriogaeth. Glaniodd yr oruchwyliaeth rasol a'i hofferynau yn ddiogel. Sanga ei chynrychiolwyr y tir yn galonogol. Ymdeithiant yn mlaen gyda llygaid treiddgar. Dyeithr yw y Dalaeth—Macedonia. Macedonia! Pa dywysogaeth fwy hynodol? Dyma fagwrfan Alexander Fawr—dychryn y byd. Yma y bu Cicero yn alltud; yma y trengodd y weriniaeth rwysgfawr Rufeinig. O, Macedonia, ti a gefaist yr awrhon fraint fawr. Ti a anfonaist allan rengau rhyfelgar i'r dwyrain, gan ladd, gorthrymu, a dinystrio. Yn dâl yn ol, yr wyt yn cael cenadon, ydynt yn dwyn gyda hwynt fywyd, rhyddid a chân. Mor hardd ar y mynyddoedd yw traed y rhai sydd yn efengylu tangnefedd i ti, ac yn cyhoeddi i ti heddwch. Onid yw eu henwau yn fiwsig i'r glust, ac yn brydferthwch i'r llygaid? Nac ymddigia, na ffroma, Macedonia, wrth glywed eu henwau—Paul, Silvanus, Luc a Timotheus. Y mae i ti feibion a merched ddeuant yn y man i ddysgu parchu gwyr o'r enwau yna. Sefydlir tair gorsaf—yn Philippi, Thessalonica, Berea. Blaenorid yn y llafur gan Paul. Daeth yr efengyl i'r manau hyny, nid mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glan, ac mewn sicrwydd mawr. Anmhosibl dwyn ar gof y lleoedd nodedig hyny heb adgofio gorchestion ardderchog y deyrnas nad yw o'r byd hwn, ynddynt. Yn yr ymdrechfa, ar un ochr yr oedd cablu, erlid, bygwth, fflangellu, carcharu. O'r ochr arall yr oedd tiriondeb, cariad, maddeugarwch, amynedd. Os o un ochr y ceid edifeirwch, cyffesiad—o'r ochr arall y ceid maddeuant ac iachawdwriaeth. Os o un ochr y ceid gelynion, yn yr ochr arall y caed cyfeillion. Gelynion penaf dyn fydd tylwyth ei dy ei hun. Felly yma, y gwrthwynebwyr ffyrnicaf oeddynt yr Iuddewon. Nid oedd diwedd ar eu dialedd yn Thessalonica. Nid digon ganddynt oedd erlid gartref; mynent fyned hyd Berea, bellder mawr o ffordd, pan glywsant fod yr efengyl yn cael ei phregethu gan Paul yno hefyd. Yr oedd yn Berea bobl foneddigeiddiach, y rhai a chwilient beunydd yr Ysgrythyrau i edrych a oedd y pethau hyn felly. Ond ni chawsai Paul lonydd i'w dysgu; a chan mai efe a erlidid fwyaf, y brodyr a'i hanfonasant ef ymaith i fyned megys i'r môr. Dwg hyn i derfyniad fuddugoliaethau cyntaf yr efengyl yn Ewrop. Ac wrth adolygu yr ysgarmesoedd, adlewyrchai anrhydedd ar yr offerynau, yn gystal ag ar yr effeithiau.

Mae Cristionogaeth, y tro nesaf, i ddyfod i wrthdarawiad â phaganiaeth yn ei man cadarnaf—yn Athen. Tegwch bro a llawenydd yr holl ddaear oedd Athen, prif ddinas Groeg. Gan luosoced swynion y ddinas arwenog hono, lluosog oedd yr ymwelwyr iddi yn ddiau, oes ar ol oes. Yr ymwelwyr hyn a ddygent ddelw eu gwahanol wledydd, cenedloedd, ieithoedd, amgylchiadau, cymeriadau a chwaethau, yr hyn barai wahaniaeth dirfawr rhyngddynt. Yn mhlith eraill ceid marsiandwyr anturiaethus, athronwyr dyfnddysg, haneswyr manwl, celfyddydwyr medrus, a beirdd awenawl, y rhai yn eu tro a sangent am y tro cyntaf balmantau esmwyth ac esgynfeydd troellog y ddinas ymerodrol. Prin y gellid dweyd fod neb o'r lluaws ymwelwyr hyn yn dyfod i'r ddinas gyda'r amcan i chwanegu yr un cufydd at eu maintioli. Ni feiddiasai y mwyaf uchelfrydig broffesu amcan felly. Hunan-les, hunanfwynhad, hunan-gywreinrwydd, oedd gan y rhan fwyaf, os nad yr oll, mewn golwg. Hawdd y gallwn ddyfalu y brys a feddianai pawb dyeithr ar ol cyrhaedd yno am gael gweled ceinion

y ddinas wech. Prin y cymerai y cyffredin amser i ymloewi a gorphwyso ar ol helyntion blinderus y daith, cyn mwynhau tremiadau cyntaf ar ei gogonianau.

Ymwelid yn gyntaf a'r Acropolis a'i wyrthiau celfyddydol dihafal—yr Areopagus uchelfawr--y farchnad fynwesol—ysgolfanau yr athronwyr, a cheinion amryfath eraill. Ond yn nghwrs yr oesau y mae ymwelydd neillduol ar ddyfod i'r lle. Mae ar ei daith yma. Nid yw nepell o gyffiniau'r wlad eisoes. Gwahaniaetha hwn yn ddirfawr oddiwrth bawb o'r ymwelwyr—yn ei ymddangosiad a'i neges. Ni wel y cyffredin nemawr o ddim hynod ynddo; ond credwn y gwelsai y craff ynddo nodweddau neillduol. Dacw fe yn myned yn nghyfeiriad y môr. Bychan ydyw o gorpholaeth; arwydda ei wynebpryd ddealltwriaeth uwch na'r cyffredin; edrycha ei lygaid a'i amrantau yn uniawn o'i flaen. Mae symudiadau ei gamrai yn tueddu i fod yn brysur, er hyny yn ofalus. Mae ganddo neges bwysig. Ymddengys yn ddyn bob mymryn o hono. Hwn yw Paul, apostol mawr y Cenedloedd.

Yn bresenol mae ar gychwyn o Berea, yn nghyfeiriad Athen. Mae y symudiad hwn yn un gwir anturiaethus. Y mae ei waith yn argymeryd ag ef yn dangos gwroldeb o'r radd flaenaf. A chan fod i'r fordaith y fath ystyr, mae yn werth i ni graffu. Mae y dysgyblion yn Berea yn trefnu cyfarwyddwyr cymwys i'r apostol. Gwerthfawr ydoedd gwasanaeth y rhai hyn iddo, gan y gallasai fod yn dyoddef naill ai oddiwrth wendid golygon neu ryw lesgedd corphorol arall. Gyda golwg ar y modd y cyflawnodd y daith hirfaith, bernir yn gyffredin mai mordwyo a wnaeth, ac nid myned dros y tir, gan gymeryd llong mewn porthladd cyfagos. Mawr oedd braint y cyfarwyddwyr hyn. Gan fod lle i gredu mai dychweledigion ieuainc oeddynt, newydd eu dychwelyd i'r ffydd o dan weinidogaeth yr apostol, nid bychan oedd y lles a'r cysur a allasai hyn o wasanaeth fod iddynt. Trwy hyn yr oeddynt yn cymeryd rhan ymarferol yn iachawdwriaeth y byd. Trwy hyn yr oeddynt yn cael mantais i gadw eu teimladau crefyddol yn gynes, a'u troi yn arferion sylweddol. Trwy hyn yr oeddynt yn cael y fantais o fod yn nghymdeithasd yn oedd yn mhob modd yn esiampl deilwng o fywyd crefyddol a buchedd sanctaidd.

Mae Paul a'i ffryndiau yn y llong yn cychwyn. Nid ydym i dybied fod yr apostol yn siarad llawer a'i gyfarwyddwyr. Dyn a phethau pwysig ar ei feddwl, nid yw barablwr mawr. Yr oedd ef yn genad neillduol i ddwyn ger bron y cenedloedd anchwiliadwy olud Crist. Ac, fel yr hen brophwydi gynt, teimlai bwys gair yr Arglwydd. Ni wyrai ar y dde na'r aswy. Gorweddai iachawdwriaeth ei gyd-ddynion yn agos, agos at ei galon. Gallai ddyweyd, "Y mae genym y trysor hwn mewn llestri pridd." Nid yw yn naturiol i ni, gan hyny, dybied ei fod yn aml ei eiriau yn nghymdeithas y cyfeillion hyn. Eto yr oedd pob gair a ynganai, yn llednais, yn garedig, ac i bwrpas. Os gofynent iddo am oleuni ar ryw fater dyrys iddynt, yr oedd ei help yn barod. Ei gyfarwyddiadau oeddynt yn fyr a difrifol. A hwynthwy deimlent bob dydd yn olynoı eu serch yn cynyddu tuag ato. O'r neilldu siaradent yn fawrygol am dano; ac nid anaml, pan gerllaw, y taflent gipdremiadau edmygawl arno. Ar y fordaith hon hwylid gyda glanau oeddynt yn dryfrith â dyddorion y gorphenol, yn lleoedd a gwrthddrychau. Yn y pellder, trwy yr awyr las, gellid canfod mynydd enwog Olympus, hen gartref y duwiau Groegaidd. Ar y dde, wrth dynu yn mlaen, deuid gyferbyn a maes byth-gofiadwy Marathon, y man lle bu nifer fechan o Atheniaid yn cyfarfod yn arfogol â lluoedd aneirif Persia bell. Honir mai yr ymdrechfa anghyfartal hono ydoedd y frwydr bwysicaf i wareiddiad y byd, o'r natur, a ymladdwyd erioed. Dywedir y buasai y golled yn anadferadwy i ddiwylliaeth yr hil ddynol pe gorchfygasid y Groegiaid y tro hwnw. Pe gorchfygasid Wellington yn Waterloo, yr oedd cenedloedd eraill yn barod i gymeryd i fyny ffaglen

gwybodaeth o law Lloegr, a pharhau ei gwareiddiad. Ond nid felly yn Marathon: pe gorchfygasid yr Atheniaid yno, ac i'r Persiaid fuddugoliaethu, nid oedd un genedl ar y ddaear y pryd hwnw yn alluog i fyned a gwareiddiad yr Atheniaid yn ei flaen, ac i gymeryd i fyny ffaglen eu gwybodaeth. Ond yn ffodus, troes y fantol yn ffafr gwareidd-iad; ac nid rhyfedd fod Marathon byth mewn cof.

Ni allwn ymdroi i sylwi ar fanau hynod y glanau. Hwyliai y llong yn mlaen, gan ddwyn ynddi ei theithwyr yn nes, nes at ben eu taith. Dyfalwyf fod pysgotwyr a breswylient mewn pentref llwyd ar lan y môr, yn sylwi un prydnawn ar y llestr fechan yn gweithio ei ffordd trwy y tonau geirwon—cryfhâi y gwynt, a gwyll y nos a ffurfiai olygfa bruddaidd. Dau neu dri o'r pysgotwyr barhaent i ddyfal sylwi. Y naill a gyfarchai y llall, gan ddyweyd, "Caiff y llong fechan acw noson dymestlog heno, yn ol pob tebygolrwydd." Yn y man collasant yn llwyr yr olwg arni, ond ni pheidiasant ymsonio yn hir am dani hi, ei llwyth a'i thynged. Foreu yr ail ddiwrnod, dyma y fadlong yn cael ei mynwesu gan borthladd amgylchog—y Piræus; a'r apostol a'i gyfarwyddwyr yn sangu ar dir clasurol gwlad Groeg. Wrth ymdeithio tua'r ddinas, dilynent adfeilion y muriau hir, y rhai unwaith gysylltent y porthladd a'r ddinas—pellder o bum' milldir. Haws yw dyfalu nag adrodd teimladau Paul fel yr agosâi at y ddinas nodedig. Wrth ardremio y golygfeydd dyeithr, hiraethai ei galon am ei frodyr a adawsai ar ol yn Macedonia. A chyfarwyddwyr Paul a'i dygasant ef hyd Athen. Pan gyrhaeddodd y ddinas y dydd hwnw, aethai pob peth yn mlaen fel arfer. Chwyrnellai y cerbydau ar hyd y prif heolydd fel arfer. Murmurai helyntion masnach fel arfer; ymlwybrai pleser garwyr cyfoethog ar hyd eu llyfnion rodfeydd fel arfer. Ychydig, os neb, oedd yn tybied fod y fath ymwelydd pwysig wedi gwneyd ei ymddangosiad yn eu plith. Yr oeddynt yn lletya angel yn ddiarwybod—pe yn ei letya hefyd.

Nis gallwn lai na meddwl am yr apostol foreu dranoeth yn nhy brawd iddo yn ol y cnawd, lle y cawsai orphwysfan, yn eistedd yn flinderus yr olwg arno. Os oedd gan wr y ty lygaid i weled anian, a chalon i'w theimlo, rhaid ei fod yn canfod rhywbeth yn fawreddog yn y dyn dyeithr hwn, er yn orchuddiedig gan arwyddion llafur a chaledwaith.

Yn ddiau mae rhywbeth yn hardd mewn person fyddo yn dwyn arno olion gweithgarwch. Dyna y gweithiwr caled, diwyd a gonest, yn dilyn ei orchwyl hyd yr hwyr, ac yna i'w gartref i fynwes ei deulu, llwch y gwaith ar ei wisg, ac aberoedd o chwys ar ei wynebpryd. Onid yw yn hardd, yn brydferth? Yn neillduol y gallwn ddweyd hyn am y gwas llafurus hwn i Grist. O, mor fawreddig y rhaid fod yr olwg arno, pan yn dwyn arno nodau gweithiwr difefl, yn gorphorol a meddyliol, ac yn benaf nodau yr Arglwydd Iesu! Ac y mae wedi dyfod i Athen i gynrychioli y dylanwad newydd—y diwygiad efengylaidd—i ddwyn gydag ef lewyrchiadau y gwanwyn moesol a dorodd allan ar feibion dynion. Yma y gellir gofyn, Ai ni fuasai yn ddoeth eithrio Athen, a cheisio diwygio manau oeddynt yn mhellach yn ol mewn addysg a gwareiddiad? Gallasai amrywiol bethau yn flaenorol dueddu i gadarnhau y dybiaeth yna, a pheri i ni amheu doethineb y symudiad hwn. Enwn rai pethau:

*Gwrthodai elfenau dinystr bron i gyffwrdd a gorwychderau y ddinas.* Er's canoedd o flynyddau yr oedd gorchestgampau celfyddyd megys heb eu cyffwrdd gan law amser—heb eu anmharu gan ruthriadau y tywydd a'r tymestloedd. Yr oedd elfenau cryfion anian trwy hyn fel yn talu gwarogaeth i'r gronfa hon o geinion digyffelyb. Yn ymddangosiadol yr oedd yr awel yn lleddfu, y dymhestl yn llarieiddio, y gwyllt gorwynt yn dofi, y ddaeargryn yn sobreiddio, yn amgylchoedd prif ddinas Groeg.

Yn rhyfelgyrchoedd yr oesau, pan oedd pob peth arall yn dwyn olion dinystr, arafai camrau a llaw y dinystriwr

wrth agosâu i Athen. Cynyrchai y cerf-ddelwau arddunol fwy o dosturi yn y goresgynydd nag a wnelai bodau dynol byw. I'r fath raddau yr oedd athrylith wedi ymdaflu ei hunan i'r coed, y ceryg a'r pres, fel yr ymgiliai yr ymosodydd yn ol mewn gwyleidd-dra a phetrusder, rhag cyffwrdd a hwynt. Fel hyn yr oedd elfenau dwyfol anian, a'r hyn oedd oreu mewn dyn, yn gwrthod megys tynu dim i lawr yma.

*Pan orchfygwyd yr Atheniaid gan y Rhufeiniaid, gwrthodasant fod yn ddysgawdwyr iddynt mewn ystyron pwysig.* Fel yr oedd y rhanau mwyaf addurnol o'r ddinas ar safleoedd bryniog, uwchafol, a'r edrychwyr islaw yn tremio i fyny yn edmygawl arnynt, felly y Rhufeiniaid buddugoliaethus, ni allent lai nag edrych i fyny yma a darllen yn y diwylliaeth uwchraddol waharddeb, i beidio ymhyfhau yn Athen fel mewn lleoedd eraill cyffredin. Am hyny breintiwyd hi a manteision dinas rydd, gan roddi hawl iddi i hunan-lywodraethiad. Yn y peth hwn gwelwn hyd yn nod Rhufain awdurdodol yn gwrthod dysgu y bobl hyn yn y materion o wladlywiaeth a chrefydd. Teimlent eu hunain fel yn analluog i'r gorchwyl.

*Yr oedd y bobl hyn yn wir ddysgedig.* Yr oeddynt yn sefyll ar y blaen yn mhlith cenedloedd y byd yn y mater o ddysgeidiaeth; ac yr oeddynt yn gwybod hyny. Y mae gwybodaeth yn chwyddo, a chariad yn adeiladu. Barbariaid oedd pawb eraill yn eu golwg. Nid ystyrient eu hunain yn ddyledus i neb am y rhagoriaethau a feddent. Nid oedd ffrwythau eu dysg wedi tyfu ar dir estronol. Nid oedd aberoedd gloewon eu diwylliaeth wedi tarddu mewn gwlad bellenig; yr oedd pobpeth yno yn Athenaidd. Pwy a feiddiai broffesu bod yn ddysgawdwr i bobl fel hyn?

*Yr oedd cenadwri Paul mor groes i'w credoau crefyddol ag yr oedd modd i un athrawiaeth fod yn groes i athrawiaeth arall.* Cymharer yr eiddo ef a'r eiddo hwynt mewn unrhyw nodwedd, yr oedd yn groes. Rhwng y ddysg newydd hon a bregethai Paul, a'u hopinynau henafol hwy, yr oedd pellder anfesuradwy. Anhawdd meddwl am un pwynt fuasai yn gwasanaethu fel man cyfarfod rhyngddynt. Ymddangosai pob peth yn anfanteisiol i'r pregethwr dyeithr i fod yn llwyddianus yn amcan ei ymweliad, ac hyn yn nod i gael gwrandawiad o gwbl.

*Eto, yr oedd diwylliaeth Paul yn anffafriol iddo.* Nis gellir bod yn sicr pa mor hyddysg ydoedd yn hanesyddiaeth a diwylliaeth Roegaidd. Hyn sydd debygol, fod yn anmhosibl iddo gyrhaedd rhagoriaeth ond tra chymedrol, mor bell oddiwrth y ffynonell wreiddiol, yn Tarsus neu Jerusalem. Modd bynag, rhaid fod llediaith Hebreig trwm ar ei dafod, yr hyn oedd yn gwneyd unrhyw lefarwr yn y farchnad yn wir ddirmygus.

*Yr oedd yr Apostol yn ddyn dyeithr yn y lle, ac heb neb i'w gyflwyno i sylw.*—Yn mhlith pobl lle yr oedd yr elfen bendefigaidd mor gref, yr oedd hyn yn ddiffyg nid bychan, er cael sylw a gwrandawiad yn eu plith. Wrth gymeryd i ystyriaeth y ffeithiau a nodwyd, oeddynt fel rhagfuriau ar ffordd llwyddiant y dysgawdwr Cristionogol hwn, ni fuasai i'w feio am betruso i agoryd ei enau yn y lle. Yn wir, gallesid ymresymu y mater gyda llawer iawn o synwyr, a dyfod i benderfyniad y buasai yn ddoethineb yn y gwneuthurwr pebyll i eithrio Athen, a throi ei wyneb i gyfeiriadau at leoedd y buasai yn fwy tebyg o lwyddo, ac y buasai ei bresenoldeb yn fwy angenrheidiol ynddynt. Onid oedd Athen yn cael ei hystyried yn llygad Groeg? Ai tybed fod y Meistr mawr, yr anfonydd dwyfol, yn bwriadu gwneyd clai o'r poeryn, sef gweinidogaeth yr apostolion, a'i gymhwyso at lygaid Groeg—llygaid y dall? Onid yw yn ddarostyngiad annyoddefol ar bobl mor ddoeth? Paul, onid yw dy ddyfodiad i Athen yn annoeth ac yn ddiangenrhaid? Onid gwell peidio peryglu cymaint ar fywyd y grefydd newydd, a'i dwyn i warth, a thrwy hyny lladd ei dylanwad ar y cychwyn? Onid gwell ymbwyllo? Onid mwy priodol teimlo yn raddol y ffordd y'mlaen, a chael pob cam yn sicr?

Er ateb yr ymofynion uchod, a chyfiawnhau dyfodiad Paul i Athen i bregethu yr efengyl, cyflwynwn y rhesymau canlynol: Cyflwr isel yr Atheniaid, yn grefyddol a moesol. Analluedd pob moddion cartrefol i'w gwaredu o'r cyflwr hwnw; a chyfaddasrwydd yr efengyl at wneyd hyn ond ei chredu a'i derbyn.

## R. H. EVANS A CHAETH-GYMUNDEB.

GAN Y PARCH. W. JONES, WISCONSIN.

*Erthygl IV.*

Gofyna Mr. Evans, "A glywodd neb erioed son am drochi mewn Ysbryd Glan ac mewn tân?" Mewn atebiad iddo, dywedaf, Os wyf fi yn gwneuthur babi o honof fy hun, fel yr arwydda R. H. E., addefaf nad yw hyny yn beth anmhosibl; ond y mae yn llawn mor anmhosibl iddo ef wneuthur dyn o hono ei hun, wrth ofyn gofyniadau y rhai sydd yn dangos cymaint o'i anwybodaeth; a'r peth sydd yn dangos ei anwybodaeth yn fwy gwarthus ydyw, ei fod heb wybod y pethau y gall, ac y dylai fod yn eu gwybod, yn anturio ysgrifenu ar y pwnc sydd ganddo mewn llaw. Ond mi geisiaf ateb ei ofyniad, er lleied ydwyf yn ei olwg. Edryched Mr. E. ar sylwadau Archesgob Tillotson ar Actau ii. 2. Dywed yr awdwr dysgedig a galluog: "Llanwodd y swn yr holl dy. Dyma yr hyn a eilw ein Gwaredwr yn fedyddio â'r Ysbryd Glan—fel yr oedd y rhai a eisteddent yn y ty megys wedi eu trochi yn yr Ysbryd Glan, megys y mae y rhai a gleddir â dwfr, yr hyn yw arwyddocad priodol bedydd."

Eto, Cyril, Esgob Jerusalem, A. D. 350: "Megys y mae'r hwn a suddir yn y dwfr, ac a fedyddir, yn cael ei amgylchynu gan y dwfr ar bob tu, felly mae y rhai a fedyddir gan yr Ysbryd Glan yn cael eu hollol orchuddio.—*Pengelly*, tu d. 75.

Eto, Neander a ddywed: "Bedydd a gyflawnid drwy drochiad, fel arddangosiad o lwyr fedydd yn yr Ysbryd Glan, o fod yn hollol dreiddiedig gan yr unrhyw."—*Ch. Hist., vol. 1*, tu dal. 310.

Curtlerus, eto, a sylwa: "Bedydd yn yr Ysbryd Glan ydyw trochiad yn nyfroedd pur yr Ysbryd Glan, oblegid mae yr hwn y mae yr Ysbryd Glan wedi ei dywallt arno, megys wedi ei drochi iddo."

Buasai yr uchod yn ddigon i argyhoeddi dyn cyffredin, fod y fath beth i'w glywed a'i ddarllen a "throchi yn yr Ysbryd Glan."

Ychwanegaf La Clark: "Efe a'ch bedyddia chwi yn yr Ysbryd Glan, megys yr wyf fi yn eich suddo chwi yn y dwfr, felly y gellir dywedyd y bydd iddo yntau eich suddo chwi yn yr Ysbryd Glan."—*R. Fuller*, 72.

Casaubon: "I fedyddio ydyw i drochi, ac yn yr ystyr yma yn gywir y dywedir fod yr apostolion wedi eu bedyddio, oblegid yr oedd y ty yn yr hwn y gwnawd hyn wedi ei lenwi a'r Ysbryd Glan; felly yr oedd yr apostolion wedi eu suddo ynddo megys i bysgodlyn."—*R. Fuller*, 72.

Eto, dywed Lange, yn ei Esboniad ar Mat. iii. 6: "A fedyddiwyd yn yr Iorddonen—trochwyd yn yr Iorddonen—gan gyfaddef eu pechodau. Trochiad oedd y ffordd arferol o fedyddio, ac arwyddlun o edifeirwch. Adn. 11, Myfi yn wir wyf yn eich bedyddio chwi yn (*en*) y dwfr, eich trochi chwi yn yr elfen ddwfr i edifeirwch; Efe a'ch bedyddia chwi yn yr Ysbryd Glan ac yn tân; Efe a'ch llwyr drocha chwi yn yr Ysbryd Glan, fel rhai edifeiriol; neu, os yn anedifeiriol, efe a'ch gorchuddia chwi â thân barnol."

Dyna drochi yn yr Ysbryd Glan ac yn tân. Pe bae Mr. E. yn darllen ychwaneg, ni byddai raid iddo ddangos ei anwybodaeth i fabanod fel myfi a'm cyffelyb, trwy ofyn cwestiynau fel yr uchod. Pe buasai y dynion a enwais yn Fedyddwyr, ni buasai yn gymaint o syndod fod Mr. E. mor anhysbys a'u gweithiau, gan ei fod yn meddwl mor isel o honom, oddigerth ychydig eithriadau. Mae Dr. G. Campbell, Presbyterian enwog Scotland, a Wm. Tyndal, yr hwn a gyfieithodd yr argraffiad cyntaf o'r Beibl i'r iaith Seis-

nig, wedi cyfieithu y geiriau yn Matth. iii. 11, i "yn yr Ysbryd Glan ac yn tân." Byddai yn dda i Mr. E. ddarllen gweithiau yr awduron uchod; cadwai hyny ef rhag gwneuthur y fath *blunders* drwy ei gwestiynau ffol. Mae Robinson, yn ei *Greek Lexicon*, tu dal. 126, yn darllen, "Yn yr Ysbryd Glan ac yn y tân." Felly hefyd y cyfieitha Beza a Neander yr arddodiad Groeg *en* i "yn," ac nid i "â" nac "â'r." Dywed Harvey y gall ef brofi, "fod yr arddodiad (*preposition*) *en* wedi bod mewn meddiant heddychol o'r meddwl "yn," ac nid "â," am ddwy fil o flynyddoedd." Y mae Dr. Halley, un o weinidogion dysgedicaf y Cynulleidfaolion yn Manchester, yn dweyd ei fod ef yn ymwrthod â'r cyfieithiad "bedyddio â" dwfr; "yn" y dwfr, yn ffrwd yr Iorddonen, y barnai ef fod Ioan yn bedyddio. Mae'r arddodiad *en* yn dygwydd naw gwaith yn y drydedd benod o Matthew. Cyfieithwyd y gair saith waith i "yn," a dwy waith i "â" dwfr, "â'r" Ysbryd Glan. Nid yw yn debyg y buasai 47 o gyfieithwyr y Brenin Iago yn cyfieithu y gair i "yn" bob tro ond yn unig lle yr oedd bedyddio yn ymyl, sef adn. 11, oni bae mai hyn yw meddwl priodol y gair. Mae Dr. G. Campbell yn ceryddu y cyfieithwyr yn llym am na fuasent wedi rhoddi "yn" y dwfr, "yn" yr Ysbryd Glan, yn yr 11eg adnod, yn gystal a phob man arall yn y benod. Gwyr pob dyn sydd yn deall yr iaith Roeg, mai meddwl gwreiddiol, priodol, a chyntaf y gair *baptizo* yw trochi, suddo, &c., ac mai meddwl priodol yr arddodiad *en* yw "yn," ac nid "â;" ond gan fod taenelliad yn *favorite* gan y cyfieithwyr, cadwyd *baptizo* dan len annghyfiaith o olwg yr annysgedig, a throwyd *en* o'i feddwl priodol yn mhob man y gellid, lle byddai bedyddio yn agos. Peth rhyfedd fel mae *eis*, *en*, ac *ek* yn colli eu nerth pan y deuant yn agos i ddwfr, a chadwant eu nerth yn ymyl y dwfr os na fydd bedyddio yn myned yn mlaen. Mwy priodol fuasai i Mr. E. ofyn mewn syndod, A glywodd neb erioed son am ddim ond trochi yn yr Ysbryd Glan ac yn tân; oblegid profais drwy y dynion uchod mai felly y dylai y geiriau gael ei cyfieithu. Pan gyfnewidiwyd ordinhadau y Testament Newydd, y peth nesaf a wnawd oedd ystwytho iaith y Beibl, i geisio ei chysoni a'r cyfnewidiad yn yr ordinhadau, trwy adael rhai geiriau heb eu cyfieithu o gwbl, a chyfieithu eraill yn anghywir, fel y profasom eisoes. Mae Dr. G. Campbell, yn ei nodiadau ar Mat. iii. 11, yn dweyd fod y Pabyddion wedi dangos mwy o barch i'r Vulgate, (sef cyfieithiad Lladinaidd), nag a ddangosodd Protestaniaid yn gyffredin i'r gwreiddiol. Yn y cyfieithiad uchod darllenir, "*in aqua, in Spiritu Sancto.*" Felly hefyd, meddai Campbell, y darllena y Syriac a hen gyfieithiadau eraill. Dywed John Calvin, yn ei Nodiadau ar yr Epistolau: "Pan mae Paul yn cyfarch credinwyr, y rhai sydd yn iawn ddefnyddio yr arwyddion, mae yn eu cysylltu â'r gwirionedd a ddangosir ganddynt; yna mae yn rhesymol iddo ddywedyd iddynt wisgo Crist yn y bedydd." Nid yw R. H. E. yn iawn ddefnyddio arwyddion y Testament, am hyny mae yn methu deall iaith briodol y Testament Newydd. Mae yn rhaid i Chalmers, Whitefield, a Calvin, a lluaws eraill, gyfeirio at y claddu yn y bedydd, cyn y gallant esbonio llawer o ranau o'r Ysgrythyrau, megys Rhuf. vi. 6, a Col. ii. 12. Pe bae Mr. E. yn gallu ymostwng i ddarllen cyfieithiadau y Bedyddwyr, sef eiddo yr enwog Williams, Drefnewydd, i'r Gymraeg, a'r *Bible Union translation*, New York, i'r Saesneg, ni byddai raid iddo fod mor anwybodus a gofyn byth mwy, "A glywodd neb erioed son am drochi mewn Ysbryd Glan ac mewn tân?"

---

## CYFIAWN.

*Cyfiawn*—iawn, uniawn, dyledus, cyfreithlawn, gwir, cywir, un cywir, didwyll, un ag a fyddo gywir a didwyll yn ei weithredoedd a'i ymddygiadau tuag at eraill; "Ac wele gwr a'i enw Joseph, yr hwn oedd gyngorwr, gwr da a chyfiawn;" y Creawdwr mawr, yr hwn sydd hanfodol gyfiawn, ac yn

ffynon cyfiawnder ei holl greaduriaid; Efe yw y graig, perffaith yw ei weithred; canys ei holl ffyrdd ydynt farn; Duw gwirionedd, ac heb anwiredd; cyfiawn ac uniawn yw efe. Gwr geirwir a ffyddlon i'w air a'i addewid. "Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlawn yw efe a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddiwrth bob anghyfiawnder. Os dywedwn na phechasom, yr ydym yn ei wneuthur ef yn gelwyddog, a'i air ef nid yw ynom." Yr hwn yn ei fywyd a'i angeu a gyrhaeddodd berffeithrwydd uniondder cyfraith Duw, sef Iesu Grist, "Oblegid Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw"—"Wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr ysbryd." Cyfiawn trwy gyfrifiad o gyfiawnder Crist, "Canys ynddi hi y datguddir cyfiawnder Duw"—"O ffydd i ffydd, megys y mae yn ysgrifenedig, Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd." Un heb ei argyhoeddi o'i bechadurusrwydd, ac yn ei dybied ei hun yn gyfiawn, ac nid ydyw; "Ac efe a ddywedodd y ddameg hon hefyd wrth y rhai oedd yn hyderu arnynt eu hunain eu bod yn gyfiawn, ac yn diystyru eraill." Dyn ystyriol, arafaidd, calon dyner; "A Joseph, ei gwr hi, gan ei fod yn gyfiawn, ac heb chwenych ei gwneuthur hi yn siampl, a ewyllysiodd ei rhoi hi ymaith yn ddirgel." Un haelionus a thrugarog wrth y gwan a'r angenus. "Mi a fum ieuanc, ac yr ydwyf yn hen, eto ni welais y cyfiawn wedi ei adu, na'i had yn cardota bara."

*Thomastown, O.* JAS. W. THOMAS.

---

## ANERCHIAD.

Gwneled y gwanwyn bleth i'w phen,
  Lliwied y wawr ei gruddiau,
Llanwer ei chwpan â gwlith y nen,
  Gydag awel lefn y borau,
Deued y cynar wlaw i lawr,
  A gwres diludd yr haulwen;
Uned pob peth yn fach a mawr
  I wneyd ei hoes yn llawen.

Dyged yr awel o dir y de
  Arogl ei holl berlysiau,
Cluded yr haulwen lawr o'r ne'
  Fwyniant ar ei phelydrau;
Gwneled goleuni pur y nen
  A lliwiau hardda'r wawrddydd
Enfys o fri o gylch ei phen,
  Yn wybren ei boreuddydd.

Engyl gwarcheidiol, gwyliwch hi,
  Seintiau, gweddiwch drosti;
Dalier ei phen uwchlaw y lli'
  Sydd yn y glyn raid groesi;
Gwisger ei henaid â gwisg y nen—
  Gwenwisg y gwaed a'i haeddiant;
Ac aed, pan ddaw ei hoes i ben,
  Adref i wlad y mwyniant.

---

## SANT PROTESTANAIDD.

MR. GOL.—Ymddangosodd yr ysgrif hon yn yr *Examiner and Chronicle*, Mawrth 24, 1881, a chan fod ynddi rai ffeithiau na welir yn gyffredin yn ein cylchgronau Cymreig, ymdrechais ei chyfieithu i'r WAWR. Yr eiddoch,

*Kingston, Pa.* JAS. R. PRICE.

Sant Padrig o'r bumed ganrif oedd, yn ddiamheu, yn sant, ond nid yn yr ystyr Babyddol. Un o seintiau Duw ydoedd, yn ol y Testament Newydd. Y mae yn gam a'i goffadwriaeth ac a'r egwyddor Brotestanaidd, i gysylltu ei enw a'r eglwys Rufeinig. Yn meddwl y cyffredin saif Sant Padrig fel Pabydd defosiynol—yn ddieithriad felly gan y Gwyddelod. Cyflwynir ef i ni gan hanesiaeth fel gweinidog Cristionogol o galon fawr a meddwl pur, o'r canrifoedd cyntaf.

Cawn fyr hanes o'i fywyd yn ei Gyffesiadau. Dygwyd ef o'i gartref yn Mhrydain pan yn ddwy-ar-bymtheg oed; bu am chwe' mlynedd yn gaethwas yn yr Iwerddon. Pan mewn caethiwed daeth goleuni i'w feddwl. Mae ei eiriau wrth ddesgrifio ei ddychweliad, yn llawn o dân cysegredig:

"Yr oedd cariad ac ofn Duw yn gwresogi fy nghalon yn barhaus; cynyddai fy ffydd a'm difrifoldeb gymaint fel yr oeddwn yn gweddio ganwaith y dydd, a chymaint a hyny hefyd y nos."

Wedi iddo ddychwelyd gartref, nid

oes genym fawr o'i hanes nes y mae yn dair-a-deugain oed. Y pryd hwnw daeth llef Macedonaidd i'w enaid; ac aeth allan yn unig, pan oedd ei gyfeillion yn ei anog i aros gartref; aeth i wlad oedd yn llawn o anwybodaeth a barbareidd-dra Derwyddol. Yr oedd fel Paul yn ddifrifol a brwdfrydig iawn, er na feddai ar gyneddfau dealltwriaethol Paul. Geilw ei hun yn annysgedig.

Yr oedd yn Bregethwr Beiblaidd. Yn ei Gyffesiadau y mae pump-ar-hugain o ddyfyniadau o'r Ysgrythyrau; nid oes ynddynt yr un awgrymiad at y Pab, y Fair forwyn, na gweddio ar y seintiau. Yr oedd ei dad a'i dad cu yn weinidogion yr efengyl. Daeth ei grefydd ef o Jerusalem, ac nid o Rufain. Myfyriodd yr Ysgrythyrau, a chymellodd hwynt i sylw y bobl. Bu ei ganlynwyr am genedlaethau yn enwog am eu credo Feiblaidd; a phan gyfarfyddent a'u gwrthwynebwyr Pabyddol, safasant yn gadarn yn eu herbyn. Fel hyn yr oedd yr Iwerddon o angenrheidrwydd yn wlad Brotestanaidd (er nad oedd y gair hwn wedi cael bodolaeth y pryd hwnw, nac hyd yr unfedganrif ar ddeg). Y mae yr holl chwedlau Pabyddol sydd yn amgylchynu ei goffadwriaeth wedi eu ffurfio ar ol y cyfnod hwn.

Cafodd Sant Padrig yr Iwerddon yn anialwch moesol; gadawodd hi yn wlad o oleuni. Dywed iddo fedyddio miloedd o'r bobl o bob graddau. Adeiladwyd yr addoldy cyntaf yn Armagh, yn y flwyddyn 456, ac ni ordeiniodd lai na thri chant a haner o weinidogion. Yr oedd yr Iwerddon wedi ei gwareiddio i raddau helaeth cyn iddo farw, Mawrth 17, 465.

Nid oedd ei waith yn effaith penboethni anwybodus; lle bynag y sefydlai eglwys, sefydlai yno ysgol hefyd. Yr oedd y Tadau Pererinol yn Lloegr Newydd yn codi addoldy ac ysgoldy yn gyfochrog. Yn hyn yr oeddynt yn efelychu Sant Padrig. Daeth yr Iwerddon yn oleuni y tywyll oesoedd yn Ngorllewin Ewrop. Yr oedd Armagh, Bangor, a Derry, yn rhifo eu myfyrwyr wrth y miloedd. Yn gyffredin cysylltwn anwybodaeth â'r Iwerddon; ond y mae pawb o honom yn ddyledwyr iddi. Y mae y bobl Wyddelig sydd yn byw yn nherfynau y ddaear wedi gwneyd mwy i noddi a dyrchafu dysgeidiaeth nag unrhyw barth arall yn Ewrop; aeth dylanwad dwyfol allan o'r Iwerddon i oleuo gwledydd eraill. Bu yr athrofa yn Iona yn ddyrchafiad i'r Alban, Ffrainc, Switzerland, a Germani, trwy fod dynion o ysbryd yr hen Padrig yn eu tramwyo. Dau Wyddel oedd Columba a Columbanus, yn deilwng i sefyll ochr yn ochr a'r hen Padrig enwog.

Y mae geiriau ei Gyffes yn odidog a Phaulaidd (*Paul-like*): "Ac yn awr yr wyf yn gorchymyn fy enaid i Dduw, yr hwn sydd yn ffyddlawn, dros yr hwn mewn gwaradwydd y cyflawnais yr ymddiriedaeth hon; gweddiaf ar Dduw am ddyfal-barhad, fel y dygwyf dystiolaeth ffyddlawn hyd fy nghyfnewidiad i Dduw."

Yr Iwerddon oedd y wlad olaf yn Ewrop yn ymostwng i'r iau Babyddol. Plygodd ei gwddf; gorfodwyd hi gan fidogau y Saeson. Pe bae y bobl Wyddelig yn meddianu ysbryd yr hen Padrig a saif o'u blaen yn ei Gyffesiadau, a gwaith ei fywyd, hwy a daflent ymaith yr iau Babaidd, ac a lawenhaent yn y rhyddid a'r hwn y mae Crist yn rhyddhau dynion.

Credwyf nad yw Dr. Cattecant yn myned yn rhy bell yn "Medydd yr Oesau," pan yn dweyd, "Y mae St. Padrig yn rhoddi hanes ei droedigaeth yn ei Gyffesiadau, yn union fel y gwna ymgeisydd ail-enedig am fedydd mewn eglwys o Fedyddwyr. Ni fedyddiai efe neb ond y cyfryw a ddygent arwyddion amlwg o ail-enedigaeth. Y mae hanes ei fywyd yn ei ddangos mor debyg i genadwr y Bedyddwyr, nes ydym yn credu ei fod yn un."

Dichon nad yw y syniadau a gynwysir yn yr ysgrif hon yn boddloni pawb. Bydded i'r cyfryw wneyd ymchwiliad i hanes yr hen sant enwog, a chânt eu hargyhoeddi.

---

Edrychwch ar ol pa beth y rhedoch.

## LLYTHYR O GYMRU

### AT FY NGHYFEILLION YN AMERICA.

Y mae yn wybodus i chwi bellach, fy mod wedi dyfod drosodd i Hen Wlad fy Nhadau, ac wedi cwrdd a rhai o'm hen gyfeillion, pan oeddwn yn byw yma; ond er fy mawr siomedigaeth, wedi colli llawer, y rhai a garwn weled, ond sydd heddyw, lawer o honynt, yn huno yn dawel yn y bedd.

Bum mewn dwy Gymanfa yma yr haf a aeth heibio sef yn Blaenwnin, swydd Benfro, a Cwmsarnddu, swydd Gaerfyrddin, hen gartref y Parch. D. W. Morris, Taylorville, Pa. Gwelais yno rai brodyr a adwaenwn, megys y Parchn. H. Price, Rhydwylim; Edwards, Ffynon; B. Thomas, Narberth; Jenkins, Trefdraeth; Jones, Abergwaen, ac E. Davies, Llangloffan, &c. Ond yr oedd y brawd anwyl D. George, Jabez, a James, Tabor, yn absenol, ond gwelais hwynt wedi hyny, a bum yn cyfeillachu â hwynt, ac yn pregethu yn eu capeli, ac yn lletya yn eu tai. Gwelais lawer o frodyr da a charedig nad oeddwn yn eu hadnabod o'r blaen—bechgyn gobeithiol, ac yn bregethwyr doniol—y rhai hyn yn sir Benfro. Yn Cwmsarnddu y gwelais luaws o'm hen gyfeillion, megys Dr. Rowlands, a Dr. Morgan, Llanelli; y Parch. W. Hughes, Bethel, Glanymor, Llanelli—yn wir, yr oedd yn edrych yn wrol, mor ieuanc ag erioed—yr un fath ag oedd pan y gadewais Gymru, er ys dros un-ar-ddeg o flynyddau cyn hyny. Yr oedd y ddwy gymanfa yn fendigedig.

Bum yn Aberteifi, yn fy hen fam eglwys, lle y dechreuais bregethu, er ys haner can' mlynedd yn ol. Mawr yw y cyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle yno—neb o'r hen aelodau na'r hen ddiaconiaid yn fyw oeddynt yno pan oeddwn yno o'r blaen—Mr. Henry Davies, a John Davies ei frawd, wedi eu claddu, a'r brawd caredig John J. Jones, a llawer eraill.

Da oedd genyf weled eglwys Bethania mor lluosog, ac eglwys newydd o Saeson yn ei hymyl. Mae ganddynt ddau gapel hardd, ac yn edrych yn rhagorol—y Parch. John Williams yn arwain y llu yn Bethania, ac y mae brawd arall yn Seion erbyn hyn. Yr Arglwydd a'u llwyddo.

Bum hefyd yn Castell-newydd Emlyn—y Parch. Mr. Griffiths ydyw eu gweinidog—dyn ieuanc galluog ac ymdrechol. Gwelais yno dri o feibion y diweddar Barch. Timothy Thomas, sef Dr. Thomas, Timothy Thomas, a David Thomas, y *druggist*—bechgyn rhagorol, yn addurn i'r achos, ac yn deilwng o'r hen Thomasiaid gynt, sef y brodyr Timothy Thomas, o'r Maes—y tad a'r mab o'r un enw; Zechariah Thomas, a llu o'r Thomasiaid, fu yn dal yr egwyddion gynt, yn Aberdar, Bwlch-y-rhiw, Bethel a Salem, Cayo, Coed-gleision, a llawer o fanau eraill. Bydd y teulu hwn mewn cof am oesau i ddyfod. Coded Duw lawer eto yn debyg iddynt.

Mawr y cyfnewidiadau er gwell sydd mewn llawer o fanau—capelau mawrion, heirdd, wedi cael eu hadeiladu, braidd yn mhob man. Y mae hyn yn dangos fod gan y bobl galon i weithio.

Mae y Parch. Dr. Price, Aberdar, yn myned rhagddo, yn garedig, fel arfer, ond yn heneiddio, fel fy hunan. Mae tysteb iddo yn cael ei gwneyd, ac yn wir mae yn haeddu cael un dda. Gymry America, cynorthwywch ef.

Mae'r Parch. B. Evans, Castellnedd, fel arfer, ac yn edrych yn rymus. Y Parch. R. D. Roberts, Llwynhendy, yn edrych yn gryf, ac yn gadarn fel yr Wyddfa. Hir oes iddo. Jones, Felinfoel, hefyd, yn edrych yn dda. Yr oedd y brawd Roberts, Caerfyrddin, yn glaf pan y bum yno, a rhai o'r teulu; yr Arglwydd a'u hadfero i'w hiechyd. Nid wyf wedi cwrdd eto a'r brawd hoff Dr. Fred. Evans, ond mae yn myned yn mlaen yn rhagorol, fel y clywais. Cewch glywed eto, pan elwyf y'mlaen.

Nid yw America yn anghof genyf, a gobeithiwyf y caf nerth ac iechyd i ddyfod yn ol eto i wlad y Gorllewin. Cofion at bawb o'm hen gyfeillion. Os bydd rhai yn chwenych anfon gair ataf, cyfarwydder fel y canlyn:—"Rev. B. James, Bryn Ivor, Glyn Neath, Glamorganshire, Great Britain"—gan mai

yn nhy fy chwaer yr wyf yn gwneyd fy arosfa fwyaf. Hyn yn bresenol. Yr eiddoch yn frawdol,

B. JAMES.

*Glyn Neath, Medi 5, 1881.*

AMSER A'I WERTH.—Yr hwn sydd yn cyrhaedd dyben bywyd, er fod ei amser yn fyr, eto y mae ei fywyd yn hir, oblegid y mae'n byw llawer mewn ychydig.

# Bwrdd y Golygydd.

## EXTRACT FROM "GRAY'S ELEGY."

21

"Their names, their years, spelt by th' unletter'd muse,
The place of fame and elegy supply;
And many a holy text around she strews,
That teach the rustic moralist to die."

The same translated into Welsh by "Dafydd Rhydderch."

21

"'R oed a'r enw, a'r dydd bu farw,
Ar gareg arw lwyd ddi-rân,
A geir yma'n lle cof feini,
A chanmoliaeth peraidd gân;
Cyngor prysur ma's o'r 'sgrythyr
Ar ei godre' gwed'yn gawn,
I rybuddio pawb el heibio
Lwyr ddiwygio a marw'n iawn!"

Anfonwyd i ni yr uchod gan Thos. R. Davies, Ysw., Philadelphia, Cymro mewn swydd anrhydeddus o dan gwmni y Penn. R. R. Os nad ydym yn anghofio, "Dafydd Rhydderch" ydoedd tad Mr. Davies. A fydd i'n gohebydd chwaethus anrhegu ein darllenwyr ag ychwaneg o'r cyfieithiad penigamp o'r gân anfarwol?

## PYSGOTA MEWN LLYNAU BYCHAIN.

Mewn cynadledd cysylltiedig a choleg Mr. Spurgeon, adroddai efe mewn ffordd o egluro y doethineb o bysgota mewn llynau bychain, yn gystal ag mewn moroedd dyfnion, ei fod pan yn analluog, oblegid afiechyd, i bregethu yn y Tabernacl, ac eto yn alluog i symud o un ystafell i'r llall, yn arferol o gynal moddion byr yn Westwood, i'w weision ei hun ac eraill a ewyllysiont ddod i mewn. Ar un o'r achlysuron hyn, *argyhoeddwyd garddwr*, ac yn teimlo yn dda yn y cyfnewidiad oedd wedi cymeryd lle yn mywyd ei gwr, dymunai gwraig y dyn wybod os byddai i Mr. Spurgeon bregethu wed'yn yn y parlwr y Sabboth canlynol. Gwna, ebe y dychweledig, os na fydd iddo wella y Sabboth canlynol.

Cynaliwyd y gwasanaeth bychan, ac enillwyd y wraig at Grist. Dywedai Mr. Spurgeon, dichon na fuaswn yn gwneyd cystal yn y Tabernacl.

## Y WALDENSIAID,

*Eu Hanes, eu Credo, a'u Dyoddefiadau. Ail Argraffiad. Gan y Parch. John Jones, Felinfoel.*

Yr ydym wedi darllen y llyfr hwn gyda phleser a mwynhad nid bychan. Y mae yr awdwr wrth ei fodd, ac yn ei elfen, yn trafod gwrthrychau ei hanes. Mae y Waldensiaid gynt, yn edrych yn hardd ar len ei hanes, ac yn neillduol, yn ymyl Rhufain Baganaidd, ac yn neillduol Rhufain Babaidd. Pobl ryfedd oeddynt!—yn trigo mewn manau rhyfedd, fel pe buasai Duw wedi eu darparu o bwrpas iddynt "yn nodfa rhag y stormydd, a chysgod rhag y gwres." Gan y credir mai hwynthwy oedd y ddolen gydiol Fedyddiedig o ddyddiau yr Apostolion hyd y Diwygiad Protestanaidd, mae eu hanes yn ddwbl ddyddorol i bob Bedyddiwr. Nid yw Mr. Jones yn ysgrifenu eu hanes ar antur, ond yn wir ofalus, a'i dystiolaethau yn sylfaenedig ar ffeithiau.

Cyngorwn ein darllenwyr i fynu y llyfr dyddorol ac addysgiadol hwn, a'i

ddarllen yn ofalus. Anfoned pob un fyddo yn ewyllysio ei gael, atom i Utica, yn ddioed, fel y gallom wybod y nifer fydd eisiau. Ei bris yn America, fydd 25c. wedi talu y cludiad.

---

## MARWOLAETH YR ARLYWYDD GARFIELD.

Ar ol meithion wythnosau o'r pryder mwyaf mewn perthynas i'r Arlywydd yn ei glefyd—weithiau hyder yn uchaf, brydiau eraill ofn—o'r diwedd, yr hyn a fawr ofnasom a ddaeth i ni. Bu farw James A. Garfield, Arlywydd y Talaethau Unedig am 10:35 nos y 19eg o Medi, pan yn agos i 50 mlwydd oed. Ar y 6ed o'r mis diweddaf symudwyd yr Arlywydd o Washington i Long Branch, ar lan y mor. Daliodd y daith yn dda, ac am rai dyddiau wed'yn meddyliwyd ei fod yn gwella; ond tua'r 16eg, dechreuodd waethygu, a bu farw ar y dyddnodiad crybwylledig, a llanwyd y wlad a'r tristwch dyfnaf. Ni welwyd erioed o'r blaen y fath arwyddion cyffredinol o alar, nid yn unig yn y wlad hon, ond trwy y byd gwareiddiedig, ac yn enwedig yn Lloegr, lle y cenid clychau yr eglwysi mewn llawer ardal, a gorchymynodd y Frenines i'r Llys wisgo *mourning* am wythnos. Gorchymynodd hefyd i addurnbleth ysplenydd o flodau gael ei gwneyd a'i chyflwyno yn ei henw hi at yr angladd. Dygwyd y gweddillion o Long Branch i Washington, lle y buont yn gorwedd am ddeuddydd *in state*, yna dygwyd hwynt i Cleveland, O., a chymerodd yr angladd le dydd Llun, y 26ain, a dygwyd y gweddillion i Lake View Cemetery yn agos i Cleveland. Cedwid y diwrnod yn ddydd o alar a gweddi trwy yr holl wlad, gwisgid yr adeiladau yn y dinasoedd ag arwyddion galar, a'r bobl a elent yn dyrfaoedd i'r addoldai. Palla gofod i ni gynyg ar roddi dim o fanylion yr angladd—ond gallwn ddyweyd nad oedd dim yn eisiau ag y gallai serch ddyfeisio, ac arian yn ddibrin ei sicrhau, er dangos parch i un a enillodd ei ffordd i galon pawb. Priodol yw dweyd ddarfod i'r *post mortem examination* amlygu y ffaith na wyddai y meddygon y fan lle yr oedd y belen yn nghorph yr Arlywydd—sef tu cefn i'w galon, a bod ei angeu yn anocheladwy.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Y Pwlpud yn Bethania, sef cyfres o Bregethau gan y Parch. R. Hughes, Maesteg.* Rhanau II.—III., Pris swllt yr un.

Tybiwn fod y trydydd rhifyn yn dwyn i derfyniad gynwysiad y gyfrol hon o bregethau. Mae rhif y pregethau yn 31. Gwyr pawb a glywsant Mr. Hughes yn pregethu, beth sydd i'w ddysgwyl gael o'r pwlpud yn Bethania. Pregethau Mr. Hughes ei hun ydynt. Nis gellir dweyd hyny am bob gwaith o'r fath a'r enwau fo wrthynt. Yn y pregethau hyn, portha yr awdwr y saint "a didwyll laeth y gair." Mae ei ymadroddion oll yn fyr, yn gryno, yn ddealladwy, ac i bwrpas. Mae Mr. Hughes yn perthyn i'r rhes flaenaf o bregethwyr o'r arddull hon.

Rhaid ei bod yn arddull hollol naturiol iddo, gan ei fod yn cadw mor ddiwyro ati o'r dechreu i'r diwedd. Edrych efe yn myw llygad ei wrandawr—mae ganddo air ato—oddiwrth Dduw ato—tremia yn siriol, eto difrifol yn ei wyneb. Nid gwiw i ni fanylu ar ragoriaethau "Y Pwlpud yn Bethania"—mae yn werth ei gael. Nid yw pris y tair rhan ond tri swllt.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Maent yn falch yn Nghymru fod y Parch. E. Roberts, Pontypridd, a'r Parch. J. Rowlands, Llanelli, wedi cael D. D. o America.

—Ebe Gol. *Seren Cymru*, mewn llythyr atom: Cafwyd Cyrddau Undebol da yn Nhreorci eleni, gwell meddir nag yn Nghaerdydd y llynedd. Yr oedd anerchiad y Llywydd, Dr. Roberts, yn un ardderchog iawn, teil-

wng o Ddoctor ac o Fedyddiwr. Yr oedd papyr y Proffeswr Edwards, Pontypool, yn wir ddysgedig, mewn iaith chwaethus, ac yn cael ei ddarllen gyda hyawdledd a synodd y dorf. Esgynodd drwy y papyr hwn, i gylch o ysgoleigion addfetaf Cymru, ac ni feiddia yr un ei ddifreinio o'i hawl i fod yno. Efe yw *rising man* Bedyddwyr Cymru. Diolch i Dduw am dano. Gwyddoch ei fod yn B. A. o Brif Ysgol Llundain —ffrwyth efrydiaeth galed, a gwedda yn anrhydeddus iddo. Yr oedd yr holl areithiau, papyrau, a phregethau yn dda, ond y rhai a enwais oedd yr ardderchocaf.

Penodwyd pwyllgor o Fedyddwyr i gyd-weithio gyda phwyllgorau eraill, yn nygiad allan ddiwygiad o'r cyfieithiad Cymraeg o'r Beibl. Pasiwyd penderfyniad gwresog o gydymdeimlad a'r Llywydd Garfield (ofnwyf bob mynyd glywed am ei farwolaeth), ei wraig, ei blant, a phobl yr Unol Dalaethau.

—Cynaliwyd cyfarfodydd blynyddol arholiadol Coleg Hwlffordd, Awst 2, 3. Y mae y coleg yn ol yr adroddiadau, mewn cyflwr llewyrchus. Y Parch. G. Roberts a bregethodd i'r myfyrwyr. Yn hwyr y dydd olaf, pregethodd y Parch. Fred Evans, D. D., yn rymus a dylanwadol i gynulleidfa astud yn nghapel Bethesda, oddiar Col. 1:28–29. Traddododd hefyd yn ystod y cyfarfodydd ar *Pwlpud y Dyfodol.*

—Cyfarfodydd blynyddol Llangollen, a gynaliwyd Gorph. 26, 27. Hysbysir fod "y sefydliad yn awr mewn cyflwr iachus iawn o ran y gwaith a gyfrenir ganddo, ond oblegid iselder ei sefyllfa arianol, penderfynodd y pwyllgor gweithiol, na ellid derbyn ond un yn unig ar y drysorfa eleni, er fod rhif yr ymgeiswyr yn lluosog iawn."

—Er mwyn rhoddi lle i Gymanfa Lansford yn gyflawn yn y rhifyn hwn, gorfodwyd ni i oedi cyhoeddiad amryw bethau eraill tan y rhifyn nesaf. Hyderwn y bydd pawb yn foddlon.

—Hwyr yr 11eg o'r mis diweddar cymerodd tir-lithriad le yn agos i bentref Elm, Canton Glarus, Switzerland. Lladdwyd tua 200 o bobl, a dinystriwyd deg ar-hugain o dai.

# Barddoniaeth.

## YR YMDRECHFA

### RHWNG MARW A BYW YN MHERSON ARCHOLLEDIG YR ARLYWYDD GARFIELD.

Ein penaeth urddasol archollwyd,
Miliynau a deimlodd y loes,
A chenedl drwy'r archoll a waedodd—
Gweriniaeth fyrhaodd ei hoes!
Columbia fedyddiwyd mewn dagrau,
Cymylau orchuddiodd ei bri,
Ei chalon ddyrwygwyd gan ofnau,
Tra'n suddo yn ymchwydd y lli!

Daeth angeu fel rhwysgfawr orchfygwr
Yn mlaen gan ddadweinio ei gledd,
A meddwl mai hawdd oedd cymeryd
Ein Garfield i garchar y bedd;
Ond arfau cyngreiriol i'w erbyn
Yn wrol a ddaethant i'r gâd—
Gwyddoniaeth, medrusrwydd meddygol,
A gweddi ffyddloniaid pob gwlad.

Daeth gobaith gan gadarn afaelyd
Mewn bywyd mor werthfawr a phâr—
Ffydd hefyd a dreiddiai drwy'r cwmwl,
Dysgwyliai am gymorth Duw ner;
Pob enwad a phleidiau gwleidyddol,
Mewn dagrau ymbilient â Duw;
Gan lefain, O, Arglwydd tosturia,
Arbeda, gad iddo gael byw.

Cysgodion marwolaeth o'i amgylch
Ymgasglent yn nyfnder y glyn,
A'i enaid a dawel ymorphwys
Ar Geidwad pechadur pryd hyn;
Gofynai am rif y gorsafon
Oedd rhyngddo a chyrhaedd y wlad—
Gwlad nefol y palmwydd a'r goron,
A'r delyn yn ninas ei Dad.

*Providence, Pa.* IEUAN DDU.

## BODDIAD PHARAOH A'I FYDDIN

Y dyn dig o dan y don—a foddwyd
Gyda'i fyddin greulon;
Eu hanturiaeth, weilch taerion,
Er eu braw fu'n friw i'w bron.

Duw Ior uchel edrychodd!—ei alon
Mewn eiliad ddinystriodd;
A'i gudeg blant a gadwodd
Er ei fawl mewn difyr fodd.

IEUAN DWYFACH.

## BRENIN Y GOGONIANT.

Fe anwyd mab yn Methlem,
Yn foreu gyda'r wawr,
Mewn trefn i achub dynion

Oedd mewn camweddau mawr,
Esgynodd i Galfaria,
Bu farw ar y pren,
Mae heddyw'n mro'r gogoniant
A choron ar ei ben.

LLYWARCH.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## JAPAN.

Mae Japan i Asia yr hyn yw Prydain Fawr i Ewrop, gyda hyn o wahaniaeth; y mae pedair o ynysoedd yn perthyn i ymerodraeth Japan, tra nad oes ond dwy yn perthyn i Brydain. Enwau yr ynysoedd hyny ydynt, Kuishin, Shikoku, Nipon, (neu Hondo), a Yesso; neu yn ol fel y silleba rhai ef, Yezzo. Mae llawer iawn o ynysoedd bychain eraill yn gyfagos; ond gan neb yn cael fawr sylw. Mae ynysoedd Japan yn 20,000 o filldiroedd ysgwar yn fwy na Phrydain. Yn y fl. 1878, meddai Japan ar boblogaeth o 34,338,404. Felly, ychydig yn fwy na'r ynysoedd Prydeinig. Nid oes afonydd o un pwys yn Japan, mwy na Phrydain. Ond os yn amddifad o afonydd hir, llydan, a nofiadwy, eto medda ar ddyffrynoedd heirdd, a nodedig o ffrwythlon. Hefyd mynyddoedd uchel a chyfoethog o fwnau. Mae copa un o'i mynyddoedd sef y Fuji-Yama, yn codi 12,000 o droedfeddi uwchlaw y mor. Ceir rhai o'r meteloedd gwerthfawrocaf ynddi mewn llawer man; ond ychydig o honynt sydd hyd yma yn cael masnachu ynddynt. Nid oes rhagor nag un ran o ddeg o arwynebedd y wlad dan driniaeth amaethyddol o unrhyw fath. Mae y bobl yn gallu byw mor rhad, a masnach wedi ei chyfyngu am gymaint o ganrifoedd i'r cylch cartrefol yn unig, fel nad yw adnoddau mwnawl ac amaethyddol y wlad wedi eu dadblygu ond y nesaf peth i ddim o'r herwydd. Y pinwydd, bamboo, neu gaeau reis, yw y pethau y cyfarfyddir a hwy fynychaf wrth deithio y wlad. Prin iawn yw adar yno. Brain yw y lluosocaf o lawer.

Yn yr afonydd mae lluosogrwydd o bob math o bysgod; anifeiliaid sydd yn brin iawn yno hefyd. Y rheswn o hyn yw, nad yw y Japaniaid byth yn yfed llaeth, gwneyd ymenyn, na byth yn bwyta cig eidion. Mae yno ychydig geffylau o rywogaeth neillduol, at gario beichiau. Ffyrdd sydd bethau anaml iawn yno hefyd. Nid oedd y Japaniaid wedi cymaint a breuddwydio am reilffordd hyd yn ddiweddar. Beth bynag, erbyn heddyw mae yno dair o honynt, ac un arall ar waith yn bresenol yn Yesso. Nid yw y tair sydd wedi eu hadeiladu yn mesur ond rhyw 66 o filldiroedd. Mesura y rheilffordd sydd yn rhedeg o Yokohama i Tokio, 18 milldir; a'r un o Kobe i Osaka, 22 milldir; a mesura yr un o Osaka i Kiobo, 26 milldir. Tokio yw y brif ddinas i'r dwyrain, a Kioto i'r gorllewin. Tokio yw y canolbwynt llenyddol, a Kioto y celfau. Mae hinsawdd Japan mor agos ag sydd bosibl i eiddo y wlad hon, gyda glan y Werydd, o New Jersey i Florida.

Rhana trigolion Japan yn naturiol i ddau ddosbarth, sef yr Ainos a'r Yamatoos. Daeth y rhai hyn i'r ynysoedd o wahanol gyfeiriadau. Y dosbarth cyntaf a ddaethant o'r gorllewin, dros y tir a'r mor o China a Chorea; y diweddaf a ddaeth o'r deheu, o diriogaethau Malay. Fel rheol, dynion o gyrph bychain ydynt; ond yn alluog i ddal o dan gryn bwys o galedwaith. Mae y naill ryw yn agos mor lluosog a'r llall yno. Mae y Japaniaid ar y blaen ar y rhan fwyaf o genedloedd Asia, yn y parch a'r safle a roddant i'r fenyw. Tra mae y rhan fwyaf o genedloedd Asia, yn edrych i lawr ar y wraig, ac yn ei hystyried yn dda i ddim braidd, ond i gyflawni yr hyn fyddo yn sarhad i'r gwr ei gyflawni, edrycha y Japaniaid arni yn deilwng agos o'r un breintiau a pharch ag efe ei hun. Fel rheol hefyd meddyliant yn fawr am eu plant.

Dywedodd rhyw un mai "Paradwys babanod yw Japan." Nid oes adeg yn mywyd y Japaniad y teimla mor ddedwydd a phan yn chwareu gyda'i blant ar yr aelwyd. Talant sylw braidd

ormodol i ddifyrwch y plant. Mae y *Caste* wedi ei ddiddymu yn hollol yn Japan, a phawb yn teimlo yn hollol rydd i gyfythrachu y naill a'r llall.

Japan yw yr ymerodraeth hynaf yn y byd. Mae ei gorsedd wedi ei dal gan ddisgynyddion o'r un teulu, nas gwyddys er pa bryd. Mae ganddi hanesiaeth fanol o'r gwahanol symudiadau sydd wedi cymeryd lle yno, yr hwn a elwir *Dai Nihon Shi*. Gelwir yr hwn sydd a gofal y llywodraeth yn ei law yn Mikado gan dramorwyr, ond yn Tenshi (neu Fab y Nefoedd) gan y Japaniaid. Yn y fl. 1843 cymerwyd y llywodraeth oddiar y teulu ag oedd yn arfer ei meddu, a chadwyd hwy allan am flynyddoedd o honi. Beth bynag yn y flwyddyn 1868, ail feddianasant hi drachefn. Er yr adeg hono mae Japan wedi symud yn y blaen gyda chyflymder synfawr, a hyny mewn rhagor nag un cyfeiriad. Yn ei chynydd a'i gwelliantau yn yr ystod byr o 15 mlynedd mae ar y blaen, ac yn sefyll wrthi ei hun yn mysg holl wledydd y ddaear. Yn 1872 diddymwyd yn hollol y system warogol (*feudal*). Yn yr un flwyddyn, sefydlwyd canoedd, os nad rhai miloedd o ysgolion cyhoeddus, ac agorwyd bathdy, a llawer iawn o lythyrdai ar draws y wlad mewn gwahanol gyfeiriadau. Y flwyddyn ganlynol, sef 1873, dechreuwyd defnyddio blwyddiadur gwledydd gwareiddiedig, gyda'r eithriad eu bod hwy yn dechreu cyfrif o ddyddiau y Mikado cyntaf, yn lle y cyfnod Cristionogol..

Mae hon, y flwyddyn 1881, O. C., gyda ni. Gyda'r Japaniaid mae yn 2341 o esgyniad Jimmu Tumo. *Crefyddau y Japaniaid.*—Yr hynaf a'r lleiaf ei dylanwad heddyw o grefyddau y Japaniaid yw Shintoiaeth. Addoli galluoedd anian mae y Shintoiaid a dim arall. Crefydd arall y wlad yw Buddhyddiaeth, daeth i Japan o Corea yn y fl. 552. Yn India y cenedlwyd Buddhyddiaeth, chwech cant o flynyddau cyn Crist. Aeth o India i Ceylon, ac oddi yno i Burmah, China, Thibet, a Chozea, ac yn ddiweddaf i Japan. Mae llawer o ddelwau yn Japan, rhai yn fychan iawn, ac eraill yn fawr iawn. Y ddelw fwyaf yw yr hon sydd yn Kamakara, gelwir hi Dai Butz, a mesura 65 o droedfeddi o uchder. Mae un arall y telir parch mawr iddi yn Nara; ond nid yw y ddiweddaf agos mor berffaith o ran gwneuthuriad a'r gyntaf. Yn y nesaf, nodwn yr hyn sydd wedi ei gyflawni er efengyleiddio Japan.

---

# HANESION CARTREFOL.

---

Y PARCH. D. E. BOWEN.

*Carbondale, Pa.*—Diau fod yn hysbys i luaws o ddarllenwyr y WAWR, am y ddamwain a gyfarfu a'r Parch. D. E. Bowen, ddydd Sadwrn, Awst 27ain. Tra yn cychwyn o orsaf Carbondale, y boreu hwnw am Olyphant, yn y gerbydres, cofiodd ei fod wedi gadael ei *valise* ar ol, a neidiodd allan i'w ymofyn. Yn ei ffrwst syrthiodd o dan yr olwynion, ac anafwyd ef yn beryglus. Cludwyd ef i'r Court House, ac oddiyno i'r Harrison House, a galwyd y meddyg Wheeler. Bu raid tori un troed ymaith, ond credid y gellid arbed y llall, er ei fod wedi ei falurio yn erchyll. Yno mae hyd yn hyn yn gorwedd ar ei gefn mewn cyflwr truenus—digon i dori calon y dyn caletaf. Er chwanegu at y trueni, y mae ei wraig yn suddo yn gyflym i afael angeu, mewn ystafell arall yn yr un ty, dan effaith *paralytic stroke*.

Y mae pobl yr ardal hon, yn grefyddol ac arall, yn garedig iawn wrthynt. Y maent mewn angen cymorth, ac apelir at yr eglwysi Bedyddiedig i wneyd a allant ar eu rhan a hyny yn ddioed. Bydd unrhyw gyfraniadau yn dderbyniol. Gellir eu hanfon i ofal J. W. Edwards, Carbondale, Pa.

---

PITTSBURGH, PA., Medi 14.—Dysgwylir y Parch. J. Evans, Westerly, yma nos Lun, y 26ain. Y mae yn Franklin yn awr. Bydd W. F. Davies, Nanticoke, yma y mis nesaf. Yr oedd D. Rhys Jones, i fod yma y Sul diweddaf, ond ni ddaeth. Yr achos nis gwn.—*W. Lloyd Jones.*

## YSTADEGAU CYMANFA LANSFORD, PA., AM 1881.

| Yr Eglwysi. | Ysgrifenyddion. | Gweinidogion. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derbyniwyd trwy Lythyr. | Goll. tr. Lyth. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif yr Aelodau. | Canolrif yr Ysgol Sul. | At draul y Gymanfa. | At draul yr Ysgrifenydd. | At y Genadaeth Dramor. | Cenadaeth Artrefol Amer. | Bwrdd Add-ysg Pa. | Cenadaeth Artrefol Gymr. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ashland | Thomas M. Davies | | 3 | 4 | 7 | 3 | 1 | 2 | 68 | 75 | $2 00 | $1 00 | $ | $ | | $ |
| Mount Carmel | | | | | 1 | 1 | | | 13 | 21 | | | | | | |
| Shamokin | | | 1 | 10 | 4 | | | | 15 | | 50 | | | | | |
| Arnot | Watkin Watkins | | | 6 | 6 | 1 | 4 | 2 | 45 | 72 | 2 00 | 1 00 | 6 00 | | | |
| Audenried | Gideon E. Davies | Thomas D. Evans | 1 | 5 | 12 | 6 | 3 | | 64 | 65 | 2 00 | 1 00 | 8 00 | 3 00 | | |
| Carbondale | | | | | | | | | 22 | | | | | | | |
| Danville | William Rees | | | | | 2 | 1 | 2 | 26 | 27 | | 1 00 | | | | |
| Drifton | Daniel H. Davies | D. R. Davies | | 2 | 4 | 2 | 12 | | 50 | 60 | 1 00 | 1 00 | 9 46 | | | 5 00 |
| Frostburgh, Md. | Griffith Evans. | D. H. Jones | 14 | 5 | 5 | 3 | 7 | 1 | 102 | 150 | 4 00 | 1 00 | | | | |
| Hyde Park | John T. Williams | | | 7 | 21 | 20 | 13 | 13 | 371 | 480 | 10 00 | 2 00 | | | | |
| Jermyn | Samuel Morgan | | | | | 1 | 1 | | 9 | 25 | | | | | | |
| Johnstown | Josiah Evans | | 2 | 6 | 5 | 7 | 7 | 1 | 60 | 50 | 3 00 | 1 00 | | | | |
| Kingston | Jonah A. Davies | D. R. Davies | 5 | 5 | 12 | 6 | 7 | 3 | 94 | 105 | 2 00 | 1 00 | 26 00 | 13 00 | 10 00 | |
| Lansford | John E. Jenkins | | 3 | 1 | 4 | 8 | 3 | 4 | 63 | 90 | 1 50 | 50 | 2 82 | | 6 53 | |
| Mahanoy City | Gwilym Evans | | 1 | 1 | 3 | 4 | 7 | 3 | 80 | 100 | 2 00 | 1 00 | | | | |
| Minersville | John D. Morgan | John M. Evans | | 2 | | 10 | | 1 | 46 | 45 | 1 00 | 1 00 | | | | |
| Morris Run | John W. Phillips | | | 4 | 3 | 4 | 3 | 2 | 38 | 50 | 2 00 | 1 00 | 2 00 | | | |
| Nanticoke | William Edmonds | William F. Davies | 9 | 10 | 30 | 18 | 12 | | 105 | 125 | 3 00 | 1 00 | 18 00 | 8 00 | 12 00 | |
| Olyphant | Evan Miles | | | | | | 3 | 2 | 34 | 68 | 1 00 | 50 | | | | 3 50 |
| Parsons | T. R. Thomas | Wm. D. Thomas | 2 | 5 | 12 | 5 | 13 | 2 | 123 | 120 | 2 00 | 1 00 | 4 18 | | 12 25 | |
| Plymouth | Peter Roberts | D. R. Jones | 4 | 11 | 20 | 12 | 5 | | 144 | 159 | 2 00 | 1 00 | | | | |
| Pittston | Jacob W. Evans | | | 3 | 1 | 2 | 7 | 4 | 99 | 85 | 2 00 | 1 00 | 10 92 | | 4 00 | |
| Pottsville | Richard Stephens | | | | 1 | | 8 | 1 | 24 | 18 | | 50 | | | | |
| Providence | John E. Evans | J. P. Harris | 9 | 3 | 14 | 7 | 7 | 6 | 134 | 123 | 2 00 | 1 00 | | | | |

| | | | | | | | | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Shenandoah | Ed. Capper | D. Jones | .. | 2 | 4 | .. | 3 | 1 | 44 | 130 | 2 00 | 1 00 | 5 04 | .... | .... | .... |
| Slatington | .... | .... | .. | .... | .... | .. | .. | .. | .... | .... | .... | .... | .... | .... | .... | .... |
| St. Clair | Lewis Evans | D. S. Thomas | . | 1 | 1 | .. | 9 | 1 | 55 | 45 | 2 00 | 1 00 | 2 54 | .... | 9 09 | .... |
| Summit Hill | Joseph Richards | .... | 2 | 5 | 2 | 2 | 5 | .. | 45 | 115 | 2 00 | 1 00 | 2 00 | .... | .... | .... |
| Taylorville | Wm. T. John | D. W. Morris | 1 | 6 | 7 | 3 | 7 | 1 | 116 | 140 | 2 00 | 1 00 | 29 92 | .... | .... | .... |
| Upper Lehigh | J. M. Powell | .... | 1 | 1 | .... | 2 | . | 3 | 41 | 60 | 4 00 | 1 00 | .... | .... | 5 00 | .... |
| Wiconisco | .... | B. E. Jones | .. | .... | .... | .. | .. | .. | 33 | .... | .... | .... | .... | .... | .... | .... |
| Wilkesbarre | John L. Jenkins | .... | .. | 5 | 15 | 5 | 35 | 1 | 95 | 75 | 3 00 | 1 00 | 18 16 | .... | .... | .... |
| Rolling Mill Hill | .... | .... | .. | .. | .... | .. | .. | .. | .... | .... | .... | 1 00 | .... | .... | .... | .... |

At yr Orphan's Home—St. Clair, $1 33. Publication Society—Wilkesbarre, $3 20.

*Enwau Gweinidogion heb ofal Eglwysi ganddynt.*—Ashland, Parch. Jeremiah Griffiths; Audenried, Parch. Benjamin Nicholas; Kingston, Parchn. Theoplilus Jones a James R. Price.

*Pregethwyr a Myfyrwyr.*—Hyde Park, Ebenezer Lloyd; Lansford, Daniel M. Jones; Parsons, John S. Thomas, myfyriwr; St. Clair, Wm. G. Watkins, myf.; Taylorviile, Morgan J. Watkins a Gwilym Thomas, myf.; Plymouth, Vaughan Richards; Nanticoke, Henry Roberts a John W. Griffiths; Providence, E. D. Jones a D. B. Griffiths; Shenandoah, Edward Capper.

## *CYMANFA LANSFORD.*

Cynaliwyd Cymanfa Dwyreinbarth Pa. yn Lansford, Swydd Carbon, Awst 20, 21 a'r 22ain.

Agorwyd Eisteddiad cyntaf y Gynadledd am 10 o'r gloch dydd Sadwrn, drwy ddarllen a gweddio gan y brawd W. F. Davies, Nanticoke.

D. Rhoslyn Davies yn y Gadair.

### *Croesawu'r Gymanfa.*

Darllenwyd llythyr croesawol eglwys Lansford at y Gymanfa, yr hwn a gynwysai dderbyniad gwresog i weinidogion a chenadau yr amrywiol eglwysi i'w tai, ac i'w calon.

Neillduodd y Gadair y brawd John Davies, Lansford, i gydweithredu â'r brawd James Evans, Wilkesbarre, Trysorydd y Gymanfa, i dderbyn cyfraniadau yr eglwysi—i ddwyn yn mlaen y casgliadau a thalu treulion y Gymanfa.

### *Pwyllgor Trefniadol y Moddion Cyhoeddus.*

Pen. Fod y brodyr John Davies, a John Johns, Lansford, yn nghyd a Noah Griffith, Summit Hill, i ffurfio'r pwyllgor, ac i gydweithredu a'r brawd D. S. Thomas, Arweinydd y Gymanfa, yn nhrefniad y moddion cyhoeddus.

### *Pwyllgor ar Gynwysiad y Llythyron.*

Neillduwyd y brodyr W. F. Davies, a D. Rhoslyn Davies, yn Bwyllgor er cyfleu ceisiadau'r llythyron o flaen y Gynadledd, yn Eisteddiad 2 o'r gloch.

### *Pwyllgor y Marw-gofion.*

Neillduwyd y brodyr D. W. Morris, Vaughan Richards, a J. W. Roberts, Parsons, yn Bwyllgor y Marw-goffa.

### *Derbyn Aelodau Newyddion.*

Derbyniwyd y brawd D. W. Morris, diweddar o Gwmsarnddu yn aelod o'r Gymanfa ar sail cymeradwyaeth o Gymanfa siroedd Caerfyrddin a Cheredigion, dyddiedig Mai 8, 1880. Hefyd, y brawd John M. Evans, yr hwn sydd yn bugeilio eglwys Minersville, a'r brawd Thomas D. Evans Audenried, yr hwn sydd newydd ei urddo i waith y weinidogaeth, ac i fugeilio yr eglwys yn Audenried.

*Brodyr Ymweliadol.*

Gwahoddwyd y brodyr canlynol i gyd-eistedd a ni gydag hawl i gyd-ymgynghori, sef T. T. Williams, Ohio, R. Edwards, Pottsville, E. Edwards, Coatsville, a'r brawd Henry Thomas, diweddar o Abertawe, Cymru, yr hwn wedi darllen ei gred-lythyron o Gymanfa Morganwg, a roesawyd i'n plith, ac a gydnabyddwyd fel brawd yn yr efengyl, a chydlafuriwr a ni yn ngwinllan Iesu Grist, drwy ddeheulaw cymdeithas y Cymedrolwr dros y Gymanfa.

Wedi darllen llythyron yr eglwysi at y Gymanfa, cafwyd fod y cenadon canlynol yn wyddfodol.

*Cenadon yr Eglwysi.*

Lansford, John Davies, a John John; Drifton, y Parch. D. R. Davies; Hyde Park, Thos. Howells ac Evan J. Davies; Kingston, H. P. Davies a Jonah A. Davies; Minersville, Jno. R. Jenkins, a Thos. R. Jones; Nanticoke, Solomon Havard; Parsons, J. W. Roberts (Callestr); Providence, Llewelyn Roberts a D. B. Griffiths; Shenandoah, Jonathan Rogers, a Jno. R. Jones; St. Clair, Francis Smith; Summit Hill, Noah Griffiths; Wilkesbarre, Jas. Evans, ac Evan Rowlands; Upper Lehigh, Joseph Parry; Ashland, Thos. Thomas, Philip Rees; Mahanoy City, Evan John; Audenried, Hugh T. Jones a Thos. Watkins; Taylorville, y Parch. D. W. Morris; Pottsville, W. Taliesin Jones.

*Swyddogion am y Flwyddyn.*

D. T. Thomas, Cymedrolwr. W. F. Davies, Is-Gymedrolwr. J. P. Harris, Ysg., am y tair blynedd dilynol. Jas. Evans, Trysorydd.

Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd Jonathan Rogers, Shenandoah.

Cynadledd 2 o'r gloch, Sadwrn. Agorwyd yr eisteddiad drwy weddi gan y brawd W. D. Thomas, Mahanoy.

*Argraffu'r Rheolau.*

Pen. Ein bod yn derbyn adroddiad y Pwyllgor ar argraffu Rheolau y Gymanfa yn llyfryn destlus, ac yn awdurdodi'r pwyllgor i godi $20 o Drysorfa'r Gymanfa i ddwyn y gwaith yn mlaen, a bod yr arian deilliedig oddiwrth ei werthiad i'w ddefnyddio er addalu'r benthyg i'r Drysorfa.

*Pwyllgor Tysteb yr Hybarch Theophilus Jones.*

Pen. Ein bod yn derbyn adroddiad y pwyllgor ar Dysteb y Parch Theophilus Jones, Wilkesbarre, ac yn ei ryddhau. Cafwyd fod cyfanswm y Dysteb yn $540.

*Breinlen (Charter) Cymanfaol.*

Pen. Fod y Pwyllgor ar y priodoldeb o sicrhau Breinlen (Charter) Gymanfaol yn cael ei ryddhau, a bod y fantais o fod heb un, o gymaint mantais a chael un.

*Aelodaeth y brawd Llewelyn Rees.*

Wedi dwys ystyriaeth, Pen. Fod y Parch. Llewelyn Rees yn aelod o'r Gymanfa hon tra yn bugeilio eglwys Johnstown, a'i safle yn gymeradwy, Ebrill 26, 1880, sef amser dyddiad y llythyr o ollyngdod a gafodd fel aelod o'r eglwys hono. Ond yn gymaint a bod Cymanfa Ohio yn gwrthod cydnabod y brawd Rees yn weinidog rheolaidd heb yn gyntaf cael llythyr cymeradwyol Cymanfa Dwyreinbarth Pa., ac yn ngwyneb fod y brawd Rees wedi bod cyhyd heb ofyn am ei lythyr,

Pen. Fod Pwyllgor ymchwiliadol yn cael ei neillduo; sef, y brodyr H. P. Davies, Wm. F. Davies, a James Evans, i ohebu ag Ysgrifenydd Cymanfa Ohio, parth cymeriad moesol Mr. Rees; ac os na cheir profion diymwad o euogrwydd, y bydd i ni ganiatau llythyr o ollyngdod iddo er ymaelodi mewn rhyw Undeb Cymanfaol arall.

Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd Jonah A. Davies, Kingston.

*Cynadledd 9 o'r gloch boreu Llun, yr 22ain.*

Dechreuwyd drwy weddi gan y brawd H. P. Davies.

*Ymgeiswyr am Addysg Athrofaol.*

Cafwyd fod y brodyr canlynol wedi myned drwy arbrawf y Cyfeisteddfod: Daniel M. Jones, Lansford, a'r brodyr

John W. Griffiths, a Henry J. Roberts, Nanticoke, a chael cymeradwyaeth yr Arholwyr, a bod drws y Coleg yn Lewisburg yn agored iddynt.

*"Y Wawr."*

Pen. Ein bod y flwyddyn hon eto, yn mawr gymeradwyo ein cyhoeddiad misol, "Y Wawr," i sylw yr eglwysi, ac yn dymuno galw eu hystyriaeth at yr angenrheidrwydd o roddi cefnogaeth ffyddlon a brwdfrydig i'r cyhoeddiad. Teimlwn fod ymdrech llafurfawr y parchus Olygydd yn wir deilwng o'n cydymdeimlad, a'n cydymdrech mwyaf calonog.

Pen. Fod y Cymedrolwr i enwi'r pwyllgorau.

*Y brawd T. G. Jones, (Fab Dewi).*

Pen. Ein bod mewn atebiad i lythyr y brawd T. G. Jones, yn galw ei sylw at reolau ein Cymanfa, ac mai trwy gydffurfio a'r rheolau yn unig y gall sicrhau yr amcan sydd ganddo mewn golwg.

*Y Pwysigrwydd fod Enwau Gweinidogion a Phregethwyr ar Ystadegau'r Gymanfa.*

Yn gymaint a bod rhai o fewn cylch y Gymanfa yn gwasanaethu fel gweinidogion a phregethwyr, na chydnabyddir felly yn rheolaidd genym fel Cymanfa,

Pen. Nad ydym yn ystyried neb yn deilwng i wasanaethu yn y swydd weinidogaethol na phregethwrol heb fod ei enw yn cael ei gydnabod gydag hanes ac ystadeg y Gymanfa; neu drwy lythyr o Gymanfa arall.

*Y Parch. H. C. Parry, D. D.*

Gan ein bod wedi penderfynu yn Nghymanfa Taylorville, 1874,

Pen. 10.—Ein bod yn anghymeradwyo ymddygiadau Gweinidogion yr Efengyl yn trin a thraflyncu eu gilydd yn y Newyddiaduron wythnosol, ac yn gwahardd y cyfryw ymddygiad yn y dyfodol,

Pen. Ein bod yn anghymeradwyo gwaith isel-wael y Parch. H. C. Parry yn ysgrifenu llythyrau cyfeiliornus i'r Hen Wlad, ac a gyhoeddwyd yn "Seren Cymru" am ei frodyr yn y weinidogaeth, ac eraill yn y wlad hon.

*Slatington.*

Pen. Fod y brawd J. P. Harris i ymweled ac i dreulio Sul, gyda'r frawdoliaeth yn Slatington, ac i ymdrechu sicrhau yr addoldy a adeiladwyd i'r enwad gan ein diweddar frawd Henry Williams, Ysw., drwy ymgynghori a'r etifeddion, a bod y brawd i gael ei ddigolledu parth treulion ac amser gan Drysorydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig, yn nghyd a'r hyn a all y frawdoliaeth wneyd tuag at hyny.

*Belmont, ger Pottsville.*

Gan fod hen addoldy perthynol i'r enwad yn y lle hwn,

Pen. Fod y brodyr D. S. Thomas, St. Clair, a W. Taliesin Jones, Pottsville, i fod yn Bwyllgor i chwilio i fewn idd ein hawliau, ac i sicrhau meddiant o'r *property* i'r enwad.

*Morris Run ac Arnot.*

Pen. Fod Trysorydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig, y brawd B. Hughes, i dalu traul y brawd D. Rhoslyn Davies un ffordd i Morris Run ac Arnot, a bod y brawd i wasanaethu yr eglwys yn Morris Run un Sabboth, a'r eglwys yn Arnot y Sabboth arall, a hwythau i dalu ei draul i ddychwelyd, yn nghyd a chydnabyddiaeth deilwng am ei lafur yn eu plith.

*Danville ac Olyphant.*

Pen. Fod tri o frodyr yn y weinidogaeth i wasanaethu y naill a'r llall o'r eglwysi hyn: Tri Sabboth yn Olyphant, a thri yn Danville, yn ystod y flwyddyn gymanfaol hon. Telir am eu gwasanaeth o Drysorfa y Gymdeithas Artrefol Gymreig, a'u treulion gan yr eglwysi. D. S.—Wedi mabwysiadu y penderfyniadau rhagflaenol, deallwyd fod y Gymanfa yn tynu mwy o'r Drysorfa nag sydd ynddi—mwy o tua $15 nag sydd mewn llaw. Ni wnaeth yr un eglwys gyfranu tuag ati y flwyddyn ddiweddaf oddigerth $3.50 o Olyphant a $5 o Drifton. Canmola eglwys Danville y daioni a'r lles sydd wedi deilliaw iddi drwy gymorth y Gymdeithas. Os na wna yr eglwysi gyfranu tuag ati,

bydd y drysorfa yn wag, ac mewn dyled, os cerir allan benderfyniadau y Gynadledd eleni.—[Yr Ysgrifenydd].

*Adroddiad Trysorydd y Gymdeithas Artrefol Gymreig.*

Yn llaw'r Trysorydd .......$39.68
Eglwys Drifton................5.00

Yn llaw'r Trysorydd.........$44.68

Talwyd allan y flwyddyn ddiweddaf y swm o $35, er cynorthwyo yr eglwysi yn Danville a Jermyn.

*Swyddogion y Gymdeithas Artrefol Gymreig.*

Pen. Fod i'r un rhai i barhau. W. W. Rees, Parsons; Wm. Powell, Upper Lehigh, a B. Hughes, yn Drysorydd.

*Y Gymanfa Gerddorol.*

Pen. Ein bod yn anog yr eglwysi i fwy o ymdrech yn mhlaid Caniadaeth y cysegr, a gan fod y Gymanfa Gerddorol wedi myned i lawr, Ein bod yn galw ar yr eglwysi yn Luzerne a Lackawanna i ymffurfio yn ddau ddosbarth. Pittston yn *Centre* y dosparthiadau. Anogwn yr eglwysi i alw cyfarfod o gynrychiolwyr yr eglwysi yn y lle mwyaf cyfleus, a myned at y gwaith yn ddioedi. Hefyd, gan fod y Gymanfa Gerddorol yr hon a gynaliwyd yn Hyde Park, wedi penderfynu mabwysiadu Llyfr Tonau Harris, Howells, a Jones fel safon,

Gorchymynwyd i'r brawd R. Edwards, yr hwn sydd yn masnach y llyfrau, i ddanfon i'r Hen Wlad am sypyn o honynt i gyflenwi'r angen; ond cyn i'r llyfrau ddyfod i law, yr oedd Llaw-lyfr Moliant wedi eu gwasgaru drwy yr eglwysi, fel pan ddaeth y goruchwylydd a'r llyfrau anfonedig am danynt oddiamgylch, ni werthwyd ond rhyw bump neu chwech o honynt, ac y maent yn awr ar law Mr. Edwards, yn *dead stock.*

Pen. Fod yr eglwysi drwy gylch y Gymanfa Gerddorol i wneyd y golled i fyny, a bod yr arian gweddill yn llaw y Trysorydd, y brawd Jacob W. Evans, Pittston, $5.87 i gael eu defnyddio fel rhan o ddigollediad Mr. Edwards, a bod y brawd Evans i'w talu ar *order,* wedi ei arwyddo gan Gymedrolwr ac Ysgrifenydd y Gymanfa.

*Casglu at Addoldai.*

Pen. Fod eglwys Lansford yn cael caniatad y flwyddyn hon eto, i orphen casglu drwy gylch y Gymanfa.

*Marw-gofion (Obituaries).*

Ein bod yn dymuno cydnabod yn hiraethlawn symudiad drwy angeu o'n plith y flwyddyn ddiweddaf ein hanwyl frodyr yn y Weinidogaeth: Benjamin E. Bowen, Olyphant; David Harris, Arnot; a'r myfyriwr addawol David Evans, Providence. Yr oedd Bowen yn Dywysog yn y fyddin; Harris yn ddefnyddiol mewn amrai gylchoedd, a'r brawd Evans yn eginyn a dyfodd ar ol gwlaw pan gyfodai arno haul foreuddydd, ond gwywodd ar lasiad y dydd, gan adael Plymouth, ei hen gartref, a Lewisburg, mewn galar mawr.

Gan nad yw yr eglwysi wedi danfon y manylion am farwolaeth eu haelodau, y mae'r pwyllgor yn analluog i ffurfio Coffadwriaeth Cymanfaol am danynt; ond yn unig ein bod yn cydnabod llaw yr Arglwydd yn ei waith yn symud ei blant adref. Y mae eglwys Hyde Park mewn galar ar ol brodyr a chwiorydd hoff ac anwyl, heblaw y Diacon D. T. Roberts. Mae cwynfan yn Providence, ar ol ymadawiad aelodau ffyddlon heblaw y swyddog Isaac R. Davies, a gallwn ddyweyd yr un peth am eglwys Kingston, fod anwyliaid eraill heblaw y Diacon Wm. Esau, wedi myned oddiwrth eu gwaith at eu gwobr. Cydnabyddwn yr Arglwydd yn ddoeth a da yn ei holl weithredoedd. Gwnaed a fyddo da yn ei olwg.

D. W. Morris, V. Richards,
J. W. Roberts, *Pwyllgor.*

*Y Genhadaeth Dramor.*

Pen. Ein bod yn anog yr eglwysi i fwy o weithgarwch i ddanfon yr efengyl i'r byd paganaidd, i fwy o haelfrydedd, a mwy o ysbryd gweddi, fel bo'r Iesu i weled o lafur ei enaid.

*Y Genhadaeth Gartrefol Americanaidd.*

Pen. Ein bod yn ystyried y Gymdeithas Artrefol Americanaidd, yn deilwng o bob cefnogaeth, a chefnogaeth

pawb. Tir lawer sydd eto i'w feddianu, a thrwy gyfrwng y Gymdeithas hon mae cymeryd meddiant o hono.

*Y Gymdeithas Artrefol Gymreig.*

Pen. Ein bod yn galw sylw yr eglwysi yn arbenigol at y Gymdeithas Artrefol Gymreig, amcan yr hon yw cynorthwyo eglwysi gweiniaid, a lledaenu yr achos yn mhlith ein cenedl drwy gylch y Gymanfa.

*Bwrdd Addysg Bedyddwyr Pa.*

Pen. Gan fod nifer o fechgyn Cymreig o bryd i bryd wedi bod dan nawdd y Bwrdd, ac wedi derbyn addysg yn Lewisburg ac yn Crozier, Ein bod yn anog yr eglwysi i wneyd eu goreu y flwyddyn hon i gyfranu at Drysorfa Addysg y Dalaeth, ac fel hyn cefnogir ein brodyr ieuainc addawol sydd yn Lewisburg yn barod, ac eraill sydd ar gael eu derbyn i'r Coleg.

*Yr Wythnos Weddi.*

Pen. Ein bod yn dechreu yr Wythnos Weddi y Sul cyntaf yn Ionawr, 1882.

*Darparu Papyr i'w ddarllen o flaen y Gymanfa.*

Oddiar yr ystyriaeth fod gwybodaeth yn ymledaenu, chwaeth yr oes yn cyfnewid, a bod angen cyfarfod â diwylliant yr oes,

Pen. Fod papyr ar ryw bwnc crefyddol, eglwysig neu enwadol, yn dal cysylltiad a sefyllfa bresenol pethau yn cael ei ddarllen yn lle pregeth yn un o gyfarfodydd mwyaf cyhoeddus a phoblogaidd y Gymanfa nesaf, a'r rhai dilynol, a'i gyhoeddi gydag hanes y Gymanfa.

Pen. Fod y brawd W. D. Thomas, Mahanoy (Parsons yn awr), i ddarparu a darllen y papyr cyntaf. Wm. F. Davies, ei *alternate*.

*Rolling Mill Hill, ac eglwys Wilkesbarre.*

Neillduwyd Pwyllgor o saith, y brodyr V. Richards, Plymouth; Thomas Howells, Hyde Park; John Davies, Lansford; John R. Jones, Shenandoah; Llewelyn Roberts, Providence; Philip Rees, Ashland; a John R. Jenkins, Minersville, i wrando ar adroddiadau y ddwy ochr, ac i wneyd ymchwiliad trylwyr i'r holl amgylchiadau gofidus.

*Adroddiad y Pwyllgor.*

Yr ydym ni y Pwyllgor a benodwyd i chwilio i fewn i'r mater sydd rhwng y blaid ar Rolling Mill Hill, ac eglwys Wilkesbarre, wedi gwrando yn bwyllog ar y ddwy ochr, ac wedi dyfod yn unfrydol i'r penderfyniad canlynol:

Pen. Ein bod yn cymeradwyo gweithrediadau dysgyblaethol eglwys Wilkesbarre, mewn cysylltiad a'r cyfeillion ar Rolling Mill Hill, ac yn eu hanog yn y modd mwyaf taer i ymuno a'r eglwys yn Wilkesbarre, a chydweithredu hyd y mae yn eu gallu, er hyrwyddo llwyddiant yr achos goreu, fel yr enillo nerth a dylanwad yn Wilkesbarre, a'r amgylchoedd. Arwyddwyd, Ll. Roberts, Ysg.; V. Richards, Cadeirydd.

Pen. Ein bod yn rhyddhau'r pwyllgor ac yn mabwysiadu'r adroddiad.

*Yr Arlywydd Garfield.*

Pen. Fod yr ysgrifenydd i ddanfon llythyr dros y Gynadledd at Mrs. Garfield, yn amlygiad o gydymdeimlad Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Pennsylvania â hi a'i theulu yn nydd eu cyfyngder, tra mae ei phriod, Cad. Garfield, Arlywydd y Talaethau, yn suddo yn nyfroedd dyfnion dyoddefaint a chystudd.

*Frostburg, Md.*

Pen. Ein bod yn ystyried y pwnc o gynal ein Cymanfa gyda'r eglwys yn Frostburg yn anymarferol ar hyn o bryd, o herwydd pellder ffordd, traul y cenadon, &c., ac yn cynghori'r frawdoliaeth i alw cyfarfod pregethu yno, iddynt ddewis eu pregethwyr, ac y mae iddynt gydymdeimlad y Gymanfa.

*Y Gymanfa Nesaf.*

Pen. Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Nanticoke, Swydd Luzerne, ar yr amser arferol.

Gohiriwyd a gollyngwyd trwy weddi gan y brawd D. Jones Shenandoah.

*Cyfrifon y Trysorydd.*

| | |
|---|---|
| Derbyniwyd cyfraniadau yr eglwysi | $58 00 |
| Casgliadau dyddiau'r Gymanfa | 43 00 |
| Casgliadau yr Annibynwyr | 1 60 |
| | $102 60 |
| Treulion | 44 35 |
| | $58 31 |
| Mewn llaw | 83 65 |
| Yn llaw'r Trysorydd yn bresenol | $141 96 |

Y MODDION CYHOEDDUS.

Dan arweiniad y brawd D. S. Thomas, St. Clair, Awst 20. Nos Sadwrn am saith o'r gloch, dechreuwyd yr addoliad drwy ddarllen a gweddi gan y brawd Vaughan Richards, Plymouth. Pregethodd y brodyr Thomas D. Evans, Audenried, oddiar Eph. 4. 8—10. Henry Thomas, diweddar o Gymru, oddiar Dat. 22. 11, a Theophilus Jones, Wilkesbaare, oddiar Ioan 17. 20—21.

Sul. Am naw o'r gloch, cynaliwyd cyfarfod gweddio dan arweiniad y brawd R. Edwards, Pottsville. Yr oedd gwrandawr gweddi yn agos iawn. Am 10, darllenodd a gweddiodd y brawd William G. Watkins, Myfyriwr yn Lewisburg. Pregethodd y brodyr D. Rhoslyn Davies, Kingston, 1 Cor. 2:2., a D. W. Morris, Taylorville, oddiar Diar. 15:24.

Ar ddiwedd y cyfarfod hwn, dygwyd dau o frodyr dewisedig gan yr eglwys i'r Swydd Ddiaconaidd ger bron. Traddodwyd siars iddynt yn nghlyw llu o ddiaconiaid ag oeddent wyddfodol fel cenadon yr eglwysi, gan y brawd Theophilus Jones, Wilkesbarre.

Yr un amser, yn addoldy yr Annibynwyr Seisnig, pregethodd y brawd E. Edwards, Coatsville, yn Saesneg oddiar Salm 105:27. Am ddau dechreuwyd yr addoliad gan y brawd David Hughes (A.) Coaldale. Pregethodd y brawd H. Thomas, diweddar o Abertawe, D. C., yn Saesneg, oddiar Dat. 3:12, a David Jones, Shenandoah, oddiar Salm 42:6.

Am chwech, gweddiodd B. Nicholas, Hazleton. Pregethodd y brodyr Wm. F. Davies, Nanticoke, Dan. 12:3. W. D. Thomas, Mahanoy, Ioan 5:5-7 a J. P. Harris, Providence, oddiar Phil. 1: 5—6.

Yr un amser, yn addoldy yr (A.), gweddiodd y brawd R. Edwards. Pregethodd y brodyr Jeremiah Griffith, Ashland, a Theophilus Jones. Ni chawsom eu testynau.

Yr un amser, ar Summit Hill, yn addoldy y Bedyddwyr. Dechreuwyd drwy ddarllen a gweddi gan y brawd D. B. Griffith, Providence. Pregethodd y brodyr D. R. Davies (Saesneg), a D. W. Morris, yn hen iaith Gomer.

Dydd Llun, am dau o'r gloch, yn Lansford, darllenodd a gweddiodd y brawd D. M. Jones, Lansford. Pregethodd y brodyr John M Evans, Minersville, a Benj. Nicholas, Audenried, oddiar 2 Cor. 4:7, a Ioan 3:16.

Am saith, yn Lansford, dechreuwyd yr addoliad gan y Parch. Morlais Hughes (A.), Lansford. Pregethodd y brodyr R. Edwards, oddiar Exodus 25:22; Jeremiah Griffith, Luc 14:16-17, ac E. Edwards, Coatsville, (diweddar o Wilkesbarre), oddiar Ioan 6:68.

Yr un amser, ar Summit Hill, pregethodd y brawd Henry Thomas. Ac yn Coaldale, pregethodd y brodyr W. F. Davies, a W. D. Thomas

Fel hyn y dygwyd y Gymanfa hon i derfyniad, a phawb yn ymddangos eu bod wedi eu llwyr foddhau; cafodd y gweision hwylusdod mawr i draddodi. Yr Arglwydd yn gwenu, a'r gynulleidfa luosog yn ymborthi ar y mana nefol. Dangoswyd serchogrwydd a charedigrwydd mawr tuag at y dyeithriaid gan drigolion Lansford a'r amgylchoedd. Bydded i effeithiau daionus a chadwedigol ganlyn. Amen.

J. P. HARRIS, *Ysg.*

[Gadawsom allan, oherwydd prinder gofod, benderfyniad y Gymanfa o gydymdeimlad â theulu yr Arlywydd, &c., yn nghydag atebiad y Postfeistr Cyffredinol, Mr. James. Hyderwn na thramgwydda neb].

THOMASTOWN, O.

Mae y brawd a'r Parch. T. P. Morgan, M. A., gynt o Dalaeth New York, wedi derbyn a chymeradwyo galwad unfrydol gan yr eglwys hon, ac fe fydd yn dechreu ar ei lafur gweinidogaethol ar y Sabboth cyntaf yn mis Medi. Y cyfarwyddyd at y brawd o hyn allan fydd, Rev. T. P. Morgan, Thomastown, Summit County, Ohio.—*Alltud o Fon.*

---

AIL AGORIAD CAPEL Y BEDYDDWYR YN SHARON.

Tua mis yn ol penderfynodd yr eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn fod angen adgyweirio y capel yn allanol ac yn fewnol, ac am hyny gorfodwyd ei gau am fis i'r dyben hyny. Y mae gwelliantau mawrion wedi eu gosod arno oddifewn ac oddiallan. Y mae picket fence wedi ei gosod o'i amgylch, ac adeiladau allanol oedd yn wir angenrheidiol wedi eu codi. Y mae y capel wedi cael tair cot o baent oddiallan, a dwy got a'i graenio oddifewn, ac wedi ei ddodrefni â llawrleni a chelfi newyddion. Yn wir, y mae yn edrych yn hardd yn awr, ac y mae y brodyr a'r chwiorydd yma yn teilyngu canmoliaeth am eu gweithgarwch a'u haelionusrwydd. Y mae wedi costio dros dri chant o ddoleri. Nos Sadwrn a Sul, y 27ain a'r 28ain o Awst, cynaliwyd y cyfarfod ail agoriadol, pan y gwasanaethwyd gan y brodyr Probert, o Youngstown, Evans, Wheatland, Jenkins, Palmyra. Dechreuwyd y cyfarfod nos Sadwrn gan Jenkins, Palmyra, a phregethodd Jenkins a Probert, oddiwrth Rhuf. v. 6, a Ioan i. 29. Boreu Sabboth, am haner awr wedi naw, cafwyd cyfarfod gweddi rhagorol.

Am haner awr wedi deg, dechreuwyd y cyfarfod gan y brawd Evans, o Wheatland, a phregethodd y brodyr Jenkins a Probert, oddiar Heb. ix. 13, 14, a 1 Cor. 1. 13.

Dechreuwyd y cyfarfod dau gan y brawd Jenkins, gweinidog yr eglwys Annibynol yn Sharon, a phregethodd y brodyr Griffiths, Sharon, ac Evans, Wheatland; y blaenaf yn Saesneg oddiar Dat. i. 5, 6, a'r olaf oddiar Pregethwr vii. 1.

Agorwyd y cyfarfod chwech gan y brawd Williams, pregethwr cynorthwyol gyda'r Annibynwyr yn Sharon, a phregethodd y brodyr Jenkins, Palmyra, a Probert, Youngstown, oddiar Luc vii. 50, a Gen. xxvii. 10–17.

Felly terfynwyd y cyfarfodydd rhagorol hyn. Cafwyd pregethau da, cynulliadau lluosog, a gwenau y nefoedd. Dymunwn gyflwyno diolchgarwch i'r Annibynwyr am roddi eu cyfarfodydd i fyny, ac i bawb am eu serchogrwydd a'u cynorthwy. J. T. G.

---

SURPRISE YN SUMMIT HILL.

Bu eich gohebydd mor ffodus a bod yn bresenol ar achlysur dyddorol rhoddiad *surprise* i Mrs. Catherine Williams, nos Fawrth, Medi 6ed. Mrs. Joseph Richards, a Mrs. William J. Morgan, oedd a'r llaw flaenaf yn y mudiad. Dangosodd bawb oedd bresenol (ac yr oedd llon'd y ty o ddyeithriaid, ac aelodau yr eglwys,) fod ganddynt gyfrif mawr o Nain, fel y gelwir hi ganddynt. Yr oedd yn amlwg na fynai ei chyfeillion iddi ddyoddef y gauaf nesaf, hyd yn nod os bydd yn oerach na'r un diweddaf, oblegid dygwyd i mewn i'w thy, ddefnydd pedwar gwisg, a chyda hyn, dair *shawl!* Heblaw hyn cafodd ddefnyddiau lawer—bwyd, dillad, arian, i ddatgan teimlad da y bobl tuag at ddynes dda.

Cawsom ein boddio yn y teisenau breision, a'r *lemonade* blasus, a'r canu swynol, mewn gair yn y *cwbl oll.* Teimlwn yn ddiolchgar am y fraint o gael bod yn mysg y gwahoddedigion yn y wledd hon. Cafwyd noson hyfryd dros ben; cwmni difyrus, awelon yr hwyr ar ol poethwynt y dydd, a'r lloer llawn yn goleuo uwch ein pen.

Daeth y chwaer Williams, i'r wlad hon dros 49 mlynedd yn ol. Y mae erbyn hyn yn 73 mlwydd oed, er y gellid meddwl neithiwr, ei bod mor ieuanc a'r un "lodes" yn y lle. Mam ydyw i Mrs. Noah Griffith, ac o gysylltiadau perthynasol parchus neillduol. Ewythr iddi hi oedd yr enwog John

Jones, Ramoth, ac y mae John Richards, Ysw., *Wool-dealer*, Utica, yn gefnder iddi. Ganed hi yn Llanuwchllyn, ger y Bala. Duw ei thadau, Duw Cymru ac America, a fyddo yn noddydd i'r hen chwaer anwyl hyd oni dderbynir hi "i ogoniant!"

*Summit Hill.* E. EDWARDS.

---

CYFARFOD HANER-CANMLWYDDOL EGLWYS FEDYDDIEDIG GEORGETOWN, PA.

Dyddiau Iau, Gwener, Sadwrn a Sul, cyntaf yn mis Medi, cynaliwyd cyfarfodydd haner-canmlwyddol yr hen eglwys barchus uchod, ac yn y cyfarfodydd cefais ffeithiau pwysig mewn perthynas i gysylltiad y Cymry a sefydliad achos y Bedyddwyr yn y Sir hon, sydd yn wir deilwng o sylw. Pregethwyd y bregeth gyntaf yn nghymydogaeth Sheakleyville gan Gymro o'r enw David Phillips, o Peter's Creek, oddiwrth Ioan 1 : 23, tua diwedd y ganrif o'r blaen, tua dwy filldir a haner i'r gorllewin o'r pentref, mewn ty perthynol i Thomas Phillips, ei fab. Wedi hyny pregethai y Parch. Thomas G. Jones iddynt unwaith yn y mis, am $18 y flwyddyn. Yr oedd gan Mr. Jones tua phedair ar hugain o filldiroedd i deithio trwy y coed. Sefydlwyd yr eglwys yn gangen o Sharon yn y flwyddyn 1817. Yn y flwyddyn 1831 corphorwyd hi yn eglwys Annibynol. Yn y flwyddyn 1834 dechreuasant adeiladu eu capel cyntaf, a gorphenasant ef yn 1839. Addolasant yn yr hen gapel hyd y flwyddyn 1875, pryd yr agorwyd eu capel presenol gan y Parchn. J. T. Griffiths, y pryd hwnw o Jamestown, yn awr o Sharon; Fred. Evans, D. D., yr amser hwnw o Franklin, yn awr o Maesteg, Cymru; G. W. Snyder, a'r diweddar G. M. Young, D. D., Meadville. Yn ngwyneb y ffaith mai hon oedd y flwyddyn Jubili, penderfynasant gael cyfarfodydd neillduol ar yr achlysur, ac am hyny gwahoddwyd amryw o hen weinidogion ac eraill i bregethu. Cynaliwyd y cyfarfodydd yn y drefn ganlynol:

Nos Iau, Medi 1af, pregethwyd gan y Parch. J. T. Bradford, gweinidog presenol yr eglwys, oddiwrth Ioan 14: 1—3. Nos Wener, y Parch. C. T. Jack, Linesville, oddiwrth Ioan 12 : 31. Boreu dydd Sadwrn, y Parch. C. S. Tinker, o Greenville, oddiwrth Rhuf. 3 : 19. Yn y prydnawn, cafwyd anerchiad hanesyddol gan yr hen ddiacon parchus Isaac Phillips, yr hwn sydd wedi bod yn aelod o'r eglwys am 49 mlynedd, heb golli ond dau gyfarfod parotoadol. Nos Sadwrn, pregethwyd gan y Parch. J. T. Griffiths, Sharon, oddiwrth Dat. 1 : 5, 6. Boreu Sabboth, cyfarfod mawr yr wyl. Agorwyd y cyfarfod gan y brodyr, Bradford a Ross Ward, a phregethodd y brawd J. T. Griffiths, oddiwrth Hebreaid 11 : 4. Ffydd Abel. Ar ol y bregeth, gweinyddwyd yr ordinhad o swper yr Arglwydd. Nos Sabboth, pregethodd y brawd G. Whitman, o Meadville, oddiwrth Marc 14 : 8. Pregethodd yr ysgrifenydd drachefn nos Lun, oddiwrth Ephes 1 : 7.

Yr oedd y cyfarfod oll yn wir dda; y mae arwyddion am ddiwygiad yn canlyn. Gwnaeth tri broffesu ffydd yn Nghrist nos Lun. Llwyddoed yr Arglwydd yr hen eglwys hon yn y dyfodol fel y mae wedi gwneyd yn y gorphenol. Y mae yn y Sir hon naw o eglwysi Bedyddiedig, a Chymry sydd wedi bod a'r llaw flaenaf yn sefydliad yr oll o honynt.—*J. T. G., Sharon, Pa.*

---

## *GANWYD—*

Awst 28, 1881, yn Pittsburgh, Pa., etifedd i Mr. D. Lloyd Jones a'i briod. Bydd yr un enw a'i dad.

---

## *PRIODWYD—*

Gorph. 20, 1881, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn ei dy ei hun, Mr. Ebenezer Morris, a Miss Mary Rees, y ddau o'r dref hon.

Yn Summit Hill, Carbon Co., Awst 25, Mr. William Davies a Miss Annie Evans. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. E. Edwards, Coatesville.

Medi 17, 1881, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn nhy Mr. T. R. Davies, brawd i'r mab ieuanc, Mr. David Davies a Miss Mary Jones, y ddau o'r dref uchod.

May 28th, by the Rev. W. F. Davies, at his own residence in Nanticoke, Pa., Mr. Richard Evans and Emma Esau, both from Kingston, Pa.

Yn Niles, Ohio, Awst 29, gan y Parch. D. C. Thomas, Mr. David Lewis a Mrs. Jane Evans, oll o'r lle hwn.

---

## *BU FARW—*

THOS. WILLIAM RICHARDS.

Awst 30, 1881, Thomas William, unig blentyn John a Mary Ann Richards, yn Newburgh, O. Er nad oedd ond 1 flwydd a 2 wythnos oed. Profodd ef yn fyd o gystudd. Claddwyd ef yn mynwent y lle. Awd trwy y gwasanaeth crefyddol gan y Parch. J. R. Richards. —*Brawd.*

MR. DAVID H. REES.

Yr oedd gwrthddrych y cofiant hwn yn fab i Thomas Rees, Closteg, yn mhlwyf Llangenderiene, sir Gaerfyrddin, D C. Ganwyd ef Meh. 3, 1819. Priododd yn 1847 gyda Ann, merch

Stephen Evans, Ysw., o'r plwyf uchod, yr hon a fu yn briod ffyddlon a serchog iddo drwy ei oes. Gadawodd weddw ac wyth o blant i gydalaru ar ei ol. Ymfudodd gyda'i deulu i America yn y fl. 1851. Sefydlodd gyntaf yn Bloomsburgh, Pa. Ar ol aros yno ryw bedair blynedd, symudodd i ardal Ridgeway, Iowa Co , Wis., lle y treuliodd y gweddill o'i oes. Yr oedd yn ddyn o gorph a meddwl yn hytrach yn gryfach na'r cyffredin, o dymer arafaidd a phwyllog, ac o ysbryd tawel a thangnefeddus; ystyrid ef yn gymydog cymwynasgar gan bawb o'i gwmpas Yr oedd ei iechyd wedi gwaethygu er's rhai misoedd cyn ei farwolaeth, a pharhau i waethygu a wnaeth er llawer o ymdrech meddygon. Bu farw y 9fed o Awst, a chladdwyd ei weddion marwol y 10fed gerllaw addoldy'r Cynulleidfaolion yn yr ardal. Gweinyddwyd i'r lluaws cymydogion oeddynt wedi dyfod yn nghyd ar y pryd gan D. Powell, M. Evans, a W Jones. Boed ymddiried y weddw a'r amddifaid yn yr Hwn sydd yn cyfenwi ei hun yn Dad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon.

Ni ddarfu broffesu Crist a'i grefydd, am yr hyn y gofidiai ar ei glaf wely yn ddwys, a phwy a ddymunai roddi terfyn ar Sanct yn Israel, a phedio gobeithio ei fod wedi cael maddeuant hyd yn nod ar wely angeu, ond na fydded i neb ddilyn esiampl o'r fath, ac anturio dedwyddwch ei enaid ar sail mor ansicr.—*W. J.*

MISS ELLEN ROBERTS.

Mehefin 22, 1881, yn Springwater, Wis., o'r *diphtheria*, bu farw Miss Ellen Roberts, yn 17 mlwydd oed er mis Hydref diweddaf.

Merch hynod dawel a siriol oedd hi bob amser, ac yn mhob lle. Teimlwn golled o'i phresenoldeb, yn neillduol yn yr Ysgol Sabbothol, ac o'r braidd bob cynulliad crefyddol arall, oddigerth cyfeillachau yr eglwys, ond yr wyf yn meddwl y carasai yn fawr fod yn y rhai hyny lawer tro. Bu yn codi mewn cyfarfodydd i arwyddo am ran yn ngweddiau y saint. Amlygodd wrthyf yn bersonol ei dymuniad o fod gydag achos Mab Duw. Anogais hi yn ddifrifol i beidio oedi. Dyledswydd arbenig rhieni yw gwasgu y pethau at feddwl eu plant, sef eu rhwymau i Dduw a dynion. Dywed Paul, yn ei Epistol at yr Ephesiaid 6: 4, "Maethwch hwynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd." Hefyd, dywed ein Hathraw mawr, "A chymellwch hwynt i ddyfod i mewn, fel y llanwer fy nhy." Luc 14: 23—yn neillduol wedi dyfod i oedran o gyfrifoldeb. Mae yn wir fod gwrthddrych ein cofiant yn ymddangos yn hynod ddiniwed, ac felly yr oedd yn caru bod yn nghymdeithas y diniwed a'r diddichell; ond yr oedd yn ddigon call i gilio oddiwrth bob cymdeithas ddrwg, yn groes i lawer o ieuenctyd ei hoes.

Merch ydoedd hi i Griffith ac Elizabeth Roberts, o'r Ty Corniog, Llanfylldyrn, ger Pwllheli, Sir Gaernarfon, G. C., ac hefyd wyres i Griffith Thomas, Delhi, Omro, Wis. Ellen oedd yr ieuengaf o saith o blant, os da yr wyf yn cofio. Bu farw ei thad cyn ei geni hi, a daeth ei mam a'r plant (oddieithr un mab a arosodd ar ol) i America, ac ymsefydlasant ger Berlin, Wis. Ymunodd ei mam mewn priodas ag Evan Ellis, diacon eglwys y Bedyddwyr yn y lle hwn, sef ffarmwr wrth ei alwedigaeth. Glynodd Ellen wrth ei thad a'i mam hyd y diwedd, ac ymddengys iddi fod yn ufudd ac ewyllysgar iddynt, fel y mae galar dwys ar ei hol. Hefyd, y mae brawd a thair chwaer i alaru ar ei hol yn y wlad hon. Gwasanaethodd yr ysgrifenydd mewn pregeth angladdol, yn yr iaith Gymraeg, a'r brawd W. T. Williams yn Saesoneg. Heddwch i'w llwch.

ROBERT D. EVANS.

SARAH DIANA GRIFFITHS.

Bu farw yn ardal y Coed, ger Dodgeville, Wis., o'r *diptheria*, Awst 29ain, Sarah Diana Griffiths, yn ei 10fed flwydd o'i hoedran. Merch ydoedd i Samuel a Sarah Griffiths. Yr oedd yn ieuengaf o'r teulu, ac yn wrthddrych serch a hoffder neillduol y rhieni a'r plant. Yr oedd ynddi lawer o bethau naturiol i dynu hoffder pawb a'i hadwaenai—yr oedd yn fywiog ei symuiadau, yn brydferth ei golwg, craffus ei deall, ffraeth ei hatebion, ac yn gynes a charedig ei serchiadau; a chan ei bod yn wyres i'r hoff ymadawedig Trebor, yr oedd ganddi dalent neillduol at ganu. Mynych y clywais hi yn canu, er fy mawr hyfrydwch, a thrwm yw meddwl na chlywir ei llais gwanaidd, ond peraidd, mwy. Cafodd y fechan siriol gystudd trwm am tua deng niwrnod, yr hwn a ddyoddefodd yn hynod amyneddgar. Ni bu ei thaith ond ber twy y byd, eto, ni gredwn, diogel er hyny. Diamheu genym nad yw yn gofidio yn awr o herwydd iddi gael ei chymeryd ymaith mor foreu. Mor ddedwydd yw meddwl fod y plant bychain a fendithiodd y Gwaredwr bendigedig yn cynrychioli holl blant y byd trwy yr oesau, y rhai sydd yn fendigedig yn ei olwg ef. Boed i'r ystyriaeth o hyn gymodi meddyliau y rhiedi a'r plant sydd ar ol; a'r amgylchiad, er ei fod yn chwerw i'r teimlad, eto mae yn felus i'r meddwl. Hebryngwyd ei chorph bychan i'r gladdfa gan luaws o drigolion yr ardal. Gweinyddwyd ar y pryd gan Mri. S. Phillips, J. T. Jones ac M. Evans. Mor briodol yw geiriau y bardd—

Ein hyder ar ein hoes, na ro'wn yn hwy,
Ond ias y gelyn mawr, dysgwyliwn mwy;
Pob oed a gwymp i'r bedd, pob gwedd i gyd,
Ca'dd llawer maban, do, y gro yn gryd.

W. JONES.

MRS. MARY ANN PROBERT.

Awst 4, 1881, yn Church Hill, Ohio, bu farw Mrs Mary Ann Probert, anwyl briod Mr. Edward Probert, yr hwn sydd yn ddiacon ffyddlon yn eglwys Fedyddiedig Church Hill, ac wedi bod felly o'i sefydliad hyd yn bresen-

ol. "Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef." "Y cyfiawn a obeithia pan fyddo yn marw." Melus yw cofio am y ffyddloniaid; felly gellir dyweyd am y chwaer hon, yr oedd yn un o'r ffyddloniaid.

Ganwyd Mrs. Probert yn Pottsville, Pa. yn mis Ebrill, 1837. Merch ydoedd i Mr. David a Jane Griffiths, y rhai a unwyd wrth allor Hymen yn Pottsville. Bedyddiwyd Mrs. Jane Griffiths yn yr un lle, gan y diweddar Barch. Wm. Owens, Pittsburgh, a bu farw yn y fl. 1840. Yn yr adeg yma, gadawyd gwrthddrych y llinellau hyn, a brawd iddi, o'r enw John Griffiths, yn lled amddifaid, a hyny yn dra ieuainc. Ond diolch, gellir dyweyd, Tad yr amddifaid a ofalodd am danynt. Nid oedd Mrs. Probert ond tair blwydd oed pan symudwyd hi a'i brawd John gan berthynas iddynt i Parisville, Portage Co., Ohio, a buont yn aros am ychydig gyda eu taid a u nain. Cymerwyd hwy wedi hyn gan eu hewythr a'u modryb, sef William ac Ellenor Probert, gyda y rhai y buont nes dyfod i gyflawn faintioli, a gofalu am yr eiddynt.

Ymunodd ein chwaer â chrefydd Iesu Grist yn moreu ei dyddiau, a theimlodd, yn ddiamheuol, bwysigrwydd y geiriau hyny, "Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuenctyd," a daliodd yn wrol nes gorphen ei dyddiau. Pan y teimlodd ei dyledswydd tuag at Arglwydd Dduw Israel, ymwasgodd at y dysgyblion, a bedyddiwyd hi ar ei thystiolaeth o'i ffydd yn y Cyfryngwr gan y Parch. Shadrach James, yn Parisville, O., yn y flwyddyn 1857. Symudodd yn y fl. 1857 i Youngstown, O., ac yma y daeth i gysylltiad a'r brawd da a ffyddlon Mr. E. Probert, a phenderfynasant fyw yn nghyd, er gwell ac er gwaeth, drwy yr undeb priodasol, yr hwn a wnaed cyd-rhyngddynt Chwefror 10, 1858, yn Brier Hill, gerllaw Youngstown; ac yn wir, gellir dyweyd iddi barhau yn ffyddlon i'w hymrwymiad i gydmar ei bywyd hyd ei hawr ddiweddaf.

Buont yn byw ychydig amser yn Hubbard, Ohio, ac ar eu symudiad oddiyno fe deimlodd yr eglwys y golled, ond hyny a drodd yn elw i'r brodyr yn Church Hill; oblegid wedi eu dyfod yma, ni buont yn segur. Hoff waith ein hanwyl chwaer oedd gwneyd ewyllys y Gwr a ddywedodd, "O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion."

Yr oedd yr ymadawedig yn un a berchid yn fawr gan bawb; ond pa ryfedd? yr oedd yn un o'r ffyddloniaid! Yr hyn a allodd, hi a'i gwnaeth. Ei hymadawiad a deimlwyd gan yr eglwys ar y llawr, oblegid ei lle sydd yn wag; ond mae genym hyder cryf fod ei phresenoldeb i'w deimlo yn yr eglwys orfoleddus fry. Y peth olaf a wnaeth yma oedd glanhau y capel, yr hyn a ystyriai yn fraint ac yn ddyledswydd; a thra yn cyflawni ei gorchwyl diweddaf mewn cysylltiad â thy yr Arglwydd y cymerwyd hi yn glaf i beidio gwella mwy ar y llawr. Dyoddefodd gystudd maith a chaled am oddeutu deng mis. Gwnaed pob ymdrech gan ei hanwyl briod er ei hadferiad, ond yr oll yn ofer. Ymadawodd a'i daearol dy Medi 4ydd, yn 44 mlwydd oed. Ehedodd fry, er cael mwynhau y "ty nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd."

Dydd Sadwrn, Awst 7fed, daeth tyrfa fawr yn nghyd er gweini y gymwynas olaf i'w rhan farwol, yr hyn a brofodd ei bod wedi enill gair da, a serch ei chydnabod. Gan fod y capel mor agos, aed a'r corph yno, a chafwyd pregeth ardderchog (yn Saesoneg) gan y Parch. A. J. Morton, Parisville, O., oddiar y geiriau anwyl i bob Cristion, "Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw." Yna aed yn orymdaith drefnus tua chladdfa Youngstown, a dyma y fan y dodwyd, hyd foreu y codi, weddillion marwol Mrs. Probert. Gweinyddwyd ar lan y bedd gan y Parch. Mr. Morton. Heddwch i'w llwch hyd foreu y dydd y daw eilwaith o'i chell oer yn iach gyda'r llu, ar wedd lwys ei hanwyl Iesu. Nawdd y Nefoedd fyddo ar y teulu galarus. DAVID D. GRIFFITHS.

---

## GOFYNIAD.

*At y Parch. Ll. Rees:*

Carwn gael eich sylw yn y WAWR ar a ganlyn: "Gweddïo fel moddion cyhoeddus."

*Carbondale, Pa.* J. W. E.

---

## NODION CYFFREDINOL.

— Dengys Deiliadeb India boblogaeth o 252,000,000.

— Yn Camden, N. J., ymddangosodd y Parch. Jacob Mulford yn ei bwlpud yn feddw ychydig wythnosau yn ol, mewn canlyniad i'r hyn yr amddifadwyd ef o'i fugeiliaeth, yr hyn a effeithiodd gymaint arno fel y cyflawnodd hunan-laddiad.

—Ysgubodd tôn o dân dros y rhan fwyaf o amryw Siroedd yn Michigan y mis diweddaf, gan achosi colled fawr ar fywyd, a dinystrio llawer o eiddo. Yn Siroedd Huron, Tuscola, Sanilac, a St. Clair, ni bu gwlaw am wythnosau, ac yr oedd pobpeth mor sych a *tinder*, a llawer o'r bobl yn gorfod myned filldiroedd i gael dwfr. Pan yn y cyflwr hwn, cychwynodd ugeiniau o dânau yn y coedwigoedd, y rhai a ymledasant gyda chyflymdra mawr, gan ddifa pob peth o'u blaen—coed, ysguboriau, cnydau, anedd-dai, a bywydau anifeiliaid a dynion. Dinystriwyd amryw o bentrefydd bychain cyfain, heb adael yn sefyll gymaint a *fence-post*. Bernir ddarfod i dros 500 o bersonau golli eu bywydau, a bod cynifer a 10,000 yn ddigartref, ac mewn angen. Mae apeliad wedi ei wneyd at bobl y Talaethau Unedig am gynorthwy i'r trueiniaid anffodus.

# Y WAWR.

CYF. VI.] TACHWEDD, 1881. [RHIF. 8.

## Y PARCH. JOHN JONES, MERTHYR.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE, PA.

I. Ein golwg gyntaf arno. A bu yn y pedwerydd mis yn y flwyddyn 1841, ddydd agor addoldy Adulam, y Velinvoel, Llanelli, ac yno yn llencyn yr oeddwn yn adeg y cysegru, daeth mab yr ystorm, plentyn y ser, a brawd y seraph, yno i bregethu. Dyn tua deg-ar-hugain oed, o daldra cyffredin, y prydweddion yn heulio, y llygaid yn melltenu, y genau megys cwrel, a'i dafod yn ail i delyn Judah. Darllenodd yn destyn, "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybr." Ac wedi egwyl fer i flaen-ymadroddi, dyna y "llusern" yn fflamio, y "llewyrch" yn fwy na dolenau Sadwrn, a'r "llwybr" yn oleuach na siroedd Caergwdion. Erioed ni chlywais i y fath barablu pêr, brawddegu tlws, neu bentyru meddyliau byw ar ben tyrfa, a hono wedi ei syfrdanu, ei synu a'i swyno. Dyna John Jones, Seion, Merthyr, a mwy adnabyddus yr adeg hono fel "Jones, Blaenavon," a phobl y nentydd tryloewon, y dyffrynoedd têr, y bryniau banawg, a'r mynyddoedd engyrth, yn ei ddarfoli, megys udgorn Rama, i gario llais y Tragywyddol i alw tyrfa i godi a derbyn, i garu a dilyn, i ganu yn y dyffryn, a chydio yn y ddawnus delyn.

II. Ein ymwybodusrwydd am dano. Efe a aned rhwng Aberdyfi, Meirion, ac Aberystwyth, Ceredigion, yn y fl. 1807. Dyna Meirion fynyddog, Maldwyn fâd, ac Aberteifi glodus, yn eiddawg iddo ddydd ei eni. Bedyddiwyd ef yn ieuanc gan Mr. Simon James, Penrhiwgoch; derbyniwyd ef yn aelod i eglwys Talybont, ac anogwyd ef yn ddioedi i ddechreu efengylu. Anfonwyd ef yn genadwr i siroedd Gwynedd, a bu Cadair Idris iddo yn chwaer, y Wyddfa yn gares, ac Ynys Enlli yn deml "yn nghanol y môr." Derbyniwyd ef i Athrofa y Bedyddwyr yn Abergaveny; urddwyd ef yn Horeb, Blaenavon; a symudodd i gapel Seion, Merthyr, yn 1839, i olynu y gwr cynwythig hwnw, y Parch. David Saunders, yr hwn oedd yn dihoeni, ac a fu farw Ionawr, 1840, yn 72 ml. oed. Arabeddwr oedd Mr. Saunders, ond annarluniadwy oedd Mr. Jones. Bywiog a byr oedd Mr. Saunders, ond bwa Midian yn saethu mellt oedd Jones; a byddai Mr. Saunders yn cloddio y meini, a Mr. Jones yn caboli muriau y ty, yn lliwio y lleni, ac yn paentio pyrth y sancteiddiolaf, yn safle i Aaron, yn swyn i Solomon, ac yn ser i ddenu meibion Merari.

III. Ein galareb iddo. Tua'r fl. 1842, a Mr. Jones yn myned o Merthyr i ffynonau Llangamarch, gwylltiodd yr anifail oedd yn tynu y cerbyd, neidiodd Mr. Jones allan yn ei ddychryn, a thorodd ei ddwy goes; ac wrth ffyn baglau y bu mwyach yn rhodio; rhwystrwyd ef i allu bedyddio, ac anffodiog fu y tro. Tri o ddynion anafus yr enwad yn Morganwg oedd Dr. Davies, Abertawe, yn ddall; Roberts, y Tabernacl, yn gloff, a Jones o Seion

wrth ei ffyn yn llamu. Eto yr oedd y meddwl yn llawn asbri, bywiogrwydd, a grym, megys camel yr anialwch yn buanu, y lefiathan yn fflangellu y môr, ac eryr a'i gartref yn y cwmwl, ei adenydd yn y mellt, ei fro yn yr haul, a'i haddef yn y goleuni. Efe a wahoddwyd, Tachwedd, 1847, i agoriad Bethania, Aberteifi, a rhoddwyd ef a'r dawnus Iorwerth Glan Aled i gyd-bregethu.

Darluniai Iorwerth y *bardd* yn deall Duw yn y dderwen dewfrig, yn y blodeuyn lliwdeg, yn alaw yr afon, yn neuadd y ser, ac yn salm yr eos. Ac yr oedd awenyddwr Palestina wedi swyno y dyrfa drwyddi, megys y gwnaeth ein brawd H. C. Parry, yn mawredd ei ddarfelydd, godi pobl Swyddffynon i safle angelion i aneddu. Eithr ar ol i'r bardd dewi, dyna Barnabas yn codi ac yn darllen y daith trwy "Iconium, a Lystra, a Derbe, gan efengylu." Dywedai yno fel hyn:—"Barddoneg i awenyddwr; môr i nofiwr; craig i ddaearegwr, a phlaned i serydd wr; ond y *groes* i wella adyn drwg ei gyflwr, fy mrodyr i." Erbyn hyny yr oedd yr angel yn y llu, y cerub ar ei aden, ac un o deyrngenadon y drugareddfa yn darlunio cadwyni arfaeth, doleni y cyfamod, modrwy cariad, a sidrwyon y saint. Tri pheth ellir eu nodi am dano—taran o allu, *telegraph* yn buanu, a thrugarnaws yn ei holl ymadroddi.

IV. Ein gwyndawd o'i gofio. Er ei holl ddawn yr oedd Mr. Jones yn ddyn gwylaidd a gostyngedig, hynaws a hunan-ymwadol, ac yn hawdd ei hoffi. Erioed ni bu yn briod, a methodd cariadusrwydd morwynion ei ddenu, merched y broydd ei swyno, na llancesi llon enill ei galon. Ei chwaer ydoedd yn cadw ei dy; a gadawodd y byd heb adael ynddo deulu i gwyno a galaru am ei golli. Mynych y gwahoddid Mr. Jones o gartref "i ddinasoedd eraill," i draethu, ac at "bobl eraill" i gyhoeddi y deyrnas iddynt hwy. Am hyny byddai aml un yn anfoddloni; ond Rhys Jones, y diacon mwyaf ei ddylanwad o swyddwyr capel Seion, a ddadleuai dros y gweinidog, a mynegai fel yma: "Wel y mae yn hawdd i ni gael dyn na bydd *neb* yn ymofyn am dano, ond dyna Jones, a *phawb* yn awyddu am ei wrando." Dystawodd Rhys Jones yr achwynion; daeth y bobl yn fwy boddlon, a chafodd Jones ryddid helaethach i dramwy yn mhlith ei garedigion. Er yn ymyl y "dyfroedd mawrion," nid oedd arno nemawr arwydd meddiantwch, ond yr hyawdledd mor hwyliog, y parabl mor ddengar, a'i ddawn yn effeithiol, megys yn mlynyddoedd canolfan ei rym. Pregethodd dair gwaith y Sabboth diweddaf ond un y bu ar y ddaear—dwy waith i gynulleidfa capel Seion, ac un waith i'r gynulleidfa Annibynol yn Soar; ac un Sabboth mwy oedd ganddo cyn diweddu ei ddarchwyl yn y farwol fro.

V. Ein gogwydd at ei adeg i noswylio. Am un wythnos y bu yn gwaelu, a marw fu y Parch. John Jones, Capel Seion, Merthyr, yn mis Mai y flwyddyn 1859, yn 52 mlwydd oed. Dyna yr oed a ddarllenir heddyw ar gofeb Matthew Henry, yn eglwys Caerlleon, ar faen Joseph Harris, yn mynwent Esgobyddol Abertawe, ac ar fedd y Parch. John Jones, yn ymyl addolfa Seion, Merthyr. Mi a glywais rai yn dyweyd, "Yr hen Jones, o Seion," arno; ond os felly, pa gyfarchwel a roddir i'w dad, yr hwn a ddaeth o Sir Aberteifi i'w angladd, a byw blynyddoedd wedi i John y mab gael ei gladdu. Derbyniais garden ddu yn gwahodd i arwyl un oeddwn yn edmygu; daeth ugeiniau o bell i'w barchu, ac yn eu plith yr oedd *tad* Mr. Jones, ac eraill o'r teulu. Efe a gladdwyd yn mynwent yr addoldy, yn ymyl beddau y Parch. Rees Jones, a fu farw Ebrill, 1815, yn 35 oed; David Saunders fu farw Ionawr, 1840, yn 72 oed; Enoch Williams, yn ddiweddarach, yn 43 oed, a John Jones wedi ei gladdu cyn iddo weled mwy na 52 o flwyddi. Traddododd bregeth mewn capel yn Morganwg, ar y "myned trwy y pyrth i'r ddinas," a daliodd yr oedfa am dair awr yn ei blas. Tybiai y bobl y gwelent y pyrth yn ymledu, paradwys yn ymylu, y pren byw yn y lle, a

Phryniawdwr y pererinion wedi dyfod i aros gyda ei deulu.

"Er gwyro i âr gweryd—ein dwyfdda
Ddyn difalch a gyfyd,
Mewn eonfawr mwyn wynfyd,
O orwael fedd i'r ail fyd."

## R. H. EVANS A CHAETH-GYMUNDEB.

GAN Y PARCH. W. JONES, WISCONSIN.

### *Erthygl V.*

Dywed Mr. Evans, "fy mod wedi ei demtio i ddadleu ar fedydd." Nis gwn pa sail a gafodd i ddyweyd hyn, os nad fy ngwaith yn dyweyd, mai yn y bedydd, ac nid yn y cymundeb, yr oedd yr holl wahaniaeth rhwng y Bedyddwyr a'r taenellwyr. Credwn ni a hwythau, fod bedydd i flaenori cymundeb. Derbynir Cristion bedyddiedig i gymundeb genym ni, felly y gwnant hwythau; gwrthodir hyd yn nod Gristion anfedyddiedig genym ni; felly yn gymwys y gwneir ganddynt hwythau. Nid cymeriad Cristionogol yn unig, ar wahan oddiwrth fedydd, ydyw amodau cymundeb gan y Bedyddwyr na'r taenellwyr. O herwydd hyny gofynais, Paham na ymosodid arnom yn yr hyn yr oeddym yn gwahaniaethu, sef y bedydd, ac nid yn y cymundeb? Dichon mai y sylwadau uchod a barodd i Mr. E. ddyweyd, fy mod yn ei demtio i ddadleu ar fedydd. Dywed ei fod am adael y pwnc hwnw i Dr. R. a Dr. R. G. J.; ar yr un pryd mae yn myned i amddiffyn y pwnc o daenellu babanod ei hunan, fel pe na fuasai yn ystyried fod y Doctoriaid uchod yn ddigon o ddynion, heb ei help ef i drin y pwnc. Pe buasai y pwnc mor gryfed a'r D. D.'s sydd wedi bod yn ceisio ei amddiffyn, buasai wedi ei brofi er's llawer dydd. Wrth geisio amddiffyn bedydd babanod, dywed, "Fod plant yn cael eu bedyddio er yr oes apostolaidd; fod Justin Ferthyr ac Irenæas yn cadarnhau hyny; ac Origen, meddai, yn cadarnhau yr un peth goruwch pob dadl." Tystia Mr. E. fod Origen yn dyweyd, "Fod yr eglwys wedi derbyn gorchymyn oddiwrth yr Apostolion i weinyddu bedydd ar fabanod." Mae son fod yr eglwys wedi derbyn gorchymyn oddiwrth yr Apostolion i fedyddio babanod, yn swnio yn Babyddol iawn; oblegid dyna fel y maent hwy yn amddiffyn eu holl draddodiadau. Profer fod yr Apostolion yn gwneyd hyny eu hunain, dyna yr oll sydd eisiau ei brofi. Os nad oeddynt hwy yn gwneyd hyny eu hunain, pa hawl oedd ganddynt i roddi gorchymyn i neb arall wneyd? Os cyn marwolaeth yr Apostolion y rhoddwyd y gorchymyn, mae i'w gael yn y Testament Newydd. Os ar ol eu marwolaeth y cafodd yr eglwys orchymyn, yna mae yn rhy ddiweddar, oblegid fe gauwyd y llyfrau cyn marwolaeth Ioan, a chyhoeddwyd gwae ar y sawl a dynai oddiwrth, neu a ychwanegai at, y pethau oedd wedi eu hysgrifenu yn "Llyfr y Brophwydoliaeth hon." Atolwg, oddiwrth ba rai o'r Apostolion y daeth y gorchymyn?—oddiwrth rai, neu yr oll o honynt yn nghyd? At ba eglwys y daeth y gorchymyn?—ai eglwys Jerusalem, neu Rufain, Ephesus, neu ryw eglwys arall, gafodd y gorchymyn? Os dywedodd Origen hyn, mae yn dangos nad oedd ganddo well sail dros fedydd babanod; o ganlyniad mae ei sail oreu yn annhraethol rhy sigledig i adeiladu arni. Os yw bedydd babanod er yr oes apostolaidd, fel y dywed R. H. E., pa fodd mae genym hanes am blant rhieni Cristionogol heb eu bedyddio hyd nes cyrhaeddasant gyflawn oedran, fel y tystia Esgob Taylor, a'r ymadawedig Deon Stanley ac eraill, am Jerome, Austin, Ambrose, Chrysostom, Gregory, Nariansen, Basil, Ephrem o Edessa, &c., y rhai oeddynt wedi eu geni o rieni Cristionogol, eto wedi eu gadael yn ddifedydd nes tyfu i fyny yn ddynion. Gwel waith Taylor, *Dissuasive from Popery, Pt.* ii. *p.* 117, a *Stanley on Baptism, complete ed., p.* 24. Dywed Prof. Heman Lincoln am Nanna, Anthusa, a Monica, mamau Gregory, Chrysostom ac Austin, eu bod yn wragedd rhagoraf yr oes, ac yn batrwm i wragedd Cristionogol yr holl oesau; fod Nanna yn wraig i Esgob, ac iddi ddod a'i phlentyn yn ei fabandod, a'i

gyflwyno i Dduw drwy wasanaeth ffurfiol yn yr eglwys ar amser gwasanaeth cyhoeddus, ond ni weinyddwyd un bedydd iddo. Yr un modd, meddai cyflwynwyd Chrysostom ac Awstin, er nad mor gyhoeddus, eto yr un mor wirioneddol, a gwnawd cyflwyniad yr oll o honynt yn drwyadl yn eu bedydd ar ol eu hargyhoeddiad." Gwel *Baptist Weekly*, Mehefin 22, 1880.

"Mae yn amlwg," meddai A. Penrhyn Stanley, "nad oedd neb yn yr oes apostolaidd, nac am y tair canrif cyntaf ar ol hyny, yn derbyn bedydd, ond dynion mewn oed, yn dyfod yn wirfoddol. Yr ydym yn cael ychydig o engreifftiau o fedydd plant. Yn y drydedd ganrif cawn un hanes am fedydd babanod." "Bedydd drwy daenelliad a wrthodid gan yr holl eglwys gyntefig (oddieithr pan y gweinyddid ef ar wely angau, neu ynte mewn achosion eithafol angenrheidiol), fel pe na fuasai yn fedydd o gwbl. Yr engraifft gyntaf, braidd, oedd yr heretic Novatian." *Complete Ed.*, 23 a 24.

Dywed Bunsen, fod bedydd babanod yn hollol anadnabyddus i'r eglwys gyntefig, "y cymerid tair blynedd, fel rheol gyffredin, i ddysgu cyn bedyddio, a golygu eu bod yn alluog i dderbyn dysg; fod y rheol yr un fath gyda phlant Cristionogion, oddieithr fod yr amser yn cael ei fyrhau, fel y byddai yr amgylchiadau." *Bunsen's View of Baptism, pp.* 10, 11. Pa beth, atolwg, ydyw haeriadau dibrawf R. H. Evans, yn ngwyneb tystiolaethau penderfynol dynion mor alluog a'r rhai uchod, a'r oll, fel Mr. E., yn daenellwyr?

Mae peth arall yn deilwng o sylw mewn perthynas i fedydd babanod, ar ol iddo ddechreu rai canoedd o flynyddoedd ar ol yr oes apostolaidd, Mai y rhai claf, mewn perygl o farw, oeddynt yn eu bedyddio; a rhag iddo amheu nad yw hyn yn wir, edryched i Hanes yr Eglwys, gan Neander, Cyf. 1, tu dal. 310; Cornelius, Esgob Rhufain, Judson, tu dal. 28; Dr. Knapp's Theology, Cyf. ii., tu dal. 510; Salmasius, Proff. yn University Leyden, Judson, tu dal. 27, a Deon Stanley yn ei waith ar Fedydd, yn y *Nineteenth Century*. Rheol *Common Prayer* Eglwys Loegr ydyw trochi y cryf a'r iach, a thywallt ar y gwan a'r afiach. Yn raddol y daeth y cyfnewidiad yn y dull a'r deiliad—ambell i blentyn yn awr ac eilwaith, oedd mewn perygl o farw, a fedyddid; ac fel yr oedd bedydd plant yn dyfod yn fwy *fashionable*, awd i fedyddio mwy, a mwy, a mwy yn barhaus, nes o'r diwedd yr awd i fedyddio yr oll o'r braidd; a chosbid y rhieni am beidio dyfod a'u plant i gael bedydd, a gwrthodid claddedigaeth Cristionogol yn y mynwentydd, &c., iddynt ar ol marw, os yn ddifedydd.

Yn raddol y cyfnewidiwyd y dull o drochiad i dywalltiad; megys y cafodd Novatian ei fedyddio yn ei wely; aeth y tywalltiad yn ysgafnach yn barhaus, fel o'r diwedd y daeth yn daenelliad trwm; ysgafnhaodd hwnw fel y mae yn awr, fel yr achwyna un offeiriad, yn ddim ond tynu bys a bawd llaith dros y talcen. Ond mae y dull a'r deiliad newydd wedi pasio ei *golden age* er's llawer dydd, ac yn diflanu yn raddol ac yn gyson. Gwelais yn ddiweddar hanes Esgob Tuttle, Montana, yn ei anerchiad blynyddol i'r gweinidogion, yn gwahardd iddynt yn bendant beidio taenellu—dim ond trochi a thywallt. Dyma arwydd da fod y byd yn dyfod yn ol i'r hen drefn. "Glew yw y gwir am y goleu; dyna y taenelliad wedi ei daflu *over board;* aiff y tywalltiad ar ei ol, er holl ymdrech Mr. E. i'w gadw i mewn.

Dywed Mr. Evans y gofynwyd i Cyprian, tua chanol y drydedd ganrif, "A oedd bedyddio drwy daenelliad yn safadwy? Atebodd, nad oedd gwahaniaeth rhyngddynt." Gan fod Mr. Evans wedi enwi Cyprian, mi roddaf ei dystiolaeth ef yn fwy llawn, fel y gallo y darllenydd farnu drosto ei hun: "Gofynwch i mi, anwyl fab, pa beth yw fy meddwl am y rhai a fedyddir pan yn afiach, y rhai gan nas golchwyd hwynt yn y dwfr achubawl, eithr cael tywallt y dwfr arnynt, a ellir eu hystyried yn Gristionogion iawn? Yn yr ordinhadau pan mae angenrheidrwydd yn galw, a Duw yn caniatau ei dynerwch (*indulgence*, gwna talfyriad

(*abridgment*) o bethau dwyfol roddi y cwbl i gredinwyr." *Jud. on Bap.*, *p.* 27. Gwelwn yr olwg oedd gan Cyprian ar dywalltiad yn lle trochiad; geilw ef yn dalfyriad ar bethau dwyfol; ei fod yn dysgwyl am gydoddefiad Duw yn y gweinyddiad o hono, a bod y tywalltiad yn cael ei gyflawni mewn achosion o angenrhdidrwydd, ar glaf mewn perygl o farw. Os oedd Cyprian yn edrych ar dywalltiad yn dalfyriad o bethau dwyfol, rhaid fod taenelliad R. H. E. yn dalfyriad o dalfyriad; a pha le mae'r prawf fod Duw yn caniatau i'w bethau gael eu talfyru gan ddynion? a'i fod yn caniatau ei gydoddefiad pan mae dynion yn gwneyd hyny? A chan fod Mr. E. yn dyweyd "fod Justin Ferthyr yn cadarnhau fod yr arferiad o fedyddio babanod yn yr oes apostolaidd," rhoddaf i'r darllenydd iaith Justin ei hun: "Arweinid hwy (sef yr ymofynwyr am fedydd) genym i le yr oedd dwfr, a genid hwy drachefn yn yr un fath enedigaeth newydd ag y ganwyd ni ein hunain; oblegid yn enw Duw Dad, ac Arglwydd pawb oll, a Christ Iesu ein Iachawdwra'r Ysbryd Glan, y cyflawnir y trochiad yn y dwfr." *Stovel on Dis.*, *p.* 360, Mae Dr. Wall yn dyweyd, "mai hwn yw yr hanes henaf, ac agosaf at yr apostolion sydd genym am weinyddiad bedydd, a'i fod yn ein dysgu am y modd syml y cyflawnid ef."

Jerome a ddywed, "Yn gyntaf hwy a'u dysgent, ac wedi eu dysgu hwy a'u trochent mewn dwfr." Wistake, ch. 8. Ambrose, eto. "Gofynwyd i ti, A wyt ti yn credu yn Nuw Dad, Hollalluog; dywedaist, Ydwyf; yna ti a drochwyd, hyny yw, a gladdwyd." Orchard Hist. p. 44. Chrysostom, "Bod yn fedyddiedig, yn soddedig, ac yna yn ddadsoddedig, sydd yn ddarluniad o'r disgyniad i'r bedd, ac o'r cyfodiad o hono." Dyma dystion R. H. E. dros daenellu babanod; mae yn well iddo beidio eu dwyn yn mlaen.

---

Llefara gyda phwyll ac arafwch, yn enwedig mewn achlysuron a fo yn tueddu i fod yn gynhyrfus.

## BEDYDDWYR BOREUOL PENNSYLVANIA.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, COATSVILLE, PA.

### RHAN V.

Addawsom, yn ein hysgrif olaf, roddi rhyw gymaint o hanes

#### HEPHZIBAH,

lle mae y Powelliaid yn flaenoriaid, a'r hanes boreuol yn lled Gymroaidd a dyddorol i fy nghenedl.

Yn ymyl yr hen eglwys uchod y mae claddfa eang a hardd. Y mae hon yn helaethach o lawer yn bresenol nag yr ydoedd yn yr hen amser, pan osodwyd cynifer o hil Gomer i orwedd yno. Synais at nifer yr enwau Cymreig a welir ar y bedd-lechau, yn y rhan hyny o'r gladdfa sydd gyfagos i'r hen gapel. Nid oes yno ond ychydig iawn o'r enwau dyeithr sydd yn hynodi y rhanau diweddaraf o'r fonwent. Yno gallaswn feddwl fy mod yn rhodio yn mysg beddau rhyw gladdfa yn ngwlad fy nhadau.

Yn y fl. 1720 y sefydlwyd achos yn Newlin, ac oddiyma y daeth dechreuad eglwys Hephzibah. Fel y gladdfa, felly mae y capel, wedi ei helaethu droion. Maintioli yr adeilad cyntaf oedd 43 x 33 o droedfeddi oddi mewn. Codwyd hwn yn amser, ac o dan arweiniaeth, y Parch. Joshua Vaughan. Capel ceryg ydoedd, a Jacob Thomas, perthynas agos i'r Powelliaid, oedd enw y saer meini a'i hadeiladodd. Yr ydoedd amryw o'r ymddiriedolwyr gwreiddiol yn ddynion o waedoliaeth Cymreig—Jacob Humphrey oedd un; Thomas Davies, taid Frank Davies, sydd a gofal ariandy (*bank*) Coatesville, ac yn aelod o'r eglwys sydd o dan fy ngofal, oedd un arall; ac arall ydoedd John Powell, yr hwn oedd hefyd yn Drysorydd. Yn yr agoriad, yn 1793, pregethodd y Cymro enwog a dysgedig, y Parch. Dafydd Jones, o Philadelphia; a hyd heddyw y mae yr eglwys yn dal cysylltiad cymanfaol â hen Gymanfa Philadelphia. Wele yma benill o'r emyn a gyfansoddwyd i'w ganu yn yr agoriad; gwaith y bardd

Powell ydyw, ac y mae yn nodweddiadol neillduol o'r Cristion uniongred hwn:

> "Now in thy presence, Lord, we stand,
> Here in thy house that's new;
> Prepare our heads, our hearts, our hand,
> To *do* and *speak what's true.*"

Yn ngogoniant prydferthwch mis Mai y bu hyn, ac hyd heddyw hynodir y trydydd Sul yn Mai fel yn "*Hephzibah May Meeting*," i'r hwn y cyrcha canoedd o bob cwr o'r wlad.

Yn 1804 torodd allan ddiwygiad grymus a gogoneddus iawn, a pharhaodd y "cawodydd bendith" i ddisgyn yma, o'r braidd yn ddieithriad, dros yspaid pedair blynedd. Ychwanegwyd llaweroedd at yr eglwys yn y blynyddoedd hyn. Y mae amryw gangenau ffrwythlawn wedi myned allan o'r eglwys hon, megys Beulah, Pequea, Green Valley, a West-coln. Rhif presenol y fam eglwys yw 179. Dywedai yr hen frawd John G. Powell wrthym fod tua naw o bregethwyr wedi eu codi yn yr eglwys enwog hon. Y mae tir, 26 erw, yn perthyn i'r eglwys, ac yn dwyn iddi elw sydd yn gynorthwyol er cynal yr achos. Ar y pryd hwn mae y capel yn myned o dan adgyweiriadau.

--

Wele ni wedi brasgamu dros hanes Bedyddwyr Boreuol y rhan yma o'r wlad, yn eu cysylltiad â, a'u dyled i, ein cenedl. Fel Cymro ac fel Bedyddiwr, tybiais y dylaswn ufuddhau i'r cymhelliad a deimlais *ynof* i osod y ffeithiau a loffais ar gael a chadw; ac am hyny trosglwyddais hwynt i du dalenau ein misolyn teilwng a dyddorol, y WAWR. Maddeued y darllenydd i mi na wnaethum gyfiawnder â'r testyn. Yr wyf yn wybodus na fynegwyd "yr haner" ac na wisgwyd yr hyn a ysgrifenwyd, mewn arddull teilwng o bwnc mor gyffrous a phwysig.

Awgrymais, yn Rhan IV., y gwnawn sylw o "enwau Cymreigaidd y cylchoedd hyn." Y mae y rhai hyny yn lluosog ac addysgiadol. O fewn saith milldir neu lai i Coatesville ceir godrau y Welsh Mountains. Wrth fyned oddi yma i Philadelphia, trwy y "Dyffryn Mawr," yr wyf yn cael y Berwyn a'r Bryn Mawr. Rhwng Philadelphia a Bethlehem y mae y gledrffordd yn myned trwy "Pen-y-llyn," "Gwynedd," a "North Wales," Caer (Chester), yn y *County* yr wyf yn byw ynddo; ac yn hwn y ceir *Townships* fel hyn: Tredyffryn, ac Uwchlan, a Nantmel, tiroedd yn rhan o'r *Welsh Tract* gwreiddiol. Yn ymylu ar y *County* yma y mae Trefaldwyn (Montgomery), tua'r dwyrain gogleddol; a *Delaware* ar y ffin deheu-ddwyreiniol. Yn y *County* olaf hwn y mae *townships* Radnor, yn gyfagos i Tredyffryn, *Chester County*, ac yna Newtown ar y gorllewin, a Haverford ar y deheu. Fel engraifft o'r cysylltiad sydd rhwng yr enwau hyn a Chymru hoff, nodaf mai ymfudwyr o Hwlffordd, Sir Benfro, D. C., a sefydlasant yn Haverford er yn foreu. Gwelais gyfres o drethdalwyr yn y *township* hwnw, yn cynwys tua dau ddwsin o enwau Cymreig, ac mor foreu a 1693. I'r gorllewin o Chester Co., ac heb fod yn mhell o Coatesville, cawn Lancaster Co., ac yn hwn y *townships* canlynol: Brecknock, Lampeter, Caernarvon. Digon Cymreigaidd. Hyd yn nod lle na cheir enw Cymreigaidd ar y *township*, canfyddir yr *elfen* yn amlwg iawn yn yr hanes foreuol. Er engraifft, y mae yn gorwedd rhwng Coatesville a Philadelphia, ar y Pennsylvania R. R., ddau, *West Whiteland Township* ac *East Whiteland Township*, sydd yn llawn o olion sefydliad Cymreig ynddynt ar y cyntaf. Enw yr heddgeidwad cyntaf yn hanes y *townships* hyn oedd Dafydd Jones, 1704–5, Dysgir ni yn nghyfres y *Whiteland rate*, 1715, fod llawer o blant Gwalia yn dir-feddianwyr yno, megys James Thomas, Richard Thomas, Thomas James, Owen Thomas, Lewis Williams, Evan Bowen, Thomas Owen, Llewelyn Parry, Dafydd Howell, Rees Hughes, Rees Prichard, Jas. Rowlands, Griffith Phillips, Evan Lewis. Cymro oedd y *Supervisor* cyntaf yma, sef James Thomas, 1714, a deng mlynedd yn ddiweddarach yr ydoedd Griffith Howell yn y swydd. Yn 1711 sefydlodd Richard Thomas ar ddarn

mawr o dir a brynodd gan William Penn, a dechreuodd werthu allan ddarnau i'w gydgenedl, gan eu cefnogi hwy i wneyd iddynt gartref yn ei ymyl. Mab ydoedd y Richard hwn i Richard ap Thomas a brynodd *bum' mil o erwau* oddiar yr enwog Penn.

Rhaid peidio ychwanegu at hyn; agorir i faes rhy eang. Heblaw hyny, mater *cenedlaethol*, ac nid *enwadol*, yw peth fel hyn. Bwriadwn anfon ysgrif i'r *Wasg* ar hyny yn fuan, a thybiwn y bydd yn gweddu yn well i bapyr wythnosol Cymreig, nag i gyhoeddiad misol yn perthyn i enwad neillduol.

---

## PAUL YN ATHEN.

GAN Y GOLYGYDD.

### RHIF IV.

*Cymwysderau Paul fel pregethwr i'r Atheniaid.*

Yn awr, ynte, mae Paul, prif arwr y diwygiad mawr efengylaidd, wedi cyrhaedd Athen; ac y mae efe yno ei hunan, heb gwmpeini cysurol a chynorthwyol un o'i frodyr. Mae y cyfarwyddwyr wedi canu yn iach iddo, a dychwelyd—Silas a Timotheus yn cysuro y praidd trallodus yn Macedonia. Ebai Paul, "Ni a welsom yn dda ein gadael ni ein hunain yn Athen." Oedd hyn "yn dda," nid yn unig i'r eglwysi draw, er cael gwasanaeth y brodyr Silas a Timotheus, ond hefyd am nad oedd neb ond ei hunan yn meddu ar y cymwysderau angenrheidiol i bregethu yr efengyl yn y fath le hynodol. Yr oedd efe yn Apostol y Cenedloedd, ac yn benodol yr Atheniaid. Maent yn bobl neillduol, ac y mae eisiau pregethwr neillduol iddynt. Y mae hwn wedi ei gael yn Paul. Os oedd Athen yn rhagori mewn dysgeidiaeth, yr oedd y pregethwr hwn yn rhagori yn gyferbyniol, er yn ei olwg ei hun yn llai na'r lleiaf o'r holl saint. Mae dyben i'r pethau am dano yn Athen ei hunan. Rhyfedd ddarfod i'r trefniant hwn iddo fod ei hunan yno ganlyn heb ddyrysu, ystormydd mor gyffrous o erledigaeth. Gallesid tybied yn flaenorol y buasai y fath erledigaeth greulawn yn taflu pob cynllun i annhrefn, gan fod yr ymosodiadau gwrthwynebol yn dod mor sydyn a nerthol. Modd bynag, ni allasai unrhyw gynllun gwreiddiol fod yn gyfanach ac yn berffeithiach. Canys nid oedd neb arall o'r Apostolion yn meddu y cymwysderau pregethwrol gofynol i gyfarch yr Atheniaid yn y ddysg nefol. Rhaid oedd fod rhyw allu anweledig yn cyfarwyddo symudiad doeth fel hwn, neu ynte rhaid ei benodi i gydymffurfiad greddfol â deddfau y byd ysbrydol, yn debyg fel a welir mewn gweithrediad yn symudiadau creaduriaid asgellog ymfudol, ar wahanol dymorau y flwyddyn, pan y gwnant symudiad o'r naill hinsawdd i'r llall. Beth gan hyny oeddynt y cymwysderau ynddo ef, Paul, i anerch yr Atheniaid byd-enwog?

*Yn mlaenaf, nodwn argraffiadau boreu oes.* Ganwyd a dygwyd ef i fyny yn Tarsus, yn Cilicia. Yr oedd yn lle manteisiol i dderbyn argraffiadau natur, ac i dderbyn ei haddysg. Yr oedd yr amgylchiadau yn cynwys amrywiaethau golygfeydd ysblenydd—yr oedd rhuad y môr a sisial y ffrydiau yn y clyw—yr oedd arucheledd y creigfynyddau, a hyfwynder gostyngedig y bryniau yn y golwg. Yn y parth hwnw yr oedd yr hinsawdd yn dymherus, a'r tymorau yn dilyn eu gilydd gyda rheoleidd-dra a graddoldeb a berai i gynyrch y ddaear darddu a thyfu yn y modd tlysaf. Ymlonai yr adar, chwifiai yr awelon yn y modd dymunolaf; yr oedd ceinder y bychan ac aruthredd y mawr yn bresenol. Yr oedd hoewder y buan a syrthni yr araf yno—mewn gair, yr oedd amgylchedd Tarsus megys amgueddfa fawr yn cynwys pob rhyw geinion a phrydferthion a fedd natur, bron yn ddihafal. Yn nghanol y golygfeydd a'r swynion hyn agorodd y bachgen Saul ei lygaid am y tro cyntaf. Nid oedd y llygaid a edrychai yn graff ar y cyngor wedi hyny yn gallu bod yn ddisylw iddynt, ac nid oedd y glust y disgynodd arni y llef megys o'r nef yn medru bod yn gaued-

ig i'r lleisiau amrywiol a pherorol; ac nid oedd y galon ag a brofodd ei hunan mor dyner ac mor barod i gydymdeimlo, yn gallu bod yn ddideimlad i'r dylanwadau amgylchynol. Eto, fel prawfion na threuliodd natur ei haddysgiaeth yn ofer ar y bachgen hwn, nodwn y cyfeiriadau mynych at natur, ei gwrthddrychau a'i deddfau, a geir yn ysgrifeniadau Paul, yr Apostol. Y fath ddefnydd a wneir ganddo o'r gronyn gwenith!—yn marwolaeth y cyfryw yn rhoddi bywyd i'r eginyn newydd, y gwel bosiblrwydd yr adgyfodiad o'r bedd. Yn y gwahaniaeth a welir rhwng seren a seren mewn gogoniant, y darllena urddas cymharol y cadwedigion. Yn yr olewydden yr hon oedd wyllt wrth naturiaeth, y gwel alwad y Cenedloedd; ac yn nhywod y môr gwel rif y rhai cadwedig. Pwy ond dyn o'i brofiad ef allasai bregethu dysgeidiaeth natur mor ardderchog ag y gwnaeth ef i bobl Lystra? Daliodd wersi y greadigaeth ger eu bron wrth ddweyd am Dduw yn yr oesoedd gynt yn goddef i'r holl genedloedd fyned yn eu ffyrdd eu hunain. Pwysleisiodd yn dda yr adnod hon: "Er hyny ni adawodd efe mo hono ei hun yn ddidyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymorau ffrwythlawn, a llenwi eich calonau â lluniaeth ac a llawenydd." Mae ei ysgrifeniadau yn dryfrith o gyfeiriadau at ddysgeidiaeth natur.

Yma rhaid i ni droi dalen. Beth oedd cymeriad trigolion Tarsus? Beth oedd eu moesau? Beth oedd y drych a welai Saul ieuanc yn y cyfeiriad hwn? Ow, ar wahan i'r Iuddewon, paganiaeth a ffynai! Nid yn ddi-len, mae yn wir, fel yn y dwyrain, ond yn gwisgo am dano fantell deg. Cymeriadau y bobl oeddynt fel beddau wedi eu gwyn-galchu. Ceid Tarsus yn ddiarebol am ei drygioni. Yr oedd y Dalaeth yn un o driawd adnabyddus y cyn-oesau, fel lleoedd anfoesol. Lleoedd a fantellant ddrwg gyda ffugfoesgarwch a dysgeidiaeth ydynt bob amser y lleoedd gwaethaf. Yr oedd Tarsus yn ddau for gyfarfod—moroedd llygredigaeth y Dwyrain a'r Gorllewin. Yno y gwelid gwynebau dyeithr eilunddwiau Persia, yr Aipht a Groeg. O dan yr un gronglwyd yr oedd Duw a Mammon. Gerllaw yr oedd llechi cyfraith natur; yn nes adref yr oedd llechi traddodiadau, philosophi a gwag dwyll. Oddi draw yr oedd y llef ddystaw fain; yn nes i'r glust yr oedd dadwrdd gwag bleserau. Onid oedd yno ysgol athronol? Oedd—un enwog, fawr; ond mynegfys oedd ei dysg yn cyfeirio i'r ffordd lydan. Llydan oedd ei phorth, ond yn arwain llawer i ddistryw. Ei dysgyblion oeddynt flaenoriaid gwag-chwareuon y ddinas. Pwy welaf yn mhlith y boneddigion draw yn y chwareudai? Onid athrawon y coleg athronyddol? Pwy a grea asbri yr uchel-wyliau? — onid gwyr gwyn-wisgoedd yr allorau? Trown tua chymydogaeth y porthladd; yma y dadlwythir nwyddau heblaw cynyrch y tir a rhoddion anian deg. Os y llongau a hwylient yno trwy gymorth awelon Duw, hwyliai llawer o'r mordeithwyr yno trwy rym "pob awel dysgeidiaeth." Rhyfedd y ffaith, yn y lle hwn y dygwyd i fyny Paul, Apostol mawr y Cenedloedd. Golygfeydd o'r natur a nodwyd gyfarchent ei lygaid yn moreu ei oes. Glenydd o'r fath a gyfyngai led afon ei grefydd a'i fywyd boreuol! Megys gerddi bychain yn nghanol anialwch garw, oedd yr aelwydydd Iuddewig a'r synagog, yn Tarsus. Nid y mwyaf di-nod oedd yr ardd-aelwyd ar ba un y magwyd y gwr ifanc yr oedd y nefoedd a'i llygaid arno. Hardd a theg yr olwg oedd y planhigyn hwn, er mewn tir estronol, ac yn mhell o'i hinsawdd naturiol. Siriol yr ymddadblygai o dan gysgod cedrwydd ei rieni crefyddol. Aml y gwelid ei ddwylaw tyner yn troi dalenau cysegredig yr Ysgrythyr Lân. Ai tybed na ddisgynodd ei lygaid ar y geiriau yn yr ail Salm, "Cusenwch y Mab rhag iddo ddigio," a'r geiriau hyny yn Esaiah, "Yna y daw allan wialen o gyff Jesse, a blaguryn a dyr o'i wraidd ef." Ai tybed na thynwyd ei sylw gan y brophwydoliaeth hono, "Cenedloedd hefyd a rodiant at dy oleuni, a breninoedd at ddysgleirdeb dy ddyfodiad?"

Eithaf posibl; ond bachgen ydoedd efe eto, ac fel bachgen y llefarai, ac fel bachgen y deallai. Derbyn argraffiadau yn y tymor hwn yr ydoedd o wrthddrychau, dygwyddiadau a ffeithiau i'w cofio, a myfyrio arnynt ganddo ar ol hyn. Gosodid i lawr yn awr sylfeini ei gymeriad—ei haenau dyfnaf a ymffurfient. Ac yr ydym bron yn sicr y gwelwn argraffiadau boreuol yn tori allan yn y darlun cyffrous o'r byd cenedlig a geir yn yr Epistol at y Rhufeiniaid. Credwn nad allasai efe ddeall cyflwr yr Atheniaid mor drwyadl, teimlo mor ddwys drostynt, ac ymawyddu mor angerddol am eu goleuo, oni buasai ei wybodaeth gynt o'r byd cenedlig. Fel mae pob gwlad yn cario ei hinsawdd ei hun, er chwyrndroi o'r ddaear drwy y gwagle, felly cariai Paul hinsawdd foesol Tarsus yn awyrgylch ei feddwl trwy ei holl symudiadau fel Pharisead a Christion.

Y mae wedi cael sylwi arno, fod diwygwyr yn fynych yn cael eu codi yn mynwes y cyfundraethau neu y credoau y byddont wed'yn yn eu dinystrio. Luther a ddygwyd i fyny yn Babydd; Jesuitiad ydoedd Paschal; parsoniaid yn Eglwys Loegr ydoedd Wesley a Whitefield. Yn gyffelyb y bu gyda Paul. Efe yr hwn a ddaeth yn brif elyn athroniaeth ac eilun-addoliaeth y Cenedloedd, a dreuliodd ddyddiau ei ieuenctyd yn cael ei amgylchu gan arferion a seremoniau paganaidd.

*Sylwer ar gymwysderau Paul yn ei addysg.*

Dacw y gwr ieuanc a elwir "Saul," yn Jerusalem, wrth draed Gamaliel, doctor dysgedig o'r gyfraith, ac athraw parchedig yn ysgol Hillel. Nodweddid Gamaliel gan ryddfrydigrwydd barn. Fel Pharisead yr oedd yn selog dros draddodiadau y tadau, eto ni feddai ddim o gulni rhagfarnllyd Shammai, sylfeinydd ysgol enwog arall. Tystir ei fod hyd yn nod yn caniatau i'w ddysgyblion fyfyrio llenyddiaeth baganaidd. Y mae rhyddfrydigrwydd ei deimladau yn amlwg yn ei araeth o flaen y Sanhedrim. Y farn gyffredin yw ei fod yn ddyn ardderchog, synwyrol, meddylgar a chrefyddol—yn ddigon call i beidio ffurfio barn frysiog ar unrhyw bwnc—yn ddigon ffyddiog i gredu yn llwyddiant y gwirionedd, beth bynag y rhwystrau. Wrth draed y dysgawdwr enwog hwn y bu Saul am flynyddau lawer; a thystia ysgrifenwyr profedig a edrychant i'r mater yn ngoleuni hanesyddiaeth, nad allasai neb fod yn fwy cymwys i fod yn athraw iddo. Ac wrth i ni geisio cael allan natur y ddysgeidiaeth a dderbyniodd, y mae o bwys i ni gofio nodweddau ei athraw hyglodus. Tebygol i lygaid llariaidd ac ymadroddion mwynion ei athraw larieiddio llawer ar hywylltedd ei frwdfrydedd, a thymeru peth ar danbeidrwydd ei sel Phariseaidd—cymedroli a sobreiddio ei syniadau, a hau yn ei natur rai hadau rhyddfrydig. Rhai o brif bynciau ei efrydiaeth oeddynt ddeddfau a rheolau deongliaeth Ysgrythyrol; teithi yr Hebraeg a'r Groeg; ffurfiau dadleuaeth a rhesymeg; traddodiadau y tadau; esboniadau Ysgrythyrol; cynwysiad ac awduriaeth yr Ysgrifeniadau Sanctaidd—y cwbl, yn ddiarwybod iddo, yn ei gymwyso i fod yn Apostol y Cenedloedd. Mor wasanaethgar iddo oedd ei wybodaeth o'r iaith Roeg, ac o lenyddiaeth baganaidd, yn gystal ag o'r pynciau eraill, wrth anerch doethion Athen a'u cyffelyb.

Cymwyswyd Paul yn neillduol i fod yn bregethwr i'r Atheniaid yn gystal ag i'r cenedloedd yn gyffredinol, yn *ei droedigaeth ryfeddol.*

Eiddo y genedl Iuddewig oedd yr hen oruchwyliaeth — dewiswyd hwy i fod yn bobl neillduedig i Dduw; anrhydeddwyd hwy â breintiau rhagorol; ond eto yr oedd hyn oll er cyrhaedd amcanion eangach eu terfynau. Dwyfol-lywodraeth ydoedd y drychfeddwl gwreiddiol yn llywodraethiad plant dynion. Yn y wedd uniongyrchol hon y cynygiwyd llywodraeth i Israel gyntaf. Yr oedd cynddelw crefydd eangach yn nghyfansoddiad y gyfundraeth Iuddewig. Yr oedd y prophwydoliaethau mewn gwewyr esgor ar amser gwell. Swm a sylwedd yr hen gyfamod oedd y Messiah, yr hwn oedd i fod yn Iachawdwr hyd eithaf y ddaear. Ei bortreadu a'i ragfynegi ef

oedd prif swydd a dyben yr aberthau a'r seremoniau. Os felly, yr oedd Iuddewiaeth yn rhy gul i arfaethau grasol Duw tuag at y byd. I'r Iuddewon yr oedd y grefydd genedlaethol hon yn *rhy eang ei therfynau.* Ni allent feddwl fod ganddi yr un neges i'w chyflawni tuag at y byd llydan. Os oedd y Messiah i ddod, yr oedd hwnw i fod yn Flaenor ac yn Frenin iddynt hwy. Os oedd i deyrnasu arnynt, yr oedd i deyrnasu yn dymorol yn unig. Gwelwn yr ysbryd cul hwn yn dangos ei hunan yn sectau y genedl—yn arbenig y Phariseaid. Ymffrostient hwy yn eu neillduaeth. Gwnai Saul ddadwrdd felly. Ei fost oedd ei fod wedi cael enwaedu arno yr wythfed dydd, o genedl Israel, o lwyth Benjamin, yn Hebrewr o'r Hebreaid, yn ol y ddeddf yn Pharisead, yn ol sel yn erlid yr eglwys, yn ol y cyfiawnder sydd yn y ddeddf yn ddiargyhoedd. Y mae swn cyfyngu ac ymneillduo trwy yr holl restr, a gwelwn y cylch yn dyfod yn gyfyngach yn barhaus nes dyfod ato ef ei hun Yr oedd ymysgaroedd cariad y grefydd Iuddewig yn ymlapio ati ei hun yn hytrach nag yn gogwyddo dim at ymhelaethiad. Mynai ei phlant fyrhau cortynau ei phreswylfeydd; ac yn benaf o bawb yn y gwaith hwn yr oedd Saul o Tarsus. A phan yr oedd Cristionogaeth yn meiddio rhoddi ei llaw yn agos i'r terfynau a roddasai y tadau, ni wnai dial llai nag erlid y tro. Pan oedd dylanwad ymhelaethol y gyfundraeth efengylaidd a darddodd allan yn nhiriogaeth Iuddewiaeth yn bygwth gwneyd yr hen derfynau yn gyd-wastad â'r llawr, dacw Saul ar y ffordd i Damascus, gyda llythyrau oddiwrth yr archoffeiriad, yn rhoddi awdurdod, fel os cai efe neb o'r ffordd hono, na gwyr na gwragedd, y gallai efe eu dwyn hwy yn rhwym i Jerusalem. Ond—ond—dyma derfyn ar ei erlid ef. Dyma fawr oleuni o'r nef—dyna lais—dyna ofyniad am reswm dros y fath ymddygiad. Ond nid oedd rheswm! "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" oedd yr atebiad bendigedig. Y mynyd byth-gofiadwy hwnw yr ysgubwyd ymaith atalfa Saul gan rym llifeiriant grasol efengyl hedd. Y mae y gwrthwynebwr ar lawr—aeth ef ei hun gyda'r llifeiriant. Gyda hyn mae wedi dod yn frawd yn y frawdoliaeth fechan—"Y brawd Saul," ebe Ananias. Yn awr torodd argae teimladau yr hen erlidiwr, gan ymlifo allan yn nghwrs rhediad afon iachawdwriaeth. Dyna oedd yn ei boeni bellach, ei fod wedi erlid eglwys Dduw—ddarfod iddo fod mor ffol a rhyfygus a sefyll ar ffordd trefn fawr Duw i achub y byd. O, gulni, wedi ei ddryllio! O, ras mawr, wedi ei amlhau! A feiddia neb amheu nad oedd y person hwn yn llestr etholedig i ddwyn enw y gwir Dduw ger bron y Cenedloedd, a breninoedd, a phlant Israel, ac i sefyll gyda yr un neges ger bron yr Atheniaid ar Areopagus? Pwy allasai fod mor gymwys i gyfarch pobl mor falch, hunanol, ymneillduol, rhagfarnllyd—ac i ddyweyd wrthynt am ryddid gwell, nag efe yr hwn oedd unwaith yn Pharisead, ond yn awr yn Gristion?

Ychwanegwn un cymwysder arall a welwn yn Paul fel pregethwr i'r Atheniaid. Hwnw ydyw *ei brofiad o dan yr erledigaeth yn Macedonia, ar ei daith tua thir Groeg.* "Gan wybod fod profiad eich ffydd yn gweithredu amyned"—pwyll. Gweithredodd profiad ffydd yr Apostol yn ei ddyoddefiadau a'i lafur dirfawr yn Macedonia, amynedd, goddefgarwch. Yr oedd arno ef angen amynedd, yn neillduol yn Athen, os cymerwn ni amynedd i dybio, mewn rhan, pwyll ac arafwch. Yr oedd tanbeidrwydd ei sel yn tueddu i'w gario yn rhy bell yn eofndra ei ymosodiadau ar deyrnas y tywyllwch. Yr oedd ei yni rhyfeddol yn peri iddo fyned i drafferth a helbul weithiau. Yn Athen yr oedd galwad am arafwch, ystyriaeth a phwyll mawr wrth geisio cael sylw pobl o'r fath ag oedd yno at wirioneddau oeddynt mor ddyeithr iddynt. Ac ond i ni sylwi yn fanwl ar ei symudiadau olynol yn Athen, ni allwn lai na rhyfeddu at ei ddoethineb, ei bwyll, a'i ochelgarwch, wrth agoryd ei enau i'w hanerch. Mae ei fedrusrwydd yn y modd hwn yn gynllun o ddoethineb pregethwrol.

Ni ymhelaethwn ar y mater dyddorol hwn; hyderwn ein bod wedi cynorthwyo y darllenydd, i ryw raddau, i weled a chydnabod cymwysderau ardderchog yr Apostol fel pregethwr i'r Atheniaid.

## "FY MAM YW, DOED A DDELO."

Mordwyo wnes o Gymru gu,
Dros li' o hylif donau,
I wlad Americ' fawr ei bri,
A'i llu o ryfeddodau;
Ond nid rhy bell i gofio pwy
Rhag clwy' gynt fu'n fy ngwylio,
Mae gwadu hon rhy anhawdd mwy,
"Fy mam yw, doed a ddelo."

Pan oeddwn gynt o fewn fy nghryd,
Rhyw fyd bach oeddwn iddi,
Gylchdroai yn ei chalon glyd,
Rhy ddrud i neb fy mhrynu;
Gweddiai uwch fy nghyrliog ben,
Ar Nen i'm tyner gofio,
Daeth hon i minau'n frawddeg wen,
"Fy mam yw, doed a ddelo."

Os cryf a nwyfus wyf yn awr,
Fel cawr, 'nol crwydro ymaith,
'Rwy'n cael fy nghuro ambell awr
I lawr gan donau hiraeth,
Am wel'd siriolaf wedd yr hon
O'i bron y bum yn sugno,
A dyma iaith fy nghalon gron,
"Fy mam yw, doed a ddelo."

Pan fyddo athrawiaethau gau
Yn gwau o gylch fy nghlustiau,
Gan geisio hudo'm bywyd brau
Dan iau rhyw goelgrefyddau,
Ei grymus gyngor hi a bâr
Yn gardod rhag eu coelio,
Am hyn fy nghalon byth a'i câr,
"Fy mam yw, doed a ddelo."

Mi garwn fyw a dod yn ol,
I gôl hen Gymru anwyl,
Er cael un cusan ar ei grudd
Cyn bydd oer ddydd ei harwyl;
Ond os ei hysbryd 'hed i'r nen,
Uwchben ei bedd gwnaf wylo,
Gan sibrwd hyn mewn cywair lleddf,
"Fy mam sydd yma'n huno."

*Coalburgh, O.* G. H. (Afalwy.)

## Y BEIBL.—(LANGE.)

[CYFIEITHIAD.]

Y Beibl ydyw llyfr y bywyd, wedi ei ysgrifenu er addysgiaeth ac adeiladaeth yr holl oesoedd a chenedlaethau. Nid oes neb ag sydd wedi gweled a theimlo ei ddwyfol degwch a'i allu, a gyfnewidiai yr un gyfrol hon am holl lenyddiaeth y byd. Dim ond tragywyddoldeb ei hun a all ddatguddio helaethder ei ddylanwad er daioni. Mae y Beibl, fel person a gwaith ein Hiachawdwr, yn gyfranog o'r ddwy natur yn ei gymeriad a'i amcan—y tragywyddol bersonol Air Duw "a wnaethpwyd yn gnawd," a holl gyflawnder y Duwdod, a dynoliaeth ddibechod a unwyd am byth mewn un person. Felly priodol y gellir dweyd, i lefaredig air Duw ddyfod yn gnawd yn y Beibl. Y mae gan hyny oll yn ddwyfol, ac eto oll yn ddynol, o'r dechreu i'r diwedd. Trwy len y llythyren y gwelwn ogoniant tragywyddol wirionedd Duw. Y mae y dwyfol a'r dynol yn y Beibl yn dal cyffelyb berthynas i'w gilydd ag ydynt yn mherson Crist—yn anghymysgedig, eto yn anwahanadwy unol, ac yn cyfansoddi ond un bywyd, yr hwn a enyn fywyd yn nghalon yr hwn sydd yn credu. Wrth edrych arno yn unig fel cyfansoddiad dynol neu lenyddol, y mae y Beibl yn llyfr rhyfeddol, ac heb ei gyffelyb. Ni rydd holl lyfrgelloedd duwinyddiaeth, athroniaeth, hanesiaeth, hynafiaeth, barddoniaeth, cyfraith a llywodraeth, ddigon o ddefnydd i drysor mor werthfawr o'r gemau mwyaf dewisol o athrylith ddynol, doethineb, a phrofiad. Cynwysa weithiau tua deugain o awdwyr, yn cynrychioli eithafion cymdeithas, o orsedd y brenin i fad y pysgotwr. Ysgrifenwyd ef yn ystod yr amser hirfaith o un-deg-a-chwech o ganrifoedd, ar lanau y Nilus, yn anialwch Arabia, yn ngwlad yr addewid, yn Asia leiaf, yn Groeg glasurol, ac yn Rhufain Ymerodrol. Dechreua gyda'r cread; diwedda gyda'r gogoneddiad terfynol, wedi darlunio yr holl raddau yn y dadblygiad o Dduw ac ymddadblygiad ysbrydol dyn. Defnyddia bob math o

gyfansoddiad llenyddol; esgyna i'r uchelderau uchaf, a disgyna i ddyfnderoedd iselaf dynoliaeth; mesura holl sefyllfaoedd a chyflyrau bywyd. Y mae yn adnabyddus a phob gofid a phob gwae; cyffyrdda â holl dannau y teimlad; cynwysa fywgraffiad ysbrydol o bob calon ddynol; y mae yn gymwys i bob dosbarth o gymdeithas; gellir ei ddarllen gyda'r un dyddordeb ac elw gan y brenin yn ogystal a'r cardotyn, gan yr athronydd yn gystal a'r plentyn. Y mae mor gyffredinol a'r hil ddynol, ac yn cyrhaedd tu draw i derfynau amser, i mewn i diriogaethau annherfynol tragywyddoldeb. Y mae hyd yn nod y crynodeb anghydmarol hwn o ragoriaethau dynol yn *cyfeirio* at ei gymeriad a'i wreiddioldeb dwyfol, fel y mae holl berffeithrwydd dynoliaeth Crist yn dystiolaeth o'i ddwyfoldeb.

Ond y Beibl yn gyntaf a diweddaf yw llyfr crefydd. Dangosa yr unig wir gyffredinol a hollol grefydd Duw, yn ei gyrfa ddarpariadol neu dyfiant dan oruchwyliaeth y gyfraith a'r addewid, yn gystal a'i chwblhad dan oruchwyliaeth yr efengyl; yn grefydd yr hon sydd wedi ei bwriadu i lyncu yn hollol holl grefyddau y byd. Siarada wrthym fel bodau anfarwol ar y pynciau aruchelaf, godidocaf, a mwyaf pwysfawr a all hawlio ein sylw, a chydag awdurdod ag sydd yn hollol anwrthwynebol. Gall hyfforddi, adeiladu, rhybuddio, dychrynu, llonyddu, lloni, a chefnogi, yn wahanol i unrhyw lyfr arall. Gafaela mewn dyn yn nyfnderoedd cuddiedig ei gyfansoddiad deallol a moesol, ac yn myned hyd at fyw yr enaid, ac at y man dirgelaidd hwnw ag sydd yn ei gysylltu â'r byd anweledig, ac â Thad yr ysbrydoedd.

Gweithreda fel lefain oll-dreiddiol ac oll-ffurfnewidiol ar bob cyneddf y meddwl, ac ar bob cynhyrfiad y galon. Y mae yn cyfoethogi y cof, yn dyrchafu y rheswm, yn bywhau y dychymyg, yn cyfarwyddo'r farn, yn cyffroi y serchiadau, yn llywodraethu'r nwydau, yn bywiogi'r gydwybod, yn nerthu yr ewyllys, yn enyn fflam sanctaidd ffydd, gobaith, a chariad. Y mae yn puro, urddasoli, ac yn sancteiddio yr holl ddyn, ac yn ei ddwyn i fywiol undeb â Duw. Gall nid yn unig oleuo, diwygio, a gwella, ond hefyd ail-eni a chreu o newydd, a chynyrchu effeithiau a orweddant yn mhell tu hwnt i allu athrylith ddynol.

Y mae ganddo oleuni i'r dall, nerth i'r gwan, ymborth i'r newynog, diod i'r sychedig; y mae ganddo gyfarwyddyd mewn gorchymyn neu esiampl i bob amgylchiad mewn bywyd, cysur yn mhob tristwch, ac enaint i bob clwyf. O holl lyfrau y byd, y Beibl yw yr unig un nad ydym byth yn blino arno, ond yn ei edmygu a'i garu yn fwy po fwyaf fyddwn yn ei ddefnyddio. Fel y perl teifl ei lewyrchiadau i bob cyfeiriad; neu fel y ffagl, po fwyaf yr ysgydwir hi, mwyaf oll yr ymddysgleiria. Y mae fel llysieuyn iachaol, po galetaf y gwesgir ef pereiddiaf oll yw ei arogl. Y fath fendith annhraethadwy ydyw, fod y trysor anhysbyddadwy hwn o ddwyfol wirionedd a chysur yn awr yn gyrhaeddadwy, heb gyfnewidiad pwysig, bron i bob cenedl ar y ddaear, yn eu hiaith eu hun, ac o leiaf yn y gwledydd Protestanaidd, hyd yn nod i'r dyn a'r ddynes mwyaf darostyngedig, a fedrant ddarllen! Eto, yr ydym yn croesawu pob ymgais i agor meddwl y llyfr hwn, yr hwn sydd ddigon eglur i'r plentyn, eto yn ddigon dwfn i'r athronydd dyfnaf a'r ysgolhaig mwyaf treiddgar.

*Kingston, Pa.* EB. P. DAVIES.

---

## PA BETH A BRAWF Y FFIGRYAU?

Y mae maban-fedyddwyr yn gyffredin yn lled deimladol pan y dywedir fod yr arferiad o "fedydd" babanod yn marw yn eu plith; ac y maent yn dueddol i wadu yr haeriad gyda gradd o sarugrwydd. Meddyliwn, beth bynag, na fydd unrhyw un a gymero y drafferth i chwilio *Adroddiad Blynyddol y Cynulleidfaolwyr am 1881*, a dansoddi yr ystadegau swyddogol a geir ynddo, yn tueddu i amheu yr haeriad fod lleihad nodedig wedi bod ar "fedydd" babanod yn mhlith y Cynulleid-

faolwyr. Er mwyn y cyfryw o'n darllenwyr nad ydynt yn feddianol ar y llyfr hwn, yr ydym am roddi y prif ffeithiau a gynwysa :

Yn y flwyddyn 1859 yr oedd 250,452 o aelodau yn eglwysi Cynulleidfaol y wlad hon, a "bedyddiwyd" 5,061 o fabanod, neu un o bob 50 o'r aelodau. Yn 1880 yr oedd 384,332 o aelodau, a 4,989 o "fedyddiadau" babanod, neu un o bob 77 o'r aelodau. Y mae y lleihad yn bendant, ac yn berthynasol; ac nid oedd y flwyddyn 1880 yn eithriad nodedig. Allan o'r blynyddoedd rhwng 1859 ac 1880, "bedyddiwyd" llai na 5,000 o fabanod, a'r nifer mwyaf a fedyddiwyd erioed oedd yn y fl. 1878, pan y cyrhaeddodd 5,556. Y mae yn ffaith dra adnabyddus fod y nifer yn yr eglwysi hyny sydd yn dal yr arferiad yn fanwl, mor uchel ag un baban o bob wyth neu ddeg o aelodau. Ond nis gellir taflu un amheuaeth ar y ffaith fod lleihad mawr wedi bod ar yr arferiad er y flwyddyn 1859.

Er mwyn cael drychfeddwl pellach o gyffredinolrwydd anymarferiad "bedydd" babanod, bydd y daflen ganlynol o wasanaeth, gan ei bod yn rhoddi adroddiadau y flwyddyn ddiweddaf :

| Talaethau. | Aelodau. | Bedyddiadau Babanod. |
|---|---|---|
| Connecticut | 55,598 | 690 |
| Illinois | 22,409 | 304 |
| Iowa | 15,512 | 242 |
| Maine | 21,400 | 142 |
| Massachusetts | 91,439 | 968 |
| Michigan | 17,083 | 215 |
| New Hampshire | 20,134 | 126 |
| Efrog Newydd | 33,964 | 399 |
| Ohio | 22,650 | 298 |
| Vermont | 20,083 | 190 |

Y mae yr ansefydlogrwydd a welir yn y ffigyrau hyn yn bwysig. Y mae Iowa yn rhoddi cyfrif am yn agos i ddau cymaint o "fedyddiadau" babanod a Maine a New Hampshire, er fod y Talaethau olaf yn cynwys 33 y cant yn fwy o aelodau nag Iowa. Ond nid yw hyd yn nod y daflen hon yn arddangosiad cywir o'r ffeithiau yn yr achos. I wneyd hyn rhaid cael taflen arall :

| Talaethau. | Eglwysi. | Dim Adroddiad. |
|---|---|---|
| Connecticut | 298 | 117 |
| Illinois | 244 | 157 |
| Iowa | 234 | 151 |
| Maine | 238 | 188 |
| Massachusetts | 526 | 282 |
| Michigan | 233 | 180 |
| New Hampshire | 187 | 131 |
| Efrog Newydd | 258 | 164 |
| Ohio | 212 | 147 |
| Vermont | 198 | 129 |

Wrth "Dim Adroddiad" y meddylir, fod cymaint a hyny o eglwysi na roddasant *report* am gymaint ag un achos o "fedydd" babanod yn ystod y flwyddyn. Gwelir felly nad yw lleihad yr arferiad o "fedydd" babanod yn gyfyngedig i ryw un lle. Yn Massachusetts, Connecticut, ac Efrog Newydd, y tair Talaeth lle y mae sefydliadau lleol Cynulleidfaol wedi gwreiddio gadarnaf, nid oes haner yr eglwysi yn adrodd am gymaint ag un baban wedi ei "fedyddio" yn ystod y flwyddyn orphenol, tra yn Maine, New Hampshire, Vermont, Indiana, a Thalaethau eraill, y mae un rhan o dair, neu lai, yn adrodd am "fedyddiadau" babanod. Rhaid fod y fath ddarfodedigaeth o'r hyn oedd unwaith yn arferiad cyffredinol pan y sefydlwyd yr Eglwys Gynulleidfaol drwy gyfraith yn Lloegr Newydd, wedi cael ei achosi gan argyhoeddiad cyffredinol o berthynas i'r ordinhad. Os parha tueddiadau presenol pethau yn ddiatal am bum'-mlynedd-ar-hugain arall, gellir teimlo yn sicr y bydd yr arferiad o "fedydd" babanod wedi marw mewn ystyr ymarferol yn mhlith eglwysi Cynulleidfaol y wlad hon. Pan ddaw yr amser hyny i ben, nid yw yn ormod i ni obeithio y gwna yr eglwys hono ddychwelyd, nid yn unig mewn rhan, ond yn gyflawn, i'r eglwysi cyntefig ac apostolaidd.

*Talfyrwyd o'r Examiner and Chronicle, gan*

*Sharon, Pa.* J. T. GRIFFITHS.

## "OND Y RHWYMAU HYN."—Paul.

GAN Y PARCH D. RHOSLYN DAVIES.

Y mae yr Apostol yma yn garcharor, ac edrychir arno yn droseddwr pwysig. Dywed ei gyhuddwyr yr haedda farwolaeth. Yn y prawf hwn y mae yn dadleu am ei *fywyd*. Gan ei fod yn y sefyllfa beryglus hon trwy gam dystiolaethau ei elynion, priodol ydyw tybied fod yr olwg arno yn sarug ac anfoddog. Ond nid felly; meddiana ei hun yn nodedig, a theimlir fod yn ei fynwes galon ddewr, garedig, a haelfrydig —"ond y rhwymau hyn." Y mae ar brawf yn y llys uwchaf, ac am un o'r troseddau pwysicaf. Ar y fainc y mae Agrippa, brenin Judea, a Ffestus, y llywodraethwr Rhufeinig. Wedi rhoddi o hono ychydig o hanes ei fywyd, ei argyhoeddiad, ei drefn arferol o bregethu, a nodi profion o'r Prophwydi mai Iesu yw y Crist, y mae Ffestus yn cael ei gynhyrfu, a than ddylanwad grymus ymadrodd yr Apostol, y mae yn gwaeddi allan, "Paul, yr wyt ti yn ynfydu; llawer o ddysg sydd yn dy yru di yn ynfyd." Gyda phwyll a hunan-feddiant rhyfeddol apelia yr Apostol at wybodaeth y brenin Agrippa, gan ddysgwyl oddiwrtho, ac yntau yn Iuddew, gydnabyddiaeth o resymoldeb ei ymadrodd. Ond er ei siomedigaeth, wele Agrippa yn ei ateb yn sarug, gan ddywedyd, "Ai gyda mor ychydig o ymdrech yr wyt yn tybied y gelli fy ngwneyd i yn Gristion?" Gellir gosod y gefnogaeth a gynwysa y frawddeg hon i'r Apostol mewn lle bychan iawn. Eithr amlwg yw, ei bod yn sawru yn gryf gan ddirmyg. Pa effaith gafodd yr ateb swrth a sarhaus hwn ar feddwl yr Apostol? A dorodd ef i lawr? A fethodd efe lefaru yn mhellach? Nid felly; ond gydag eiddigedd duwiol a chalon dosturiol at yr hwn a'i hatebodd mor ddiraddiol, y mae ei enaid mawr yn cael ei gyffroi drwyddo, ac mewn gweddi aiddgar rhydd *vent* i'w deimlad duwiolfrydig, a dywed, "Mi a ddymunwn ar Dduw, pa un ai gydag ychydig, ynte gyda llawer o ymdrech, ar fod nid yn unig tydi, ond pawb sydd yn fy ngwrandaw heddyw, yn gyfryw ag wyf fi, *ond y rhwymau hyn*." Wedi cael o hono, fel hyn, ei waradwyddo gan y swyddogion, ei *insultio* gan Ffestus, a'i ddirmygu gan Agrippa, amlwg yw nad ydoedd hyn oll yn foddión i leihau dim ar yr ysbryd nefol a duwiolfrydig oedd lon'd ei galon fawr. Nid oes yr un gair chwerw a chyffrous yn dyfod o'i enau. Y mae yn hollol foddlawn i'w sefyllfa, a dywed yn fuddugoliaethus wrth Agrippa a phawb oedd yn ei wrandaw, y buasai yn gaffaeliad iddynt hwy gael gwisgo ei sandalau ef.

Onid oes arnom, fel Cristionogion, angen ychwaneg o'r ysbryd hwn? Onid ydym yn rhy barod i lwfrhau ac encilio o'r maes? Efelychwn yr Apostol. Y mae ei ymddygiad yn y prawf hwn yn arddangos cymeriad o'r radd flaenaf, ac egwyddor o'r fath oreu. Y mae ei ddyoddefgarwch dihafal, a'i lafur diildio, yn profi ei fod wedi ei arfogi oddi uchod. Y mae ei fod wedi gallu llefaru y geiriau hyn, dan y fath amgylchiadau, yn un o'r profion cadarnaf ei fod yn ddyn Duw, ac yn wr mawr yn Israel. Nis gallasai ond dyn yn cael ei gyfarwyddo gan ysbryd grasusol efengyl ein Ceidwad lefaru y geiriau hyn dan y cyfryw amgylchiadau. Mor wahanol ei deimlad ydyw ef yma i'r hyn oedd yn meddianu y dysgyblion pan yn dyfod unwaith, dan amgylchiadau neillduol, trwy Samaria. Dymunasant am dân o'r nefoedd i losgi y Samariaid; ond gwnaethant hyn am na wyddent o ba ysbryd yr oeddynt yn llefaru. Yn y cyflwr meddwl hwn yr ydym ninau yn cael ein hunain yn rhy aml. Nid oes amgylchiadau y medrwn fyned iddynt a allant ein cyfiawnhau i ddymuno drwg i'n cydfforddolion, gan nad pa mor felldigedig bynag ydynt. Cawn ein temtio yn fynych i hyn, ond gwareded yr Arglwydd ni rhag gwneyd. Cyflwr peryglus ydyw. Cymerwn esiampl dduwiol yr Apostol—"ond y rhwymau hyn." Beth ond crefydd ein Harglwydd allasai godi dyn i'r safle hon? Y mae mwy o wir fawredd ac o odidawgrwydd i'w gweled yn Stephan pan yn llefaru dan y gawod geryg, "Na

ddod y pechod hwn yn eu herbyn," nag oedd i'w weled na'i deimlo yn holl ymerodraeth Rhufain. Gwelwn hefyd ein Blaenor mawr ar Galfaria; tra yr oedd yr hoelion dur yn rhwygo ei draed a'i ddwylaw, a phigiadau creulon y goron ddrain yn ei ddirdynu, dirmyg yr holl bobl yn cael ei dywallt arno; y mae iddo allu dweyd yn y cyfwng hwn, "O, Dad, maddeu iddynt," yn gymaint arddangosiad o fawredigrwydd bywyd, ac o haelfrydedd calon, a dim a wnaeth erioed. A thrwy i'r Apostol yfed mor helaeth o ysbryd ei Flaenor, erys dylanwad ei fywyd yn nerth ac yn galondid i'r oesau. Mynwn fwy o haelfrydedd yr Apostol. Nis gallasai ef ymostwng i wneyd dim oedd wael, hyd yn nod i'w elynion. Nid yn unig peidiai wneyd niwed iddynt, ond dymunai ddaioni, a hwnw y daioni mwyaf oedd bosibl iddynt gael, sef iachawdwriaeth eu heneidiau, gwynfydedigrwydd tragywyddol y nef; pobpeth, "ond y rhwymau hyn."

## ANGHYSONDEB

### YR IUDDEWON A'U DEDDF A'U HARFERION YN EU PRAWF DIWEDDAF O GRIST.

*Atebiad i Ofyniad "Ymofynydd," yn rhifyn Medi, tu dal. 181.*

Ymffrostiai y rabiniaid Iuddewig fod y pwyntiau canlynol yn nodweddu eu treialon llysol; ac os gellir eu coelio (nis gwn paham nad ellir, oddigerth pan wnai rhagfarn a malais feddianu eu calonau), amlwg yw fod perffeithrwydd tegwch a chyfiawnder yn agos yn hollol yn eu llysoedd, fel rheol.

1. Fel yn mhob gwlad ddiwylliedig, yr oedd y llys i fod yn gyfreithlon yn ol y Cyfansoddiad.

2. Yr oedd yn ofynol fod yr achos wedi bod ger bron y llys isaf yn gyntaf; yna os methid ei benderfynu yno, yr oedd i'w gymeryd ger bron y llys barn a gynelid ar fynydd y Deml; ac os methid ei benderfynu yno, yn y diwedd dygid ef ger bron y prif-lys—y Sanhedrim. (Mae hyn yn nodweddu, h. y., y raddeg hon yn mhwysigrwydd cymharol llysoedd, dreialon yn Lloegr, America, a phob gwlad ddiwylliedig arall, lle nad oes gormeswr yn benadur.)

3. Yr oedd y cyhuddedig i'w ystyried yn ddieuog hollol hyd nes y profid y cyhuddiadau yn ei erbyn. (Dyma wers bwysig i rai mewn byd ac eglwys.)

4. Ystyrid y Sanhedrim yn lle i ddiogelu bywyd, os gellid yn gyfiawn, ac nid i'w ddistrywio.

5. Ni ellid treio a chondemnio achos yn absenoldeb y cyhuddedig; a phan ddygid y cyhuddedig o flaen y Cyngor, yr oedd yn ddyledswydd ar y Llywydd, yn y cychwyniad, i rybuddio y tystion i beidio anghofio gwerth bywyd, ac i gadw mewn cof bob peth a wyddent oedd ffafriol i'r cyhuddedig.

6. Er sicrhau cyfiawnder i'r cyhuddedig, yr oedd y llys yn darparu diffynydd iddo, yr hwn oedd i gael pob chwareu teg a hwylusdod yn nghyflawniad ei orchwyl pwysig.

7. Yr oedd pob tystiolaeth dueddol at ryddhau y cyhuddedig, i gael ei derbyn yn ddiatreg; ac ni chaniateid i un aelod o'r llys a lefarodd unwaith yn ffafr y cyhuddedig, i newid ei farn wed'yn, a llefaru yn wahanol, er drygu y carcharor; ond i'r hwn a lefarodd y tro cyntaf yn anffafriol i achos y cyhuddedig, rhoddid cyfleusdra i newid ei lais, a dyfod yn ffafriol iddo.

8. Ni chaniateid cynal y llys yn y nos.

9. Mewn achosion o bwys, rhaid ydoedd cael, yn y man lleiaf, fwyafrif o ddau; ac er y gellid dwyn rheithfarn ryddhaol i'r cyhuddedig i fewn ar unwaith, yr oedd yn rhaid oedi cyhoeddiad rheithfarn gondemniol iddo, hyd dranoeth.

10. Rhaid i'r barnwyr a gondemnient ddyn i farw, ymprydio y dydd blaenorol; ac ni oddefid i'r condemniedig gael ei golli yr un dydd ag y condemniwyd ef.

Yn awr, sylwer: y mae deddfau a moesau llysol hafal i'r uchod, yn gosod allan dreial yr Iesu yn y goleuni o'r ffyrnigrwydd mwyaf cynddareddol—

cellweiriaeth hollol ydoedd. Ystyrier y gyferbyniaeth:

1. Ni chafodd Iesu dreial o flaen llys cyfreithlon. Nid yr uchel-lys—y Sanhedrim—oedd, ond math o bwyllgor gwyliadwrus, o benodiad Caiaphas ei hun y pryd hwnw—math o bwyllgor o ddewisiad Cadeirydd y Gymanfa Iuddewig ydoedd, o rai y gwyddai Caiaphas fuasent yn cydfarnu ac yn cydwneyd ag ef ac a'u gilydd yn erbyn yr Iesu.

2. Mynai barnwyr yr Iesu ei fod yn euog, cyn cynyg ar ei brofi. Yr oedd tynged yr Iesu wedi ei phenderfynu, hyd yn nod cyn i Judas werthu ei hun yn offeryn i hil y fall. *Matter of form* yn unig, a *form* heb fod yn *form* hefyd, oedd ei dreial. Lle bynag y bydd cyhuddwr neu gyhuddwyr yn bygwth yn hyf ac ymddiriedol cyn y treial, ei fod yn sicr o ddwyn y gosp hon neu y llall ar y cyhuddedig, gellir braidd benderfynu, nad yw ef neu hwy yn golygu rhoddi ond *mock trial* iddo. Dyna deimlad yr Iuddewon tuag at yr Iesu.

3. Cynaliwyd y llys dan sylw yn y nos. Yr oedd hyn yn afreolaidd. Eu dyben, mae'n debyg, wrth ddal a phrofi yr Iesu yn y nos, oedd, fel na chawsai y cyfeillion lluosog a dybient oedd i'r Iesu yn y ddinas gyfleusdra i roddi llaw o gymorth iddo.

4. Nid oedd caniatad i dyst ffafriol ddod yn mlaen; a phe deuai un neu ragor felly yn mlaen, ni fuasai o un lles i'r Iesu.

5. Croeshoeliwyd yr Iesu ar yr un dydd ag y condemniwyd ef.

Dyma fi wedi cymeryd mwy o ofod yn awr nag a fwriedais yn y cychwyn. Gelli di, "Ymofynydd," wrth ddarllen hanes treial Crist, gan y pedwar bywgraffydd, gymharu ymddygiad yr Iuddewon â'r hyn a weli uchod—rheolau eu llys barn—er gweled faint o gam a gafodd yr Iesu. Gallesid dysgwyl pethau gwell oddiwrth geidwad yr oraclau tuag at Geidwad enaid!—oddiwrth yr hwn a wisgai y *mitre* a'r fantell gysegredig!—ond fel yr oedd Iesu yn gorffoliad o Dduw yn y cnawd, yr oedd Caiaphas a'i gyd-fradwyr yn gorffoliad o ddiafol yn y cnawd! Yn yr oll o hyn profir nad yw gwedd allanol grefyddol—gwisgoedd cysegredig, teitlau mawrion, a sefyllfa grefyddol yn ngolwg y byd, yn brawf bob amser yn erbyn y ffaith y gall y cyfryw un fod yn cario calon ellyll y fall o'i fewn. Ein cysur yw, mai trwy ei dywydd garw, drwy y bradychiad, camdriniaeth y cellweir-lys, a'i farwolaeth ar y groes, y daeth Iesu yn "awdwr iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo."

*Johnstown, Pa.* LL. REES.

---

## "Pa beth bynag a Ddywedo Efe wrthych, Gwnewch."

Gelwir arnom i weithredu: *Gwnewch.* Pob gweithred wir grefyddol sydd yn weithred o ufudd-dod. Nis gall fod ufudd-dod lle nad oes deddf. Nis gall fod ufudd-dod heb yn gyntaf fod gwybodaeth o'r ddeddf hono. Nis gellir cyfrif un weithred yn weithred o ufudd-dod heblaw ei bod yn bersonol. Rhaid i bob gweithred fod yn wirfoddol cyn i'r weithred hono fod yn dderbyniol. Nid oes ufudd-dod heb gariad Crist yn gymellydd. Y mae pob gweithred o ufudd-dod yn debyg iawn i fedydd, sef ymateb cydwybod dda tuag at Dduw. Ymddengys i mi, gan hyny, nad yw taenellu dwfr ar faban yn weithred grefyddol o gwbl. Paham? Am nad yw, ac nis gellir mewn un wedd ei hystyried yn weithred o ufudd-dod. Am nad oes na deddf na gorchymyn am y fath beth!—a phe byddai deddf, ni allai y baban wybod dim am y ddeddf hono. Gweinyddir arno yn rhy foreu. Nis gall y baban feddu ffydd yn Iesu Grist, na chariad at y Ceidwad. Nis gellir cyfrif fod y baban mewn un wedd yn rhoddi ufudd-dod personol. Nis gellir dyweyd ei fod yn wirfoddol; gan hyny nis gall fod yn weithred grefyddol. Nid Pa beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch, a wneir fel yna, ond yr hyn a ddywedo un arall. Rhaid fod deddf, gwybodaeth o'r ddeddf hono, y'nghyd a gwir barch i roddwr y ddeddf, er cyflawni gweithred wir grefyddol, sef

gweithred o ufudd-dod. Gwrandewch arno ef; yr hyn y mae efe yn ei ddysgu y gelwir arnom i'w wrando, ac nid eiddo neb dynion, faint bynag fyddo eu dysg. CHRISTOPHER BACH.

---

## ADFEL O WELY ADFYD.

GAN Y PARCH. D. E. BOWEN.

### *Llith I.*

Gyfeillion Hoff—Mae eich gohebiaethau cynes o gydymdeimlad â mi yn fy nwfn drallod, a'ch rhoddion haelionus er fy nghynorthwyo, yn fy ngosod dan deyrnged o ddiolchgarwch diffuant i chwi oll. Ni fedraf ysgrifenu ond ychydig ar y gwely; pe amgen mi a'ch anerchwn yn bersonol. Gan hyny rhaid i mi ehedeg atoch "ar adenydd y WAWR."

Mae genyf deimladau, datguddiedigaethau, a phrofiadau newyddion i'w dadlenu. Mae rhan o'm corph yn y bedd anghofus du, a'r rhan arall yn gyfyngedig i'r ystafell fechan hon, ond mae fy enaid yn gyfan eto, ac yn fwy gwibiog, gweithgar, ac aflywodraethus nag erioed. Nid oes na chloion na barau, na muriau, a wna ei gadwyno. Rhuthra trwy y mur marmor, llama dros y gagendor ddyfnaf, neidia dros benau y pinaclau uwchaf, tery ei adenydd wrth barwydydd amser, a gwibdeithia trwy lanerchau diderfyn tragywyddoleb. Pa beth a ddaw o honof?

Ymddengys fod yr enaid yn fwy aflonydd a chynhyrfus pan fyddo y corph wedi ei gaethiwo. Carcharwyd John Bunyan am 12 mlynedd yn hen garchar Bedford; ond ni charcharwyd ei enaid cawrfilaidd. Ni feiddiai bregethu dan benyd marwolaeth; gan hyny aeth ei enaid i freuddwydio, a daeth y *tinker* hyawdl yn freuddwydiwr anfarwol! Nid breuddwydion sydd genyf i'w hadrodd yn bresenol, ond ffeithiau ystyfnig a gerwin.

Awst 27, syrthiais ar fy wyneb wrth neidio allan o gerbyd y *railroad;* cafodd yr olwynion annhrugarog afael yn fy nhraed, gan eu malurio yn deilchion! Credwn yn sicr fy mod wedi cyfarfod â brenin braw wyneb yn wyneb; ond nid oedd hen Angeu mor hyll ag y tybiais. Nid oedd colyn ganddo, ac yr oedd ei ysgerbwd wedi ei lyncu i grombil y Ceidwad ar foreu'r trydydd dydd.

"Y Gwr di-bris fu'n nghrog ar bren,
A'i waed yn dorthau am ei ben,
Iē, f'enaid, dyna fe."

"Yr ur modd er ein mwyn,
Bu farw Mab y forwyn."

Bendigedig, mae crefydd Iesu yn werth i fyw ac i farw wrthi! Bechadur, cred ynddo.

Yn nghanol yr helbul hwn syrthiodd fy mhriod ffyddlon yn gelain farwol yn fy ymyl. Bu yn gweini arnaf yn galed am ddeg diwrnod a noson. Ond Ow! wele floedd y genad o'r llys fry, "*It is enough; come up higher.*"

"Drop the anchor, furl the sail,
I am safe within the vail,"

ebe hithau, a dyna y cwbl drosodd! Meddyliais fod hyn yn greulon ofnadwy; ond erbyn cymeryd ail olwg ar y peth, er ei mwyn hi mae yn dda genyf ei bod wedi croesi yr afon ddofn, ddu; canys credwyf ei bod yn addfed i wlad sydd well i fyw. Hi a wasanaethodd ei Duw yn ffyddlon am 50 mlynedd, a hi a gariodd y pen trymaf o'r iau deuluaidd ac eglwysig gyda minau am 35 mlynedd. Buom yn llafurio mewn diwygiadau gogoneddus efo'n gilydd trwy y Gorllewin mawr; a phan y byddwn yn pregethu yn wael ofnatsan, hyderwn y gwnai hi y diffyg i fyny â'i gweddiau; ac nid yn aml y'm siomwyd chwaith. Gwaith annuwiol yw cuddio goleuni y chwiorydd o dan y *bushel.* Mae mwy o effeithiolrwydd yn eu llafur er achub eneidiau gan' waith na'r dynion.

Terfynaf y llith hon gyda diolch a rhyfeddu yr haelfrydedd Cristionogol a ddangoswyd i ni yn ein trallod blin. Yr oeddwn yn meddwl am Elias—y *black waiters* oedd yn dyfod a bara a chig iddo. Yr oedd yn ofynol cael archwaeth lled gryf i fwyta bara a chig o gegau rhyw hen hylldod fel yna, heb wybod oddiar fwrdd pwy yr ysglyfeith-

iwyd hwynt. Ond cefais i y bonedd-igesau blaenaf yn y ddinas, yn dyfod dair gwaith yn y dydd a'u basgedau yn llawn danteithion, ar y naill ddydd y deuent am fis cyfan. Yr ydwyf yn bresenol yn y clafdy hwn dan well triniaeth feddygol, ac y mae y droed yn fwy gobeithiol. Rhoddaf lith mwy dyddorol y tro nesaf; tipyn o ragymadrodd yw hwn.

*Lackawanna Hospital, Scranton, Pa.*

---

## CYMDEITHAS YSWIRIOL, NEU RAGDDARBODOL, GWEINIDOGION Y BEDYDDWYR.

GAN Y PARCH. R. M. RICHARDSON, DAWN, MO.

MR. GOL.—Dymunwyf eich caniatad i ddwyn y mater pwysig hwn ger bron ein brodyr yn y weinidogaeth drwy gyfrwng y WAWR.

Ni raid treulio amser, na chymeryd i fyny eich gofod, er profi gwerthfawredd cymdeithas o'r natur uchod, gan ein bod yn ddieithriad yn teimlo angen am ryw ragddarbodaeth ar gyfer ein teuluoedd anwyl, wedi ein myned ni i "ffordd yr holl ddaear."

Fel rheol, mae gan weinidogion yr efengyl deuluoedd (eithriadau eithaf anhapus ydyw hen lanciau yn rhestr gweinidogion y Testament Newydd), a chan nad yw ein cyflogau odd prin ddigon i gynal teulu uwchlaw tlodi ac angen (ar gyfartaledd nid yw cyflogau gweinidogion y Bedyddwyr Cymreig ond prin bedwar cant o ddoleri yn y flwyddyn, os cyrhaeddant hyny at eu gilydd), felly canlyniad anocheladwy ydyw tlodi ac eisiau yn mhlith eu teuluoedd wedi eu marwolaeth hwy. Yn yr ystyriaeth o'r annymunoldeb hwn, mae yn ddigon naturiol fod chwerwedd yn llanw ein cwpanau tra yn eu plith, a chyda ein gwaith, yn y rhagolwg o'r dyfodol. Mae yn wir fod lluaws o'n brodyr yn aelodau o gymdeithasau dyngarol a rhagddarbodol, ond gwyddom mai ychydig bach o help a ga ein teuluoedd wedi ein dydd ni oddiwrth yr Odyddion, yr Iforiaid, neu y Free Masons, &c. Cofier nad ydym mewn un modd yn amcanu iselhau y cymdeithasau rhagorol uchod; na, teimlwn yn falch o'r cyfryw; yn bersonol yr ydym yn aelod o'r Gymdeithas Odyddol (*Odd Fellows*) ein hunan, ac yn teimlo hyny yn fraint; ond wedi y cyfan prin fydd ein cymorth i'n hanwyliaid wedi ein dydd ni, &c. Ac mae y cymdeithasau bywyd yswiriol sydd yn ein plith, fel rheol, a'u *fees* yn nghyd a'u *assessments* mor uchel, fel nas gall y mwyafrif o honom eu cyrhaedd. Yn ngwyneb hyn, mae yn dda genym allu dwyn i sylw ein brodyr Gymdeithas Yswiriol neu ragddarbodol perthynol i weinidogion y Bedyddwyr yn unig, yr hon sydd o fewn cyrhaedd pob un o honom.

Yn agos i ddwy flynedd yn ol, gwelsom grybwylliad am y gymdeithas hon mewn cysylltiad â hanes Cymanfa Gyffredinol Talaeth Illinois, a chan ein bod yn awyddus am ragor o wybodaeth o berthynas iddi, dechreuasom ohebu â'r Ysgrifenydd, ac wedi ein boddloni, &c., ymunasom a'r gymdeithas. Nid ydym yn sicr ond am ddau Gymro yn perthyn iddi, sef Evans, Beatrice, Nebraska, a'r ysgrifenydd.

YCHYDIG O HANES Y GYMDEITHAS.

Sefydlwyd hi Hydref 4ydd, 1874, gan nifer o weinidogion Americanaidd mewn cyfarfyddiad yn Nghymanfa Gyffredinol Talaeth Illinois. Ymddengys mai i'r boneddwr Cristionogol a haelfrydig, John W. Dean, Yswain, Chicago, yr ydym yn ddyledus am y syniad rhagorol hwn, yr hwn a'i dygodd ger bron ei frodyr, ac a'u cynorthwyodd yn ei ffurfiad a'i dygiad yn mlaen, ac y mae yn parhau yn gefnogydd gwresog i'r gymdeithas hyd heddyw.

Mae y Gymdeithas wedi bod yn fendith i deuluoedd 15 o frodyr ymadawedig oddiar ei sefydliad; mae wedi gallu talu symiau o $231.00 i fyny i $378.00 yn y gwahanol amgylchiadau yna. Amcan y Gymdeithas ydyw talu mil o ddoleri ar farwolaeth brawd can gynted ag y cyrhaedda rhif yr aelodau yn 350. Hyd yn hyn nid oes ond rhyw 161 o aelodau ynddi, eithr dylasai fod

yn llawer rhagor; ond gan ei bod yn gyfyngedig i weinidogion y Bedyddwyr yn unig, a lluaws mawr o'r rhai hyn yn ddibris gyda golwg ar drefnu materion "awr yr ymddatodiad," mae wedi aros yn y fan yna, &c.; ond daw yn gref a blodeuog cyn hir. Da genyf allu dweyd fod brodyr o safle y Doctoriaid W. W. Everts, J. A. Smith, A. N. Arnold, J. N. Hobart, &c., yn ddigon o sicrwydd fod amcan y Gymdeithas yn bur, a'i dyben yn ddaionus. Cofier hefyd nad oes swyddogion cyflogedig yn perthyn iddi. Mae y Parch. Alexander Blackburn, Lafayette, Indiana, yr hwn ydyw Ysgrifenydd y Gymdeithas, yn gwneyd ei waith ef am ddim, er mwyn ei frodyr; ac nid oes *Territorial Limits* yn perthyn iddi, ond unrhyw un sydd yn weinidog Bedyddiedig, yn y gwaith ar y pryd, yn unrhyw un o'r Talaethau Unedig, gall ymaelodi drwy dalu un ddolar, ac arwyddo y cyfansoddiad, y rhai y gellir eu cael oddiwrth yr Ysgrifenydd Cyffredinol, neu genyf fi.

Ar farwolaeth brawd o weinidog, yr *assessment* yw tair dollar gan bob aelod, y rhai a gyflwynir i deulu yr ymadawedig yn ddidoll, &c. Mae y treuliau, gyda *reports*, *postage*, &c., yn cael eu talu o'r *annual fee* o un ddolar gan bob aelod.

Yn awr, frodyr, un ac oll, pwy sydd yn barod i ymrestru, er cynorthwyo teuluoedd ein brodyr, a rhagddarbod ar gyfer ein teuluoedd ein hunain? Fel yr awgrymwyd, gellir gohebu a'r Ysgrifenydd Cyffredinol, neu ataf fi. Dealler ein bod ni wedi dwyn y mater hwn i'ch sylw heb gael ein cymell gan elw personol o gwbl, ond awydd am i'n brodyr Cymreig gael gwybodaeth am Gymdeithas Yswirol Enwadol deilwng o'u cefnogaeth; ac yn wir, ein teimlad personol ydyw, ei bod yn ddyledswydd arnom gyfranu tair dolar (os byddant genym) i deulu brawd o weinidog, yn annibynol ar bob cymdeithas ond yr un grefyddol, &c.

Heb ymhelaethu, gadawn y mater, mewn hyder y bydd i'n brodyr ei ystyried, a gweithredu yn ol eu hargyhoeddiad o hono.

# Bwrdd y Golygydd.

## CREFYDD DEULUAIDD.

Yn llythyr Cymanfa Morganwg am y flwyddyn hon ceir a ganlyn: "Yr esgeulusdod o'r grefydd deuluaidd, neu yr addoliad ar yr aelwyd. Arferai yr hen grefyddwyr ddarllen, gweddio, a chanu mawl i Dduw, hwyr a boreu; anaml iawn y gadawent i amgylchiadau i'w rhwystro i wneuthur hyny. Yr oedd ymarfer â hyn yn eu cymwyso at orchwylion y dydd, ac at orphwyso yn y nos. Yr oedd gwneuthur hyn yn profi yn eglur eu bod yn teimlo eu hymddibyniad ar y Duw hwnw 'y mae anadl pob peth byw yn ei law, a'u ffyrdd yn eiddo iddo.' Ond fel y mae gwaethaf y modd, y mae yr hen arferiad dda hon yn cael ei hesgeuluso i raddau pell genym ni. Gall fod rhai o blant ein rhieni crefyddol y dydd heddyw na chlywsant eu tad yn gweddio erioed, oddigerth eu bod yn ddamweiniol wedi ei glywed yn y capel. Esgeulusir hyn mor bell gan lawer fel na phlygant eu glin wrth erchwyn eu gwely i gyflwyno eu hunain a'r teulu i ofal yr Arglwydd tra yn cysgu y nos. Dywedai merch fechan wrth ei mam yn ddiweddar, 'ei bod hi yn awr yn rhy hen i weddio wrth fyned i'r gwely.' 'Rhaid i chwi weddio, fy ngeneth, trwy eich hoes, a pheidio diffygio,' meddai y fam mewn atebiad iddi. 'Na,' meddai y fechan, 'nid ydyw dynion mewn oed yn gweddio wrth fyned i'r gwely.' 'Ydynt, y maent,' meddai y fam. 'Paham na fuasech chwi a dada yn gwneyd hyny, ynte,' meddai y fechan. Y mae yn achos ofni fod hyn yna yn wirionedd am ryw rai heblaw am dad a mam grefyddol (?) yr eneth hon. Gofalwn am yr addoliad teuluaidd."

## ARFERION LLYGREDIG.

O'r un llythyr dyfynwn eto y sylwadau hyn: "Mynychu lleoedd anweddus, ac ymollwng i arferion llygredig. Gwelir weithiau y crefyddwr yn y *circus*, y chwareudy a'r ddawns. Yn y dafarn y mae y crefyddwr a'r digrefydd yn nghyd, ac yn ymddangos yn debyg i'w gilydd. Pa wahaniaeth a welir yn aml rhwng yr hwn a broffesa wasanaethu Duw a'r hwn nid yw yn proffesu hyny? Yn ofer y dadleuir y gall dyn fyned a'i grefydd ganddo i bob lle, y mae hi yn foneddiges o natur rhy bur, ac o foesau rhy sanctaidd i fyned i bob man.

Y mae y fasnach feddwol, fel y dygir hi yn mlaen yn llawer tref, pentref a thy—yr iaith lygredig a arferir yn ei themlau, yr arferion halogedig a ddilynir gan ei hymgyflwynwyr, yn nghyd a'r dylanwad niweidiol a adawa ar galon a theimlad y sawl a ymwnânt a hi, yn gwneyd lle o'r fath yn gwbl anghyfaddas i broffeswyr crefydd. Pe cadwai y moesol a'r crefyddol allan o'r fath fanau, elai yn ormod o faich i'r annuwiol i'w ddwyn: "Canys pa gyfeillach sydd rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder; a pha gymundeb sydd rhwng Crist a Belial; a pha ran sydd i gredadyn gydag anghredadyn; a pha gydfod sydd rhwng teml Dduw ac eilunod?"

## TRO HYNOD.

Mewn cysylltiad ag adroddiad am ddyrchafiad y Llyngesydd Bythesea,—milwr adnabyddus yn ngwasanaeth y Llywodraeth Brydeinig yn India—cyhoeddir yr hanes hynod a ganlyn:

Pan oedd un o'r llongau rhyfel ar ei thaith, codasant faban ychydig wythnosau oed oedd yn rhwym wrth ddarn o long yn nofio ar wyneb y môr. Yr oedd y bychan yn nghol ei fam, ond yr oedd hi wedi marw. Cyhoeddwyd pob hysbysiad oedd yn bosibl er cael gafael ar berthynasau y baban, ond yn aflwyddianus. Rhoddwyd yr enw Bythe-sea arno, ac addysgwyd ef ar draul dwylaw y llong y codwyd ef iddi. Ar ol tyfu i fyny ymunodd Bythesea â'r llynges-long hono, ac wedi hyny enillodd enwogrwydd yn mrwydr y Crimea ac amryw leoedd eraill. Mae yn awr wedi ymneillduo wedi oes o lafur yn ngwasanaeth ei wlad, ac y mae pob ymgais o'i eiddo i ddarganfod ei berthynasau wedi bod yn aflwyddianus.

## YR EISTEDDIAD NEILLDUOL O'R SENEDD.

Agorwyd eisteddiad neillduol o Senedd y Talaethau Unedig, yn unol a galwad yr Arlywydd Arthur, yn Washington, ar y 10fed o'r mis diweddaf. Y prif amcan oedd dewis Is-Lywydd *pro tem.*, yr hwn fydd i weithredu fel Arlywydd os dygwydd analluogrwydd neu farwolaeth i'r Arlywydd Arthur. Gan na oddefid tyngu i mewn y ddau Seneddwr newydd o New York ac un o Rhode Island, cyn cymeryd y bleidlais, yr oedd y Democratiaid yn y mwyafrif, felly dewisasant y Seneddwr Bayard, o Delaware. Ond ar ol i'r Seneddwyr newydd Gwerinol gael eu derbyn, cymerwyd pleidlais drachefn, ac etholwyd yr Anrhyd. David Davis, o Illinois (*Independent*), yn Is-Lywydd, yn lle Mr. Bayard. Dywedir mai yr achos y dewisodd y Gwerinwyr David Davis yn Is-Lywydd, oedd, er mwyn diogelu bywyd Arthur. Oddiwrth y ffaith nad yw Mr. Davis yn perthyn i un blaid, dadleuid yn y *caucus* na wnai neb geisio bywyd Arthur er mwyn i Davis fod yn Arlywydd.

## AMCANU AT HEDDWCH.

Y mae Cymdeithas Gyflafareddol Genedlaethol wedi ei chyd drefnu yn Washington, D. C., gyda'r amcan o ddwyn dylanwadau moesol i effeithio ar gadwraeth heddwch ac ataliad rhyfel. Maent yn cynyg fod Cydgyngorfa o gynrychiolwyr o bob cenedl i gael ei chynal yn ninas Washington yn y flwyddyn 1885. Y mae yr Anrhyd F P. Stanton yn Llywydd, a J. Weed Corey yn Ysgrifenydd y gymdeithas hon, amcan yr hon a gymeradwya ei hun i ffafr pob dyn da. Po fwyaf y tynir sylw y byd at y posiblrwydd o drefnu anhawsderau cydgenedlaethol heb ryfel, goreu oll. Mae byddinoedd sefydlog Ewrop yn warth ar wareiddiad yr oes, ac yn faich arianol ag sydd bron yn annyoddefol.

## IUDDEWES GALL.

Yr ydym wedi gweled hanesyn lled ddyddorol am y modd yr arbedodd Iuddewes bryd-

ferth ei heiddo a'i bywyd mewn tref Rwssiaidd yn ystod yr ymosodiad diweddar ar yr Iuddewon. Aeth adyn mawr, garw, i mewn i siop a gedwid gan yr Iuddewes rag-grybwylledig, a phrynodd dorth o fara. Ar ol bwyta rhyw gymaint o honi, taflodd ei hun ar y ddaear o flaen y siop, a dechreuodd ruddfan a galarnadu ei fod wedi ei wenwyno. Wrth gwrs, ymgasglodd torf ddigllawn yn uniongyrchol, a buasai yn debyg o fod yn galed ar yr Iuddewes oni buasai iddi ruthro allan o'r siop, cipio y bara o law y twyllwr, a dechreu ei fwyta yn eu gwydd hwynt oll. Safodd y dorf yn syndedig, yna gwawriodd gwên ar bob gwyneb. Yna gwaeddodd un o'r dorf wrth gyfaill, "Dyro fenthyg dy *knout* (math o fflangell), wnei di?" Yna neidiodd y twyllwr i fyny ar ei draed, a rhedodd ymaith gyflymed ag y gallai, a'r dorf gan waeddi yn rhedeg ar ei ol.

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae y Bedyddwyr Cymreig yn Aspinwall yn dra awyddus i ail gychwyn yr achos yno. Gresyn na fyddai modd llwyddo i gyrhaedd hyny. Mae yno ddefnyddiau eglwys dda.

—Mae y Dr. Cefni Parry wedi dechreu ar ei weinidogaeth yn Bevier, o dan ragolygon tra addawol. Mae yno lawer o Fedyddwyr yn yr ardal, ac y mae y gweithfeydd mewn cyflwr gwell nag arferol.

—Mae yr eglwysi canlynol yn meddu y rhifedi hyn:

Eglwys Treorci..............525
Eglwys Rhos, Mountainash ..435
Eglwys Tabernacl, Caerdydd, 562
Eglwys Bethesda, Abertawe..566

—Mae genym ar law atebiad y Parch. Ll. Rees i ofyniad Mr. J. W. Edwards, mewn perthynas i "Weddio fel Moddion Cyhoeddus." Bwriadwn iddo gael ymddangos yn ein rhifyn nesaf.

—Ymddengys oddiwrth gyfeiriadau personol a wneir gan rai o'n gohebwyr at y golygydd, nad ydynt yn hysbys o'r ffaith nad yw Giraldus gartref, nac wedi bod, er's tro. Rhydd gwybodaeth o hyn oleuni i rai o honynt ar rai pethau.

—Dymunir ar y rhai y dysgwylir ysgrifau oddiwrthynt i *form* gyntaf y WAWR, eu danfon mor gynar yn y mis ag y gallant. Bydd hyn yn hwylusdod i'r argraffydd.

# Barddoniaeth.

## THE NATION'S SORROW.

BY REV. E. EDWARDS, COATESVILLE, PA.

Great God of nations, see this favor'd land
Bow'd down in sorrow 'neath thy mighty hand.
Gone is its Chief, its noble, honor'd head—
The nation's heart is bleeding o'er its dead!
Was ever prince, or potentate, or king,
So honor'd as was he of whom we sing?
This universal sorrow tells of worth
Notorious in the annals of the earth.
Of him whose body we have laid away,
In yonder grave-yard, it is safe to say,
And say with emphasis most true and just,
The world had few his equals!—so august
Was he, so truly great, that to his name
"Augustus" might be added, for his fame
Outshone the lustre of those sons of Rome
Who proudly wore that title. From his home,
A humble cabin in Ohio, see
A more than Cæsar rise from poverty
To honor such as Cæsar never knew:
Such was the Chief to whom we said "Adieu!"
Who then shall chide this nation's sorrow now,
The wail of woe with which we try to bow
To this mysterious Providence? Weep, weep!
Ye sons of sorrow—let your grief be deep
As is the loss you're called to mourn—the loss
Of one who climbed to glory through the cross,
For he had known the hardships of a lot
By no means easy. This, our Chief, was not
Dandled in luxury, and rich, but knew
A lowly origin! And yet, so true
Was he to nature and to God and self,
As not to grovel in pursuit of pelf;
He *was* ambitious, yet sought not to be rich,
But chose the better, nobler, part, by which
He rose to be the nation's Chieftain, and
To hold the helm of State with Christian hand.
Thank God for Garfield: by his wondrous grace
Our God did mold him, made him of a race
Whose birth is heavenly, the true sons of God,
Whom he doth lead and govern by his nod.
Such was the Christian President we mourn;
Such was our Chieftain, to yon grave-yard borne.
There sleeps his honor'd dust, nigh Erie's lake,
Until the trump of God shall bid the dead awake.
Our mourning may the God of nations see,
And help us profit by this mystery.
God grant the holy influence of one
Whose course as President had just begun

To open with such promise, may henceforth
Incline this nation to concede the worth
Of virtue, piety and Godly fear,
That made our Garfield's walk with God so near.
Thus chastened by our sorrow, we shall be
A nation ever glorious, pure and free!

## MERCH O'R DDOL.

Pwy welaf ar y llechwedd draw,
Yn rhodiaw'n araf brudd,
A llyfryn bychan yn un llaw,
Llaw arall ar ei grudd?
Ah! dacw'r man lle cenais gynt
Yn iach i Ferch o'r Ddol,
Pan o fy ngwlad yr eis i'm hynt,
Heb obaith dod yn ol.

Ai gwir y gwelaf ar y bryn,
Y fwyn gariadlawn ferch,
Yn darllen gwaith ei bardd fel hyn,
Er ail enynu serch;
Gan sangu'r lle a sangwn i
Tro olaf ar y rhiw,
Pan oedd fy llygaid oll yn lli',
A'r galon hon yn friw? TEGID.

## JONAH.

[BUDDUGOL.]

Y ffoedig brophwydwr—oedd Jonah,
Fydd enwog fel morwr;
Mewn penbleth, y pregethwr
Aeth draw i'w daith drwy y dw'r.

Yn y morfil bu'n ymarfer—gweddi,
A gwaeddodd o'r dyfnder;
Aeth ei lais noeth i lys Ner,
Wrth edyn prydferth hyder.

Deuddeng myrdd o'u ffyrdd tra ffol—heb ragor
Nag un bregeth ddwyfol,
Gymerai—mae'r digymarol—enfys
Yn dyst a erys fod Duw'n dosturiol.

ARFONYDD.

## Y LLONG DDYSGWYLIEDIG.

[*Homeward Bound.*]

[YN Y PELLDER.]

Hoi! draw'r llong ar odre'r lli'—o gaerau
Y gorwel yn codi;
Moesgryma'r don i'w lloni—
Byd hallt yw ei bywyd hi.

[YN DOD YN NES.]

O! ei hoender ar y wendon—gwyra
I gawr yr awelon;
Dewr a braf, fel dur ei bron,
Yn frigog nofia'r eigion.

Mae'n nes nes drwy'r tonau'n rhesi—yn dod
O dan ei baneri;
Dyrwyga'r don a lluchia'r lli'
Tra ystwyth yn gawod drosti.

[YN Y PORTHLADD.]

Eitha' trwm o bethau tramor—y mae,
Bydd fel mêl i'n goror;
Yn awr y mae holl ofnau'r môr
Yn gwingo wrth big ei hangor.

*Providence, Pa.* J. P. HARRIS (Ieuan Ddu).

## Y CRICEDYN.

Baglog a bachog bryf bychan—cadarn
Yw'r cricedyn buan;
E naid trwy y tanbaid dân,
A hwn ni lysg ei hunan!

*Dell Roy.* LLYWARCH.

## SEREN GOMER.

Girardsville, Pa., Awst 17, 1881.

Mr. Gol.—Derbyniais sypyn o *Seren Gomer*, yn cynwys y rhifynau oll o'r dechreuad, a chyda llawer o foddhad. Yn gyntaf, am fod cymaint o uchelgais yn mrodyr yr Hen Wlad i ddwyn allan y Chwarteryn mor gymeradwy. Y mae yn tra rhagori ar ddim o'r fath sydd wedi ei gynyg hyd yn hyn, yn amrywaeth a dyddordeb yr ysgrifau. Nid ydynt yn rhy hir, i dreisio amynedd y darllenydd; ac nid oes gormod o unffurfiaeth yn ngwneuthuriad i fyny y rhanau. Nid rhifyn o dduwinyddiaeth, nac ychwaith un cyfan o hanesyddiaeth, neu fywgraffiaeth, neu gyfanswm o gelfyddyd ac anianeg, neu wleidiadaeth, ond tipyn o'r amryw gangenau; bwrdd wedi ei ddarparu i ateb llawer melusddant.

Hawddamor i *Seren Gomer!* a rhwydd hynt i'w chylchrediad, ddywedaf fi! Dengys y saith rhifyn fod y golygydd wedi llwyddo i gael cydweithrediad lled unfrydol, ysgrifenwyr hen ac ieuanc yr enwad, yn ol eu hamrywiol dalentau; a hyny sydd yn cyfrif am y gwaith destlus y mae yn wneyd. Fel un yn ymdryboli (*dabble*) tipyn

mewn hanesyddiaeth, y mae y rhanau hanesyddol a bywgraffiadol yn fwy dyddorol i mi na'r erthyglau gwerthfawr eraill, a buaswn yn llwyr foddlon talu pris y rhanau am y rhai hyny yn unig. Cynwysa rhifyn Gorphenaf fywgraffiad am y diweddar H. H. Williams, Cheltenham, ac un o ysgrifau yr hen Gristmas ar Fedyddwyr Lleyn. Y mae yn nghof genyf fod yn pregethu am Sul yn nghapel y Bedyddwyr, Tewksbury, yn yr hwn y sonir yn yr erthygl ar Hugh Williams, y dygwyddodd un o'r hen bererinion wneyd crybwylliad am dano. Byddent yn anfon am dano ar daro, a byddai yntau y parotaf o bregethwyr i lanw bwlch. Yr argraff arosol am dano yno, y pryd hwnw, dros ugain mlynedd yn ol, oedd, am hen wr yn gwisgo fel Iarll, a'i fysedd yn cael eu cuddio gan fodrwyau costfawr; ac nid oedd hyny yn ei erbyn chwaith, ond yn hytrach fel rhywbeth yn teilyngu parch. Yr eiddoch, &c.,

D. T. DAVIES.

---

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

### JAPAN.

Y cenadon a'r tramorwyr cyntaf a ymwelasant â Japan, ag sydd genym hanes am danynt, oeddynt Jesuitiaid Pabyddol. Yn y flwyddyn 1298, ysgrifenodd un Marco Polo, Jesuit, ddesgrifiad rhagorol o Jepangu (Japan). Dau gant o flynyddau wedi hyn, cawn y morwr a'r darganfyddwr byd-enwog, Christopher Columbus, yn cychwyn i chwilio am dani; ond fel mae y ffaith yn hysbys, mi wn, i'r rhan fwyaf o ddarllenwyr y WAWR, yn lle cael gafael ar Japan, daeth ar draws y cyfandir Americanaidd. Ymwelodd y tramorwr cyntaf â'r ynysoedd hyn yn y flwyddyn 1542. Yn mhen saith mlynedd wedi dyfodiad y fintai gyntaf i'r wlad, ymwelwyd a hi gan un o'r enw Francis Xavier, Jesuit, a'r hwn oedd yn llawer mwy cenadol ei ysbryd na neb o'r tylwyth oedd yn y wlad o'i flaen. Taflodd Xavier ei hun gorph ac enaid i'r gwaith, a llafuriai nos a dydd i greu argraff ar feddyliau y brodorion; ac yn dâl iddo am ei lafur, cyn nemawr o amser, rhifai y dychweledigion 150,000. Modd bynag, nid rhyw lawer o waith dychwelyd oedd ganddynt, oblegid cawn i Xavier wneyd y ffordd o'u sefyllfa baganaidd i'r hon yr oedd efe am eu cael mor fyred ag oedd yn bosibl. Teimlai na allai wneyd Paganiaeth yn debyg i Babyddiaeth, felly gwnaeth y peth nesaf, sef gwneyd Pabyddiaeth yn debyg i Baganiaeth. Wrth gwrs, nid oedd hyn ond gorchwyl hawdd iawn iddo. Newidiodd enwau rhai delwau a seremoniau, a dyna braidd yr oll. Galwai ddelw Buddha yn Grist, a Kavanon, Brenines y Nefoedd, fel y galwant hi, yn Fair y Forwyn. Ond er y cyfan, byr iawn y parhaodd eu llwyddiant, a bu yr un peth yn angeu iddynt yn Japan ag sydd wedi bod mewn llawer man arall, sef eu gorawydd am awdurdod gwladwriaethol. Bu y Japaniaid yn ddigon craffus i weled yn fuan iawn nad eu lles hwy fel cenedl oedd wedi peri i'r bobl hyn adael eu gwlad a chroesi moroedd, a llafurio mor hunanymwadol ag yr ymddangosent, ond mai moddion yn hytrach oedd hyn i gyrhaedd dylanwad gwladwriaethol, a dim arall. Yn herwydd hyn bu raid iddynt ymadael. Erlidiwyd hwy yn chwerw, a chafodd nifer mawr o honynt angeu chwerw a phoenus.

Wedi eu cael oll allan, neu eu lladd, cauodd Japan ei dorau, a gosododd ar y dorau cauedig, nad oedd neb mwy i ddod i mewn trwyddynt ag oedd a dim Cristionogol yn perthyn iddo. Heblaw hyn, ni chaniateid i'r un tramorwr ddod yn agos i'r cyffiniau, oddigerth ei fod yn perthyn i'r *Dutch Traders* o Nagasaki. Yr oedd y gyfraith a gyhoeddwyd fel y canlyn: "Tra byddo yr haul yn gwresogi y ddaear, na fydded i'r un Cristion fod mor rhyfygus a dod i Japan; a bydded i bawb wybod, os bydd i Frenin Spaen ei hun, neu Dduw y Cristion, neu y Duw Mawr, droseddu y gorchymyn hwn, y cyll efe ei ben." Yr hyn a olygir, yn ddiamheu, wrth "Dduw y Cristion" uchod yw y Pab o Rufain.

Wedi gyru y Jesuitiaid allan, bu dorau Japan yn gauedig am ychydig dros ddau gant o flynyddoedd, ond nid ydynt felly heddyw. Gorphenaf 8, 1853, fe dorodd y wawr; y diwrnod hwnw, angorodd llongau Americanaidd yn nyfroedd Japan. Ar fwrdd un o honynt, a'r hwn hefyd oedd a gofal yr oll, yr oedd y dyn da hwnw, Commodore Perry. Penderfynodd, os yn bosibl, fyned i mewn i Japan. Wedi cryn drafferth, llwyddodd i wneyd cytundeb ag oedd yn sicrhau agoriad dau o'i phorthladdoedd i longau Americanaidd. Ar ol hyn, mae cytundebau eraill wedi eu gwneyd sydd wedi bod yn foddion i gael saith eraill yn agored, sef, Tokio, Yokohama, Osaka, Hiogo, Niigata, Nagaski. a Hakodate.

Dwy-flynedd-ar-hugain yn ol yr aeth y cenadwr Protestanaidd cyntaf i'r ynys. Yn y blynyddoedd 1859 ac 1860 aeth cenadon yno yn perthyn i'r Episcopaliaid, Presbyteriaid, a Dutch Reformed—yr uchod oll o America. Pasiodd o ddeg i ddeuddeg mlynedd heb ond i ychydig gael ei gyflawni, oddigerth dysgu yr iaith. Modd bynag, cawn fod yno un wedi ei ddychwelyd yn y flwyddyn 1865, ac eglwys wedi ei chorffori yn 1872. Yn yr amser cyrhaeddodd cenadon newyddion i'r ynys.

Yn mhen blwyddyn wedi sefydlu yr eglwys gyntaf yno, cawn y gorchymyn yn gwahardd Cristionogion i'r wlad yn cael ei ddiddymu yn hollol Wedi i hyn gymeryd lle, aeth y gwaith yn mlaen yn gyflymach o lawer. Mae yno heddyw 176 o genadon gan bob enwad, a 2,871 o gymunwyr.

Cofier nad yw Japan hyd yn nod heddyw yn agored i dramorwyr fyned lle y mynont. Yr oll sydd yn rhydd yw y porthladdoedd a nodasom. Mae genym genadon yn llafurio tu fewn yn y wlad. Y rheswm y goddefir hwy yw, am eu bod yn gwasanaethu i Japaniaid fel gweision. Mae cenadon yn myned yn wasanaethyddion i baganiaid, er cael cyfleusdra i ddwyn goleuni yr efengyl iddynt. Mae yn Tokio 1,036,771 o drigolion, a 36 o genadon; Kioto, 567,334 o drigolion, a 5 o genadon. Mae Yokohama yn meddu 35 o genadon; Osoka, 25; Kobe, 10; Nigata, 2; Kagasaki, 5, a Hakodate 4. Y mae yno 8 yn wasgaredig—oll yn gwneyd 125. Mewn 30 o ysgolion cenadol mae 1,525 o ysgolheigion. Y mae dau gyfieithiad o'r Testament Newydd wedi eu gwneyd i iaith y trigolion, un gan Dr. Nathan Brown, Bedyddiwr.

Nid oes ond ychydig o flynyddoedd er pan yr anfonodd y Bedyddwyr Americanaidd eu cenad cyntaf yno, sef Dr. Nathan Brown, a'r Parch. Jonathan Goble, yn Chwefror, 1873. Bu Dr. Brown yn hir yn Assam, ac yr oedd yn 64 ml. oed pan ddechreuodd lafurio yn Japan. Yr oedd Mr. Goble wedi byw am beth amser yn Japan cyn ei apwyntio yn genadwr. Blwyddyn y bu ef yn cael tâl gan y Gymdeithas; daeth trwy ei lafur yn alluog i gynal ei hun. Mae un cenad yno gan Fedyddwyr Lloegr. Mae gan Fedyddwyr America yn Japan heddyw bedwar o genadon priod, a thair o chwiorydd sengl. Mae ystadegau yr eglwysi yno fel y canlyn: Yokohama, 49; Tokio, 38; Morioko, 11; Hanamaki, 6; Sandai, 9. Gweddiwn yn daer am i'r fechan hon fyned yn fil, a'r wael hon i fyned yn genedl gref, a hyny yn fuan.

---

## HANESION CARTREFOL.

### CYFARFOD TRI-MISOL BEDYDDWYR CYMREIG OHIO A GORLLEWINBARTH PENNSYLVANIA.

Cynaliwyd y cyfarfod uchod yn Niles, Ohio, ar yr 17eg a'r 18fed o Fedi, 1881. Yn absenoldeb y Llywydd rheolaidd, sef y brawd C. Jones, M. A., etholwyd y brawd Edward Jenkins, Palmyra, i lywyddu y cyfarfod.

Am 10 o'r gloch, y dydd cyntaf, agorwyd y gynadledd drwy weddi gan y brawd Thomas M. Matthews, Hubbard.

Penderfynwyd,

1. Fod pwyllgor ymddiriedol i gael ei benodi i edrych dros gyfrifon casglyddol L. Mathias, Mineral Ridge, at gapel Niles, a'r pwyllgor hwnw i gyhoeddi y cyfrifon yn gyflawn yn y

WAWR am fis Tachwedd. Y pwyllgor ydynt, William Williams, D. C. Thomas a D. M. Job.

2. Fod y brawd Ll. Rees, Johnstown, yn cael derbyniad i'n hundeb cymanfaol, ar sail llythyr a dderbyniwyd oddiwrth Ysgrifenydd Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania.

3. Fod y brawd Thomas T. Morgan, Thomastown, i gael ei le yn ein plith hyd nes y byddo llythyr rheolaidd yn dyfod iddo o Gymanfa Seisnig, i'r hon y perthynai yn flaenorol.

4. Fod y brawd D. C. Thomas i fyned i Cleveland, i gasglu at gapel Niles.

5. Fod dymuniad y gynadledd i'r Cyfarfod Tri-Misol nesaf gael ei gynal yn Girard.

Nid wyf wedi clywed dim oddiwrth y frawdoliaeth yno; ond os byddant yn dewis ei gael, cyhoeddir eto yn brydlon.

Pregethwyd gan y brodyr canlynol— J. T. Griffiths, Sharon; W. R Jones, Palmyra; Samuel Job, Cleveland; Ll. Rees, Johnstown; Thomas Thomas, Sharon; Edward Jenkins, Palmyra, a Thomas T. Morgan, Thomastown. Dechreuwyd y cyfarfodydd gan y brodyr, Thomas T. Morgan, Thomas Thomas, Samuel Job, D. Probert a W. R. Jones.

Cafwyd cyfarfodydd rhagorol, pregethu da, a chynulliadau lluosog iawn. Gobeithio y bydd i effaith daionus ddilyn y cyfarfodydd.

THOMAS THOMAS, *Ysg.*

---

## *BEDYDDIWYD—*

Boreu Sabboth, Gorphenaf 24, 1881, yn Audenried, Pa., bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan T. D. Evans.

Prydnawn Sabboth, Medi 25, 1881, bedyddiwyd tri o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Y mae y gwaith da yn myned ar gynydd yn y lle hwn.—*T. D. Evans.*

---

## *PRIODWYD—*

Hydref 5, 1881, yn Ashland, Pa., gan y Parch. Jeremiah Griffiths, yn nhy tad y ferch ieuanc, Mr. Jacob Davies a Miss Mary A. Phillips, unig ferch y brawd a'r diacon ffyddlawn, John Phillips, y ddau o'r dref hon.

Medi 22, yn ei dy ei hun, gan y Parch. Jas. Jarrett, Mr. Charles Humphreys a Miss Hannah Rees, oll o Plymouth, Pa.

Medi 29, 1881, yn ei dy ei hun, gan y Parch. James R. Price, Mr. Wm. Lewis a Miss Mary Jane Price, y ddau o Kingston, Pa.

---

## *BU FARW—*

CYWIRIADAU.—Yn nghofiant Mrs. Probert, yn y rhifyn diweddaf, yn lle David Griffiths, darllener Daniel Griffiths. Hefyd, bedyddiwyd Mrs. P. yn 1852, ac nid yn 1857.

### MR. JAMES ARMSTRONG.

Yn Hyde Park, Pa., Awst 13eg, tra yr oedd Mr. James Armstrong yn dilyn ei alwedigaeth tan-ddaearol, mewn modd disyfyd cyfarfyddodd a'i angeu yn 55 oed.

Genedigol oedd gwrthddrych ein coffa o Ben-y-cae, sir Fynwy, D. C. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1826, lle y treuliodd dymor ei ieuenctyd, ac y cafodd ei gymwyso i wynebu mordaith ystormus bywyd, ac yma y dechreuodd ei yrfa grefyddol. Bedyddiwyd ef i gyffelybiaeth marwolaeth y Blaenor pan yn 12 oed, gan y diweddar Barch. Edward Oliver, y pryd hwnw, yn fugail ar eglwys Nebo. Ymrestrodd yn filwr yn myddin Seion. Ond mae'r bachgen serchog-fwyn yn symud i Tredegar yn 1844, ac yn ymaelodi yn Siloh. Nid anghofiodd ei fod wedi rhoddi ei hunan i'r Arglwydd, na'i ymrwymiadau i'w bobl ef. Yn y flwyddyn 1846, ymunodd mewn priodas a Jane Jones, merch i William a Susannah Jones, Tredegar; ac yno y treuliasant flaenffrwyth eu bywyd priodasol.

Yn 1862, maent yn gadael Tredegar, ac yn canu'n iach i wlad eu tadau, gan wynebu ar fyd mawr y Gorllewin, a bu tonau Mor y Werydd yn dyner wrthynt. Dechreuasant eu gyrfa Americanaidd yn Pittston, Pa., ac wedi treulio ychydig dros flwyddyn yno, symudasant i Hyde Park, lle y treuliodd ein brawd weddill ei oes, oddigerth rhyw ddwy flynedd y bu yn aros yn Denison, Ohio. Dangosodd James ei fod o du crefydd a duwioldeb yn y lle hwn, a chafodd yr anrhydedd o flaenori yn mhlith y frawdoliaeth yno Yr oedd wedi ffurfio cymeriad yn mhlith ei gydnabod, ac adnabyddid ef fel dyn pwyllog, amyneddgar, a gwir grefyddol. Cafodd lawer o dreialon—profedigaethau fuasai wedi llwyr ddigaloni llawer a ymddangosai yn fwy gwrol nag efe. Ond yn y tywydd garw, meddianodd ei enaid mewn amynedd, glynodd wrth ei grefydd, gan werthfawrogi ei fraint, ac ymddiried yn yr hwn a demtiwyd yr un ffunud a ninau, a'r Hwn a weddiodd dros ei ddysgyblion, na ddiffygiai eu ffydd. Mae Duw wedi cysylltu llwyddiant ag ufudd-dod i'w air.

Yr oedd ein hanwyl frawd yn ffyddlon i gadw ei le yn nhy yr Arglwydd, gwerthfawr-

ogai'r moddion. Un gwasanaethgar a defnyddiol ydoedd yn yr Ysgol Sul, y cwrdd gweddi, a'r gyfeillach grefyddol. Ymdrechai nid yn unig i gadw ei le, ond i lanw ei le yn mhob man. A chredwn mai Israeliad yn wir ydoedd, yn yr hwn nid oedd twyll.

Teimlai yn ddwys dros ei deulu, ac yr oedd yn ofalus iawn am danynt yn mhob ystyr. Bydded i'r Arglwydd ateb ei weddiau taerion ar ran ei feibion—tri o ba rai sydd wedi eu gadael i ddwys alaru a hiraethu ar ei ol.

Yn ngwyneb sydynrwydd ei farwolaeth, nis gallasai adael tystiolaeth ar ei ol yn y glyn; ond yr oedd ei fuchedd a'i ymdrech yn mhlaid yr efengyl yn dystiolaeth o'r fath gadarnaf o werthfawrogrwydd crefydd, a'i bod wedi talu'r ffordd iddo ef yn nghanol helbulon bywyd. Treiglodd ei faich ar yr Arglwydd—ei gadarn Ior, yr hwn a'i cynorthwyodd mewn cyfyngder; do, bu yn filwr da i Iesu Grist, a gorchfygodd drwy waed yr Oen. Yr oedd yn gyfarwydd ag arfau'r filwriaeth, y rhai nid ydynt gnawdol; ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr. Daearwyd ei weddillion archolledig yn mynwent Washburn, pryd y gweinyddodd y brawd J.P. Harris, Providence, yn cael ei gynorthwyo wrth y ty gan y brawd Henry Thomas, diweddar o Gymru. Bydded ei hûn yn dawel hyd foreu adferiad.

MRS. JANE ARMSTRONG.

Yn mhen rhyw dair wythnos, sef Awst 31ain, canlynwyd ef gan ei briod drwy borth tywyll marwolaeth i fyd yr ysbrydoedd. Yr oedd Mrs. Armstrong yn 53 oed, pan ymadawodd â'r fuchedd hon.

Bu yn dihoeni am tua blwyddyn, a gwnaeth colli ei phriod dan amgylchiadau mor annysgwyliadwy glwyfo ei chalon; teimlodd yr ergyd, a hithau aeth i ffordd yr holl ddaear. Bu farw yn dawel, a chladdwyd hi yn meddrod ei phriod, Medi 2, 1881.

Yr Arglwydd fo'n nodded ac yn dwr cadarn i'r meibion sydd heddyw heb dad na mam daearol. Bydded iddynt werthfawrogi cyngorion tad duwiol, a rhodio yn ei lwybrau, can belled ag y rhodiodd efe ar ol y Blaenor mawr.—*Brawd.*

COFFA AM EIN LOUISA

Dywed Solomon fod coffadwriaeth y cyfiawn yn fendigedig. Ffordd lwyddianus er anfarwoli ein henwau yw trwy ymdrechu gogoneddu yr Arglwydd, llesoli y byd, a gweithredu gweithredoedd cyfiawnder. Nid oedd ein merch anwyl heb ei ffaeleddau a gwendidau. Yr oedd ynddi rinweddau lawer hefyd.

Ganwyd hi ar y Grawen Terrace, Merthyr, Morganwg, D. C., Ebrill 20, 1850, a daeth gyda'i rhieni i'r America pan yn faban. Ni fu ar hyd ei hoes yn un o'r rhai mwyaf iach. Cafodd ei derbyn yn aelod eglwysig pan yn 15 mlwydd oed. Pan yn 24 mlwydd oed priododd a John R. Trotter, yr hwn a ymadawodd a'i gartref o Warren, Ohio, yn mhen pedwar reu bump o fisoedd, heb yr un gair croes, ac nis gwelodd ef mwy. Dywedir ei fod ef wedi marw. Modd bynag, wedi ei ymadawiad ef gwnaeth hi ei chartref gyda'i rhieni. Un mwy diwyd a ffyddlon nid oedd mewn byd—tynerach, anwylach gan ei thad a'i mam a'i brodyr —o'i cholli, mae ein calonau wedi eu harcholli yn ddwfn ac anfeddyginiaethol. Tua dwy wythnos yn ol aeth yn *nurse* i deulu parchus Mr. Arms, yn Youngstown, Ohio, ac yno yn sydyn bu farw. Rhoddasant iddi y cymeriad uchaf a rhagoraf; ac O, y parch a'r teimladau ddangosasant iddi hi a'i pherthynasau. Yr oedd Mrs. J. Roberts gyda hi trwy ei holl gystudd hyd yr anadliad olaf. Mrs. Roberts anwyl, hir y cofir genym eich ffyddlondeb a'ch llafurus gariad. Cymerwyd corph ein merch mewn arch hardd a chostfawr o balas Mr. Arms i gartref ei rhieni yn Niles. Bu farw Medi yr 8fed, a chladdwyd hi y 9fed, am fod y gwres mor fawr. Cymerwyd ei chorph i gapel y B., pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. C. V. Wilson ac A. A. Mealy. Wedi hyn awd a hi i'r *cemetery*, ac yn nghanol y galar mwyaf rhoddwyd hi yn y bedd oer ac unig. Yr ydym yn hiraethus iawn ar ei hol, a gallwn ddyweyd fel y dywedodd un arall:

"Briwiau a saethau sy' weithion - ynom
Trywanant ein calon;
Tra mawr ocheneidiau trymion
Yn mhob lle am ein merch lon.

Ymholi, crwydro mewn cri—Och alar!
Hir chwilir am dani;
Chwilio'r celloedd oedd eiddi,
A chwilio heb ei chael hi"

Angeu du rodd ddyrnod drom i ni; ond yn y twrw a'r taro daw llais i ni—"Gwyliwch, byddwch barod." Diolch am obaith cael cydgyfarfod yn y nef, lle na bydd raid ymadael mwy.

Yn yr Arglwydd yr ymddiriedwn,
O Arglwydd bydd i ni yn amddiffyn.

Yr eiddoch mewn galar mawr, ei thad, sef—*D. C. Thomas, Niles, O.*

ARTHUR GARFIELD EVANS.

Hyd. 15, 1881, bu farw Arthur Garfield Evans, yn 1 mlwydd a 4 mis oed, baban Mr. Evan Evans a'i briod o'r lle hwn, sef Kingston, Pa. Claddwyd ef y dydd canlynol yn mynwent Fontyfont. Gweinyddwyd wrth y ty ac ar lan y bedd gan yr ysgrifenydd.—*James R. Price.*

MARGARET EVANS.

Medi 1, 1881, yn Audenried, Pa., bu farw Margaret Evans yn 6 mlwydd oed. Merch ydoedd i Isaac Evans. Claddwyd hi yn Jamesville, Pa. Gweinyddwyd gan T. D. Evans.

EDWARD FARR WILLIAMS.

Yn Mineral Ridge, Ohio, Medi 5ed, ar ol byr gystudd, bu farw y plentyn uchod yn 17 mis

oed o'r clefyd a elwir yn enyniad yr ysgyfaint. Mab ydoedd i John Margaret Williams. Yr oedd yn nodedig am ei ddengarwch. Er nad oedd ond ieuanc mewn dyddiau, gellir dyweyd am dano ei fod y tlysaf o'r tlysau yn y teulu hwn; ac yr oedd ei golli o'r teulu yn oruchwyliaeth chwerw i gig a gwaed; eto i gyd, y mae yn rhaid ymfoddloni dan amgylchiadau fel hyn, gan fod yr alwad hon yn alwad dra effeithiol ac uniongyrchol, ac yn rhybudd i'r teulu i ymbarotoi i'r un siwrnai gan fod marw yn sicr i ni oll. Hyderaf y bydd yr amgylchiad hwn yn agos at feddwl y perthynasau i'w dwyn at y Gwaredwr mewn amser priodol. Gwasanaethwyd yn y ty ac ar lan y bedd yn dra effeithiol ar yr amgylchiad gan y Parch. J. W. James. Heddwch i'w lwch ac i'w fedd hyd y boreu mawr a ddaw.

Mae Edi wedi ymadel—fe hedodd
Fel 'hedydd o'n gafel;
Fe'i dygwyd yn nghol angel
At delyn mwy na'r duliau mel.
—*David Mathews*

MRS. CATHERINE HUGHES.

Medi 13, 1881, bu farw Catherine Hughes, gweddw y diweddar William H. Hughes, Remsen, N. Y., yn yr oedran teg o 72 mlwydd ac 20 diwrnod oed. Bedyddiwyd ein chwaer tra yr ydoedd yn ieuanc, a bu yn addurn i'w phrosffes trwy ei holl oes. Ni roddodd ar unrhyw adeg, dan unrhyw amgylchiad ddolur i lygad na gofid i galon neb o feibion Seion. Yr ydoedd o ran ei bywyd a'i nodweddiad yn gyfryw un ag y buasai yn fendith i'r eglwys Gristionogol pe buasai pawb o'i haelodau yn ymdrechu ei hefelychu mewn llawer iawn o bethau.

Yr ydoedd yn hynod addfwyn ei thymer; ei chas beth ydoedd ymrafaelion eglwysig (er iddi weled llawer o honynt), gwnai ei goreu er cadw heddwch a thangnefedd—merch tangnefedd ydoedd hi. Yr ydoedd yn ffyddlon gyda'r achos yn ei chyfraniadau. Nid oedd eisiau ei chymell er cyfranu at gynal crefydd, ond gofalai am gynal crefydd fel cynal ei theulu gartref. Talai ei haddewidion yn llawen fel un yn cael mwynhad a hyfrydwch yn nghyflawniad ei dyledswydd. Yr ydoedd yn ofalus, hyd y gallai, am ei chynulliadau crefyddol; nid oedd yn arfer esgeuluso ei chyd gynulliad ei hunan, fel yr oedd arfer rhai yn nyddiau Paul, ac arfer llawer yn ein dyddiau ni. Byddai hi yn y cyfarfodydd os yn alluadwy o fewn terfynau rhesymoldeb.

Nid oedd ein chwaer yn un a siaradai lawer, nac yn gwneyd llawer o drwst gyda dim; ond yr ydoedd wedi myfyrio ei dyledswyddau, a chyflawnai hwy mewn dystawrwydd, gwyleidd-dra, a'r gostyngeiddrwydd hwnw ag sydd yn gweddu i efengyl Crist. Yr ydoedd y nodweddion rhag-grybwylledig ar unwaith yn sicrhau ei nodweddiad fel gwraig rinweddol, mam ofalus a thyner-galon, ac hefyd fel cymydoges heddychlawn a charedig.

Dyoddefodd gystudd trwm am yr ysbaid maith o 16 wythnos; Ie, bu am bedwar mis bron heb fod o'i hystafell wely, ond dyoddefodd y cyfan fel Cristion, yn amyneddgar a dirwgnach.

Claddwyd hi y dydd Gwener canlynol yn mynwent Fairchild. Darllenwyd a gweddiwyd yn y ty gan y Parch. E. R. Hughes, Steuben, yn addoldy y Bedyddwyr gan y Parch. O. F. Parry, Bordwell, a phregethwyd yn Saesneg gan Dr. E. G. Williams a'r Parch. J. Seth Jones, Remsen, a gweinyddwyd wrth y bedd gan y ddau olaf. Gadawodd ein hanwyl chwaer blant ac wyrion, brawd a chwaer, yn nghyd a chylch eang o gyfeillion a pherthynasau i alaru eu colled ar ei hol. Heddwch i'w llwch, a gorphwysed bendith yr Ior ar ei hanwyliaid.—*Deiniolwr.*

MRS. ANN HOWELLS.

Yn Coalburgh, Ohio, Medi 4, 1881, bu farw Mrs. Ann Howells, gwraig Enoch Howells, ar ol hir nychdod, ond o'r diwedd cafodd ei dodi yn y gwely ar enedigaeth plentyn cyn ei hamser; ac yn fuan ar ol hyny, terfynodd ei gyrfa yn y byd trallodus yma, gan adael yn weddw briod anwyl a chwech o blant amddifaid i alaru ar ei hol.

Dydd Mawrth, y 6ed, am un o'r gloch, daeth tyrfa luosog yn nghyd i'w hangladd, er rhoddi ei gweddillion marwol yn y bedd. Darllenwyd rhanau pwrpasol o'r Ysgrythyrau, tarawiadol i'r amgylchiad, a gweddiwyd yn fyr a tharawiadol gan y Parch. Thomas Thomas, Sharon, cyn codi o'r ty. Yna awd a'r corph i'r capel, lle yr oedd ein chwaer yn aelod, pryd y dechreuwyd y gwasanaeth trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. Mr. Davies, gweinidog yr eglwys Annibynol yn y lle; yna siaradodd y rhai canlynol: Y Parchn. Ed. Jenkins, Palmira; Thomas Thomas, Davies, a'r ysgrifenydd, oll yn fyr a phwrpasol i'r amgylchiad. Ar ol hyny rhoddwyd y fantais i bawb gael golwg ar ei chorph am y tro olaf yn y byd presenol. Yna cychwynwyd yn orymdaith drefnus tua'r fynwent i Hubbard, pryd y daearwyd ei chorph. Ar lan y bedd cyn gwasgaru, traddododd y Parch. D. Probert araith fer a tharawiadol, yn nghyd a gweddi fer dros y teulu a'r cyfeillion wrth ymadael; yna trodd pawb tua thref, gan ffarwelio a'n hanwyl chwaer hyd foreu udganiad yr udgorn mawr yn y dydd olaf.

Ganwyd ein chwaer Mai 3, 1840, yn Dowlais, D. C. Merch ydoedd i John ac Ann Vaughan. Claddwyd ei mam pan nad oedd hi ond ieuanc iawn, a phriododd ei thad drachefn ag un o'r enw Miss Mary Lewis, yr hon sydd yn awr yn fyw, a bu yn fam dyner iddi hi nes tyfu i fyny, a'r hon a anwylai hyd ei bedd. Felly cwrddodd a mam dyner yn mherson Mrs. Vaughan, fel na welodd eisiau

mam. Bedyddiwyd ein chwaer ar broffes o'i ffydd yn mab Duw, yn nghyd a saith eraill o'r un oedran, yr un dydd ; un o ba rai a ddewisodd yn briod, sef Enoch Howells. Enw y gweinidog a'u bedyddiodd oedd William Lewis, yn Mehefin, 1857, yr hwn oedd yn weinidog yn Moriah, Dowlais ar y pryd. Yn mhen rhyw dair blynedd, 1860, ymunodd hi a'i hanwyl briod mewn glan briodas. Cawsant eu bendithio a 10 o blant, o'r cyfryw y mae chwech yn fyw i alaru eu colled ar ol mam dyner ac anwyl.

Daethant i'r wlad hon yn 1861, pryd y darfu iddynt sefydlu yn Haselton, dwy filldir o Youngstown, a derbyniwyd hi a'i hanwyl briod trwy lythyr o Gymru yn aelodau o'r eglwys hon. Gallwn ddyweyd ei bod hi a'i hanwyl briod wedi bod yn aelodau hardd, diwyd, a llafurus, a ffyddlon, yn ystod y chwe' blynedd y buont yma. Oddi yma y darfu iddynt symud i Coalburgh, lle y treuliodd hi a'i phriod y gweddill o'u hoes gyda'u gilydd. Mae ein chwaer wedi marw, eto yn llefaru. Mae ei rhinwedd yn fyw, ac fe gofir ei rhinwedd pan y bydd ei chorph yn malurio yn mhriddellau y dyffryn. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." Teimlir colled ar ei hol yn yr eglwys a'r gymydogaeth, ond yn benaf gan y teulu. Cwrddodd hithau, fel eraill o blant Adda, a thrallod, a helbul, ac anhawsderau, yn y fuchedd hon, wrth wthio yn mlaen trwy y byd, ond wedi canu yn iach iddo am byth. Bu farw fel y bu fyw, a'i phwys ar Iesu trwy ffydd. Gofynai brawd iddi ychydig oriau cyn ymadael, "Beth wyt yn feddwl am dani yn awr, a wyt yn ofni?" "Pa'm yr ofnaf a finau wedi rhoddi fy hunan iddo er ys blynyddoedd?" Nid llawer fyddai byth yn ddyweyd, ond meddyliai lawer, gan ymdrechu i fyw crefydd allan. Siarad llawer a gwneyd ond ychydig mae rhai, ond nid felly Mrs. Howells ; nid oedd yn dueddol i redeg ei brodyr i lawr tu ol i'w cefnau. Yr oedd heddwch yn llanw ei chalon, a lles yr achos yn agos at ei meddwl, a chariad Duw yn llywodraethu ei henaid. Yr oedd iddi air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun.

Collwyd gwraig dda a gofalus, mam dyner a hynaws, cymydoges barod, a chwaer dduwiol ; ond ein colled ni sydd enill iddi hi. Yr Arglwydd yn ei drugaredd a fyddo yn dyner o'i hanwyl briod galarus, a'i phlant amddifaid sydd eto ar ol. Rhodded yr Arglwydd gymorth iddynt i fyw yn dda, fel byddo marw yn elw iddynt yw dymuniad eich ufudd was yn efengyl Crist. Bydd y bregeth angladdol yn cael ei thraddodi genyf Sabboth 23ain.—*D. Probert.*

Dymunir ar bapyrau Cymru godi yr uchod.

MRS. ROBERT WILLIAMS A MRS. ELIZABETH DAVIES.

Mae dau beth mawr mewn golwg wrth ysgrifenu marw-goffa am bersonau, sef gwneyd y ffaith yn hysbys, ac i wneyd hyny yn effeithiol, rhaid nodi rhai manylion hanesyddol am danynt; a gwneyd yn hysbys y modd y gorphenasant eu gyrfa ddaearol, yn nghyd a'u cyflwr moesol a chymdeithasol pan yn cael eu galw i dragywyddoldeb.

Y mae eglwys y Bedyddwyr yn Lansford, Pa., eto yn ei galar, ac nid heb achos teilwng, pan edrychwn arni yn unig fel cymdeithas. Mae colli aelodau da yn achos o alar i bob cymdeithas; ond pan gofiwn mai athrofa yw yr eglwys, yn yr hon y cymwysir aelodau i'r bywyd tragywyddol yn y gogoniant, nid achos o alar, ond o lawenydd, yw symudiad ffyddloniaid.

Mae genyf i gofnodi ymadawiad dwy chwaer o eglwys Lansford yn ddiweddar. Er fod gwahaniaeth dirfawr rhwng y ddwy mewn oedran, a phethau eraill, eto fel aelodau eglwysig yr oeddent yn tebygoli yn fawr i'w gilydd. Yr oeddent wedi proffesu Iesu Grist er yn foreu, drwy ei wisgo am danynt yn y bedydd, ar broffes o'u ffydd ynddo. Buont ffyddlon hyd angeu, ac felly nid gormod genym gredu fod Iesu wedi talu ei addewid iddynt drwy roddi iddynt goron y bywyd. Nid ydym yn hawlio eu bod yn hynod ar gyfrif eu gwybodaeth yn y pen, ond profasant yn eglur eu bod yn gyfoethog o ddeall crefyddol yn y galon. Yr oeddent wedi dysgu i fod yn ffoddlon iawn braidd yn mhob cyflwr; ni charient feichiau o ofid heb raid i'w blino, a'u rhwystro i fwynhau crefydd ar eu pererindod trwy y byd. Yr oeddent yn ystyried dyledswyddau eglwysig, megys myned i'r cyfarfodydd, a thalu at yr achos, yn rhanau o ddyledswyddau eu bywyd, mor wirioneddol felly a dyledswyddau teuluol. Yr oeddent hwy a gofal am y cwrdd, gofal am y gweinidog, gofal am y capel, a gofal am heddwch yn yr eglwys a'r gymydogaeth.

Un o'r ddwy hyn sydd a'i hanes fel y canlyn: Sarah oedd ei henw. Ganwyd hi yn Dowlais, D. C., Medi 15, 1840. Merch ydoedd i Edward a Mary Edwards. Priododd a Robert Williams oddeutu deunaw mlynedd yn ol, yn Merthyr. Ganwyd iddynt naw o blant, ond nid oes ond pedwar o honynt yn amddifaid o fam ar y ddaear yn awr. Yn Dowlais y bu y teulu fyw ar ol priodi, nes dyfod i'r wlad hon, tua ddeuddeng mlynedd yn ol, a sefydlasant yn Lansford, Carbon Co., Pa., lle hefyd y gorphenodd ein chwaer ei gyrfa, ar ol tua naw diwrnod o gystudd, gan adael ei phriod mwyn a'i phlant anwyl yn eu galar dwys ar ei hol. Awst 9, 1881, oedd y dydd tywyll hwn, ac ar yr 11eg claddwyd hi yn Summit Hill, Pa.; y brawd Daniel M. Jones yn gweinyddu. Methwyd a dyfod o hyd i'r Parch. D. S. Thomas i ddyfod i wasanaethu, er anfon am dano i St. Clair, Pittston a Wilkesbarre.

Bedyddiwyd Mrs. Williams gan yr hybarch Edward Evans, yn aelod i Caersalem, Dowlais, tua 26 mlynedd yn ol; a dywedai wrth ei mam pan yn marw, "Mae yr hwn y credais

iddo yn ddigonol i mi gredu ynddo yn awr wrth fyned trwy yr afon."

Enw y chwaer arall oedd Elizabeth Davies. Ganwyd hi yn Merthyr, yn 1800. Priododd â David Davies pan yn 21 mlwydd oed, yn Aberdare. Buont fyw yn Aberdar a Merthyr, yn yr Hen Wlad, ac yno y collodd ein chwaer ei phriod. Daeth i'r wlad hon yn 1865. Bu yn byw yn Summit Hill, Upper Lehigh, Ashton, Plymouth, a Lansford. Wedi i'w mab John golli ei briod, cymerodd y fam-gu at y plant amddifaid—tri mewn nifer—yr ieuengaf ond tua 18 mis oed. Magodd yr hen wraig hwynt, ac y mae yr ieuengaf yn awr oddeutu 21 ml. oed. Pan yn Plymouth, collodd Mrs. Davies ei mab John, tad y plant bychain, ond ymroddodd hi i ofalu am danynt, a bu yn famaeth dda iddynt. Bu i'n chwaer chwech o blant, ond dau sydd yn fyw ar ei hol. Bedyddiwyd hi yn aelod i'r Tabernacl, Merthyr, dros ddeugain mlynedd yn ol, a bu hithau yn ffyddlawn hyd y diwedd. Cafodd tuag wythnos o gystudd, a bu farw mewn gwth o oedran (81 ml.), Medi 9, 1881.

Claddwyd hi yn Summit Hill, Medi 11eg. Anfonwyd am y Parch. D. S. Thomas, St. Clair, a daeth i weinyddu yn yr angladd. Pregethodd bregeth angladdol i'r ddwy chwaer y nos Sabboth hwnw (Medi 11eg) yn nghapel y Bedyddwyr yn Lansford, Pa.

Dymunwyf nawdd y Nef ar y teuluoedd galarus, a bydded i'r perthynasau a phawb o honom efelychu ffyddlondeb cymdeithasol a chrefyddol ein chwiorydd, fel y byddo genym hyder y cawn eu cyfarfod yn llawen mewn byd lle na bydd raid ymadael mwy.

DEWI TRERHEDYN.

### MRS. SARAH DAVIES.

Medi 23, 1881, yn Shenandoah, Schuylkill Co., Pa., bu farw Mrs. Sarah Davies, gwraig y brawd John E. Davies, yn 36 mlwydd oed. Dyoddefodd ein chwaer gystudd trwm, ond byr, eto yr oedd ei marwolaeth yn sydyn ac annysgwyliadwy iawn. Rhoddodd enedigaeth i ferch fach nos Iau, y 22ain, a bu farw prydnawn y dydd canlynol.

Yr oedd yr ymadawedig yn ferch i John a Hannah Evans, Wyddgrug, Sir Fflint, G. C., lle hefyd y ganwyd hi. Collodd ei mam pan yn ieuanc iawn. Ymunodd mewn glân briodas a'r brawd Davies pan yn ugain oed, yna treuliasant rai blynyddau yn ngwlad eu genedigaeth. Yn y flwyddyn 1869 ymfudodd y brawd Davies i America, ac yn y flwyddyn 1870 anfonodd am ei deulu, ac ymsefydlasant yn Shenandoah, lle y bu hi farw.

Fel mam, yr oedd yn ofalus o'i phlant. Cafodd wyth o blant, pedwar o'r rhai sydd yn fyw, a chawsant golled fawr yn marwolaeth eu mam, oblegid yr oedd ganddynt olwg a gafael mawr ynddi; yr oedd eu gweled a'u clywed ddydd yr angladd yn profi hyny.

Fel gwraig, yr oedd yn siriol mewn cymdeithas, yn ofalus, ac yn ymgeledd gymwys yn ngwir ystyr y gair. Mae ein brawd trallodus yn gweled ei heisiau. Duw pob gras fyddo yn nodded iddo ef a'r plant, ac a'u parotoa i gyfarfod a hi yn ngwlad y gwynfyd draw.

Cafodd ein chwaer y fraint o wneyd proffes o'i ffydd yn Mab Duw yn foreu. Bedyddiwyd hi pan yn 14eg oed, gan y Parch. Mr. Hughes, Lixwm, ac mae ei ffydd wedi bod yn ddiysgog yn ei Cheidwad hyd ei bedd.

Claddwyd rhan farwol ein chwaer y dydd Llun canlynol, sef yr un dydd ag y claddwyd Arlywydd ein gwlad (Medi 26), yn nghladdfa yr Odyddion. Daeth tyrfa luosog yn nghyd i ddangos eu parch a'u cydymdeimlad â'r teulu galarus yn eu trallod. Gadawodd ein chwaer briod a phedwar o blant i alaru ar ei hol, yn nghyd a phedair o chwiorydd yn yr Hen Wlad, y rhai sydd eto i glywed y newydd galarus. Tad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon a'u dyddano. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. D. Jones, y gweinidog.

*Shenandoah, Pa.* EDWARD CAPPER.

### DAVID EVANS.

Medi 1, 1881, yn Audenried, Pa., bu farw David Evans, wedi byr ond trwm gystudd, yn bedair blwydd ac wyth mis oed. Mab ydoedd i Benjamin Evans o'r lle hwn. Yr oedd David yn un o rai ffyddlonaf yr ysgol Sul. Claddwyd ef yn Janesville, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. T. D. Evans.

---

## ATEBIAD

### *I Ofyniad "Bedyddiwr," yn Rhifyn Medi, tu dal.* 181.

Na, nid yw yn briodol galw y Bedyddwyr yn Brotestaniaid, na'r un enwad arall ond yr un Lutheraidd. Yr achlysur o'r enw Protestaniaid yw hyn:

Wedi marwolaeth Frederick, Etholydd Saxony, yr hwn a fu yn gyfaill a noddwr pwysig i Luther yn mhoethder y Diwygiad, cymerwyd ei sedd gan John ei frawd. Yr awdurdod Pabaidd wrth weled John yn ymuno yn gyhoeddus, fraich ac ysgwydd, â'r Diwygiad, yr hyn ni wnaeth Frederick, a gynhyrfwyd drwyddo. Cafodd Luther a Melancthon gomisiwn gan John i dynu cyfreithiau llywodraethol i eglwys y Diwygiad; trowyd llawer o offeiriaid anaddas o'u swyddau, a llanwyd eu lleoedd gan eraill. Amryw o ranau helaeth o'r Ymerodraeth Germanaidd a ddilynasant eu hesiamplau; a thrwy hyn daeth yr achos Lutheraidd yn allu

gwrth-heriol cryf yn yr Ymerodraeth. Wrth weled hyn deffrodd y gallu Pabaidd; ac yn y flwyddyn 1526 galwyd cyngor mewn lle o'r enw Spires. Yr hyn basiwyd yno oedd yn ffafriol i achos y Diwygiad. Yn mhen tair blynedd wed'yn, galwyd ail gyngor yn yr un lle, gan yr Ymerawdwr, drwy anogaeth y Pab. Yn y cyngor hwn cytunodd y mwyafrif, nad ymadawai neb â'r grefydd Babaidd hyd nes y cynelid cymanfa gyffredinol i benderfynu y mater. Pan ddeallwyd hyn gan y tywysogion Lutheraidd, cynhyrfwyd hwy yn fawr, a thynasant dystiolaeth yn ei erbyn, yr hon dystiolaeth a elwid "*Protest*;" ac oddiwrth hyn y gelwid y Diwygwyr yn Brotestaniaid.

LL. REES.

## GOHEBIAETH O GYMRU.

[Dylasem gohoeddi yr ysgrif hon y mis diweddaf, ond nid yw ei dyddordeb yn ddim llai y mis hwn.]

*At Olygydd y "Wawr:"*

Anwyl Frawd—Yr ydwyf newydd ddychwelyd o gyfarfodydd blynyddol Undeb Bedyddwyr Cymru. Cynelid y cyfarfodydd eleni yn nghapel eang Treorci, yn Nghwm Rhondda, lle y gweinidogaetha Ysgrifenydd egniol yr Undeb, y Parch. W. Morris (Rhosynog). Cafwyd cyfres o gyfarfodydd rhagorol, yn y rhai yr amlygid hufen athrylith, gwybodaeth, a theimlad, yr enwad yn y Dywysogaeth. Ymestynai y cyrddau o nos Lun, Awst 8fed, hyd nos Iau, yr 11eg. Cynaliwyd pwyllgorau a chyfarfodydd blynyddol y Gymdeithas Gyhoeddiadol, y Gymdeithas Adeiladu, Trysorfa yr Hen Weinidogion, y Gymdeithas Ddirwestol, yn gystal a chyfarfodydd mwy uniongyrchol yr Undeb. Darllenwyd papyrau rhagorol gan y Parchn. W. Jones, Ebbw Vale, a Proff. Edwards, B. A., Pontypool. Testyn Mr. Edwards oedd, "Yr angenrheidrwydd am ddiwygiad yn y cyfieithiad Cymraeg o'r Ysgrythyrau Sanctaidd," ac yn sicr yr oedd ei bapyr yn un o'r rhai mwyaf gorchestol a ddarllenwyd yn holl gyfarfodydd llwyddianus yr Undeb, ac yn un a fuasai yn addurn i unrhyw gymdeithas. Nid wyf yn meddwl i Mr. Edwards gymeryd rhan yn y cyfarfod o'r blaen, ond cododd ei hunan a'r athrofa sydd dan ei ofal yn ddirfawr drwy ei draethawd ardderchog. Yr oedd areithiau Dr. Jones a'r Parch. A. J. Parry yn hynod bwrpasol ar yr un pwnc.

Pe b'ai yn briodol ymffrostio o gwbl, gallem wneyd hyny yn y ffaith fod genym fel enwad yn y Dywysogaeth y fath nifer o ysgolheigion galluog i gymeryd rhan yn y gwaith pa bryd bynag y cymerir ef mewn llaw. Nid oes gan unrhyw enwad ddynion rhagorach na Dr. Thomas, Dr. Davies, Dr. Jones, Dr. Roberts, T. Lewis, a W. Edwards, B. A., y rhai a apwyntiwyd gan y Gynadledd i gynorthwyo unrhyw bwyllgor a apwyntir gan eraill. Cafwyd areithiau a phregethau rhagorol hefyd yn Nhreorci; ac yr oedd bai ar ben neu ar galon yr hwn a elai o honynt heb fod ar ei well. Bellach mae yr holl eglwysi Cymreig i mewn yn yr Undeb, nes bod ystyr i'w enw, a grym yn ei weithrediadau. Llwyddiant iddo yn y dyfodol, i grynhoi nerth yr enwad, nes dadmer rhew anystyriaeth a segurdod, a gwasgar haul belydrau i feithrin blodau rhinwedd, a lloni'r wlad.

A geir cyfieithiad diwygiedig o'r Beibl Cymraeg, sydd bwnc lled amheus. Am y priodoldeb o hono, bron na ddywedwn nad oes ddau feddwl—beth bynag, ceir mwyafrif mawr yn credu, er fod y cyfieithiad presenol Cymraeg yn rhagori llawer ar y cyfieithiad "awdurdodedig" Seisonig, eto nad ydyw o lawer mor berffaith ag y gallai fod. Cyhoeddwyd yn ddiweddar yn ngholofnau yr *Wythnos* nifer luosog o lythyrau oddiwrth rai o brif ddynion Cymru, o blith pob enwad, yn dadleu dros hyn. Cyfyd yr anhawsder o gulni rhai o glerigwyr yr Eglwys Sefydledig, yn eu hanmharodrwydd i gydweithredu â gweinidogion Ymneillduol, ac o'r ffaith fod yn anhawdd gwybod pwy sydd i gychwyn y gwaith, a phwy sydd i fod yn gyfrifol am dano. Yn y cyfamser bydd yn dda gan bawb ddeall fod Mr.

Humphreys, Caernarfon, yn dwyn allan argraffiad newydd o'r "Oraclau Bywiol," gan yr enwog John Williams, o'r Drefnewydd, dan olygiaeth y Parch. O. Davies. Gwnaeth hwn wasanaeth pwysig yn ei ddydd, a chaiff groesaw eto, mae'n ddiamheu. Er ei hoffder o eiriau ansathredig, a'i duedd i arall-eirio, mae ei gywirdeb a'i nerth yn ddigon i'w gymeradwyo i bob meddwl diragfarn.

Bu yr hen frawd B. James heibio yma yr wythnos hon. Cwynai yn fawr am y derbyniad oeraidd a gaiff mewn llawer man, ond mae pregethu teithiol, fel rheol, wedi myned *out of date*; a brodyr da yn gorfod teimlo yr anfantais.

Yr wyf wedi bod yn dysgwyl gweled yn eich tu dalenau hanes am y Parch. T. Evans, gynt o Toucester, Northampton, a chydfyfyriwr i'r ysgrifenydd, yn Llangollen, yr hwn a ddaeth drosodd yna i Dalaeth Ohio, flwyddyn a haner yn ol. Mae ei gymeriad yn ddilychwin, a'i yrfa ar ei hyd wedi bod yn addurn i'w broffes, a da fyddai genyf glywed am ei lwyddiant yn y byd newydd. Yr eiddoch, &c.,

*Corwen.* H. Cernyw Williams.

## NEWYDDION CYFFREDINOL.

Meddylia y *Catholic Telegraph* pe buasai yr eglwys Babyddol yn alluog i gadw yr holl blant, y byddai yn y wlad hon yn bresenol o 20,000,000 i 25,000,000, yn lle rhywbeth llai na 7,000,000. Priodola y *Telegraph* y golled fawr i ddylanwad yr ysgolion cyhoeddus.

—Gafaelwyd yn Parnell, y terfysgwr Gwyddelig, gan swyddogion y Llywodraeth, foreu y 13eg o'r mis diweddaf, tra yn ei wely mewn gwesty yn Dublin, a throsglwyddwyd ef i garchar Kilmainham. Mae yr Iwerddon mewn berw, a Dublin yn y cyffro mwyaf. Dywedir mewn cylchoedd politicaidd, fod y Llywodraeth yn benderfynol i gymeryd i fyny holl arweinwyr y Cyngrair Tirol.

Dywed newyddion diweddarach fod Dillon, Sexton, O'Brien, ac O'Kelly, wedi eu cymeryd i ddalfa.

—Dywedir nad yw y gofgolofn sydd i gael ei chodi er coffadwriaeth i'r Cad. Garfield, yn Lake View Cemetery (tuag at yr hon y cesglir arian drwy y wlad yn bresenol), i gostio llai na $200,000. Mae y pwyllgor yn dysgwyl codi yr arian mewn amser byr. Bwriada dinas Cleveland ei hun gyfranu $50,000.

—Mae Howard, yr archwiliwr Icelandaidd, o'r farn y bydd Iceland wedi ei diboblogi cyn hir. Gynt ceid bythynod trwy yr holl ynys, ond yn awr nis gellir eu cael fwy na phymtheg milldir o lan y môr, ac y mae y llinell yn myned yn gulach yn barhaus. Yr haf diweddaf hwyliodd deugain o Icelandwyr am Manitoba. Mae'n debyg y bydd 200 yn ychwaneg yn symud ymaith y flwyddyn nesaf. Y gauaf diweddaf oedd y caletaf yn Iceland er 1690.

—Dywed gohebydd Rwsiaidd mewn sefyllfa uchel, fod y Czar yn dyoddef *nervous excitement* eithafol yn ddiweddar. Dywedir ei fod yn barhaus yn newid ei benderfyniadau, yn beio ei weinidogion a'i gyfeillion agosaf, ac yn eu cyhuddo o hunanoldeb. Dywed ei feddygon fod cyflwr ei *nerves* y fath nas gall deithio, a bod yn rhaid iddo gadw ei hun yn bresenol mewn ymneillduad.

—Bu farw Mr. Isaac Sprague, hen ddinesydd o Tottenville, N. Y., yn sydyn y dydd o'r blaen, yn y pentref hwnw. Yr ydoedd Mr. Sprague yn 80 ml. oed, ac yr oedd i briodi y diwrnod hwnw, ac yn aros am yr awr apwyntiedig i'r seremoni briodasol, pan y cymerodd ei farwolaeth le.

—Bwriedir adeiladu yspyty coffadwriaethol yn Washington, yn y man lle y saethwyd yr Arlywydd diweddar, i gael ei alw y Garfield Hospital. Mae ei ddrysau i fod yn agored i'r sawl a fyddo mewn angen ei gynorthwy, heb ystyriaeth o ddosbarth, cred, na lliw. Bod yn ddyoddefydd, ac mewn angen, a fydd yr unig drwydded a ofynir, i gael derbyniad i'r sefydliad, a chael ei wasanaeth.

—Cymerodd yr etholiadau Talaethol le yn Ohio ac Iowa ar yr 11eg o'r mis diweddaf, a chariodd y Gwerinwyr y ddwy Dalaeth gyda mwyafrif mawr.

—Dywed hysbysiad o St. Petersburgh fod *headquarters* y Nihilistiaid wedi ei ddarganfod, a bod triugain o bersonau wedi eu cymeryd i ddalfa.

—Daethpwyd o hyd i neidr gynffondrwst gan chwarelwyr y dydd o'r blaen yn y graig *solid* yn Prospect Hill, N. Y. Yr oedd yn mesur dros saith troedfedd o hyd, ac yr oedd yn meddu 14 o *rattles*. Credir iddi fod yno 1,000 o flynyddoedd. Danfonwyd hi i'r Smithsonian Institute, yn Washington.

—Dywedir i weinidog yn Nghymru bregethu yn ddiweddar ar ein gofid cenedlaethol, oddiwrth y geiriau, "Gofid sydd arnaf am danat ti, fy *Mrawd Jonathan.*"

—Yn Kokomo, Colorado, ffrwydrodd lamp yn y "Summit House," gan ei osod ar dân. Ymledaenodd y fflamiau, cymerodd *magazine* bylor dân, ac achoswyd amryw ffrwydriadau,

dinystriwyd llawer o dai, ac y mae 80 o deuluoedd yn ddigartref. Mae y golled yn $400,000.

—Mae bywyd John Bright wedi ei gyhoeddi, yn cynwys llythyr at (y pryd hwnw) yr Arlywydd Hayes, yn llawenhau yn undeb, rhyddid, a dylanwad cynyddol y wlad hon, ac yn amlygu dymuniad i Loegr ac America, er yn ddwy genedl, fod yn un bobl.

—Y mae prawf Guiteau i ddechreu ar y 7fed o'r mis hwn.

—Dywedir fod cost afiechyd ac angladd y diweddar Arlywydd Garfield oddeutu $100,000, neu $1,250 y dydd, o amser y saethiad hyd yr angladd.

—Trwy losgiad melin neu ffactri yn Phila delphia, ar y 12fed o'r mis diweddaf, collodd tuag ugain o bersonau eu bywydau trwy gael eu llosgi i farwolaeth, a thrwy neidio allan o'r ffenestri. Neidiodd un fenyw allan o ffenestr y pumed llofft, gan ddryllio ei holl esgyrn, ac ni anadlodd mwy. Cafodd nifer mawr eu hanafu, rhai o honynt yn farwol.

—Yn Brook's Mills, Ga., yn ddiweddar, tra yr oedd nifer o genadon Mormonaidd yn cynal cyfarfod, ymgasglodd tyrfa o bobl gyda gynau, a thaniasant ar y Mormoniaid, a gyrasant hwy o'r gymydogaeth. Ni saethwyd neb.

## DYDDANION.

—Gofynodd gwr eglwysig i fachgenyn, pa un ai Duw ynte dyn a ddechreuodd garu? "*Dyn*," medd y bachgen. "Na," medd y gweinidog, "*Duw* a ddechreuodd." "Y mae hyny yn gamgymeriad," medd y bachgen; "y mae cariad Duw yn ddiddechreu; dyn a *ddechreuodd*."

—Gofynodd yr Arglwyddes Yarmouth i'r chwareuydd enwog Garrick, beth oedd yr achos fod cariad yn wastad yn cael ei arddangos fel plentyn? "O herwydd," meddai y bardd, "nad yw byth yn cyrhaedd oedran pwyll a doethineb."

—"Unwaith erioed yr wyf yn cofio i mi rwgnach yn ngwyneb fy sefyllfa," medd hen wr, "y pryd hwnw yr oeddwn yn gorfod cerdded yn droednoeth, ac nid oedd genyf arian i brynu esgidiau; ond ar fy ffordd cyfarfyddais â dyn heb *draed* ganddo, a gyrodd hyny fy ngrwgnachrwydd ymaith ar frys!"

—Yr oedd crydd yn ddiweddar yn myned a phâr o esgidiau newyddion adref i'w perchenog, ac ar yr heol cyfarfyddodd a thafarnwr yn ceisio arwain dyn meddw tua'i gartref. "Holo, Mr. Jones," medd y crydd, "yr ydych chwithau yn myned a'ch gwaith adref fel finau."

—Ni chafodd gwraig Syr Thomas Moore ond merched yn unig am hir amser. Yr oedd ei wraig yn dra awyddus am gael bachgen. O'r diwedd, hwy a gawsant fachgen heb ddim synwyr ynddo. "Chwi a ddymunasoch yn fawr am gael bachgen," medd Syr Thomas wrth ei wraig, "ac o'r diwedd dyma ni wedi cael bachgen, yr hwn a barha yn fachgen holl ddyddiau ei oes."

—Nid yw Ymerawdwr China yn gyffredin yn dueddol i fod yn glaf am hir amser, oblegid y foment y cymerir ef yn glaf, atalia gyflogau ei bedwar meddyg! Buasai yn burion peth pe buasai ein deddf-wneuthurwyr ninau wedi pasio cyfraith gyffelyb yn y wlad hon.

—Yr oedd Cenadwr yn ymddyddan â hen negroes dduwiol, a dywedai wrthi, "Mari, onid yw cariad Duw yn rhyfedd?" Aeth yn mlaen i ymhelaethu ar yr amlygiad o hono yn Iawn Crist, a gofynai eilwaith, "Onid yw yn rhyfeddol?" Atebodd Mari yn syml, ac ar yr un pryd yn aruchel, "Na, Massa, fi dim yn meddwl fo yn rhyfeddol, achos y mae yr un fath a fo yn union."

—Yr oedd gan y diweddar Barch. Moses Brown ddeuddeg o blant. Dywedai cyfaill wrtho unwaith, "Syr, y mae genych bron yr un faint o blant a'r hen Jacob." Ei ateb oedd, "Oes, ac y mae genyf Dduw Jacob i ofalu am danynt."

—Pan y daeth dyn i dy gweinidog ar brydnawn Sadwrn, yr hwn oedd yn bur brysur yn ei lyfrgell, y dyn, er mwyn cael ei neges, a ofynodd, "Beth ydych chwi yn ei wneyd yn y fan yna mor brysur?" "Yr wyf yn trwsio fy rhwydi i geisio dal pysgod yfory," ebai y pregethwr.

// Y WAWR.

CYF. VI.] RHAGFYR, 1881. [RHIF. 9.

# Y PARCH. FRANCIS HILEY, LLANWENARTH.

GAN Y PARCH. D. W. MORRIS, TAYLORVILLE, PA.

I. Amryw o weinidogion yr enwad a aned yn y Cymydd: David Jones, Pontypool, yn Cwmaman; Thomas Morris, Casnewydd, yn Cwmanaeth; Joshua Thomas, Llanllieni, yn Cwm pedol; a Francis Hiley yn Cwmwenarth, ar lan afon Wysg, yn Mynwy, ac yn agos i dref y Fenni Fwyn, yn y fl. 1781. Enwid ei rieni yn William ac Anne Hiley, yn meddu tyddyn eu hunain i fyw arno; a magodd y rhai hyn saith o feibion a thair o ferched yno, a dyna nifer teulu Job yn gryno. Bu William Hiley farw heb arddel Iesu, er yn wrandawr cyson o'i genadwri; ond yr oedd y fam yn aelod yn Llanwenarth, a bu yn ffyddlon yn y ty am driugain a phump o flwyddi; ac yn Medi, 1844, y bu farw, i fyw drachefn yn mroydd y mwynhad a'r molianu. Treuliodd Mr. Francis Hiley flynyddoedd boreuaf bywyd yn Llanddewi Rhydderch, yn cael ei ddysgu yn egwyddorion amaethu gyda manylrwydd mwy yn y swyddi o hau a medi, cloddio a phlanu, llyfnu y maes, a thrin y perthi. Tra bu yno yr oedd yn ddyn ieuanc anystywallt ei arferion, gwyllt ei dueddion, ac ysmala ei ymddyddanion. Elai yn aml i hen ysgubor o'r neilldu, ac yn y gwellt y bu droion ar weddi; ac yr oedd un Joshua Lewis iddo yn gwmni. Tair golygfa gwerth eu cofio yw, Francis Drake yn mordwyo o amgylch y gwledydd, Francis Bacon yn egluro deddfau y meddwl i dorfeydd, a Francis Hiley yn ysgubor Llanddewi ger bron yr Arglwydd mewn gweddi. Tri gweinidog o fri mawr gyda y Bedyddwyr yn cydoesi, a'r llythyren H yn cychwyn enwau y tri, oedd Hier, o Basaleg, yn toddi y dorf i wylo; Herring, Aberteifi, yn taro y tabwrdd i gyffro, a Hiley, Llanwenarth, yn telynori uwch y fro.

II. Amryw flwyddi y bu yn ceisio crefydd. Trwy wrando un Morgan Davies yn pregethu ar "guddio bywyd gyda'r Iesu," y cafodd Francis Hiley ei argyhoeddi. Bedyddiwyd ef gan yr haeddbarch James Lewis, Llanwenarth, yn 1803, a Francis Hiley yn 22 ml. oed. Dwyfol ras yn cychwyn, Morgan Davies yn offeryn, Francis Hiley yn gredadyn, a James Lewis yn ei dderbyn i'r gynulleidfa. Adeiladwyd addoldy Llanwenarth yn y flwyddyn 1695, a'i oriel, ei seti, ei areithfa, a bwrdd y cymun yno o dderw, na thyfodd erioed yn Basan un ddewen yn rhagori. Ar Sabboth yn yr haf y mae Llanwenarth yn Eden i addoli, yn baradwys drwyddi, a Gosen y goleuni. Monwent fawr yn eiddawg i'r addoldy, gorweddfaoedd y meirw wedi eu gwynu, a blodau Mehefin megys mân angelion yn gwylio pob gwely, ac am dano yn gofalu. Erbyn 1804 mae yn cychwyn gyda y pregethu; yn 1808 y mae yn Athrofa Mr. Micah Thomas, yn Abergaveni, ac yno y bu ddwy flynedd yn ymroddi. Tra yn yr Athrofa anfonid am dano gan lawer o eglwysi; myfyrwyr llai yn cenfigenu, a Francis Hiley

oedd mab y corwynt, rhwyfwr yn y rhyferthwy, a rhyw salm ar aden yr ystorm. Pregeth oedd ei eilun, pregethu oedd ei swyn, a phregethwr dihelfydd yn y dyddiau hyny oedd y dyn; ac yn ein barn ni nid oes nemawr un yn y dyddiau hyn ddwy fodfedd yn uwch i fyny. Efallai y gwna y gwybedyn ei ddiraddio, y pilcodyn ei bwyso, a'r llwchyn ei dafoli; ond y mae diddymdra iddynt hwy, ac efe yn "swynber syber sant, a seren y gogoniant." Dywed y Parch. Daniel Jones, Liverpool, am dano, wedi ei wrando yn nhy Thomas Morgan, Ysw., Talyryn, yn y flwyddyn 1810, "Mae bywiawgrwydd ei ddawn, prydferthion ei wedd, a phereidd-dra ei lais, yn aros am fwy na deugain mlynedd i'm swyno, ac aros a wnant tra byddwyf fi yn meddu synwyr i gofio." Alawydd y ddinas, anthem y llu, a thelyn y dyrfa, oedd Mr. Daniel Jones ei hun; ond iddo ef yr oedd Francis Hiley yn bêr aderyn yn y berllan a'r llwyn, a daliodd hyd ei derfyn.

III. Amryw eglwysi yn ymofyn y cenadydd. Anfonwyd galwadau iddo o Aberteifi, Caerlleon, Capel Seion, Merthyr, a Llanwenarth. Am nad ydoedd efe yn bedwar o niferi, gwrthododd dri, a derbyniodd Lanwenarth yn lle i weinyddu. Dyna ardal ei eni, maes ei fagu, a'r eglwys y bedyddiwyd ef ynddi. Er cydlafurio a'r Parch. James Lewis, urddwyd Mr. Francis Hiley yn Llanwenarth yn 1811, ac efe oedd y seithfed gweinidog yno yn yr adeg faith o ddau cant o flwyddi; a dyma enwau y saith hyny: Parchn. William Pritchard, fu yno 55 mlynedd, a marw yn 1708; Joshua James, yn 1728; Roger David, yn 1742; Thomas Edwards, yn 1746; Caleb Harris, yn 1792; James Lewis, yn 1837, wedi llafurio yn Llanwenarth am 46 o flynyddoedd; a Francis Hiley am haner canrif yn glynu. "Rhad ras" oedd ei genadwri; rhagorol ymarweddiad yn ei nodweddu; rhosdir Llanwenarth yn ei ddenu, ac nis medrodd ond marwolaeth eu gwahanu.

Priododd, Tachwedd, 1816, â Miss Sarah Williams, Ffynon Lwyd, gerllaw Salem, Meidrym; adwaenwn Mrs. Hiley a'i swynau hi; Sarah i'w thad yn tebygu; ac er syndod, eleni, yn 1881, y bedyddiwyd dau o'r meibion yn Penuel, Rymni, ac yr oeddynt dros 60 oed cyn proffesu. Mr. Isaac Hiley ydoedd frawd iddo, yn byw yn Lletypererin, rhwng Blaenavon a Phont-y-pool, yn ddiacon yn Pisga, yn Ysgrifenydd Cymanfa Mynwy, a bardd o gryn fri.

IV. Amryw brawfion o'r cynydd. Pan urddwyd Francis Hiley yn Llanwenarth, yn 1811, nid oedd eglwysi y Bedyddwyr yn Mynwy ond deg o niferi; ond agorwyd Horeb, Blaenavon, yn 1823; y Goetre yn 1826; Llanddewi Rhydderch yn 1828; Llanfihangel yn 1829; Hermon, Nantyglo, yn 1830; Bethlehem, Llanelli, yn 1838, a Darenfelen yn 1842. Allan o Lanwenarth y torodd y rhai yna oll, ac felly y Glasgoed a Chrughowell, a'r addoldy Cymraeg yn Abergaveni, a bu gan Francis Hiley law amlwg yn yr ymeangu. Ac os ydoedd yn eithafol o Galfinaidd yn ei bregethu, efe a wnaeth fwy o ddaioni nag aml un a fu yn ormod o Armin i godi un addoldy, enill nemawr i addoli, na llwyddo ond ychydig gyda y dynol allu. Tri o aelodau hynod yn Llanwenarth yn nyddiau Francis Hiley oedd, Harry Edwards yn arabwr, Sami Shon y synfawr weddiwr, a John Rolings yn ddiacon a phregethwr. Aeth Mr. Rolings i fyw i Gaerfyrddin, ac yno y bu farw, gan adael ar ei ol enw pur, coffadwriaeth swyeol, a nodweddion y sant, yn ei orfucheddu.

V. Amryw droion ar y caerydd.—Tair cymanfa nodedig a enwaf fi, a Mr. Hiley yno yn pregethu. 1. Mewn cymanfa yn Hengoed yn 1812, yr ymddangosodd gyntaf ar y llwyfan yn ngwydd y llu. "Duw yn mynu dryllio yr Iesu er mwyn arbed ei deulu," oedd y genadwri; ac yn y gymanfa hono yr oedd y clodfawr Andrew Fuller yn pregethu, yr unig waith y bu yn ymwelydd â Chymru. 2. Mewn cymanfa yn Hermon, Nantyglo, yn 1846; dyna'r waith gyntaf i mi glywed Hiley, Llanwenarth, yn traddodi; efe

ydoedd yn heneiddio, ei ben yn wyn, ei wedd yn wridog, ei gorph yn gryno, ei wisg yn bendefigaidd, a'i lais, dybiwn i, yn tramwy o Nantyglo i Abertilery. Testyn Mr. Hiley yno ydoedd, "A'n gwnaeth ni yn weinidogion cymwys y testament newydd." Darluniai ei hun yn goeden gam yn y goedwig ddu, a gras yn dyfod i unioni, naddu, a chaboli. "Mi a fuais," meddai, "am fwy nag ugain mlynedd yn peidio siarad â Duw; ac efe yn ei ras ddechreuodd yr ymddyddan, Francis yn ceisio clebran, ac yn hyderu cyn hir ymuno yn y gân;" a chyn iddo ddiweddu yr oedd yno amryw ar gychwyn y canu. 3. Mewn cymanfa yn Tredegar, yn 1855, daeth oer awelon i chwythu, lleni mawrion yr esgynlawr yn crynu, a'r lladmerydd o Lanwenarth yn codi i anerch y llu. Ei oedran yw pedair-ar-ddeg a thriugain o flwyddi; yn ddiweddaf am ddeg y mae yn pregethu, ac er gwaethaf y tywydd a'r trybini arddelwyd Francis Hiley gan y Mawrhydi, megys yn y blynyddoedd a fu. Mynegai Cynddelw mai dau bregethwr oedd yn gallu traddodi yr ystorm i dewi—Jehofa ar Sinai, a Hiley, Llanwenarth, yn Tredegar, yn y gymanfa. Ond dywedai Mr. Hiley, "Tewch, Ellis, mae y gyffelybiaeth yn anweddus."

Tragywyddol goffa a fydd am un boreu Sabboth y safai Francis Hiley ar y mur, o flaen Hermon, Nantyglo, i bregethu ar "Drochi yr aderyn byw yn ngwaed y marw, a'i ollwng yn rhydd i'r maes." Tybiai un mai archangel oedd yn alawu, taran yn traethu, neu udgorn byd a ddaw yn deffro y dyrfa. Trioedd cyfanwedd i Gymanfa Mynwy oedd cael Williams, Daranfelen, i weddio, cael Thomas Bevan i wrando, a chael Francis Hiley i floeddio "Calfaria, gogoniant, a rhad ras *for ever*," yno. Aeth un i wrando Mr. Hiley i'r Brynmawr, gyda bwriad molestu arno, a chodi meini i'w daro; ond daliwyd y Saul ar y Sul, a bu yn mwlch yr ail-eni. Bu yn ddiacon i'r Bedyddwyr yn Casnewydd, a thrwy ei oes yn gâr i grefydd. Dadleuodd Mr. Hiley lawer a'r galluog J. P. Davies, ar Offrwm y Messiah a phryniad y gynulleidfa. Eu dadl oedd er mwyn dirnadu y gwirionedd, ac nid dyrnu mewn dialedd. Ac yr oedd Davies, Tredegar, a Hiley, Llanwenarth, yn rhy debyg i'r angelion i garu ymryson; eithr â bys ac a gwefus yn dadlenu egwyddorion. Er nad oedd Christmas Evans yn gallu ymgodi nemawr yn uwch na'r "dyn bach o Lanwenarth," eto erioed ni chlybuwyd i Mr. Hiley droedio yr egwan, i daro y gwr amlwg, neu ddiraddio ei frawd.

VI. Amryw amlygiadau o'r canmolusrwydd.

1. Ei lenwi o gysuron. Adolygodd y daith, boddlonodd ei diweddu, cadwodd y lamp i oleuo, ac nid oedd ganddo mwyach ond myned i ragorach cwmni.

2. Efe a lonwyd gan ei gyfeillion. Awst, 1857, yr oedd jubili Mr. Hiley yn Llanwenarth i fyny, ac efe yn mron deg-a-deugain o flwyddi ar y maes; penderfynwyd ei anrhydeddu; oriawr aur a roddwyd iddo, yn arwyddo ei oes ddiwyrni; llun udgorn arni yn arwyddo ei ddawn i draddodi; ac ardeb telyn arni yn arwyddo y dedwyddwch a'r gogoneddu.

3. Efe a lonyddwyd yn y gwaelodion. Ar y 14eg yn mis Hydref, yn y flwyddyn 1860, a'r dydd yn Sabboth, yr adeg yn brydnawn, y bu farw Francis Hiley yn 79 mlwydd oed.

4. Efe a lanerchwyd gyda galluogion. Dydd Gwener, yr 20fed o'r mis, daeth llu mawr o Brycheiniog, a Morganwg, a Mynwy, i angladd Francis Hiley. Dyna Williams, Darenfelen, yn gweddio yn y ty, Morgan Lewis, Capel-y-ffin, yn yr addoldy, a'r Parchn. Dr. Thomas, Pontypool, a Samuel Williams, Nantyglo, yn pregethu. Arfer eglwys y Bedyddwyr yn Llanwenarth, am ddau cant o flynyddoedd, a fu gadael i'r nefoedd symud eu gweinidogion, ac yna eu claddu gyda eu gilydd yn mynwent yr addoldy; a'r un modd y gwnaed â gweddillion Francis Hiley.

"Aeth i athrofa'r Wynfa wen,
Er ail-fyw yn ei elfen.".

## R. H. EVANS A CHAETH-GYMUNDEB.

GAN Y PARCH. W. JONES, WISCONSIN.

*Erthygl VI.*

Dywed Mr. Evans fod Paul yn dyweyd yn bendant, fod y tadau wedi eu bedyddio yn y môr. Dyma gam-ddarlunio Paul. Ni ddywedodd Paul erioed y fath beth. Buasai gan ryw R. H. E. arall gystal hawl i ddweyd fod Paul yn dweyd yn bendant, iddynt gael eu bedyddio yn y cwmwl; ond buasai y ddau yn gwrthddyweyd eu gilydd, a'r ddau yn dyweyd anwiredd; oblegid ni fedyddiwyd y tadau yn y môr heb y cwmwl, nac yn y cwmwl heb y môr. Dyweyd y mae Paul, iddynt gael eu bedyddio yn y cwmwl ac yn y môr. Dywed Mr. E. iddynt gael "eu bedyddio ar dir sych." Os nad yw yn gwybod gwahaniaeth, yn yr oedran y mae ynddo yn awr, rhwng bedydd ffigyrol a bedydd llythyrenol, mae yn bur anobeithiol i gymeryd at y gorchwyl i'w ddysgu. Bedydd ffigyrol yw hwn, fel bedydd y dyoddefiadau; nid oedd yno na thaenellu, tywallt, na throchi; ond yr oedd yno ddarluniad prydferth o fedydd y Testament Newydd. Mae taenellwyr wedi bod mewn trafferth rhyfeddol gyda bedydd y Môr Coch erioed—rhai yn gwneyd taenelliad o hono, gan ddweyd mai gwynt y dwyrain a chwythodd ddafnau o'r môr ar y tadau. Eraill, megys Dr. Hibbard, Cook, Towne, a Watson, yn dyweyd mai o'r cwmwl y daeth dyferion arnynt. Eraill yn dweyd iddi wlawio arnynt pan yn myned trwy y môr, gan gyfeirio at Salm 77 i brofi hyny; ond darluniad o ystorm ofnadwy o fellt a tharanau a thrwm-wlaw sydd yn y Salm uchod. Peth rhyfedd i Dduw stormio ar ei bobl wrth eu harwain drwy y môr. Ond mae Dr. Kitto, lawer yn fwy synwyrol, yn barnu mai darluniad o storm ydyw, ac mai ar yr Aifftiaid y disgynodd, a bod ganddynt gofnodion o'r ystorm a ddaeth ar eu pobl pan yn myned drwy y Môr Coch. Mae Witsius yn ysgrifenu yn dra phriodol ar y lle hwn. "Pa fodd," meddai, "y bedyddiwyd yr Israeliaid yn y cwmwl ac yn y môr, gan na throchwyd hwynt yn y môr, na'u gwlychu gan y cwmwl? Rhaid ystyried fod yr Apostol yma yn defnyddio bedydd mewn ystyr ffigyrol; eto mae yma ryw debygolrwydd i'r arwydd allanol. Dwfr yw y môr, ac nid yw y cwmwl yn gwahaniaethu ond ychydig oddiwrth ddwfr. Yr oedd y cwmwl yn crogi uwch eu penau, a'r môr yn eu hamgylchynu ar bob tu; ac felly y mae y dwfr i'r rhai a fedyddir." —*Peng., p. 50.*

Dywed Whitby, "Fod eu mynediad i'r môr yn tebygoli i'r hen ddefod o fyned i'r dwfr, a'u dyfodiad allan o hono yn debyg i'w cyfodiad allan o'r dwfr." Stuart a sylwa (tu dal. 113), "Mae yn ddull ffigyrol o ymadroddi, wedi ei dynu oddiwrth y drychfeddwl fod bedydd yn amgylchyniad gan wlybwr." Mae o bwys i ddyn fel Mr. Evans wybod y gwahaniaeth rhwng y ffigyrol a'r llythyrenol. Pe taenelliad fuasai bedydd, ni buasai Paul yn tynu darluniad fel hyn o hono.

Eto dywed Mr. E., "Fod Dr. Halley yn dyweyd, nad yw *baptizo* yn arwyddo unrhyw ddull neillduol, ond gwneuthuriad y peth; ac felly ei fod yn cael ei ddefnyddio am bob dull." Gan nad yw Mr. E. yn cyfeirio at y lle mae y Dr. yn dweyd fel hyn, galwaf y dywediad hwn yn haeriad noeth, hyd nes y dangoso y man lle mae y dywediad hwn i'w gael. Dywed Halley, "Yr ydym yn credu mai ystyr *baptizo* yw gosod un peth yn y llall, drwy drochi, suddo, claddu, gorchuddio, neu unrhyw ffordd, ond gofalu fod y ddau yn dod i gysylltiad uniongyrchol a'i gilydd."—*Halley on Sac., p. 345.* Gwelir fod y Dr. yn defnyddio pedwar o eiriau braidd yn hollol gyfystyr â'u gilydd. Nid yw yn dyweyd ei fod yn golygu taenellu na thywallt. Mewn lle arall sylwa y Dr., "Fod Ioan yn bedyddio (rhaid i mi ymwrthod â'r cyfieithiad) â'r Iorddonen, neu â dwfr. Yn yr Iorddonen, naill ai yn sefyll ar yr ymyl, fel y tybia Dr. Carson, neu yn y ffrwd, fel yr wyf fi (yr hwn wyf well Bedyddiwr yn y fan hyn) yn credu."

Gan fod Halley yn credu mai yn ffrwd yr Iorddonen yr oedd Ioan yn bedyddio, nid yw yn debyg ei fod yn credu mai taenellu oedd Ioan, neu ynte ei fod yn ffolach na thaenellwyr yr oes hon. Pe buasai y Dr. yn barnu fod *baptizo* yn golygu, neu yn cael ei ddefnyddio am bob rhyw ddull, rhaid ei fod yn edrych ar Ioan yn ddwl iawn, drwy ddewis y dull mwyaf afrwydd i gyflawni y weithred.

Peth arall, y mae Mr. E. mewn trefn i geisio amddiffyn taenelliad, yn cymysgu y bedyddiadau Iuddewig a'r taenelliadau Iuddewig. Dywed "fod y bedyddiadau hyn yn cynwys taenelliad gwaed geifr a lloi ar yr allor, a thaenelliad yr aflan â dwfr neillduaeth," a chyfeiria at Heb. 9 : 13, i brofi ei haeriad. Pe buasai yn cyfeirio at Marc 7 : 9, buasai yn llawer mwy priodol i ateb iddo ei hun. "Yma y gwelir," meddai, "fod taenelliad yn gynwysedig yn y gair bedyddiadau." Dyma haeriad eto heb un prawf. Dywed Dr. Gill ar y lle, y gelwid y golchiadau hyn yn fedyddiadau, am eu bod yn cael eu cyflawni drwy drochiad; ond gan mai Bedyddiwr oedd y Dr., rhaid ei adael ef o'r naill du, er ei fod yn gwybod cymaint am yr Iuddewon a'i harferiadau a nemawr ddyn yn ei oes. Mae W. Salesbury, yn ei gyfieithiad o'r Testament Newydd (sef y cyfieithiad cyntaf o hono i'r Gymraeg), yn cyfieithu Heb. 9 : 10, "amryw drochiadau," yn lle amryw olchiadau, fel y mae yn y cyfieithiad cyffredin. Mae Bible Union New York yn ei gyfieithu yn *divers immersions*, ac mae y diweddar Dean Stanley yn sylwi ar y cyfieithiad a nodwyd, ei fod yn berffaith gywir, drwy alw Ioan Fedyddiwr yn *John the Immerser.* (Gwel Stanley on Bap., complete ed., p. 23.) Yr ydoedd y golchiadau Iuddewig yn hollol wahanol i'r taenelliadau Iuddewig. Yn un peth, ni ddefnyddid yr un gair am y golchi, ag a ddefnyddid am y taenellu. Peth arall, ni arferir yr un arddodiad (*preposition*) mewn cysylltiad a'r ddau air. "Golched ei gnawd mewn dwfr," a ddywedir. (Gwel Lef. xv.) Ond, taenelled ar y bobl, ar yr allor, ar Aaron, ar y drugareddfa; ar y babell, ar yr aflan, ar y llyfr. Ni ddywedir byth, Golched ar ei ddillad, golched ar ei gnawd, ond golched ei ddillad, golched ei gnawd. Gwahaniaeth arall oedd rhwng y golchiadau Iuddewig a'r taenelliadau, oedd yn y sylwedd a arferid. Ni orchymynodd Duw erioed daenellu dwfr glan a digymysg ar ddim; yr oedd y dwfr a daenellid yn gymysgedig â lludw neu waed, neu ryw sylwedd arall; ond byth ni orchymynwyd taenellu a dwfr digymysg. O'r ochr arall, ni orchymynodd Duw olchi dim yn y puredigaethau Iuddewig ond mewn dwfr glan, digymysg. Mae hwn, fel y lleill, yn wahaniaeth na ddylid byth ei anghofio; eto, er y cwbl, mae Mr. E. am gymysgu y taenelliadau a'r golchiadau Iuddewig a'u gilydd, pan y dywed—"Yr oedd y bedyddiadau hyn yn cynwys taenelliadau gwaed geifr a lloi," &c. Nac oeddynt, Mr. Evans; peidiwch a chymysgu y pethau a gadwodd Duw ar wahan mor ofalus. Darllened Mr. E. ei Feibl yn fwy gofalus, a daw i ddeall pethau yn well nag y dealla yn awr. Yr oedd yr Iuddewon a'r cenedloedd o'u hamgylch yn mynych gysylltu y meddwl o drochi â'r gair golchi. Pan y gorchymynodd Eliseus i Naaman ymolchi, aeth ac ymdrochodd saith waith. Prawf yn yr engraifft hon mai trochi a ddeallai y prophwyd a'r cadfridog wrth y gair golchi. Dywed A. Clark yn niwedd ei esboniad ar Marc, "Yr oedd bedydd Ioan, yr hwn a fedyddiodd Grist, drwy suddiad yr holl gorph, yr un dull ag y bedyddid person aflan." Sylwa Stephanus, fod *baptizo* yn golygu trochi, fel y byddwn yn trochi pethau i'w lliwio neu eu glanhau. Dywed Joseph John Gurney, "Fod bedydd Ioan a'r apostolion yn hollol yr un fath a'r golchiadau Iuddewig yn y prif beth, sef trochiad mewn dwfr." (*Haynes Bap. Den. p. 137.*) "Yr oedd bedydd yr Iuddewon yn cael ei gyflawni drwy drochiad, felly hefyd yr oedd bedydd Ioan, ac nid oes yr un amheuaeth, beth bynag, nad felly y gweinyddid bedydd gan y Cristionogion cyntefig." I'r un

perwyl y tystiolaetha Mickelus, Vatablus, Grotius, Stark, &c.; ond rhaid i mi adael eu tystiolaethau hwy ar ol, i ochel meithder, gan fod tystiolaethau Rabbiaid Iuddewig yn fwy pwysig ar bwnc fel hwn. Rabbi Maimonides, yr hwn sydd yn un o'r awdurdodau goreu, os nad y goreu ellir gael ar y defodau Iuddewig, a ddywed: "Pa bryd bynag y sonir am olchi cnawd neu ddillad yn y gyfraith, nid yw yn meddwl dim arall ond suddiad yr holl gorph yn y drochfan, baddon, oblegid os bydd i ddyn soddi ei hun i gyd drosto oddieithr blaen ei fys, mae efe eto yn ei aflendid; mae pob un a fedyddir (fel y gwnant ar eu dyfodiad o'r farchnad), i drochi'r holl gorph mewn baddon, *laver*, a ddaliai 40 *sheahs*, (sef can' galwyn), o ddwfr, pob person halogedig a soddai ei hunan, ac ynddynt y soddent bob llestr aflan—gwely, os byddai wedi ei lwyr halogi, os soddir ef, ddarn ar ol darn, a burir. Os soddir gwely mewn llyn, er fod y traed yn soddi yn y clai tew yn ngwaelod y llyn, mae yn lân. Pa beth a wneir gyda gobenydd neu *bolster* o groen? Rhaid ei soddi a'i godi fyny wrth yr ymylau (*fringes*)." (Gwel Adkins, p. 108.) Dywed Eliezer, offeiriad Iuddewig, ar Num. 31 : 22, "Fod cyfraith Moses yn ordeinio i bob peth allai oddef y tân, i gael ei dynu trwy y tân, a bydd yn lân; a phob peth na all oddef y tân, i gael ei dynu trwy y dwfr." Dywed Mr. E., "Wrth fedyddio byrddau mae i ni ddeall, eu bod yn cael eu golchi â dwfr, neu eu bod yn taflu dwfr arnynt." A glywodd neb erioed son, ond gan Mr. E., fod yr Iuddewon yn golchi dim mewn ffordd seremoniol drwy daflu dwfr arno? Pe yr un peth fuasai haeru pethau, a'i profi, buasai Mr. E., fel y dywedodd un o'i frodyr am dano, "yn ddadleuwr diguro." Ond mae ei haeriadau yn syrthio i ddiddymdra yn ngwyneb yr awdurdodau a enwais."

—Ymdawela wrth wneuthur yr hyn sydd dda, a gad i eraill siarad am danat yr hyn a fynont.

## GWEDDIO FEL MODDION CYHOEDDUS

GAN Y PARCH. LL. REES, JOHNSTOWN, PA.

*Atebiad i Ofyniad J. W. Edwards, yn y "Wawr" am Hydref.*

Pa un a fyddaf iawn gyda golwg ar eich meddwl yn y gofyniad a'i peidio, cymeraf yn ganiataol mai eich meddwl yw, "gweddio fel moddion cyhoeddus," i'r byd, ac nid i'r eglwys: h. y., a gosod yr hyn y crefwch sylw arno yn y ffurf o ofyniad, yn ol fel y dyfalaf eich meddwl, ymddengys fel y canlyn: A yw yn iawn cynal moddion gweddio yn gyhoeddus i'r byd, ai nad yw? Os ydyw, pa beth yw dyben y moddion gweddio?

Gyda golwg ar y cyntaf, dywedaf, Er nad oes ffurf (*formula*) o gwrdd gweddi yn y Testament Newydd, eto crybwyllir llawer ynddo am weddio. Yn yr oll a siadadir am weddi yn y Testament Newydd, ac yn wir yn yr Hen, cawn yn amlwg i'n meddwl fod iddi ddwy agwedd:

1. Yr agwedd o weddi hunan-ffrydiol (*spontaneous*), heb ragddysgwyliad na rhagdrefn. Cymerai y weddi hon le pan fuasai achos arbenig wedi cymeryd lle, neu i gymeryd lle, yn galw am dani. Gweddi oedd hon o dan gynhyrfiad y foment — math o saethweddi. Fel engreifftiau o'r weddi hon, cymerer y rhai a ganlyn: gweddi Jacob yn yr ymdrech yn Peniel, wedi clywed fod Esau yn dyfod—gwaedd Moses wrth y Môr Coch—gweddi y llanc-filwr Dafydd pan ar wynebu Goliath—gweddi Simeon pan oedd y baban yn ei freichiau—eiddo Crist yn yr olwg ar yr "awr" wedi dyfod—ei weddi ar y groes—gweddi Stephan—gweddi yr Apostolion wedi eu gwaredigaeth o flaen y Cyngor—gweddi Paul a Silas yn y carchar; ac eiddo yr eglwys yn nhy Marc ar ran Pedr, cyn hyny. Hyd y gallaf weled yn awr, nid oes dim yn amgylchiadau y gweddiau uchod a brawf o angenrheidrwydd fod neb o'r rhai a elwir "rhai o'r byd" yn clywed. Gallwn i, yn ol y ddoeth-

ineb hynod gyfyngedig ddynol a feddwyf, farnu yr atebasai bwrpas da i elynion Crist a'r eglwys, fod wedi clywed y gweddiau uchod, fel y gallasent weled cysylltiad pwysig pethau; fel y gallasent weled mai canlyniad y weddi oedd y wyrth amlwg a'r llef hyglyw. Pe buasai yn mwriad y Goruchaf Dduw i gyflawni gwyrth ar gorph ein hanwyl Garfield, gallwn feddwl y buasai o bwys i'r byd, nid yn unig i wybod fod yr eglwys yn gweddio drosto, ond hefyd wybod y weddi. Ond gwir dilys yw, "Nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi," &c. Dywedaf eto nad oes dim yn amgylchiadau y gweddiau uchod i gyd, ac eithrio y weddi gyffredinol yn ffafr ein hanwyl Arlywydd ymadawedig, a brawf, o angenrheidrwydd, i neb ond y *parties concerned* eu clywed.

2. Yr ail agwedd i weddi yw yr un barhaus, am yr hon y mae achosion parhaus yn galw. Ychydig o engreifftiau: Yr oedd angen parhaus am "Weddi yr Arglwydd" ar y dysgyblion, hyd farwolaeth Crist—gweddiau Crist ar y mynydd yn y nos—y dychweledigion ar ddydd y Pentecost a aethant yn naturiol i weddio—cefnogid yr arferiad o weddio, drwy i Pedr gael y weledigaeth pan wedi gweddio, a Chornelius gael cenadwri angelaidd ato mewn canlyniad i'w weddiau a'i elusenau. Anogai yr Apostolion yr eglwysi i weddio—i weddio yn ddibaid. Ni welaf ddim yn anogaethau Paul i'r Corinthiaid Cristionogol gyda golwg ar weddio, yn dangos, o angenrheidrwydd, ei fod yn golygu i'r gweddiau ddylanwadu ar anghredinwyr allent fod yn bresenol.

Yn awr, yn wyneb y golygiad uchod ar weddi, priodol gofyn yn nesaf, Beth yw dyben gweddi? Os nad yw gweddi, wrth ei chlywed, ac am ei bod yn cael ei chlywed, ei deall a'i theimlo, i effeithio yn dröedigaethol ar wrandawyr, i ba beth y mae da?

1. Yn nacaol. Ymddengys ar ryw ystyriaethau cryfion, na fwriadwyd y weddi ynddi ei hun, h. y., gweddi yr eglwys, i achub y gwrandawyr. Os bydd iddi wneyd hyn, ystyriwn, nad o herwydd ei bod yn weddi y gwna hyn, ond am ei bod yn foddion adseiniol i wirionedd yr efengyl. Ar yr un cyfrif y mae pregeth, a gall breuddwyd, o dan fendith Duw, fod yn foddion achub. Yn y trefniant dwyfol awdurdodedig i achub, fel y ceir ef yn y Testament Newydd, gwel y craffus na fwriadwyd gweddi, fel y cyfryw, i fod yn foddion i achub y byd o anghrediniaeth. Sut y darllenir? Nid, Ewch a *gweddiwch* yr efengyl! Gwel y byraf ei ddeall y camsyniad. "Ewch a *phregethwch*," neu, "Ewch a *dysgwch*," &c., yw y cywir. Ni chawn hanes yr Apostolion a'r Efengylwyr cyntefig yn eu hymlyniad wrth y comisiwn mawr, yn ymddangos o flaen cynulleidfa fel gweddiwyr, ond fel pregethwyr neu ddysgeidwyr y bobl. Ni wnaent hwy un amser *parade* o weddi. Pan bregethent hwy, cadwent bwrpas pregethu yn y golwg; a phan weddient, gweddient i bwrpas ordeiniedig gweddi. Ai nid yw yn amlwg iawn fod llawer o eglwysi, yn neillduol y rhai di-arian, wedi colli golwg hollol ar ddyben gweddi? Nid yw gweddi ond rhywbeth—careg lanw yn y mur! Os bydd y drysorfa yn ddigon cryf i gael pregethwr doniol, ni fydd cwrdd gweddi o werth; ond os na fydd "dy was" i'w gael, cynelir cwrdd gweddi fel pe b'ai yn ddim ond esgus dros agor drysau yr addoldy! Nid oes hawl gan y weddi i drawsfeddianu lle y bregeth—bydded y Beibl yn farnwr. Yn wyneb hyn medda rhywun, "Pa beth a wnawn pan fyddwn yn rhy dlawd i gael pregethwr?—rhaid i ni beidio agor yr addoldy, neu gadw cwrdd gweddi!" Dywedaf yn ddiofn, mewn atebiad, y dylid yn hytrach na gwneyd peth mor bwysig a gweddio yn rhywbeth i gadw lle peth arall, mewn siomedigaeth, beidio agor y capel o gwbl y pryd hwnw. Ond atolwg, pa achos i un eglwys, pan wedi ei siomi o bregethwr urddedig neu anurddedig, i fod heb gwrdd a siarad addysgiadol, os nad yw yr eglwys yn ieuanc iawn? Pa ddyben cael pregethu da am flynyddau, os nad yw y bobl yn dysgu? Pa reswm sydd i ddiaconiaid ac aelodau eraill i ymgymeryd a mesur a phwyso talentau ac athrawiaeth pregethwr, os

nad ydynt yn ddigon dysgedig yn yr efengyl i adeiladu y frawdoliaeth yn absenoldeb pregethwr? Beth ddywedai un tad chwaethus pe gwelai ei blentyn, ar ol bod yn yr ysgol am flynyddau, yn methu bod yn dipyn o athraw ei hun? Yn sicr mae hyn yn iselhad mawr i'r dysgybl neu i'r ysgol, os nad yn wir i'r ddau! Ai nid yw ymddygiad presenol llawer o eglwysi, gyda golwg ar y mater dan sylw, yn gynyg cryf at dori cymeriad ysgol Iesu Grist, neu gymeriad diaconiaid ac aelodau blaenllaw llawer o eglwysi!

Mae elfenau gwrthdarawol iawn yn ymddygiad, braidd na ddywedaf yr holl eglwysi, gyda golwg ar berthynas cwrdd gweddi a'r gwrandawyr anghrediniol.

(1.) Gellir meddwl nad ydys yn golygu i'r gweddiau gael effaith ddealltwriaethol ar un gwrandawr, oblegid dywedir, "Na fydded yma un gwrandawr gweddi ond dy hunan." Yr hyn feddylir, mae'n debyg, yw, Na fydded yr un beirniad gweddi ond dy hunan. Pa fodd y gall dyn dderbyn effaith oddiwrth beth ar gyfrif y meddwl sydd ynddo, heb ddeall y meddwl?—a pha fodd y gall dyn ddeall unrhyw beth heb feirniadu? Mae pob bôd rhesymol, i'r graddau y dealla, yn feirniad. Na, gyfeillion, yn nghyflwr presenol pethau, pan mae cynifer mor barod i ofyn tân o'r nefoedd ar ben rhai, yn gystal a manna ar eraill; pan mae cymaint o ofyn pob peth megys ar un gwynt gan y dwyfol Fôd, mae angen beirniadu. Mae yr hwn a ddefnyddia y geiriau, "Na fydded yno wrandawr gweddi ond dy hun," yn golygu mai anifeiliaid sydd yn bresenol i gael effaith oddiwrth swn, ac nid sylwedd; neu ynte nid yw yn ystyried beth mae yn ddweyd; mae ei eiriau yn ddisylwedd, ac felly yn segur.

(2.) Gellir meddwl y golygir i'r weddi, fel y cyfryw, i gael effaith uniongyrchol ar y gwrandawr; oblegid, (*a*) Anogir gwrandawyr i ddod i'r cyfarfod. (*b*) Trefnir i'r gweddiwr doniolaf fod yn olaf. Gellir meddwl y dysgwylir i'r gwrandawr fod y1 "wrandawr" neu yn feirniad gweddi, oblegid, (*a*) Cedwir mewn rhai manau gwrdd gweddi (trefn dda) i *drainio* at y cwrdd gweddi mawr, drwy "arfer doniau." (*b*) Siarad â dyn, addysgu dyn am Dduw, am dano ei hun, am ei gymydogion, am yr hyn a wyr, a llawer mwy ar yr hyn na wyr, yw llawer o weddi rhai, ac nid arllwys ei deimlad drylliog i Dduw, yn gystal a cher bron Duw! Mae yr un mor reidiol beirniadu pregeth yn nghymeriad gweddi, ag yn ei gwir gymeriad ei hun.

2. Yn gadarnhaol. Ymddengys mai dyben gweddi yw · (*a*) Dwyn dyn neu yr eglwys i stâd meddwl ymostyngar ger bron y Tad nefol. Mae ymarferiad o dan egwyddor iawn yn dwyn dyn dan gyffroad. Mae llawer wrth gychwyn gweddio, er yn meddu egwyddor o ymlyniad wrth Dduw, eto ar y pryd yn amddifad o deimlad fel y dymunent; ac wrth droi meddyliau gweddi o'u mewn, ac nid wrth waeddi, screchain, a chwysu a chrygu, a gawsant nofio mewn teimlad cyn tewi. (*b*) Fel y cyfryw gosod dyn mewn cyflwr addas i gyfarfod arfaethau Duw. Pan mae y Cristion yn y teimlad hapus uchod, mae ymwybyddiaeth yn dod i'w galon ei fod yn gofyn, yn curo, ac yn ceisio yn wirioneddol; fel y cyfryw, o dan y cyffroad a ga drwy yr ymwybyddiaeth uchod, mae ei ffydd megys yn ail gydio yn addewidion yr efengyl, nes mae sicrwydd yn dod i fewn i'w galon y bydd i'w Dad Nefol ateb ei weddi. (*c*) Nid *parch* yw gweddi, ond cyfrinach y Cristion neu yr eglwys â Duw—yr eglwys yn dweyd ei *secrets* wrth ei Phen. Nid yw o bwys i'r wir eglwys pan yn gwir weddio a fydd un gwrandawr yn ei chlywed yn gweddio; mae ei nerth hi—effeithiolrwydd ei gwasanaeth gweddigar—yn dibynu ar fod Duw, ac nid y gwrandawyr, yn clywed. Credwyf y bydd yn well i, ac ar, yr eglwys, pe byddai yn fwy *shy* i ddweyd ei *secret* teuluol yn nghlyw rhai na chânt ddyddordeb ynddi.

Dyna i chwi, anwyl frawd, yn rhydd a rhwydd, yr hyn heb un ymgais at newyddiaeth, &c., a ymgynygia i'm meddwl. Gobeithio y bydd hyn yn gydweddol a'ch barn, ac y bydd hyn o siarad, oblegid felly yr ystyriwyf ef,

yn foddion i arwain arweinyddion yr eglwysi i roddi eu lle priodol i'r weddi a'r bregeth. Cofier, nid rhywbeth i ladd amser, pan na ellir cael pregethwr, yw gweddi. Wrth ieithwedd yr Ysgrythyr gellir meddwl i'r weddi gael ei bwriadu yn foddion cymdeithasiad rhwng yr eglwys a Duw, a'r bregeth yn foddion yr Ysbryd Glan i gael rhai o'r byd i'r eglwys, a thrwy hyny i ddal cymdeithas weddigar a Duw.

## DYLEDSWYDD CRISTIONOGION AT YR YSGOL SABBOTHOL.

Mae y Bedyddwyr, fel corph, o flaen yr oes. Nid ydym yn barnu y Bedyddwyr fel pobl yn well nac yn waeth na rhyw blaid arall; ofnwn eu bod yn mhell yn ol mewn llawer o bethau, megys yr ysgol Sabbothol, a thrysori gair Duw yn y cof, ond pethau a ddiwygir gydag ymdrech ac amser; ond yn yr ordinhadau y maent yn gyson â gwirionedd Duw. Y maent yn llai mewn nifer na rhai enwadau eraill; ac o herwydd eu ffyddlondeb i beidio gwyro uniawn ffordd yr Arglwydd yn yr ordinhadau, dyoddefasant a dyoddefant yr anmharch a'r erledigaethau trymaf. Mae ein hegwyddorion yn galw arnom i feithrin mwy o ysbryd cyhoeddus. Nid yw yn ddigon i ni foddloni, trwy ddweyd fod genym yr egwyddorion goreu; eithr y mae yn angenrheidiol i ni eu dwyn i sylw y byd mewn trefn i ddynion deimlo eu bodolaeth. Mae eisiau mwy o undeb a brawdgarwch yn ein plith; a heb ein bod yn meithrin mwy o ysbryd undebol a brawdol, nis gallwn byth wneyd llawer oddi allan i ni, a dwyn y byd i deimlo ein dylanwad. Dylai undeb, cariad a brawdgarwch, ein nodweddu yn anad un enwad crefyddol, gan fod ein hegwyddorion fel Bedyddwyr megys yn gwingo am fyned yn y blaen; eu llais yw, "Awn a meddianwn y wlad." Y mae genym ddigon o dalentau a chyfoeth, ond eu defnyddio, i gario allan ein hegwyddorion i bob cymydogaeth. Os edrychwn o'n hamgylch canfyddwn fod pawb yn ymdrechu ac yn gweithio mwy na ni. Mewn gwirionedd, gweithgarwch a sel enwadau eraill sydd wedi, ac yn eu cadw yn fyw; ond mae ein bywyd, ein nerth, a'n llwyddiant ni i'w briodoli yn fwy i'n hegwyddorion nag i'n gweithgarwch a'n sel. Gan hyny deffrown i deimlo mwy o ddylanwad natur ac ysbryd ymosodol egwyddorion ein crefydd.—Gweithiwn, ymdrechwn, ac awn yn y blaen i feddianu y ddaear i Fab Duw. Mae'r ddaear yn galw am "y gwirionedd," ac mae y nefoedd am iddi ei gael; a thrwy ei eglwys y mae Duw wedi bwriadu ei roddi iddi. "Canys y gyfraith a â allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem." Ni ddylai un diwrnod fyned o'n gafael heb i ni wneuthur rhywbeth yn egniol er dysgyblu ein plant; ac i'r ewyllysgar a'r ymroddgar mae pob diwrnod yn esgor ar luaws o gyfleusderau i'w hyfforddi yn llwybrau uniondeb a sobrwydd. "Canys mi a'i hadwaen ef," medd Duw am Abraham, "y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffordd yr Arglwydd, gan wneuthur cyfiawnder a barn." Pwy all ddatgan y filfed ran o'r daioni a effeithiwyd gan yr hen batriarch wrth egwyddori ei blant?—daioni ag ydoedd yn dylanwadu ar gymdeithas yn yr oesau dilynol, a thrwy yr oesau hyd heddyw, fel y gellir dweyd am dano. er wedi marw er's oesau lawer, ei fod "yn llefaru eto."

Ychydig a wneir er sefydlu gwybodaeth Gristionogol yn y genedl sydd yn codi. Y mae y plant, trwy y manteision sydd yn ei meddiant, yn dyfod yn wybodus mewn llawer o bethau; ond nid ydyw eu gwybodaeth Feiblaidd yn gyfatebol. Ai gormod dweyd fod yr oes oleu hon yn oes dywyll mewn gwybodaeth Ysgrythyrol. Dim ond darllen hanes cyfarfodydd adroddiadol yr ysgolion Sabbothol yn y WAWR, y naill rifyn ar ol y llall, maent yn ddigon i ddangos i bob dyn, na wyddant ddim am addysg Ysgrythyrol—dim ond canu ac adrodd, ac y mae arnaf gywilydd dweyd beth, gan ddeiliaid yr ysgo Sabbothol. Diwygiwch, frodyr anwyll

Carwn gael gwybod trwy y WAWR, a oes rhai o'n hysgolion yn dysgu rhyw Holwyddoreg? Y mae llawer ar gael yn yr Hen Wlad, sef un Dr. Prichard, J. Simon, T. Lewis, Catecism y Bedyddwyr, Hanesiaeth y Beibl, a llawer yn ychwaneg. Er mwyn cysondeb, frodyr, goddefwch i mi ymresymu â chwi am fynyd. Trwy ba un o'r ffyrdd canlynol yr ydych yn dysgwyl i Dduw ateb eich gweddiau? Ai trwy weithio heb foddion?—neu ynte trwy i chwi ddiwygio, a defnyddio moddion?—neu trwy i Dduw eich galw chwi i'r farn, a gosod rhai eraill a weithiant yn well na chwi yn eich lle? Trwy ba un o'r ffyrdd yna y dysgwyliwch i Dduw lwyddo ei achos? Fe fyn weithio a llwyddo trwy un o honynt, "oblegid rhaid iddo deyrnasu."

Y maes sydd i ni weithio ynddo yn awr yw yr ysgol Sabbothol; oblegid hi yw planhigfa yr eglwys. Gadewch i ni weithio yn awr, gan fod yr amser yn agoshau pan y cawn ddigon o orphwys. Meddyliwch am yr achos gogoneddus sydd yn ein cymhell i'r ymdrech diorphwys hwn—iachawdwriaeth eneidiau. Cyn y gallwn fod yn gyson a'n proffes mae yn rhaid i ni fod yn ymdrechol o blaid yr ysgol Sabbothol. Os Cristion, rhaid ei fod yn ganlynwr i Grist. Un o brif nodweddiadau Crist yw Athraw neu Ddysgawdwr y rhai bychain. Os credwn fod ein hegwyddorion yn ol y gwirionedd, oni ddylem eu planu yn nghalonau y plant, ac oni ddylem egwyddori pawb a allom ynddynt? Lle bynag y gwelir yr ysgol yn flodeuog, a phob Cristion yn fywiog gyda hi, gellir penderfynu fod yno fywiogrwydd gyda holl ranau crefydd. Mae rhai, o safle a dylanwad yn ein heglwysi, a allant wneuthur llawer fel ymwelwyr, tra nad yw yn gyfleus iddynt i wneyd ond ychydig gyda gwaith mewnol yr ysgol. Dylai pawb fod yn ffyddlon yn ol eu gallu a'u hamgylchiadau i gydweithredu yn yr anturiaeth bwysig hon. Wedi cael y plant i'r ysgol, y mae yn angenrheidiol wrth gorph o athrawon ac athrawesau i'w hyfforddi yn mhen eu ffordd. Mae egwyddori plant yn ngwirioneddau yr efengyl yn waith pwysig, ac yn waith nad yw pawb, er yn grefyddol, yn medru arno. Dylai yr eglwys, gan hyny, fod yn ofalus, hyd ag y mae yn ddichonadwy, i gael rhai cymwys i ymaflyd yn y gorchwyl hwn—rhai cyfarwydd yn yr Ysgrythyrau, selog dros y gwirionedd, ac yn feddianol ar ddawn i ddysgu eraill. "Ffydd heb weithredoedd marw yw."

*Delta, Pa.* WM. J. THOMAS.

---

## GOHEBIAETH O GYMRU.

Llawer o siarad ac ysgrifenu a fu o barthed cael cyfieithiad diwygiedig o'r Ysgrythyrau i'r Gymraeg. Penodwyd pwyllgorau ar y mater gan y Bedyddwyr, y Methodistiaid, a'r Eglwys Sefydledig, ond nid oes dim wedi ei wneyd eto mewn modd cyffredinol, ac ofnwyf, yn ol yr arwyddion presenol, na wneir dim. Anhawdd iawn ydyw cael yr Eglwyswyr i gydweithredu â'r Ymneillduwyr mewn un mudiad cenedlaethol, ac felly rhaid i'r genedl ddyoddef colled.

Bydd yn dda gan lawer o Fedyddwyr ddeall fod Mr. H. Humphreys, Caernarfon, ar ddwyn allan argraffiad o'r "Oraclau Bywiol," sef gwaith y diweddar ysgolhaig addfed ac enwog John Williams. Golygir yr argraffiad presenol gan y Parch. Owen Davies, Caernarfon, a bwriada ysgrifenu nodiadau rhagarweiniol helaeth ar yr awdwr a'i waith. Buasem yn caru cael nodiadau min-ddalenol, yn dangos darlleniadau diwygiedig mewn rhai manau, oblegid mae MSS. pwysig iawn wedi eu darganfod er yr adeg y cyhoeddwyd y gwaith gyntaf, ac y mae beirniadaeth Feiblaidd wedi rhoddi camrau breision iawn yn mlaen er yr amser hwnw; ond bydd i'r gwaith brofi fod John Williams yn mhell o flaen mwyafrif ei oes, a dichon, ar y cyfan, fod manteision trymach wrth gadw yn hollol at ei waith ef. Credaf y bydd llawer o Gymry America yn falch o feddianu y trysor llenyddol hwn.

Ystyriaf fod cyflwr ein henwad yn y Dywysogaeth yn bresenol yn iachus ac

addawol iawn. Y mae yn debyg na bu erioed o'r blaen y fath nifer o weinidogion sefydlog dan ofal eglwysi. Nid oes ond ychydig nifer o eglwysi yn weigion; ac mewn gwirionedd gwyro i'r cyfeiriad arall sydd—y *supply* yn fwy na'r *demand*. Mae nifer y pregethwyr cynorthwyol yn lluosog iawn, a nifer yr ymgeiswyr am fynediad i'r athrofeydd yn llawer mwy na'r lle sydd ar eu cyfer. Mae hwn yn bwnc sydd yn cael ei wyntyllio i raddau yn *Seren Cymru;* ond y mae amryw agweddau o hono eto heb gael sylw priodol. O herwydd y cyfyngder amaethyddol, a'r caledi masnachol sydd yn llethu y wlad er's rhai blynyddau bellach, teimla llawer o'r eglwysi bychain anhawsder i ddal eu tir a chynal gweinidogaeth gyson. Gresyn na byddai i ragor o'r cyfryw ymuno â'u gilydd i gynal gweinidogaeth sefydlog; ac y mae yn chwith genym hefyd am y brodyr da a fuont yn wasanaethgar iawn i'r eglwysi tra ar yr un pryd yn dilyn eu galwedigaethau tymorol. Byddai yn dda i'r eglwysi bychain gael brodyr o'r dosbarth yma eto.

Mae cofiant eto wedi ymddangos i'r enwog Christmas Evans; Paxton Hood yw yr awdwr, ac nid oes achos dweyd mai yn Saesoneg y mae. Mae yn llyfr trwchus, 420 o du dalenau, ac yn hynod ddyddorol a darllenadwy. Da genyf gael cyfleusdra unwaith yn rhagor i dreulio ychydig amser yn nghwmni yr hen bregethwr dychymygol ac enwog. Yr oedd yn ddyn i'w oes, ac yn gymeriad bendigedig. Cwynir weithiau nad oes genym neb fel efe ac eraill erbyn hyn, ond sicr yw fod cystal pregethu yn awr yn Nghymru ag a fu erioed. Tyfu y mae dynion da a phregethwyr enwog, a hyny yn raddol, a cheir yr hen yn mhob cenedlaeth yn cwyno nad yw y rhai presenol fel y cewri gynt, tra y bydd yr ieuanc yn meddwl mai y rhai sydd yn awr ar y maes ydynt y penaf.

Sonia y Parch. A. J. Parry am gyhoeddi misolyn newydd, dan yr enw "Y Pwlpud," at wasanaeth pregethwyr yn benaf; addawa hefyd gyfrol o bregethau, am y rhai mae llawer o ddysgwyliad, gan fod ei allu mor hysbys.

Yn ystod cyrddau yr Undeb gwerthid cyfrol o bregethau y Parch. R. Hughes, Maesteg, Pwlpud y Plant, gan Rhosynog, Hanes y Waldensiaid, gan y Parch. J. Jones, Felinfoel, ac efallai lyfrau eraill nad wyf yn awr yn cofio. Gwelir fel hyn fod y wasg yn cael ei defnyddio yn helaeth gan ein brodyr.

Mae y brodyr canlynol wedi eu neillduo, neu ar gael eu neillduo i waith y weinidogaeth yn y Gymanfa hon: P. Williams, yn Abergele; E. Jones, yn Helygen; D. Williams, yn Llangollen; C. Roberts, yn Abermaw, a D. Evans, yn Dolgellau.

H. CERNYW WILLIAMS.

*Corwen, Hyd. 21, 1881.*

---

## ADLEF O WELY ADFYD.

GAN Y PARCH. D. E. BOWEN.

*Llith II.*

DUWIOLDEB AC ADGOFION.

MR. GOL.—Mae fy mhen yn gydwastad yn bresenol, a'r meddwl wedi dychwelyd o'i wibdeithiau, a'i ddarostwng i ufudd-dod Crist.

"Un peth sydd angenrheidiol; a Mair a ddewisodd y rhan dda, yr hon ni ddygir oddi arni."

Dichon na fydd fy nyfyniadau Ysgrythyrol yn gywir yn ol y cyfieithiad cyffredin, canys nid oes un llyfr Cymreig o fewn milldir i mi, am a wn i. Y mae genyf gystal hawl ag eraill i wneyd cyfieithiad newydd; canys dyna yw trefn y dydd.

Duwioldeb yw y peth angenrheidiol, a'r *un* peth angenrheidiol; ac yn y peth hwnw yr ydym ni fwyaf diffygiol yn yr oes hon. Tuedd arwynebol sydd ynom; math o efelychiad sydd genym o bob nwyddau, ac nid y gwreiddiol. Job a ddywedai, "Gwreiddyn y mater a gaed ynof." Efelychiad o grefydd, rhith duwioldeb. O, elfenau gwael! Mae ein palasau yn edrych yn orwych oddi allan, ac ar gynllun Rhufeinaidd, Groegaidd, a Gothaidd. Y diffyg yw

nad oes un sylfaen danynt ond tywodlyd ddynol haeddiant. Bydded i ni gloddio am "Graig yr Oesoedd" o dan ein henaid gwerthfawr; ni syflir hon gan ruthr angeu du. Mae genym ledrith y pethau mwyaf difrifol. Rhith angladdau, gwawd-alarnadau, a holl ffurfiau Pabyddol a Phaganaidd y byd anwaraidd. Dywedir fod rhith angladdau a chanwyllau cyrph yn Nghymru cyn dyddiau Dewi Sant. Ond y maent yn dyfod allan yma yn wyneb haul a llygad goleuni. Yn mhlith y miliynau o frysebau a anfonwyd oddiwrth glaf wely ein teilwng ddiweddar Arlywydd, ni chlywais am yr un sydd yn datgan ei brofiad crefyddol, ei ffydd yn aberth iawnol Iesu, a'i hyder gryf am fynedfa i'r "orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw." Credwyf fod yr Arlywydd Garfield yn Gristion, a'i fod wedi egluro hyny mewn bywyd a buchedd, yr hyn sydd annhraethol well nag edifeirwch gwely angau; eto hyderwyf ei fod wedi cofnodi ei dystiolaeth o blaid gwir grefydd a grym duwioldeb yn yspaid ei hir gystudd.

Teimlwyf fod fy enaid wedi adnewyddu mewn duwiolfrydedd yn y cystuddiau presenol. "Cyn fy nghystuddio yr oeddwn yn cyfeiliorni; yna dysgais gadw dy gyfraith di." Yr ydwyf wedi treulio dau fis o unigedd brawychus; ond mae yr Iesu ffyddlon wedi bod yn gydymaith i mi; a dychymygwyf fod ysbrydion y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd yn chwareu eu hedyn gwynion o'm cwmpas. Mae peraroglau'r gwledydd draw yn chwythu arnaf; diau fod y wlad gerllaw. "Nid oes ond cam rhyngwyf ag angau," ebe rhyw un; ond nid oes ond modfedd rhyngwyf fi ag angau. Awst 27ain! —dyna ddiwrnod tywyll du, byth-gofiadwy i mi! Ond gan fod Duw wedi achub fy mywyd o safn marwolaeth, ac wedi agor calonau ei blant i fy nghynal yn fy nghystudd, oni thraethaf ei glodydd byth ac yn dragywydd?—Gwnaf, rhoddaf brydnawn-ddydd bywyd i ganmol y gwr fu farw dros bechodau y byd. Cymellaf bechaduriaid i gredu yn y Mab mawr, ac i ymofyn noddfa yn "y man sy'n ymyl Duwdod, i bechadur wneyd ei nyth." Ac os na chaf droedio daear Duw eto, mi bregethaf Grist trwy yr argraffwasg. Y wasg yw y pregethwr rhataf, ffyddlonaf, a mwyaf di-dderbyn wyneb yn y byd. Rhydd i ni y bregeth oreu a draddodwyd yn Llundain erioed am geiniog; ac ā i mewn i filoedd o fythod lle ni chlywyd llais un pregethwr arall erioed. Gwna i Spurgeon bregethu i filiynau bob wythnos, mewn tafodieithoedd na wyr efe air o honynt. Ond y mae y wasg wedi eu dysgu. Y mae genyf haner cant o bregethau yn barod i'r wasg, pe byddai genyf fodd i'w cyhoeddi.

Yn unigedd y nosweithiau hirion hyn, mae fy meddwl yn llamu dros gyfnod fy arosiad yn y wlad hon, o'r fl. 1841 hyd yn bresenol. Canfyddaf fintai o gewri dan eu llawn arfau yn myddin yr Oen. Ond heddyw maent yn gorwedd yn y bedd anghofus du. Mae eu henwau yn werth eu hargraffu yn y graig dros byth, â phin o haiarn ac â phlwm." "Perarogl Crist oeddynt i Dduw." David Michael, Jesse Jones, John Stephens, Robert Everett, William Rowlands, James Harris, David Price, Morris Roberts, James Griffiths, William Richmond, John Davies, William Morgan, William Owens, Rees Davies, Jones Davies, David Phillips, E. B. Evans, J. E. Davies, Lewis Williams, Howell Powell, Benjn. Bowen, P. L. Davies. Gwnaf sylwadau ar rai o'r cymeriadau llachar uchod mewn llithiau dyfodol; ond terfynaf y waith hon gyda deigryn ar fedd anamserol yr olaf a nodais. Cewri Gwalia oedd y rhes uchod gan mwyaf, wedi croesi y weilgi yn eu llawn nerth a'u harfau yn loew. Ond am P. L., gwron Americanaidd oedd efe. Gwir iddo gael ei eni, ei fagu, a'i ail-eni, yn Mlaenau Gwent, Mynwy, D. C. Talodd warogaeth i eirchion y Ceidwad mawr yno hefyd; yn cael ei arwain yn llaw yr hynafieithydd hyglodus, y llenor addfed, a'r beirniad treiddgar, yr anfarwol Nefin, y Parch. Wm. Roberts, LL. D. Anrheg y llanc bychan hwn i'w dad ysbrydol ydoedd y radd anrhydeddus LL. D., yn mhen blynyddoedd dyfod-

ol. Dengys hyn adgofion lled dda, ac y mae yn ddangoseg hefyd o ddylanwad yr hogyn hwn ar Brif-ysgol Lewisburgh, Pa., lle y rhoddwyd y teitl. Daeth P. L. drosodd pan yn ieuanc, gyda ei ewythr, yr hwn a'i dygodd ef i fyny yn y teulu fel ei eiddo ei hun. Aethant i weithio yn y glo yn Swydd Schuylkill; ond buan y canfyddodd llygad craffus y Parch. William Morgan flagur doniau y llanc yn tori allan, ac yn ei ddull tadol a meithringar efe a'i hanogodd i'w gwrteithio. Profodd y gwr ieuanc ar unwaith fod y peth o Dduw; a rhoddodd yr eglwysi bob cymorth iddo oedd yn eu gallu. Dechreuodd ar ei fyfyrdodau yn ddioed, gan ymbarotoi ar gyfer yr athrofa. Yn mhen enyd agorodd Prif-ysgol Lewisburg ei dorau iddo, ac aeth i mewn i gelloedd dyfnion gwybodaeth glasurol a duwinyddol. Ni chafodd nemawr o'r dysgedigion uchod fanteision colegaidd; ar fronau yr ysgol Sul y magwyd hwynt. Pa fodd, ynte, y daethant yn ddysgedig? Geilw y Sais hwynt yn "*self-made men*;" ond brawddeg ddisynwyr yw hona. Y person a gymerai at hunan-wneuthuriad a wna *job* wael o honi, ac a ddaw allan yn *minus* yn y diwedd. Cafodd y personau hyn eu dysgeidiaeth trwy yr unrhyw gyfryngau ag a ddefnyddir yn y colegau, sef myfyr astud o'r awduron goreu ar bob cangen o wybodaeth.

Nid yw rhoddi manteision colegaidd o un buddioldeb i rai personau. Fel yr oedd Mr. Windy yn siarad yn groch â'r Parch. Robert Hall, unwaith, ebai efe, "Mr. Hall, yr ydwyf wedi graddio mewn dwy *University*." "Aië, yn siwr!" ebai Hall, "yr wyt ti yn fy adgofio am lo o eiddo fy nain, yr hwn a sugnai ddwy fuwch." "Pa fath lo oedd hwnw, Mr. Hall?" "O, syr, LLO mawr ofnadwy ydoedd." Fel y dywed Mr. John Ploughman yn wirioneddol, "Ni ddaw mochyn byth i chwareu yn dda ar y chwibanogl, faint bynag o addysg a roddir iddo."

Ond yr oedd manteision colegaidd o werth annhraethol i wr o athrylith P. L. Davies. Daeth ef allan o'r Brif-ysgol fel un o feibion Anac, a'i gryman wedi ei awchlymu yn barod i'r cynauaf. Urddwyd ef gan y Cymry yn Carbondale, a phregethai haner yr amser i'r Saeson yn Blakeley. Ond rhy gyfyng oedd y lle iddo ef i chwareu ei adenydd eryraidd ynddo. Agorodd rhagluniaeth ddoeth y nef faes eangach o'i flaen yn fuan. Cafodd alwad i Camden, N. J., o dan gysgod dinas fawr y "Cariad Brawdol." Melltenodd ei oleuni yn groes i'r Delaware, a thalodd athrawon mawr Arch Street warogaeth iddo. Chwifiodd baner ei boblogrwydd dros Afon y Gogledd i brif ddinas y Byd Newydd. Cafodd alwad i un o eglwysi Bedyddiedig lluosocaf New York, sef y "Berean Baptist Church." Efe oedd olynydd y cawrfil corphorol a meddyliol mwyaf ar y cyfandir, sef y Parch. John Dowling, D. D., awdwr amryw o lyfrau dysgedig, yn neillduol "Hanes Pabyddiaeth." Safai y mwnwr main a gwelw yn areithfa y Dr. mawr, gan ei daflu i'r cysgodau ar fyr enyd. Chwareuai ei fysedd meinion ar dannau calonau ei gynulleidfa, "fel telyn Dafydd ar yr wyl." Yr oedd ei areithyddiaeth yn llawer mwy poblogaidd nag eiddo y Doctor, er maint ei ddysgeidiaeth.

Yn y cymanfaoedd Cymreig yma P. L. Davies oedd y *champion*. Er bloeddio, cicio, a screchain ein goreu, Phil. oedd yn cario y gymanfa yn mryd y bobl. Cof am bregeth y "Gwedd-newidiad," yn Minersville, pan ydoedd gwrthddrychau daearol wedi gwedd-newid i agwedd gwyneb y nef; ac Isaac Jones a Thomas Elias wedi dyrysu yn eu penau can waethed a Phedr ar y mynydd, gan feddwl y buasai y golygfeydd per-lesmeiriol yn para byth. Eilwaith, ar Summit Hill, pan yn traethu ar "Ysbrydolrwydd, aberthau, a gwobrwyon yr efengyl," yr oedd y dylanwad yn annhraethol. Eto, yn Carbondale, ar "Fympwyon y werin, a barn y gwir ddysgybl am Grist." Campus! — *model sermons!* Ond P. L., nid yw mwyach; machludodd ei haul cyn cyrhaedd y cyhydedd. Boed heddwch i'w lwch.

*Hospital, Scranton, Pa.*

# PAUL YN ATHEN.

GAN Y GOLYGYDD.

## RHIF V.

*Cyflwr meddwl yr Apostol yn yr olwg ar Athen.*

Yn ngalwad Abraham o Ur y Chaldeaid y gwelwn wir grefydd yn troi ei chefn ar y byd cenedlig: yn mynediad Paul i Athen y gwelwn hi yn troi ei gwyneb ato drachefn. Rhwng y ddau amgylchiad nodedig pasiodd y cyfnod maith o bymtheg cant o flynyddau. Yr oedd hwnw yn symudiad o bwys i Abraham ac i'r byd. Yn ddiau meddianid ef ar yr adeg gan deimladau rhyfedd. Gyda grudd wleb ac â chalon drom yr aeth efe allan o'i wlad ac oddiwrth ei genedl. Ond symudiad ydoedd, modd bynag, yr oedd rheidrwydd arno ef i'w wneyd. Yr oedd ei wlad a'i genedl yn ymroi i eilunod, gan adael Duw, ffynon y dyfroedd byw. Arswydai yntau rhag syrthio i'r unrhyw rysedd. Ymddyddanai â'i galon ei hun, gan ddweyd, Nid gwiw dull fel hyn o fyw; O, fy Arglwydd, beth a wnaf?—mae arnaf ofn dy anghofio, a myned yn debyg i'r bobl anhywaith hyn. Syrthiais fy hunan unwaith a dwywaith i'r un camwedd a hwythau; ond yn wir, ni allaf feddwl ymuno â hwy mwyach yn yr eilun-addoliaeth hyllig hwn. Mae yn rhaid i mi ymneillduo—gwell genyf farw na byw yn y modd hwn. Nis gallaf fod yn anffyddlon i'm Duw. Ar hyn dyma alwad ddwyfol: "Dos allan o'th wlad, ac oddiwrth dy genedl, ac o dŷ dy dad, i'r wlad a ddangoswyf i ti." Yn Abraham fel yna teimlai gwir grefydd ei hunan yn rhy wan i wrthsefyll y dylanwadau anghydnaws. Teimlai na fedrai fyw yn y fath le. Echrydai ynddo ei hun wrth feddwl am hyny. Chwiliai am le i ddianc ymaith.—Greddfol deimlai nad oedd yn ddigon cryf i wrthweithio y nerthoedd gwrthwynebol. Yr oedd hyn oll yn iawn, ac yn gyson â'r ewyllys ddwyfol. Yr oedd y teimlad gofidus hwn yn arwyddo elfenau iachus yn nghyfansoddiad crefydd. Trwy yr oesoedd dilynol y gorchymyn oedd i ymgadw oddiwrth y byd cenedlig eilun-addolgar; a phan y troseddid, yr oedd cosbau trymion yn canlyn. Nid oedd crefydd yn y cyfnodau hyn yn meddu ar allu digonol i ymosod ar ddrygau y byd cenedlig. Y cwbl fedrai wneyd oedd dal heb roi ffordd gyda ffasiwn ddidduw y wlad, ac yn fynych methai wneyd cymaint a hyny. Nid anaml yr oedd y gorchymyn yn myned allan, "Deuwch allan o'u canol hwynt, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd." O'r diwedd, wedi hir drigo mewn tir ymneillduaeth, dyma wir grefydd yn myned i droi ei gwyneb at y Cenedloedd. Mae yn awr yn meddu adnoddau a swynion newyddion; y mae yn dwyn gyda hi drysorau ac adgyfnerthion o fyd arall. Am ei thraed mae sandalau arian; gwisg am dani wisgoedd ei gogoniant; mae yn myned allan yn gorchfygu ac i orchfygu—nid i gadw draw mwyach rhag cael diffodd ei goleuni a'i difodi o'r byd. Mae yn myned i'r ymdrechfa, efallai heb ffon nac ysgrepan, ond gydag arfogaeth effeithiol, nid cnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr.

Yn mynediad Paul i Athen y mae gwir grefydd yn ffurfiol yn gwneyd ymosodiad—y rhuthrgyrch cyntaf ar amddiffynfeydd y byd cenedlig. Yr ydoedd ysgarmesoedd bychain wedi bod o'r blaen, ar hyd yr ymylon, ond yn awr y mae taraw i fod ar y brif gaerfa. Meddienid yr angyles nefol yr awrhon gan deimladau cyffelyb yn rhanol i'r teimladau a'i meddianai gynt wrth ymadael o'r hen gartref yn y Dwyrain. Yr oedd elfen alarus yn y teimlad eto. Nid rhyfedd, canys yr oedd yr un drwg mawr, sef eilun-addoliaeth, yn aros o hyd, ond y mae hyn o wahaniaeth; yn nglyn â'r pruddglwyfus yn awr ceir y gobeithiol. Mae meddyginiaeth ar gyfer y clwyf, a chysur ar gyfer yr ofnus. Paul a ddywed, "A Duw wedi esgeuluso amseroedd yr anwybodaeth hon, sydd yr awrhon yn gorchymyn i bob dyn yn mhob man i edifarhau."

*Yr Apostol yn mhlith yr eilunod.*

Mae Paul yn rhoddi y camrau cyntaf er cael golwg ar y ddinas. Y mae yn

ymsymud yn arafaidd a sylwgar ar hyd y prif heolydd. Gwel ar bob llaw wyrthiau celfyddydol. Darllena ystyr pethau o'i gylch. Gan ymgyfodi yn eu hurddas uwchafol mae y cerf-ddelwau a'r temlau, yn bell ac yn agos, yn cyfarch ei olygon. Er yn gwahaniaethu mewn maint, ffurf, a llun, y maent oll yn dwyn yr un ddelw. Bychan yw yr ymwelydd o gorpholaeth, ac yn ngwaelod yr heol nid yw ond mymrynaidd yr olwg arno; ond tybiwn, er hyny, fod ei bresenoldeb yn peri rhyw gyffro yn mhlith yr eilun-dduwiau. Megys yn yr hydref mae crinion ddail y goedwig yn sibrwd y naill wrth y llall ar ddynesiad dyeithr-ddyn i'w plith, felly yma y duwiau a amneidient ar eu gilydd gan arwyddo presenoldeb rhyw un neillduol yn eu mysg hwythau. Dywedwch i mi, a ydyw y gerf-ddelw fawr yn y fan draw yn ymsymud? Pwy a roddes yr hysbysiad allan i'r urddasolion, canys y maent oll yn ymwybodol fod rhyw berson nodedig gerllaw. Yn y man, yn ngrym ymwybyddiaeth o'u mawredd ail gasglasant hunan-feddiant, ac ni oddefant i neb adnabod unrhyw gyffro yn eu plith. Eto ni allent beidio troi eu llygaid ar ol yr Apostol fel yr ymsymudai yn mlaen, a chenfydd yntau hyny. Ymddangosai eu llygaid iddo yn debyg fel yr ymddengys llygaid darlun da pan yn troi ar ein hol wrth ymsymud o'i flaen yn y parlwr. Ni allent chwaith beidio gwneuthur ymddangosiad balch, mawreddig, pendefigaidd. Pan unwaith yr oedd yr enwog Judson yn bedyddio, un boreu Sul, yn Burmah, yn ffrynt rhyw hen deml baganaidd, lle yr oedd eilun-dduw hagr yn gwynebu tuag ato, tybiai y cenadwr fod yr eilun-dduw yn edrych yn fwy hagr nag arferol y boreu Sul hwnw, pan arweiniai efe y bedyddiedigion i'r dyfrllyd fedd. Fel gwaith celfyddyd, ac fel ffurfiau o fodau urddasol, yr oedd eilunod Athen yn heirdd ryfeddol; a phan yn awr yr oedd Paul yn eu plith, eu gelyn mawr, dysgai eu balchder hwynt i argymeryd golwg a ychwanegai eu harddwch, eu mawrfrydigrwydd a'u hawdurdod, os ydoedd modd; ond gan nad pa effaith gawsai presenoldeb yr Apostol ar yr eilun-dduwiau, yr oedd presenoldeb yr eilun-dduwiau yn cael dylanwad mawr arno ef; canys ei ysbryd a gynhyrfwyd ynddo wrth weled y ddinas wedi ymroi i eilunod.

*Tra thebygol fod ceinion celfyddyd y ddinas yn wrthddrychau edmygedd yr Apostol.*

Achwyna rhai na fuasai gan Paul ryw air o ganmoliaeth i orchestion celfyddydol Athen, y rhai oeddynt mor lluosog o'i amgylch. Ni chanfyddir un gair yn hanes ei ymweliad a'r lle, na chwaith yn ei Epistolau un mynegiad edmygawl o honynt. Oblegid y dystawrwydd hwn ni phetrusa rhai dadogi iddo ddiffyg chwaeth at y prydferth. A mwy na hyn, gan ei fod ef yn arbenig yn cynrychioli Cristionogaeth, mynir nad ydyw ei natur hithau yn gydnawsiol â rhagoriaethau gwyddoniaeth, ac a buddugoliaethau cywreinfawr y meddwl dynol. Myntumir hyd yn nod yn mhellach eto gan rai, fod ei hysbryd yn groes i anianawd celfyddyd a gwyddoniaeth. Yn wrthbwysol i'r fath dybiadau disail, honwn nad oes dim yn hanes ymweliadol Paul ag Athen yn rhoddi y lle lleiaf i dybiaethau o'r fath. Ni fynwn honi i'r Apostol allu beirniadol y celfyddwr ymarferol; ni cheisiwn gystadlu ei chwaeth a'r eiddo yr arch-adeiladydd a'r cerfiedydd mewn maen a mynor. Gallai efe yn ddiau gymeryd i'w feddwl effaith gyffredinol ceinwychderau, ar raddfa tebyg i'r hon y mae y glust gyffredin yn cymeryd i fewn swynion melusber peroriaeth; neu ar egwyddor debyg i'r hon y mae y llygaid annysgybledig yn gallu gwerthfawrogi effaith gyffredinol prydferthwch. Pe buasai angen, gallesid yn hawdd egluro fod meddwl ac enaid y cenad neillduol hwn i Grist yn llawn o'r prydferth. Beth a ddaeth o'i argraffiadau boreuol o geinion natur yn amgylchoedd Tarsus? Onid oedd edmygiad o'r prydferth yn elfen gref yn y meddwl Hebreig? Pa ddyben fuasai i'r Cynllunydd nefol roddi portread o'r tabernacl a'r deml i Israel, heb fod yn eu plith feddwl cymwys i'w ddeall

a'i weithio yn ymarferol allan? Ac onid oedd Paul yn engraifft deilwng o'r athrylith Hebreig? Y mae dal ei fod yn meddu llygaid i weled y cain a'i edmygu, yn hollol gyson â hanes ei genedl, yn gystal ag â'i hanes ei hunan.

*Eilun-addoliaeth y ddinas oedd yn tynu ei sylw benaf.*

Beth bynag am allu Paul i fawrygu gwaith llaw ddynol gywrain, ni phetruswn sicrhau ei fod yn feirniad uwchraddol y moesol a'r da yn eu holl agweddion. O'r holl dalentau dynol, y dalent hon yw yr un fwyaf hanfodol, i adnabod rhagoriaethau a diffygion penaf plant dynion. Hon sydd yn galluogi ei pherchenog i farnu ystyron pethau. Hon yw y ddawn a fedr fyned tu fewn i'r llen, a dwyn i'r amlwg ddybenion. Hon yw y gyneddf i farnu pethau fel mae Duw yn gwneyd. Ac am fod y saint wedi eu breintio â'r nodwedd nefol hon, y dywedir am danynt, "Oni farna y saint y byd?" Trwy rym ei ddiwylliaeth foesol a chrefyddol anghydmarol, gwelai Paul Athen falch yn resynus i'r eithaf, wedi ymroi i eilunod. Ymddangosai iddo fel ar ei heithaf yn gwasanaethu duwiau gau. Yr oedd sylwi ar geinwychedd y moddion a mawredd traul eilun-addoliaeth yn gwneyd yr amcan iselwael i ymddangos yn waelach fyth. Y mae eilun-addolwyr yn wrthddrychau tosturi pan y byddont yn gyfartal isel mewn ystyron eraill; ond pan y gwelid pobl uwchraddol fel yr Atheniaid yn defnyddio eu talentau dysglaer a'u hadnoddau mawrion at wasanaeth gwael eilunod, y maent yn wrthddrychau tosturi yn wir! Ac yn y modd tosturiol hwn y rhedai meddwl a theimladau yr Apostol yn yr olwg ar bethau—teimlai dros y *bobl*—pobl mor uwchraddol, ac eto mor isel. Wrth gael dylanwadu arno yn y modd hwn gan yr hyn a welai, ymddengys cysondeb dymunol a chydgordiad ardderchog rhwng proffes yr Apostol a'i fuchedd.

*Onid oedd gwrthuni moesol eilun-addoliaeth Athen yn fwy eithafol nag oedd ei ogoniant celfyddydol?*

Y mae yn ddiau ei fod, a chredwn fod yr Apostol yn cael golwg gymharol felly ar y naill a'r llall. Mesurwch i mi uchder diwylliaeth a medr y bobl yn ngweithiau eu celfyddyd, mesuraf finau i chwithau yn yr un pethau ddyfnder moesol mwy. Lle yr amlhaodd y prydferth, y rhagor yr amlhaodd y gwrthun. Edrycher yn gymharol am fynyd ar y gogoneddus celfol a'r gwrthuni addoliadol yn eilun-addoliaeth Athen, a gwelir ar unwaith fod yr olaf yn mawr gorbwyso y blaenaf. Yr ydoedd y blaenaf yn addurniant o'r materol yn unig, tra yr oedd yr olaf yn llychwino y *bywyd dynol.* Yr oedd un yn waith am unwaith, yn orphenedig, tra yr oedd y llall yn cael ei fynychu yn barhaus mewn gweithredoedd o addoliad. Yr oedd un yn prydferthu y dychymyg a diwyllio ychydig ar y cain yn allanol, tra yr oedd y llall yn niweidio y gydwybod ac yn anghywiro syniad dyn am dda a drwg. Yr oedd y gogoneddus celfol yn mwyhau mwy ar y gwrthuni nag oedd y gwrthuni moesol yn ei leihau ar y gogoneddusrwydd celfol. Pa ryfedd fod ysbryd yr Apostol yn cynhyrfu ynddo wrth weled ffyniant y drwg i'r fath raddau yn mhob man o'i amgylch!

*Teimlai yr Apostol yn ddwfn oblegid cyflwr Athen.*

Ei ysbryd a gynhyrfwyd ynddo wrth weled y ddinas wedi ymroi i eilunod. Yr oedd ei natur grefyddol ef yn y fath gywair perffaith-gwbl, fel y gellid cymeryd ei deimladau cynhyrfus yn safon gywir o sefyllfa foesol a chrefyddol y ddinas, yn debyg fel y cymerir yr hin-fesurydd yn ddangoseg cywir o ansawdd yr hin naturiol. Mae lle i ofni mai cymharol ychydig o ddysgawdwyr crefyddol ddaliant i'w cymharu ag ef yn yr ystyr hwn. Onid oes yma wers i Gristionogion yn gyffredinol gyda golwg ar y modd y dylent deimlo yn ngwyneb drygau cymdeithas?—yn lle bod yn dawel a digyffro yn yr olwg arnynt, fel yn gyffredin yr arferir bod, dylid efelychu yr Apostol mewn cynhyrfiadau ysbryd.

*Yr ydym yn sylwi yn mhellach fod gradd o syndod yn gymysgedig a'r teimlad*

*dwfn-gynhyrfiol hwn a feddianai yr Apostol.*

Ymddengys nad oedd yn dysgwyl gweled sefyllfa grefyddol y lle mor ryfeddol ddirywiedig. Gwyddai fod pethau yn ddrwg, ond ni feddyliodd fod cyflwr y ddinas mor eithafol eilun-addolgar. Gellid barnu oddiwrth ysgrifeniadau rhai awdwyr, eu bod yn credu y gall gwyddoniaeth a dysgeidiaeth wneyd yr holl waith mewn ffordd o addysgu a dyrchafu dyn. Y mae'r tueddfryd hwn yn peri i ni feddwl am yr hyn a wneir yn yr eglwysi Cadeiriol, a'r eglwysdai gorwych, wrth eu cyfaddasu i'r addoliad, yn y dyddiau presenol. Dodrefnir y ty sanctaidd â gwrthddrychau ffurfiol ac addurnol. O dan esgus o gynal y nenfwd, gosodir colofnau preiffion i fyny, y rhai a gysgodant rhwng y bobl a'r pregethwr, y rhai os dymunant roddi clust-ymwrandawiad, a ysmiciant olygon llechwrus heibio iddynt. Mewn rhai engreifftiau bydd y llefarwr draw mewn cornel bellenig yn murmur wrtho ei hun ddysg yr addoliad. Ac mewn lleoedd lle y proffesir chwaeth uwchraddol, rhaid cau allan oleuni teg, bywiocaol, ac iachus haul y nef bron yn hollol; ac ni fydd yn rhyfedd os cymerir y nwy neu y lampau i wneyd i fyny y diffyg. Cyfeiriwn at y ffeithiau fel eglurhad ar yr hyn a wneir mewn ystyr grefyddol, yn feddyliol ac athrawiaethol. Y mae gormod yn cael ei briodoli i'r materol a'r gwyddonol. Tywyllir ffenestri y meddwl dynol gyda lleni philosophi a gwag-dwyll, nes cau allan oleuni claer, dwyfol. Adeiledir pileri i gynal y cread i fyny; prin yr ymdiriedir i droell naturiaeth gael ei rheoleiddio gan ewyllys y Tad nefol; ac y mae dysgeidiaeth fel hon i wneyd *pob peth*, meddir, er dadblygu galluoedd eneidiol dyn! Y fath gamsyniad! Y mae anallu pob dysgeidiaeth o'r fath yn dra eglur, feddyliem, yn y ffaith fod yr Atheniaid, er eu holl ddwyfoliaeth a'u hathroniaeth, yr un pryd yn eilun-addolwyr. Rhaid fod gogwyddiad cryf yn y meddwl dynol at briodoli gormod i ddoethineb ddynol yn y pwynt o grefydd, gan fod yr Apostol ei hunan, i ryw raddau, o dan ddylanwad gogwyddiad o'r fath. Gallwn bron fod yn sicr ei fod ef yn dysgwyl gweled pethau yn well yn Athen. Yr oedd yn ffaith wybyddus iddo fod y ddinas hono yn nodedig am ei dysgeidiaeth a'i hathronwyr. Am hyny ymddengys nad oedd yn dysgwyl gweled golygfa mor gyffrous yn y fath le byd-enwog. Llanwyd ei feddwl â syndod, a'i galon â braw. Gwelai yn eglur wirionedd y ffaith nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw.

*Yn ganlynol meddienid ef gan ddymuniad angerddol am fod yn foddion i'w gwaredu o'r cyflwr truenus hwn.*

Nid teimlo yn fawr dros druenusrwydd y bobl yn unig a wnaeth efe; heblaw hyny ymdrechai am wneyd ei ran i'w gwaredu o'u trueni. Yr oedd y genadwri nefol y daethai efe i'r ddinas i'w chyhoeddi, yn rhedeg yr un ffordd a'r teimladau hyn. Ac yn hyn, yn gystal a phethau eraill, yr oedd efe yn cynrychioli yn deilwng drefn fawr cadw dyn. Gan hyny teimladau cymysg o alar, o syndod, o frwdfrydedd, ac o obaith, raid fod yn ei feddianu yn yr olwg arsylliadol ar brif ddinas y byd paganaidd. Yr oedd argraff Paul o Athen yn gywir, ond nid oedd argraff dinasyddion Athen yn gywir o Paul. Pan wedi gwrando arno yn eu hanerch, dywedent, "Beth a fyn y siaradwr hwn ei ddywedyd?"—a thua'r diwedd rhai a watwarasant.

Gwelwn oddiwrth hyn oll mor ddyeithr oedd hyd yn nod doethion y byd paganaidd i'r gwir a'r bywiol Dduw. Yn ystod y cyfnod maith o bymtheg cant o flynyddau gwyrasai y byd cenedlig yn bell oddiwrth wir grefydd; ac er cael o hono y fantais fawr hon yn Athen, i ymgyfarch â hi, a thremio yn ei gwyneb, a nodi hynawsedd ei thôn, prin yr oedd yn gallu ei hadnabod.

---

Y mae y rhagrithiwr yn barhaus o dan gaethiwed. Beth sydd yn fwy o boenedigaeth i ddyn na cheisio ymddangos yn barhaus yn groes i'r hyn ydyw yn wirioneddol?

# Bwrdd y Golygydd.

## DYWEDYD CELWYDD.

Y mae yn rhyfedd i feddwl y fath duedd sydd mewn rhai dynion i ddywedyd celwydd; y maent yn yr hwyl gelwyddog unrhyw adeg y bydd galwad. Wrth gwrs bydd raid cael rhyw gymaint o wirionedd yn rhyw gornel neu gilydd i'r stori, er fod lle cryf i gredu mai pur ychydig fydd gan ambell un yn fynych. Gelwir sylw at gysondeb a phriodoldeb yr hyn a ddywedir, yn debyg i hyn: "Yr y'ch yn gwel'd." Wed'yn eir yn mlaen, a gelwir sylw drachefn at eglurder y stori gelwyddog, "Yr y'ch ch'i yn gwel'd," a mynychir yr ymadrodd gwasanaethgar, "Yr y'ch ch'i yn gwel'd," nes terfynu y stori. Nid anaml mae y tylwyth celwyddog hwn yn anonest hefyd; ie, yn anonest hyd yr eithaf. Yn gyffredin proffesant haelioni mawr; hawdd y gallant fod yn haelionus pryd nad ydynt yn talu eu dyledion, ac fe allai ddim yn talu rhent y ty y byddont yn byw ynddo. Ydynt, siwr, y maent yn gymwynasgar a haelionus annghyffredin! Honant eu bod yn barod i gynorthwyo hwn a hwn ond iddo symud yn agos atynt hwy. Bum yn meddwl fwy nag unwaith beth fuasai celwyddwr mawr haelionus, cymwynasgar o'r fath yn ei feddwl pe cawsai efe lonaid gwagen o'i gelwyddau wedi eu hargraffu a'u gwneyd i fyny yn gyfrol ddestlus. Ai tybed na fuasai yn synu tipyn at ei gelwyddau?

## AMLINELLIAD O BREGETH

*A Draddodwyd gan y Parch. C. H. Spurgeon, yn ei Dabernacl, nos Iau, Medi 22, 1881.*

Yr amlinelliad hwn yn ysgrifenedig ar ddarn o bapyr oedd y cwbl mewn ffordd o ysgrifen a ddefnyddiai y pregethwr enwog ar y tro; yr hwn bapyr y llwyddodd gweinidog Americanaidd oedd yn gwrando y bregeth i'w gael gan Mr. Spurgeon ar ddiwedd yr oedfa.

JER. 14: 7.

Mae llawer yn gweddio mewn trallod, na ddarfu iddynt weddio erioed o'r blaen.

Mae yn drugaredd fawr fod Duw yn gyffredin yn gwrando. Mae yn beth dychrynllyd pan na wna efe wrando mwyach.

I. *Esiampl addas i eglwys mewn trallod.*

1. Addefant eu heuogrwydd.

Anmhosibl gwadu: tystia eu pechodau.

Anmhosibl esgusodi: gwrthgiliadau lawer.

Anmhosibl cyfrif: yn dy erbyn di.

2. Ni apeliant at unrhyw ddadl arall ynddynt eu hunain.

Dim gobaith o wneyd yn well.
Dim nerth penderfyniad.
Dim cyflawnder o edifeirwch.

3. Gwnant ddadl o enw Duw.

Efe oedd eu gobaith.
Efe oedd eu gwaredwr.
Efe oedd Arglwydd y ty.
Efe oedd eu Duw.

Dywedant—

Yr oedd wedi ei ddal yn annysgwyliadwy.
Yr oedd yn analluog i achub.
Yr oedd wedi ei orchfygu ei hunan.

II. *Esiampl addysgiadol i bechaduriaid mewn ymbiliau.*

1. Cyfaddefwch eich bai.

Eich beiau lluosog.
Eich twyll.
Eich pechodau yn erbyn Duw.

2. Cyfaddefwch eich annheilyngdod.

3. Cyfaddefwch eich anallu.

4. Pwyswch ar y ddadl o ras—i ogoneddu dy allu—dy ras—dy ddoethineb—Tad, Mab, ac Ysbryd Glan.

Cred, ac yna ymrwyma ei ffyddlondeb. Dadlena iachawdwriaeth un arall, ac felly ei anghyfnewidioldeb.

## ADOLYGIAD Y WASG.

*The Heroes of Faith*: a Series of Discourses on the Names Immortalized

in the Eleventh Chapter of Hebrews. By Rev. T. D. Phillips, Port Chester, N. Y.

Mae y llyfr hwn gan Mr. Phillips yn un go dda, yn wir. Cynwysa, feddyliem, lawer iawn o wirioneddau gwerthfawr; er, fe ddichon, fod yr arddull yn fwy cydweddol â llafar y pwlpud nag ag ieithwedd arferol llyfrau. Er fod llawer o'r materion yr ymdrinia yr awdwr â hwynt yn ddwfn, eto dengys hwylusdod nid bychan wrth eu trafod, ymdeithia yn mlaen yn eofn a diasgloff. Pan yn myned i ddyfroedd dyfnion iawn, mae gyda mawr ddoethineb yn cadw cwmpeini dynion o nod ac awdwyr adnabyddus. Y mae yr enwau a dryfrithant ei waith yn dangos adnabyddiaeth eang ag awdwyr hen a diweddar. Yma a thraw cyfarfyddwn a rhai sylwadau hynod o hapus, megys y canlynol am Moses: "Gwelir llaw rhagluniaeth o'i gryd i'w fedd. Fel pan anwyd, a guddiwyd rhag y gelyn dri mis; felly yn ei gladdedigaeth, ni chaniatawyd i un dyn dori na gweled ei fedd. Dangosir chwaeth dda yn y darnau barddonol a ddyfynir. Cymeradwywn y dyfyniadau ar ffydd gan wahanol awdwyr a geir ar ddechreu y gyfrol. Pe gweddus i ni yma sylwi, gallem nodi rhai pethau a allasent fod yn fwy cydweddol a chyrhaeddiadau awdwr o brofiad Mr. Phillips. Efallai y gallasai fod y Postfeistr Cyffredinol yn cysylltu enw Mr. Phillips a rhyw waith o'i eiddo ef, yn fwy o anrhydedd i'r Parch. Mr. Phillips, nag yw fod Mr. Phillips yn cysylltu enw Mr. James, a'i waith ef yn anrhydedd i'r Postfeistr. Nis gwyddom yn iawn beth i'w ddweyd am deitl y llyfr. Y mae ffydd y gwroniaid a gofnodir wedi gwneyd mwy nag anfarwoli enwau y cyfryw yn yr unfed-benod-ar-ddeg o'r Hebreaid, fel y mae yr awdwr yn traethu. Ar y cyfan y mae y llyfr newydd hwn yn llefaru yn dda am allu, llafur, anturiaeth, a chwaeth yr awdwr.

---

— Mae arddangosfa gyffredinol yn Rhufain yn cael ei hamcanu yn 1885–6. Mae pwyllgor dylanwadol wedi ei ffurfio yn Llundain i ddiogelu cyfranogiad arddangoswyr Prydeinig.

*Llyfrau Cyhoeddedig gan y Baptist Publication Society, 1420 Chestnut Street, Philadelphia.*

*On the Border Land.*

Dyma lyfr hanesyddol, at wasanaeth ieuenctyd ein hysgolion Sabbothol. Os oes arnoch eisiau defnyddiau darllen da i'ch plant, gellwch gael y cyfryw trwy brynu y llyfr hwn.

*The Baptist Principle in its Application to Baptism and the Lord's Supper.* By William Cleaver Wilkinson, D.D.

Pwy bynag sydd yn dewis cael goleuni ar y pynciau uchod pryned y llyfr hwn. Mae yn wir dda a meistrolgar; y peth goreu eto ar gysylltiad y ddwy ordinhad.

*The New Testament, with the Readings and Renderings preferred by the American Committee of Revision, incorporated into the Text.*

Gwel y darllenydd ar unwaith natur y cyfieithiad diwygiedig uchod. Mae yn hysbys fod y pwyllgor a fu yn dwyn allan y cyfieithiad diwygiedig yn cael ei gyfansoddi o Saeson ac Americaniaid. Nid oedd yr Americaniaid yr un farn a'r Saeson am lawer o'r darlleniadau a gynygiasant; gan mai yn Lloegr y cychwynwyd y mudiad, awgrymiadau y Saeson gawsant y flaenoriaeth, a rhoddwyd y gwelliantau awgrymedig gan y pwyllgor Americanaidd yn niwedd y gwaith gyda eu gilydd. Yn awr yn y cyfieithiad hwn mae y diwygiadau Americanaidd wedi eu rhoi yn y testyn, a'r diwygiadau Seisnig yn y diwedd. Credwn fod y gwelliantau Americanaidd yn llawn mwy tebygol i fod yn gywir nag eiddo y Saeson. Yn un peth yr oeddynt yn fwy rhydd oddiwrth hen draddodiadau, a dylanwad dysgeidiaeth Eglwys Loegr; peth arall, yn fwy rhydd oddiwrth ragfarn enwadol. Cyngorwn bob Bedyddiwr yn neillduol i fyny y cyfieithiad hwn, gan ei fod yn ffafriol i'r hyn a gredir yn ddiamheu yn ein plith. Ond o ran hyny, oni fydd yn dda gan bob un sy'n caru y gwirionedd, gael gafael yn y Testament Newydd hwn?

*Ruth Stuyvesant; or the Golden Harvest.* By Estelle Thomson.

"Ruth Stuyvesant" sydd gymeriad gwerth i ddarllen ei hanes o'i dadblygiad, fel y cofnodir ef yn y llyfr hwn. Dangosir fel y mae cymdeithasu â chreaduriaid glân, ac â natur, yn tueddu i goethi meddwl yr ieuanc, a'i barotoi i dderbyn argraffiadau dwyfolach, urddasolach y Beibl, moddion gras, a chrefydd. Yn gymaint a bod y llyfryn gwerthfawr hwn wedi ei addasu i'r ieuainc, ac yn cynwys llawer o ymborth i'r dychymyg, cymellwn ef fel un addas neillduol i roi yn llaw plentyn, dyn neu ferch ieuanc yr amser hwn o'r flwyddyn, pan y mae traddodiad wedi arfer creu dysgwyliad yn meddyliau ieuenctyd am y dyeithr a'r rhamantus.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae yr eglwys yn Clay Co., Iowa, mewn cyflwr llwyddianus a llewyrchus yn bresenol. Y mae y gweinidog, y Parch. John W. Jones, yn teimlo yn dda. Adrodda gyda phleser am y teimladau dymunol a feddiana rhai wrth ddyfod "gartref."

—Yn mhlith eraill mae y brawd da Theophilus Powell a'i deulu, a'r hen chwaer Mrs. Powell, gynt o Picatonica, Wis., newydd symud i fyw i Clay Co., Iowa. Dyna gaffaeliad gwerthfawr arall i'r eglwys yno.

—Deallwn fod y Parch. Joseph T. Jones, gynt o Johnstown, wedi sefydlu yn Dodgeville, Wis.

—Mae son fod y Parch. Wm. Jones, Ridgeway, yn myned i wasanaethu yr eglwys yn Oshkosh.

—Ebai y brawd David Jenkins, Given, Iowa, am y "Wawr"—

Y Wawr sydd drysor buddiol,
Hi ddysga yn rhagorol,
A'i goleu clir gan ddatgan gwir,
'N athronol a chrefyddol.

Mae o bwys i bawb a'i derbyn
Gael hyny bob yn ronyn,
Fel maeth ac arlwy'r meddwl gwan,
A hyn mewn rhan fel maethlon fam,
A thad y dydd yn canlyn.

—Mae genym ar law er's tro amryw ddarnau o farddoniaeth dderbyniol, y rhai a gânt ymddangos yn ein rhifynau dyfodol.

Cywiriad.—Yn nghofiant Miss Ellen Roberts, yn rhifyn Hydref, darllener Berlin yn lle Springwater. Hefyd, ychwaneger, bu Miss R. 14 o ddyddiau yn dyoddef dan ei anhwylder poenus.

---

# Barddoniaeth.

## DEIGRYN HIRAETH

*Ar ol Mr.* Richard Parcell, *o Beacon Mahaska Co., Iowa, gynt o Minersville, Pa., yr hwn fu farw trwy ddamwain yn y gwaith glo, Medi 9fed, 1878.*

Colli priod, tad gofalus,
'Storom ydoedd nerthol, gref,
A'i hadenydd llydain, duon,
Guddient glaer oleuni 'r nef;
Yn y dwfn gysgodion pruddaidd,
Caed y plant heb wên y tad,
A'r weddw heb ei phriod mwynlon,
Chwerw oedd eu galar-nad.

Pan y cwympwyd y gedrwydden,
Dan yr hon y llechent oll,
Yn agored aent i'r gwyntoedd,
A'r tymestloedd yn ddi-goll:
Eiddil, gwanaidd, y planhigion,
A dibrofiad bob yr un,
Pan yn sydyn angau 'torodd
Ef i lawr—yr anwyl ddyn.

Ebe'r weddw, "Mi ni wyddwn
Beth oedd ystyr hiraeth ddim,
Nes y collais f'anwyl Richard,
Hysbys 'n awr ei ystyr im';
Cyn hyn yma mi ni wyddwn
Beth oedd gofid gweddwon lu,
Bellach gallaf gydymdeimlo
A hwy oll mewn galar du.

"Ton ar don a lifai droswyf,
Pan y collais Richard fwyn—
Tybiwn am fy nghyflwr unig,
Am y plant ac am eu cwyn;
Teimlwn fod fy nghalon ysig
Yn lluddiedig ac yn wan;
Gwelwn bobpeth yn fy erlyn,
Nid oedd cysur yn un man."

Nid oedd ryfedd am y galar,
A'r dwfn hiraeth hwn, yn wir,
Pan ystyriwn nodau'r person
A roed yn yr isel dir;

Richard Parcell ydoedd wron
  Tra llafurus, gonest, call;
Am gysuron ei hoff deulu
  Y gofalai yn ddiball.

Os oes colled fwy na'i gilydd,
  Colli tad i anwyl rai,
Colli priod i wraig ffyddlon
  Ydyw hono, yn ddiau;
A phan fyddo hyny 'n dygwydd
  Ar ganol-ddydd bywyd dyn,
Y mae'r golled yn fwy chwerw,
  Yn fwy llymdost, yn fwy syn.

Erbyn hyn hawdd ydyw gweled
  Gofal y Tad nefol cu,
Am y teulu hwn golledodd
  Gweinidogaeth angau du;
Mae holl droion chwith rhagluniaeth,
  Er mor ddyrys, er mor gudd,
Yn cyd-weithio er daioni
  I bob rhai o deulu 'r ffydd. G.

---

## IN MEMORY

*Of Mr.* Richard Parcell, *of Beacon, Mahaska Co., Iowa, who was accidentally killed in the coal mines, Sept. 9th, 1878.*

To miss husband and a father
  From the circle of sweet home,
It creates a storm of feelings
  That will hide the heavenly dome;
In such shades of mental anguish,
  Dear children then were found,
And a dear Christian widow,
  Bitter was their moaning sound.

When the cedar strong was stricken
  Under which they shelter'd all,
Unprotected from the cyclone,
  They were left in bitter gall;
Tender, weak, and inexperienced,
  Were the youngsters every one,
When with sweeping stroke terrific
  Death did fell the dear man.

"*Hiraeth* was beyond my knowledge,"
  Said the widow to a friend,
"Until I lost my dear Richard,
  The word now I comprehend;
Likewise I could not imagine
  What the widow's sorrow meant,
But Oh, how clear is its meaning
  Since this grief to me is sent!

My distress was overwhelming
  When dark grave my Richard hid,
Brooding o'er my own bereavement,
  And my children then I did;
My heart ach'd with throbbing sorrow,
  That was now so weak and sore,
Anywhere could not discover
  At the time no opening door.

Right and proper this loud wailing,
  And this longing void of plan,
If we ponder and consider
  The good features of the man;
Richard Parcell was a hero,
  Good, industrious, honest, wise,
In his dealings with his fellows
  Never made a false disguise.

If a greater loss than others
  Can exist in death's domain,
To lose a father and a husband,
  Is that loss, with all its train;
When that dark, death-blow is given
  In mid-day of human life,
The loss is worse and more bitter,
  More severe is the strife.

By this time we can discover
  Clear proofs of Heaven's great care,
For this family did suffer
  So severe death's bold, sharp, spear,
All the workings deep of nature,
  Though mysterious to our ken,
Wheel around in sweetest concert
  For the good of pious men. G.

---

## PA LE MAE'R BLODAU?

Pa le yn awr mae'r blodau heirdd
  Addurnent erddi 'r byd?
Yr Hydref a'i awelon oer
  A'i deifiodd braidd i gyd;
Ond daw y gwanwyn yn ei ol,
Ac harddant eto fryn a dôl.

Pa le yn awr mae'r heuliog wres,
  A'r nwyfiant llon oedd gynt,
A'r meddwl iach dderbyniai les
  Wrth rodio ar ei hynt?
Daw eto ryw awelon pêr
O fryniau'r wlad sydd uwch na'r sêr.

Pa le yn awr mae'r llanciau llon
  A chwarddent boen o'r byd,
A'r teg enethod bywiog wedd,
  O lawn hawddgarol fryd?
Aeth rhai o swn y byd i'r bedd,
A gorphwys maent mewn cyflawn hedd.

Pa le yn awr mae'r cerddor coeth,
  A'i dôn oedd lawn o swyn?
A'r bardd awengar, pur a doeth,
  A'i gân i'r nef gwnai 'n dwyn?
Mae'r gân a'r dôn yn fyw o hyd,
I loni'r llesg yn nhrallod byd.

Mae Duw 'n gofalu 'n dyner iawn
  Am ddyn a'i fywyd brau,
A'i lygaid sydd yn chwilio am
  Ryw le i faddeu bai;
Mae ef yn ddoeth o galon bur,
Am wared pawb rhag loes a chur.

*Kingston, Pa.* James R. Price.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## AFFRICA.

O holl randiroedd mawrion y byd, nid oes un heddyw ag mai llygaid y byd yn syllu arno gyda chymaint o ddyddordeb ag Affrica. Nid oes dim yn rhyfedd yn hyn, wrth i ni ystyried eangder y wlad, ei chyfoeth, yr hwn sydd eto ond braidd ei gyffwrdd, tylodi naturiol a moesol ei lluosog drigolion, a hefyd y darganfyddiadau rhyfeddol sydd wedi eu gwneyd ynddi yn y blynyddoedd diweddaf, a'r dysgwyliad y mae y rhai hyny wedi godi mewn cysylltiad â'r rhanau hyny sydd eto yn aros i'w dwyn i oleuni dydd. Y mae Affrica yn ail o ran maintioli o'r cyfandiroedd; medda arwynebedd, yn annibynol ar yr ynysoedd, o 11,363,000 o filldiroedd ysgwâr. Gwn mai drychfeddwl anghywir geir am faintioli y cyfandir eang hwn wrth y rhifnodau uchod. Ond gwnawn ymdrech, ddarllenydd, dy gynorthwyo fel hyn: Diameu nad oes genyt syniad weddol gywir am faintioli Prydain, ond cymer 90 o wledydd fel Prydain i wneyd i fyny gyfandir fel Affrica, a 50 o wledydd fel Ffrainc a Germany. Mae Affrica bump a haner o weithiau yn fwy na'r Talaethau Unedig a gadael allan Alaska; ac mae yn agos dri chymaint a'r oll o gyfandir Ewrop. Mae yn perthyn i Affrica rai o'r anialdiroedd a'r corsdiroedd eangaf mewn unrhyw wlad. Gall ymffrostio cystal ag un cyfandir yn ei fawrion fynyddau, yn ei afonydd a'i lynoedd, yn ogystal a dyffrynoedd llydan a phrydferth, a'r rhai olaf yn ddiguro am eu ffrwythlondeb.

Yn ol yr amcan-gyfrif diweddaraf cynwysa Affrica 200,000,000 o fodau dynol, yr hyn sydd tuag un ran o chwech o holl deulu y ddaear. Mae mesur o wareiddiad yn yr Aipht a thalaethau gogleddol y cyfandir, a hefyd yn y rhan ddeheuol; ond y mae corph mawr y boblogaeth wedi suddo mewn barbareiddiwch o bob math, i lawr at y mathau iselaf o'r Wahomboaid a'r Hottentotiaid.

Mae ar y cyfandir amrywiaeth crefyddol mawr iawn. Mahometaniaeth yw y grefydd a ganfyddir yn gyffredin yn y gogledd, a hefyd mewn llawer man yn nghanolbarth y wlad. Mewn rhanau eraill cyfarfyddwn â braidd bob ffurf o eilun-addoliaeth. Cawn Babyddiaeth yn gryf iawn yn Algeria, ac yn cael ei gwthio gyda llawer o egni i leoedd eraill o'r cyfandir. Yn briodol iawn mae Affrica wedi cael yr enw o "GYFANDIR TYWYLL," a hyny nid am fod croen ei breswylwyr yn ddu, nac ychwaith yn herwydd eu truenusrwydd, ond yn hytrach ar gyfrif y dirgelwch o dan ba un fel lleni y nos ddu mae wedi bod yn gorwedd o olwg y byd. Yr ydys yn gwybod rhyw ychydig am ei ymylon gogleddol a gogledd-ddwyreiniol er yr oesau a chenedlaethau, yn enwedig yr Aipht, yr hon efallai flaenorodd ar Babilon yn ei masnach a'i gwybodaeth o'r celfau a'r gwyddorau. Dygir yn mlaen drafnidiaeth gan y rhanau gorllewinol a dwyreiniol y cyfandir a gwledydd eraill er ys rhai canrifoedd, ac mae dylanwad Prydain yn lledu yn gyflym iawn er ys blynyddoedd yn y parthau deheuol, ond am ranau mewnol y wlad, y rhai sydd yn ymestyn o ddiffaethwch Sahara yn y gogledd hyd Cape Colony yn yn y deheu, ac a geuir i mewn yn y dwyrain a'r gorllewin gan gorsdiroedd afiach a marwol, maent wedi bod dan dywyllwch a dystawrwydd eithaf o ran dim a wyddai cenedloedd gwareiddiedig am danynt. Y rhan hyny sydd yn gorwedd i'r gogledd i'r afon Zambesi sydd yn neillduol yn cael ei alw heddyw yn

## GANOLBARTH AFFRICA.

Medda y rhan hyn arwynebedd sydd oddeutu yr un faint a'r Talaethau Unedig yn ddwyreiniol i'r Mynyddoedd Creigiog, ond y preswylwyr yn lluosocach na'r holl o America. Cydmarir y darn yma o'r wlad o ran ffurf i *saucer* wedi ei throi wyneb i waered. Wedi cyrhaedd trwy y tiroedd isel ac afiach sydd tua glanau y môr, dechreua godi,

ac fel yr eir tuag i fewn cyfyd yn barhaus, nes cyrhaeddir yr uchder o dair mil o droedfeddi. Mae y wlad i fyny yno yn iach, ac yn meddu ar hinsawdd rhagorol. Ceir yno ddyffrynoedd ffrwythlon, mynyddoedd godidog, penau rhai o honynt a godant mor uchel a'r dosbarth blaenaf o fynyddoedd y byd. Mae yno lynoedd mawreddog hefyd; coda y Nile o un o honynt, a rheda mewn cyfeiriad gogleddol am 4,200 o filldiroedd; a'r Congo (neu y Livingstone), yr hon sydd yn rhedeg yn ogleddol a gorllewinol am 4,000 o filldiroedd, a'r Zambesi, yr hon a deithia am rai miloedd o filldiroedd, ac yna arllwysa i'r Indian Ocean yn y dwyrain. Mae yr hyn ydys yn wybod am y rhanau hyn yn ein dysgu y daliant i'w cystadlu a'r manau ffrwythlonaf ar wyneb y ddaear. Ar yr ucheldir hwn y mae disgynyddion Ham ac Ismael wedi adeiladu trefydd a dinasoedd, yn llywodraethu teyrnasoedd ac ymerodraethau, yn ddiarwybod hollol i'r byd tu allan, ond ar yr un pryd yn syrthio yn ddyfnach ddyfnach mewn amwybodaeth a llygredd. Yma mae arch-elyn yr oesau wedi bod am ganrifoedd yn cadw gloddest-wyl, yn golchi ei ddwylaw yn ngwaed y miliynau twylledig, miliynau o honynt drachefn yn cael eu lladd trwy ymrafaelion cartrefol, ac aberthau, yn gruddfan dan ddyoddefiadau caethiwed, aml-wreiciaeth, coelgrefydd, ac anwybodaeth, y rhai sydd wedi bod yn ben yn mhob man yno am oesau lawer. Bernir fod tua miliwn yn syrthio yn aberthau i'r fasnach gaethwasol yno bob blwyddyn, a thua yr un nifer mewn rhyfeloedd cartrefol, dynol aberthiad, a gwleddoedd canibalaidd. Pa le mae y tafod fedr ddarlunio gofidiau Affrica druenus a thylawd, drwy y canrifoedd tywyll sydd wedi myned heibio? Pwy fedr bwyso y fath fynyddoedd o alar, neu pwy all ddilyn llinellau darlun ag sydd mor ddu yn mhob rhan ag ydyw hwn? Yn naturiol mae yn wlad yr haulwen glir, y prydferth, y mawreddog, y ffrwythlawn a'r iachusol; ond yn foesol ac ysbrydol yn dywyllwch, yn ddidrefn, yn diriogaeth marwolaeth. Y mae'r wlad yma heddyw yn ei gwaed yn apelio at Gristionogion y gwledydd i ddod dros y moroedd i'w chynorthwyo hi. Gallwn benderfynu fod Iesu yn edrych dros ganllawiau y nefoedd mewn tosturi arni, ac yn dweyd wrthym ni am fyned a dysgu iddynt ffordd bywyd a dedwyddwch. Diolch i Dduw, y mae rhai yn gwrando, ac yn myned, ac y mae goleuni yr efengyl eisoes yn gwasgaru y tywyllwch.

## HANESION CARTREFOL.

### Y Parch. J. W. Williams yn Pittsburgh.

Talodd y Parch. J. W. Williams, gynt o Drefnewydd, G. C., ymweliad a'r eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Pittsburgh, ddydd Sul, Tach. 6ed, a phregethodd yn y boreu, prydnawn, a'r hwyr. Yr oedd cynulleidfa luosog yn y ddau gyfarfod cyntaf, ond erbyn y cyfarfod hwyrol yr oedd y capel wedi ei orlenwi; ac yr oedd y pregethwr yn ei lawn hwyliau trwy y dydd. Ni raid i'r gwr parchedig hwn wrth ffyn baglau o bwffyddiaeth i fyned trwy yr Unedig Dalaethau, a chael croesaw dyladwy, oblegid myn wrandawiad gan ei athrylith; myn gael cynulleidfa gan ei ddylanwad, a myn barch o herwydd safon uchel ei gymeriad. Gwledd i enaid pob Cristion oedd ei glywed y Sabboth diweddaf yn pregethu efengyl mor bur, ac athrawiaeth mor iachus, gyda y fath ddylanwad. Ar ddiwedd yr oedfa hwyrol, cyn gollwng y gynulleidfa, cododd y brawd Thomas D. Harris (ar gais flaenorol swyddogion a brodyr eraill yn yr eglwys), a dywedodd, fod yr eglwys eisiau bugail arni, a'i fod yn credu fod rhagluniaeth Duw wedi arwain y brawd Williams atom fel y cymwysaf i'n golwg ni i borthi praidd Duw yn y lle, a'i fod am gael pleidlais y frawdoliaeth ar y pwnc, er gweled os oedd pawb yn unfrydol yn y mater pwysig hwn. Gofynwyd pleidlais y gynulleidfa oll trwy godi ar eu traed, ac O! mor fendigedig yr olygfa, pawb ar eu traed, yn Annibyn-

wyr, Methodistiaid, a Bedyddwyr, pawb yn dymuno i'r ymwelydd hwn ddyfod yn ddinasydd o'r Ddinas Fyglyd. Nid oes genym yn awr ond dysgwyl am atebiad cadarnhaol oddiwrth y brawd. Os byddwn mor ffodus a'i gael, credwn mai danfonedig Duw a fydd. D. LL. JONES.

*Pittsburgh, Pa., Tach.* 10.

---

CASGLIAD AT GAPEL BEDYDDWYR NILES, O.

| | | |
|---|---|---|
| Casglodd Lazarus Mathias yn y gwahanol fanau y swm o...... | $256 | 00 |
| Yn uniongyrchol oddiwrth yr eglwysi ............. .... | 206 | 00 |
| Gan E. Jenkins, yn Niles.... | 200 | 00 |
| Y cyfanswm ............. | $662 | 00 |
| Talwyd allan i'r gofynwyr.... | $559 | 10 |
| Treulion gyda'r casglu i'r casglwr ................. | 103 | 66 |
| Cyfanswm ........... | $662 | 76 |

Y ddyled yn aros fel y canlyn :

| | | |
|---|---|---|
| Note Evan Davies .......... | $220 | 93 |
| Yn ddyledus i Rahel o Fon, sef Mrs. Davies ............. | 528 | 63 |

Yn nghyda'r llog oddiar Mawrth 10, 1876.

Mae y ddyled yn drwm. y llogau yn fawr, fel mai gwaith caled yw dyfod allan o'r ddyled.

Arwyddwyd yr uchod gan
D. M. JOB,
WM. WILLIAMS,
D. C. THOMAS, *Ysg.*

*Niles, O., Hyd.* 26, 1881.

---

HYDE PARK, PA.

Cynelir Cymanfa Gerddorol Bedyddwyr Lackawanna yn Hyde Park, Ion. 2, 1882, pryd y bydd corau Hyde Park, Providence, Taylorville, &c., yn canu y tônau canlynol o "Law-lyfr Moliant :" Amana, Martyrdom, Hursley, Babel, Claudia, Dolgellau, Llandeblig, Gwalchmai, Patmos, St. Garmon, Catherine, Dismission, Gorhwysfa, Bethel, Cyfamod, yn nghydag Huddesfield, Duw mawr y Rhyfeddodau maith, &c.

*Anthemau.*—"Vital spark of heavenly flame"—*Musical Times ;* "Ar lan yr Iorddonen," &c., o'r *Congregational Anthem.*

*Swyddogion.*—B. Hughes, Llywydd y dydd ; E. D. Jones, Providence, Arweinydd Cerddorol ; William P. Jenkins, Trysorydd ; Ll. Roberts, Ysgrifenydd.

---

CYFARFOD CENADOL.

Cynaliwyd cyfarfod cenadol yn addoldy y Bedyddwyr, yn Providence, Pa., ddydd Sul, y 23ain o Hydref.

Am 10 o'r gloch, traddodwyd pregeth bwrpasol ar y pwnc gan ein gweinidyg, J. P. Harris, oddiar Esa. 11 : 10.

Am 2, dechreuwyd drwy weddi gan y brawd Wm. Roberts. Cymerwyd y gadair gan y brawd Thomas J. Evans, ac areithiodd Thomas S. Evans. Ei destyn oedd Japan. Wed'yn y brawd D. B. Griffiths, ar y Dr. Wm. Carey, ei waith yn yr India, yn cynyg at bethau mawrion, yn dysgwyl gwneyd pethau mawrion, ac yn llwyddo i sylweddoli ei ddysgwyliadau. Terfynwyd y cyfarfod hwn drwy ychydig sylwadau cymwysiadol gan y gweinidog. Yr oedd canu y *Band of Hope*, yn nghyda'r canu cynulleidfaol rhwng yr areithiau, yn swynol iawn.

Am 6, agorwyd y cyfarfod drwy weddi gan y brawd George Canton. Cadeiriwyd gan y brawd D. B. Griffiths. Areithiodd y brawd Ll. Roberts ar China, yn fyr ond tra chynwysfawr, yn cael ei ganlyn gan y brawd Ed. D. Jones. Ei bwnc ef oedd Telegoo, a'r llwyddiant Pentecostaidd diweddar sydd wedi bod ar y genadaeth yno. Yna galwyd ar y Parch. J. P. Harris i siarad ar destyn dyddorol iawn, sef, Pa un ai y Gymdeithas Dramor neu yr un Gartrefol, Americanaidd, yw y pwysicaf i ni weithredu o'i phlaid. Dangosodd yr areithiwr bwysigrwydd y ddwy gymdeithas, a'r rheidrwydd i'w cefnogi, gan mai dwy fraich yr eglwys oeddynt.

Yr oedd y canu yn fwy deniadol

fyth yn y cyfarfod hwyrol, a'r brawd neu'r brodyr sydd wedi ymdrechu cymaint i *drainio*'r plant yn teilyngu parch deublyg.

Amcan y cyfarfodydd hyn oedd dwyn sefyllfa foesol y byd paganaidd, a phaganiaid y cyfandir hwn o flaen y gynulleidfa, er eu hanog i fwy o ymdrech a chydweithrediad dros y cymdeithasau; a llwyddwyd, i raddau, fel y tystiai arian y casgliadau. "Eto y mae lle." YR YSGRIFENYDD.

---

DODGEVILLE, WIS.

Mae hi yn dywydd gwlyb iawn er's amser hir iawn, bellach, yma; yr ydym yn methu a gyru dim gwaith yn mlaen werth son am dano, y *stackiau* yd yn tyfu yn leision, a'r tywydd yn ein hatal i ddyrnu.

Mae fy iechyd wedi bod yn wael am o gwmpas dau fis, bellach, ond yr wyf yn teimlo dipyn yn well yn awr; er na chefais fy nghyfyngu yn hollol i fy ngwely, eto nid oeddwn yn gallu myned nemawr oddi amgylch. Nid wyf wedi bod yn Dodgeville er's mis yn awr.

Mae y Parch. Joseph Jones, gynt o Thomastown, O., wedi ymgymeryd â'r weinidogaeth yn Dodgeville a'r Coed yn awr, ac y mae efe yn pregethu yn rhagorol dda, meddant hwy. Y mae efe yn edrych yn ddyn bach *nice* iawn, mwyn a gostyngedig a difalch. Gobeithio y bydd efe yn fendith i'r eglwysi, a'r eglwysi yn fendith iddo yntau, ac y bydd y fechan yn myned yn fil, a'r wael yn genedl gref, o dan ei weinidogaeth—Duw yn cael ei ogoneddu a phechaduriaid lawer yn cael eu hachub i fywyd tragywyddol.

Yr eiddoch mewn cariad,
MEREDITH EVANS.

*Tach.* 8, 1881.

---

CYDNABYDDIAETH DDIOLCHGAR.

Dymunwn fel teulu gyflwyno ein diolchgarwch puraf a gwirioneddolaf i'r eglwys a'r gwrandawyr, a chyfeillion eraill, am eu haelfrydedd tuag atom. Ond yn benaf derbynied Mrs. Daniel Thomas ein diolchgarwch am y $22 a gawsom ganddi, a Mrs. William Davies, (gynt o Johnstown, Pa.), am y $46 a gawsom drwy ei gweithgarwch; hefyd rhoddion gwerthfawr eraill a roddodd yn bersonol, megys *stove*, &c.

Yr eiddoch yn serchog,
JAMES F. RICHARDS.

*Newburgh. O.*

---

CYFARFOD TRI-MISOL

*Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pennsylvania.*

Cynelir y cyfarfod uchod yn Girard, Ohio, Rhagfyr 10, 11, 1881. Dymunir ar weinidogion y cylch a'r cenadon fod yn bresenol. Bwriadir cynal y cyfarfod nos Sabboth i ymddyddan am y moddion mwyaf effeithiol i gael diwygiad crefyddol yn ein plith. Agorir y cyfarfod trwy anerchiad ar y pwnc gan y brawd Ll. Rees.

THOS. THOMAS, *Ysgr.*

---

*BEDYDDIWYD—*

*Nanticoke, Pa.*—Prydnawn Sabboth, Tachwedd 6ed, yn ngwydd tyrfa luosog o edrychwyr, bedyddiodd ein parchus weinidog, Mr. Davies, un brawd ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw. Mae eraill eto yn aros am yr un fraint. Diolchwn i Dduw am fendithio llafur ein brawd, ac adfywio ei waith yn ein plith. —*Aelod.*

Boreu Sabboth, Tach. 6ed, yn Clay Co., Iowa, bedyddiwyd dau, sef gwr a gwraig, y ddau wedi bod amryw flynyddau yn aelodau gyda y T. C., a'r brawd yn bregethwr yn y cyfundeb hwnw. Hefyd y dydd Iau blaenorol derbyniwyd tri trwy lythyr, ac adferwyd un. Mae yr achos goreu yn gwisgo agwedd lewyrchus yn y lle hwn yn bresenol, amryw aelodau parchus yn dyfod o leoedd eraill i fyw i'r ardal, tra mae nifer o'r hen ardalyddion oeddynt bell yn dod yn agos.

Boreu Sabboth, Tach. 20, 1881, yn Ashland, Pa., bedyddiwyd dwy chwaer ieuainc ar broffes o'u ffydd yn Mab

Duw, yn ol rheol y Testament Newydd, gan y Parch. Jeremiah Griffiths.

## *PRIODWYD—*

Medi 27, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, John Thomas Morgan a Mary Owens, oll o Providence.

O'm henaid 'rwy'n dymuno—i'r ddau hyn
Yr hedd a'u cysuro,
Ac hir iechyd yn fywyd f'o
I'w llesiant yn ymarllwyso.
IEUAN DDU.

Hyd. 11, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, Thos. M. Lewis a Catherine Morgans, ill dau o Providence.

Thomas M. Lewis ddewisodd—ei fûn,
A'r feinwen briododd;
Iach a hoenus y cychwynodd
Yn ferth i fyw wrth ei fodd.
IEUAN DDU.

Tachwedd 11, yn Providence, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, John T. Llewelyn a Mrs. Jane Alexander, oll o Providence.

Bellach dedwyddach y dyn—o'i uno,
A Jane i hwylio ei John Llewelyn.

Tachwedd 2, yn nhy Mr. Samuel Morgans, Merthyr Fach, ger Mineral Ridge, Ohio, gan y Parch. J. W. James, Mr. Charles E. Cariher, o gymydogaeth Youngstown, a Miss Mattie Richards, o Merthyr Fach. Wedi gwledda oddiar fwrdd llawn a hynod flasus Mrs. Morgans, ymadawodd pawb am eu cartrefi Treuliwyd prydnawn a rhan o noswaith yn ddedwydd.

Medi 7, 1881, yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., yn nhy rhieni y briodasferch, sef Mr. Thomas Davies a'i briod, gan y Parch. W. M. Evans, Mr. Albert M. Barnett, a Miss Lillie A. Davis. Yr oedd bwrdd llawn o ddanteithion amrywiol wedi ei ddarparu gan Mrs. Davies erbyn yr amgylchiad. Aeth y pâr ieuanc tua Buffalo a Springville i dreulio eu "mis mêl."

Medi 27, 1881, yn Freedom, Swydd Cattaugus, N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. William Higgins a Miss Maggie A. Morgan.

Tachwedd 1, 1881, yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. John Higgins a Miss Hannah L. Morgan. Boed nawdd y Goruchaf arnynt oll.

Hydref 19, 1881, yn Freedom, Swydd Cattaraugus, N. Y., yn nhy rhieni y briodasferch, sef Mr. John P. Williams a'i briod, gan y Parch. W. M. Evans, Mr. Hugh Owens a Miss Jennie A. Williams.

Yr oedd nifer y gwahoddedigion i'r briodas hon yn dra lluosog, a chafwyd amser da, a gwledd deilwng o'r amgylchiad. Aeth y pâr ieuanc am dro i Utica, South Trenton a Remsen, a chawsant dderbyniad urddasol a gwresog yn mhob man y buont. Deallwn iddynt gael eu hanrhegu ag amryw roddion gwerthfawr. Boed bendith y Nefoedd i aros arnynt.

## *BU FARW—*

### MR. J. J. DAVIES, HYDE PARK, PA.

Cyhoedda llais o'r nef fod coffadwriaeth y cyfiawn yn fendigedig, ac un o gofnodiadau y gwirionedd dwyfol yw, "Gwyn fyd y meirw, y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd." Teimla y Cristion lawer o foddlonrwydd meddwl yn adlewyrchiad bywyd, marwolaeth, a gwynfydedigrwydd ei gyfaill, yr hwn a rodiodd gyda Duw, ac a fu farw yn yr Arglwydd. Mae dyffryn galar, y llynoedd llawnion a gwleddoedd Seion yn ddelweddau byw yn ymgyfodi o flaen y meddwl, ac yn ein galluogi i ganu:

"Yn y dyffryn tywyll, garw,
Ffydd i'r lan a'u daliodd hwy,
Mae'r addewid lawn i minau,
Pa'm yr ofna f'enaid mwy?"

Ganwyd John J. Davies Awst 14eg, yn y flwyddyn 1808. Mab ydoedd i John a Margaret Davies, o blwyf Llanewydd, Sir Gaerfyrddin, D. C., ac efe oedd yr hynaf o chwech o blant. Y mae genym seiliau da i gredu fod gwrthddrych ein coffa wedi cael dygiad da i fyny, wedi cael addysg grefyddol a moesol yn foreu ar yr aelwyd, cyngorion buddiol ac esiamplau da, gan fod ei dad a'i fam yn ganlynwyr Iesu Grist, a'i dad yn flaenor ffyddlawn yn eglwys y Bedyddwyr ar heol y Prior, yn Nghaerfyrddin. Treuliodd ei ddyddiau bachgenaidd mewn gwasanaeth yn mhlith amaethwyr ei fro enedigol. Hoffai a mynychai John Davies y moddion crefyddol er yn ieuanc, ac yn y flwyddyn 1833 bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan y diweddar Barch. Rees Gibbon, a derbyniwyd ef yn aelod o eglwys y Tabernacl, yn nhref Caerfyrddin. Yr oedd merch ieuanc brydweddol yn ufuddhau i Ben yr eglwys yr un Sabboth, yn yr un lle, a'r un gweinyddwr yn cyd-gladdu y ddau i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef. Enw y ferch oedd Margaret Davies, merch i Mr. Jonathan Davies, Croes y Ceiliog, yr hon yn 1835 a ymunodd mewn priodas gyda gwrthddrych ein coffa, ac sydd heddyw yn fyw, i ddwys alaru ar ol priod ei hieuenctyd, wedi bod yn cyd gario yr iau am hir flynyddau, a sicr yw iddi fod yn ymgeledd gymwys iddo hyd awr y gwahanu. Yr oedd tad Mrs. Davies hefyd yn aelod ffyddlawn, ac yn ddiacon yn y Tabernacl, ac yn mawrygu gweinidogaeth yr anfarwol Gibbon. Un o'r meddylwyr blaenaf yn ei oes ydoedd Mr. Gibbon, a bu farw yn ieuanc; ond mae achos y Tabernacl yn fyw, ac yn flodeuog heddyw.

Wedi i Mr. Davies briodi, symudodd ef a'i wraig ieuanc i fyw i Lanelli, yn yr un Sir, gan ymaelodi yn Nghapel Seion—yr unig gapel perthynol i'r Bedyddwyr yn y lle y pryd hwnw—a'r hybarch David Bowen yn bugeilio praidd Duw yno, yn cael ei gynorthwyo gan yr addawol a'r poblogaidd James Spencer. Rhoddes Mr. Davies ei ysgwydd dan yr arch tra bu yn Llanelli; ond symud a wnaeth oddi yno i le a elwir Onllwyn, gerllaw Ystrad-gynlais, Sir Forganwg; a chan nad oedd gan y Bedyddwyr eglwys yno, rhoddasant eu hunain yn aelodau yn Nantyffin, Sir Frecheiniog, a thair milldir o ffordd ganddynt i fyned o'r Onllwyn i'r Nant; ond er pelled y ffordd, ni ddarfu gwlaw nac eira, oerni na gwres, ei rwystro i fod yn bresenol yn nghyfarfodydd yr eglwys. Yr oedd ei galon yn llosgi ynddo o gariad, nes difa y rhwystrau o'i flaen. Un yn gweled yr Anweledig ydoedd, a'i ymdrech yn y gwaith yn argraffu gwerth ar ei grefydd.

Safodd y gweithfeydd yn nghymydogaeth Onllwyn, peidiodd olwynion masnach droi, felly yn 1852 yr ydym yn cael y teulu ar Heol y Felin, Aberdar. Nid oedd gan y Bedyddwyr yr un addoldy yn y lle y pryd hwnw, ond yr oeddynt yn gangen fechan o eglwys Hirwain, yn cynal eu cyfarfodydd mewn capel bychan o eiddo y Wesleyaid. Cynaliai yr enwad hwnw eu moddion yn y boreu, a'r Bedyddwyr yn yr hwyr. Deuai y Parch. B. Evans, Hirwain, y pryd hwnw, wedi hyny Heol y Felin, ond yn awr o Gastell nedd, atynt un Sabboth yn y mis, i dori bara iddynt yn ngweinyddiad swper yr Arglwydd, a bu yr ymdrech i godi achos yno yn llwyddianus iawn. Adeiladwyd yno gapel helaeth a hardd, a'r eglwys yn gallu rhifo ei haelodau wrth y canoedd. Na ddiystyrer dydd y pethau bychain. Bu John J. Davies yn aelod ffyddlawn yn yr eglwys hon, canys ffyddlondeb oedd un o nodweddion ei gymeriad. Do, gwelodd y fechan yn fil, a'r wael oedd yn ymgynull at eu gilydd mewn capel benthyg yn genedl gref. Ond symudodd y golofn, ac yn y flwyddyn 1869 dacw ef a'i briod a'r plant oedd gartref, yn cefnu ar Aberdar, ac ar eu gwlad enedigol, gan wynebu ar fyd y Gorllewin, ac ymsefydlasant yn Pittston, Pa., lle yr oedd eu plant henaf wedi eu blaenu, yn bedwar mewn rhifedi, ac yn eu croesawu ar eu dyfodiad i'w plith. Ni wnaeth y môr na newid gwlad yr un cyfnewidiad arno ef—gwyddai mai yr un oedd ei Dduw yn y byd newydd, ac mai yr un oedd hawliau crefydd arno, cawn ef yn Pittston yn ymafaelyd yn y gwaith fel cynt, lle y bu yn ymdrechol gyda phob rhan o'r gwaith drwy ystod ei arosiad yn yr ardal hono; ymlwybrai i Hughestown i'r addoliad mor aml ag oedd ei nerth yn caniatau iddo.

Yn ei symudiad i Providence, bu yn ffodus i gael anedd-dy ar bwys y capel, a hwylusdod i gyrchu i byrth merch Seion, lle yr oedd ei ddewis fan, ac wrth ei fodd gyda'r moddion yn nhy ei Dad. Yr oedd ei Amen seinber yn werthfawrocach na'r aur; yr oedd rhywbeth yn drydanol yn ei waith yn codi pan yn cael ei alw i anerch gorseddfainc y gras. Lediai ei emyn mewn llais cryf, bywiog a soniarus. Rhyw hen benill llawn o brofiad ac o enaint nefol fyddai ei ddewisiad bob amser, ac ar ei ddwylin ymadroddai yn groew, yn gryf, yn bwrpasol, a phob amser yn fyr. Nid dyn aml ei eiriau ydoedd. Gwyddai mai nid ag amlder geiriau yr oedd enill gwrandawiad. Yr ydym yn dyst fod ei ddymuniadau yn dda, ac o'i barodrwydd i gyfranu yn haelionus tuag at bob achos da; ni fyddai ef yn ol, gan nad pwy fyddai yn pallu, ac y mae heddyw yn mwynhau cyfoeth y wlad well gyda phendefigion y deyrnas.

Ychydig fisoedd cyn ei ymadawiad, symudodd at y plant i Hyde Park. Yr oedd methiant a henaint wedi ei orddiwes—y ty o glai wedi ei ergydio yn aml gan ddamweiniau yn y glofeydd; ond yr ysbryd yn siriol drwy bob tywydd. Gwyddai ef beth oedd trallodion y llawr—wedi codi teulu lluosog—cyfnewidiadau gweithfaol, caledi masnachol—beth oedd gwasgu y gwan; ond ni achwynai efe yn nydd y caledi—ymddangosai fel yn foddlawn yn mhob cyflwr; er mai gwers anhawdd ei dysgu ydyw, ond mae duwioldeb gyda boddlonrwydd yn elw mawr. Yn mhob tywydd yr oedd ganddo fan i droi, sef at ei Dduw; dyna y man yr hoffai yn ei ddyddiau olaf: "Y tlawd hwn a lefodd, a'r Arglwydd a'i clybu, ac a'i gwaredodd o'i holl drallodau." Do, bu John Davies farw mewn ffydd, yn pwyso ar Dduw, a'i lygaid yn gweled yr iachawdwriaeth. "Ymdrechodd ymdrech deg, gorphenodd ei yrfa" &c., fel y sylwyd yn ei bregeth angladdol. Dechreuodd ei yrfa gyhoeddus yn Nghaerfyrddin er's yn agos i haner canrif yn ol, a pharhaodd i redeg nes cyrhaedd Hyde Park; yno ar ei liniau o flaen yr orsedd y gorphenodd ei yrfa, gan mai dyna y weithred gyhoeddus olaf a wnaeth gyda chrefydd. Cyfarfod gweddi oedd yn eglwys Hyde Park y Sul olaf yn mis Medi, a galwyd ar ein hanwyl frawd i derfynu y cyfarfod, yr hyn a wnaeth gyda gafael a nerth mwy nag arferol; ac wrth ddychwelyd o'r cyfarfod hwnw gyda ei hoff briod, achwynai ar ei wendid corphorol, gan ychwanegu ei fod wedi gorfod gwneyd ymdrech i godi oddiar ei liniau. Taflodd i fyny lawer o waed y noson hono, a hunodd yn yr angeu Medi 29ain.

Daearwyd ef weddillion marwol y dydd Llun canlynol, yn mynwent Washburn Street. Gweinyddwyd yn yr angladd gan y brawd J. P. Harris, Providence, yn cael ei gynorthwyo gan y Parch. L. Lake (A.), Hyde Park, a'r Parch D. Rhoslyn Davies, Kingston; a gellir dyweyd, ei ddiwedd a fu yn dangnefedd. Ni fydd ein hanwyl chwaer, yr hon sydd heddyw yn weddw, ond ychydig cyn ei ganlyn. Tad pob dawn fyddo yn gysur ac yn ymgeledd iddi hyd borth y bedd.

Mae wyth o blant yn fyw, ac yn cyd hiraethu gyda eu mam ar ol tad tyner a gofalus.

Y maent oll yn y wlad hon oddieithr un mab, yr hwn sydd wedi aros yn Heol y Felin, Aberdar. "Preswylydd y berth" fyddo yn nawdd iddynt oll. J. P. Harris.

MR. R. JONES A MISS ANNIE DAVIES.

*Dau Gorph yn yr Un Ty.*

Hydref 8, 1881, yn Dell Roy, Ohio, wedi tair wythnos o gystudd trwm, o'r *hemorrhage of the bowels*, bu farw Mr. John R. Jones, yn 35 mlwydd oed, gan adael gweddw a thri o blant, a'r lleiaf ddim ond mis oed, i alaru ar ol tad tyner a gofalus. Ganwyd Mr. Jones mewn lle o'r enw Penycae, ger Ruabon, G. C. Mab ydoedd i Robert Jones, ac wyr o du ei dad i'r diweddar John Jones, o'r lle uchod, ac wyr o du ei fam i'r diweddar Edward Roberts, o Yellow Creek, lle y buont am dair blynedd, ac wedi hyny yn Irwin Station, Pa., hyd nes y daethant i'r lle hwn, ychydig fisoedd yn ol. Ymddengys i mi mai gweithio mewn gwaith gwlyb, ac awyr afiach, oedd yr achos dechreuol o'i afiechyd. Ond pa beth yw dyn? Ein dyddiau ni sydd gynt na gwenol gwehydd.

Claddwyd ei weddillion y dydd Llun canlynol, sef y 10fed, mewn claddfa tua thair milldir i'r gorllewin o Dell Roy, pryd y gweinyddwyd gan Dr. Vincent a'r Parch. W. F. Davies, o Nanticoke, Pa. Mae Urdd y K. T. wedi ymddwyn yn anrhydeddus at weddw J. R. Jones.

O, cofia'r weddw dirion,
  Iesu mwyn, Iesu mwyn,
Yn nghanol gwlad yr estron,
  Iesu mwyn;
Gwasgara'r tew gymylau
Sydd yn dyrchafu eu penau,
Mal duon erch fynyddau,
  Iesu mwyn, Iesu mwyn,
Fel byddo'r daith yn oleu,
  Iesu mwyn.

Hefyd, ar y 9fed o Hyd., yn 14 mlwydd ac 8 mis oed, bu farw Annie Davies, merch i John B. a Mary Davies, o'r *typhoid fever*. Cafodd gystudd trwm. Yr oedd yn ferch iach a chref, ac yn llawn bywyd a gweithgarwch bob amser. Yr oedd Annie Davies yn un o ddeiliaid ffyddlonaf yr Ysgol Sabbothol; ac er ei bod yn ieuanc, dywedodd un wrthyf sydd yn deall cerddoriaeth, mai Annie Davies oedd y gantores oreu yn Dell Roy. Ond hyderwn ei bod wedi dechreu y gân ddiddiwedd Iddo Ef; Ie, y

"Gân am farwol glwy,
Na chlywir diwedd arni mwy."

Ond er ei hynod rinwedd, yr ydym yn gweled nad yw angeu yn arbed hen nac ieuanc.

Gwych iawn oedd tegwch einioes—cyn angeu,
  Cwyn ing a diwedd loes,
 I'w bladur ef, blodau'r oes
 Ni ddaliai—blin y dduloes."

Gweinyddwyd yn ei hangladd gan Dr. Vincent, Dell Roy, a'i hewythr, brawd ei mam, yr hwn oedd yma ar y pryd, sef y Parch. W. F. Davies, Nanticoke, Pa. Dydd Mawrth, yr 11eg, aed a gweddillion Annie Davies i le o'r enw Big Spring, ychydig dros dair milldir i'r gorllewin oddi yma, lle hefyd y mae gweddillion George Draper a John R. Jones yn gorwedd yn dawel bron ochr-yn-ochr.

Er aros i hir orwedd
O Annie bach yn y bedd,
Diau'r Ion i wlad yr hedd,
A'i geilw hi o'i gwaeledd.

Gwelir fod angeu wedi bod yn gweithio yn anedd-dy John B. Davies ddydd Sadwrn, yr 8fed, a dydd Sul, y 9fed, sef tori John R. Jones yn ei gryfder, ac Annie Davies yn dechreu perarogli. Peth na welwyd erioed o'r blaen oedd dau gorph ar yr un pryd yn yr un ty yn Dell Roy.

D. T. Davis, Taid Annie.

MISS MARY ANN RICHARDS.

Gyda chalon ofidus a hiraethlawn y cymerwn y pin i gofnodi marwolaeth y chwaer ieuanc sydd a'i henw uchod. Hi ydoedd yr ail ferch i Mr. Abraham Richards a Cecilia ei wraig. Fel y gwyr llawer, tua blwyddyn a haner yn ol, mewn canlyniad i anffawd a dderbyniodd yn y gwaith, gorphenodd ei hanwyl dad ei yrfa ddaearol; marwolaeth yr hwn oedd yn egryd drom i ni fel eglwys, ac yn golled anadferadwy i'w deulu. Yr adeg hono, nid oedd neb yn meddwl y buasai Mary Ann, wrol a iach yr olwg, yn teithio y dyffryn du mor fuan ar ei ol. Byr mewn cydmariaeth y bu ei chystudd, ond mor drwm fel mai anmhosibl i gyfansoddiad cryf oedd dal ond am ychydig wythnosau. Ei dolur ydoedd *typhoid fever*. Boreu ddydd Iau, Hydref 26ain, credai ei hanwyl fam fod gobaith cryf am ei hadferiad, ond gobaith i gilio yn fuan ydoedd, oblegid tua chanol y dydd torwyd y gadwyn ddiweddaf oedd yn ei dal wrth y ddaear, ac ehedodd ei henaid uwchlaw pob gofid i "ardal lonydd yr aur delynau." Deunaw o flwyddi ac un mis a gafodd ar y llawr; ac fel eraill, y blwyddi hyny yn gymysgedig o felus a chwerw, poen a llawenydd; ond yn awr, credwn fod y poen wedi darfod, ac na fydd ond llawenydd iddi mwy. Claddwyd hi y Sul canlynol. Daeth un o'r torfeydd mwyaf a welwyd yn y lle hwn erioed i hebrwng ei gweddillion marwol i'r bedd. Yn herwydd fod yr ysgrifenydd oddi cartref, gweinyddwyd yn y ty, y capel, ac ar lan y bedd, gan yr hybarch frawd Thomas Jones, Wilkesbarre.

Am y chwaer ieuanc Richards, nid rhwydd ydyw canmol na son gormod am ei rhinweddau lluosog. Yr oedd o ran ei buchedd a'i rhodiad yn un o'r rhai mwyaf dichlynaidd—bob amser yn llawn serchawgrwydd a dymuniadau da tuag at bawb. Boneddiges oedd

Mary Ann Richards, nid o herwydd yr hyn oedd ganddi o bethau y byd hwn, ychydig oedd y rhai hyny, ond yn herwydd yr hyn o sylweddion byd arall ydoedd wedi dynu at, a'u gwneyd yn rhan o honi ei hun. Bedyddiwyd hi pan tua 13 oed, gan y Parch. J. P. Harris, Providence yn awr, ond Nanticoke y pryd hwnw. Yn ystod ei gyrfa grefyddol, bu yn agored i lawer iawn o demtasiynau, fel pob dyn a dynes ieuanc arall; ond er yr oll, bu ei gwisg heb ei llychwino, a'i gyrfa yn hollol ddifwlch; ac o ran ei thebygolrwydd i'r Iesu, yr oedd yn amlwg yn dyfod fwy-fwy ar ei ddelw bob dydd. Tystiolaeth pawb yw a fu gyda hi y dyddiau olaf y bu byw, na welsant neb yn myned i lawr i'r dyffryn tywyll yn fwy diofn. Byddai yn canu, diolch, a gweddio bob yn ail. Crist a'i groes oedd ei phenaf gysur. Canai gydag awyddfryd a nwyf, y geiriau hyny, "Gad i'm deimlo awel o Galfaria fryn." Ymawyddai, gellid meddwl, am olwg gyflawn ar ei hetifeddiaeth, a thorai i ganu, "When I can read my title clear," &c., nes byddai pawb yn y ty yn anghofio eu hunain yn llwyr. Yn ystod ei holl glefyd, ni ddangosodd yr amheuaeth lleiaf am ddiogelwch ei chyflwr. Baich y gweddiau lluosog a ofynodd oedd, am i Dduw fendithio yr eglwys, y gweinidog, yr Ysgol Sul, ei hun, ei chwiorydd, a'i chydgyfoedion. Yr oedd Mary Ann wedi gofalu mewn pryd am ei henaid, fel nad oedd eisiau gwylltio o gwbl pan ddaeth angau. Digon gwir, yn ddiameu, yr hyn ddywedodd dynes ieuanc yn ymyl ei harch ddydd ei hangladd, pan ddywedodd dynes arall yn dosturiol am dani wrth edrych ar ei gwyneb gwelw, "Poor Mary Ann." "No," meddai hono, "she is not poor, she is rich." Iē, a mwy cyfoethog nas gallwn ni yn awr amgyffred. Efelychir hi gan ei chwiorydd sydd ar ol, a'i chydgyfoedion oll. Nawdd Duw a fyddo ar ei mam weddw a galarus, ac amddiffyn y nef fyddo ar y perthynasau oll.—*W. F. D., Nanticoke, Pa.*

MR. DAVID DAVIES.

Medi 9, 1881, yn 24 oed, David Davies, South Chicago. Dyoddefodd gystudd byr o'r *typhoid fever*. Ganwyd Mr. Davies yn Dowlais, yn y flwyddyn 1857. Mab ydoedd i James Davies, Patternmaker. Ymadawodd ein cyfaill a gwlad ei enedigaeth yn niwedd Mai diweddaf, a daeth i'r lle hwn i aros at ei chwaer a'i frawd yn-nghyfraith, y rhai fu yn dyner iawn o hono yn ystod ei gystudd. Nid oedd yn grefyddol. Yr oedd yn hoff o foddion gras, yn fachgen o gymeriad moesol da. Yr ychydig amser y bu yma gwnaeth lawer o gyfeillion iddo ei hun. Ar yr 11eg, ymgynullodd torf luosog o Gymry, ac eraill, i ddangos parch i'r hyn oedd farwol o hono. Cyn codi o'r ty, darllenwyd rhan o air Duw, ac anerchwyd gorsedd gras gan yr ysgrifenydd. Wedi cyrhaedd y capel lle mae y Cymry yn arfer addoli, pregethwyd gan y brawd Samuel J. Bassett yn darawiadol iawn oddiar y geiriau hyny yn 2 Samuel 12 : 23. Claddwyd ef yn ochr ei frawd yn Oakwood Cemetery, gan hyderu y cyfyd i fwynhau cymdeithas Iesu. Yr Arglwydd fyddo yn nodded i'w dad oed ranus yn Nghymru, a'r perthynasau oll.—*E. J. Jones.*

GERTRUDE MORGAN.

Yn Thomastown, O., Tachwedd 12fed, yn 2 flwydd, 3 mis a 5 diwrnod oed, Gertrude, merch y Parch. Thomas P. Morgan, M. A., a'i briod. Cafodd gystudd blin a phoenus am hir amser. Claddwyd ei chorph y dydd Llun canlynol, yn mynwent East Akron. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth crefyddol gan Thos. H. Morris, a'r Parchn. Lewis (A.), Thomastown, a J. F. Richards, Newburgh. Ychydig dros ddau fis yn ol claddwyd mam ein hanwyl frawd. Boed nawdd y nef ar y teulu galarus.—*Brawd.*

MR. DANIEL REES.

Medi 30ain, yn Aspinwall, Neb., o'r *inflammation of the bowels*, bu farw Mr. Daniel Rees. Ganwyd ef yn mhlwyf Llandudoch, sir Benfro. Bedyddiwyd ef gan y Parch. Stephen Edwards, Rhymni. Preswyliai y pryd hwnw yn Rhymni, ac ni ymadawodd nes dod i'r America. Bu yn aelod yn Pittsburgh gyda y Parch. Wm. Owens, amryw flynyddau. Bu yn byw yn Fountainelle, Iowa, dair blynedd. Wedi hyny, symudodd i Aspinwall, Neb., yno y bu fyw bedair blynedd, pan ddaeth y diwedd yn 66 mlwydd oed. Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. B. F. Lowell. Claddwyd ef yn Praire Union yn ymyl capel y Bedyddwyr. Mae iddo ferch, Mrs. D. F. Thomas, yn aros ar ei ol; hefyd brawd a chwaer yn Califoria. Bu farw ei wraig yn Rhymni oddeutu 14 mlynedd yn ol. Tystiolaethir gan ei gydnabod fod iddo galon dda, rwydd, yn hynod o onest, yn haelionus at achosion da, ac iddo air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun.—*Brawd.*

MRS. THOS. G. PARRY.

Medi 12fed, yn Beacon, Iowa, bu farw Mrs. Thos. G. Parry, yn 57 mlwydd ac 8 mis oed. Daethai i'r wlad hon o Blaenafon 36 mlynedd yn ol. Bu ef a'i deulu fyw am beth amser yn Summit Hill, Pa., oddiyno aeth i California, lle y bu am oddeutu pedair blynedd. Bedyddiwyd ef yn Blaenafon gan weinidog y lle. Mae iddo weddw a phump o blant i hiraethu am dano. O ran ei gymeriad, ystyrid ef yn ddyn gonest, geirwir, plaen, efallai yn rhy blaen ar ei les Claddwyd ef yn nghladdfa Beacon. Gweinyddwyd yn deimladwy ar yr achlysur gan y Parch. Mr. Simmons, gweinidog y Bedyddwyr yn Oskoolosa.—*Cyfaill*

MRS. SARAH JONES.

Medi 18, 1881, yn Plymouth, Pa., bu farw Mrs. Sarah Jones, anwyl briod Mr. John L. Jones, wedi byr, ond trwm gystudd, yn y *typhoid fever*.

Yr oedd Mrs. Jones yn ferch i Anthony ac Elizabeth Price, Treorkey. Ganwyd gwrthddrych y cofiant hwn yn Pen-y yard, Plymouth, Merthyr, D. C., Medi 17, 1860 Bedyddiwyd hi pan yn 14 mlwydd oed, sef Medi 5, 1874, yn Noddfa, Treorkey, gan y Parch William Morris, gweinidog y lle hwnw, a da genyf ddweyd, iddi ymlynu yn ddifwlch yn ei phroffes hyd ei bedd.

Ymfudodd i'r wlad hon Ebrill 12, 1880, ac ar y 26ain o'r un mis ymunodd mewn glân briodas gyda John L. Jones, o flaen y Parch D. Rhys Jones, gweinidog y Bedyddwyr, yn ei dy ei hun, yn y lle hwn.

Gwnaeth y chwaer hon ddefnydd priodol o gyngor y gwr doeth, sef, "Cofia yn awr dy Greawdwr yn nyddiau dy ieuenctyd," oblegid ymunodd â chrefydd yr Arglwydd Iesu yn moreu ei hoes; a hyfryd yw gallu dwyn tystiolaeth i'w bywyd diargyhoedd yn ei wasanaeth tra yn cartrefu gyda ni; ac yr oedd ei llythyr cymeradwyaeth o'r Hen Wlad yn dwyn tystiolaeth i'w bywyd gwir grefyddol tra yn aros yno.

Yr oedd yn ddynes serchog a thawel, yn wraig dyner, a chymydoges garedig, yn hawlio parch gan bawb o'i hamgylch. Yn ei hymwneyd â phethau crefyddol, byddai yn rheolaidd yn y cyfarfodydd, ac yn ffyddlawn i'w hymrwymiadau yn mhob cysylltiad. Yr oedd yn aelod o'r Ysgol Sul, a gwasanaethai yn ffyddlawn fel athrawes, a phob amser byddai ei dosbarth yn hoff iawn o honi. Yr oedd wedi gwneyd defnydd o fanteision yr Ysgol Sul ei hun, oblegid darllenai yn dda. Yr oedd bob amser hefyd yn ufudd, serchog ac ymegniol yn cyfranu yr un bendithion i'r ieuenctyd a osodid o dan ei gofal. Yn yr eglwys yr oedd yr un mor ymroddgar i wneyd ei rhan. Credwyf mai y gwaith diweddaf a gyflawnodd o'i "llafurus gariad" oedd glanhau y capel. Beth bynag a gymerai hi arni i'w wneyd, gwnai hyny yn llawen, ac heb rwgnach.

Nid oedd Mrs. Jones yn mwynhau iechyd da er's tipyn, felly yn dra agored i gael anwyd; ond bu y dwymyn ffyrnig diweddaf yn drech na gallu meddygol, a thorwyd hi i lawr yn mlodau ei dyddiau, ac yn nghanol ei defnyddioldeb. Ymadawodd â'r fuchedd hon pan ond 21 mlwydd o'i hoedran, a gadawodd dystiolaeth fod y cyfnewidiad er gwell—ei bod wedi myned oddiwrth ei "gwaith at ei gwobr."

Medi 20fed, ymgynullodd tyrfa o'i chydnabod i weini y gymwynas olaf i'w rhan farwol. O herwydd afiechyd ein gweinidog, gweinyddodd y Parch. John P. Evans (A.), o Wisconsin; darllenodd a gweddiodd yn y ty, a phregethodd yn y capel. Claddwyd hi yn mynwent y lle hwn. Heddwch fyddo i'w llwch hyd y dydd mawr diweddaf, a bendith y Nefoedd fyddo ar ei phriod yn ei drallod, a'i pherthynasau galarus yn yr Hen Wlad.

PETER ROBERTS.

***Dymunir ar *Seren Cymru* godi yr uchod.

## NODION O'R "HEN WLAD."

—Y mae Shah Persia yn bwriadu talu ymweliad arall â Lloegr yn ystod y gwanwyn nesaf.

—Cyrhaeddodd tysteb yr hybarch Ddr. Price, Aberdar, y swm hardd o 602 o bunau. Bwriada yr Iforiaid gyflwyno iddo dysteb yn mhen ychydig.

—Hydref yr ail, cymerodd terfysg arswydus le yn Sheffield. Yr oedd adran o'r *Salvation Army* yn gorymdeithio ar yr ystryd, gyda eu baneri yn chwifio, pan y daeth benyw yn mlaen gan fygwth ymosodiad ar yr arweinydd gydag ysgubell. Cymerodd ysgarmes le, pan y daeth yn nghyd dyrfa fawr o bobl; a'r canlyniad fu i fintai o *roughs* y dref ymosod ar yr adran; torasant eu baneri, a churasant y cadben yn ddidrugaredd. Niweidiwyd eraill yn ddrwg, a bu yno gythrwfl mawr am fwy nag awr o amser.

—Y mae Llywodraeth Ffrainc wedi anfon tua 10,000 yn ychwaneg o filwyr i Tunis, fel y byddo yn y wlad hono dros 50,000 o wyr cyfaddas i ymladd, tra y mae y Llywodraeth wedi gorchymyn i M. Roustan, y dirprwywr Ffrengig yn Tunis, ddychwelyd yno yn ddioed i gario allan yr ymgyrch.

—Dywedir fod pob lle i ofni y bydd i fynydd arall gwympo yn Switzerland. Dywedir fod Roth-horn i'w weled yn symud.

—Yn ol pellebyr o Calcutta, y mae cynwrf difrifol wedi tori allan rhwng yr Hindwaid a'r Mahometaniaid yn Moulton. Ymddengys mai teimlad crefyddol yw yr achos. Y mae llawer o demlau Hindwaidd a Mahometanaidd wedi eu llosgi.

—Hysbysir fod Mr. Henry Richard, A. S., wedi ymgymeryd â chyfansoddi cofiant i'r diweddar Mr. Edward Miall.

—Yn mhlith yr ymgeiswyr llwyddianus yn yr arholiad diweddar am *Matriculation* yn Mhrif Ysgol Llundain, yr oedd dau o fyfyrwyr Pontypool, sef D. M. Davies a Joseph Davies. Pasiodd

y ddau yn y *first division*. Da genym ddeall y gall yr athrofa hon droi allan ysgolheigion mor addfed, yn gystal a phregethwyr da a derbyniol.

—Mae arch o gareg wedi ei dargan-fod yn eglwys Matherne, ger Chepstow, yr hon sydd 1,200 mlwydd oed. Cyn-wysa weddillion Theoderic, brenin Mor-ganwg. Ymddengys i'r eglwys gael ei chodi gan Maurice, ei fab, er cof am ei dad, yr hwn a fu farw o glwyfau a dder-byniodd mewn rhyfel â'r Saxoniaid yn Teutern, yn y fl. 600.

—Ymddengys fod Eugenie, cyn-Ym-erodres Ffrainc, mewn cyflwr tra anny-munol o ran ei meddwl. Byth er mar-wolaeth ei mab, y mae fel pe wedi tori ei chalon. Efe oedd gobaith ei byw-yd; a chredai y byddai iddo, ryw ddiwr-nod, esgyn gorsedd Ymerodrol Ffrainc. Y mae ei holl obeithion yn awr wedi diflanu. Treulia y rhan fwyaf o'i ham-ser mewn unigedd, a hyny mewn ystaf-ell dywell. Y mae ei chynysgaeth, fodd bynag, yn helaeth, gan ei bod yn werth, o leiaf, $250,000 y flwyddyn.

—Yr oedd parotoadau ar raddeg eang wedi eu gwneyd yn Abertawe gyf-erbyn ag ymweliad Tywysog a Thywys-oges Cymru â'r dref, ar yr achlysur o agoriad y dociau newyddion, ddechreu y mis diweddaf, pryd y cafwyd amser ardderchog.

—Dywedir fod Lloegr a Ffrainc wedi dyfod i gyd-ddealldwriaeth ar y pwnc o roi terfyn ar y gaethfasnach sydd yn cael ei chario yn mlaen yn gartrefol yn yr Aipht. Bodola caethwasiaeth rhwng teuluoedd; eithr ni atgludir caethion tramor i'r farchnad, canys y mae hyny yn anmhosibl yn awr. Dywedodd Iarll Granville, y dydd o'r blâen, wrth y Gymdeithas Wrthgaethiwol, fod y llyw-odraeth am awdurdodi y Trafnoddwyr yn yr Aipht i deithio trwy y wlad i atal caethwasiaeth. GLANCLYDAN.

---

—Cyrhaeddodd Lionel Sackville West, y gweinidog Prydeinig newydd, i Philadelphia o Liverpool, ar yr ail o'r mis diweddaf. Gwnaed parotoadau i roddi croesawiad priod-ol iddo, y rhai a gariwyd allan yn llwyddianus.

## NEWYDDION CYFFREDINOL.

—Yn ngorymdaith y Lord Mayor yn Llun-dain ar y 9fed o'r mis diweddaf, cariwyd y faner Americanaidd dan warchodaeth *guard of honor*, a blaenorid hi gan seindorf yn chwareu y "Star Spangled Banner," &c. Cyf-archwyd y faner yn gyffredinol gyda banllefau a churo dwylaw, a chwyfid canoedd o faneri Americanaidd drwy y ddinas. Hyn oll fel amlygiad o werthfawrogiad gorchymyn moes-gar yr Arlywydd Arthur i'r fyddin a'r llynges Americanaidd gyfarch y faner Brydeinig ar derfyniad y dathliad diweddar yn Yorktown. Hir y parhaed teimladau da rhwng y ddwy lywodraeth alluocaf a mwyaf gwareiddiedig a Christionogol dan haul y nefoedd er eu holl anmherffeithderau.

—Mae carchariad Parnell a'i gymdeithion, yn nghyda darostyngiad y Cyngrair Tirol, wedi achosi cyfnewidiad er gwell yn yr Iwerdd-on. Mae arwyddion yn bresenol y bydd yr Ynys Werdd cyn hir mor heddychol a rhyw ran arall o'r byd. Mae y clerigwyr uchaf yn condemnio yn hyf athrawiaethau y Cyngreir-wyr Tirol, ac yn rhybuddio y bobl rhag cym-eryd eu harwain gan arweinwyr gau.

—Dechreuwyd prawf Guiteau ddydd Llun, y 14eg o'r mis diweddaf. Dywedir fod cyf-reithwyr Llundain yn cymeryd dyddordeb mawr yn y *case*. Ddydd Sadwrn, y 19eg, fel yr oedd y carcharor yn cael ei ddwyn o lys y prawf yn ol i'r carchar, saethwyd ato gan ddyn o'r enw Jones, ond ni wnaeth y belen ond crafu ychydig ar ei arddwrn. Daliwyd Jones.

—Dywedai Daniel Grant, aelod rhyddfryd-ol o Barliament Lloegr, tra yn areithio yn ddiweddar mewn cyfarfod lluosog, er ei fod ef ei hun yn foddlon i'r sefyllfa boliticaidd bres-enol, eto fod y meddwl cynyddol yn Lloegr yn gogwyddo at weriniaeth. (Cymeradwyaeth fawr.)

—Planwyd derwen yn Cypress Hill Ceme-tery er coffadwriaeth am James A. Garfield, y dydd o'r blaen, gan gymdeithas o Germaniaid. Cerddodd deuddeg cant o bersonau, gyda sein-dorf, i'r fynwent. Traddodwyd araeth, plan-wyd y dderwen gyda seremoniau tarawiadol, a thaniwyd *salute* o un-ar-hugain o ynau.

—Dywed y New York *Evening Post*, y dengys arolygiad gofalus o'r llofruddiaethau, hunan-laddiadau a throseddau, yn y Talaethau Unedig, am y deng mlynedd diweddaf, fod rhan fawr o'r gweithredwyr yn atheistiaid a rhydd-feddylwyr. Ymffrostia rhai o'r dynion hyn eu bod yn "ddynion Bob Ingersoll," ac nis gall fod un amheuaeth resymol fod tuedd-iad athrawiaethau Ingersoll i wneyd y rhai a'u credant yn ddiofal yn nghylch y dyfodol.

—Trochwyd Chinead yn un o eglwysi y Bedyddwyr yn New York, y nos Sul o'r blaen.

## DYDDANION.

—Daeth cardotyn tlawd at ddrws Dr. Smollett i ymofyn elusen. Rhoddodd yntau *guinea* iddo mewn camgymeriad. Y dyn tlawd, gan dybied fod camgymeriad wedi bod, a redodd yn ol i'w roddi i'r boneddwr. Ar hyn rhoddes Smollett ef iddo yn ei ol, yn nghyd a *guinea* arall, fel gwobr am ei onestrwydd. Wrth eu rhoddi iddo, efe a ddywedodd, "Y fath lety gwael y mae gonestrwydd weithiau yn ei gymeryd !"

—Yn y *Mail Coach* ar ffordd Llundain, flynyddau yn ol, yr oedd boneddwr ieuanc yn gwasgaru ei egwyddorion deistaidd gyda y cwmpeini yn y cerbyd, trwy gymeryd ei hyfdra i ddirmygu yr Ysgrythyrau. Yn mysg pethau eraill, yr oedd yn gwneyd gwawd neillduol o hanes Dafydd a Goliath, gan ddadleu yn eofn yr anmhosiblrwydd i fachgen o'r fath allu taflu careg i suddo yn mhen y cawr. Apeliai at y cwmpeini am afresymoldeb y peth, ac yn enwedig at wr boneddig yn perthyn i'r Crynwyr, oedd yn eistedd yn dawel yn nghornel y cerbyd. "Yn wir, gyfaill (atebai hwnw), nid wyf fi mewn un modd yn ei dybied yn beth annhebygol, yn neillduol os oedd ei ben ef mor feddal a dy ben di." Y mae yn lled debyg i'r atebiad hwn yru y gwr doeth hwnw i ddystawrwydd.

—Wrth sylwi ar Dat. 2: 10, "Chwi a gewch gystudd ddeng niwrnod," gwnaeth y diweddar William Morris, Ty Ddewi, y sylw hynod a ganlyn—"Ni wn i yn iawn beth i'w ddywedyd am y deng niwrnod yma; ond mi a allaf ddweyd cymaint a hyn, wedi i Dduw roi deng niwrnod i lawr, nid oes un cythraul yn uffern a'i gwna yn ddeuddeg."

—Geneth fechan saith mlwydd oed, yn Paris, a gymerai hyfrydwch mawr i ddarllen y Testament Newydd. Pan ofynwyd iddi pa bleser oedd hi yn gael i wneyd hyny, hi a atebodd, "Y mae yn ein gwneyd ni yn ddoeth, ac yn ein dysgu pa fodd i garu Duw." Pan yn darllen hanes Mair a Martha, gofynwyd iddi, "Pa beth oedd yr un peth angenrheidiol ?" "Cariad at Dduw ydyw," atebai hithau gyda difrifwch.

—Ychydig cyn ei farwolaeth, yr oedd Twm o'r Nant yn Tre Madoc, yn amser agoriad capel y Methodistiaid. Yr oedd Mr. Charles, Bala, yn un o'r pregethwyr yn y cyfarfod hwnw, ac yn gydnabyddus a'r hen fardd o'r Nant. Wrth ei ddwyn i sylw y pregethwyr, efe a ofynodd iddo, gan ddywedyd, "Thomas Edwards, pa fodd y mae rhyngoch chwi a'r Personiaid yn awr?" "Gofalwch chwi am y *defaid*, Mr. Charles (meddai Twm), mi a edrychaf fi ar ol y *cwn*."

—Yr oedd Deon Swift yn foneddwr nodedig o hynaws, ac hefyd yn nodedig o ffraeth. Un tro yr oedd y cig a ddygwyd ar y bwrdd i'w giniaw gan ei forwyn wedi ei orlosgi. Galwodd y *cook* i'w ystafell i gymeryd y cig yn ol, a rhostio tipyn llai arno. "Rhynged bodd i'ch anrhydedd, nis gallaf ei wneyd yn llai," ebe hithau. "Pe buasai wedi gwneyd rhy fychan, gallasech wneyd mwy arno yn ddigon rhwydd." "O, gallaswn, Syr," ebe hithau. "Gan hyny (medd y Deon yn serchog), pan wneloch amryfusedd eto, gofalwch ei fod yn gyfryw y gellir ei wellâu." Dyma awgrym synwyrol sydd yn werth sylw.

—Yr oedd hen wraig yn cael ei holi yn ddiweddar mewn llys lle yr oedd dau farnwr yn eistedd; a phan ddechreuwyd ei holi, dechreuodd yr hen wraig gyngori y barnwyr pa fodd i wneyd rhywbeth. "Wel," meddai un o'r barnwyr, "os ydych yn dyfod yma i ddweyd pa fodd y dylem ni wneyd, nid dyna eich lle, deuwch yma atom ni, ac eisteddwch ar y fainc yma." "Na, yr wyf yn meddwl," medd yr hen wraig, "fod yn well i mi aros yn y fan lle yr wyf, y mae digon o hen wragedd yn y fan yna eisoes.

—Gofynwyd gan gyfaill i Mr. Clark, Frome, pa fodd y gall dyn ymgadw rhag myned i ymrafaelion pan gyda dynion cwerylus ? "Trwy adael i'r dyn digofus gael yr ymrafael iddo ei hun," ebai efe.

// Y WAWR.

CYF. VI.] IONAWR, 1882. [RHIF. 10.

# ADLÉF O WELY ADFYD.

GAN Y PARCH. D. E. BOWEN.

## LLITH III.

### SYNIADAU AR ADFYWIAD CREFYDDOL.

Blwyddyn newydd dda i ti, ddarllenydd hynaws; mae gwawr blwyddyn a GWAWR Giraldus yn tori arnom ar yr un adeg. Hyderwn y daw yn oleu clir rhwng yr holl lewyrchiadau. Aeth A. D. 1881 a'i chyfrif i mewn, a hunodd gyda ei chwiorydd cyn y diluw. Bu ei theyrnasiad yn un llymdost a gerwin i luaws o'i deiliaid. Nid arbedodd y penau coronog, na llywiawdwyr y ddaear. Y Czar creulon o Rwssia a Garfield dirion Columbia, a wnaed yn gyd-wastad â'r llwch trwy ddwylaw llofruddiog ac ellyllawl! Bu y tân yn llosgi a'r dyfroedd yn boddi, a'r ddaear yn claddu eu miloedd. Ond wele ni yn fyw, ac yn dechreu blwyddyn wrth orsedd trugaredd.

"Wythnos weddi" y gelwir hon. Y mae holl Gristionogion y byd yn ei chysegru at wasanaeth adfywiad crefyddol. Dyna y peth mwyaf angenrheidiol ar deulu dyn. Pa fodd yr ydym yn treulio yr wythnos weddi? Dichon fod rhai yn tybied fod treulio awr mewn ty gweddi yn mrig yr hwyr yn cyflawni y ddyledswydd. Ond y golygiad yw cysegru yr wythnos yn Sabboth i'r Arglwydd. Aberth cloff yw awr neu ddwy pan y mae y gorchwylion bydol oll wedi eu gorphen. Ymdrechwn ddydd a nos trwy weddi ac ympryd am y cawodydd graslawn i ddisgyn ar fynydd Seion. "Nis gollyngaf hyd oni'm bendithi." Y mae greddf addolwyr yn y Cymry, ond peth arall yw i ni gyflawni prophwydoliaeth y pen-fardd Taliesin, sef, "Eu Ner a folant." Mae yn ddichonadwy i ni addoli Bacchus a Mammon, o dan gochl gwir grefydd. "Rhith duwioldeb, wedi gwadu ei grym hi." Byw ar ffurfiau a dullweddau allanol, nad ydynt yn cyrhaedd yr amcan mewn golwg. Rhedeg yr aradr trwy yr un rhych flwyddyn ar ol blwyddyn.—"Treuliasom ein blynyddoedd fel chwedl." Llyfr yr Actau yw yr unig safon sydd genym ar gofnodau eglwysig. Ynddo y cawn mai eglwys y diwygiadau oedd yr un Apostolaidd. "A Duw a ychwanegodd beunydd at yr eglwys." Nid oes un eglwys yn cyflawni ei dyledswydd heb ymgyrhaedd at y gamp uchel yna.

Hen wlad y diwygiadau nerthol yw Gwalia. Dyna sydd wedi cadw gwir grefydd yn fyw ynddi, pan y mae y canwyllbren wedi ei symud o'r gwledydd hyny lle bu yr Apostolion yn planu eglwysi mawrion. Nid yw y Cymry yn America wedi mwynhau yr un diwygiad grymus a chyffredinol er pan y maent wedi sefydlu yn y wlad. Chwanegir at yr eglwysi trwy ymfudiaeth yn benaf. Ac yn y lleoedd hyny lle y mae ymfudiaeth wedi darfod, mae yr eglwysi wedi eu claddu. Mae hwn yn

fater difrifol, ac yn galw am ein hystyriaeth fel cenedl, o bob enwad crefyddol; canys nid oes rhagoriaeth yn y naill na'r llall o honom yn hyn. Yr ydoedd yr Arglwydd yn teyrnasu yn ein plith tua deugain mlynedd yn ol. Deugain mlynedd i'r Nadolig diweddaf yr urddwyd fi yn Carbondale.—Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. William Terrar, Ohio, D. J. Phillips, gynt o Gaerlleon, Mynwy, a William Morgan, Pottsville, Pa. Cafwyd cyfarfodydd bendigedig, yr Ysbryd Glan yn cydweithio â gweinidogaeth yr enwogion hyn, yn adeiladu Seion, ac yn achub eneidiau anfarwol. Bedyddiwyd llaweroedd mewn canlyniad i'r doniau achubol a dywalltwyd arnom; a chasglodd yr enwadau eraill ran helaeth o'r ffrwyth. Lle y mae gwir ddiwygiad yn mhlith un enwad, mae yn bendithio holl eglwysi y y saint. Y brawd anwyl y Parch. Lewis Williams oedd yn ei lawn hwyliau ar yr adeg hon; ond y mae mewn gwell hwyl heddyw ar fryniau Caersalem.

Wedi gorphen y cyfarfodydd graslawn hyn, aethum i a'r brawd Terrar, gyda Phillips, yr hwn oedd yn weinidog i'r eglwys, i New York i gadw cyrddau diwygiadol. Yr oedd yr eglwys yn addoli y pryd hwnw mewn neuadd eang ar Canal Street, ac yr oedd yn orlawn o addolwyr ysbrydoledig bob nos. Achubwyd lluaws o hil syrthiedig Gomer ag sydd yn awr yn canu yn beraidd am ras Calfaria fryn. Byddent yn cyflogi cerbydau, ac yn myned yn orymdaith fawreddog i fedyddio i fyny yn Afon y Gogledd. A byddent yn canu hen alawon Cymreig nes oedd y ddinas yn adseinio.

Yn amser y gymanfa yn Swydd Schuylkill, yn y flwyddyn 1843, cafwyd dylanwadau nerthol yr Ysbryd Glan i lawr, a dychwelodd lluaws at yr Arglwydd ar faes llafur y brawd Morgan; a chafodd y Parch. E B. Evans, yr hwn oedd weinidog ffyddlon yr Annibynwyr yno fedi o'r ffrwyth. Un amgylchiad gwerth ei gofnodi ar yr adeg hono oedd bedyddiad y brawd anwyl David Evans gan Morgan. Evans oedd bregethwr ieuanc addawol iawn gyda yr Annibynwyr; cafodd ei oleuo am fedydd y Testament Newydd, ac ufuddhaodd yn llawen gyda pharch i orchymyn Pen yr eglwys. Canlynwyd ef gan ei briod anwyl mewn amser cyfaddas. Urddwyd y brawd yn weinidog ar yr eglwys yn Danville, Pa., a bu yn llwyddianus iawn am dymor. Ond daeth yr hen Satan a'i wyntyll heibio fel gynt, ond ni chollwyd dim o'r gwenith. Esgynodd y brawd i awyrgylch iachus Summit Hill, a bu yn llwyddianus yno. Ond Mineral Ridge, O., fu prif faes ei lwyddiant; a chafwyd yno ddiwygiad annhraethol trwy ei weinidogaeth. Mae y brawd yn aros a'i fwa yn gryf hyd heddyw trwy nerthol Dduw Jacob. Y mae yn llafurio ar faes y gwenith gwyn yn bresenol yn Mercer Co., Pa. Nid oes un pregethwr mwy efengylaidd, na Christion mwy trylwyr, wedi addurno y pwlpud Cymreig yn America, na'r Parch. David Evans, Wheatland, Pa.

Bu diwygiad nerthol a chyffredinol yn Minersville, trwy weinidogaeth y Parch. J. P. Harris, tua'r flwyddyn 1846 yr wyf yn tybied. Yr ydoedd y Parch. R. R. Williams yn llafurio yn ffyddlon gyda'r Annibynwyr yno ar yr un amser, a thrwy bod dylanwad da, achubwyd canoedd o eneidiau.

Yn y flwyddyn 1851 bedyddiwyd 50 genyf fi yn nyffryn y Lackawanna, o Carbondale hyd Pittston. Dyna y cyfnod y corphorwyd eglwys Pittston, yn y neuadd uwchben y "California Store," eiddo y pryd hwnw yr hen bererin ffyddlon Moses Tudor Rowlands, o Ben Mynydd, Mon. Un o ddisgynyddion Owain Tudor, mae yn ddiau, a chaiff y goreu air fyr enyd. Bedyddiwyd Benjamin fy mrawd a'i briod y cyfnod hwn, ac urddwyd ef yn fugail ar yr eglwys.

Ond y pwnc o bwys ydyw, pa fodd y mae cael diwygiad yn bresenol? Darllenais ystadegau Cymanfa y Bedyddwyr yn Nwyreinbarth Pennsylvania—33 o eglwysi, a 18 heb fedyddio neb; 148 wedi eu diarddel; 36 wedi marw; 58 wedi eu bedyddio, 32 gan

dair eglwys, sef Frostburgh, Nanticoke a Providence. Ai tybed fod y ffigyrau uchod yn dangos yr angenrheidrwydd am dywalltiad o'r Ysbryd Glan i lawr? Credwyf yn ddiysgog y gellir cael diwygiad pryd bynag y byddom ni yn barod i ddefnyddio cyfryngau yr efengyl mewn ffydd yn eu heffeithiolrwydd. Ystyriwn foddion apwyntiedig y nefoedd yn rhy wael a distadl y dyddiau yma. Y clai a'r poeryn, pa les wna rhai'n? Mae yn ddigon gresynol i fod yn ddall, heb roi baw yn ei lygaid hefyd. Gadewch i ni gael y *patent salve* goreu a udgenir ei glodydd dros fro a bryn yn y newyddiaduron. Rhoddwn *sweet oil* yn llygad yr adyn tlawd, a gwnawn iddo deimlo dipyn yn gysurus. Ystenau pridd Gedeon! —lol i gyd! Ceisiwch y *big gun;* efe a wna i'r gelynion ffoi ar ffrwst. Mae mympwyon a chynlluniau dynol y dyddiau hyn yn dinystrio egwyddorion sylfaenol yr efengyl. Hunan-ymwadiad a ffydd sydd yn hanfodol i lwyddiant. Mae yr Arglwydd Iesu yn cysylltu ffydd a phob gweithred ddyngarol a gyflawnodd ar y ddaear. Yr un fath eto: "Pa beth bynag a ofynoch gan y Tad yn fy enw i, gan *gredu,* fe a fydd i chwi." Ni fu gorchestion ffydd erioed yn fwy amlwg nag yn yr oes hon. George Muller, Bristol, Lloegr, sydd un engraifft. Mae wedi porthi, dilladu ac addysgu miloedd o blant amddifaid, a'r oll trwy ffydd a gweddi. Nid yw wedi gofyn i un person dynol erioed am gymorth, ac nid oedd ganddo ddim ei hun yn cychwyn y gwaith byth-gofiadwy hwn. Mae efe yn 77 mlwydd oed, ac wedi cario yr anturiaeth glodadwy yn mlaen am 50 mlynedd. Mae yn cynal 40 o genadon i bregethu yr efengyl i'r paganiaid hefyd—oll trwy ffydd. C. H. Spurgeon, yn cario y coleg a'r *orphan asylum,* a llu o weddwon tlodion, oll trwy ffydd a gweddi. Nid oes yr un *agent* wedi casglu cent erioed at y sefydliadau mawrion hyn. D. L. Moody, bachgenyn diddysg, *clerk* mewn *shoe store* yn Chicago, yn cael ar ei feddwl i gychwyn ysgol Sul yn mhlith y plant carpiog a esgeulusid gan bawb eraill. Dechreuodd efo chwech, cynyddodd i 1,500, a 300 wedi eu hachub. Aeth drosodd i Brydain Fawr, a llaw yr Arglwydd fu gydag ef. Pregetha i gor o D. D.'s, nes y byddo uffern yn crynu, a miloedd o bechaduriaid colledig yn gwaeddi am noddfa yn y gwaed. Anwyliaid, gadewch i ni ddyfod i fyny â safon yr efengyl—credu Duw ar ei lw.

Bu diwygiad bendithiol yn Swydd Oneida, N. Y., ddwy flynedd yn ol, trwy ffydd a gweddi Seion. Mae eglwysi Remsen a Bordwell yn fwy blodeuog nag erioed, a'r Parch. J. Seth Jones ac O. F. Parry yn llafurio dan ddwyfol ddylanwad. Gobeithio y cânt awel newydd o Galfaria fryn y tymor hwn eto.

---

## R. H. EVANS A CHAETH-GYMUNDEB.

GAN Y PARCH. W. JONES, WISCONSIN.

### *Erthygl VII.*

*Sylwadau y Parch. R. H. Evans ar Marc* 7 : 4.—"Yma mae bedydd yn arwyddo golchi eu dwylaw a'u traed, ac nid trochi eu holl gorph." Credaf na byddai ond ffolineb i mi ddysgwyl i Mr. E. gymeryd ei ddysgu genyf fi; gan hyny gadawaf i ddynion eraill ei ddysgu yn yr ysgrif hon, fel ysgrifau eraill o'm heiddo. Dr. Campbell, un o gewri y Presbyteriaid, a wna y sylwadau canlynol ar y lle. "Er egluro y lle hwn, meddai, sylwer fod dwy ferf yn y gwreiddiol yn cael eu cyfieithu yma yn olchi; y gyntaf yw *nipsantai,* yn y drydedd adnod, yr hon a gyfieithir yn briodol golchi; yr ail, *baptisontai,* yn y bedwerydd adnod, yr hon a gyfynga i ddull neillduol o olchi; canys *baptizo* a arwydda soddi, trochi, &c." Pe na fuasai yn *gompliment* rhy wael i'r Dr., buaswn yn dyweyd ei fod yn gwybod lawer yn well am yr iaith wreiddiol, ac arferiadau yr Iuddewon, na'n gwrthwynebydd o Waukesha.

Y mae yn dda genyf weled fod yr *American Committee,* yr hwn oedd yn cydweithredu a'r *London Committee,* i

ddwyn allan y cyfieithiad diweddar o'r Testament Newydd, wedi cymeradwyo rhoddi y gair *bathe* yn y bedwaredd adnod, yn lle y gair *wash*. (Gwel eu cywiriadau ar ddiwedd y Testament.) Gan fod dau air cwbl wahanol yn cael eu defnyddio yn y Groeg yn y ddwy adnod uchod, dylasai dau air gwahanol gael eu defnyddio yn y Saesoneg a'r Gymraeg. Yr un modd maent wedi cymeradwyo rhoddi y gair *bathe* yn Luc 11 : 38, yn lle y gair *wash*. Ceir ganddynt hefyd, "Baptizing *in* water, yn Mat. 3 : 11, yn lle "Baptizing *with* water." Mae yn dda genyf weled fod ysgolheigion America yn fwy gonest a ffyddlon i'r iaith wreiddiol, na rhai Lloegr. Gwyddai pob dyn sydd yn deall yr iaith Roeg, mai fel y nodwyd y dylasai y geiriau gael eu cyfieithu ; a phe buasai gonestrwydd y Brenin Iago a'i gyfieithwyr yn gyfartal i'w gwybodaeth, felly y buasai y geiriau wedi eu cyfieithu ganddynt yn y lleoedd uchod. Llawer o ddefnydd wnawd gan daenellwyr o'r cam-gyfieithiadau o'r geiriau uchod, i geisio amddiffyn eu hunain. Ond mae genyf ychwaneg o enwogion i ddysgu Mr. E.

Vetablus, Proffeswr yn yr Hebraeg, yn Paris, dyn a wyddai pa beth oedd yn ei ddweyd yn dda, a esbonia Marc 7 : 4: "Hwy a faddient eu hunain i gyd drostynt." "Eu dwylaw a'u traed a olchent," meddai R. H. E. Grotius sydd un arall o brif feirniaid y byd, yn esbonio y lle uchod, "Hwy a lanhaent eu hunain yn fwy gofalus oddiwrth halogrwydd a gaent yn y farchnad ; nid yn unig golchent eu dwylaw, ond trochent eu holl gorph." Adkins, tu d. 111. Dr. H. A. Meyer ar Marc 7 : 4: "Yr ymadrodd yn y lle hwn nid yw i'w gymeryd am olchi y dwylaw, ond am drochi, yr hyn a olyga y gair bob amser yn y *classics* a'r Testament Newydd ; hyny yw, yn ol y testyn, cymeryd y baddon (*bath*)." Ar Luc 11 : 38, sylwa : "Ar ol dyfod o'r farchnad, lle yn mhlith torf o ddynion, y gallent ddyfod i gyffyrddiad â phersonau aflan, ni fwytaent heb yn gyntaf faddio eu hunain ; cyn bwyta gofalent bob amser am olchi eu dwylaw, ond defnyddient y bathau pan ddelent o'r farchnad cyn cymeryd bwyd." Chase, tu dal. 95. "Eu dwylaw a'u traed a olchent," meddai R. H. E. Sylwer nad yw yn enwi ei awdurdod ; tebyg yw ei fod yn barnu ei awdurdod ei hun yn ddigon. Os ydyw, mae yn camsynied yn fawr. Maimonides, yr hwn sydd well awdurdod ar y lle hwn, pe byddai yn bosibl, na'r dynion enwog a enwais eisoes, gan ei fod nid yn unig yn Iuddew, ond yn un o'r rhai mwyaf dysgedig o'r genedl er dyddiau yr Apostolion, efe a ddywed, "Rhaid i bob un a fedyddid, fel yr oeddynt ar eu dyfodiad o'r farchnad, drochi ei holl gorph." Adkins, tu dal. 108. Cofier mai golchi ar ol dyfod o'r farchnad y sonia Marc am dano yn adnod 4 ; a dywed Maimonides mai trochi eu holl gorph a arferent y pryd hwnw, ac nid golchi "eu dwylaw a'u traed," fel y dywed Mr. E. ; ac yr wyf fi yn cael fy nhueddu i gredu yr Iuddew dysgedig yn hytrach na Mr. E. Yr un fath y tystia Rabbi Salmon. Gwel Adkins, 111. Dywed Scaliger, "fod yr Iuddewon mwyaf ofergoelus yn golchi eu hunain bob dydd cyn bwyta." Fuller, tu dal. 50. Dywed Gurney, yn ei sylwadau ar neillduolion y *Quakers*, "Fod bedydd Ioan a bedydd yr apostolion yn gwbl yr un fath a'r golchiadau Iuddewig yn y prif beth, sef y trochiad." Haynes' Bap. Den. tu dal. 137. Mae yr uchod yn ddigon i ddangos nad yw Mr. E. yn deall Marc 7 : 4.

Dywed y Parch. R. H. E., fod Ast, un o brif Eiriadurwyr yr Almaen, yn dyweyd am y ddau air yma, fel hyn : "Bapto a arwydda trochi a lliwio ; baptizo arwydda gorchuddio a golchi." Pe buasai Mr. E. yn gweinyddu bedydd trwy drochi, neu olchi, buasai yr awdwr hwn yn rhoddi cefnogaeth iddo, ond gan mai taenellu y mae'n arfer, nis gall fod yn un help iddo ; diameu ei fod yn enwi yr un mwyaf ffafriol iddo ei hun o blith yr holl awdwyr dysgedig sydd wedi rhoddi meddwl y gair *baptizo*. Ychydig o'r *Lexicons* sydd yn rhoddi golchi yn un meddwl i'r gair ; nid yw Pasor, Donegan, Jones, Rost, Pickering, Stokius, Sui-

cerus, Lidell a Scott, Anthon, Leigh, Richardson, Passow, Castell, Constantine, Trommius, na Mintert, yn rhoddi y gair golchi yn feddwl i'r gair o gwbl, eithr maent oll yn tystio mai trochi, neu ryw air cyfartal iddo, ydyw meddwl priodol y gair *baptizo;* ac mae y naill ran o'r rhai a roddant golchi yn feddwl iddo, yn dweyd mai am fod golchi yn ganlyniad trochi y rhoddir ef yn un o feddyliau *baptizo.* (Gwel Bailey, tu dal. 48.) Meddwl priodol gair Groeg arall yw golchi, sef *lavo;* ond nid yw golchi yn feddwl priodol *baptizo;* ond fel mae golchi yn ganlyniad trochi, rhoddir ef yn feddwl iddo gan rai. Fel awdurdod dros yr hyn a ddywedais, gwel Bailey's Dict., 1792, lle y dywed, "Bedydd, yn ol manylrwydd iaith, ydyw y math hwnw o lanhau neu olchi sydd yn gynwysedig mewn soddi; a phan y cymwysir ef at y sefydliad Cristionogol, fel ei gelwir, ni ddefnyddid ef gan y Cristionogion cyntaf mewn un dull arall, fel y sylwa y dysgedig Grotius a Casaubon yn briodol." Judson on Bap., tu dal. 24. Mae tri awdwr mor enwog a'r rhai a nodwyd yn ddigon o awdurdod, pe na buasai un arall; maent oll yn dweyd nad oes i'r gair *baptizo* un meddwl ond trochi pan y cymwysir ef at y sefydliad Cristionogol. Dywed Pasor am *bapto* a *baptizo,* "I soddi, trochi, i liwio, am y gwneir hyny trwy drochi." Gwelir oddiwrth yr awdwr uchod paham y rhoddir lliwio yn ail feddwl i *bapto,* sef am mai trwy drochi y brethyn yn y lliw y gwneir y weithred.

Eto, Bucanius' Body of Divinity: "Bedydd, hyny yw trochiad, ac fel canlyniad, golchiad. Ein Harglwydd a fedyddiwyd gan Ioan i arwyddocau ei fod wedi ei anfon fel y byddai iddo gael ei fedyddio, hyny yw ei drochi, yn marwolaeth." Haynes' Cyclop., cyf. 1, tu dal. 118.

Yn debyg y sylwa Beza, cyfaill John Calvin: "*Baptizo,* yn briodol, a olyga trochi, a byth olchi, ond fel canlyniad o drochiad; ac nid oes un meddwl arall i'r gair *amad,* yr hwn a arfera y Syriad am y gair *baptizo.*" Ap. to Stuart, tu dal. 249. Pa beth feddylia Mr. E. am y Presbyterian dysgedig hwn, sydd yn difa ei nerth ef mor llwyr?

Mintred a ddywed, "*Baptizo,* i feddio, yn briodol, yn wir, mae yn golygu soddi, trochi, suddo i ddwfr, ond oblegid ei fod yn beth cyffredin i suddo peth i'r dyben i'w olchi, am hyny mae yn golygu golchi, golchi ymaith."

Knapp's Theo.: "*Baptism,* oddiwrth *baptisein,* yn briodol, a olyga suddo i mewn, i olchi trwy drochiad." Cyf. 2, tu dal. 510.

Scapula a sylwa, "*Baptizo,* i suddo, i drochi, hefyd i liwio, fel y trochwn bethau i'r dyben i'w lliwio neu eu golchi."

Mae llawer o ddysgedigion, fel yr awdwr olaf, heb sylwi nad yw lliwio byth yn cael ei roddi fel un o feddyliau y gair *baptizo,* oblegid ail feddwl i *bapto* yw lliwio, fel y sylwa Dr. Carson yn gyntaf ar y gwahaniaeth. Oni allwn, fel Bedyddwyr, ystyried ein hunain ar dir cadarn tra mae genym y fath awdwyr o enwogrwydd mor uchel i dystio o'n plaid, er nad oes dim un o honynt, mor belled ag y gwn i, yn Fedyddwyr? Oni allwn fforddio i ddyoddef pob gwawd, dirmyg, diystyrwch, erledigaeth, dyoddefiadau, ac hyd yn nod marwolaeth ei hun, tra yr ydym yn sefyll dros wirionedd y Duw tragywyddol, a'r Iachawdwr bendigedig? Mae pob Lexicon, Dictionary, Encyclopedia, &c., a wnawd yn ystod y deunaw cant o flynyddoedd a basiodd, yn cyduno i ddyweyd mai meddwl cyntaf, priodol a gwreiddiol y gair *baptizo* yw trochi, suddo, claddu, gorchuddio. Ac ni chyfieithwyd y gair yn daenellu na thywallt erioed mewn un cyfieithiad er dechreu y cyfnod Cristionogol hyd y ganrif bresenol. Gwn am un Lexicon, sef eiddo Lidell a Scott, roddodd yn yr argraffiad cyntaf, "Gwlychu, mwydo, tywallt, ac arllwys," yn feddwl i'r gair *baptizo;* ond yn yr ail argraffiad gadawsant allan y geiriau uchod. Gofynaf i Mr. Evans, Paham y darfu i'r awdwyr enwog eu tynu allan? Onid o herwydd yr ystyrient nad oedd y gair *baptizo* yn arwyddo dim un o'r geiriau; ac os na allent oddef tywallt i fod i mewn yn

yr ail argraffiad, o ba le y gallent oddef taenellu i fod i mewn? Prawf penderfynol nad yw tywallt na thaenellu yn feddwl i'r gair; ac yr wyf wedi profi yn eglur o herwydd pa reswm y rhoddir y gair golchi yn un o feddyliau y gair *baptizo*. . Yr unig ffordd y mae taenellwyr yn gallu byw yn ngwyneb y gair *baptizo*, ydyw ei adael mewn tywyllwch, heb ei gyfieithu o gwbl, am yr hyn, yn ol fy marn i, mae ganddynt gyfrifoldeb pwysig i'w roddi. Heblaw y cwbl, mae y defnydd a wneir gan Grist a'r apostolion o fedydd fel arwyddlun o'i ddyoddefiadau, claddedigaeth a'i adgyfodiad, hefyd marwolaeth y credadyn i bechod, i'w gladdedigaeth yn y bedydd, i arwyddo y farwolaeth hono, a'i gyfodiad i fyw buchedd newydd, yn dangos yn eglur yn mha ddull y golygent i fedydd gael ei weinyddu.

Bwriadaf i'r ysgrif hon fod yr olaf, oddieithr i Mr. Evans wneyd ymosodiad eto arnom fel Bedyddwyr.

## PAUL YN ATHEN.

GAN Y GOLYGYDD.

### Rhif VI.

#### EI ARGRAFF O'R DDINAS YN DDYLANWAD.

Mae derbyn argraff yn angenrheidiol er gwneyd argraff. Mae deall y clwyf yn hanfodol er cymhwyso y feddyginiaeth. Wrth forio trwy leoedd enbyd, dylid plymio y dyfnder. Wrth lafurio y ddaear, dylid deall natur y tir. Wrth gloddio a chaboli meini o'r chwarel, dylid deall natur y graig. I wrthwynebu y gelyn yn effeithiol, rhaid gwybod ei nerth; ac wrth drafod dynion ac ymdrechu eu gwella, dylid deall eu sefyllfa a'u cymeriad. Dyma'r wers gyntaf sydd gan y diwygiwr i'w dysgu. Yn wir, yn y fan hon mae ei gyffroad yn dechreu. Mae y dymestl naturiol yn ymderfysgu pan y teimla yr elfenau afiechyd yr awyrgylch. Yr ymdeimlad hwn yn anian sydd yn rhoddi rhu yn y daran, a fflachiad yn y fellten. Dyma sydd yn rhoddi cychwyn yn yr elfenau ar eu hymdeithiau puredigol. Felly yn y byd dynol, nid gwiw ceisio puro pethau heb ymdeimlad ac adnabyddiaeth o'r anmhuredd. Nodweddir diwygwyr mawrion bob amser gan eu gallu i weled a theimlo oblegid drygau eu hoes. Oddiar argraff allanol arnynt y cyfoda eu hyni. Pan y daw yr argraff o'r drygau yn ol at eu calonau y gwelir hwy yn myned allan i'r frwydr. Bydd hyn yn ffynonell diwygiad—bydd hyn yn ddechreuad amser gwell.

Peth anfynych yn y byd ydyw dyn yn gallu derbyn argraff gywir o'r isel moesol a chrefyddol. Y mae gweled pethau eraill yn eu lliw eu hunain yn gymharol hawdd. Gwel y bardd y prydferth, yr arddunol a'r llednais, gydag hwylusdod. Gwefreiddir yr arlunydd yn ebrwydd gan gyfuniad lliwiau. Adnebydd yr hanesydd ffeithiau yn nghanol llawer o sothach, megys â greddf. Gwna y nofelwr bortread o'r chwerthingar, y gwrthun, a'r afrosgo a'r ysmala yn fedrus a rhwydd. Cenfydd y gwladyddwr sefyllfa orthrymus y deiliad nes teimlo i'r byw. Mae y dyngarwr yn cydymdeimlo â'r helbulus yn ddiymdrech. Mae y gweinidog ffyddlon a da, a'r Cristion didwyll, yn barod i edmygu y rhinweddol, y sanctaidd a'r pur. Ond nid yw gweled elfenau drwg y byd yn eu lliw eu hunain yn beth mor gyffredin. Pan y deuir i chwilio am y rhai allant gymeryd argraff gywir o'r isel moesol a llygredig, canfyddir eu bod yn anaml. Mae nifer y dynion a fedrant dderbyn argraffiadau digoll o'r dirywiedig dynol yn ychydig iawn, tra y mae rhifedi y rhai cyntaf a nodasom yn lluosog. Y mae eich cwmpeini arsylliadol cywir o bethau yn myned yn llai eu nifer o hyd fel y symudwch yn mlaen oddiwrth y materol at y moesol, ac yn neillduol pan y deuwch at yr anfoesol, y llygredig a'r coelgrefyddol.

Gwir mai peth cyffredin ydyw nodi beiau, canys mynych y cyfeirir bys at golliadau mewn gwlad ac eglwys. Ymdaena chwedl anffafriol am berson yn gyflym. Symuda tafodau fyrdd wrth ddatgan colliadau y saint. Amneidir yn amheus am aml un heb ond ychydig

o sail. Ond nid yw sylwi a thrafod beiau dynion yn y modd mwyhaol, mynegiadol a pharablol hwn yn ffordd deilwng. Nid yw yn arddangos argraff gywir o fywyd anmherffaith meibion dynion. Nid mewn dull ysgafn, cellweirus, mae y dyn sydd yn gweled pethau yn briodol, yn trafod beiau'r byd. Nid oes dim yn gellweirus yn narluniadau y Beibl o gyflwr moesol isel plant Adda. Y personau ydynt yn canfod brychau cymdeithasol, ac heb wneyd dim er eu symud, nid ydynt yn gweled y brychau yn y goleu iawn. Mae gweled drygau y byd yn eu lliw priodol yn cynwys teimlad dwys o'u herwydd, a hefyd yn cynwys dymuniad angerddol am wneyd rhywbeth er eu symud ymaith.

Dywedwn eto, fod y personau ydynt yn alluog i gymeryd golwg fel hyn ar gyflwr isel moesol dynion yn ychydig. Dewisolion ydynt. Mae y dyn a wel ddrygau y byd fel y maent, yn un o filiynau; ac yn mha le bynag y byddo, ac yn mha oes bynag y byddo yn byw, mae son am dano yn mhob man yn codi'r gwan i fyny.

Er gallu derbyn argraffiadau o'r byd yn gorwedd mewn drygioni, rhaid i ddyn feddu cymwysderau neillduol at hyny. Rhaid iddo ddal ei fodolaeth yn mhresenoldeb rhyw safon deilwng i'r fath raddau nes y byddo y safon hono yn aros ar ei gof, yn ei feddwl, ac yn ei galon. Rhaid iddo ymgydnabyddu â'r pur a'r sanctaidd. Rhaid i olygfeydd pur aros megys o'i flaen gyda mwy o glaerder ac eglurder na golygfeydd dyddiau ieuenctyd. Y dyn a berffeithia ei hun yn y dull hwn trwy dderbyn argraff o safon uchel ddwyfol yn unig a fedr weithredu ac ymddwyn yn naturiol ger bron ei gyd ddynion. Pan y dywedodd yr afradlon, "Pechais yn erbyn y nef, ac o'th flaen dithau," y cychwynodd tua thy ei dad. Daeth i weled y pryd hwnw nid yn unig ei hunan, ond hefyd ei gyd-ddynion, a'i le yn y cread, mewn goleu clir. Wedi hyn yr oedd yn actio yn briodol wrth agosâu at, ac wedi myned i'r ty. Yr oedd ei holl weithrediadau mwyach yn naturiol a phriodol i'w sefyllfa. Nid oes modd ymarweddu yn deilwng mewn unrhyw gylch heb adnabod nodweddau y cylch hwnw. Ni ellir ymddyddan â'n cyd-ddyn yn foneddigaidd heb adnabod pa fath ddyn ydyw.

O'r allanol y mae diwygiad y byd wedi tarddu yn ddechreuol—o'r tu allan mae yn rhaid i ddiwygiad pob dyn yn unigol ddechreu hefyd. Rhaid i ni gael defnyddiau iachawdwriaeth o'r tu allan i ni. Rhaid i ni gael y blagur o wlad well. Rhaid i ni gael y wreichionen nefol oddi fry; neu, mewn geiriau eraill, mae yn rhaid i ni dderbyn argraffiadau cywir-lawn o Dduw yn Nghrist cyn y byddwn yn Gristionogion ein hunain, a chyn y byddwn yn gymwys i wneyd ein rhan i gael eraill yn Gristionogion. Pan y byddo y lleuad yn gron a llawn gan belydrau yr haul arni, y mae yn gallu pelydru yn gysurlawn ar ein llwybrau ni.

Dywedasom fod y personau a fedrant weled cyflwr isel moesol dynolryw yn gywir, yn hynod anaml. A pha ryfedd? oblegid mae hyny yn tybio gallu i wrthweithio y swyn a'r hudoliaeth sydd gan bechod ar galon dyn. Mae hudoliaeth swyngyfareddol mewn pechod a'i fwynianau, yn neillduol pan y mae yn gwisgo agweddiad allanol deg. Gan hyny rhaid fod argraff yr arsyllydd yn llawn iawn o'r sanctaidd a'r da, er gallu troi yn ol yr elfenau gwrthwynebol a weithreda arno o'r allanol swynol pechadurus. Rhaid i ddylif pelydrau yr haul fod yn gryfion annghyffredin i gadw draw y nos rhag ymgymysgu a'i oleuni. Ni wna llewyrchiadau goleuni gwanaidd mo'r tro. Felly mae yn rhaid cael haul o ddyn i gadw draw nos pechod a'i gweled yn eu duwch priodol. Rhaid fod y fynwes yn olwyth o dân nefol; rhaid fod y goleuni yn gyflawn, yn gyson, yn danbeidiol, yn glaer a goleuadol. Rhaid i ddyn fod yn alluog i weled pechod yn wrthddrychol yn y pellder, ac edrych arno trwy ei oleuni ei hunan, yr hwn a dderbyniodd oddiwrth Dduw.

Wel, dyn o'r cymeriad hwn oedd yr apostol Paul—dyn Duw ydoedd—oedd yn un o filiynau. Ar y ffordd i Damas-

cus derbyniodd argraff ddwfn-arosol o'r dwyfol, o Grist, o'r Messiah. Argraffwyd y ddelw ddwyfol ar ei enaid y tro byth-gofiadwy hwnw. Trwy offerynoliaeth y mawr oleuni o'r nef ddysgleiriodd o'i amgylch daeth i weled pob peth mewn goleu newydd—ol a blaen—cylch ogylch. A phan ddaeth efe yn awr i Athen, gwelai y ddinas yn dra gwahanol i'r hyn y gwelsid hi gan bawb o'i flaen. Deillion yn gymharol oeddynt bawb eraill fu yn tremio arni. Yn gywir nis gwelsent hwy hi. Rhanol, un-ochrog, ydoedd eu hardremiadau. Gwelodd efe hi fel yr oedd—gwelodd hi yn llawn eilunod—wedi ymroi i eilunod—a'r argraff hono o'r ddinas a berai yn awr i'w ysbryd gynhyrfu ynddo.

Yr oedd yr argraff gywir hon a dderbyniodd yr Apostol o Athen yn ffynonell dylanwad mawr ar y dinasyddion. Pe hebddi, ni fuasai efe yn neb yno. Buan y buasai ei waith yn troi yn fethiant. Ni fuasai unrhyw ochelgarwch o'i eiddo ef yn ddigonol i'w gadw ar y llwybr priodol. Heb adnabyddiaeth o'r bobl ni allasai wybod y ffordd i dynu eu sylw. Heb hyny ni fuasai neb yn ei gymhell i ddringo grisiau Areopagus.

Wrth draethu ar gysylltiad ei argraff o Athen a'i ddylanwad yno, yr ydym yn galw sylw yn mlaenaf, fod rhywbeth yn ymdreiddiol yn nghynhyrfiadau ei ysbryd. Mae brwdfrydedd mawr o unrhyw natur yn chwal-ymdaenol. Dangoswch i mi ddyn cyhoeddus, brwdfrydig, dangosaf finau i chwithau ddyn dylanwadol. Y mae sel danbeidiol yn cyneu calonau. Mae cynhyrfiadau ysbryd yn gydgyfranogol. Mae dyn yn gwneyd gwrhydri o dan ddylanwad brwdfrydedd, y rhyfedda ei fod wedi gallu ei gyflawni erioed, pan y meddylia am hyny ar ol i'r brwdfrydedd gilio. Yr anhebgor cyntaf i lwyddiant a dylanwad yw brwdfrydedd. Mae teimlad dwfn, enaid gynhyrfiol, yn ffrwydriadol.

Mae a fyno natur y brwdfrydedd â natur y dylanwad. Pan y teimlir yn ddwys dros eraill mewn cyflwr annymunol, mae y teimlad hwnw yn dod yn ol at y personau y teimlir drostynt, gyda grym gorchfygol. Mae teimlad o'r fath o natur *cyd*-ymdeimlad. Nid oes neb yn fwy dylanwadol arnom na'r hwn fyddo yn amlygu tosturi tuag atom yn ein hangenoctyd; neu yr hwn a fyddo yn amlygu awyddfryd cryf i wneuthur daioni i ni mewn unrhyw sefyllfa y gallwn fod ynddi. Yn Paul yn Athen, o dan gynhyrfiadau ysbryd, y gwelwn engraifft effeithiol o'r elfen rymus hon. Yr oedd ei deimlad enaid-dreiddiol yn gwneyd ei hun yn hysbys yn ymwybyddiaeth ei wrandawyr; ymwasgarai oddiwrth Paul iddynt hwy. Yr oedd ei amgylchoedd megys yn llawn o'r teimlad trydanol; yr oedd yn gwneyd i galonau losgi. Trwy offerynoliaeth y teimlad crefyddol hwn llefarai wrth gydwybodau; o dan ei ddylanwad cymhwysid Paul i effeithio ar ysbrydoedd. Trwyddo y cyffyrddai ysbryd ag ysbryd—yr oedd yn hylif yn yr awyr; yr oedd yn farwor o dân sanctaidd. Beth a ddywedwn? Trydaniaeth efengyl ydoedd, yn alluog i redeg o'r naill galon i'r llall. Cyffyrdder a thannau telyn mewn un ystafell, ac etyb y delyn arall yn yr ystafell nesaf yn gymwys yn yr un seiniau. Felly mae gwneuthuriad y galon ddynol, cyffyrdder â rhai o'i thannau yn gywir, etyb y galon gerllaw mewn teimlad cyffelyb, os bydd rywbeth yn agos i'r cywair iawn. Mae teimlad fel hwn yn ymylu ar ysbrydoliaeth; mae yn rhaid ei fod yn fath o ddeddf fawr trwy yr hon mae deddfau pob gwir ddylanwad yn gweithredu. Trwy fôr hylif teimlad fel hwn o eiddo yr Apostol yr ymdaena dylanwad dwyfol yn bell ac yn agos. Yr oedd y teimlad byw, trydanol hwn yn Paul yn sylfaen ac yn ddechreuad gwaith ardderchog. Yr oedd yn gwneyd ei lwyddiant yn beth posibl. Gwyddai efe mai felly yr oedd. Efe a ddywedodd wrth ysgrifenu at y Groegiaid yn Corinth, "Pe llefarwn â thafodau dynion ac angylion, ac heb fod genyf gariad, yr wyf fel efydd yn seinio neu symbal yn tincian." Cariad mawr cyneuedig Cristionogol oedd cynhyrfiadau ei ysbryd yn Athen; ac hebddo ni fuasai ei lefaru *yno* yn am-

gen nag efydd yn seinio neu symbal yn tincian, gan nad beth fyddai ei ragoriaethau eraill. Y fath ystyr gan hyny raid fod yn y cyflwr meddwl hwn o'i eiddo; y fath oleuni mae y cofnodiad o hono yn ei roddi ar ei hanes yn y ddinas. Yr oedd a fyno cynhyrfiad ei ysbryd hefyd ag *iawn ymddygiad* pan yn ymddangos yn gyhoeddus i ddysgu y bobl yno. Mae iawn ymddygiad, neu ymddangosiad gweddus o flaen pobl o'r pwys mwyaf i ddysgwyr cyhoeddus. Mae aflerwch symudiadau, actau annaturiol yn milwrio yn fawr yn erbyn dylanwad y pregethwr a'r hyn a draddodir ganddo. Mae y diffyg hwn yn deilliaw yn benaf oll oddiwrth ddiffyg o syniad priodol am alluoedd, cymeriadau, a sefyllfaoedd y bobl a anerchir. Modd bynag, yn nglyn a hyny mae achosion eraill i'r gwall hwn. Yn fynych mae hunaniaeth yn gwneyd ei ymddangosiad mewn gwahanol ffurfiau, ac yn anurddo agweddiad y llefarwr. Nid yw yn beth anfynych fod y person yn gwneyd *display* o hono ei hun, ac yn gwneyd math o *actor* o hono ei hunan. Weithiau, efallai, y canfyddir tuedd i dynu sylw at addurniadau gwisg. Y ffordd i gywiro y pethau hyn oll ydyw meddu syniad cywir, sylweddol o'r bobl fel pechaduriaid a saint, eisiau eu cadw i fywyd tragywyddol. Gan fod yr Apostol yn meddu y cyfryw syniad, yr oedd ei holl actau a'i ymddygiadau o flaen pobl Athen yn weddus a naturiol.

Eto, yr oedd gwybodaeth mor drylawn o'i wrandawyr yn arwain Paul yn naturiol i gyfaddasu pob gair a ynganai yn arbenigol at eu cyflwr hwy. Wrth gwrs, yr oedd yn neillduol angenrheidiol er cael yr effaith dymunadwy arnynt. Onid oes lle i ofni fod llawer o bregethu ar antur yn bod yn y dyddiau hyn? Onid oes lle i gredu fod y testynau y pregethir oddiwrthynt wedi eu dewis yn fynych nid yn gymaint oblegid eu cyfaddasrwydd at angen y bobl, ag oddiwrth fod y testyn wedi dygwydd taro i feddwl y cyfansoddwr, —wedi dygwydd dyfod ar ei draws yn rhy debyg i heliwr yn dod o hyd i wrthddrych ei saeth; ac am hyny mae y dweyd yn ddifudd, yn ddieffaith. Mor bell oedd Paul yn Athen oddiwtth hyn! Ni fuasai pregethu ar antur ond megys curo yr awyr—ddim ond gwastraff ar nerth—ddim ond gwatwaredd—ddim ond palfalu yn y tywyllwch. Ond gan fod pregethwr mawr prif ddinas y byd cenedlig yn ymddangos o flaen ei wrandawyr o dan ddylanwad argraff hollol gywir o honynt, yr oedd yn gwneyd gwaith i bwrpas; yr oedd yn gwneyd cyfiawnder â gwirioneddau anwyl a bendigedig yr efengyl fawr ei dawn.

A mwy na hyn eto yn y cyfeiriad hwn, yr oedd ei argraff o'i wrandawyr yn cario ei effaith ar ei aceniaeth ac ar dôn ei leferydd. Y mae i'r efengyl ei thôn leddf, garedig, hyfwyn, ac yr ydoedd efe wedi cael gafael ar y dôn hono wrth deimlo dros yr Atheniaid. Mae llawer iawn mewn llais pregethwr —llawer yn nhôn ei leferydd. Y mae ambell i lais a thôn yn rhy haerllug, yn rhy uchel, yn rhy isel—mewn gair, yn rhy anghydnaws â thôn yr efengyl! 'Does yr un dônyddiaeth na llais yn effeithiol a naturiol heb fod yn gywir, yn wirioneddol; ac nid oes yr un felly heb gael ei nawseiddio gan deimlad dwys dros y bobl. Nid oedd Paul yn amcanu at odidawgrwydd ymadrodd, neu ddoethineb ddynol, wrth fynegu cyngor Duw; ond yr oedd yn feddianol ar ddylanwad mwy; meddai ar symledd yr efengyl mewn ymadrodd a thônyddiaeth, ac yr oedd yn meddu ar y nodweddau dymunol hyny am ei fod yn deall ei wrandawyr, yn teimlo drostynt, ac yn awyddus i fod yn foddion i sicrhau eu iachawdwriaeth. Yr oedd cynhyrfiad ei ysbryd yn peri fod *asbri ysbrydoliaeth* yn ei genadwri a'i waith. Yr oedd nerth ei deimladau yn ei weithrediadau; yr oedd gwreichion ei gynhyrfiadau yn llanw ei eiriau; ymgrynai ei leferydd gan yr hylif tanllyd; dychlamai ei symudiadau gan rym ei deimladau da. Yr oedd tanbeidrwydd ei sel yn ganfyddadwy yn nysgleirdeb ei wedd; yr oedd ei deimladau megys cronfa fawr o ddylanwad, yr hon oedd yn cyflenwi ei angenion fel gwas i Grist; ond yn wreiddiol yr oedd y cyflenwad

yn dyfod oddiwrtho ef yr hwn a wasanaethai mor ffyddlon.

Gellid ychwanegu a sylwi fod cynhyrfiad ei ysbryd yn Athen yn ddechreuad cynhyrfiadau grymusfawr yn Ewrop yn yr oesoedd dilynol; o'i deimlad ef y ffrwydrasant allan; efe roddodd gychwyniad iddynt. Wrth ddarllen am yr erlid fu ar saint y Goruchaf, ac am eu ffyddlondeb yn ngwyneb pob anmharch ac angeu, ni allwn lai na meddwl am yr hwn a ddechreuasai y gwaith ar y cyfandir mor ogoneddus. Wrth fyfyrio ar wirioneddau y gair yn cael eu pregethu gan y tadau, a chan weision ffyddlon Iesu yn yr oesau dilynol, yn wrthgyferbyniol i gyfeiliornadau yr oesau, ac wrth sylwi ar y cynhyrfiadau grymus a ddilynai, ni fedrwn beidio meddwl am ddechreuad y cynhyrfiadau mawrion a daionus hyny, sef cynhyrfiadau ysbryd Paul yn Athen. O, am fwy o'r unrhyw ysbryd.

## Y CYSUR YN Y TY.

Pan fyddo'r nos dywyllaf
  A mwyaf trwm ei phryd,
A'r haul a'r goleu bellaf
  O gyrhaedd clyw y byd;
Ar gefn y nos annyddan
  Cyhoedda'r seren fry—
Os yw yn dywyll allan,
  Mae goleu yn y ty.

Pan fyddo'r gwlaw yn disgyn,
  A'r gwynt yn chwythu'n oer,
Cyweiria ffydd ei thelyn
  O dan belydrau'r lloer;
A d'wed ei thannau arian
  Yn groew ac yn gry'—
Os yw yn ddryghin allan,
  Mae diddos yn y ty.

Pan guddia'r eira'r ddaear,
  Pan gloa'r rhew bob ffrwd,
A'r tlawd o dan ei alar
  Yn gollwng dagrau brwd:
Daw llais dros wefus anian,
  A'r galar ymaith ffy—
Os yw yn oerfel allan,
  Mae'n gynes yn y ty.

Os rhaid i'r tlawd lafurio
  Yn galed ddydd 'r ol dydd,
Heb fawr o dâl am weithio,
  Heblaw cydwybod rydd;
D'wed hyder wrtho'n ddyddan,
  A'i wyneb gartref dry—
Os rhaid llafurio allan,
  Ceir gorphwys yn y ty.

Pan fyddo'r haul yn llosgi
  Uwchben y teithiwr blin,
Sydd bron yn methu codi
  Y llymed at ei fin:
Daw tyner lais o rywfan,
  A dywed wrtho'n hy'—
Os yw yn grasboeth allan,
  Mae cysgod yn y ty.

Os rhaid dyoddef athrod,
  A byw yn nghanol gwawd,
Dyoddef gan gydnabod,
  Cyd-ddyn, cyd-was, a brawd;
Yn swn y gwg ei hunan,
  Rhyw lais yn dwedyd sy'—
Os oes casineb allan,
  Mae cariad yn y ty.

Yn nghanol gofal bywyd.
  A gorthrymderau'r oes,
Mi glywaf lais yn d'wedyd,
  Mewn mwyniant ac mewn loes,
Daw pen y daith yn fuan,
  A heda'm hysbryd fry—
Bydd pob gofidiau allan,
  A minau yn y ty.

## GOLYGFA

### ODDIAR FYNYDD YR OLEWYDD.

Cafodd y mynydd hwn ei enw oddiwrth y coed olewydd a arferent dyfu arno; ond nid oes ond ychydig iawn o honynt i'w canfod yno yn bresenol. Y mae yn gyfansoddedig o'r graig galch, yr hon sydd yn dangos ei danedd ysgythrog mewn llawer man. Ei gyfeiriad yw o ogledd i dde, ac arno dri chribyn, yr uchaf o ba rai yw y canol, yr hwn sydd bedair mil o droedfeddi yn uwch na'r Môr Marw, dwy fil a phedwar cant yn uwch na Môr y Canoldir, a dau gant yn uwch na Jerusalem.

Gan mai oddiar y man agosaf i'r nefoedd o hono y gwelwn fwyaf, esgynwn i'r cribyn canol, a thrown ein hwynebau tua'r gorllewin, a chawn ein hunain yn gywir yn yr un man ag y bu Iesu dri diwrnod cyn ei farwolaeth yn wylo uwchben Jerusalem, a phan y dywedodd, "Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir atat, pa sawl gwaith y mynaswn gasglu dy blant yn nghyd, megys y casgl iâr ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynech."

Priodol y gallwn ddweyd fod y ddinas wrth ein traed, oblegid nid oes ond haner milldir rhyngom; eto yr ydym ddau cant o droedfeddi yn uwch na hi. Rhwng troed y mynydd a mur y ddinas gwelwn yr afon Cedron yn brysio ar hyd ei gwely garw, fel pe yn chwilio am fan esmwythach i orphwys; ond nid yw yn ei gael nes cyrhaedd y Mor Marw. Tarddle y Cedron sydd yn y gwastadedd ychydig yn ogleddol i'r ddinas. Rhyngom a'r Cedron, ac ychydig i'r llaw ddeheu, gwelwn ardd Gethsemane, y man byth-gofiadwy hwnw lle bu'r Iesu bendigedig yn "gweddio ddyfalach ddyfalach," a'r man y "bradychwyd gwaed gwirion." Ychydig yn is, ac yn union ar ein cyfer, gwelwn lawer iawn o feddau, y rhai sydd wedi eu tori yn y graig. Gwelwn heol yn taro allan o fur y ddinas, yn croesi y Cedron, ac yn dyfod tuag at y beddau y soniasom am danynt, yna troa ychydig i'r de, a chroesa y mynydd trwy y bwlch sydd rhwng y cribyn yr ydym yn sefyll arno a'r cribyn ar ein llaw chwith. Ar hyd yr heol hon yr arferai yr Iesu gerdded hwyr a boreu, rhwng Jerusalem a Bethania, yr hwn le sydd tua dwy filldir o'r ddinas. Hon yw y brif-ffordd rhwng Jerusalem a Jericho. Ar ein llaw chwith, wrth droed y mynydd, gwelwn bentref Siloam.

Taflwn ein golygon dros y Cedron, a gwelwn Jerusalem, wedi ei hadeiladu ar bedwar o fryniau bychain, sef Moriah, Acra, Sion, a Bezetha; Moriah yw y nesaf atom; ar hwn gwelwn y deml orwych. Bydded i ni gofio bob amser pan yn edrych ar ddarlun Jerusalem, os mai y deml a fydd nesaf atom, mai golygfa oddiar fynydd yr Olewydd yw. Edrychwn dros y deml a gwelwn fryn Acra; yma y gwelwn lyn Hezekiah; yma hefyd y gwelwn fryn bach Calfaria, lle y bu Un farw er rhoddi bywyd i filoedd. Trown ein golygon i'r rhan ogleddol o'r ddinas a gwelwn fryn Bezetha. Ar hwn gwelwn y ty marchnad, palas Helena, a llyn Bethesda. Yn agos i'r llyn hwn y mae porth y pysgod, ac y mae yn debygol iawn mai trwy y porth hwn yr aeth y milwyr allan, yn cael eu harwain gan Judas, i ddal yr Iesu, o herwydd nid oedd ganddynt ond croesi y nant cyn bod yn yr ardd. Edrychwn i'r rhan ddeheuol o'r ddinas a gwelwn fryn Seion; gwelwn ar hwn balas Herod, y ty marchnad uchaf, a bedd Dafydd; ar y bryn hwn y mae y rhan hono o'r ddinas a elwid "dinas Dafydd" wedi ei hadeiladu. Y mae Moriah ac Acra yn cael eu gwahanu oddiwrth Seion gan ddyffryn y gwerthwyr caws. Yn y dyffryn hwn, tu allan i fur y ddinas, gwelwn lyn Siloam, yn union ar gyfer pentref Siloam, a'r Cedron rhyngddynt. Taflwn ein golygon ychydig yn mhellach, ac edrychwn dros y ddinas, a gwelwn ddyffryn Hinom yn rhedeg o ogledd i dde; yna wedi cyrhaedd pen isaf y ddinas, gwelwn ef yn croesi tuag atom, ac yn uno a'r Cedron mewn lle prydferth a elwir "gardd y brenin." Ychydig yn is mae ffynon Nehemiah. Oddi yma gwelwn y dyffryn yn ymwau rhwng y mynyddoedd, nes ymgolli yn y Mor Marw. Felly ni a welwn fod y ddinas yn cael ei hamgylchynu gan ddau o ddyffrynoedd bychain, yn ogleddol a dwyreiniol gan y Cedron, ac yn orllewinol a deheuol gan ddyffryn Hinom. Yn y dyffryn hwn, yn ddeheuol i'r ddinas, y darfu i Judas ymgrogi. Edrychwn dros ben isaf y ddinas, sef bryn Seion, a gwelwn lyn isaf Gihon yn nyffryn Hinom. Yn agos i ben uchaf y dyffryn gwelwn lyn uchaf Gihon, yr hwn sydd dri chan' troedfedd o hyd, dau can' troedfedd o led, ac ugain o ddyfnder; yma yr eneiniwyd Solomon yn frenin. Ar y llaw chwith gwelwn gof-

goloin Herod; ar y llaw dde y mae heol yn myned allan o'r ddinas, a heibio y llyn, ac yn arwain i Emmaus a Joppa. Y mae y cyntaf tua saith milldir a haner i'r gogledd-orllewin o Jerusalem, a'r olaf dri-deg-a-phump o filldiroedd i'r un cyfeiriad. Trown ein golygon i ben uchaf y ddinas, a gwelwn ddwy heol yn taro allan trwy borth Ephraim; ā un yn union i'r gogledd, heibio i feddau y breninoedd, gan eu gadael ar y llaw dde; yna croesa y Cedron, ac a'n harweinia i Sichem a Samaria, rhwng mynyddoedd Gerizim ac Ebal, dri-deg-a-phedair milldir oddi wrthym; y mae Samaria chwe' milldir yn mhellach. Y mae yr heol arall ag sydd yn myned allan o borth Ephraim, yn cadw ychydig i'r llaw chwith, ac yn arwain i Gibeon, chwe' milldir o Jerusalem. Cyn troi ein cefnau ar y ddinas, edrychwn drosti unwaith eto, a gwelwn heol yn taro allan o'i hystlys orllewinol, yna croesa y nant sydd yn nyffryn Hinom, a throa i'r deheu, ac ā heibio i lyn isaf Gihon, gan ei adael ar y llaw chwith; dilynwn yr heol hon am chwe' milldir, a chawn ein hunain yn Bethlehem, lle genedigol Ceidwad dynolryw. Trown ein hwynebau i'r gogledd a gwelwn fynyddoedd Ephraim yn dyrchafu eu penau, y rhai sydd tua deg milldir oddi wrthym. Rhyngom a'r mynyddoedd hyn y mae Mizpah, Gibea, Rama, a Bethel.

Trown ein cefnau ar Jerusalem, ac edrychwn i'r dwyrain, ac o'n blaen y gorwedd dyffryn prydferth yr Iorddonen. Rhyngom a'r afon, ychydig ar ein llaw chwith, gwelwn Gilgal a Jericho. Edrychwn dros y lleoedd hyn a thros yr Iorddonen, a gwelwn fynydd Gilead. Edrychwn i fyny trwy y dyffryn, a byddwn yn edrych i gyfeiriad mor Tiberias, yr hwn sydd tua thriugain milldir oddi wrthym. Ar ein llaw dde, ac wrth droed y bryn yr ydym yn sefyll arno canfyddwn bentref bychan Bethania, cartref Lazarus a'i ddwy chwaer. Edrychwn dros y pentref hwn i'r de ddwyrain a gwelwn yr Iorddonen yn ymarllwys ac yn ymgolli yn y Mor Marw.

Taflwn ein golygon i'r dwyrain, y tu hwnt i'r Iorddonen, a gwelwn fynyddoedd Abarim, ac yn eu plith fynydd Nebo, oddiar yr hwn y cafodd Moses olwg ar wlad yr addewid.

EBENEZER P. DAVIES.

*Kingston, Pa.*

---

## EFFAITH RAGOROL Y BEIBL.

O gylch ugain mlynedd yn ol, medd un gwr, yr oeddwn yn myned heibio y ty lle yr arosai Thomas Paine, yr anffyddiwr. Gan fod ffenestri isel y ty yn agored, gwelwn ef yno yn eistedd, a throais i mewn. Yr oedd yno saith neu wyth gydag ef, y rhai yr ymdrechai eu cadarnhau yn ei egwyddorion truenus ei hun. Dywedai fod y Beibl yn un o'r llyfrau mwyaf twyllodrus a fu erioed; ei fod wedi achlysuro mwy o ddrygau a thywallt gwaed, nag un llyfr a argraffwyd, ac nad oedd ond ynfydion a dyhirod yn ei gredu. Yna ymataliodd, a thra y bu yn llenwi ei wydryn a brandi a dwfr, ei hoff ddifyrwch, gofynodd un o'r cwmpeini iddo a fu efe erioed yn Scotland? Atebodd yntau iddo fod yno. "Felly y bum inau," meddai y gofynwr, "ac y mae yr Ysgotiaid yn fwy penboeth gyda'u Beibl nag un pobl a welais i erioed. Y mae yn eu tai, yn llyfr eu hysgolion, ac yn eu heglwysi. Pan y byddont yn teithio hyd yn nod ychydig o ffordd, y mae eu Beibl yn gydymaith ganddynt; eto ni welais mewn un wlad lle yr ymdeithiais, bobl mwy cysurus a dedwydd. Trwy eu hymarferiad rhagfarnllyd o ymgyrchu i'r eglwysi ar y Suliau, y mae y gweithwyr yn cadw eu cyflogau yn ofalus, tra y mae rhai cyffelyb mewn gwledydd eraill yn eu gwario yn y tafarndai ac mewn oferedd; ac nid oes unrhyw dramoriaid sydd yn glanio yn ein gwlad a chymaint o alw am danynt i wasanaethu mewn lleoedd pwysig a'r Ysgotiaid. Anfynych y cyfarfyddir a neb o honynt mewn elusendai na charcharau. Yn awr (meddai) os ydyw y Beibl yn llyfr mor ddrwg, oni fuasai yn naturiol dysgwyl i'r rhai sydd yn gwneyd mwy-

af ag ef i fod y bobl fwyaf drygionus o bawb?"

Ni fedrai Paine roddi un atebiad i resymiad fel hyn. Yr oedd yn ffaith hanesyddol nad allai neb ei gwadu. Felly efe a aeth i fyny y grisiau heb ddweyd dim, ac aeth ei gyfeillion allan o un i un, a gadawsant y llefarydd ei hunan i fwynhau yr olygfa.

---

## Y MODDION EFFEITHIOLAF

### I GYNAL A PHARHAU EGLWYSI BEDYDDIEDIG CYMREIG YN Y GORLLEWIN.

*Papyr a Ddarllenwyd yn Nghymanfa Bevier, Mo., Mai 1, 1880, ac a gyhoeddir ar gais y Gynadledd. Wedi ei dalfyru.*

GAN Y PARCH. R. M. RICHARDSON, DAWN, MO.

*Anwyl Frodyr yn yr Arglwydd:*

Hyfrydwch neillduol i mi yw cael y fraint o'ch cyfarfod y flwyddyn Gymanfaol hon eto, a thraddodi i chwi yr anerchiad presenol fel blaenffrwyth o rai galluocach, ni a hyderwn, gan frodyr teilwng yn y dyfodol.

Gyda gradd helaeth o bryder yr wyf yn sefyll ger eich bron, gan yr ofnwyf nas gallaf wneyd cyfiawnder â mater mor bwysig, yr hwn sydd yn orlawn o ddyddordeb a phwysigrwydd i bob Bedyddiwr egwyddorol, nid yn unig yn y rhanbarth yma o'r byd, ond i bob un o'r saint Bedyddiol drwy'r wlad, a thrwy y byd yn gyffredinol.

Mae yn wybyddus i ni oll mai gweiniaid yw yr eglwysi Bedyddiedig Cymreig yn y Gorllewin ar hyn o bryd; ac nid yw hyn yn rhyfedd, gan mai gwlad newydd ydyw, a ninau o bosibl ychydig yn wahanol i rai o'n cymydogion crefyddol, gan nad ydym fel rheol yn ymfudo yn enwadol felly, a thrwy hyn cafodd eraill fantais arnom—sefydlasant eglwysi, a dylanwadwyd ar luaws o Fedyddwyr llwfr, ac efallai anffyddlon i'w hegwyddorion, i ymuno â hwy, fel pan gorphorir eglwys Fedyddiedig mewn ardal, mae y dosbarth yna yn lled hwyrfrydig, fel Israel gynt yn Babilon, i gychwyn tua'u gwlad.

Ond er yr holl anfanteision hyn, y mae genym achos diolch i'r Arglwydd am y llwyddiant sydd wedi bod ar ein hegwyddorion; a phriodol y gallwn ddweyd heddyw, "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen." Cymerwn gysur, ymwrolwn ac ymnerthwn yn y gras sydd yn Nghrist Iesu. Mae ein dyfodol yn wir addawol. Mae llwyddiant ein hegwyddorion yn y mynedol, ac "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," yn sylfaen gref i'n gobeithion dyfodol; ac y mae addewid Iesu yn dyferu cysur i'n henaid, "Ac wele yr ydwyf fi gyda chwi bob amser, hyd ddiwedd y byd." Ymddiriedwn ynddo.

Ond mewn trefn i gynal a pharhau achos y Bedyddwyr Cymreig yn y Gorllewin—

(*a*) *Rhaid ymdrechu i gadw yr iaith Gymraeg yn fyw.*

Mae hyn yn sicr o fod yn hanfodol mewn trefn i sicrhau yr amcan gogoneddus hwn. Gwir fod y mwyafrif o honom yn esgeuluso i raddau gormodol y mater pwysig hwn yn ein teuluoedd, a diau y bydd rhywun yn barod i ddweyd, "Y meddyg, iacha dy hun." Wel, boed felly—addefwn ein bai, ac addawn ddiwygio.

Wrth eich anog, frodyr, i ymdrech o blaid cadwraeth yn fyw ein hoff famiaith, nid ydym yn golygu y dylem mewn un modd fod yn rhagfarnllyd, ac yn gul tuag at un genedl arall; na, pell oddiwrthym yw y syniad yna; a hefyd ni ddylem ddibrisio y fantais a'r defnyddioldeb a ddeilliai i ni o feddu gwybodaeth o ieithoedd eraill, ac yn neillduol yr iaith Saesoneg. Credwn fod mantais neillduol mewn gwneyd ein hunain yn ddefnyddiol gyda'n brodyr yr Americaniaid, gan fod ein heglwysi Cymreig (fel yr awgrymwyd) yn weiniaid ar hyn o bryd, ac yn analluog i gynal gweinidogaeth sefydlog o fawr werth; ac y mae gwerth i dalent wirioneddol bob amser.

Felly yn yr amgylchiadau hyn, gorfodir rhai o honom i dreulio haner ein hamser gyda'n cymydogion, a thrwy hyn bendithir yr eglwysi Cymreig â gweinidogaeth weddol sefydlog. Ond

dyma ein dadl, mewn trefn i barhau achos y Bedyddwyr Cymreig yn y Gorllewin, rhaid ymdrech o blaid cadwraeth yr iaith Gymraeg; oblegid ofer fydd dysgwyl parhad a chynydd eglwysi Cymreig os nad ymdrechir cadw yr iaith Gymraeg yn fyw.

Mae genym ddau gylch pwysig i weithio yn y cyfeiriad yma, sef y teulu a'r ysgol Sabbothol. Parotown ein plant yn ein teuluoedd i dderbyn addysg Gymraeg yn yr ysgol Sul; fe fydd hyn yn anrhydedd i ni, i allu planu egwyddorion Cristionogaeth yn eu calonau yn iaith anwyl yr hen Frythoniaid; ac ni fyddant hwythau yn golledwyr hollol wrth feddu gwybodaeth o iaith eu mamau, ond yn hytrach bydd yn goron anrhydedd iddynt yn nyfodol eu bywyd. Y mae y Gymraeg yn un o brif ieithoedd y byd o ran henafiaeth, ardderchawgrwydd, a chyfoeth diderfyn (braidd) ei meddyliau. Mae ynddi gyflawnder dihysbydd o wreiddeiriau er neillduoli pob gwrthddrych mewn bodolaeth. Mae ei thermau yn swynol, ei llenyddiaeth yn gyfoethog, a'i barddoniaeth aruchel yn ymylu ar fod yn ysbrydoledig. Ymdrechwn o'i phlaid, a bydded ein harwyddair yn amlwg nid yn unig ar fanlawr yr Eisteddfod, ond yn ein teuluoedd a'n heglwysi, "Oes y byd i'r iaith Gymraeg." Penderfynwn godi ein plant yn Gymry diledryw, mewn iaith a theimlad, tafod a chalon; ac ymwrthodwn a'r syniad o chwyddo rhengau "Dic-Shon-Dafyddol" ein gwlad. Gan ei fod yn wir bwysig mewn cysylltiad â hanes dyfodol ein heglwysi, meddyliwn am hyn, a chymerwn y cynllun effeithiolaf i weithio allan yr awgrymiadau yma.

(*b*) *Rhaid i'r eglwysi Bedyddiedig Cymreig yn y Gorllewin hefyd ymdrechu i gynal gweinidogaeth alluog er sicrhau hyn.*

Ofer dysgwyl llwyddiant ar achos crefydd heb hyn. Pregethiad yr efengyl yw y moddion ordeiniedig gan Dduw i ddychwelyd y byd. "Ewch i'r holl fyd, a *phregethwch yr efengyl,*" &c., medd Crist; dyna ei gomisiwn mawr; ïe, dyna enaid efengyl mewn un adnod.

Gyda phob dyledus barch i gyfarfodydd gweddio, &c., fel cyfryngau ardderchog a gogoneddus yn Seion, er ei nerthu a'i chynyddu ar gynydd Duw, eto gwyddom mai perthyn yn neillduol i'r eglwys y maent; ni fwriadwyd y cyfryw gyfarfodydd yn gyfryngau argyhoeddiad i'r byd o bechod, &c., ond er ymarferiad ysbrydol i Seion, a chynydd y saint mewn gras.

Gwir fod pethau mawrion a gogoneddus wedi eu gwneyd drwy gyfrwng cyfarfodydd gweddio cyn hyn. Tra byddo hanes ymdrech yr eglwys yn Jerusalem o flaen dydd y Pentecost; gweddi yr eglwys ar ran ei gweinidog, Pedr; Paul a Silas yn ngharchar Philippi, a lluaws o engreifftiau eraill ar gael, fe brofir dylanwad cwrdd gweddi. Ond mor wir a hyny yw y ffaith mai dan ddylanwad pregeth rymus Pedr y dychwelwyd tair mil o eneidiau yn ufudd ddeiliaid i'r Brenin Alpha. Iē, pregethiad yr efengyl yw moddion ordeiniedig Duw i ddwyn ei enw ger bron llywiawdwyr a phenaethiaid y ddaear. Ond cofier, bod rhaid cael undeb anwyl rhwng eglwys a gweinidog mewn trefn i barhau mewn gweddi a gweinidogaeth y gair, gan fod gweddi a llwyddiant y weinidogaeth wedi eu huno mor agos fel nas gellir eu gwahanu. "Bellach, frodyr, gweddiwch trosom ni, ar fod i air yr Arglwydd redeg a chael gogonedd, megys gyda chwithau," medd Paul. (2 Thes. 3: 4.) Mewn gweddi yr ydym yn profi yn weithredol fod ein dymuniadau ni wedi ymdoddi i arfaethau Duw.

Mae dynion y dyddiau hyn fel pe am ddwyn i mewn gynorthwyon i'r efengyl; dyfeisiant bob peth er creu *excitement,* a chael rhyw fath o *revival;* ond prin iawn yw ein cydymdeimlad â'r cyfryw, a chredwn fod sibrydiad Ysbryd Duw yn gofyn i'r cyfryw, "Pwy a geisiodd hyn oddiar eich llaw chwi?" Y gwir yw, nid oes eu hangen; pe amgen buasai Crist wedi trefnu hyny.

Pregethiad gonest, cywir, a diwyrni o'r efengyl yw y moddion gosodedig, ac y mae hyn yn sicr o fod yn ddigon am byth. Mae yn alluog i argyhoeddi

y byd, gwneyd y gwirion yn ddoeth i iachawdwriaeth, y celwyddog yn eirwir, yr aflan yn sanctaidd, yr erlidiwr yn sant, a'r marw yn fyw. O ganlyniad bydded i ni gofio gorchymyn Crist, ac ymdreched pob eglwys i gael y weinidogaeth alluocaf a grymusaf, yn lle ymfoddloni ar rywbeth ar enw pregethu. Nid yr *actor*, ar un llaw, na'r marwaidd a'r digyffro, ar y llaw arall, sydd eisiau i lanw areithfa yr eglwys Gristionogol, ond dynion llawn o zel dduwiol, a gwroldeb moesol, i sefyll dros y gwirionedd, ac nid creaduriaid pendrwm a gwasaidd.

Gyda phob hunan-ymwadiad y dymunem ddweyd, fod gormod o honom yn amddifad o'r cymwysderau angenrheidiol i lanw y swydd bwysig a chysegredig hon, ac ofnwn fod gormod o duedd yn yr eglwysi i borthi tipyn o gybydd-dod, gan ddweyd, "Wel, fe wna y weinidogaeth hon y tro i ni, ychydig sydd o honom," &c. Ië, ac mae yn ofnus mai ychydig fyddant, hefyd. Mewn llawer ardal boblogaidd mae yn drueni gweled eglwys Fedyddiedig ddim ond fel llin yn mygu.

Frodyr, mae yn hen bryd galw, "Codwch, awn oddi yma." Bydded i gorn y gad ddadseinio drwy gymoedd difaterwch yr eglwysi; ein harwyddair fyddo, "Awn rhagom!" ac ymdreched pob eglwys o fewn cylch y Gymanfa hon i gynal gweinidogaeth deilwng trwy ymuno â rhyw chwaer eglwys gymydogaethol; ac ymdreched holl genhadon Crist i bregethu yr efengyl yn nghyflawnder ei bendithion, ardderchawgrwydd ei dysgeidiaeth, a phurdeb ei hegwyddorion.

Peth arall gwir bwysig ydyw, *ymdrechu cadw heddwch a thangnefedd o fewn pyrth Seion.* Mae anghydfod eglwysig yn hau hadau darfodedigaeth yn nghyfansoddiad merch Seion; lle bynag byddo yr ysbryd hwn mae yno ymbleidiau ac ymraniadau, ac felly bydd y ddwyblaid o wahanol gyfeiriadau yn sugno hanfod bywyd o gyfansoddiad Seion, a diwedd y pethau hyn fydd, "Eu ty a adewir iddynt yn anghyfanedd." Rhaid cael mesur helaeth o'r gras o amynedd, a llawer o ddoethineb, i gario hyn allan. "Nac ymrysonwch ar y ffordd." I'r dyben o fod yn llwyddianus yn hyn rhaid golygu crefydd yn gyfundrefn ysbrydol, a rhaid cael cariad brawdol diragrith i ffynu yn yr eglwys.

"Rhaid codi'r groes, ac nid ei gwneyd,
Rhaid caru'r brodyr, gyda dweyd;
A choncro pechod o bob rhyw,
Os wrth y Beibl mynwn fyw."

Gwnaeth Crist y ddyledswyddh on yn wrthddrych gorchymyn newydd: "Gorchymyn newydd yr wyf yn ei roddi i chwi, ar garu o honoch eich gilydd." "Fel y carodd y Tad fi, felly y cerais inau chwithau."

Frodyr, y mae dyfodol ein heglwysi yn dibynu ar ein hymdrech bresenol o blaid heddwch a thangnefedd, gan fod yma ddylanwad sydd yn cyrhaedd yn mhell. "Ac am ben hyn oll gwisgwch gariad."

Elfen arall yw *bywyd addas proffeswyr crefydd.* Mae hyn yn ymylu ar fod yn anfeidrol bwysig i ni; os bydd bywyd aelodau eglwysig yn amheus, nid oes wahaniaeth yn y byd beth fydd teilyngdod rheolau a chyffes ffydd y gyfryw eglwys. Mae ymddygiadau anweddaidd yn dylanwadu mwy ar y byd na'r weinidogaeth alluocaf. "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." Rhaid ymdrech o blaid sancteiddrwydd, ac ymestyn at y *model* o berffeithrwydd sydd wedi ei osod o'n blaen yn y Testament Newydd. "Chwi yw goleuni y byd," ac fel y cyfryw, "Llewyrched eich goleuni ger bron dynion." O ganlyniad ymdrechwn fyw "yn sobr, yn gyfiawn ac yn sanctaidd, yn y byd sydd yr awr hon."

Yr elfen ddiweddaf ydyw, *Rhaid bod yn ffyddlon i'n hegwyddorion gwahaniaethol a'r gwirionedd dwyfol.*

Dyma'r pwnc mawr, a'r moddion sicraf ac effeithiolaf i gyrhaedd yr amcan clodfawr a gogoneddus, sef i gynal a pharhau achos y Bedyddwyr Cymreig yn y Gorllewin, a thrwy y byd yn gyffredinol. Mae elfen darfodedigaeth yn nghyfansoddiad pob cyfeiliornad, a rhaid iddo, yn ol ei natur, gwympo, gwywo, a diflanu; ond am y gwirionedd dwyfol, mae ei awdwr yn

anfeidrol. "Cadarn yw gwirionedd, ac a orchfyga," medd rhyw adnod yn yr Apocrypha, ac y mae yn wir am air Duw; a theimla pob Cristion fel Paul, "Canys ni allwn ni ddim yn erbyn y gwirionedd, ond dros y gwirionedd." Mae cariad Crist yn ein cymell ni i wir ffyddlondeb o'i blaid. Ac er cymaint y gwrthwynebiadau a'r haeriadau disail ein bod yn gul ein barn, &c., ac yn eang ein rhagfarn yn erbyn y gwahanol enwadau, eto gallwn wrthdystio yn erbyn y cyhuddiadau uchod, a chyda phob dyledus barch i'r dosbarth lluosog hyny o Gristionogion sydd yn dygwydd gallu edrych yn ysgafnach na ni ar ordinhadau y Testament Newydd, dymunem ddyweyd, tra byddant hwy, er enill cydymdeimlad a phoblogrwydd, yn amddiffyn cyfeiliornad ac yn dal i fyny draddodiad dynol yn lle gorchymyn Duw, teimlwn dan rwymau moesol i gadw o'r tu allan i furiau y gau undeb y crochfloeddir cymaint yn ei gylch. Y mae ffyddlondeb i air y gwirionedd, a'n hawydd am gydwybod ddirwystr, yn ein gorfodi i wrthdystio yn erbyn y ddefod ddynol o daenellu plant o fewn terfynau Seion. Yr ydym ni yn barod ac yn awyddus am undeb, ond ei gael ar sylfaen y gwirionedd; rhagor ni cheisiwn, a llai ni wna'r tro. Yn gymaint ag nad ydyw gwirionedd Duw yn caniatau i ni *gompromisio* dim â chyfeiliornad, felly ni chydnabyddwn un reol pa bynag gyda chrefydd Iesu ond a ddysgir yn yr efengyl. Felly, frodyr, byddwn ffyddlon; os teimlir y gawod yn drom, a'r gwawd a'r dirmyg yn annyoddefol, (ffurfiau presenol erledigaeth), cofiwn, "Gwyn eich byd pan y'ch erlidiant," &c. Byddwn wrol, gan ymgysuro yn y ffaith fod rhaid i wirionedd fuddugoliaethu ar bob math a ffurf o gyfeiliornad, a chyn hir fe chwifir baner wen buddugoliaeth o ben pob bryn drwy'r byd. Felly, frodyr, dywedwn fel yr enwog frawd Spurgeon, pan yn cyhoeddi llyfr yn ddiweddar, "Yr wyf yn saethu un ergyd yn rhagor o blaid y gwirionedd." Saethwn ninau o blaid yr un gwirionedd. Ofnwn weithiau ein bod yn rhy lwfr, ac yn rhyw haner credu mai rhywbeth goddefol yw gwirionedd; ond nid felly; mae gwirionedd yn ymosodol. Cof am Ioan Fedyddiwr: "O, genedlaeth gwiberod," &c.; a'r Iesu ei hunan yn condemnio rhagrith yr Iuddewon: "Myfi a ddaethum i fwrw tân ar y ddaear," &c.; a diolch i Dduw, mae tân gwirionedd yn parhau i losgi, ac ni orphwysa nes difa pob cyfeiliornad allan o'r byd.

Byddwn ffyddlon i'n hegwyddorion; er mai "am y sect hon y mae yn hysbys i ni fod yn mhob man ddywedyd yn ei herbyn;" eto cyn hir fydd dim ond "Un Arglwydd, un ffydd, ac un Bedydd;" ie, "Y byd ddaw'n well, bedyddio wnant."

---

## GORPHWYSFA.

Gorphwys!—y mae swyn i mi yn y gair hwn, gorphwys. Ceir cysur ynddo i'r galon glwyfus; a daw dyddanwch drwyddo i'r ysbryd sydd ar lesghau. Nid gorphwys fel y gareg a orphwys ar fonwes y ddaear oer; nid gorphwys fel y gorphwysa'r cnawd yn y bedd; nid gorphwysfa o'r fath ag y ceir y byd o hyd yn dymuno am dani. Nage: ond gorphwysfa fendigedig.

Gorphwys oddiwrth bechod a gwae—gorphwys oddiwrth gystudd a galar; gorphwys oddiwrth dreialon a gofidiau; gorphwys o swn y rhyfel, y magnel, a'r rhwystrau; gorphwys oddiwrth bob gwg a chas; oddiwrth bob bradwr a bradwriaeth. O, orphwysfa fendigedig!—gorphwys gyda Duw, ar fynwes fy Ngwaredwr a'm Prynwr byw.

Cariad yn berffaith—gorphwys yn y cariad hwnw; yn lle bod yn wan a dirmygedig, yno yn hapus mewn gogoniant a gwiwdeb. Yn lle bod mewn gwlad sydd lawn o genfigen, malais, drwgdybiaeth, ac aflonyddwch, gorphwys yn ddigon pell o'u gafael oll—y mwg a'r tân wedi cilio, a'r haul yn gwenu o hyd—pawb o'r trigolion yr un enw, yr un galon, yr un gân, yn yr un palas ceinwych, gwyn. "Y mae gan hyny orphwysfa eto yn ol i bobl Dduw." Mor dda i ni tra yn teithio

trwy y byd helbulus hwn y gair dymunol hwnw,

"Cawn orphwys yn y ne'."

*Niles, O.* D. C. THOMAS.

GWERTH ENAID.—Gwir werth peth yw yr hyn y mae un a wyr ei werth yn roddi am dano. Yr hwn a wnaeth enaid a wyddai ei werth, ac a roddes ei fywyd trosto.

# Bwrdd y Golygydd.

## TYWYDD MAWR AR Y MOR.

Yn canlyn ceir hanes y rhan arwaf o fordaith ddiweddar y Dr. Fred Evans (Ednyfed) o Gymru. Yr ydym yn argraffu yr hanes "air yn air" o *Seren Cymru* am Rhag. 9, wedi ei ysgrifenu ganddo ef ei hun:

"RHWNG Y TONAU.

Rhwng a than y tonau yr ydym wedi bod am y ddau ddiwrnod diweddaf; ac am y 10fed o Dachwedd, yn yr agerlong *Victoria*, ar y mor tymhestlog, gallaf ddweyd—

"Du ac arswydus
Yw'r hanes am heddyw."

Cawsom ein hysbysu, a hyny mewn pryd, ein bod ar fyned i le garw, ac i blith tonau cynddeiriog. Profwyd gwirionedd yr hysbysiad, a chawsom ein hunain yn safn angeu. Nid oedd y llestr ond megys pluen o flaen anadl cawr, phenderfynodd yr elfenau ddangos eu hawdurdod. Yr oedd y môr mor arw, a llwybr y llestr mor anwastad, fel y gorfodwyd pob un i aros yn y *saloon*. Hyrddiwyd ni o ochr i ochr; gwibiai y llestr yma a thraw; cwympai y *stewards* wrth *waitio* arnom, ac amlwg oedd ein bod mewn ystorm mwy ffyrnig na chyffredin.

Yr wyf wedi croesi y Werydd chwech o weithiau, ac wedi croesi gwahanol *channels*; ond ni wnaeth ofn frathu fy mron o herwydd peryglon erioed o'r blaen. Y troion ereill, teimlwn fy hun yn fyw diogel ar y mor nag ar y tir; nid felly y tro hwn. Gan na roddid rhyddid i ni fyned i fyny i'r *deck*, cadwyd ni i raddau halaeth iawn yn ddall i gynddeiriogrwydd enbydus y mor. Cynyddai yr ystorm nos y 9fed; a thua phedwar o'r gloch boreu y 10fed, ysgubwyd tri o'r dwylaw dros y bwrdd i dragywyddoldeb, a hyny mewn amrantiad. Un o honynt oedd y *boatswain;* dyn tawel, morwr dewr, a swyddog ffyddlon. Gadawa ar ei ol hen fam oedranus, a thri o blant. Y llall oedd ddyn oedranus, yr hwn a berchid gan bawb a'i hadweinai. Bum yn siarad ag ef y boreu cyn y tro chwerw, a dywedai am y tywydd garw oedd i'n haros. *Poor fellow!* Y llall oedd Eidalwr, yr hwn a ddaeth ar fwrdd y *Victoria* am y tro cyntaf yn Gravesend. Boreu tywyll oedd hwn. Wedi eu golchi dros y y bwrdd, stopiwyd yr *engines;* ond anmhosibl oedd cael golwg ar y trancedigion. Wedi clywed am y tro chewrw hwn, aeth braw i galonau yr ymdeithwyr. Yn y boreu, cyn haner dydd, clywid *crash* ar y *deck*, ac aeth y swn i bob *nerve*. Chwythwyd yr hwyliau yn edafedd, drylliwyd darnau o'r hwylbrenau, torwyd y *jib-boom* yn ddau, hyrddiwyd un o'r badau yn erbyn y *funnel*, nes yr aeth yn ddarnau, a stripiwyd y *deck* o lawer o'r *railing* haiarn. Dyma ein cyflwr, a dyma fu ein cyflwr am yn agos i saith cant o filldiroedd. Ac nid dyma y cyfan: canys yr oedd y gwaethaf o'n golwg ni. Tra yn ymgomio ag ereill am y storm a'r perygl, daeth Mr. Burnside, y *purser*, ataf, gan geisio genyf ddyfod i'w ystafell am foment. Ufuddheais, heb freuddwydio beth a allasai fod y neges. Wedi cau y drws, dywedai wrthyf mewn acenion crynedig, "Dr. Evans, mae Cadben Murray yn ceisio genyf i'ch hysbysu ein bod mewn cyflwr enbydus, ac nad oes fawr obaith am waredigaeth; ac y mae am i chwi wneyd y cyfan yn fater gweddi, a gwneyd y peth yn hysbys i'r *passengers* yn y *saloon*, os barnwch yn

ddoeth a phriodol—y mae yn gadael hyn yn llwyr i chwi" . Hawddach ydyw i chwi ddychymygu fy nheimladau nag i mi eu desgrifio. Ymwelwais, a theimlais seiliau fy enaid yn rhoddi ffordd; ond cedwais yr oll i mi fy hun, a bernais mai gwell a doethach oedd peidio gwneyd y peth yn hysbys, rhag i mi drwy hyny ddwyn oddiamgylch *banic* a fuasai yn ofnadwy yn ei ganlyniadau. Aethum i fy ystafell, a chauais anghrediniaeth allan, a gweddiais yn ffyddiog ar fy Nhad, yr hwn sydd yn gweled ac yn gwrando yn y dirgel. Yr wyf yn credu yn nerth gweddi. Mae yr ystorm yn cynyddu; gobeithion am waredigaeth yn lleihau, a'n rhagolygon yn diflanu. Cura y tonau y llestr fel pe yn llawn digofaint tuag ati. Nid oedd y llong am beth amser yn gallu myned yn y blaen o gwbl, a'r hyn oll a allasai yr *engines* wneyd oedd cadw y llong i fyny rhag cael eu llarpio gan y tonau brochwyllt. Es i'r gwely yn gynar, a hyny heb ddiosg am danaf; canys yr oeddwn yn credu, oddigerth i'r Hollalluog Dduw ddangos ei allu, a hyny yn fuan, mai y dyfnder fuasai fy medd, yn nghyda fy nheulu anwyl, a phawb eraill; am hyny penderfynais fod yn barod i gasglu fy nheulu at eu gilydd, a myned i'r nefoedd law yn llaw. Yn ystod y nos danfonodd y Cadben neges arall ataf gyda'r *Commander* Cheyne, i ddweyd fod y rhagolygon yn tywyllu, nad oedd dim i'w wneyd ond bod yn barod i'r gwaethaf; ond ymbiliai am i mi erfyn ar Allu Goruwch naturiol i ddyfod i'r golwg. Gweddiais, a gweddiodd amryw gyda mi. Ymbiliais am i Lywydd y môr ddangos i ni arwydd er daioni; ac yn mhen ychydig galwodd *Commander* Cheyne wrth ddrws fy ystafell, gan ddweyd mewn acenion mwy llon nag o'r blaen, "Dr. Evans, the Captain requests me to tell you that the gale is broken, and that there is decided improvement." Dyma falm i glwyf, a dyma newyddion da i'r trallodus. Mae pethau yn gwella. Mae y Gwr fu ar fôr bach Galilea wrth ei waith; mae gweddi'r ffydd wedi ei hateb; mae gwaith y Cadben, y swyddogion, a'r morwyr, wedi ei goroni â llwyddiaut, a bywydau pawb am beth amser yn ddiogel. Ni fu ond cam rhyngom ag angeu. Yn fynych ymddangosai eglwysi Salem, Maesteg, a Franklin, Pa., o flaen fy llygaid. Bydd genyf feddwl uchel iawn am allu a ffyddlondeb Captain Murray. Bu ar y bont am yn agos i dri diwrnod.

Er fod *Commander* Cheyne yn hen forwr, ac yn hen gyfarwydd ag ystormydd cynddeiriog, wedi bod yn chwilio am weddillion Syr John Franklin yn y Gogledd, eto tystiai mai dyma y storm waethaf a welodd erioed, a dyma dystiolaeth y Cadben a'r morwyr. Anwyl Mr. Jones, a darllenwyr y *Seren*, unwch a mi mewn cân o ddiolchgarwch am y fath waredigaeth.

Boreu heddyw, Tach. 11, pasiodd un o agerlongau y *Cunard Line* ni, gan gynyg i ni gynorthwy, ond barnodd y Cadben nad oedd angen help arnom. Yr ydym yn awr tua 1,200 o filldiroedd o New York. Byddwch wych.

EDNYFED.

*Ar y Cefnfor garw, Tach. 11, 1881.*

---

[O Seren Cymru, Rhag. 5.]

## MARWOLAETH DR. THOMAS,

### DIWEDDAR LYWYDD COLEG PONTYPOOL.

Y mae genym yr wythnos hon, gyda galar dwys, i gofnodi marwolaeth un ag y mae ei enw am yr haner canrif diweddaf wedi bod yn gysylltiedig â phrif symudiadau crefyddol a rhyddfrydol Tywysogaeth Cymru, yn fwyaf neillduol felly mewn cysylltiad ag enwad y Bedyddwyr Cymreig. Yr oedd enw Dr. Thomas, Pontypool, yn adnabyddus yn mhob cwr o Gymru, a thelid iddo barch ac edmygedd gan bawb a ddaethant i gysylltiad ag ef. Mab oedd Dr. Thomas i Mr. Thomas Thomas, yr hwn a gadwai fferm yn agos i Gaerdydd, o'r enw Leckwith. Eglwyswr oedd ei dad, ac yr oedd yn wrthwynebol iawn i'w fab i fynychu y gwasanaeth crefyddol yn y Tabernacl, Caerdydd. Fodd bynag, parhaodd y mab i fyned i'r Tabernacl; a phan yn

15 mlwydd oed, bedyddiwyd ef gan y Parch. Griffith David, gweinidog yr eglwys ar y pryd. Y flwyddyn ganlynol, daeth yn athraw ar un o'r ysgolion goreu yn y dref, yr hon a gedwid gan y diweddar Barch. W. Jones, Bethany; a phan yn 16 mlwydd oed, derbyniwyd ef yn fyfyriwr yn Athrofa y Fenni. Wedi treulio dwy flynedd yno, symudodd i Athrofa Stepney, Llundain, lle y treuliodd rai blynyddau, ac y gorphenodd ei addysgiaeth. Ar ei ymadawiad o'r athrofa, derbyniodd alwad oddiwrth yr eglwys yn Henrietta St., Llundain, lle y treuliodd wyth mlynedd yn y weinidogaeth. Darfu i hyawdledd a sêl y pregethwr ieuanc gasglu o'i amgylch gynulleidfa luosog, ac yn mhlith aelodau ei eglwys yr oedd y Barnwr Lush, yr hwn oedd yn gyfaill calon iddo byth oddiar hyny.

Yn 1836, symudwyd Coleg y Bedyddwyr o'r Fenni i Bontypool, a danfonodd pwyllgor yr athrofa gais at Dr. Thomas i argymeryd dyledswyddau llywyddol y Coleg. Derbyniwyd y gwahoddiad, a pharhaodd Dr. Thomas yn llywydd y Coleg hyd 1877, cyfnod o un mlynedd a deugain, pryd yr ymddiswyddodd, o herwydd ei fod yn teimlo fod ei nerth yn gwanhau. Darfu i eglwysi Cymru, a chyfeillion yn Lloegr, ar yr adeg yma, gyflwyno i Dr. Thomas y swm o ddwy fil o bunau, fel cydnabyddiaeth o'i wasanaeth gwerthfawr i enwad y Bedyddwyr. Cyflwynwyd yr anrheg yn nghapel y Tabernacl, Caerdydd, pan y llywyddai ei hen gyfaill, Arglwydd Justice Lush.

Dydd Sul, y 4ydd o'r mis hwn, pregethodd Dr. Thomas ddwywaith yn nghapel Dr. Roberts, Pontypridd, ac mewn lleoedd eraill y Sabbothau blaenorol. Blinid ef yn ddiweddar gan beswch; ond gyda yr eithriad hwn, mwynhai ei iechyd arferol.

Nos Fawrth, y 6ed, aeth i'w orphwysfa yn ei iechyd arferol. Gan na ddaeth i lawr yn ei amser arferol boreu dydd Mercher, aeth ei nith, Miss David, i'w ystafell, pan y cafodd ef yn gorwedd yn dawel, ac yn ymddangos fel pe mewn trwm-gwsg. Fodd bynag gan fod ei wyneb yn fwy llwyd nag arferol, galwodd am gynorthwy, a daeth Dr. Milward yno yn mhen ychydig amser, yr hwn a ddywedodd ei fod wedi marw, fel y tybiai, o fewn y cyfnod o 30 mynyd, ac mai yr achos o'i farwolaeth oedd *apoplexy*. Ymddengys fod Dr. Thomas wedi dweyd wrth ei gyfeillion lawer gwaith y dymunai i'w farwolaeth fod yn un sydyn a diboen, a chafodd ei ddymuniad.

Cymerodd yr angladd le dydd Llun diweddaf, a daeth torf dra lluosog yn nghyd i dalu parch i goffadwriaeth un a berchid ac a anrhydeddid mor gyffredinol. Cyn cychwyn â'r corph i Bontypool, cynaliwyd gwasanaeth crefyddol yn nghapel Tredegarville, Caerdydd, am 7 o'r gloch yn y boreu. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Parchn. A. Tilly, N. Thomas, a J. Bellingham, hen gyfaill i'r ymadawedig. Yna dychwelodd y gynulleidfa i anedd-dy yr ymadawedig, a ffurfiwyd gorymdaith yn rhifo yn agos i fil o bersonau. Canwyd amryw hymnau gan y corau ar hyd y ffordd. Wedi cyrhaedd y Casnewydd, cyfarfyddwyd a'r corph gan dyrfa fawr, y rhai a deithiasant gydag ef ran o'r ffordd, a chyrhaeddwyd Pontypool ychydig cyn un o'r gloch. Yn ganlynol cynaliwyd gwasanaeth angladdol yn nghapel Crane St. Darllenwyd rhanau pwrpasol o'r Ysgrythyr gan y Parch. J. Williams, gweinidog y lle; ac wedi canu hymn, traddododd Dr. Todd, o Lundain, anerchiad galluog, yn mha un y rhoddodd fraslun o fywyd yr ymadawedig, ac y siaradodd am ei rinweddau lluosog. Canlynwyd ef gan y Parchn. Evan Thomas, Casnewydd; Dr. Davies, Hwlffordd; J. W. Lance, Casnewydd; Dr. Roberts, Pontypridd; W. Edwards, B. A., Pontypool; N. Thomas, Caerdydd, (yn Gymraeg); S. R. Young, y Fenni; a Dr. Price, Aberdar. Wedi canu, ymffurfiwyd yn orymdaith, a chychwynwyd i hen gladdfa Penygarn, lle y gwasanaethwyd yn fyr, ar lan y bedd, gan y Parch. T. Lewis, Risca. Yr oedd lluniaeth wedi ei pharotoi yn y Colegdy i'r holl ddyeithriaid.

Nid oedd dim llai nifer na deg-a-

thriugain o weinidogion yr enwad yn yr angladd, heblaw llu mawr o wyr lleyg. Yr oedd cymeriad a safle y gwyddfodolion yn dwyn tystiolaeth uchel i gymeriad ac enwogrwydd yr ymadawedig.

---

## AMGYLCHIAD NODEDIG.

Yn mis Mehefin, 1876, yr oeddwn ar ymweliad â Calcutta; ac un diwrnod pan yn dychwelyd o dy y diweddar Dr. Wenger i dy fy lletywr, cefais fy nharaw yn ddisymwth ag awydd gref i fyned i dalu ymweliad a'r gladdfa oedd yn ymyl, ac i weled bedd plentyn bychan anwyl a gladdwyd yno tua deng mlynedd yn ol. Gan ei bod yn hwyr yn y dydd, nid ar unwaith y gwnaethum i fyny fy meddwl i fyned, ond yn mhen ychydig penderfynais fyned; ond wedi i mi fyned rai camrau yn mlaen, dechreuais betruso, a dychwelais yn fy ol; ond rywfodd neu gilydd nis gallaswn fyned fawr ffordd. Yr oeddwn yn teimlo fel pe dywedai rhywun wrthyf, "Ewch, ewch yn awr." Ufuddheais i'r alwad, ac aethum yn bryderus fy meddwl gyda golwg ar y rheswm paham yr oeddwn fel hyn yn cael fy nghymell i fyned braidd yn erbyn fy ewyllys. Yr oedd yr haul ar fachludo; yr oedd tawelwch a dystawrwydd yr hwyr cynes yn ychwanegu at ddifrifoldeb yr olygfa, tra yr oeddwn yn pryderus gerdded trwy breswylfa dawel y meirw. A phan yn dynesu at yr ysmotyn cysegredig y daethum i'w weled, yr oedd fy meddwl prudd yn orlawn o fyfyrdodau cysegredig ar y mynedol. Meddyliwn nid yn unig am "Edgar bach," ond hefyd am ei fam angylaidd, llwch gwerthfawr yr hon oeddwn wedi newydd ei gadael yn Tenby, hyd ddydd y codi a'r canu clod i'r hwn yw yr "adgyfodiad a'r bywyd."

Meddyliais ar y dechreu fyned trwy ganol y gladdfa, ond wed'yn cyfnewidiais fy meddwl, a chymerais y llwybr arall wrth fur y fonwent; ac fel yr oeddwn yn cerdded yn ddystaw a phrudd, canfyddais yn fy ymyl ffurf boneddiges wedi ei gwisgo mewn arwyddion galar trwm, yr hon a blygai ar fedd newydd-doredig, ac a ocheneidiai nes oedd ei chalon ar dori. Yr oedd yn hollol unig, ac yn ymddangos fel dyeithr. Arosais yn llonydd am eiliad, ac yn methu deall beth i wneyd. Ymddangosai trallod y foneddiges yn rhy ddwfn a chysegredig i unrhyw ddyeithr-ddyn geisio ei liniaru. Fy mwriad cyntaf oedd pasio yn ddystaw heibio, ac anfon ochenaid lwythog o gydymdeimlad at Dduw gyda'r galarus unigol hon; ond pan ar fyned yn mlaen, methodd fy nghalon, a theimlwn nas gallwn fyned yn mlaen. Teimlwn wedi fy hoelio wrth y fan, ac eto yr oeddwn yn ofni dynesu at y gwrthddrych ag oeddwn yn cymeryd cymaint o dosturi ynddo; pan yn ddisymwth teimlais gynhyrfiad cryf i fyned ati a cheisio ei chysuro. Yn araf dynesais at y bedd, a sefais yn ymyl yr alarus unigol, yr hon gan faint ei thrallod oedd heb fy nghlywed a'm gweled. Erbyn hyn teimlwn fod Duw wedi fy anfon, a bod rhaid i mi geisio cysuro yr enaid trallodedig hwn goreu y gallwn. Wedi sefyll yn fud ychydig, anturiais ddweyd, "Anwyl un alarus, esgusodwch fi am ymyraeth, oblegid yr wyf yn teimlo fod yn rhaid i mi siarad â chwi. Nis gallaswn yn fy myw basio heibio i chwi. Yr ydych mewn galar mawr, ac mi ewyllysiwn allu eich cysuro. Peidiwch edrych i lawr i'r bedd oer a digalon; tywyllwch a marwolaeth yw y cwbl yna; ceisiwch edrych fyny at y nef oleu fry; os oedd eich un anwyl ymadawedig yn caru yr Arglwydd, er fod y corph yn y llwch, mae yr enaid yn ddedwydd gyda yr Iesu; ac os ydych chwi yn caru yr Arglwydd, cewch eto gyfarfod a'ch ffrynd hoff yn ngwlad y dydd. Pa un anwyl sydd wedi ei gladdu fan hyn?"

Can gynted ag y dechreuais siarad, ymddangosai fel wedi cael braw, ac yn mhen ychydig, gyda llygaid llawn o ddagrau, gan edrych yn fy ngwyneb, â llais crynedig dywedodd,

"O, ydwyf, ydwyf, mewn trallod mawr; a pha beth a wnaf? Bu farw fy mhriod hoff, wedi bod yn glaf ond

am ychydig o ddyddiau—yr oedd efe mor dda, mor garedig, mor fwyn—pa beth a wnaf? Yr wyf wedi dyfod yma i weled ei fedd am y tro diweddaf am byth, o herwydd yfory byddaf yn cychwyn i Loegr ar fwrdd yr agerlong, ac ni chaf byth mwy weled yr ysmotyn cysegredig yma. O, yr wyf mor isel ac mor unigol, ac mor ddyeithr mewn gwlad ddyeithr—beth a wnaf?" Ebe fi, "Beth oedd eich gwr?" I hyn atebodd, "Cadben llong ydoedd, ac yr oeddym yn ddyeithriaid yma—mor bell o gartref—o Gymru ydym, a P—— yw fy enw, ac y mae fy nghartref yn P——ll."

Yr oeddwn wedi tybio wrth ei hiaith mai o Gymru ydoedd, ac yr oedd fy nghalon Gymroaidd yn llosgi fwy fyth ati. Gofynais iddi yn hen iaith Gwalia, "A wyddoch chwi Gymraeg?" Seiniau melusion yr hen famiaith—yr hen iaith wen anwyl, a wnaeth iddi bron neidio, ac edrychodd mor syn, fel yr ofnai braidd siarad; yr hyn a ddygai yn fyw i'm cof deimlad y wraig dda hono wrth fedd yr Iesu, pan ddywedodd wrthi, MAIR.

Wedi edrych yn syn ac ymofyngar arnaf am ychydig fynydau, dywedodd gyda llawenydd yn gymysgedig a syndod, "Cymraeg! Cymraeg! yr ydwyf yn gwybod Cymraeg yn dda. Ond rhyfedd! pwy ydych chwi? Ai Cymro y'ch chwi?" Dywedais, "Ie, eithaf Cymro; yr wyf yn teimlo fod Duw wedi fy nanfon yma i gysuro Cymraes alarus." Dywedais wrthi am y pryder fu yn fy meddwl gyda golwg ar ba un a ddeuwn i'r gladdfa neu beidio, a pha un a wnawn ai siarad a hi neu basio heibio, fy mod wedi dyfod i weled bedd plentyn anwyl, ond fod yn eglur yn awr i Dduw fy anfon i'w chysuro hi. Am beth amser ymddangosai ei bod wedi ei llyncu fyny gan syndod, yna aethum yn mlaen i siarad—y cwbl yn Gymraeg—am gariad Duw, a llawenydd y nef, ac yna dywedais, "Gobeithio eich bod yn adnabod yr Arglwydd Iesu." Atebodd, "Ydwyf, ydwyf, ac yn ei garu hefyd; ac felly yr oedd fy anwyl briod—yr ydym ein dau yn blant i Dduw; ond y mae ein Tad wedi fy nharo i yn erwin iawn. Nid oedd ofn marw ar fy anwyl briod; yr oedd yn barod i gwrdd a'i Dduw, ac y mae hyny yn gysur mawr i mi. Ychydig cyn ymadael fe ganodd,

"Yn y dyfroedd mawr a'r tonau,
Nid oes neb a ddeil fy mhen,
Ond fy anwyl briod Iesu,
'Rhwn fu farw ar y pren."

Rhoddodd i mi yn awr ei hanes, ond ni raid i mi yma ei ail-adrodd. Digon yw hysbysu ei bod yn foneddiges o Ogledd Cymru, ac yn aelod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd yn Ngwalia, wedi bod yn briod am yr yspaid byr o 16 mis â Chadben R——, yr hwn a fu farw yn ddisymwth yn Calcutta. Yna gweddiais gyda hi yn Gymraeg, a chanasom yr hen emyn anwyl, "Yn y dyfroedd mawr a'r tonau," &c.; ac o'r diwedd ymddangosai ei bod wedi adgyfnerthu, a dywedodd, "Yr Arglwydd a'ch danfonodd yma; ei angel ef ydych, wedi dyfod i'm cysuro, oblegid yr oedd fy nghalon ar dori. O, mor dda yw Duw yn eich anfon ar y fath adeg, pan oedd fy enaid ar gael ei orchuddio gan ofid. Bendigedig fyddo ei enw yn dragywydd."

Cymerais hi i weled bedd bychan fy machgen hoff i, a dywedais wrthi fod genyf ddwy wraig hoff, a phedwar plentyn serchog yn y nef; fy mod fy hun wedi myned trwy ddyfroedd trallod, a'm bod gan hyny yn gymwysach i'w chysuro hi. Ymadawsom a'n gilydd, gan folianu Duw; efallai y cawn gwrdd yn y wlad well, lle nad oes marw nac ymadael mwy.

THOMAS EVANS.

*Monghyr, Awst* 13, 1881.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Blwyddyn newydd dda i'n holl ddarllenwyr.

—Cyrhaeddasom gartref yn ddiogel o'r daith orllewinol. Cofion serchog at ein cyfeillion.

—Da genym ddeall fod y brawd D. E. Bowen yn gwella. Methwn ddeall, ag efe yn Gymreigydd da, paham y

mae yn galw ei droed yn *hon*—"y droed hon," meddai, yn lle y troed hwn.

—Englynion i febyn D. Lloyd, Jones, Ysw., Pittsburgh, Pa.:

Dafydd Lloyd Jones eto hefyd—gafwyd
Yn gyfaill bob enyd;
Ei "dada" sy'n d'wedyd,
"Mae'n wr gwiw, mae'n aur i gyd."

Wel, yn sicr, un anwyl syw—yw ef,
O nwyfiant digyfryw;
Odiaeth o brydferth ydyw,
A'i lygadau'n berlau byw.

—Mae y Parch. Wm. Jones, Wisconsin, yn terfynu, medd efe, ei ysgrifai yn erbyn y Parch. R. H. Evans, gyda'r erthygl a welir yn y rhifyn hwn. Dysgwyliwn y cawn rywbeth ar y pwnc yn mhellach ganddo yn fuan eto. Da fuasai genym gael ysgrifau oddiwrtho yn cynwys manylion dechreuad bedydd plant a thaenellu—pa bryd a pha fodd?

—Da fuasai gan y Bedyddwyr Cymreig gael y Parch. J. W. Williams, diweddar o Drefnewydd, i lafurio yn eu plith. Gwnaeth eglwys Hyde Park ac eglwys Pittsburgh gynyg teg. Ofni yr ydym na lwyddant.

—Clywsom fod y Parch. William J. Williams, gynt o Newburgh, Cleveland, wedi sefydlu yn weinidog ar eglwysi Church Hill a Coalburgh, O.

—Wedi cysodi hanes mordaith beryglus Dr. Fred. Evans, (Ednyfed), daeth *Seren Cymru*, yn cynwys parhad o'r hanes. Ond son y mae efe y tro hwn am y gwynt yn gostegu, y môr yn llonyddu, a sirioldeb yn teyrnasu, a phawb yn falch o fod yn nesu at dir. Ni oddef ein gofod i ni roddi ychwaneg o'r hanes yn y rhifyn hwn.

—Dydd angladd Syr Hugh Owen, Llundain, oedd y 26ain o Dachwedd. Gosodwyd ei gorph yn y bedd-gell deuluol, yn agos i'r brif fynedfa yn Aubrey Park Cemetery, Llundain. Yr oedd gwyr o urddas yn yr angladd, a'r gwasanaeth yn Gymraeg a Saesneg.

# Barddoniaeth.

## AWDL

*Er Cof am ein Byth glodfawr Gyn-Arlywydd*, GARFIELD, *yr hwn a saethwyd gan y cudd-lofrudd* GUITEAU, *Gorph. 2il, ac a fu farw o'r achos Medi 19, 1881.*

"Da wladwr duwiol ydoedd,
A gwr i Dduw o'r gwraidd oedd."
—*Eben Fardd.*

"Yn ben nawdd y bu o neb,
Ar randir gwlad yr Undeb."
—*Gwilym Hiraethog.*

Ow! Garfield, mae wedi gorphen—a ni
Pan oedd fawr ei angen;
Ei ddydd byr ddeuodd i ben—Ow! dristwch,
Doi huan elwch ein gwlad â niwlen.

E wthia hiraeth o herwydd—huno
Ein hanwyl Arlywydd,
I fynwes pob dinesydd
Hynaws a da nos a dydd.

Y llaw afrwyddawl a fu 'n llofruddio
Ein Harlywydd rhagorol, a wywo;
Nodau dialedd o hyd a'i dalio,
Ar ryw sedd halog i'r oes a ddelo,
Gael ei chanfod, er gwylio—yn ddyfal,
A hyf er atal y cyfryw eto.

Guito heb wyro tra byd—a wdier
Fel adyn dychrynllyd;
Y gwydlawn lofrudd gwaedlyd,
Ei doi â gwarth rhaid i gyd.

E ddywed bardd neu ddewin
I mi fel yma a'i fin:
"Crogwch ef, y corgi chwyrn,
A llosgwch ei holl esgyrn."

Gwthier ef o gyweithas—oleufryd,
Y cudd-lofrudd atgas;
Y Du arwain y diras—annynol
Hwn, i ganol y cadduglyn gwynias.

O! resyn i ddyn o ddoniau—Garfield,
Gael gorphen ei ddyddiau
Trwy law adyn, gelyn gau,
A braenwr gwlad a'i breiniau.

Diau gofid sy'n dygyfor—ein gwlad,
Am golli 'n glew flaenor;
Trom Och! ar hyd tir a môr,
I gyrhaedd i bob goror.

Wylo y mae Ewrop fel Amerig,
Ys â y cyffrawd trwy Asia ac Affrig,
Heb bwyll unwedd trwy'r 'nysoedd pellenig,
Yr â y ddu adwyth anwareiddiedig;
Mae'n dost lofruddio mewn dig—ein Penaeth,
Oedd ddyn da odiaeth, o ddawn nodedig.

Nwyd ddilys nôd o ddialedd—oedd lladd
Llyw o gymaint rhinwedd ;
Erioed o'i faboed i'w fedd—ni wyrai,
Yn wron rhodiai lwybrau anrhydedd.

Ymroddai am wir addysg—yn ieuanc,
Mewn hewyd anghymysg,
I dramwy yn ddidrymysg,
Heirdd gamrau doniau a dysg.

I gar rhoddai geryddon—o byddai
Beiddiawg ei arferion,
Yn hoyw ac yn ëon,
Ni cha frawd nychu ei fron.

Ei addfwynder ydoedd fendith—iddo,
Yn oraddurn ddichwith;
Yn orgryf gwrthsafai ragrith,
Cenad Ior oedd ac nid ei rith.
Dyn oedd ef o dan ei Dduw,
Ac urddol air y gwir-Dduw,
Wnai ei arwain yn wrol,
A Duw y gair lon'd ei gol.

Er meddu aur a moddion,—ddigonedd
I gynal rhwysg beilchion;
Ond gwyliai gadw'i galon
Yn ei lle dan fantell Ion.

Llywiawdwr a gallu ydoedd,—i enill
Gwahanol genedloedd,
I'w garu yn gu ar goedd—bob orig,
Drwy Amerig a thu draw y moroedd.
Och! awr drom cwyn chwerw drig,
Am arwr dewr Amerig.

Ac o herwydd ei fawr garu—ei wlad
Lydan sy'n galaru ;
A'i gosgedd oll mewn gwisg ddu,
I'r eithaf mae'n hirraethu,
Ar ei ol ddyn duwiol doeth—
Oedd arweinydd i'r annoeth.

Gwladgarwr gludai'i goron—ar ei ben
Mewn mawr barch yn gyson,
Ydoedd ef, a deddf Ion—a'i diffynai,
Ac a'i arweiniai yn gywir union.

Yn y Senedd bu'n fawr ei wasanaeth,
no y noddai pob uniawn weinyddiaeth,
Ni bu wron mwy arab ei araeth ;
eb wyro gyrai at bob rhagoriaeth;
Oedd yn ffrwd o ddoniau ffraeth—o ddifri
n gawr o yni o blaid gweriniaeth.

O'i enau mel yn llawn maeth
Dylifai diliau afiaeth,
Yn orlawn o'i ddawn a'i ddysg,
Arwyddion o'i bur addysg ;
Ond Ow ! gwnaeth orphen ei daith,
Hyd i waelod y dylaith.

yna Garfield yn gorphwys—yn ei fedd
Yn fud heb air amwys;
O rad Duw ei ysbryd dwys—o'i wirfodd,
Yn bur ehedodd i'r lân baradwys.

Oer ddunos i wr o'i ddoniau—huno,
Ar haner ei ddyddiau;
Ac o'r achos ceir ochau, trwy'r gwledydd,
Yn gafodydd o dduawg ofidiau.

Ei air a'i barch ni cha'r bedd, hwy barhant
Yn bur hyd ddydd adwedd,
Neu'r adferiad i fawredd,
I fwynhau'r diderfyn hedd.

Bellach rhaid yw ymbwyllo,
Er chwerwed, trymed y tro;
Fe a y wlad gref oludog
Hon y'mlaen gán estyn am log,
Yr un modd o ran moddion
Ein llyw a'i waith sy'n llaw Ion.
Ior hael sydd yn rheoli,
Byd a nef a'n bywyd ni;
Efe a wna a fyn oll,
Ni ddygwydd ond fo'n ddigoll.
I'r drefn hon rhaid boddloni,
Nertha'r Nef ein Harthur ni;
Dewr a nerthol dwrn Arthur,
I'w wlad oll bydd fel y dur;
A'i Dduw nertha ddawn Arthur,
I ddwyn baich ei swydd yn bur;
Felly'n gwlad fydd safadwy,
Wel, Amen—dim wylo mwy.

CADWGAN FARDD.

## ATHRYLITH.

Athrylith bur, boddhad yw edrych arni,
Fel dyfroedd byw o'r enaid yn bwrlymu;
Ar fin ei ffrwd tyf chwaeth fel lili hoew,
Gan wenu'n llon yn swn ei dyfroedd gloew;
Gwybodaeth beunydd yf o'i dyfroedd puraidd,
Darfelydd sych, gan ymddadblygu 'n iraidd;
Athrylith bur, mor hynod yw dy geinion,
Ffynonell wyt o ddigyffelyb swynion.

Ei ffrwd ddaw allan heibio i lys gwirionedd,
Heb ddafn gwenwynol megys twyll a gwagedd,
Ond pob dyferyn megys gem farddonol,
Neu felus nodau y beroriaeth nefol;
Cyfoethoga 'n ddibrin ardd fawr llenyddiaeth,
A buddiol addysg mewn gwir farddoniaeth;
Ac yno gwelir cewri 'r oes bresenol
Yn byw ar ffrwythau têr Athrylith fywiol.

Athrylith ddaw i fyny 'r lwys areithfa,
Ac enyn sêl yn ngweision y Jehofah;
A hwy a ddaliant y Messiah i fyny
Yn Geidwad pawb a ddel i'w wir addoli;
Iaith felus hon yn hymnau yr addoliad
A gwyd serchiadau pawb i wlad y cariad,
I gyd-addoli 'gylch gorseddfa'r Duwdod,
Mewn moliant mawr i'r Iesu yn ddiddarfod.

*Braceville, Ill.* ARIANFRYN.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA

## II.

### AFFRICA.

Mae y ganrif hon wedi gweled pethau mawrion yn cael eu cyflawni yn, a thros y wlad ryfedd uchod. Mae yr anturiaethwyr gwrol sydd wedi bod y y naill ar ol y llall, wedi synu y byd, trwy ddangos nad anialwch diffrwyth, ond tir ffrwythlawn, a gwlad yr afonydd a'r llynoedd, bryniau a mynyddoedd, dolydd a dyffrynoedd mawrion, a gwastadeddau eang—eu cynyrch braidd yn annesgrifiadwy, ac yn cael eu poblogi gan filiynau o fodau dynol, ar y cyfan yn meddianu galluoedd meddyliol cryfion, yw hi. Ffrwyth ysbryd hunan-aberthol, a dyoddefgarwch dihafal dynion fel Mungo Park, Clapperton, Denham, Livingstone, Barth, Burton, Speke, Grant (nid y Cadfridog), Cameron, ac eraill, ydyw y pethau hyn. Llawer o'r gwroniaid uchod a seliasant eu llafur â gwaed eu calon. Dyledus ydym hefyd am gyfrolau gwerthfawr o wybodaeth i daith synfawr Stanley ar draws y cyfandir, heibio i'r llynoedd, a thros y Congo allan i'r Werydd. Yn mhlith yr enwogion sydd wedi llafurio cymaint er dwyn y cyfandir dan sylw i oleuni, mae llawer o genadon hedd a gweision ffyddlon i'r Duw Goruchaf. Pwy sydd wedi darllen ychydig o hanes Livingstone, nad ydyw yn teimlo dylanwad ei sel, yn rhyfeddu ei wroldeb a'i benderfyniad, a braidd yn teimlo baich trwm ar ei ysgwyddau, wrth feddwl am y caledwaith anarferol yr aeth y gwron Cristionogol drwyddo, er dwyn tywyllwch Affrica o dan dywyniad haul gwareiddiad a Christionogaeth?

Mae ysmotyn bychan yn mhentref Chitambo, yn ymyl Llyn Bangweolo, a fydd yn gysegredig tra tywyno haul ar y byd, am mai o'r fan hono yr aeth enaid mawr Livingstone o'i boen a'i lafur i'w orphwysfa lonydd. Yr oedd wedi gwthio ei ffordd yn mlaen trwy, ac er gwaethaf gwrthwynebiadau ac afiechyd, nes yn rhy wan i fyned gam yn mhellach; cariwyd ef i fwthyn digon gwael, rhoddwyd ef i orwedd ar wely o goed croesion wedi eu gorchuddio â glaswellt. Yr oedd ei boenau yn arteithiol y diwrnod diweddaf y bu fyw. Yn hwyr y dydd, dywedodd wrth ei ffyddlon was, fod pob peth yn iawn, ac y gallai fyned i orphwys. Aeth, ond pan ddychwelodd i'r ystafell yn y boreu, cafodd y gwron ar ei liniau yn ymyl ei wely, a'i ben yn pwyso ar y gobenydd, wedi marw. Eneiniodd meibion Affrica y corph, cariasant ef yn ol i Zanzibar, a chymerwyd ef oddiyno i Lundain. Teimlai y byd Cristionogol y golled, ac wylai yn hidl ar ei ol. Gorwedda yr hyn sydd farwol o Livingstone yn Westminster Abbey—efe ei hun gyda Duw mewn mwynderau, a daioni ei fywyd yn cael ei fwynhau gan lwythau y wlad yr aberthodd ei hunan ynddi, ac er ei mwyn. Po bellaf yr eir oddiwrtho, rhyfeddir ef yn fwy. Teimlir yn ddyfnach ddydd ar ol dydd nad ydys eto ond dechreu amgyffred gwerth y dyn, ei ardderchawgrwydd moesol; a dygir ni yn barhaus i ryfeddu yn fwy ei wroldeb, i synu at ei ddyfal-barhad, ei ysbryd hunan-aberthol, ei sel genadol, ac amcanion goruchel a Christionogaidd y dyn da, David Livingstone.

Eraill hefyd a roisant y peth penaf a feddent er mwyn yr un wlad. Y mae wedi costio yn fawr i genadon mewn iechyd a bywyd i estyn i Affrica yr hyn o oleuni efengyl ag sydd yn ei meddiant. Yr ydys i raddau wedi amgylchynu Affrica â gorsafoedd cenadol. Gweithia cenadon eu ffordd o'r gorsafoedd hyn i mewn i'r wlad, ac yn barod mae miloedd wedi eu casglu i gorlan y Gwaredwr.

Mae tua 60 o wahanol Gymdeithasau Cenadol heddyw a chenadon yn Affrica. Mae eglwysi cryfion yn barod yn Sierra Leone, Liberia, Lagos, a Deheubarth y cyfandir. Yn y lle olaf mae tua 40,000 o gymunwyr, a phoblogaeth o 180,000, yn derbyn i raddau mwy neu lai o fendithion efengyl gras Duw. Gwneir ymdrech egniol gan

amryw gymdeithasau i fyned i mewn i ganolbarth y cyfandir. Cawn y Bwrdd Americanaidd yn parotoi pregethwyr brodorol yn Natal a Zululand i sefydlu gorsaf yn nhiriogaeth Unizila, yr hon sydd yn ddeheuol i Zambesi. Mewn cysylltiad â'r gwaith da yno y collodd y Parch. M. W. Pinkerton ei fywyd. Cawn gymdeithas arall wedi sefydlu gorsafoedd yn Uganda a Karagwe, lleoedd yn ogleddol a deheuol i lyn Victoria Nyanza, yn nhiriogaethau y Brenin Mtesa; ac er holl wamalrwydd y brenin, a chynllwynion y Jesuitiaid Pabyddol, mae llwyddiant mawr yn dilyn yr ymdrechion. Mae gorsafoedd wedi eu sefydlu yn Ujiji ac Ugula, ar ymylon llyn Langanyika, ac un yn Uramba, prif ddinas y brenin nodedig Mirambo, ac y mae golwg lewyrchus ar yr oll. Ar lan llyn Nyassa mae gorsaf. Hefyd, mae yr Ysgrythyr Lân yn cael eu cyfieithu yn bresenol i'r Chinyanja, sef iaith y Manganjaaid, a byddant yn eu dwylaw yn fuan. Mae glanau yr afon Shire hefyd yn cael eu hagor i'r efengyl, ysgolion da yn cael eu sefydlu yno, a dysgwylir yn fuan gnwd toreithiog i ganlyn yr hau sydd yn cymeryd lle yno yn awr.

Mae y dyn haelionus, Mr. Arthington, o Loegr, yn nghyd a chyfeillion cenadol yn y wlad hon, yn gweithio a'u holl egni i anfon cenadon i Khartoom, lle yn ddeheuol i'r Aipht, a gorllewinol i Abyssinia, ac wrth yr arwyddion presenol bydd yno yn fuan oleuni Cristionogol cryf yn cael ei wasgaru. Gwneir ymdrech neillduol trwy ddefnyddio Basutoaid sydd wedi eu henill i'r ffydd i efengyleiddio dyffryn y Barotse, o ran uchaf rhanbarth Zambesi. Mae un ymdrech wedi cael ei gwneyd, ond bu i dri o'r brodorion farw o wahanol dwymynau cyn dychwelyd. Mae yn ddyffryn anarferol o afiach. Ofnir na fydd fawr o lwyddiant ar y gwaith nes ceir rhyw gynllun heblaw i'r cenadon orfod byw yn y dyffryn.

Nid yw y cenadon sydd yn Liberia yn cyfyngu eu llafur yn llwyr i'r wlad hono, ond yn teimlo i'r byw dros drigolion lluosog Soudan. Eisiau arian a gweithwr sydd, a byddai gair Duw yn cael ei bregethu yno hefyd yn fynychach nag y mae.

Mae gorsaf bwysig yn barod ar y Niger, a'r cenadon sydd yno yn awyddus i weithio eu ffordd i fyny yr afon Binne, tuag at lyn Tchad, hefyd yn ddeheuol, mewn gobaith yn y diwedd i siglo dwylaw a'u brodyr sydd yn llafurio yn Uganda, ac yn gwneyd eu ffordd yn orllewinol atynt hwy.

Mae yr un ysbryd yn cael ei ddangos yn ngorsaf Bihe, cenadon o America yw y rhai hyn, a'r rhan fwyaf o honynt yn ddynion duon. Mae ganddynt hwy diriogaeth eang o'u blaen, a theimlant yn obeithiol iawn am lwyddiant mawr; gobeithio y cânt.

Mae Cymdeithas Genadol Bedyddwyr Prydain yn ceisio enill trigolion y tiriogaethau sydd yn ddeheuol i'r Congo. Mae bendith Duw yn eu dilyn, ac amryw yn barod wedi eu bedyddio ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw.

Mae yr holl orsafoedd ydym yn awr wedi eu henwi yn rhai a sefydlwyd o fewn y chwe' blynedd diweddaf, ac mae sylwi ar y gwaith sydd yn barod wedi ei gyflawni yn galondid mawr i fyned yn mlaen yn y dyfodol. Na fydded i Dduw, trwy lwyddo ei weision, a'u calonogi yn eu llafur, gael galw yn ofer arnom ni i gynorthwyo. Mae diwedd y flwyddyn genadol yn agosâu, bydded gan hyny i bob eglwys wneyd rhywbeth neillduol er ychwanegu y cyfraniadau. Da genym gredu fod gan fwyafrif ein haelodau galonau at y gwaith, ond i fawredd y gwaith, a gwir sefyllfa y maes cenadol gael ei osod ger eu bronau fel mae yn haeddu, ac fel mae Duw yn hawlio.

---

## *BEDYDDIWYD—*

Ar y Sabboth cyntaf yn Rhagfyr, yr oedd y dyrfa fwyaf a welwyd yn Nanticoke, Pa., erioed, yn edrych ar weinyddiad yr ordinhad o fedydd. Wedi gwasanaeth byr yn Saesoneg gan ein parchus weinidog, y Parch. W. F. Davies, gwnaeth pymtheg broffes gyhoeddus o Fab Duw yn y bedydd—dau frawd a thair ar ddeg o chwiorydd. Ychwanegwyd at ein rhif yn moddion y Sabboth uchod un ar hugain. Duw a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen. BRAWD.

## HANESION CARTREFOL.

CYFARFOD CHWARTEROL

*Y Bedyddwyr, a Gynaliwyd yn Girard, O., Rhag. 10, 11, 1881.*

Cyfarfod hynod oedd hwn—"Pawb o'r brodyr yn gytun, Heb un yn tynu'n groes." Gweinidogion yn bresenol: D. Hopkins, E. Jenkins, ac E. M. Evans, Palmyra, O., Ll. Rees, Mr. Williams, diweddar o'r Hen Wlad, Thomas, Sharon, Pa., Thomas, Niles, O., James, Mineral Ridge, Phillips, Bryn Eglwys.

Cawd cynadledd foddus, pregethau grymus, cynulliadau lluosog, caredigrwydd lon'd y lle, y dyeithriaid yn teimlo'n artrefol, byrddau yn llawn, a sirioldeb ddigon.

Yn y gynadledd—cawd mynegiad y brodyr o Niles mewn perthynas i'r casgliadau. Yn dderbyniol, gyda hyn o wahaniaeth, yn lle $206 yn uniongyrchol oddiwrth yr eglwysi, $200, a $206 trwy law E. Jenkins, gasglwyd yn Niles. Mynegiad Ll. Rees yn dderbyniol mewn perthynas i'r pwyllgor a benodwyd i fyned i Houtzdale. Llawenychwn a gorfoleddwn am ein bod wedi cael amser mor dda yn Girard, Ohio.

Aeth E. M. Evans, a Thomas, Sharon, i Niles i bregethu nos Sabboth, a Thomas, Niles, i Mineral Ridge, O.

D. C. THOMAS, *Ysg. pro tem.*

Wedi cysodi yr uchod, derbyniasom yr hyn a ganlyn, yn ychwanegol, ar yr un cyfarfod:

Dydd Sadwrn, am 2, cafwyd cynadledd. Gan nad oedd ond ychydig fusnes o natur pethau y bywyd hwn i'w osod o flaen y ty, trowyd y gynadledd i fod o natur y cwrdd ar y ffordd i Emmaus—ymddyddan am bethau mawrion a hanfodol crefydd, pan y dangoswyd yn eglur a theimladwy iawn y ffordd i osgoi drygau ac anghysur eglwysig. Teimlai pawb ar y pryd, ac y mae y cyfryw deimlad yn parhau yn Girard, na chafwyd gwell a mwy efengylaidd cynadledd erioed. Dirwasgwyd ar bawb yno yr angenrheidrwydd i arddelwi mewn bywyd ymarferol yr egwyddorion cynwysedig yn y broffes—yr angenrheidrwydd i'r holl saint, ac yn neillduol gweinidogion y gair, i garu eu gilydd y fath, fel na feddyliant a siarad yn ddrwg am eu gilydd; ac os gwelid neu y clywid fod un o honynt yn gwneyd yr hyn dybid sydd feius, y byddo iddynt ymdrechu yn ysbryd a ffordd ordeiniedig yr efengyl diwygio y cyfryw, yn hytrach na rhoddi achlysur, yn neillduol drwy genfigen a malais, i'r cyfryw gael ei ddal i fyny yn wrthddrych gwawd cyhoeddus i'r byd annuwiol. Yn sicr, yr oedd hon y fath gynadledd ag a adlewyrchai urddas y gwirionedd. Llywyddid y gynadledd yn ddeheuig gan y brawd Edward Jenkins.

Am 6 yn yr hwyr, wedi agor y cyfarfod gan y brawd D. C. Thomas, Niles, pregethwyd gan y brodyr David Hopkins ac Edward Jenkins, oddiar Luc 2: 15, a Marc 7: 24—30. Tarawodd y cyntaf ar y tant iawn i ddechreu y cyfarfod. Yr oedd yn *striking* a hynod felus. Cyflwynodd yr olaf i'n sylw yn rymus berthynas gwir ffydd i wir lwyddiant. Yr oedd yr oedfa hon yn ernes da o waith y dydd canlynol, fel y profodd wed'yn.

Boreu Sabboth, am 9, cyfarfod gweddi. Tynwyd yn ffyddiog wrth y rhaffau, ac ni chafwyd siomiant. Taniwyd yr eglwys fechan â brwdfrydedd i ddysgwyl wrth yr Arglwydd am bethau mawrion, a chafwyd hwynt.

Am 10, wedi agor y cyfarfod gan y brawd anwyl Thomas, Sharon, pregethwyd gan y brodyr E. Morddal Evans, Palmyra, a Ll. Rees, Johnstown, oddiar Job 36: 32, a Zech. 4: 10, y rhan flaenaf o'r adnod. Hawdd gwybod wrth y cyntaf ei fod yn fardd; cyffyrddodd â llinynau tyneraf y galon. Yr oedd y brawd Rees ar ei uchelfan. Dywedodd bethau nad oes llawer a'u dyweda ond ei hun. Cwrdd hynod dda, ysgrythyrol, a hwyliog iawn.

Am 2, wedi agor y cyfarfod gan y brawd D. Hopkins, pregethodd y brodyr Williams, Church Hill (Newburgh gynt), oddiar 2 Pedr 3: 14, a J. W. James, oddiar Job 42: 2. Pregeth wir

rymus, bwrpasol ac ysgrythyrol iawn gan y cyntaf; yr oedd ei thuedd yn hynod dda. Llwyddiant i'r brawd yn ei feusydd newyddion. Nid gormod ydyw dweyd fod y brawd James ar ei uchelfanau yn mhob ystyr; yr oedd ei bregeth yn dangos gallu athronol a rhesymegol cryf.

Am 6, gweddiodd y brawd Phillips, Church Hill, a phregethodd y brawd Rees, o Johnstown, ar "Y Moddion i gyrhaedd diwygiad crefyddol," y pwnc rhoddedig yn Nghwrdd Chwarter Girard. Yr oedd y bregeth hon yn *faster-piece* hyd yn nod i Rees. Teimlai y dorf yn ddwys o dani. Yr oedd y driniaeth gafodd y mater yn newydd, ac yn myned i waelod y mater. Clywsom un yn dweyd teimlad yr ysgrifenydd, y dylasai y bregeth gael ei cherfio mewn craig. Wn i ddim pwy heblaw Mr. Rees fuasai yn dweyd rhai pethau a ddywedwyd. Ar ei ol siaradodd y brodyr Williams, Phillips, James. a Jenkins, yn hynod dda, pwrpasol, a brwdfrydig, ar rai o faterion y bregeth. *Clenchiwyd* yr hoelion yn ddiogel. Da genyf fod y cwrdd hwn wedi gadael argraff dda iawn ar ei ol yn Girard. Mae yr hen frawd David James yn parhau i ddiolch am dano. Cafwyd caredigrwydd mawr gan yr ardal. Yr oedd yma ddigon o fwyd a llety i gadw cymanfa. Diolch i bawb. Frodyr o eglwysi eraill y cylch, mynwch gwrdd tebyg i hwn.

Yr oedd y cynulliadau yn lluosog iawn y Sabboth. Cyfranwyd yn dda gan yr eglwysi a'r gwrandawyr, a galluogwyd ni, yr wyf yn credu, i foddio pawb yn y taliadau allan.

RICHARD EVANS.

---

PENDERFYNIADAU O BARCH I'R DIWEDDAR DAVID O. LEWIS.

Yn yr ysgol gân perthynol i eglwys y Bedyddwyr yn Hyde Park, Pa., Rhagfyr 19, 1881, mabwysiadwyd y penderfyniadau canlynol:

1. Ein bod yn datgan ein teimlad hiraethus o herwydd marwolaeth D O. Lewis, yr hwn oedd yn aelod ffyddlon, gweithgar a defnyddiol, o'n hysgol gân, a'r hwn a gydnabyddid gan bawb fel un o golofnau cedyrn caniadaeth y cysegr.

2. Ein bod yn cydymdeimlo â'r weddw a'r plant amddifaid yn eu galar a'u tristwch, a'n bod yn gyd-gyfranog â hwynt, yn yr hyder cryf y cawn eto gyd-uno gydag ef i ganu anthem o fawl yn nghôr y Wynfa wen.

3. Ein bod yn gwisgo oriel y capel gydag arwyddluniau priodol o alar am yr ymadawedig am ddeg ar hugain o ddyddiau.

4. Ein bod yn rhoddi copi o'r penderfyniadau hyn i weddw yr ymadawedig, ac yn eu cyhoeddi yn y WAWR.

EVAN J. DAVIES,
WM. P. JENKINS,
WM. E. EVANS,
*Pwyllgor.*

---

CWRDD BEIBLAU.

Cynaliwyd y Cwrdd Beiblau blynyddol yn swydd Oneida eleni gyda yr eglwys yn Remsen, Rhagfyr 28, 29.

Am 2 o'r gloch, y dydd cyntaf, cynaliwyd cynadledd, yn yr hon yr ymdriniwyd ag amryw faterion perthynol i amcan y cwrdd.

Am 6, y nos gyntaf, pregethodd y Parch. E. Edwards, Utica, N. Y., a'r Dr. Fred. Evans (Ednyfed).

Am 10, yr ail ddydd, pregethodd O. Griffiths (Giraldus) a Dr. Evans.

Am 2, pregethodd, yn Saesneg, myfyriwr addawol o Madison University, Mr. George Perry, (mab y Parch. Owen F. Parry, Bordwell), a Dr. Evans.

Am 6, pregethodd Dr. Evans yn Saesneg.

Yr oedd yma ddysgwyliad mawr am weled a chlywed Dr. Fred. Evans (Ednyfed. Yn y diwedd yr oedd y dysgwyliad yn gymysg a phryder, gan nad oedd efe wedi gallu cyrhaedd hyd y train diweddaf. Yn yr orsaf yr oedd y Parch. John S. Jones, y brodyr John Ellis, Evan Roberts, ac eraill, yn llawn dysgwyliad a phryder. A phan y daeth Ednyfed i'r golwg, dyna falch oeddynt; nid oeddynt yn gweled na chlywed neb ond efe. Yr oedd Dr. Evans yn anarferol o ffraeth, hyawdl a

dylanwadol bob tro y bu yn llefaru. Credwn fod y flwyddyn a dreuliodd yn Nghymru wedi gwneyd lles iddo fel pregethwr Cymreig. Yn sicr y maent wedi cael colled yn ei ymadawiad o Gymru. Hyderwn yn fawr na fydd iddo adael i'w Gymraeg i rydu yn ei gylch Saesonig. Peidied yr eglwysi Cymreig a gadael llonydd iddo. Ni fu Cymro o nod yn llafurio yn mhlith yr Americaniaid erioed yn fwy o Gymro gwirioneddol nag efe. Y mae efe yn caru ei genedl yn ddiffuant, ac y mae ei genedl yn ei garu yntau—yn neillduol y Bedyddwyr Cymreig. Y maent yn falch o hono, a dylent fod.

Anwyl frawd Ednyfed, llwyddiant mawr i chwi yn y dyfodol, gras mawr fyddo arnoch. Deuwch yn fynych, fynych i edrych am danom ni y Cymry. Credwch ni, bydd ein calon yn falch o'ch gweled, a'n henaid yn frwdfrydig o'ch gwrando. BRAWD.

---

CAPEL NILES, O.

Barchus Olygydd—Yn gymaint a bod y casglwr a fu yn casglu at gapel y Bedyddwyr yn Niles, O., wedi rhoi y cyfanswm a gasglodd yn un swm, onid gweddaidd fyddai iddo, yn ol ei addewid, i roddi cyfrif o'r swm a gasglodd yn mhob lle ar ei ben ei hun. Yr ydym ni yma yn galw arno i wneyd felly. Ac er mwyn bod yn deg, yr ydym am gael gwybod i ba le yr aeth y treulion o $103.66. Yr ydym ni wedi gweled yr uchod yn y WAWR, ac yn wir "Gwawr" yw hefyd; y mae yn rhageri ar un cyhoeddiad ag wyf yn ei ddarllen. Llwyddiant iddo, medd ein calon. Yr eiddoch yn barchus, dros lawer un oedd a hawl i siarad yn y gynadledd. BRAWD.

---

KINGSTON, PA.

Nos Lun, Tach. 27, cynaliodd ysgol Sabbothol y Bedyddwyr yn y lle uchod gyfarfod difyrus a dyddorol. Cadeiriwyd gan y gweinidog, y Parch. D. Rhoslyn Davies. Canwyd amryw ddarnau gan gor y plant, yn cael ei arwain gan y brawd ffyddlon John T. Jones. Cymerwyd rhan hefyd mewn adrodd a chanu gan W. Price, J. D. Evans, E. Arthur, H. P. Davies, E. M. Thomas, J. E. Jones, D. J. Thomas, Daniel Jenkins, Mattie Hatten, Maggie Waters, Mary Jane Jenkins, Eliza Carpenter, Annie Price, Leah Waters, Maggie Rees, Sallie Hatten, Mary Ann Davies, Rachel Davies, Annie Belford, Lizzie Thomas, Sarah Jane Davies, C. Price, Ruth Hasten. Y mae yr ysgol Sabbothol yma yn cynyddu yn gyflym, ac y mae ei chyflwr presenol yn dra addawol a llewyrchus. DYSGYBL.

---

SEFYDLIAD GWEINIDOG.

Tachwedd 27, cynaliodd eglwys y Bedyddwyr yn Parsons, Pa., ei chyfarfodydd pregethu, i'r dyben o sefydlu y Parch. W. D. Thomas, gynt o Mahanoy City, Pa. Gwasanaethwyd ar yr achlysur gan y Parchn. D. S. Thomas, St. Clair; W. F. Davies, Nanticoke; J. Gwrhyd Lewis, Wilkesbarre. Cawsom gyfarfodydd hynod o effeithiol. Dymunwn o'n calon hir oes i Mr. Thomas i wneyd daioni lawer yn ei gylch newydd; y Duw sydd wedi ei arddel yn y gorphenol fyddo gydag ef eto yn y dyfodol, ydyw gwir ddymuniad ei ddysgybl, E. T.

---

DAWN, MO.

Mr. Gol.—Da genyf eich hysbysu fod yr eglwys Fedyddiedig yn y lle uchod yn gwisgo agwedd flodeuog a llewyrchus iawn dan weinidogaeth rymus y Parch. R. M. Richardson. Mae ein rhif wedi mwy na dyblu oddiar pan y mae yn ein plith; heddwch a thangnefedd yn teyrnasu, a chariad brawdol yn addurn y gymdeithas.

Mae pwyllgor o'r eglwys yn awr yn brysur yn tynu cynlluniau er cael bedyddfa newydd ar yr esgynlawr, a *vestry* yn ochr ddwyreiniol y capel, yr hwn fydd yn welliant ac yn hwylusdod mawr tuag at weinyddu yr ordinhad o fedydd.

Hefyd, ddydd Iau, Rhagfyr 1, mewn cwrdd eglwys rheolaidd, dewiswyd drwy bleidlais, y brawd da a galluog, David P. Williams, i'r ddiaconiaeth, a'r boreu Sabboth canlynol urddwyd ef

drwy weddi a deheulaw cymdeithas gan y gweinidog.

Hefyd, dymunwyf hysbysu darllenwyr lluosog a pharchus y WAWR, fod yr ysgol Sabbothol a'r cyfarfodydd gweddi yn lluosog a blodeuog iawn yn ein plith. Yr ydym yn defnyddio Holwyddoreg y Parch. Owen Davies, Caernarfon ar y Beibl yn yr ysgol Sabbothol, a gallwn gymeradwyo yr holwyddoreg campus a gwerthfawr hwn i gael ei ddefnyddio yn ysgolion Sabbothol y Bedyddwyr Cymreig yn y wlad hon.

Yr ydym yn bwriadu cynal cyfarfod i adrodd, canu, ac areithio, ddydd Llun ar ol y Nadolig. Dysgwyliwn amser da. Cewch air o'n helynt o Dawn eto cyn bo hir.

THOS. J. OWENS, *Ysg.*

---

CAPEL BEDYDDWYR CYMREIG N. YORK.

BROOKLYN, Medi 12, 1881.

AT OLYGYDD Y WAWR:

*Syr*—Dywedwyd wrthyf ychydig wythnosau yn ol, fod achos capel Bedyddwyr New York wedi bod dan sylw Cymanfa ddiweddaf Swydd Oneida. Yr oeddwn yn dysgwyl gweled coffâd o hyny yn hanes y Gymanfa, ond fe'm siomwyd; a chan nad oes un crybwylliad am hyny yn y WAWR am y mis hwn, penderfynais anfon atoch yn nghylch y peth. Yr ydwyf wedi gwneyd fy ngoreu i'w ddwyn i derfyniad fel eiddo y Gymanfa, neu ynte fel eiddo y Bedyddwyr, ond wedi methu hyd yn hyn. Rhoddir fi ar ddeall, os na ddygir y peth i drefn yn fuan, y bydd eiddo y Gymanfa, neu ynte eiddo yr enwad, yn eiddo *personol* mewn modd nas gellir ei adferyd.

Bydd yn dda genyf gyd-weithio â'r Gymanfa, neu ryw rai a benodir ganddi, i drosglwyddo y cyfan i'r lle y perthyna. Fy nymuniad yw lles yr enwad. Yr wyf yn foddlon i aberthu y rhai canoedd o ddoleri sydd ddyledus i mi yno, ond cael y baich ymddiriedol oddiar fy ysgwyddau.

Hyderwyf y cymer blaenoriaid yr enwad yn y Dalaeth yr achos mewn llaw yn fuan i adnewyddu yr eglwys, neu gymeryd meddiant o'r eiddo, cyn y byddo yn eiddo personol neb arall. Yr eiddoch,

ISAAC WILLIAMS, *Ymddiriedolwr.*

*79 New York Avenue.*

Galwn sylw Pwyllgor y Gymanfa at y llythyr hwn.—GOL.

---

## *GANWYD—*

Rhag. 16, 1881, yn Coalburgh, Ohio, mab i David a Sarah Davies. Gelwir ef George.

Yn Palmyra, O., Hydref 23, 1881, ganwyd mab i John a Catherine Parry, ei briod, gynt o Hubbard, a gelwir ei enw ef Arthur G. Parry.

Planigyn prydferth blanwyd
Yn ngardd dynoliaeth gu,
Gan dyner law rhagluniaeth
Yw'n anwyl Arthur ni;
O doed cawodydd maethlon
Bendithion goreu'r nef,
A gwenau Haul Cyfiawnder,
Yn nghyd i'w feithrin ef.

CYMYDOG.

Tachwedd 15, 1881, yn Williamsburgh, Iowa, mab i Henry W. Jones a'i briod. Gelwir ef Edwin Garfield.

Babi *nice*, Ie, *nice* wir, un iawn—ydyw
Nodedig o diriawn,
I'w daid yn goflaid gyflawn,
A rhyw ddydd yn fôr o ddawn.
Yn y plisg—sef bedydd plant—a'i rinau
'I rieni ni chredant;
Gwarth ydyw—ef gwrthodant—
Ac yn wir, da, da y gwnant. CYFAILL.

---

## *PRIODWYD—*

Rhag. 24, 1881, yn nghartref y Parch. T. D. Evans, Audenried, Pa., Mr. John Owens, Kingstown, Pa., a Miss Elvira Wear, o Frenchtown, Pa.

Rhag. 27, 1881, yn nghartref y Parch. T. D. Evans, Audenried, Pa., Mr. Thomas Seddon a Miss Catherine Yates, y ddau o Mahanoy City, Pa.

Rhag. 27, 188, 1881, yn nhy y Parch. T. D. Evans, Audenried, Pa., Mr. Daniel Miller a Miss Elizabeth Kistheart, y ddau o Mahanoy City, Pa.

Awst 31ain, 1881, yn Dawn, Mo., priodwyd Mr. George S. Hinton a Miss Eleanor Williams, merch yr hen ddiacon anwyl a da, John Williams, o'r lle uchod. Gweinyddwyd gan y Parch R. M. Richardson, gweinidog y lle. Boed bendith Duw ar y ddau yn nyfodol eu bywyd.

Tachwedd 16eg, 1881, yn Utica, Mo., yn nhy rhieni y briodasferch, priodwyd Mr. Louis P. Dauphine, a Miss Sarah J. Waby. Yr oedd y priodfab o Springfield, Illinois, a'r briodasferch o Utica, Mo. Gweinyddwyd gan y Parch. R. M. Richardson. MORRIS DDU.

---

## *BU FARW—*

MRS. MARY CROSS.

Hydref 28, 1881, yn Drifton, Pa., bu farw y chwaer ieuanc siriol Mrs. Mary Cross, yn 18 ml. oed. Prin wythnos y bu yn sal, ond cafodd gystudd trwm iawn. Merch ydoedd i Mr. Lewis Francis a'i briod, pa rai a ddaethant i'r wlad hon o Treherbert, D. C., 11eg ml.

yn ol, ac a ymsefydlasant yn Audenried, Pa. Bu yr ymadawedig yn aelod ffyddlon a dichlynaidd gyda'r Bedyddwyr er pan yn 13eg oed, ac nid oes amheuaeth na fu marw iddi hi yn elw. Mai 29, 1881, ymunodd mewn priodas a Mr. Benjamin Cross, yr hwn sydd yn awr mewn mawr alar ar ei hol. Claddwyd hi dydd Sul yn Janesville, pan y daeth tyrfa fawr i dalu eu cymwynas olaf i'w gweddillion marwol. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, y gweinidog, a chan y Parchn. T. D. Evans, Audenried, a B. Nicholas, Hazleton. Dymunem nawdd a chymorth y nef i'w pbriod a'i rhieni hiraethus i allu dal dan yr ergyd chwerw, ac i ymbarotoi gogyfer a'i chyfarfod mewn byd lle nad oes raid ymadael mwy. BRAWD.

MR. EVAN PUGH.

Tach. 8, 1881, Mr. Evan Pugh, Remsen, N. Y., yn 73 mlwydd o'i oedran. Gyda chalon drom ac ysbryd clwyfus y cofnodir marwolaethau rhagorolion y ddaear. Teimlir felly pan na byddo unrhyw gysylltiad neillduol rhyngom a'r cyfryw gymeriadau. Ond y mae yn naturiol i'r teimlad fod yn ddwysach, a'r dagrau yn lluosocach pan y byddo y personau hyny yn y cyfryw safleoedd fel ag y byddo cryn drafodaeth rhyngom a hwy, a'n cysuron tymhorol a chrefyddol yn ymddibynu i raddau arnynt. Un y gallwn yn ein cyfyngderau a'n mawrion bryderion, arllwys iddynt ein holl gwynion, a hyny gyda graddau helaeth o sicrwydd y cawn gydymdeimlad caruaidd a serchog. Y cyfryw (yn mhlith eraill) ydoedd ein brawd anwyl Pugh, i'r ysgrifenydd. Ymdrechwn roddi yma o fewn terfynau byr, fras linelliad o hanes bywyd un a berchid ac a gerid yn fawr mewn modd cyffredinol. Preswyliai rhieni gwrthddrych ein hysgrif yn Llandinam, G. C. Yr oedd y tad a'r fam yn grefyddol. Ymfudasant i'r wlad hon tra nad oedd y bachgen Evan ond 8 neu 9 oed. Ymsefydlasant mewn ychydig filltiroedd i bentref Remsen. Nid llawer a allasom gael o hanes bachgenaidd ein harwr; ond cawsom ar ddeall gan ei gofoedion ei fod y pryd hwnw (megys wedi hyny), yn garuaidd, llawen a serchog. Cynyddodd mewn nerth a doethineb, ac hefyd mewn cymeradwyaeth gan ei gydnabyddion. Pan ydoedd yn 28 mlwydd, ymunodd mewn glan briodas a Miss Ann Jones, yr hon ydoedd yn ferch i ffarmwr cyfrifol, a'r hon hefyd a fu yn ymgeledd gymwys iddo yntau yn mhob ystyr o'r gair. Yr oedd yr uniad yn un dedwydd a boddhaol o'r naill ochr yn ogystal a'r llall. Bu iddynt chwech o blant, tri o feibion a thair o ferched, o ba rai y mae pedwar yn fyw a dau wedi blaenu eu tad i'r bedd. Mae mab a merch iddynt wedi priodi, ac mewn sefyllfaoedd pwysig, y naill a'r llall wedi bod yn ddedwydd iawn yn y cysylltiad hwn. Mab a merch gartref gyda'u mam, a mab a merch, o ran yr hyn ydoedd faterol o honynt, yn mynwent Fairchild. Gallwn ddywedyd heb fod yn defnyddio gormodiaith, nac ofni i neb gwybyddus o hono ef a'i deulu ein gwrthwynebu, na fu priod mwy gofalus, na thad mwy tyner dan haul. Mae sefyllfa dymorol ei weddw a'i blant hefyd yn brawf o'i ddiwydrwydd a'i ddyfal barhad. Nid oedd yn dda iawn allan pan yn dechreu byw yn deuluaidd; ond prynodd le bychan, a bu ef a'i briod yn ddiwyd a gweithgar; prynasant le bychan drachefn, fel yr oedd ganddynt yn awr er's rhai blynyddau yn agos i 200 o erwau o dir ar eu henwau, ac yn eiddo iddynt eu hunain. Ymunodd ein brawd gyda chrefydd yn lled fuan wedi iddo ymsefydlu yn y byd, felly bu yn ddysgybl i'r Iesu am fwy o amser nag y bu Israel yn yr anialwch, ac y mae yn hyfryd genym allu hysbysu hefyd, ei fod fel crefyddwr wedi bod yn llawer ffyddlonach i'w Geidwad nag y buont hwy i'w Duw. Yr ydoedd ei yrfa grefyddol yn un gyfan a difwlch, a deallwn ei fod yn hynod ymdrechol a ffyddlon i ddyfod i wahanol gyfarfodydd Seion hyd y blynyddau diweddaf; ond yr oedd ei iechyd wedi gwanhau a'r ffordd yn lled bell, fel nas gallasai yn ei ddyddiau olaf fynychu y cyfarfodydd megys yn ei ddyddiau boreuach ac ieuengach, felly teg yw priodoli ei absenoldeb i ddiffyg gallu, ac nid i ddiffyg ewyllys. Diolch am fod y nefoedd yn cymeradwyo ein goreu, yr hyn a allodd hwn neu hon. Os gellir dweyd ein bod wedi gwneyd a allwn, mae y gymeradwyaeth yn sicr, felly gwnaeth ein brawd ei oreu; parhaodd hyd y diwedd.

Yr ydoedd hefyd er's blynyddau lawer bellach yn ddiacon yn yr eglwys, a deallai ei le a'i safle yn ei swyddogaeth. Mae rhai diaconiaid wedi tybio mai hwy sydd i edrych ar ol yr athrawiaeth, ond nid oedd Mr. Pugh yn un o'r dosbarth hunanol a thra gorthrymus hyny. Yr oedd ein brawd yn gyfaill i'r weinidogaeth, parchai bob gweinidog da i Iesu Grist. Nid oedd yn wibiwr ar ol dyeithriaid, nac yn cael ei swyno gan bob doniau dyeithriol; ond dyfnhau a thynhau y byddai ei serch at ei weinidog fel y byddai y blynyddau yn amlhau. Byddai ef ar y telerau goreu bob amser a'r gweinidog ar ei ymadawiad. Ni byddai yn frysiog am weinidog newydd nac yn ei haner addoli wedi ei gael yn y misoedd cyntaf, fel y gwelir llawer; ond byddai yn ofalus am deimladau ei weinidog, a rhoddai brawfiadau y byddai ei serch yn cryfhau yn y mwyhad o bryder a ddangosai o berthynas iddo. Yr ydoedd, nid yn wenog yn ei wyneb, ond yn barchus o hono yn ei absenoldeb.

Mae parch y teulu a'u anrhydedd i weinidogion y gair, yn adlewyrchiad gogoneddus o deimladau ein hanwyl frawd tuag atynt. Yr oedd hefyd yn ofalus am eu cysuron yn amgylchiadau y bywyd presenol. Er engraiff, cwynai un o honynt wrtho ar flwyddyn neillduol fod cynyrchion ei ardd wedi methu, "drwg iawn wir" meddai Mr. Pugh dan wenu yn siriol fel arfer, "Ond na ofalwch, mae genyf fi ddigon, a chewch siâr," ac felly y bu.

Rhaid ei fod ef a'i briod yn egwyddorol yn hyn, canys y mae y rhai a ymddiriedwyd dan eu gofal wedi yfed i'r helaethder mwyaf o'r un ysbryd. Ymddengys eu bod yn credu ac yn teimlo "Mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn."

Fel cymydog, nid oedd ei barotach i gynorthwyo mewn cyfyngderau ac amgylchiadau trallodus, a chafwyd prawf ar adeg ei farwolaeth ei fod yn ddwfn yn serchiadau yr ardalyddion, canys dylifent yn lluoedd er cymysgu dagrau cydymdeimladol a'r teulu trallodus. Er fod i Mr. Pugh gyfeillion neillduol, eto llywrdraethid ef gan y cyfryw egwyddorion fel na wnai gam ag unrhyw un, na ffafr tu allan i'w hawlion personol. Nodwn un engraifft o hyn: yr oedd yn brisydd (*assessor*) unwaith gyda R. J. Thomas, a dywedai Mr. Thomas am dano na welodd neb erioed mor dra gofalus a gorwyliadwrus rhag gwneyd cymaint a cent o gam a neb. Y mae yr engraifft uchod yn esiampl berffaith o'i holl fywyd yn y cyfryw gysylltiadau. Gyda golwg arno yn ei gysylltiad a gwybodaeth, gellir dywedyd ei fod yn fwy o feddyliwr nag o siaradwr, ac yn fwy o ddarllenwr nae o ysgrifenwr.

Yr oedd ganddo lyfrgell dda, darllenai lawer ar Esboniad Dr. Gill, a Geiriadur Charles. Derbyniai y *Drych* er ei gychwyniad, a darllenai ef yn fanwl yn nghyd a chyhoeddiadau ei enwad. Yr oedd yn deall Saesneg yn dda, ac yn derbyn amryw gyhoeddiadau yn yr iaith hono; ond nid ydoedd fel rhai ag sydd lawer islaw iddo yn eu dealldwriaeth o'r iaith fain, am anwybyddu yr iaith a anwylai ei henafiaid mor fawr. Cafodd ein brawd lawer o brofedigaethau chwerwon ar lwybr bywyd, ond y rhai chwerwaf oedd colli ei anwyliaid, ei anwyl fab a'i hoffus ferch, y rhai a fuont feirw wedi cyrhaedd addfedrwydd oedran. Ond ymddygodd yn ngwyneb pob trallod yn hynod ymostyngol, fel plentyn i'r Tad nefol; ond dyna raid ddywedyd, Efe a fu farw. Cafodd gladdedigaeth tywysogaidd mewn beddrod yn ymyl ei blant yn mynwent Fairchild. Pedwar o bregethwyr yn cymeryd rhan yn y gwasanaeth. Duw a ofalo yn dyner am ei deulu oll.

J. Seth Jones.

MRS. SARAH EVANS.

Medi 16, 1881, bu farw yr hen chwaer Sarah Evans, New Cambria, Mo., a hi yn bedwar ugain a phump o'i hoedran.

Hebryngwyd hi i dy ei hir gartref gan dair cenedlaeth o'r plant. Yr oedd yr hen frawd Mr. Price, Palmyra, yn un o'r rhai a roddai ei gweddillion marwol yn y ddaeargell. Ymddangosai yn gryf, er ei fod yn flwydd yn henach na'r ymadawedig, sef pedwar ugain a chwech.

Ymfudodd yr ymadawedig i America gyda ei mab, Thomas Evans, tua thair blynedd ar ddeg yn ol, i New Cambria, Mo.; ac yr oedd yn aelod er's rhai blynyddoedd cyn hyny. Bedyddiwyd hi yn Pisgah, ger Bont Newydd, gan y Parch. John Nicholas, gweinidog y lle, ac addurnodd ei phroffes â rhodiad addas i'r efengyl. Yn fuan iawn wedi ei dyfodiad i America, daeth rhywbeth ar ei llygaid fel na welai lewyrch; ond bu yn hynod o ddyoddefgar, gan ddywedyd mai ewyllys yr Arglwydd ydoedd; ac er ei bod yn hen ac yn fethiantus, teimla y teulu hiraeth ar ei hol, ac nid heb achos, oblegid hi a'u magodd i gyd, ac a gymerodd ofal am danynt yn eu maboed. Heddwch i'w llwch.

Pierce.

MRS. JANE P. THOMAS.

Tachwedd 25, 1881, yn agos i Prospect, N. Y., yn 53 mlwydd, 3 mis a 27 o ddyddiau oed, o'r darfodedigaeth, Jane P. Thomas, gwraig i David P. Thomas. Ail wraig oedd y chwaer hon. Ni buont yn briod ond llai na phedair blynedd. Un wedi ei mabwysiadu oedd y chwaer gan yr hen bobl Hugh a Catherine Richard, a ymfudasant i'r wlad hon o Sir Gaernarfon, G. C., o le o'r enw Ynys Enlli. Nid wyf yn gwybod pa flwyddyn, ond yr oedd y chwaer yn eneth fechan, modd bynag, a bu yn fendith i'r hen bobl ei chael, oblegid bu yn ofalus am danynt hyd eu bedd. Adnabyddid hi cyn priodi wrth yr enw Jane Richard; ond gan na oddef gofod i ni fanylu yr oll a garem am dani, rhaid talfyru.

Ymunodd â chrefydd gyda y Bedyddwyr yn nghapel Seion, Remsen, pan yn lled ieuanc. Bedyddiwyd hi gan y brawd parchus William Jones, oedd y pryd hwnw yn weinidog yn Remsen, ond sydd yn awr yn Wisconsin. Ond daeth ychydig o frodyr a chwiorydd i'r penderfyniad o ymgorphori yn eglwys yn Bordwell, sef 13 mewn rhifedi, ac o'r nifer hwnw nid oes ond tri ar dir y byw yn awr. Yr oedd y chwaer Mrs. Thomas yn un o'r 13, ac yr oedd yn perchen ar luaws o rinweddau teilwng o efelychiad. Dyna un, yr oedd yn hoff iawn o ddarllen ei Beibl, a darllenreg dda iawn ydoedd. Yr oedd yn hynod o gyfarwydd yn ei Beibl, yr hyn a fu yn gysur cryf iddi pan yn analluog i gael ond ychydig o foddion gras gan waeledd. Nid oedd wedi bod erioed yn gref o ran iechyd. Dynes fechan iawn o ran corph ydoedd, ond yn perchen ar y peth a elwir synwyr cyffredin hynod o gryf. Yr oedd yn hynod am gynllunio, ac fel y wenynen o ddiwyd. Buasai llawer llai o dlodion yn y byd, pe buasai pawb mor ymdrechol a'r chwaer fach Mrs. Thomas; yr oedd wedi casglu rhai miloedd o ddoleri trwy fod yn ddiwyd a threfnus.

Rhinwedd arall yn y chwaer oedd, y byddai yn lled sicr o dynu siarad am bethau crefyddol bob amser y cyfarfyddwn â hi, yr hyn sydd yn ddiffyg mawr mewn gormod o grefyddwyr.

Rhinwedd arall ynddi oedd, ei dull effro yn moddion gras. Byddai yn gwrando yn hynod o siriol, nid fel y gwelir llawer, yn dyfod i'r moddion fel yn un pwrpas i gysgu, a'r lleill i edrych o gwmpas ar hwn a'r llall. Gwyddant pa fath ddillad sydd gan bawb braidd yn y

capel; ond gofynwch iddynt am destyn y bregeth, "O, nid wyf fi ddim yn cofio," a fydd yr ateb. Ond yr oedd y chwaer hon yn cofio rhan helaeth o'r bregeth. Yr oedd hi a'i phriod wedi symud, fel ag i fod yn fwy cyfleus i eglwys Remsen; felly cawsant lythyr gollyngdod o Bordwell i ymuno â'r eglwys yn Remsen er's dros flwyddyn; ac ar ddymuniad y Parch. John Seth Jones a'r brawd galarus Thomas yr wyf fi yn ysgrifenu hyn o gofiant, am fy mod yn fwy cyfarwydd â'r chwaer ymadawedig. Aeth trwy y glyn yn hynod o dawel, bu farw fel diffodd canwyll, heb ddim *struggle* ag angau. Yr oedd ganddi brofiad bendigedig; yr oedd ofn marw wedi llwyr gilio, ac yr oedd ei henaid yn "nofio mewn cariad a hedd." "Ni frysia yr hwn a gredo."

Duw yn ei ras a ofalo am y brawd Thomas yn ei drallod mawr. Dyma y chweched o'i anwyliaid wedi eu rhoddi yn y bedd, sef pedwar o blant a dwy wraig, a'r oll o'r darfodedigaeth, ac y mae wedi ei adael wrtho ei hunan yn myd y profedigaethau. Tad yr amddifaid fyddo a'i aden amddiffynol drosto.

Dydd Llun canlynol i'w farwolaeth daeth torf fawr yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'r chwaer ymadawedig. Gweinyddwyd gan y Parch. J. Seth Jones a'r ysgrifenydd. Claddwyd hi yn Fairchild.

*Remsen, N. Y.* OWEN F. PARRY.

BRYCHAN PRICE.

Medi 1, 1881, bu farw Brychan Price, New Cambria, Mo., ac efe yn bedair blwydd oed.

---

## NODION O'R HEN WLAD.

—Aeth rhyw un i'r drafferth o gyfrif yr holl gyfnewidiadau yn y cyfieithiad diwygiedig o'r Testament Newydd, a chafodd eu bod yn llawer amlach nag y tybiai y diwygwyr eu hunain. Dywedai yr Esgob Elicott fod y cyfnewidiadau yn y pedair efengyl ac Actau, ar gyfartaledd, yn dri yn mhob pump o adnodau, yr hyn a roddasai yn yr oll 2,250 yn y pum' llyfr. Yn lle hyny, y maent yn 14,601. Yn llyfr y Datguddiad yn unig y mae 2,467 o gyfnewidiadau, ac yn yr oll o'r Testament Newydd nid oes dim llai na 36,191.

—Y mae boneddwr o'r enw Mr. R. Nicholson, yr hwn a fu farw yn ddiweddar yn Lochbank, Dumfries, wedi gadael deng mil o ddoleri i Gartref Amddifaid Mr. Spurgeon. Ymddengys fod y boneddwr yn perthyn i'r Presbyteriaid; ond yn herwydd colli ei glyw, wedi methu myned i'r gwasanaeth cyhoeddus am rai blynyddau. Yn y cyfamser, darllenai bregethau Mr. Spurgeon, a dyna y tâl am yr adeiladaeth a'r budd a gafodd drwyddynt.

—Y mae Cyngrair y Ffermwyr wedi dwyn allan gynllun o fesur tirol newydd i Loegr a Chymru, yr hwn a fwriedir ei ddwyn o flaen y Senedd yn ystod yr eisteddiad nesaf.

—Ymddengys fod rhybuddion wedi eu rhoddi mewn rhai o chwarelau llechau Arfon o ostyngiad yn y cyflogau, yr hyn sydd i gymeryd lle yn ddioedi.

—Ymddengys fod gwallgofrwydd ar gynydd yn Lloegr a Chymru. Bernir fod yn awr dros 70,000 o bersonau yn dyoddef dan wallgofrwydd.

—Dydd Mercher, Tachwedd 16eg, yr oedd yr Anrhydeddus John Bright yn 70 mlwydd oed. Ni fu y fath ddiwrnod yn Rochdale erioed o'r blaen. Ataliwyd masnach yn hollol, a chyrchai miloedd yno o'r holl wlad oddiamgylch, er talu eu parch i un o brif wroniaid y Deyrnas Gyfunol.

—Un o'r dynion cryfaf yn y byd yw Semmelman, brodor o Bavaria, yr hwn a all godi eingion yn pwyso 488 pwys wrth un bys, a llwyth o briddfeini yn pwyso 540 pwys ar ei ysgwydd.

—Yn yr "oes oleu hon," ymddengys nad yw pawb o'n cydoeswyr yn y wlad hon wedi dyfod allan yn llwyr o dywyllwch ofergoeliaeth. Yn nghymydogaeth Chepstow, y mae merch ieuanc yn dyoddef er ys cryn amser oddiwrth goes ddrwg. Wedi gwneyd prawf o amryw feddygon, heb ddim gwelliant, penderfynodd y rhieni geisio gwasanaeth hen wr 80 ml. oed, a dybid fod ganddo allu i symud doluriau a chlefydau drwy swyngyfaredd. Cyrchwyd yr hen wr; ond tra yr oedd yn gwledda ar y danteithion a osodwyd o'i flaen cyn dechreu ar ei waith, glynodd darn o gig yn ei wddf, ac nis gallasai ei swyno ymaith, fel y bu farw yn y fan. GLANCLYDAU.

# Y WAWR.

CYF. VI.] CHWEFROR, 1882. [RHIF. 11.

## BEDYDD YN Y PWLPUD.

A oes digon o bregethu ein hegwyddorion neillduol yn y pwlpud yn y dyddiau hyn? Credwn nad oes. Yr oes o'r blaen nid oedd eisiau i neb fod yn ddyeithr o'n hegwyddorion, canys yr oeddynt yn cael eu pregethu yn hyglyw a diofn o'r areithfa; ac yn yr ysgol Sabbothol drachefn dysgid yr ieuenctyd ynddynt yn ardderchog trwy yr holwyddoreg. Yr oedd effeithiau dymunol yn canlyn y dysgu hwnw. Gallai yr aelodau amddiffyn eu hegwyddorion yn ddeallgar, Ysgrythyrol, a grymus, unrhyw adeg, gan nad pwy fuasai y gwrthwynebwr. Adnabyddid hyny hefyd yn fynych gan y gwrthwynebwyr, pan yn teimlo gwendid eu hochr. Meddynt, "Yr y'ch chwi, y Bedyddwyr, yn cael eich dysgu gymaint yn y materion neillduol yna, ac yn rhoddi cymaint o bwys arnynt, fel nad oes diolch i chwi fod yn fedrus i'w hamddiffyn, pryd nad ydym ni yn rhoddi nemawr bwys arnynt, nac yn talu nemawr o sylw iddynt." Eithaf gwir. A dymunol iawn i ni ydyw cyfarfod a'n brodyr yma a thraw a gawsant fwynhau breintiau y weinidogaeth yr oes o'r blaen, a chael ar ddeall wrth ymddyddan â hwy am ein hegwyddorion neillduol, eu bod yn eu deall mor gywir. Dylem falchio yn hyn. Yr ydym bron yn sicr na cheid aelodau unrhyw enwad yn deall eu hegwyddorion cystal ag aelodau Bedyddiedig. Y mae y Bedyddwyr wedi cynyddu mewn rhif a dylanwad yn yr ugain mlynedd diweddaf efallai fwy nag y gwnaethant o fewn corph yr un amser er dyddiau yr apostolion. Trefnodd rhagluniaeth i gyfodi yr enwog Mr. Spurgeon ar adeg neillduol o fanteisiol, dylanwad yr hwn a weithredai yn yr un cyfeiriad a dylanwad aroedig cewri yr oes o'r blaen, ac ar adeg pan oedd ffyddlondeb diwyro y Bedyddwyr yn gyffredinol yn peri i'r fantol droi yn eu ffafr. Erbyn hyn mae dylanwad y Bedyddwyr yn cael ei deimlo yn gyffredinol. Nid haeriad dibrawf yw hyn. Nage; onid dylanwad y Bedyddwyr ydyw yr achos fod pob enwad bron yn awr yn arfer bedydd trwy drochiad, ac i raddau helaethach yn esgeuluso taenellu plant? Hefyd, fel y mae yn eithaf gwir, mae mwyneiddiwch ein gwrthwynebwyr yn dyfod yn fwy amlwg yn barhaus tuag atom. Cydnabyddir yn awr yn dra chyffredinol nad oes ganddynt hwy ddim i'w ddyweyd yn erbyn bedydd y Bedyddwyr; yr unig achwyniad a ddygir yn ein herbyn ydyw pwnc y Cymundeb; a phe eglurid iddynt yn ddyladwy gysylltiad y ddwy ordinhad a'u gilydd, dystawent a'r achwyniad hwnw yn raddol.

Yn y ffeithiau hyn tybiwn y gallwn ganfod yr achosion, i raddau, fod ein pwlpud yn awr mor ddystaw y'nghylch ein hegwyddorion neillduol, a'n hysgolion Sabbothol mor esgeulus i egwyddori yr ieuenctyd ynddynt. Ond a yw ein llwyddiant yn y gorphenol yn rheswm digonol dros i ni fod mor ddisylw ac esgeulus? Y mae yn angenrheidiol cadw yn llinell addysgiadol ein tadau, mewn rhan, er cadw y tir a enillasom. Mae eisiau i'r to sydd yn codi i wybod nid yn unig beth ydynt

ein hegwyddorion neillduol, ond dylent gael eu dysgu hefyd *paham* eu coleddir hwy genym, ac ar ba seiliau y maent yn gorphwys. Heblaw hyn, y mae eisiau tori tir *newydd*—nid yw ein llwyddiant, er mor ardderchog a chalonogol, ond rhanol; mae eisiau cadw yn mlaen er cael dynion i weled lygad yn llygad, a gweled yn llygad eu lle. Ni feiddia yr enwadau taenellyddol ddweyd gair yn mhlaid taenellu a bedydd plant o'u pwlpudau hwy. Gwyddant yn rhy dda nad oes seiliau Ysgrythyrol i'r fath bethau, ac am hyny ni chlywir son am danynt o'r pwlpudau. A gawn ni fod yn ddystaw am eu bod hwy felly? Onid oes lle i ofni fod math o ofn "tramgwyddo" wrth wraidd y dystawrwydd dan sylw? Credwn nad yw ofn felly yn ddisail. Os pregethir yr efengyl mewn ysbryd priodol, gydag amcan cywir, yn ddiabsen a gonest, pa eisiau i neb dramgwyddo?—ac os tramgwydda neb o dan weinidogaeth felly, arnynt hwy bydd y bai. Wrth esgeuluso rhoddi eu lle dyladwy i ordinhadau yr efengyl yn y pwlpud mae y weinidogaeth yn amddifadu ei hunan o rai o brif ffynonellau ei dylanwad. Os yw dull a deiliaid bedydd a'r cymundeb o gymaint pwys ag y proffesir genym eu bod yn y gyfundraeth Gristionogol, oni fyddai eu pregethu yn glir, yn hoew, yn foddion dylanwad mawr er toddi calonau pechaduriaid? Mae y pynciau neillduol hyn yn foddion cysur i'r saint, yn gystal a chymhelliad i'r anufudd; a mynych mae yr Ysgrythyrau sanctaidd yn eu defnyddio i'r dybenion hyny. Gadewch i ni, gan hyny, gadw yn mlaen ar linell y tadau Bedyddiedig; gadewch i ni fod yn onest a diofn, gan draethu i'r bobl holl gyngor Duw.

---

## MYFYRDOD AR EINIOES AC ANGEU,

A YSGRIFENWYD MEWN MYNWENT, YN Y WLAD, YN MRIG YR HWYR.

---

*Wedi ei droi o Saesoneg* T. Gray, *gan y Diweddar Barch.* David Davis, *Gynt o Gastell-Hywel, Ceredigion.*

---

**Dewch goronog a sidanog a galluog yma'n llu,**
**Rhybudd prysur, addysg gywir, a iawn synwyr i chwi sy',**
**O wel'd brenin a chardotyn, yn y gweryd heb ddim gwân,**
**A'r frenines a'r fegeres, fel dwy gares o'r un grân.**

---

I

Daccw ddolef y ddyhudd-gloch,
Yn oer ganu cnull y dydd,
Daccw'r ychain gwâr lluddedig,
Yn d'od adre' i fyn'd yn rhydd,
A'r llesg arddwr yn ymlusgo,
Ar eu hol o glun i glun;
Pawb, gan ado'r byd a'i ffwdan,
Ant i orphwys ond fy hun.

II

Hyfryd liwiau'r bryniau a'r bronydd,
Gerddi a gwaunydd gyll eu gwawr,
Prudd ddistawrwydd sy'n gyffredin,
Heb ddim lleisiau ar y llawr,
Oni chlywir ambell chwilen,
Yn ehedeg heibio'n chwyrn,
A rhyw ddadwrdd pell o'r gorlan,
Gan y praidd yn curo eu cyrn.

III

Neu'r ddylluan, wrthi hunan,
Yn llwyn iorwg pen y tŵr,
Wrth y lleuad a wna achwyniad,
Wban irad, oer ei stwr:
Ar rai eger ddelo'n agos,
At ei gwyrdd-ddail, dawel dŷ,
I wneud gormes ar un dalaith,
O'i llywodraeth helaeth hi.

IV

Rhwng y llan a'r hen geubrenni,
Hyd yr iwen ddulas draw,
Ffordd mae'n gymmysg briddgoch grygiau,
A glâs dwmpathau ar bob llaw,
'Mhob i stafell gul y dodwyd
Holl hen-deidiau pobl y plwy',
Lle gorweddan' yn y graian——
Ni ddychwelan' yma mwy!

V

'Dall nac awel bêr y boreu,
Na gwaedd ceiliog uchel gân,
Na whit gwenol lon foreuol,
Yn y lwfer uwch y tân,
Na chorn helwyr, bloedd medelwyr,
Clych, taranau, na dae'r-grŷn,
Byth ddyhuno rhai mewn amdo,
Sy yma heno'n drwm eu hûn.

VI

Trefnu'r bwthyn, 'sgubo'r aelwyd,
Nynnu tanllwyth goleu cry',
Ni wna'r wreigian mwy brydnhawnau,
I roesaw tawel wr y tŷ;
Ei fabanod i'w gyfarfod
Mwy ni redant yn gyttûn,
Mewn ymryson am ei gusan,
Mwy ni ymglymman' am ei glûn!

VII

Dan eu dwylaw grymmus cwympai
Gwair y dolau, ac ŷd y ma's,
Fel ymenyn rhwygai'r aradr
Rhwng eu breichiau'r gwndwn glàs;
Arf os coden, blodau'r coedydd
Isel blygen bennau o'u bla'n;
Ac mor ddifyr llon y canent,
Gynt pan yrrent ar y wa'n!

VIII

Nac edryched pendefigion,
Beilch a gwychion gydâ gwawd,
Ar y swyddi a'r difyrrwch,
Sydd mewn cyflwr isel tlawd:
Ac na chwardded gwyr uchelfrig,
Mawr bonheddig, gwych eu moes,
Mor anhyglod ac anhynod
Ydyw hanes fèr eu hoes.

IX

Beth yw mawrfri, uchel, achau,
Rhwysg a mawredd bonedd byd?
Rhyw oferedd sael di-sylwedd,
Gwynt a gwagedd oll i gyd,
Na'd all estyn un fynudyn,
Ar eu heinioes hwy na'u hedd;
Holl ffyrdd llwyddiant a gogoniant
A ddibenant yn y bedd!

X

Feilchion peidiwch, na chyfrifwch
Ar y meirwon yma'n fai,
Am nas dyry coffadwriaeth
Feini mynor i'w coffau,
O fewn eglwys fawr gadeiriawl,
Neu ryw gapel eurwych glân,
Lle mae'r organ gydâ'r eurgor,
Yn dyrchafu'r ddwyfol gân.

XI

A all hanes o'i hên açhau,
A'i lawn ddelw o wyngoch liw,
Gydâ mawrglod uwch ei feddrod,
Wneud y marw mûd yn fyw?
Pwy hyfrydwch all anrhydedd
Rhoddi i gelain oer o bridd,
Neu beroriaeth twyll a gweniaeth,
I fyddar-glust angau prudd?

XII

Yn y graian yma gorwedd,
F'allai lawer fu'sai lawn
O wir rywiog fflammiau'r awen,
A phrydyddawl ddenol ddawn,
Dwylaw ag all'sai lywio teyrnas,
A theyrn-wialen ar ryw thrôn,
Dawn a dwylaw diwnai delyn
I lesmeiriol dyner dôn.

XIII

Llyfr dysgeidiaeth ac hynafiaeth,
A naturiaeth môr a thir,
Ni's darllenodd, ni's agorodd,
Ac ni's gwelodd un o'r gwyr;
Gauaf gofid, dros eu bywyd,
Lethai eu hyspryd gwych i lawr,
Ac a rewai fywiol ffrydiau
Swydd gynheddfau 'u henaid mawr.

XIV

Y mae'r gemmau a'r perlau puraf,
Goreu 'u llywiau îs y llo'r,
Dan y tonnau 'n gudd rhwng creigiau,
Yn nyfnderoedd mawr y môr,
Ac mae'r blodau tecca'u llywiau,
Lle na's gwelir byth mo'u gwawr!
Ac yn tannu 'u pêr-aroglau,
Lle na sylwa neb mo'u sawr.

XV

Yma f'allai caid rhyw Hampden,
Doeth, a chalon ddewr o ddûr,
A geryddai un gormeswr,
Fynnai dreisio darn o'i dir,
A rhyw Filtwn heb ei fawrglod,
Mewn distawrwydd îs ein tra'd,
Ac ail Gromwel gwrol, grymmus,
Rhydd o 'lanas pawb o'i wlad.

XVI

Cael clodforedd yn y senedd,
Am areithiau dawnus doeth,
Llwyr ddirmygu mil yn gwgu,
Neu'n annelu'r cleddyf noeth,
Tannu llewndid dros ei genedl,
Gweled gwlad yn gwenu ei glod,
Oeddynt freintiau nad allasai
I un o'u graddau'n bosib' dd'od.

XVII

Tlodi os nadai rai rhinweddau,
Rhag cyrhaeddyd eitha'u rhod,
Tlodi a lethai fwy camweddau,
Mewn ll'wetheiriau dan ei thro'd;
Ni chlyw'd iddyn' ddringo gorsedd,
Drwy gelanedd, mwrddra a gwa'd,
Na chau clust a drws tosturi
I galedi a gweddi gwlad.

XVIII

Gwadu'r gwir, a thyngu'r celwydd,
Heb na syndod, ofn na chryd,
Na llwyr ddiffodd gwrychion olaf
Gwir onestrwydd gydâ'r gwrid,
Na gwastraffu pêr-aroglau,
Ac auraidd ddoniau'r awen ddrud,
Yn aberthau ar allorau
Anghyfiawnion beilchion byd.

XIX

Pell o 'mhyrraeth ffol a hiraeth
Am arglwyddiaeth ar eu gwlad,
Gydâ sobrwydd a boddlonrwydd,
Ymostyngen' at eu 'stad;
Mewn distawrwydd, gostyngeiddrwydd,
Cymmedrolder hoff a hedd,
Yn ffordd dawel cyflwr isel,
Byth y cadwen' hyd y bedd.

XX

Rhag i'w hesgyrn gael eu damsing,
Gydâ dirmyg gan un dro'd,
Gerllaw iddyn', er eu coffa,
Mae rhyw arwydd in' a nod,
A diryfau heb iawn fesur,
A cherfiadau gwael dilûn,
Ag sy'n galw am ddeigryn mwynaidd,
Wrth fyn'd heibio gan bob un.

XXI

'R oed a'r enw, a'r dydd bu farw,
Ar garreg arw lwyd ddi-rân,
A gair yma'n lle cof feini,
A chanmoliaeth peraidd gân;
Cyngor prysur ma's o'r 'sgrythur,
Ar ei godre' gwed'yn gawn,
I rybuddio pawb el heibio
Lwyr ddiwygio a marw'n iawn.

XXII

Pwy aeth gydâ llawn fodlonrwydd,
Yn dragywydd fod dros go',
Maes o fywyd blin na hyfryd,
I'r ddieithriol fythol fro,
Heb drom galon dwym hiraethlon,
A throi 'lygon lawer gwaith,
Tua chaerau'r dirion gartre'
Lon adawai, 'nol o'i daith?

XXIII

Nid oes adyn yn ymado,
Na ddymunai i gyfaill mwyn,
Wedi cauad ei ddau lygad,
Roddi 'chenaid fèr a chwyn;
I dir ango wedi i'r angeu
Fyn'd â'i gelain yn ei gôl,
Hoff yw ganddo, pan na's byddo,
I rai wŷlo ar ei ol.

XXIV

Titheu heno roddi'r hanes,
Am y meirw gwael di-fri,
Ymhen amser, os rhyw landdyn,
O dy dymmer dyner di,
Ddigwydd ddyfod gerllaw'th feddrod,
Mewn myfyrdod pruddaidd maith,
A chwennychu'n fawr gael gwybod,
Hanes ystod fèr dy daith:

XXV

Hên wr penwyn, f'allai dd'wedai,
"Mynych gwelsom gydâ'r wawr,
A'i frasgammau yn croesi'r caeau,
Ac yn torri'r gwlith i lawr,
A chan esgyn yn dra gwisgi,
Hyd y fròn yn teithio'n dỳn,
I roesawi haul y dwyrain,
Yn y boreu, ar ben y brỳn."

XXVI

"Pan y byddai ei gwres gadarnaf
Ar ein dae'ren hanner dydd,
Yn y gwaelod tawel isod,
Ar làn cornant yn y cûdd,
Ar ei wyneb yno'n gorwedd,
Dan dew goeden caid y gwr,
Gan fud syllu ar ei ffrydiau,
Yn gwrando dwndwr bêr y dwr.

XXVII

"Gerllaw'r goedwig draw brydnawnau,
Rhodiai ar hyd y gwndwn glân,
Weithiau'n gwenu wrth fwmial canu
Rhyw rigymmau wnai o gân;
Weithiau'n llibyn heb un englyn,
A lliw'r ddae'ren ar ei rudd,
Gan drwm ofid, neu fawr gariad
Wedi troi'n anobaith prudd."

XXVIII

"Ar ben boreu aeth yn eisieu,
Ar y bryn a thân y cudd,
Ac o'r llwybrau ag a rodiai;
Fe brydnawnau—daeth ail ddydd,
Ond y llygaid gynt a'i gwel'sent,
Mwy nis gwel'sant byth mo'r gwr,
Nac uwch gelltydd, nac ar faesydd,
Nac mewn dolydd ym min dwr."

XXIX

"Ar ei elor druan drannoeth,
Gydâ galar dygwyd e',
'N araf chwarian hyd y dreflan,
Gan wŷr mwynlan i'w oer le,
Dan y garreg gerllaw'r iwen,
Màn lle gorwedd 'nawr mewn hedd:
Tyred yma, (gwn y medri,)
Darllen im ei 'sgrifen fedd."

EI 'SGRIFEN FEDD.

XXX

AR oer arffed dae'r i orphwys,
Yma dodwys bwys ei ben,
Mab heb olud nac anrhydedd,
Nac awdurdod dan y nen
Dawn dysgeidiaeth a fwyn wenai
Ar ei enedigol ddydd,
Pwyll a phrudd-der ar bob amser,
A artrefen' ar ei rudd.

XXXI

Hael ei galon, rhwydd ei roddion,
Heb ddibenion gweigion gau,
Rhoes Rhagluniaeth daledigaeth
Yma'n helaeth i'w mwynhau;
O dosturi i drueni,
Fe roi allai——dagrau'n lli;
Gan y nefoedd fe dderbyniodd,
A ddymunodd, cyfaill cu.

XXXII

Mwy na ddygwch o'i rinweddau,
Na'i wendidau i oleu'r dydd,
O'r tywyllwch a'r dirgelwch,
Lle gorweddan' oll yn gudd,
Gan hyderu am iechydwriaeth
A thrugaredd ryfedd rad,
O fawr haelder Duw'r uchelder
Sy fel mwynder tyner tad.

---

## RHAGLUNIAETH NEILLDUOL.

MR. GOL.—Tach. 30 daeth y llythyr canlynol i'm llaw:

REMSEN, N. Y., Tach. 26, 1881.

*Mr. Rees*—Mae dadl fawr yn mhlith rhai o honom yn Remsen, o berthynas i Ragluniaeth Duw; ac mae dymuniad arnoch wneyd sylw o'r pwyntiau canlynol:

A ydyw Duw yn addaw amddiffyn ei blant yn y byd rhag newyn, syched, haint, a'r cleddyf?—neu, a oes gwahanol ragluniaeth i grefyddwyr rhagor yr annuwiol? Pa sicrwydd o ddiogelwch meddianau a phersonau, yn ol yr efengyl, sydd i'r duwiol mwy na'r annuwiol? Os byddwch mor garedig a gwneyd sylw o hyn, byddwch cystal a gadael i'r gofyniad a'r ateb ymddang-

os yn y Wawr gyda'u gilydd. * * * Gwelwch yn dda beidio anghofio yr ateb. Yr eiddoch yn gywir,

EVAN ROBERTS.

ATEB.

*Anwyl Syr*—Tra yn foddlon i gynyg ateb eich gofyniad, eto teimlwyf wneyd gyda phryder a gwyleidd-dra, am fod yn nglyn a'ch gofyniad yr hyn a arweinia at ddyfnderoedd y ddwyfol lywodraeth ar y byd. Wrth ymgymeryd a dadleu ar bynciau sylfaenol y gweinyddiadau dwyfol, priodol cofio fod y "dirgeledigaethau yn eiddo yr Arglwydd;" ac mai ein heiddo ni i'w rhesymu, credu, a gweithredu wrthynt, yw y "pethau amlwg." Dylem ymryddhau oddiwrth bob tuedd ddamcanus, ac agosâu at y pynciau mawrion nid fel doctoriaid, ond gyda gwyleidddra plentyn—fel Moses, heb ei esgidiau yn nesâu at y berth.

Mae Duw dan yr efengyl yn addaw amddiffyn ei blant mewn newyn, syched, haint, dan y cleddyf, ac yn angau, ond nid eu hamddiffyn rhagddynt. Y mae gwahaniaeth, fel y gwelwch yn ddiau, rhwng amddiffyn rhag profedigaeth ac amddiffyn ynddi. O dan yr hen gyfamod addawai Duw gadw ei bobl rhag caledi; o dan y cyfamod newydd, cynal ei bobl mewn caledi. O dan Moses, aeth Duw i gyfamod daearol ag Israel. Daearol i gyd oedd y cyfryngwr, ac felly y bendithion a'r cospau; ond gwrthgyferbyniol i hyn yw hanes y cyfamod newydd. Ymffrost yr Iuddew oedd fod ei Dduw yn addaw ei gadw rhag newyn, syched, &c. Enciliai yr ofn am newyn o flaen yr addewid o wlad yn llifeirio o laeth a mel. Deallai yr Iuddew yr addewid, "Myfi a fyddaf gyda thi," fel addewid i'w cadw rhag niwed a cholled ddaearol, oddiwrth ryfeloedd neu unrhyw amgylchiad arall. Ymffrost y Cristion yw addewid Duw, nid i'w gadw rhag caledi daearol, ond i'w gynal dano, a'i gadw rhag niwed a cholled ysbrydol. Mae i ddyoddef newyn, syched, &c., fel eraill, ac weithiau yn fwy; ond gwahaniaetha yn ei amgylchiadau yn y ffaith mai enill, ac nid colled ysbrydol, ddaw iddo trwyddynt. "Pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw." "Yn hyn oll yr ydym yn fwy na choncwerwyr," &c.

Pwynt arall yn eich gofyniad—"A oes gwahanol ragluniaeth ddwyfol i grefyddwyr?" &c. Ystyriwyf mai yn y fan hon mae prif anhawsdra eich gofyniad yn canolbwyntio. Credwyf fod rhagluniaeth neillduol ddwyfol tuag at ddynion yn gyffredin. Gwir fod y Pregethwr yn dweyd, "Y doeth sydd a'i lygaid yn ei ben, ond y ffol a rodia yn y tywyllwch: ac eto mi welais yr un ddamwain yn dygwydd iddynt oll," yr hyn a awgryma nad oes rhagluniaeth neillduol. Ond mewn lle arall ni a gawn, "Y neb a gloddia bwll i arall, a syrth iddo ei hun;" yr hyn a ddengys fod ymyriad neillduol o eiddo Duw a dyn. Oddiar un safle, wrth sylwi ar y bobl yr oedd yn byw yn eu plith, a'u hamgylchiadau, gwelai Solomon, os efe oedd y Pregethwr, nad oedd rhagluniaeth neillduol—nad oedd gwahaniaeth rhwng y doeth a'r annoeth, &c.; ond oddiar safle arall, gwelai ragluniaeth neillduol, canys dyweda, "Y neb a gloddia bwll i arall a syrth iddo ei hun." Mae y syniad o ragluniaeth neillduol o eiddo Duw yn mhlith dynion yn gwbl gyson a'r adnod, "Canys nid eich meddyliau chwi yw fy meddyliau i; ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i, medd yr Arglwydd." Mae y syniad uchod hefyd yn gyson â'r trefniant o weddi ac ymddiried, yn y Testament Newydd. Gan fod ganddo y gallu, naturiol dysgwyl fod awdwr a chynalydd natur, yn ei holl agweddau priodol, wedi ac yn *reservio* yr hawl i fynu sylweddoliad pan y myno i'w holl feddyliau cyffredinol a neillduol. Nid wyf yn meddwl fod un dyn call yn Remsen a wada hyn, oddigerth fod yna rywun a wado fod gan Dduw feddyliau neillduol.

Mae golwg arall, ond nid gwrthdarawol i hyn, i'r mater dan sylw. Er fod i Dduw ymyriad neillduol y'mhlith dynion, eto ymyra â dyn yn gwbl gyson â rhyw ddeddf sefydlog a chydnabyddedig yn mhlith dynion. Pan y dygir y peth i ben, a chael ei ddeall, fe

welir nid yn unig fod Duw wedi gweithredu, ond ei fod wedi gweithredu yn gyson â deddfau sefydlog. Wrth ddyweyd fel hyn, cymerwyf i ystyriaeth olwg gyffredinol i bethau, ac nid yr hyn a ystyrir yn ymyriad gwyrthiol o eiddo Duw. Gan mai ewyllys Duw yw i bawb ufuddhau i ddeddfau cyffredinol natur; a chan ei fod yn galw pawb a glywant yr efengyl i ufuddhau i'w deddfau neillduol hi, rhaid, dybygaf fi, ei fod yn cyfarfod pawb yn ei holl ragluniaeth naturiol a grasol yn ac wrth y deddfau hyn. Beth yw y deddfau hyn a olygwch? Nodaf rai: gwirionedd, cyfiawnder, sancteiddrwydd, cariad, a thrugaredd. Gwasanaethu y rhai'n yw amcan Duw yn ei holl lywodraeth.—Meddai rhywun, Os gwasanaethu y rhai'n yw amcan Duw yn ei holl lywodraeth ar y byd, paham y dyga y dieuog, y cyfiawn, a'r da, i warth yr euog, i newyn, syched, ac hyd yn nod i farwolaeth farnol, pan y mae yr euog, y drwg, a'r pechadurus, yn dianc, a hyny o bosibl o dan deitl urddasol? Dyma gamsyniad dybryd. Nid dwyn i, ond ei oddef i fyn'd i warth dros enyd fel euog, y mae Duw. Ystyria Duw y gwna gwaredigaeth, amser a ddaw, wasanaethu y deddfau uchod yn well na gwaredigaeth bresenol--yn fwy o ogoniant i Dduw, yn well i'r cyfiawn ffyddiog ac amyneddgar. ac yn well i'r byd. Nid wyf yn barod i ddweyd yn awr a oes rhagluniaeth neillduol o eiddo Duw yn mhellach nag y mae yn rheidiol i godi offerynau a pheri amgylchiadau a effeithiant ar ranau helaeth, os nad yn gyffredinol ar y byd. Rhaid oedd wrth ragluniaeth neillduol i godi cenedl Israel; a rhagluniaeth neillduol yn nghanol hona i godi Moses, Samuel, a Dafydd. Rhaid oedd wrth ragluniaeth neillduol i godi Messiah ganedig, apostolion, ac o bosibl lu o freninoedd, llywyddion ac arweinwyr mewn diwygiadau pwysig gwladwriaethol a chrefyddol. Pa un a oes rhagluniaeth ddwyfol neillduol yn cyrhaedd yn mhellach na hyn, nid wyf yn barod i ddadleu y cadarnhaol. Methaf yn deg a gweled fod mwy o ragluniaeth neillduol gyda golwg ar amgylchiadau, bendithion, a lles y byd hwn yn ffafr crefyddwyr, mwy nag yn ffafr annuwiolion—ni welaf ddim yn yr efengyl yn gofyn hyn, ac yn dangos fod.

Pwynt arall genych—"Pa sicrwydd o ddiogelwch meddianau a phersonau, &c.?" Nis gallaf weled fod dim yn fwy. Sicrwydd am fywyd tragywyddol sydd yn yr efengyl, ac nid daearol. Nid yw y rhan hon o'r Ysgrythyr, "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awr hon," yn profi fod. Nid oes ganddi addewid ar bob tir; nis gall roddi llwyddiant i'r annoeth, na bara beunyddiol i'r diog—byddai hyn yn groes i'w *pholicy*. Dichon i'r anghall lwyddo, ac i'r diog gael byd da, helaethwych beunydd; ond cymera hyn le yn herwydd amgylchiadau ffodus yn damweinio cymeryd lle, y rhai wrth eu goddef gan Dduw i gymeryd lle, a allent ateb dyben da yn y pen draw.

Dyna yr oll a ddywedaf yn awr ar y mater. Yn wyneb y cwbl a ysgrifenais yn ateb i'ch gofyniad, ofn sydd arnaf nad yw fy meddwl yn ddigon eglur i chwi. Mae y duedd gref i ysgrifenu ar fater fel hwn, fu ynof, yn lleihau yn gyflym, o herwydd fod amgylchiadau eraill o angenrheidrwydd yn gofyn fy meddwl agos i gyd. Yn herwydd hyn prin wyf yn gallu boddloni fy hun ar braidd ddim wyf yn ysgrifenu, er's amser maith. Yr wyf wedi ysgrifenu hyn er dangos nad diystyr wyf o ofyniad pwysig. Os oes rhywbeth yn dywyll i chwi yn yr ateb hwn, gyrwch ataf drwy y *post*, fel y gwnaethoch y tro hwn; ac efallai wed'yn y galluogir fi i ddyfod yn fwy manwl ac yn nes at gnewullyn y pwnc.

Yr eiddoch, LL. REES.

---

## ADLEF O WELY ADFYD.

GAN Y PARCH. D. E. BOWEN.

### *Llith IV.*

ARSYLLFA YR ABERTH IAWNOL.

Mae yr efengylaidd brophwyd Esaiah, fil o flynyddoedd cyn arweiniad yr Oen i'r lladdfa, wedi lliwio ar y lleni

rhagfynegol y driniaeth erwin oedd yn ei aros. "Yr Arglwydd a fynai ei ddryllio ef." Mae y cyfieithiad Saesneg yn gwahaniaethu oddiwrth yr un Cymraeg yn y fan yma. Mae y perwyddiaid mewn moddau gwahanol—un yn y modd gorchymynol, *imperative mood*, a'r llall yn y modd mynegol, *indicative mood.* "Yr Arglwydd a foddlonai i'w friwio ef." Dengys y naill reidiolrwydd, a'r llall a arwydda ewyllysgarwch. Gosodwn y ddau at eu gilydd, a daw allan y drychfeddwl gwreiddiol. Nid oedd un rhwymau i ddryllio y Cyfryngwr mawr tu allan i'r ewyllys ddwyfol. Rhwymau yr ewyllys oedd yr oll a hoeliodd ein Iesu bendigedig ar y croesbren garw.

"Ei arwain i Galfari fryn,
A'i hoelio ar groesbren o'i fodd;
Pa dafod all dewi am hyn?
Pa galon mor galed na thodd?"

Sylwn fod rhaid dryllio yr aberth.

I. *Er dangos drwg pechod.*

II. *Er mwyn cael defnydd yr Iawn.*

III. *Er cynyrchu edifeirwch yn y pechadur.*

IV. *Er cael sylfaen i ffydd y saint.*

I. *Arddangosiad o erchylldod pechod.* Dynoethwyd cleddyf cyfiawnder dialeddol amryw weithiau, gan fedi dynoliaeth wrthryfelgar i ddinystr anadferadwy. Ond nid ydoedd boddiad yr hen fyd na llosgiad Sodom yn wrthglawdd digonol rhag gorlifiad pechod. Meddwodd Noah yn ngolwg yr arch; syrthiodd Lot i anlladrwydd gwarthus yn sawyr brwmstanaidd tân Sodom! Can gynted ag y gwnai y cleddyf hepian, yr oedd pechod yn adfywio ac yn amlhau. Y nefoedd a wylai gawodydd heli, gan ddywedyd, "I ba beth y'ch tarewir mwy? cildynrwydd a ychwanegwch." Rhaid cael rhyw arlun mwy dychrynllyd o ddrygedd pechod na dinystr y troseddwr, er atal rhyferthwy anwiredd yn y cysawd moesol. Awn yn mlaen, ynte, i Le y Benglog.

Cenfydd y seryddwr craffus o'i arsyllfa uchelfri, trwy ei yspienddrych anferth ugain miliwn o ser llachar yn y Llwybr Llaethog; ond o arsyllfa Calfaria canfyddwn dair teyrnas dan eu llawn arfogaeth. Y nefoedd yn dyfod allan er amddiffyn iawnderau yr orsedd ddwyfol, yn bloeddio, "Deffro, gleddyf, yn erbyn fy mugail; taro y gwr sydd gyfaill i mi." Y ddaear yn ymgyngreirio mewn cenfigen, twyll, malais, drygioni, cabledd a chelwydd. Uffern yn chwydu allan ellyllon duon anwn obry; a'r "Oen heb gleddyf na grym arfau, yn sathru dreigiau dan ei droed!" Ar ei ben y byddo'r goron byth! Ond aeth y frwydr yn boethach, boethach, a dacw lais dolefus fel o ororau Gehenna, yn swnio o ganol mwg y fagddu fawr, "Eli, Eli, lama sabachthani?" "Wel," ebai telynorion gwawl, "mae wedi darfod arnom; mae Duw wedi cefnu arno; gorchfygir ef gan uffern a'r ddaear, a thry ein caniadau yn wylofain diddiwedd." Gyda hyny dyma floedd y concwerwr mawr yn rhwygo y llengau dieflig, ac yn sicrhau dedwyddwch nefolion byth, "*Gorphenwyd!*" Wele glychau Caersalem yn canu nefol odlau o fawl i Dduw! Ond yr hyn sydd yn anhawdd i'w ddirnad yn athroniaeth iachawdwriaeth trwy iawn dirprwyol, yw, Pa fodd y gallasai y diniwed ddyoddef yn neddfle yr euog? Yr ydoedd y pwnc hwn fel yn dyrysu meddwl seraphaidd R. ab Gwilym Ddu, pan y torai allan:

"Am fai ni feddai mae'n syn—ei weled
Yn nwylaw Rhufein-ddyn;
Ei brofi gan wael bryfyn,
A barnu Duw ger bron dyn."

Yr unig eglurhad ar hyn ydyw, iddo ddyoddef yn wirfoddol—*volunteer* ydoedd. Mae hyna yn ddigon o ateb am byth ar y pen hwn. Dyoddefodd Iesu ar yr egwyddor werinol, sef "y da mwyaf i'r nifer luosocaf." Geill unigolion farw er achub gwlad a llywodraeth. Bu ein Ceidwad mwyn farw er diogelwch i holl lywodraeth foesol y Jehofah mawr. Yr ydoedd hen delynwr Gwalia o Bantycelyn mewn syn fyfyr unwaith yn sibrwd wrtho ei hun fel hyn:

"Ai gwir fod yr angylion pena'
A'u sail ar gopa bryn Calfaria,
Wedi eu c'lymu gyda'r seintiau,
Yn yr un pen, yn yr un clwyfau?"

Iē, gwir i wala. Yr oedd y bardd yn rhy wylaidd i ateb yn gadarnhaol yr hyn a ymddengys yn ffaith ddatguddiedig, rhag cael ei gribo a'i ddiarddel gan hen deulu yr Iawn masnachol a therfynol. Ond yr ydoedd Paul wedi ei ateb yn ddiddychryn yn flaenorol, sef, "Yr hwn yw pen pob tywysogaeth, awdurdod a nerth, o'r nefolion a'r daearolion, a than-ddaearolion bethau." Dyna yr awenau, a'r llywodraeth gyfryngol yn llaw yr Iesu, yn sylfaenol ar yr aberth iawnol.

II. Rhaid dryllio yr aberth *er cael defnydd yr iawn.* Iaith deddf a chyfiawnder oedd, "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant." Llifodd afonydd o waed anifeiliaid direswm yn y cysgodau Iuddewig; ond

"Yn lle eidionau yn llu dinerth—ac wyn
Yn ganoedd anghydwerth,
Dyna ben ar bob aberth,
A dyma waed mwy ei werth."

Drylliwyd ei enaid gan arteithiau meddyliol; ac yr oedd y chwys fel dafnau o waed yn yr ardd; ond nis medrai ei enaid waedu na marw. Eto, dyoddefiadau ei enaid oedd enaid ei ddyoddefiadau. Ond rhaid cael gwaed dynol ar yr allor ddwyfol er effeithio iawn anfeidrol. Dyn a bechodd, a gwaed dynol raid ei dywallt.

"Ar groesbren brydnawn cyfiawnder ga'dd iawn,
A'r gyfraith anrhydedd 'r un dydd;
Trwy rinwedd y gwaed boddlonwyd y Tad,
Daeth merch yr Amoriad yn rhydd."

Mae yr hen feirdd wedi canu yr efengyl yn fendigedig. Gan mai pregethu barddonol sydd mewn bri yn awr, gallaf finau wneyd pregeth go ddel o hen emynau a ddysgais haner can' mlynedd yn ol. Dyma yr unig lyfrgell sydd wedi bod o fewn cyrhaedd i mi am y pedwar mis diweddaf.

"Un Oen Naf yn Iawn hefyd,
Un chwerw boen iacha'r byd."

III. Rhaid dadlenu y clwyfau *er cynyrchu edifeirwch* yn y galon adamantaidd. Nid oes un gangen o dduwinyddiaeth ag sydd wedi ei gorchuddio â mwy o dywyllwch dynol na hon. Mae y mwgwd wedi ei daflu dros lygaid y werin am eu dyledswydd gyntaf at Dduw, trwy gam gyfieithiadau o'r gair gwreiddiol, a thwyll-offeiriadaeth y pwlpudau. Mae y Pabyddion wedi cyfieithu *metanoin* yn *penyd.* Felly golyga y Pabydd mai peidio bwyta cig ar ddydd Gwener, a myned ar bererindod i Rufain, a chusanu bawd troed y Pab, yw edifeirwch! Mae lluaws o'r Protestaniaid wedi ei droi yn *ddiwygiad.* "Diwygiwch gan hyny, fel y dileuer eich pechodau." Felly os gwna y dyn ddiwygio gronyn, gan beidio tyngu a rhegu a meddwi, am fis neu ddau, derbynir ef yn llawen i Seion, fel llywaeth o sant! Mae gwirionedd dwyfol yn eglur brofi nad diwygiad yn y fuchedd allanol yw edifeirwch efengylaidd. Yr ydoedd Nicodemus yn ddyn moesol a chrefyddol iawn, ac yn ddysgawdwr mawr o'r grefydd hono. Ond i wneyd Cristion o hono, yr oedd yn rhaid ei ail-eni. Mae y diwygiad yn fewnol, cyfnewidiad yn y syniadau ac ansawdd y meddwl ydyw. Edifeirwch yw'r pren; diwygiad yw'r ffrwyth sydd yn tyfu arno yn naturiol. Y mae lluaws yn ymboeni i gynyrchu ffrwyth heb un pren.

Yn y briwio a'r dryllio fu ar Galfaria fryn yn unig y ceir yr argymellion i wir edifeirwch; canys yno yr arddangosir annhraethol ddrwg pechod, ac anfeidrol gariad Duw at y pechadur. Dyma y ddwy egwyddor hanfodol er cyfansoddi Cristion; "Creu o newydd yn Nghrist Iesu i weithredoedd da." Dechreuodd y poenau yn enaid y Gwaredwr, mewn ingoedd angeuol; felly teimlir barn angau yn y cyflwr gan yr edifeiriol. "Marw i bechod."

IV. *Dyma sylfaen gadarn ffydd y saint.* Daeth yr Iesu mwyn i'r ystafell at y dysgyblion anobeithiol: "Ac efe a ddangosodd iddynt ei ddwylaw a'i draed;" a llanwyd hwynt a ffydd a llawenydd. Pererin Bunyan a gollodd ei faich yn ngolwg y groes. Dyma y lle a wna i anffyddiaeth ffoi ar ffrwst. Yr ydoedd hen bererin duwiol yn byw yn Carbondale er's talm, a elwid Modryb Bess. Yr ydoedd y chwaer fwyaf athrawiaethol a phrofiadol a adnabum i erioed. Aethum i'w gweled pan yn

dynesu at gysgodau y glyn tywyll. "Sut yr y'ch chwi yn teimlo, chwaer?" ebe fi. "O, yr ydwyf yn teimlo yn fendigedig heddyw," meddai, "ond cefais noson galed neithiwr; daeth yr hen gyhuddwr i ddanod holl bechodau fy oes i mi. Dywedais wrtho am eu *haddio* i fyny, beth bynag, ac yr oedd y cyfanswm yn ddigon i ddamnio y byd oll. Yna ceisiais ganddo osod un *item* arall o dan y cyfan, sef, 'Gwaed Iesu Grist, ei Fab ef, sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod.' Fe ffodd yr hen walch nerth ei fferau uffernol; ac yr ydwyf yn teimlo yn ddedwydd." Dyma y fan i gael goruchafiaeth ar bob gelyn. Mae athrylith yn y briwiau, hyawdledd yn y gwaed, barddoniaeth yn y cariad, cerddoriaeth yn y dagrau, a bywyd tragywyddol yn angau pen y bryn.

"Diolch iddo, byth am gofio llwch y llawr."

Mae mwy o gymdeithas rhwng fy enaid eiddil a briwiau y Ceidwad, er pan faluriwyd fy nhraed. nag a fu erioed o'r blaen. Os gwelir fi, bechadur, wedi dianc trwy gadwedigol ras, af yn syth at y traed a hoeliwyd ar y pren, a threuliaf oesoedd rif y dail i gyfrif ol yr hoelion. "Yn Arglwydd pawb coronwch ef."

*Hospital, Scranton.*

---

## PAUL YN ATHEN.

GAN Y GOLYGYDD.

RHIF VII.

### YR ALLOR.

Ebe Paul yn Areopagus, "Canys wrth ddyfod heibio, ac edrych ar eich defosiynau, mi a gefais allor yn yr hon yr ysgrifenasid, I'R DUW NID ADWAENIR." Mae gwahanol farnau am darddiad yr allor hon. Dyma rai o honynt: I'r Atheniaid ei chyfodi ar ol anrhydeddu pob Duw adnabyddus iddynt, a chan y gallasai fod rhyw Dduw arall na wyddent am dano, iddynt ychwanegu hon.—Fod yr allor hon yn perthyn i gyfnod pan oedd ysgrifenu yn anhysbys, ac i'r arysgrifen gael ei chwanegu ar ol hyny gan rai na wyddent i ba Dduw y cawsai ei chysegru.—Ei bod yn dra thebygol iddi darddu oddiar ddymuniad i ddyhuddo y Duw y pechasid yn ei erbyn.—Nad oedd yn un o'r amryw allorau hyny yr ysgrifenasid arnynt yn y lluosog, "I'r Duwiau nid adwaenir," a bod dyfyniad yr Apostol yn gywir wrth ddweyd, "I'r *Duw* nid adwaenir."—Fod yr Atheniaid, ar adeg pla mawr, pan yn methu gwybod pa dduw i'w ddyhuddo er rhoddi atalfa arno, i Epidemenides drefnu fod defaid gwynion a duon yn cael eu gollwng yn rhydd o Areopagus, a pha le bynag y gorweddent, eu bod i'w hoffrymu yno i'w duwiau neillduol, a thebygol, meddir, ar achlysuron o'r fath, fod allorau yn cael eu cysegru i dduw anadnabyddus, gan na wyddid pa dduw oedd i'w ddyhuddo. Beth bynag am gywirdeb un o'r tybiadau a nodwyd, ni allasai un o honynt fod yn amgen nag achlysur o fodolaeth yr allor. Rhaid fod y wir ffynonell yn ddyfnach, sef yn natur addolgar y bobl. A rhaid fod yr Apostol yn edrych heibio pob achlysuron at y gwir achos gwreiddiol. Mae yn ffaith fod math o grediniaeth lwyd - oleu mewn rhyw dduw uwchraddol yn bodoli, hyd yn nod yn mhlith y werinos; ac yn mhlith yr athronwyr yr oedd y grediniaeth hono yn fwy pendant. Ni oddefasai eu greddf grefyddol hwy i foddloni ar y mân dduwiau. Er hyny yr oedd gwahanol farnau mewn perthynas i'r duw uwchraddol. Methai yr athronwyr gyduno yn eu barnau am dano. Gallasai *arysgrifen* yr allor hono ddeilliaw oddiwrth y gwahaniaeth yn y barnau hyny.

Tybiwyf fod math o flinder ysbryd trymaidd yn gysylltiedig a'r achos o adeiladu yr allor ac ysgrifenu arni fel y gwnaed. Paul a ddywed, "Duw wedi esgeuluso amseroedd yr anwybodaeth hon." Mae ymdeimlad parhaol o anwybodaeth o wrthddrych y byddai yn dda i ni wybod am dano, yn flinderus, ac yn fwy felly yn ol pwysigrwydd y gwrthddrych. Y mae greddf gref hef-

yd wrth ymddyheu am ei gwrthddrych, ac yn methu ei gael, yn rhwym yn ol ei natur o ddwyn blinder i'w pherchenog. Onid oedd rhyw flinder greddfol, ymwybodol fel hyn yn peri i'r Atheniaid chwilio am le i roddi eu baich i lawr? Wedi ymgynal o dano am oesoedd, o'r diwedd y maent yn ymollwng, gan daflu eu trwmlwythog faich i lawr, gan wneyd cyffesiad ffurfiol o'u diffyg, a dweyd, "I'r Duw nid adwaenir." Tueddir ni fel hyn i gredu i'r allor a'i harysgrifen darddu oddiar ymegniad hir-flinderus ac aflwyddianus greddf grefyddol dyn. Ac onid yw yr ystyr a rydd yr Apostol i'r arysgrifen yn gyson a'r dybiaeth hon? Cymer yn ganiataol fod yr allor wedi ei chysegru i'r gwir Dduw, er nad oeddynt hwy yn gwybod ond ychydig am dano. Yn yr ymadrodd, "I'r Duw nid adwaenir," y gwelwn y byd paganaidd yn gwneyd cyffesiad hyglyw o ddiffyg eilun-addoliaeth, athroniaeth, dysgeidiaeth, a phob moddion dynol, i gyflenwi dymuniadau dyfnaf enaid dyn. Wedi pentyru oddi amgylch iddo gyflawnderau dychymyg a doethineb, mae yn dyheu am rywbeth mwy a gwell. Ceisiai dynion y da mwyaf, os gallent ymbalfalu am dano ef, er nad oedd efe yn nepell oddiwrth neb o honynt. Yn yr allor hon a welodd Paul cododd y byd cenedlig gofgolofn i'w angen a'i anallu. Yn y man hwn y rhoddes ysbryd blinderus yr Atheniaid ei faich i lawr; hyd yma yr aeth, a dim yn mhellach.

A chyfeirio eto at yr ysbryd blinderus a arweiniasai ddynion megys yn anymwybodol iddynt eu hunain i wneyd cyfaddefiad o'u hanwybodaeth o'r gwir Dduw, gallwn ddweyd yn mhellach, fod pryderus hir-chwilio am ryw dda neillduol, a methu ei gael, ac yn enwedig os gwneir camsyniadau olynol yn hyny, yn flinderus i'r eithaf i'r ysbryd; ac O! 'r fath esmwythad a raid fod, hyd yn nod y cyfaddefiad o hyny wrth gyfodi yr allor hon!

Yma y mae yn deilwng o sylw, er mai anwybodaeth o brif wrthddrych addoliad a pharch dynol, oedd y brif elfen a ddygid ger bron yn yr allor dan sylw, eto yn yr anwybodaeth galarus hwnw yr ydym yn cael golwg ar yr elfen oreu yn nghymeriad crefyddol a moesol yr Atheniaid. Yn y tywyllni hwn yr ydym yn cael y man goleuaf. O bob llanerch dyma oedd y nesaf at y dwyfol. O bob arysgrifen, hon oedd y fwyaf ei hystyr. O bob mynegiad, dyma y fwyaf cynwysfawr. O bob gonestrwydd hwn oedd y puraf. O bob addoliad hwn oedd y cywiraf. O bob gweithred dyma yr un mwyaf canmoladwy. Os felly, tra phriodol oedd fod llygaid yr apostol yn disgyn yn arbenigol ar yr allor hon. Felly, o ran hyny, mae Cristionogaeth yn gwneuthur; mae yn ymwneyd a'r hyn sydd oreu mewn dyn. Mae yn gweled y gweddillion o ddaioni sydd yn aros yn ei natur. Mae yn apelio at ei ddealltwriaeth a'i reswm. Mae yn cyfarch ei deimladau lledneisiaf a'i argyhoeddiadau dyfnaf. Yn gydnaws ag ysbryd a theithi yr efengyl mae Paul yn Athen yn adnabod yr ysmotyn goreu yn y lle. Craff oedd ei olygon. Er fod y ddinas yn llawn o wrthddrychau defosiwn, eu ffurf a'u llun yn ddeniadol, er hyny gwel trwy y cwbl, a disgyn ei lygaid ar allor arbenig. Gwel yn hone le i gael gafael yn sylw y bobl. Gwel yn y fan hon fynegfys at gyfeiriad neillduol. Gwel yma le i gymhwyso y feddyginiaeth nefol ar gyfer y clwyf. Gwel yma gangen a nodd ynddi i impio arni gangen o wirionedd yr efengyl. Gwel yma sylfaen i adeiladu arni ymresymiad am y gwir Dduw.

*Un sylw eto.* Efallai y caem ryw gymaint o oleuni pellach ar ystyr yr allor yn Athen, pe cymerem gipdrem ar hanes allorau yn y Beibl. Yma y dysgwn fod dau fath o allorau—allor y poeth-offrwm ac allor yr arogldarth, neu yr allor bres. Lle allor y poethoffrwm oedd wrth ddrws pabell y cyfarfod. Allor yr arogldarth a safai yn y lle sanctaidd, o flaen y wahanlen oedd wrth arch y dystiolaeth. Gwelir oddiwrth hyn fod y ddwy yn meddu eu dybenion neillduol, a'u bod yn gwahaniaethu hefyd o ran eu safleoedd. Mae gwasanaeth allor y poeth-offrwm yn cyfodi yn uniongyrchol oddiar

deimladau yr addolwyr—teimladau o berygl ac ofn—teimladau o euogrwydd a phoen. Y mae'r gwasanaeth aberthol yn dwyn delw y dyn; mae yn dwyn tystiolaeth, ac yn gyfaddefiad o gamweithredu. Mae dyeithrwch yn ymddangosiad yr aberthwyr; mae yr offeiriad yn gofyn gwaed; mae dialedd megys yn amneidio yn eirias-dân y poeth-offrwm. Yn wir, ar natur foesol derfysglyd dyn yr oedd allor y poethoffrwm yn gorphwys. Yr oedd ei ffurfwasanaeth yn amlinelliad o ysgogiadau ysbryd dolurus yr addolwr. Yr oedd y teimlad o boen o wneyd y drwg yn ceisio ymdaflu ei hunan i'r aberth. Yr oedd ardrem y galon i weled yn ardrem yr addoliad. Yr amcan ydoedd rhoddi ufudd-dod dyn mewn ffurf derbyniol ger bron y Goruchaf. Ymdrechai y troseddwr yn y modd hwn droi yn ol y dialedd dwyfol rhag disgyn arno; ymlechai yn nghysgod yr aberth.

Allor y poeth-offrwm oedd hono—beth am allor yr arogldarth? Yr oedd hi, fel y nodwyd, yn y Cysegr sanctaidd; yr oedd ei safle efelly yn nes at y presenoldeb dwyfol. Yr oedd y gwasanaeth addoliadol hwn yn fwy syml ac ysbrydol; yr oedd yn cynrychioli Duw ger bron y bobl. Cafodd yr allor hon ei dechreuad i ddyben coffadwriaethol—coffadwriaethol o ddaioni Duw ar amgylchiadau neillduol; a sefydlwyd hi i helpu y derbynydd i gadw daioni y Rhoddwr mewn cof, a rhoddi parch dyledus iddo. Yn y deml cawn yr un allor yn meddu nodwedd ychwanegol, sef yr arogldarthol. Yn y ddwy allor yma gan hyny y gwelwn ddwy ran crefydd yn cael eu cynrychioli—yr allanol a'r mewnol—y dwyfol a'r dynol. Yr allanol yn datguddio Duw, a'r mewnol yn datguddio dyledswydd dyn tuag ato—yr allor yn y Cysegr sanctaidd yn llefaru am ddaioni Duw, a'r allor wrth ddrws pabell y cyfarfod yn llefaru yn fwyaf penodol am ddyledswydd yr addolwyr tuag at Dduw.

Yr oedd yr allor *aur* yn y *Cysegr Sanctaidd* yn cynrychioli y dwyfol; a'r allor *bres* yn y cyntedd allanol, yn cynrychioli y dynol.

Yn awr, beth am yr allor yn Athen? A ydoedd yn tebygoli i un o'r ddau fath o allorau crybwylledig, neu nad oedd? Barnwn ei bod yn tebygoli, ac yn dwyn nodwedd yr allor goffadwriaethol a'r arogldarthol. Yn wir, ymddengys fod holl allorau a gwrthddrychau addoliadol Athen yn dwyn yr un nodwedd. Ond sylwi, canfyddwn absenoldeb yr elfen aberthiadol yn Athen. Ac oblegid hyny, nid oedd yno linach offeiriadol. Nid ymddengys fod galwad neillduol am wasanaeth offeiriaid. Modd bynag, teg yw casglu nad oedd y nodwedd aberthiadol yn amlwg yno. Nid ydym yn darllen am boeth-offrymau, nac yn wir offrymau o unrhyw fath, fel y canfyddir mor arbenig yn hanes cenedloedd eilun-addolgar eraill. Yr ydym yn ddiogel wrth ddweyd nad oedd aberthau yn meddu lle gorbwysig yn eu gwasanaeth addoliadol, ac am hyny nid oedd temlau ac allorau i'r pwrpas hwnw yn bethau cyffredin yn y ddinas hono. Yr oedd ymdeimlad o bechod fel pechod yn wanaidd yn mhlith y bobl, ac oblegid hyny ni theimlent angen am foddion i'w symud ymaith. Ond am yr elfen goffadwriaethol ac arogldarthol yn addoliad yr Atheniaid, yr oedd yn llawer mwy pwysig. Gwrthddrychau yn cynrychioli hon oedd yn llenwi Athen, ac yn cyfarch y golygon ar bob llaw. A chredwn fod yr elfen yma i'w gweled yn fwy amlwg yn hanes eu hymddadblygiad, oes ar ol oes. Os felly, mwy naturiol barnu fod yr allor dan sylw wedi ei hadeiladu gyda dyben coffadwriaethol i'r duw y credid yn ei fodolaeth, ei oruchafiaeth, ei ogoniant, a'i ddaioni, er fod syniadau yr addolwyr am y duw uwchafol hwnw yn hynod gymysglyd ac anmherffaith.

Safwn gerllaw am enyd i dremio ar yr allor, a cheisio deall yr arysgrifen. Yn mlaenaf gwelir crediniaeth mewn rhyw dduw tu allan i'r cylch cyffredin. Gwelir eto anwybodaeth teimladwy o briodoleddau y duw hwnw. Peth arall ydyw teimlad ymlynol ynddo, yn yr ymadrodd "*i'r duw.*" Gwelwn yma duedd talu gwarogaeth i'r duw hwn. Ac yn ddiweddaf, fel yr elfen grefaf,

awydd dal hwnw mewn cof. O'r mewnol edrycher i'r allanol—a chrefyddolder ydyw pob peth. Anrhydeddu a choffadwriaethu y duwiau, am oesau, oedd pwnc y dydd. Hwn oedd y môr y nofiai badau cymdeithas ynddo. Gan hyny yr amgylchiad mwyaf dibwys oedd ddigonol i'w crediniaeth gymeryd ffurf weledig. Gweddillion dilwgr cyfnod mwy syml oedd y crefyddolder *hwn* a *fynai* amlygu ei hun. Ychydig ymsyniai gwyr cysylltiedig a'r gwaith ei wir arwyddocad. Gwelaf y cerfiedydd yn cywrain-symud yr ysgafn-gun—yn achlysurol a'i anadl ymlid y llwch ymaith--ond ni wel eang ystyr ei waith. Ond sylwer tu ol i'r llen. Onid oes *rhai* ysbrydoedd mewn cydymdeimlad ag eithafion anystyriaeth yr adeg? Oni chlywir nodau lleddf yn seinio oddi-draw? Onid oes aml un yn cael ei yru megys gan wrthweithiad gwag-bleserau at y sobr a'r difrifol? Onid yw y ddwy ffrwd, yr Ilisses a'r Cephissus, yn murmur alawon pruddaidd wrth ymlwybro heibio cyrion y ddinas? Onid oes ysbrydiaeth yn cyffwrdd tannau cwynfanus telynau y perthi? Ie, onid oes ambell berson yn ymsynio yn lleddf wrth gyferbynu y presenol â symleiddiwch yr oesau gynt?

Wrth geisio esbonio, yn y nodion blaenorol, ymddangosiad yr allor a'i harysgrifen, ni chrybwyllasom yn y cwbl ond yn unig yr achosion a'r achlysuron tybiedig nesaf at yr arwyneb. Yn ddyfnach na dim a enwasom, gweithredai deddf fawr mwy cyffredinol; wedi cyfnod penodol cyrhaeddir eithafradd. Mae gwrthweithiad yn dygwydd. Yn mhlith tonau y môr adnabyddir prif-don. Gwelir dylanwad yr un ddeddf yn haenau crystyn y ddaear. Amlwg oddiwrth yr haenau i gyfnodau derfynu mewn eithafgyrch. Dysgir yr un gwirionedd yn nghyfresi cyrn yr anifail Yn nghyfansoddiad coedydd a llysiau canfyddir arddangosion cyffelyb. Nodir y nodwedd gyfresol hon yn nhymeredd yr hin. A'r nodwedd hon sydd mor amlwg yn y byd materol, llysieuol, ac anifeilol, a welir yr un mor eglur yn y byd dynol. Nid yw drychfeddyliau yn gydwastad yn nghwrs gweithrediad y meddwl. Yn ymddadblygiad gwybodaeth cyrhaeddir tro-bwyntiau. Yn gyffelyb yn ysgogiad deddfau moesol. Nid yw gyrfa bywyd unrhyw berson dynol heb ei *wrth*weithiadau. Pasia heibio gyfnod o lacrwydd moesau a chrefydd, yna daw diwygiad sydyn. Wedi i'r oferddyn dreulio amser penodol yn dilyn nwydau, o'r diwedd echryda ato ei hun, ymegnia am fywyd rhagorach. Felly yn hanes cenedloedd. Y mae rhyfel yn dilyn heddwch; mae diwygiadau yn dilyn tymorau digynydd a gorthrymus. Yr oedd deddf fawr o'r fath ar waith yn Groeg. Mae hanes yr Atheniaid yn llawn o'r eithaf-raddau. Ar wastadeddau eu bywyd cenedlaethol mae boglynau mawrion ac amryfath. Yr oedd yr eilunod a lenwai y ddinas wedi cael eu bodolaeth yn finteioedd, ar wahanol adegau. Y mae bron yn sicr iddynt ddod o dan law y cerfiwr yn niferoedd yn niwedd cyfnodau. Yr oedd ymddangosiad amryw o honynt yn dynodi pwyntiau neillduol yn hanes y bobl. Yn gyffelyb gyda golwg ar yr allor dan sylw; mae yn fwy na thebygol iddi gael ei chodi ar adeg gynhyrfiadol, ddiwygiadol, wrthweithiol; o bosibl yn ddilynol i gyfnod o lacrwydd mewn moesau, annuwiaeth ac anghof o Dduw.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## AWDWR CYFIEITHIAD "GRAY'S ELEGY."

Ganwyd y Parch. David Davis, awdwr y cyfieithiad uchod, Chwefror 14, 1745, o rieni cyfrifol, yn y Goetre-Isaf, yn Ngheredigion. Tebygol fod crefydd yn gwreiddio yn nghalon Mr. Davis yn ieuanc. Dywed am dano ei hun fel hyn:

"Gwel'd fy nhad yn plygu 'i liniau
Mewn defosiwn hwyr a boreu,
Barodd i mi'n blentyn gyntaf
Feddwl am y Duw Goruchaf."

Wrth fugeilio'n llencyn egwan,
'Ddeutu wyth neu naw o oedran,
Ar y banc mewn rhedyn tewion,
Rhwng y defaid a'r da duon,
Syrthiais gyntaf ar fy neulin."

Yr oedd yn ysgolor gwych. Wedi cwblhau ei addysgiaeth, efe a ymsefydlodd ar y cyntaf yn Nghiliau Aeron; ond ar ol ei urddo yn gyd-weinidog a'r Parch. Dafydd Llwyd, yn Llwyn-Rhyd-Awen, a manau eraill, efe a symudodd i Gastell-Hywel, a gelwid ef byth er hyny yn Davis, Castell-Hywel. Yn 1775 priododd â Miss Ann Evans, o'r Foelallt, dynes hardd a chymeradwy, o dylwyth parchus. Bu iddynt naw o blant, pump mab a phedair merch. O ran person yr oedd yn hardd a lluniaidd, o faintioli mwy na'r cyffredin; ei wallt oedd felynwyn, a'i edrychiad yn wystl o burdeb calon. Yr oedd o ran ei farn yn Ariad—gosodai bwys neillduol ar Undod Duw. Prawf mai nid Trindodwr oedd, yw yr ymgom a fu rhyngddo a'r Parch. D. Saunders, o Ferthyr. Y prif waith a gyhoeddodd mewn rhyddiaith oedd cyfieithiad i'r Gymraeg o draethawd a elwir "Bywyd Duw yn Enaid Dyn," gan Henry Scougal, yr hwn a argraffwyd yn 1779.

Fel prydydd yr oedd yn enwog, a chafodd casgliad o'i weithiau barddonol, dan yr enw "Telyn Dewi," ei gyhoeddi yn y flwyddyn 1824. Eglur yw, ei fod yn llwyr gydnabyddus â rheolau y mesurau caethion. Mae melusder a theimlad byw yn rhedeg trwy ei holl waith. Ei gyfieithiad o *Gray's Elegy*, a welir yn y rhifyn hwn, a ystyrir yn rhagorol iawn, ie, yn rhagorach yn nhyb llawer na'r gwaith gwreiddiol ei hun, ac a ddarllenir gyda blas tra bo Cymro, Cymru, a Chymraeg.

WYR I'R CYFIEITHYDD.

Yn mhrif swyddfa y Pennsylvania R. R. Co., yn Philadelphia, mae ŵyr* i'r Parch. D. Davis, awdwr cyfieithydd "Gray's Elegy," yn *Auditor of Disbursements* er's blynyddau, ac yn ddyn o safle ac o ymddiried uchel, sef Thomas R. Davies, Ysw., yr hwn sydd yn Fedyddiwr, yn gallu siarad Cymraeg yn groew, ac yn meddu ar rai o elfenau goreu ei Daid. Cymerwn ein rhyddid yma i ddyfynu rhan o lythyr caredig Mr. Davies atom, sydd yn cyfeirio at ei enwog Daid, a'r cyfieithiad o'i eiddo:

"Your impressions of my grandfather's character are but just. He was notwithstanding his Unitarianism, most highly esteemed by all who knew him, and not less so by his Trinitarian neighbors. He was pre-eminently the advocate of the poor and the needy, and in his defence of the weak against the oppressive legislation of the English Government he attracted that attention from it, as to have caused a visitation to inquire as to who he was, &c., the inquest proving him to be a man of integrity and of blameless repute—the stir caused by his writing passed over. I may here mention an incident in my early life, which I recall, even now, with pleasure. When a resident of Pittsburgh, about the year 1843-4, Robyn Ddu yr Eryri happened to be the guest of a family I there lived with. On learning who I was, he immediately, and with apparent feeling, referred by name to my grandfather as the translator into Welsh of Gray's Elegy, adding that it was a pity it had not again been *re*-translated into English, because of the surpassing beauties with which it had been invested by his translation. Young as I was then, and considering how recent had been my separation from home and kindred, I felt a thrill of pleasure to hear so warm a commendation of my grandfather's effort from a man whom I had heard of as pre-eminently gifted as a Welsh poet. As a memento of his kind criticism, I ventured to ask him for an englyn. He rapidly wrote off the following:

'Thomas Rees Davies, difalch,
Yn un na fyn anian falch,
Wyr i hen fardd oreu'n fyw,
A iawn addysg hen heddyw.

Cais ras a rhinwedd ar hyd
Dy yrfa mewn daearfyd;
Y ddraig na chaffo 'th ddrygu
Yn nawdd Iôr, medd

ROBIN DDU.'

You will doubtless infer from all this that notwithsanding my forty years' sojourn in this my adopted country, I still regard with intense love Gwyllt Walia. Excuse my Welsh spelling, 40 years of exile o wlad anwyl fy ngenedigaeth, a swn peraidd ei hiaith ragorol, is calculated to make the best of her sons rusty, especially after 40 years continuous residence amongst the almost pure Saeson.

Yr eiddoch mewn caredigrwydd,

THOS. R. DAVIS."

* Nid *mab* iddo, fel yr hysbyswyd yn y WAWR am Awst.

## NODION O DDYGWYDDIADAU DIWEDDAR.

Ar gais y golygydd, wele ychydig o *hash* wedi ei wneyd i fwydo darllenwyr y WAWR. Os nad yw flasus, beier y *cook*. Ac eto nid hawdd penderfynu, rhwng amledd pethau, beth i osod i fewn; ac nid rhwydd dethol yn unol â chwaeth pawb.

1. Mewn cysylltiad â *phersonau*, y mae dygwyddiadau gwerth eu nodi wedi cymeryd lle yn ddiweddar, megys

Fod y Parch. D. Rhoslyn Davies, Kingston, wedi enill y wobr ar "Y Dymestl," yn Eisteddfod Efrog Newydd; a'r Parch. D. S. Thomas, St. Clairs, yn "oreu o ddigon" ar brif destyn Eisteddfod y Gorllewin. Rhagoch, frodyr!

Fod yr ysgrifenydd wedi cael *surprise* gan bobl ei ofal; lluaws o honynt yn dwyn eu hanrhegion a'u hwynebau siriol i'w loni a'i gyfoethogi. Hefyd *surprise* i'r Parch. George E. Rees, Philadelphia—pwrs o $500, a gwerth ychwanegol, yn gwneyd y cyfanswm tua $700.

Rhagfyr 22, cafodd y Dr. Fred. Evans adeg hapus, yn Franklyn, Pa.,, yn y persondy a adeiladwyd erbyn ei ddychweliad o Gymru, gwerth, yn cynwys y tir, nid llai na $6,350. Ymgynullai torf o gyfeillion y Cymro poblogaidd, a rhoddwyd côd yn cynwys $160 yn arian, carpet gwerth $200, &c., &c.

Yn y nodion am bersonau dylid coffa fod y Parch. William R. Williams, New York, wedi treulio *haner can' mlynedd* yn weinidog ar un eglwys—Amity Street; a bod y Seneddwr John Bright, o Loegr, a edmygwn fel y gwnawn y pregethwr C. H. Spurgeon, wedi cyrhaedd ei 70 mlwydd oed y dydd o'r blaen, a'i weithwyr, 1,500 o honynt, wedi gwneyd yr achlysur yn enwog.

Y mae rhai personau wedi myned i ffordd yr holl ddaear yn ddiweddar, nas gallwn lai na'u henwi fan yma. Yn y WAWR am Ionawr yr oedd, gyda chrybwyll am farwolaeth ac angladd y gogoneddus Dr. Thomas, Pontypool, awgrym fod y Barnwr Lush, gynt yn aelod yn eglwys y Doctor, yn Llundain. Erbyn hyn mae y bugail a'r barnwr wedi cydgwrdd yn y nef. Hefyd bu farw yr athraw enwog Proffeswr Jonathan Jones, o Lewisburgh, a'r llafurus a'r medrus Dr. V. R. Hotchkiss, Buffalo, N. Y.

2. Nodion o bethau *enwadol a chrefyddol.*

Fod y *Baptist Encyclopedia*, gan Dr. Cathcart, Philadelphia, awdwr "Bedydd yr Oesau" a gweithiau eraill, newydd ei gyhoeddi, yn ddwy gyfrol hardd (imperial 8vo.), ac yn waith o lafur a gwerth mawr.

Teimlid gan weinidogion Philadelphia a'r cylchoedd, fod angen neillduol am dywalltiadau Ysbryd Duw ar y gweision a'r eglwysi. Y mae amryw gyfarfodydd gweinidogaethol wedi eu galw yn y ddinas, i gydymgynghori a chydweddio yn nghylch hyn. Mewn rhai manau y mae "cawodydd bendith eisoes yn disgyn. Yn hen eglwys Beulah, tua 13 milldir o Coatesville, bedyddiwyd 13 y Sabboth cyntaf o'r flwyddyn. Prysured yr Arglwydd foreuddydd llwyddiant mawr ar ei achos drwy hyd a lled ein gwlad.

Y mae Dr. Broadus yn ysgrifenu nodion yn y *New York Examiner and Chronicle*, ar y Gwersi am 1882, oll o'r Efengyl yn ol Marc; Efengyl y Gwasanaeth, gan yr hwn a "ddaeth, nid i'w wasanaethu, ond i wasanaethu!" Dyna efengyl gyfaddas i gychwyn yni a gweithgarwch yr eglwys. Y mae a fyno *gwasanaeth prysur* a llwyddiant eglwysig, fel a llwyddiant masnach.

Yn y *National Baptist*, yn ddiweddar, ysgrifenodd yr hybarch a'r anwyl Dr. Bevan, Clark's Green, ar "Gymundeb Caeth," fel ei gelwir, yn yr hon ysgrif y sylwa nad yw wedi ymneillduo mewn ysbryd oddiwrth ei frodyr o enwadau eraill, ac, wrth derfynu, rhoddir ateb llawn i gwynion brodyr fel y Parch. R. H. Evans ac eraill. Dyma y frawddeg wedi ei gwisgo yn Gymraeg: "Nid yw y Bedyddwyr caeth, fel eu gelwir, yn sefyll ar ffordd yr enwadau sydd yn arfer bedydd babanod, rhag bod yn un corph, ac felly osod terfyn ar eu hymraniadau a'u hanghyd-

fodau hwy." "Y meddyg, iachâ dy hun."

3. Nodion *Gwladyddol a Chyffredin.*—Phillips, Marshall & Co., Llundain, a brynasant yn ddiweddar 1,300,000 o erwau o dir yn Nhalaeth Mississippi, gyda bwriad i ail-werthu i ymfudwyr Lloegr.

Y mae ymfudiaeth y flwyddyn sydd newydd ein gadael, wedi cyrhaedd 440,000. Dygwyd gan yr ymfudwyr nid llai na *naw neu ddeg miliwn o ddoleri* i gyfoethogi ein gwlad.

Rhaid fod Efrog Newydd yn cynyddu yn gyflym mewn cyfoeth a phoblogaeth. Y flwyddyn ddiweddaf adeiladwyd 2,424 o dai yn y ddinas, gwerth $47,784,670!

Gwawriodd y dyddiau gwell ar feibion llafur yn ein gwlad. Erioed ni bu gwaith mor fywiog, a masnach mor llwyddianus. Erioed ni bu gwyliau yn America pan y gwariwyd cymaint am roddion gwyliau a'r tro hwn. Arwydd dda.

Erbyn hyn ymddengys fod dyled ein Llywodraeth yn *llai o'r haner* na dyled Prydain Fawr, ac ond ychydig dros *un rhan o dair* o ddyled Ffrainc. Y mae hyd yn nod y *London Times* wedi dyweyd, "The finances of the United States may excite the *envy* not only of England, but of Europe." Diolch am hyn.

Gwnaed cyfrif o'r bobl oeddynt bresenol yn y gwasanaeth Sul, Tach. 16, yn nhrefydd Lloegr, a chafwyd prawf amlwg nad yw lluaws y bobl yn mynychu yr Eglwys Wladol. Mewn rhai manau cafwyd dwywaith cynifer yn Ymneillduwyr; a hyny yn *Lloegr*, nid yn Nghymru.

Yn fuan bydd y Senedd yma yn ymwneyd o ddifrif a'r pla Mormonaidd. Llwyddiant i bob ymdrech i'w lwyr ddifodi o'n tir! Yn Llundain, y dydd o'r blaen, ymosododd y *mob* ar genadadon y sect hon. O'r Hen Wlad y daw yr adgyfnerthiad i'r eglwys yn Utah, a gresyn meddwl fod ambell Gymro yn cael ei hudo i dderbyn y gau-grefydd hon.

Dydd Calan bu peth gwarthus iawn yn Washington, D. C. Tra yr oedd y Llywydd Arthur yn croesawu ymwelwyr i'r Ty Gwyn caed llofrudd y diweddar Lywydd yn derbyn *callers* yn y carchardy. O'r canoedd hyny a ymwelsant â Guiteau, dywedir fod *gwragedd* yn gwneyd i fyny dros bedair rhan o bump. Digon gwarthus yr olygfa yn y Llys, ddydd ar ol dydd, eithr dyma y *climax* mewn gwarth. Tybed nad oes gormod ffwdan mewn cysylltiad a chreadur mor ddiwerth. Teimlais, er ys tro bellach, y carwn sibrwd gair yn nghlust yr Ynad enwog Cox: "*Too much waste of ammunition upon such small game.*" Wel, daw y terfyn; y mae yn agosâu yn gyflym. Nid oes fawr le i amheu y bydd y diwedd yn *grogi.* Euog-farnwyd ef gan y rheithwyr. Datgenir teimlad y wlad yn Awdl Cadwgan Fardd, a gyhoeddwyd yn rhifyn Ionawr o'r Wawr:

"Guito heb wyro tra byd—a wdier
Fel adyn dychrynllyd;
Y gwydlawn lofrudd gwaedlyd,
Ei doi â gwarth raid i gyd."

Bellach, ddarllenwyr hynaws, rhoddaf fy ysgrif-bin o'r neilldu y tro hwn, gyda dymuno i chwi oll, ac i'r Wawr a'i golygydd, "Flwyddyn Newydd Dda." E. Edwards.

*Coatesville, Ion. 12, 1882.*

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

Hanes y Bedyddwyr yn mhlith y Cymru, o amser yr Apostolion hyd y Flwyddyn 1795. Gan y Diweddar Barch. Joshua Thomas, Llanllieni. Dan olygiad y Parch. B. Davies, Pontypridd. Cyfieithiedig o Ysgrif-Lyfr yr Awdwr, gyda Llawer o Ychwanegiadau gan y Golygydd.

Dyma un-rhan-ar-bymtheg o waith un o'r hanesyddion mwyaf diwyd, a geirwir, ac ymdrechol a feddianodd enwad erioed. Gorphenir y gwaith mewn tri rhifyn ychwanegol, chwe' cheiniog yr un. Yr oedd Joshua Thomas yn gyd-oeswr â'r enwogion Dr. Thomas Llewelyn, Morgan Edwards, Isaac Backus, yr haneswyr, i'r rhai yr ydym yn awr o dan gymaint o rwymau am ddechreuad eglwysi ein Hen-

wad. Yr oedd Joshua Thomas nid yn unig yn gydoeswr, ac yn gyfrinachwr agos a'r rhai hyn, fel y mae genym lawer o brofion, mae enwau rhai o honynt yn britho dalenau y rhifynau dan sylw.

Cyhoeddodd Joshua Thomas gyfrol o hanes y Bedyddwyr, fel y mae yn wybyddus i lawer. Y mae eto ar gael a chadw mewn rhai manau, er yn lled brin. Parotodd Joshua Thomas yr un hanes yn Saesneg, gan fwriadu i'w gyhoeddi yn yr iaith hono. Y mae yn *quarto* drwchus o bump i chwe' chant o du dalenau, fe allai ragor. Y mae yn meddiant Athrofa y Bedyddwyr yn Caerodor (Bristol), Lloegr, fel y mae yno lawer iawn o ysgrifau eraill ar gael a chadw, o waith awdwyr Bedyddiedig y cyfnod hwnw. Y mae Dafydd Jones, Caerdydd, yn rhagymadrodd ei hanes, yn cyfeirio at ysgrifau Joshua Thomas, yn meddiant Athrofa Caerodor, rywbeth dros ugain mlynedd yn ol. Yr oedd yr ysgrifenydd ar *vacation* o'r athrofa, ac mewn Eisteddfod a gynelid rywle yn y cyfnod hwnw yn Mlaenau Rymni, pan oedd Cynddelw, Nefydd, Dr. Price, Aberdar, Lewis Jones, Treherbert, yn awr, a H. Thomas, Lansford, ac yr wyf yn meddwl, Ioan Emlyn hefyd, yn bresenol. Yr oedd yn gynulliad o gryn rwysg, a chafwyd yno, fel y byddai Nefydd yn dweyd, "lawer o ddifyrwch." Yr oedd gan Nefydd lygad am fusnes yn nghanol y difyrwch hefyd; a rhywbryd rhwng cyfarfodydd yr Eisteddfod, mynodd hamdden i holi yr ysgrifenydd, os gwyddai rywbeth am ysgrifau hanesyddol Joshua Thomas, at y rhai y cyfeiriai Dafydd Jones yn rhagymadrodd Hanes y Bedyddwyr. Tua'r amser hwnw yr oedd Dr. T. Rees yn cyhoeddi ei hanes o *Nonconformity in Wales*, ac yn dweyd rhywbeth fel hyn am ysgrifau gwreiddiol Joshua Thomas: "These MSS., no doubt, are very valuable, but after repeated search in Bristol, London, and elsewhere, we have failed to meet with them," neu rywbeth o'r fath. Nid oedd eisiau rhyw lawer o "*search*" i gael o hyd iddynt yn yr athrofa yn Bristol, y lle mwyaf tebyg i ddod o hyd iddynt, a lle yr oedd Dafydd Jones yn dweyd yn benodol eu bod ar gael; oblegid y mae y llyfrgell werthfawr hono yn cael ei chadw yn hynod o drefnus. Ar gais Nefydd, drwy'r ysgrifenydd, cafodd fenthyg y *quarto* drwchus, a bu yn ei feddiant am flwyddyn neu ragor. Yr oedd yn ei feddiant pan ymadawodd yr ysgrifenydd a'r athrofa, a thalodd i rywun am ei chopio oll, a dychwelwyd hi eilwaith, ac y mae yno eto ar a wyr yr ysgrifenydd. Ni wyr yr ysgrifenydd ddim o'r hanes olynol, pa fodd y daeth y copi hwn, os o'r copi hwn y mae'r rhifynau hyn yn gyfieithiad. Ond y mae yn gyfieithiad gwerthfawr, ac y mae'r *notes* yn rhoddi profion o allu ymchwil hanesyddol, ac yr hyn y byddai yn anhawdd i Nefydd ei hunan i ragori. Y mae yn gaffaeliad gwerthfawr at ein hanes, ac yn deilwng o gefnogaeth rhagorolion yr eglwysi, yn llen a lleyg.

Diau y gwneir rhyw drefniad i'w ddwyn ger bron yr eglwysi; os cawn hamdden, cymerwn y cyfleusdra cyntaf i wneyd sylw pellach am dano, ar ol darlleniad mwy manwl o'i gynwysiad. Nid yw Nefydd yn fyw; ac os bu yr hynaws a'r cyfeillgar William Roberts farw, y mae eraill cyflawn mor alluog, wedi eu gadael i ofalu am arch hanesyddol yr Enwad. Pob llwyddiant i'r brawd Davies i orphen y gwaith yn anrhydeddus. D. T. DAVIES.

*Girardville, Pa., Ion.* 4, 1881.

---

**HANES CYMDEITHAS ELUSENGAR UTICA A'R CYLCHOEDD o i Sefydliad yn 1849, hyd Ionawr 1, 1882. Gan J. C. ROBERTS. Hefyd CRYNODEB SEISNIG O'R HANES, yn nghyda CHYFANSODDIAD A RHEOLAU Y GYMDEITHAS, yn ol fel y mabwysiadwyd hwy mewn ffurf ddiwygiedig, Chwefror 24, 1881. Utica, N. Y.**

Yn y Rhaglith, hysbysa yr awdwr ymchwilgar a chraffus, Mr. John C. Roberts, un o olygyddion galluog y *Drych*, mai yr achlysur, mewn rhan, o'i chyfansoddiad oedd cynygiad o wobr gan Gymdeithas y Cymreigyddion, am Draethawd, yn cynwys "Hanes Cymdeithas Elusengar Utica a'r Cylchoedd," ar gyfer Eisteddfod y Calan, 1881. Ac y mae cyhoeddiad o enw ein parchus gyfaill, Mr John C. Roberts, fel y cyfansoddydd, yn dangos ar unwaith mai iddo ef y dyfarnwyd y wobr.

## GOFYNIAD.

A wna rhyw frawd roddi, neu awgrymu, rheswm paham y mae y naill ddarn o ddyn yn *fenywaidd*, a rhan arall yn *wrywaidd?* Yn y WAWR ddiweddaf y mae y golygydd yn datgan ei syndod fod y brawd D. E. Bowen, "ac efe yn Gymreigydd da," yn dweyd, "y droed *hon*," yn lle "y troed *hwn*." Yn awr, dywedir, y law *hon*, y goes *hon*, y glust *hon*, yr asen hon, y galon hon; eithr y troed *hwn*, y tafod *hwn*, y pen *hwn*, y bawd neu y bys *hwn*, &c Carwn i Giraldus, neu ryw un a allo, roddi cyfrif, os oes cyfrif i'w roddi, am yr hynodbeth hwn. Gwyddom fod ieithoedd eraill yn gosod *rhyw* gwahanol ar wahanol ranau o'r corph —y Lladin a'r Groeg, er engraifft; gwyddom hefyd fod yr ieithoedd hyn yn amrywio oddiwrth eu gilydd, ac oddiwrth y Gymraeg, pan yn nodi *rhyw*. Dywed y Lladinwr *lingua*, y tafod *hon*, ac felly y Groegwr *glossa*, y tafod *hon;* eithr tra yr arfera y Lladinwr ganolryw am fraich, *brachium*, y mae y Groegwr yn arfer y gwrywaidd, *brachion;* ond lle y dywed y Groegwr am glust, *ous*, canolryw, dywed y Lladinwr, fel y Cymro, y glust *hon* (*auris*). Amlwg yw fod y dullweddau hyn yn sylfaenedig ar egwyddorion; ac eto ymddengys nad yw yr ieithoedd yn efelychu ac yn canlyn eu gilydd. Dichon y bydd ychydig oleuni ar hyn yn dderbyniol i eraill o dderbynwyr y WAWR, yn gystal a'r eiddoch,

*Coatesville.* E. E.

---

## "HON" vs. "HWN."

MR. GOL.—Diolch i chwi am "Fân-Lewyrchiad" ar y rhagenwau uchod. Mae genyf fi awdurdodau goruchel dros y gramadegiad. Cyflogodd y Parch. W. Owen a minau geffyl a *buggy* unwaith i fyned i Gymanfa Oneida. Yr ail ddydd aeth y ceffyl yn gloff ddychrynllyd. Gyrwyd am feddyg yn ddioed. Yr oedd y brawd o Pittsburgh wedi cynhyrfu o waelod ei fol i fyny gan y gyflafan. Bloeddiai nerth ei geg, yn ol y Saesneg, "Doctor, Doctor! *the foot*, SHE *is sick, sir!*" Edmygwn yr awdwr gymaint fel y llyncais y gystrawen heb ystyried. Ond yn awr gwelaf yn amgen. Gallaf *ddaclino* rhagenwau yn awr yn rhigwm heb ddim rhagor. "Y troed hwn," y llaw hwn, y fraich hwn, y goes hwn, y graig hwn, y lleuad hwn. DELTA.

---

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Gofidus genym nad oedd iechyd y brawd hoff John D. Hughes, Johnstown, Pa., yn gystal ag arferol pan ar ein hymweliad diweddar a'r lle. Gobeithiwn ei fod ef wedi gwellhau erbyn hyn. Nid oes yn yr holl wlad gyfaill ffyddlonach i'r WAWR.

—Ysgrifena y Parch Wm. M. Evans, Cattaraugus, N. Y., dyddiedig Ion. 11, fel hyn: "Yr ydym yn cadw cyrddau diwygiadol er dechreuad y flwyddyn, a da genyf hysbysu nad yw ein hymdrech yn ofer. Y mae pump wedi aros yn y gyfeillach. Diolch i'r Nefoedd am hyn."

—'Roedd Dr. Fred. Evans (Ednyfed) yn darlithio gyda y brodyr yn Newburgh, Cleveland, O., ar y 24ain o'r mis diweddaf.

—Ebe y Parch. D. S. Jones, Thurman, O.: "Your excellent monthly, THE DAWN, is still advancing in merit. It is excellent. We will have to change its name, and call it the *Sun*, or *Meridian*. Rev. D. W. Morris' articles are very interesting. Rev. Wm. Jones' articles are strong."

—Y brawd D. D. Griffith, Church Hill, a ysgrifena: "Digon tlawd yw hi ar y mwnwyr yma yn bresenol. Y mae un gwaith wedi sefyll yn hollol, a'r gweithiau eraill yn rhy lawn."

—Mae yr eglwys yn Remsen wedi ei cholledu yn ddirfawr yn y blynyddau diweddaf trwy farwolaeth amryw o frodyr a chwiorydd rhagorol. Un o golofnau goreu yr achos yno oedd y

brawd anwyl a pharchus Evan Pugh, a fu farw yn ddiweddar, a chofiant yr hwn ymddangosodd yn rhifyn Ionawr.

—Gwelwn fod y brawd diniwed, y Parch. Daniel E. Bowen, yn cyflym wella oddiwrth ei niweidiau trymion—prawf eglur o hyny ydyw yr hoenus nwyd a arddengys yn ei nodyn, "Hon *vs.* Hwn."

—Yn y dyddiau hyn mae ein meddwl yn fynych yn y lleoedd yr ymwelsom â hwynt yn y Gorllewin yn ddiweddar. Adgofiwn gyda hoffder ein cefnogwyr yn mhob man. Cofion atoch oll, gyfeillion anwyl.

—Pan yn Palmyra, O., yr haf diweddaf, a'r tywydd yn dwym iawn, hebryngwyd ni yn garedig mewn wagen gyffredin ganddryll (yr oreu oedd wrth law), gan yr hen frawd tirion, y Parch. William R. Jones, o'r gymydogaeth hono, at dy y Parch. Allen J. Morton, yn Parisville. Yr oedd y ceffyl wedi gweled ei ddyddiau goreu, ac am hyny nid oedd ei symudiad yn rhyw gyflym ryfeddol. Teimlai y brawd Jones y dylasai yr anifail er hyny wneyd gwell amser, a symud yn gyflymach yn mlaen, ac er sicrhau hyny defnyddiai y *whip* yn dra aml, (yr oeddwn yn rhyfeddu am hyn hefyd, a'r brawd Jones yn ddyn mor galon-feddal), a dywedai yn fynych, "*Get up, sir!*" a chyda hyny yr ydoedd y *whip* ar waith. "Yn awr, frawd Jones," meddwn, "peidiwch, wir, a churo cymaint ar yr hen greadur, a'i *syrio* yr un pryd." "Iê, on'te fe," meddai yntau.

—Pasiodd y cerddor medrus, y Proffeswr Aubrey Powell, yn ardderchog yn Eisteddfod Utica, y Calan. Deallwn fod ei gyngerddau wedi rhoi boddlonrwydd cyffredinol hefyd yn y cymydogaethau.

—Yr oedd yr hin yn *neillduol* oer yn Utica a'r amgylchoedd y dyddiau cyntaf yn y drydedd wythnos o Ionawr.

—Ebe fy mrawd Evan (Ieuan Dwyfach), o Gymru, "Wn i ddim a glywaist ti yr englyn beddargraffyddol a ganlyn i'r diweddar Iorwerth Glan Aled. Y Parch. Anthony Williams a'i hadroddodd wrthyf. Nid wyf yn cofio pwy ydyw ei awdwr; dyma'r englyn:

"Y parodfawr fardd prydferth—sy'n y bedd,
O swn byd a'i drafferth;
Mor wir a marw Iorwerth,
Farw o gân fawr ei gwerth!"

Dyma englyn eto o waith Evan ei hun:

"ATAT TI, O ARGLWYDD, Y DYRCHAFAF FY ENAID."

Fy nolef ar fy neulin—yma ar Iôn,
Fo am ras yn ddibrin:
Yn nhymor oes mae ei rin
I fy loesau'n felyswin.

---

# Barddoniaeth.

## COFFADWRIAETH

Y PARCH. THOS. HOLLAND, DODGEVILLE, WIS.

O, briod mwyn, a brawd mad—gwr anw
Gwir enwog ymddygiad,
A throediodd trwy iawn weithrediad
O fewn idd ei dy 'n fwynaidd dad.

Ein mwyn Holland, un manylaidd—yn ddewr
Gwnaeth ddirwyn oes sanctaidd;
Parod ei gyngor puraidd,
A Duw 'n ei ras dan ei wraidd.

E dystia gyda dwysder—yn groyw,
Mor gry' oedd ei hyder
Yn yr Iawn a'i gyflawnder,
Porth a wnaeth darpariaeth Nêr.

Agor o drysor rhad Iesu—a wnai
Mewn hwyl wrth bregethu;
Dylanwad y cariad cu
Yn arfer ei gynhyrfu.

Traethai o'i fodd am noddfa—i gleifion
Trwy glwyfau 'r Messia,
A dygai faeth, doraeth da,
Yn gol fawr o Galfaria.

Ei ddull ydoedd ddealladwy—yn ymdrech
I ymdrin heb fympwy
Am arlwy gwledd y marwol glwy',
A'i oludoedd anchwiliadwy.

Cymydog enwog iawn oedd—un llonaidd
Yn llanw ei gylchoedd;
Mewn iaith a phob gwaith ar g'oedd,
Caredig, cywir ydoedd.

Ond angeu yn ei dynged—ataliodd
'R un teilwng ei weithred;

O'r gwneyd a fu mawr gnwd a fed
Yn ei noddfa yn un addfed.

O'i roi'n gudd dan raian y gwys—wylo
'Nawr welir trwy'r eglwys;
Ei gruddiau 'n ddagrau gwir ddwys,
Mewn galar am 'r un gwiwlwys.

A wele 'r dwfn alar du—yn orchudd;
O! archoll i'w deulu;
Rhoi 'n ei fedd yr hwn a fu
Yn dad addas i'w dedwyddu.

Y fam fwyn trwy oer gwyno—mewn hiraeth
Mae'n awr yn ymlwybro,
A'i holl deulu 'n hallt wylo
Gan brudd-der, trymder y tro.

Duw o'r nef a'i dangnefedd—a fyddo
Yn fuddiol ymgeledd,
I'w dwyn heb goll oll i hedd
Caersalem, lle ceir sylwedd.

*Dodgeville, Wis.* MEREDYDD EVANS.

## Y CWMWL.

GAN Y PARCH. S. CHESHIRE PIERCE, BEVIER, MISSOURI.

O, gwmwl paentiedig, wyt hardd ar y nefoedd,
Mae'th olwg yn rhwysgfawr wrth symud yn mlaen,
Fel angel yn nofio mewn môr o oleuni,
A glesni sidanaidd ei fantell yn blaen;
Mae'n ymdaith gan dynu ysgrifell o'i edyn,
'Sgrifena wych ddrama ar wyneb y nen;
Tyr gwmwl addewid am wlaw neu am desni,
A gorsedd i'r haulwen yn nwyrain y llen.

O! 'r olwg lesmeiriol sy'n ffurfiau y cwmwl,
Breninol gatrodau o'i gylch sydd yn gwau,
Athrylith yn berwi trwy'r holl arddangosfa,
A'r swynion yn tanio fy nghalon yn glau;
'D oes dim ar y ddaear i ddyn mor ddyddorus
A gweled henafol genadwr y nen
Yn myn'd, er iawn drefnu, a harddu holl anian,
A deddf yn ei galon—deddf natur ddilen.

Y cwmwl sy'n sefyll fel piler i'r enfys,
A'r enfys fel colofn i'r cwmwl clâer wyn,
Sy'n codi y moroedd i groth y ffurfafen,
Ac ynddo y genir y gwlith bychain gwyn;
I lawr y diderfyn lasawyr y llithrant,
Dyferant gusanau i'r brith feillion hardd,
Yn dyner a gloew, yn ddagrau yn treiglo
O lygaid y nefoedd, ar rudd dlos yr ardd.

Mae'r deyrnas lysieuol, y dolydd a'r gerddi,
Mae anian yn methu gan syched a gwres,
Mae dyn ac anifail, a chorau y llwyni,
Yn cwympo i wewyr o herwydd y tes;
Ond ha! dacw gwmwl, mae'n faich o addewid,
Mae'n llawn o fendithion—mae'r môr yn ei ael;
Holl natur a wena tra'r cwmwl yn siarad,
Gan grogi fel gem tlws yn nghlust dde yr haul.

Ymledu mae'r cwmwl, mae'n dduach na'r noson,
A chladda lusernau tanbeidiol yr Iôr;
Mae swn ei bistylloedd fel miwsig rhyw seraph
Fu'n creu ei leddf donau yn eigion y môr;
Y daran a'r fellten, magnelau y Brenin,
Fel byddin o dân yn ein bygwth uwch ben;
Ond buan y derfydd eu swn yn y pellder,
Tra cwmwl yn gwlawio bendithion o'r nen.

Gogoniant ei liwiau ysblenydd newidir,
Mae'n harddach na'r saphir, neu'r glân lili gwyn;
Ei falm ar y ddoldir feillionog ddyhidlir,
Cabola garpedau gwyrddleision y bryn;
Gollynga belydrau yr haul dan ei aden,
Gwna'r ddaear Edenaidd yn llonwedd ei llun;
A'r glesni rhamantus sy'n chwareu 'n ei rimyn,
Yn ddarlun barddonol o'r nefoedd ei hun.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## III.

### AFFRICA.

Bydd i ni dy gadw, ddarllenydd, yn rhy hir gydag Affrica, wrth son yn fanwl am yr holl gymdeithasau sydd ar y maes yn llafurio er gwella y cyfandir hwn. Beth bynag, at y rhai a nodasom yn y WAWR y mis diweddaf, y mae ychydig eto ag sydd yn deilwng o sylw. Gan ein bod yn bresenol a'r wlad hon dan ein sylw, gwell i ni, er defnyddio rhifyn neu ddau yn ychwangegol o'r WAWR, yw cymeryd golwg mor gyffredinol arni ag sydd yn bosibl. Mae un gymdeithas, yr hon a enwir "Y Gymdeithas Gydgenedlaethol er Diddymu Caethwasanaeth, ac i agor Canolbarth Affrica." Cychwynwyd hon yn y flwyddyn 1876. Llywydd y gymdeithas ydyw Leopold II., brenin Belgium. Is-Lywyddion y gymdeithas ydynt Llywyddion presenol Cymdeithasau Daearyddol Berlin, Vienna, Paris, a Llundain. Dyben y gymdeithas hon yw archwilio canolbarth y cyfandir, gwneyd ffyrdd newyddion trwy ei ran-

au tu fewnol, a rhoddi terfyn ar y gwaith dieflig o fasnachu mewn bodau dynol. Mae gan y gymdeithas hon yn barod ddynion wrth y gwaith â'u holl egni yn ffurfio llinell ar draws y cyfandir, a sefydlu gorsafoedd i genadon a theithwyr i orphwys ar y ffordd o'r Dwyrain i'r Gorllewin, o Bagamoyo i Loanda. Bwriedir cadw ynddynt gyflawnder o bob peth a fydd eisiau ar deithwyr a chenadon. Ni fyddant yn hollol fasnachol, na chwaith yn grefyddol; ond bydd pob croesaw i genadon perthynol i unrhyw enwad i gael nodded o dan eu haden. Dan nawdd y gymdeithas hon y cymerodd Stanley ei daith ddiweddar i fyny ar y Livingstone River.

Y gymdeithas olaf a gawn ni nodi ydyw y "Livingstone Inland Mission," yr hon a gychwynwyd ychydig dros dair blynedd yn ol. Amcan mawr hon yw danfon i ddyffryn eang y Congo gymaint a ellir o efengylwyr Cristionogol; ac yn gymaint ag fod y tir yn y dyffryn mor rhad, llafurwyr brodorol mor lluosog, ac yn alluog i weithio am gyflogau cydmarol isel, ni ddanfonir allan neb ond a fydd yn foddlon defnyddio y cyfleusderau, a bod mor lleied ag fydd yn bosibl o faich ar y gymdeithas. Nid oes cyflog yn cael ei sicrhau i neb o genadon y gymdeithas hon. Rhoddir iddynt yr hyn na allent gynyrchu trwy eu llafur a'u diwydrwydd yno, a dim rhagor. Mae Canolbarth Affrica yn faes cenadol hollol wahanol i China, Japan, India, a manau eraill. Yn y gwledydd diweddaf a enwyd mae anmhosiblrwydd ar ffordd y cenadon i ddarparu ar gyfer angenrheidiau eu cyrph, heb dynu yn ormodol ar eu hamser; o ganlyniad rhaid iddynt gael cynaliaeth o gartref, neu bydd amcan eu mynediad allan yn cael ei golli. Beth bynag, yn Nghanolbarth Affrica, lle mae y ddaear mor fras, ffrwythau yn cael eu cynyrchu mewn cymaint o gyflawnder, cyfoeth naturiol y wlad mor aruthrol, tuedd y bobl mor gryf at y dull cyfnewidiol o fasnachu, mae hunan-gynaliaeth y cenadon yno, i raddau, yn dod yn beth hawdd, o'i gydmaru a China a gwledydd eraill. Bydd cario yn mlaen waith cenadol yn y dull hwn yn sicr o fod yn llwyddianus iawn yn mhen amser. Nid yn unig ca y paganiaid ddylanwad Cristionogaeth yn y pregethiad o honi, ond byddant yn uniongyrchol o dan ei dylanwad yn mywyd parhaus y cenadon. Pe yn ymddibynu ar efengyleiddio Canolbarth Affrica â chenadon cyflogedig yn unig, cymerai gyfnod hir iawn, ac arian braidd tu hwnt i gyfrifiad. Ond trwy y cynllun uchod gellir danfon llawer mwy yno, a phob un a ddanfonir yn gallu cario mwy o ddylanwad ar y trigolion.

Mae dyffryn y Congo yn unig yn 900,000 o filldiroedd ysgwar. Byddai rhoddi un cenadwr ar gyfer pob can' milldir ysgwar o hono yn gofyn 9,000 o genadon; a pha gymdeithas sydd yn alluog i gynal un rhan o ddeg o'r fath nifer? Ond os ceir dynion wedi ymwadu a hwy eu hunain mor llwyr, (ac fe'u ceir—yr ydys yn eu cael yn awr,) fel ag i fyned yno, ac ymdrechu er mwyn Crist a'r pagan, i gynal eu hunain, a byw ar yr hyn allant gasglu, ac mewn tai o'u gwneuthuriad eu hunain, mae gobaith, fel hyn, yn mhen ychydig flynyddau, i lanw dyffryn eang y Congo â chenadon y groes. Bernir na fydd hunan-gynaliaeth y cenadon yn Affrica yn ffaith hyd nes y sefydlir gorsaf yn Stanley Pool, o'r fan mae y Congo yn nofiadwy, am fil o filldiroedd i mewn i'r wlad. Y mae rhwystrau braidd anorfod i gyrhaedd Stanley Pool, am fod y wlad mor fynyddig, a'r afon a chymaint o raiadrau arni. Ond yn bresenol mae amryw orsafoedd wedi eu sefydlu yn barod ar y ffordd i'r Canolbarth. Mae un yn Mataddi, islaw i raiadr Yellala, a chan' milldir oddiwrth y môr. Nis gellir myned a bad o unrhyw fath ar yr afon yn uwch na'r fan hyn, hyd nes cyrhaeddir Stanley Pool. Mae dau genadwr yn sefydlog yn Mataddi, o'r enwau Harvey a McKergon. Ar dwyn 1,600 o droedfeddi o uchder, 50 milldir tu hwnt i Mataddi, mae gorsaf arall o'r enw Paraballa, lle mae Mr. Craven a'i wraig yn llafurio gyda gradd helaeth o lwyddiant. Tua 60 milldir yn fewnol eto

mae Banza Montike, y drydedd orsaf. Yn ymyl yr orsaf hon mae y brenin Makorklto, yr hwn sydd ar delerau da neillduol â'r holl genadon a'r teithwyr. Mae dau o genadon yma a'u gwragedd, set Richards a Johnson, yr olaf yn dysgwyl symud bob dydd yn mhellach i mewn i'r wlad, i gymydogaeth Manyanga a Stanley Pool. Oni bae sefyllfa anfordwyol y Livingstone (neu y Congo) o'r môr i fyny hyd Stanley Pool, buasai Canolbarth Affrica heddyw mor bysbys i'r byd ag ydyw America. Mae y 32 o raiadrau sydd ar yr afon, o Stanley Pool i'r môr, wedi cloi Canolbarth Affrica mewn tywyllwch caddugawl trwy yr oesau. Oes ar ol oes, ei dyfroedd cyflym a nofiadwy, a deithia trwy ganoedd o filldiroedd o'r tiroedd brasaf yr edrychodd dyn arno erioed, eto heb ddim rhagorach yn eu nofio na cheufadau y brodorion tywyll ac anwybodus. Ond yn ol yr argoelion presenol bydd pethau yn fuan yn gwisgo agwedd wahanol. Synem ni ddim i glywed, a hyny cyn nemawr o flynyddoedd, fod agerfadau ysplenydd yn cychwyn allan yn wythnosol neu yn ddyddiol o Stanley Pool am Ganolbarth Affrica. Mae pob peth heddyw fel yn dweyd y bydd i Stanley Pool ddyfod yn ganolfan masnachol yn gystal a chanolfan cenadol. Mae yno dref bwysig, o angenrheidrwydd, i godi, a synem ni ddim i glywed cyn ein marw, fod y lle wedi dod yn brif orsaf y gwaith cenadol yn Affrica. Y mae 17 o genadon gan y Gymdeithas hon ar y maes yn bresenol. Y mae 20 wedi eu danfon ganddi i gyd, ond mae tri wedi colli eu bywydau yno. Ond er hyn, a llawer o rwystrau a phethau digalon eraill, eto nid yw y cenadon yn llwfrhau, ond parhant yn ffyddlon gyda'u gwaith; ac mae iddynt beth cysur yn y ffaith fod Duw yn llwyddo eu llafur. Pwy sydd a chalon a gras o'u mewn all beidio gweddio, Duw yn rhwydd i'r brodyr da hyn, ac a'u llwyddo eto yn mhellach?

---

—Gwell gan y Cristion farw yn ferthyr na byw yn wrthgiliwr.

## HANESION CARTREFOL.

### Capel Niles, O.

*Mr. Gol.*—Yn y Wawr am Ionawr, 1882, gwelais lith fer gan un a eilw ei hun "Brawd," yr hwn sydd yn gofyn trosto ei hun, a thros eraill hefyd, mae yn debyg, am gael cyfrifon teg genyf fi o'r swm a gesglais at gapel Niles, O., a hefyd y mae arno eisiau "gwybod i ba le yr aeth y treulion o $103 66?" Y mae y cais uchod yn eithaf teg, a buasai yr un mor deg hefyd i'r "Brawd" roddi ei enw priodol o dan ei lith. Gallwn ni gredu pe buasai amcan y "Brawd" hwn yn gywir, a'i ddyben yn dda, y buasai ar bob cyfrif yn rhoddi ei enw priodol o dan ei lith. Pwy ydyw ei frodyr? Gallaf gredu yn eithaf rhwydd nad ydwyf fi yn frawd iddo ef, onide buasai yn dangos brawdgarwch yn ei lith. Fel y mae yn hysbys i "Gymanfa" Ohio a llawer eraill heblaw cylch y Gymanfa, fod Cyfarfod Chwarter y Gymanfa hon, yr hwn a gynaliwyd yn Niles, Medi 17, 18, wedi pasio y penderfyniad canlynol: "Fod pwyllgor ymddiriedol i gael ei benodi i edrych dros gyfrifon casglyddol L. Mathias, Mineral Ridge, at gapel Niles, a'r pwyllgor hwnw i gyhoeddi y cyfrifon yn gyflawn yn y Wawr am fis Tachwedd. Y pwyllgor ydynt, William Williams, D. C. Thomas, a D. M. Job." Yn mhen amser byr ar ol i'r pwyllgor gael ei benodi aethum a'm cyfrifon i'r pwyllgor, a chawsant weled y cyfrifon yn deg a boddhaol. Yn y Wawr am Rhagfyr daeth mynegiad y pwyllgor allan. Paham na buasai y "Brawd" hwn yn rhoddi ei wydr-ddrychau am ei drwyn, yna gwelsai ar unwaith mai mynegiad pwyllgor awdurdodedig Cwrdd Chwarter Niles oedd yn y Wawr, ac nid fy eiddo i. O ganlyniad, paham na buasai y "Brawd" hwn yn cyfeirio ei ofyniad at y pwyllgor, ac nid ataf fi? Myfyried "Brawd" ychydig ar onestrwydd a thegwch cyn ysgrifenu pethau o'r fath eto. Bydded hysbys i'r "Brawd," fy mod i wedi trosglwyddo fy nghyfrifon i'r pwyllgor, gan ddys-

gwyl gweled y cyfrifon yn argraffedig yn y WAWR, sef y swm a gesglais yn mhob man, a'r treulion, fel eu rhoddais iddynt hwy. Credwyf mai teg fyddai i'r wlad gael gwybod hyn; a hefyd yn mhellach teg fyddai i'r ddau gasglwr arall a fu yn casglu at gapel Niles i wneyd yr un peth. Hyn hyd y tro nesaf. LAZARUS MATHIAS.

*Mineral Ridge, O.*

NEW CAMBRIA, MO.

Y dydd cyntaf o'r flwyddyn yn y lle hwn oedd ddydd hir-ddysgwyliedig, gan fod yr enwog Dr. Cefni Parry wedi addaw talu ymweliad â'r lle. Daeth y dydd, a daeth y Doctor. Traddododd dair o bregethau; a'r farn gyffredin ydyw na chafwyd eu cyffelyb yma o'r blaen. Dywedodd un yn yr oedfa hwyrol, fel am Simon Magus gynt, mai mawr allu Duw oedd hwn. Hefyd cawsom ddarlith nos Lun am ddinystr Gog a'i luoedd. Parhaodd y traddodiad ddwy awr. Nid oes angen llythyr canmoliaeth ar yr enwog Cefni.

DANIEL OWEN.

WHEATLAND, PA.

Ebe y Parch. D. Evans: "Bedyddiais un chwaer yma, Sul yr 8fed o Ionawr, ar broffes o'i ffydd yn Iesu Grist. Buasai yn proffesu gyda'r Annibynwyr. Hefyd tua mis cyn hyny bedyddiais ddwy chwaer, un ieuanc, a'r llall tua 70 oed, yr olaf wedi bod yn aelod am flynyddau gyda'r Annibynwyr. Nos Sul diweddaf, yr 8fed o Ionawr, dychwelodd dau wrthgiliwr."

LLYTHYR O MINNESOTA.

JUDSON, BLUE EARTH CO., MINN., Ion., 1882.

*Barchus Olygydd*—Yn amgauedig mae *draft* am $10.40, yn dâl am chwe' rhifyn o'r WAWR, ac un Llaw-lyfr Moliant, dros y personau canlynol—Morris Lewis a John Rees, Judson; Wm. R. Lewis, Cortland; Mrs. E. R. Jones, a Thomas D. Williams, Lake Crystal; Mrs. D. C. Evans, Mankato.

Anwyl Frawd—Dyma ni wedi cael byw i weled dechreu blwyddyn newydd unwaith yn rhagor, pan mae miloedd lawer wedi cael eu symud i'r byd mawr tragywyddol trwy lawer dull a modd—rhai trwy afiechyd a llofruddiaeth, ac eraill trwy ddamweiniau ar dir a môr.

Oddeutu pymtheng milldir i'r gorllewin oddiyma, saif tref New Ulm, daeth corwynt dinystriol heibio, a chwalodd y rhan fwyaf o'r dref, a chollodd amryw o'r trigolion eu bywydau; felly mae ein rhwymau ni yn fawr i ddiolch i'n Tad nefol am ei ofal drosom.

Yn y WAWR ddiweddaf, gwelais fod Dr. Fred. Evans wedi cael mordaith arw iawn ar ei ddychweliad i'r Gorllewin y tro diweddaf. Yr oedd yn dda genyf glywed ei fod ef a'i deulu wedi cyrhaedd pen eu taith yn ddiogel, a gobeithio y caiff hir oes i wasanaethu y Duw y bu yn gweddio mor daer arno yn ei drallod, ac y bydd yn foddion yn ei law i droi miloedd o gyfeiliorni eu ffyrdd at y gwir a'r bywiol Dduw. Er nad ydym ni yn cael y fraint o'i glywed ef na neb arall o'n brodyr Cymreig; ond fel mae y brawd Morris Lewis yn dweyd, yr ydym yn cael clywed RHAN o'r efengyl gan y brodyr parchus yr Annibynwyr a'r Methodistiaid, a phregethau da yn aml, yn enwedig yn Nghymanfa y Methodistiaid, yr haf diweddaf, gan y Parchedigion Hugh Davies, Middle Granville, N. Y., a Thos. R. Jones, Randolph, Wis.; ond mae Morris Lewis a minau mor selog dros ein credo, fel nas gallwn gyd-weled â hwy yn y bedydd. Ond y gwaethaf o'r cwbl yw, ein bod yn gwrthod cymuno gyda hwy, ac mae y Parch. William Jones, o Wisconsin, yn ein cadarnhau yn y ffydd yn barhaus trwy ei ysgrifau galluog i'r WAWR.

Mae y WAWR fach siriol yn dyfod atom yn brydlon bob mis, gan dywynu ei phelydrau dysglaer arnom, a'n lloni yn barhaus, a gobeithio y cawn y fraint o weled ei Golygydd parchus yn talu ymweliad â ni yn y Gorllewin pell yma ryw dro. Terfynaf, gan ddymuno llwyddiant i'r WAWR a'i Golygydd ffyddlon, yn nghyd a'i gohebwyr galluog, a'i derbynwyr oll yn mhob man, Yr eiddoch yn garedig,

JOHN REES.

Yr ydym yn dra diolchgar i'r brawd John Rees am ei lythyr caredig a dyddorol. Mae llythyrau o'r natur hyn yn gwneyd lles i galon ac ysbryd golygydd y WAWR.—GOL.

CYMANFA GERDDOROL

*Bedyddwyr Undeb Lackawanna, Pa., a gynaliwyd yn Hyde Park, dydd Calan, Ionawr 2, 1882.*

Daeth côr Providence a Taylorville, gyda chôr Hyde Park, yn nghyd. Cyfarfyddwyd yn yr addoldy, a dechreuwyd ar weithrediadau y dydd am haner awr wedi deg. Llywydd y dydd, B Hughes; Arweinydd Cerddorol, E. D. Jones; Ysgrifenydd, Llewelyn Roberts. Agorwyd y cyfarfod drwy weddi gan y Parch. J. P. Harris, Providence. Canwyd chwech o donau yn y cyfarfod hwn yn gymeradwy iawn.

Yr oedd y gwahanol gorau o ran lleisyddiaeth fel un côr mawr, dan feistrolaeth athraw oedd yn deall ei waith. Cafwyd anerchiadau pwrpasol gan John P. Lewis, Hyde Park; Jacob W. Evans, Pittston, a H. P. Davies, Kingston. Siaradai yr olaf yn athronyddol, nid yn sych, ond yn tueddu at y digrifol.

Am 2, wedi anerch gorsedd gras gan y brawd H. P. Davies, cafwyd anerchiad gan Lywydd y dydd. Canwyd rhyw chwech o ddarnau yn y cyfarfod prydnawnol, ac yn eu plith anthem, "Ar lan Iorddonen ddofn," &c. Yr areithwyr oddynt, yn gyntaf, John T. Williams, Hyde Park. Anogai y brawd hwn y corau i fwy o sobrwydd, a theimlad o bwys y gwaith yn y cyfarfodydd canu rhag-barotoawl. Siaradodd Samuel Edwards yn dlws a deheuig dros ben. Cafwyd araeth ddysgedig gan yr arweinydd, nid yn unig yn gerddorol, ond yn ramadegol a barddonol, a bydd cofio hir am dani gan ei ddysgyblion. Carem ei gweled yn argraffedig, "er lles i'r llu," yn enwedig penod y Corfanau, fel y clywid yn Ohio a Wisconsin nodiadau dyfnddysg Mr. Jones.

Am 6, gweddiodd D. B. Griffiths, Providence. Canwyd rhyw saith o donau yn odidog yn y cyfarfod hwn, ac yn eu plith "*Vital spark of heavenly flame*," &c. Siaradwyr yn y cyfarfod hwn oeddynt, y Llywydd, B. Hughes, Hyde Park; Thomas S. Evans a J. P. Harris, Providence. Gwnaeth y brawd Evans yn rhagorol. Testyn rhoddedig oedd gan Mr. Harris, sef, "Pa un ai lles ai niwed i ganiadaeth y cysegr y mae canu cystadleuol ac eisteddfodol wedi ei wneyd, ac yn ei wneyd?" Talodd yr areithiwr warogaeth deilwng i'r Eisteddfod—y gellid gwneyd cam-ddefnydd o'r hen sefydliad; ond dangosodd yn ddiamwys fod y drefn bresenol sydd gan aelodau eglwysig a blaenoriaid y gân yn ddiraddiad ar grefydd Mab Duw, ar y moddion eglwysig, ac ar ddydd yr Arglwydd. Hyderwn iddo argyhoeddi yr euog, ac y cymer diwygiad le; hefyd, y bydd mwy o gyd-ymdrech cyffredinol yn yr eglwysi i gynal mawl addoliadol yn ein cyfarfodydd. Darllenwyd yr emynau, &c., gan J. P. Harris. Fel hyn treuliwyd Calan 1882 yn ddyddorol iawn, gyda boddlonrwydd cyffredinol; a'r iaith gyffredinol oedd, "Melus, moes eto. GOHEBYDD, Hyde Park.

---

## YOUNGSTOWN, OHIO.

Ionawr 2, 1882, cynaliwyd cyfarfod er anrhegu plant Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr Neillduol yn y ddinas hon. Y rhai a flaenorent oedd yr Arolygydd, Thomas Jones, Proff. J. Phillips, John M. Evans, a John Davies yn gadeirydd. Cafwyd araeth fer, bwrpasol, er dangos dyben a natur y cyfarfod. Yn nesaf, cân gan y côr, yna aed yn mlaen gyda yr adroddiadau. Heb nodi y darnau, gan fach a mawr, a chanu yn gymysgedig â'r adroddiadau, gallwn ddweyd i ni gael un o'r cyrddau mwyaf buddiol a dyddorol a gafwyd yma er's blynyddau, a'r capel wedi ei orlenwi gan blant a phobl; ac yr oedd y darnau a adroddwyd yn dda oll, ac o natur foesol; felly cafwyd cyfarfod hynod fuddiol, a phawb wrth eu bodd. Ond nid dyna yr oll mewn dysgwyliad; felly ar ol gorphen yr adroddiadau a'r canu, yr oedd yn rhaid tynu y ffrwythau toreithiog ac addfed, llawn melusder, oedd ar y pren tlws, addurniadol, oedd yn y fan, sef *New Year's tree*, yr hwn oedd yn llawn o ffrwythau amrywiol, nes oedd ar dori. Ond nid pren y bywyd oedd, yr hwn sydd yn rhoddi ei ffrwyth bob mis—dim ond unwaith yn y flwyddyn—a'm dymuniad yw, i bawb, yn fach a mawr, droi eu gwynebau at y pren sydd yn rhoi ei ffrwyth bob mis, a phob dydd, os mynwch, a'i ddail yn iachâu y cenedloedd. Yna rhanwyd y ffrwythau rhwng y rhai bychain, a rhyfedd fel yr oeddynt yn cael eu boddloni, gan eu bod mor felus i'r genau; a thebyg, gan eu bod wedi eu boddloni mor dda yn hwn, y byddant yn awyddus am gael un eto yn fuan. Yna, ar ol anrhegu y plant, clywem lais y cadeirydd yn galw, "Mr. Probert and Mrs. Probert, come on here," er ein mawr syndod. Yna, ar ol i ni fyned i'r *platform*, gwelem foneddiges, chwaer anwyl o'r eglwys, yn rhoi het o'r goreuon ar fy mhen, a *shawl*, neu fantell Elias, ar gefn fy anwyl wraig, ac amryw bethau eraill yn ein dwylaw, yn nghyd a *phocket book*, yn cynwys $6.75 o arian—yr oll yn werth oddeutu $30—ac yn dweyd, "Nid yw ond bach, ond wele fi yn eu cyflwyno i chwi eich dau, am am eich gwasanaeth dros y gynulleidfa hon."

Yr oedd eu caredigrwydd yn annysgwyliadwy, ac yn anwybodus i ni Y mae gweithred yn llefaru yn uwch na geiriau. Pan y metha pob peth doddi y galon, medr caredigrwydd wneyd. Nis gallem ninau ddiolch y pryd hwnw, gan deimlad cynes a llaith, ond gwnawn hyny drwy gyfrwng y WAWR. Diolch yn fawr i chwi, frodyr a chwiorydd fu yn llafurio, ac i bawb a'ch cynorthwyodd er chwyddo yr anrhegion i fyny, heb enwi neb. Llwyddiant a'ch dilyno trwy y flwyddyn, ac hyd derfyn eich oes. Ydym, yr eiddoch hyd byth,

DAVID AC ELLEN PROBERT.

---

## HYDE PARK, PA.

Mae y gweinidog newydd, y Parch. John W. Williams, yn llwyddianus iawn yma. Pregethodd dri Sabboth yma (y flwyddyn hon). Nis gallodd fod yma y Sabboth diweddaf, o herwydd fod ei briod yn glaf iawn yn Philadelphia. Yno mae ei deulu eto. Ni welwyd capel Hyde Park erioed yn llawnach ar y Sabbothau nag yn bresenol. Hefyd mae y cyfarfodydd wythnosol yn hynod luosog. Mae 18 wedi dychwelyd yn barod at Grist. Sul yr 8fed, cafodd llythyrau cymeradwyol Mr. Williams eu darllen—saith o nifer—un gan yr eglwys o'r Drefnewydd, un gan y Gymanfa y perthyna yr eglwys hono iddi, un gan lywyddion Coleg Hwlffordd, Pontypool, a

Llangollen; un gan Gymanfa Morganwg, a'r llall gan Gadeirydd Undeb Bedyddwyr Prydain Fawr a'r Iwerddon. Y Sul diweddaf y bu priod B. Hughes, Ysw., gyntaf yn y cwrdd. Ymddengys yn ddynes foneddigaidd a charuaidd iawn. Dywedir ei bod hefyd yn grefyddol, ac yn Fedyddwraig o'r iawn ryw.

D. Z. DAVIES.

## CAPEL NEW YORK.

Yr ydym ni, Owen F. Parry, John R. Ellis, a Hugh T. Jones, (mae Hugh T. Jones wedi marw), wedi cael ein hethol yn bwyllgor gan Gymanfa Gymreig Talaeth Efrog Newydd, i chwilio i fewn i achosion capeli ac eiddo cyffelyb ag sydd mewn perygl o gael ei golli gan yr Enwad, o fewn cylch ein Cymanfa. Galwyd ein sylw gan olygydd y WAWR at nodyn a anfonwyd iddo, yr hwn a gyhoeddwyd yn y WAWR am Ionawr, 1882, oddiwrth un Mr. Isaac Williams, un o ymddiriedolwyr capel y Bedyddwyr Cymreig yn ninas New York, yn rhoi ar ddeall fod y capel a'r eiddo sydd yn dal cysylltiad ag ef mewn perygl o fyned yn eiddo personol, os na ellir gwneyd rhywbeth, a hyny ar fyrder, er ei waredu.

Yr ydym ni fel pwyllgor ac eglwysi yr Undeb yn teimlo i'r byw wrth feddwl am y fath beth, ac yn awyddus fel pwyllgor i gydweithredu â'r ymddiriedolwr, Mr. Isaac Williams, ac eraill, os oes rhywbeth a allwn wneyd er gwaredu yr eiddo a'i osod mewn sefyllfa i fod yn perthyn i'r enwad Bedyddiedig, tra y bo dwfr yn rhedeg. Gobeithiwn y gwelir eglwys Gymreig lewyrchus yn addoli Duw ein tadau o'i fewn eto. Os golygwch fod modd, trwy ein cydweithrediad ni a chwithau, ac eraill o'r ymddiriedolwyr yna, i waredu y capel, a welwch chwi, Mr. Williams, yn dda roddi *statement* mor agos ag y gellwch o'r sefyllfa y mae y capel a'r eiddo cysylltiedig, ynddo, naill ai trwy gyfrwng y WAWR, neu trwy ohebu â ni fel pwyllgor y Gymanfa. Gan nad ydyw y WAWR yn dod allan ond unwaith yn y mis, dichon mai gohebu â ni fel pwyllgor, a fyddai oreu.

OWEN F. PARRY, Gweinidog,
JOHN R. ELLIS,
Pwyllgor Cymanfa New York.

Remsen P. O., N. Y., Ion. 15, 1882.

## SEFYDLIAD CYMREIG CLAY CO., IOWA.

Mae y sefydliad uchod yn myned ar ei gynydd yn gyflym. Ni fu pethau yn ymddangos mor ffafriol yno erioed o'r blaen. Un prawf arbenig o hyn ydyw fod ffordd haiarn yn cael ei gwneuthur trwy gyrion y sefydliad gan gwmni cryf y Chicago and Northwestern Railway. Gwna y ffordd hon gyfnewidiad dirfawr yn nghyfleusderau y lle. Mae y tiroedd yn freision, a'r boblogaeth yn cynyddu yn barhaus. Nid hir y rhaid i rawd cynydd symud yn mlaen ar y raddfa bresenol cyn y byddo'r cymydogaethau hyn yn llawn, a'r tiroedd oll wedi eu prynu, ac o dan driniaeth. Nid yw yr ardal heb ei manteision crefyddol. Y mae dwy eglwys Gymreig yn yr ardal, un gyda y Methodistiaid, a'r llall gyda y Bedyddwyr. Y Bedyddwyr sydd yn cario y dydd, ac yn fwy felly o hyd. Y Parch J. W. Jones, y gweinidog, sydd bregethwr da, yn wr doeth, caredig, tyner galon neillduol. Teimla ei fod yn myned yn mlaen mewn blynyddau, ac yn teimlo fel rhoddi y weinidogaeth i fyny. Mae yr eglwys dan ei ofal yn llewyrchus, ac mewn teimladau crefyddol da, yn fwy felly na'r cyffredin o lawer. Peth mawr mewn eglwys ydyw cael brodyr call, hunan-ymwadol i flaen ori Yn wir, heb hyn, anhawdd cael nemawr drefn ar bethau; ac mae yn yr eglwys hon amryw o frodyr da felly, a lles yr achos a llwyddiant egwyddorion yr Enwad yn agos at eu calon. Dymunol i ni yn ddiweddar oedd cael bod yn eu plith am bythefnos. Yr un peth *an*nymunol oedd fod yr hin dipyn yn oer gan anadl finiog Rhagfyr. Yr ydym o dan rwymau neillduol i'r brodyr anwyl Thomas Evans, Thomas W. Morris, a'r Parch. J. W. Jones, a'u teuluoedd; ac yn wir croesawyd ni yn garedig gan y frawdoliaeth, a theuluoedd yr ardal yn gyffredinol. Da fuasai genym allu treulio ychwaneg o amser yn y lle. Methasom a chael egwyl i alw yn nghartref fy hoff gyfaill William C. Cymhellwyd fi i ddod yno y tro nesaf, yn yr haf melyn, er cael trem ar y wlad yn ei gogoniant.

G.

## DAWN, MO.

### *Cyfarfod Adroddiadol yr Ysgol Sabbothol, a gynaliwyd ddydd Llun, Rhagfyr 26, 1881.*

Mae Ysgol Sabbothol dda yma, ond fel pob man arall, yr ydym yn gadael lle i wella o hyd, &c.

Am 1 o'r gloch prydnawn dydd Llun, Rhag. 26ain, yr oedd ein haddoldy prydferth wedi ei orlenwi o Gymry a Saeson. Cymerwyd y gadair gan y gweinidog, R M. Richardson, yr hwn yn hollol ddiseremoni a alwodd ar y côr i ganu, dan arweiniad y brawd Isaac T. Jones, yr hyn a wnaethant yn gymeradwy, drwy ganu "O Dduw, rho im' dy hedd," &c Yna offrymwyd gweddi bwrpasol iawn gan yr hen frawd parchus a da, John Williams (y gof); wedi hyn cawsom adroddiad da, "The Christmas Hymn," gan Alice Williams; "Be careful what you say," gan Ruth Jones, yn hynod dderbyniol; "Didn't think," gan Hannah Evans; cân gan y côr; "Heavier the Cross," gan Jane Williams; "Genedigaeth Crist", gan Margaret Ann Evans; ac "Mewn undeb y mae nerth," gan Sarah J. Davies, yn feistrolgar ac yn effeithiol iawn. Yna canodd y côr "Beulah Land" Adroddiad rhagorol eto—"Crist yn ngardd Gethsemane," gan Thomas Williams. Adrodd "Cwymp ac adferiad dyn," mewn Cymraeg diledryw da, gan David Tudor

Lewis. Canodd y côr Cân yr Angelion. Adroddiad, "Yr Hen Flwyddyn a'r Flwyddyn Newydd," yn dda iawn, gan Mary Ann Jones. Y nesaf ydoedd Dadl Saesoneg, gan Lewis E. Davies a Margaret Jane Davies, yn ardderchog. Tôn, Sprange, gan y côr. Adroddiad da neillduol—"Sachaid o Bridd," — gan Alice Williams. Yna cawsom *Composition on Girls*, gan David Jones, yn dda iawn. *The Morning Comet*, gan Tommie E. Richardson, yn dda iawn. Yna canodd y cor, *The Great Physician*. Y nesaf ydoedd Dadl, "Y Ddinas Brydferth," gan Mrs S. J. Davies, Fannie E Richardson a Maggie James, yn ardderchog iawn. Yna cawsom adroddiad o'r 9fed benod o Ioan, wedi ei dosbarthu yn dda, gan nifer o blant Brush Creek. Dadl, Y Messiah, gan Margaret Ann Davies a Fannie E. Richardson. Cân gan y cor—Y Nefoedd. Adgyfodiad Lazarus, gan Jane Williams. Y nesaf ydoedd adroddiad, *Christmas Eve*, gan Maudie Greenor, yn ardderchog. Canwyd, *Are you Washed in the Blood?* Yna traddodwyd araeth gan y cadeirydd, ar Werthfawredd yr Ysgol Sabbothol fel Cyfrwng Gwybodaeth Grefyddol—y Pwysigrwydd o'i Phleidio fel y Moddion Effeithiolaf i Ddiogelu Rhyddid Crefyddol, &c. Yna cawsom Ddadl Saesonig, *Big and Little Things*, gan Willie a Johnnie Davies, a Fannie E. Richardson, yn ddoniol dros ben; a chyda llaw, teg yw dweyd, fod y bechgyn hyn yn adroddwyr penigamp; maent y naill flwyddyn ar ol y llall yn llafurio yn galed, a thrwy gymorth eu rhieni yn llwyddo i ddewis darnau dyddorol iawn. Llwyddiant iddynt. Adroddiad Saesoneg da—*The Soul*, gan Miss M. J. Davies. Yna canwyd, *Nothing but the Blood of Jesus*, yn dda iawn. Adgofion am fy Nhad, gan Mrs. Sarah J. Davies, yn dda iawn, fel arfer. Yna cawsom ddarlleniad dyddorol gan y cadeirydd—Tudur Aled a'r Bysgodwraig. Yn wir, yr oedd pob peth yn ddyddorol ac yn wir adeiladol.

Cawsom dywydd hafaidd a dymunol, cynulliad lluosog, adroddiadau diguro, a chanu teilwng o'r amgylchiad. Teimlai pawb awydd am gael cyffelyb gwrdd yn fuan eto. Wedi talu y diolchgarwch arferol i'r cadeirydd, canodd y côr yn fedrus yr hen dôn, *Huddersfield*, "Duw mawr y rhyfeddodau maith," &c. Diweddwyd trwy weddi, yna ymadawodd pawb wedi eu llwyr foddloni.

---

Dygwyddodd tro anffodus i'r hen frawd parchus Edward S. James, o'r lle hwn, pan oedd ef a'i briod, a Mrs. S. J. Davies, yn dychwelyd mewn wagen o bentref Dawn, trwy i'r ceffylau redeg, dyrysu a gwylltio. Dechreuasant gicio eu gilydd, ac wrth hyny taflodd un o'r ceffylau ei goes i *tongue* y wagen, a thorwyd ef yn ddau. Daeth rhyw rai yn mlaen i gynorthwyo; ond modd bynag, tra yr oedd yr hen frawd anwyl James o'r tu ol i'r ceffylau yn dadfachu y tyn dresi, cododd y ceffyl arall ei droed a rhoddodd gic dychrynllyd iddo ar asgwrn ei gern, o dan y llygad de, nes tori agoriad ofnadwy ynddo. Aeth un o'i ddanedd hefyd i mewn i'w dafod, gan ei rwygo yn glir i'r ymyl. Disgynodd Mr. James fel marw mewn pwll o'i waed ei hun. Cludwyd ef i swyddfa Dr. Webb lle y triniwyd ei glwyfau, ac y gwniwyd ei gern a'i dafod, a bu yno dros amser yn hollol anymwybodol. Yn wir, gwaredigaeth gyfyng ydoedd; ni welsom olwg waeth ar un dyn yn fyw nag oedd arno ef. Ond da genym allu hysbysu ei fod yn gwneyd yn dda, ac yn bendithio Duw am y waredigaeth ryfedd a gafodd megys o safn marwolaeth.

Yn y cyfyngder, pan oedd Mr. James yn gorwedd ar y ddaear yn ei waed, a'i briod serchog mewn gofid na wyddai beth i'w wneyd, gwelai er ei mawr lawenydd gymydog Cymreig yn dyfod yn ei wagen i'w cyfeiriad, yr hyn a lanwodd ei chalon yn nghanol ei holl alar â llawenydd. Ond Ow, ow! offeiriad neu Lefiad creluawn a dideimlad ydoedd. Wedi dyfod i'r fan, a gweled y Cymrawd yn ei waed, a than ei ddyfnion glwyfau, gomeddodd y gymwynas fach o'i gludo i'w gartref, dan yr esgus wael nad oedd ganddo amser.

GWENFFRWD.

---

## *PRIODWYD—*

Ion. 7, 1882, yn Parsons, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Isaac Evans a Miss Margaretta A. John; y ddau o'r lle uchod.

Cyflawnwyd y priodasau canlynol yn ystod y flwyddyn a basiodd, gan y Parch. D. Probert:

Ionawr 8, 1881, Mr. John E. Allen a Mrs. Hannah Evans; y ddau o Youngstown.

Mawrth 28, 1881, Mr. William Rees a Miss Mary H. Perkins; y ddau o Weathersfield.

Ebrill 16, 1881, Mr. David Davies a Miss Catherine Thomas; y ddau o Youngstown.

Gorph. 22, 1881, Mr. David P. Jones a Miss Elizabeth Thomas; y ddau o Church Hill.

Gorph. 16, 1881, Mr. John Jones a Miss Martha Hitchings; o Youngstown.

Hydref 22, 1881, Mr. John P. Delainy a Miss Annie Eynon; y ddan o Youngstown.

Tachwedd 9, 1881, Mr. Richard Morgan a Miss Viola James; y ddau o Youngtown.

Rhagfyr 3, 1881, Mr. Joseph Brown a Miss Mary E. Moss, o Girard.

Rhag, 24, 1881, Mr. David Jenkins a Miss Ruth Evans, o Youngstown.

Rhag. 30, 1881, Mr. Alfred Ludt a Miss Mary Martha Prichard; y ddau o Youngstown.

## *BU FARW—*

### MR. JOHN R. JENKINS.

Yn Minersville, Pa., Rhag. 9, 1881, o'r enyniad ar yr ysgyfaint, bu farw Mr. John R. Jenkins. Ganwyd ef Mawrth 25, 1824, yn Llanidloes, Sir Drefaldwyn, G C. Enwau ei rieni oedd Richard ac Ann Jenkins. Symudodd i Sirhowi, Mynwy, tua'r flwyddyn 1840. Yn 1845 bedyddiwyd ef yn yr un lle gan y Parch. Benjamin Williams, Tabernacl, Merthyr. Mawrth, 1846, priododd a Miss Mary Aubrey. Bu iddynt wyth o blant, dau o ba rai yn unig sydd yn fyw. Daeth i'r wlad hon, ac i'r lle hwn yn Awst, 1854, ac yma y treuliodd weddill ei ddyddiau. Bu yn ddiacon yn yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yma am amryw flynyddau. Bu ei iechyd yn gwaelu am rai blynyddau, ond yr oedd ei waeledd yn dyfod yn fwy amlwg yn barhaus er Gorphenaf diweddaf. Dau ddiwrnod cyn ei farwolaeth daeth i'r ty o'r *shop*, gan deimlo yn glaf, a myned yn salach a wnaeth hyd awr ei ymddatodiad. Claddwyd ef yn mynwent y Bedyddwyr Cymreig, pryd y daeth tyrfa luosog iawn o'i gydgenedl yn nghyd, ac y gweinyddwyd gan y brodyr R. Edwards, Pottsville; John Evans, Minersville, a D. S. Thomas, St. Clair.

JOHN R. JONES.

Rhaid i ni ohirio hyd y rhifyn nesaf, o herwydd diffyg lle, yr hyn sydd genym i ddweyd yn ychwaneg am y brawd rhagorol John R. Jenkins. Cydymdeimlwn yn ddwys a'i weddw alarus, ac a'r hen eglwys barchus. Yn rhifyn mis Mawrth bwriadwn roddi lle i sylwadau gwerthfawr gan y Parch. R. Edwards, heblaw gwneyd sylwadau ein hunain am yr ymadawedig frawd. GOL.

## LLYTHYR O GYMRU.

FFESTINIOG, G. C., Rhag. 19, 1881.

Anwyl Frawd—Yn gymaint ag mai chwi ydoedd y cyntaf fu yn pregethu yn y lle hwn mewn cysylltiad ag achos y Bedyddwyr, credwyf mai nid annyddorol genych fyddai gair o hanes yr achos yn ein plith, a gwybod pa fodd y mae y gwaith da yn myned rhagddo.

Dechreuaf gydag eglwys Seion, Four-Crosses. Hon ydyw yr hynaf o'r holl eglwysi yn y lle; ac y mae ganddynt addoldy hardd wedi ei adeiladu mewn lle poblog yn yr ardal; ac y mae golwg lewyrchus ar yr achos, o dan weinidogaeth Mr. Parry, yr hwn sydd yn bregethwr galluog a derbyniol, ac o gymeriad difrycheulyd, yn weithiwr difefl yn ngwinllan ei Arglwydd. Trwy ei ymdrech ef yn benaf y caed achos i'r Bedyddwyr yn Llan Ffestiniog. Y Sul diweddaf ydoedd Sul agoriad yr addoldy newydd sydd genym yn y lle, yr hwn a brynwyd gan ein brodyr yn Seion, am y swm o £330. Mae ynddo le i gynwys oddeutu 300 o bobl. Pregethwyd ar achlysur ei agoriad gan y Parchn. Robert Jones, Llanllyfni, J. J. Williams, Rhyl, ac Edward Parry, Seion; a chaed cyfarfod bendigedig, ac arosodd un o'r newydd ar ol. Llwyddiant i'r anturiaeth—dyna ddymuniad fy enaid.

Calfaria, eto. Eglwys fechan ydyw hon, yn llawn gweithgarwch, ac y mae genym addoldy hardd wedi ei adeiladu ar y Fron Fawr, gyferbyn a'r Farchnadfa; a'r 9fed, y 10fed, a'r 11eg o Fedi diweddaf ydoedd dydd ei agoriad; a'r gweinidogion fu yn pregethu ar yr achlysur oeddynt, Dr. Jones, Llangollen, Owen Davies, Caernarfon, Charles Davies, Lerpwl, ac Aaron Morgans, Felin-ganol, a chaed cyfurfod bendigedig. Credwyf na theimlwyd erioed y fath arwyddion o bresenoldeb Duw yn achub eneidiau i fywyd tragywyddol, ag a deimlwyd yn y cyfarfod crybwylledig. Yr ydoedd y brodyr yn eu hwyliau goreu, a'r gwirionedd yn cael ei deimlo yn allu anorchfygol; a phan yn y gorchwyl o ganu yr hen emyn bendigedig hwnw,

"O fy enaid, c'od dy olwg,
Gwel yn amlwg ben y bryn," &c.

Cangen ydyw perthynol i Calfaria; saif eu haddoldy yn ngwaelod Tan-y-grisiau, mewn lle poblogoidd a chyfleus. Gresyn na fyddai mwy o ddynion duwiol yn eu plith. Hefyd ein rhif oll yn Ffestiniog ydyw tua 350 o aelodau. Mae ein heiddo fel enwad yn Ffestiniog yn werth £4,430.

Gwasanaethed hyn y tro presenol Os byw ac iach fyddwyf, cewch air eto oddiwrthyf yn ystod y flwyddyn nesaf. Yr eiddoch, &c.,

ROBERT GRIFFITHS.

## EIN BWRDD BYCHAN.

—Mae Dr. Cefni Parry yn hynod boblogaidd a llwyddianus yn Bevier, Mo. Mae y capel yn rhy fychan i gynwys y gwrandawyr, ac am hyny helaethir ef gyda brys.

—Pan ar fyned i'r wasg, derbyniasom y nodyn canlynol oddiwrth Ednyfed: "Franklin, Ion. 30, '82. *Anwyl Giraldus*—Danfonaf yr Erthygl ar 'Blwyddyn yn Nghymru' yn ddiffael yr wythnos hon. Yr ydym yn cynal cyfarfodydd bob nos er y 1af o Ionawr, ac y mae yr Arglwydd wedi ein bendithio. Yr wyf eisoes wedi bedyddio 14, ac eraill yn aros am yr un fraint. Ysgrifenaf bedair erthygl. 1. Rhagymadrodd. 2. Cymanfaoedd Cymru. 3. Cyfarfod Chwarterol Morganwg. 4. Yr Enwad yn Nghymru.

—Ar y 25ain o Ionawr, dyfarnodd y rheithwyr yr anfad-ddyn Giteau yn euog. Gobeithiwn na chaniateir ail brawf iddo, yn ol y cais. Y creadur ofnadwy, nid yw gymwys i gael anadlu yn awyr ein daear ni.

Y WAWR.

CYF. VI.] MAWRTH, 1882. [RHIF. 12.

## ESBONIADAU YSGRYTHYROL.

GAN Y PARCH. H. O. ROWLANDS, M. A., OSHKOSH, WIS.

I astudiwr dyfal o'r Gair Dwyfol, y mae esboniad da arno yn gaffaeliad gwerthfawr. Mae esboniad yn debyg i ffon: mae *un* dda yn gymorth, ond mae cario dwsin yn faich. Mewn ambell i lyfrgell, yn enwedig eiddo pregethwr, gwelir lluaws o esboniadau; ac ymffrostir ynddynt fel pe baent yn gyfoeth duwinyddol a meddyliol. Dibyna gwerth llyfrau o'r nodwedd uchod ar eu natur, yn hytrach nag ar eu nifer. Yn wir, mae rhai esboniadau yn tywyllu y Beibl; *er eu gwaethaf* y gellir cael meddwl priodol y gair. Ychydig o esboniadau pregethol (*homiletical*) ydynt yn help. Mor bell ag y mae ysbrydolrwydd (*spirituality*) yn myned, mae y Beibl yn fywyd ac yn gynaliaeth i enaid newynog *fel y mae*. Y fath yw ei symledd, eglurder, a'i nerth, fel y gall yr hwn sydd yn rhedeg ddeall cyflawnder o hono i bob dyben ymarferol. Nid oes genyf un diolch i esboniad am ymgyfryngu rhyngwyf a symledd anwyl y gair. Geill yr enaid a ddynesa ato mewn ysbryd gweddigar a gostyngedig ddeall mwy o'i feddwl na'r hwn sydd yn ddysgedig ac yn ddeallus, ac eto yn fydol-ddoethyn. "Yn ysbrydol y bernir" y pethau hyn. Am hyny nid wyf i wedi derbyn nemawr les oddiwrth esboniadau ydynt yn pregethu ac yn ymdduwioli uwchben yr adnod hon ac acw, neu yr hyn a elwir yn *homiletical* ynddynt. Mae fel cymeryd canwyll i chwilio am haul y canolddydd, neu dori ffynon yn ymyl tarddellau bywiol.

Wedi hyny, mae manylderau annarfodol rhai esboniadau yn gwyn cyfiawn yn eu herbyn. Ymdebygant i ysbrydoliaethwyr y bedwaredd ganrif, pan yr oedd pob gair a llythyren o'r Beibl yn cael eu llusgo i wneyd gwasanaeth na fwriadwyd iddynt. Dyma fai neillduol yr esboniadau Germanaidd. Yn eiddo Lange mae y nodweddion uchod yn ei anafu yn dost. Mae lluaws o bethau gwir dda ynddo, ond mae cael gafael ynddynt fel chwilio am emau yn y tywod; gwaith mawr iawn ydyw. Mae y pregethwr a bryna Lange, yn talu am bwys o aflesrwydd er cael owns o help.

Mae *henaint* yn anaf rhai esboniadau. Perthyn i'r byd hwn mae'r esboniad, a "myned heibio" yw nodweddiad pob peth daearol. Mae llawer o bethau anwyl, euraidd, a bendithfawr yn yr esboniadau a gyhoeddwyd haner can' mlynedd yn ol, ond prin y maent yr hyn mae llyfrgell yr oes hon eu heisiau. Dylai yr ysgrifenydd esboniadol yr hwn sydd yn proffesu gwybodaeth o bethau teyrnas nefoedd, ddwyn allan bethau *newydd* yn gystal a hen. Mae daear-ddarluniaeth (*geography*) ysgrythyrol, darganfyddiadau henafiaethol, ieitheg, elfenau beirniadaeth, maent oll yn nghyda phethau eraill, yn elfenau bywiol o esboniadau Beiblaidd. Mae yr haner can' mlynedd diweddaf wedi

gwneyd cynydd annhraethol yn yr holl bethau hyn. Mae goleuni newydd wedi dyfod ar lawer o gyfeiriadau hanesiol a lleol yr ysgrythyrau. Mae yr iaith yn yr hon yr ysgrifenwyd y gair, (neu yr ieithoedd), wedi eu hastudio yn fanylach nag erioed; ac mae'r cynydd hwn yn galw am esboniadau wnant gydymdeimlo â'i ysbryd, a'i ddefnyddio i ddealltwriaeth mwy trwyadl o air Duw; ac nid oes amheuaeth na fydd esboniadau yr oes bresenol yn cael eu troi heibio yn y blynyddau dyfodol, i roi lle i rai gwell a galluocach.

I'm golwg i nid yw'r esboniadau a gyhoeddir yn fynych y dyddiau hyn, ac a elwir yn *anenwadol*, yn werth mawr, o leiaf i Fedyddiwr. Rhyw lasdwr gwan ydynt, yn colli eu nerth wrth geisio cyfaddasu eu hunain i wahanol farnau—camp na wnaeth dyn nac esboniad erioed eto gydag un math o lwyddiant. Gwell o lawer cael dyn *positive* yn wrthwynebydd, nag un yn ceisio cyfaddasu ei hun i bob plaid. Yr un fath gydag esboniad; dylai arwain y meddwl, nid gydag awdurdod, ond gyda goleuni ac argyhoeddiad.

Felly wrth brynu esboniad, credwyf y bydd yn fanteisiol i'r prynydd i ofalu am osgoi rhai o'r nodweddion uchod.

Mae esboniadau *hanesyddol* wedi profi i mi yn fwy o help i ddeall y Beibl, nag unrhyw fath arall; nid ydyw y rhai hyn yn myned dan yr enw esboniad, ond y maent yn eu cyflenwi yn rhagorol. Er engraifft, mae y llyfr a elwir, "Bywyd ac Epistolau Paul," gan Conybeare a Howson, wedi profi i mi yn fwy o help i ddeall yr epistolau hyn na'r oll a ddarllenais mewn esboniadau. Mae "Hanes Iesu Grist," neu ei "Fywyd," gan awdwr fel Geike, neu Farrar, neu Lange, yn gymorth mawr i ddeall yr Efengylwyr. Dyna weithiau Dean Stanley ar yr Eglwys Iuddewig, maent yn anmhrisiadwy; ac mae y llyfrau uchod yn rhad iawn yn awr.

Cynorthwyon rhagorol hefyd ydynt y llyfrau fel "Llawlyfr y Beibl," gan Dr. Angus, a'i gydymaith gwir deilwng gan Dr. H. Jones, Llangollen; hefyd, "*The Land and the Book*," gan Dr. Thompson. Da iawn yw *Horne's Introduction*, ond ei fod yn faith.

O'r esboniadau beirniadol, mae Alford yn sefyll yn mlaenaf; ond i ysgolhaig Groegaidd yn unig y mae hwn yn ymarferol. Mae drudaniaeth Ellicott, Delitch, Meyer, ac eraill o'r un dosbarth, yn eu gwneyd yn anhawdd i'r cyffredin i gael gafael ynddynt; ond y maent yn hynod o dda; nid ydynt heb *us*, ond mae y gwenith byw ynddynt hefyd. Mae esboniad Hackett ar yr Actau yn sefyll yn uchel iawn yn America ac Ewrop; mae yn fydadnabyddus. Mae y *Baptist Publication Society* yn Philadelphia yn gwneyd gwasanaeth gwir angenrheidiol a thra gwerthfawr i'r Enwad yn awr; y mae wedi ymgymeryd â pharotoi a chyhoeddi Esboniad ar y Testament Newydd, o waith gwahanol ddysgedigion yr Enwad, a'r oll dan arolygiaeth Dr. Hovey, o Athrofa Dduwinyddol Newton. Mae un gyfrol allan yn awr, ar yr Efengyl yn ol Marc. Yr awdwr yw Dr. W. N. Clarke, o Canada, diweddar o Newton, un o ddynion ieuainc mwyaf ymddiriedol a dysgedig yr Enwad. Mae yn llyfr wythplyg, o 250 o du dalenau, ar bapyr da, o rwymiad llian cryf. Ar y dechreu mae ynddo draethawd maith a hynod o oleu a beirniadol, gan Dr. Hovey, ar *ganon* y Testament Newydd. Mae hyn yn llyfr ynddo ei hun, heb son am yr Esboniad. Mae yr Esboniad yn cynwys Efengyl Marc, yn nghyfieithiad Iago ac yn y cyfieithiad diweddar. Mae sylwadau Dr. Clarke yn hynod ddyddorol; maent yn feirniadol, heb orfanylu; maent mor hanesyddol fel ag i daflu goleuni lleol, ac amser, ac amgylchiadau arweiniol, ar ddygwyddiadau bywyd Crist, fel ei croniclir gan Marc. Fel esboniad i'r dysgedig a'r syml, y myfyriwr a'r cyffredin, mae yn un o'r rhai goraf a welais; ac os ydyw yn ddangoseg gywir o'r gweddill o'r gwaith, bydd yn esboniad ar y Testament Newydd ag y byddwn fel Enwad yn falch o hono. Dylai ein brodyr edrych i mewn iddo.

## BLWYDDYN YN NGHYMRU.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS, D. D. (EDNYFED).

Nid yw yn unrhyw newydd i ddarllenwyr y WAWR, i mi dreulio blwyddyn gyfan yn Nghymru, yn 1880--1881. Yr wyf wedi treulio amryw flynyddoedd yno. Yno y treuliais y flwyddyn gyntaf o fy oes, a fy mam, yn Llandybie, Sir Gaerfyrddin, a wyr oreu am hono. Blwyddyn ddoniol oedd—blwyddyn y danedd a'r ymdrech—blwyddyn gosod i lawr sylfeini—blwyddyn hynod o bwysig; ac oni buasai hi, ni fuasai i mi yr un flwyddyn arall. Gwn lle treuliais y flwyddyn gyntaf, ond nis gwn pa le y treuliaf y flwyddyn olaf o fy oes. Nid eiddo gwr ei ffordd. Pe eiddo gwr ei ffordd, byddai yn anmhosibl cael ffordd o gwbl ar bethau. Yn Nghymru y llefarais y gair cyntaf, y traddodais y bregeth gyntaf, a hyny pan nad oeddwn ond ychydig dros bymtheg oed. Yn Nghymru y cefais yr eglwys gyntaf, yn Nghymru y priodais gyntaf; a phan y meddyliwyf am yr holl bethau hyn, a myrdd a mwy o bethau yn ychwanegol, nis gallaf lai na meddwl yn uchel am "Hen Wlad fy Nhadau." Yn nghwmni golygydd galluog a ffyddlawn y WAWR, a brawd da arall yn y weinidogaeth, croesais y môr am y tro cyntaf, yn nghyda'm teulu (bychan y pryd hwnw), yn yr agerlong *Manhattan*, dan lywyddiaeth Cadben Price, Cymro glan gloew, a morwr diledryw. Yr ydoedd hyny yn y flwyddyn 1866.

Mae penawd fy ysgrif yn fy ngwahardd i ddweyd dim am fy arosiad yn ngwlad yr eithafion.

O herwydd iechyd, neu yn hytrach afiechyd y wraig, yn y flwyddyn 1880 penderfynais fyned yn ol i Wyllt Walia.

Mr. Golygydd, y mae yn dda genyf am fy hen wlad, ac am fy nghydgenedl. Pe yn mhlith yr Americaniaid am oes Methuselah nid anghofiwn fy ngwlad, fy iaith, a'm cenedl. O, na! anghofied fy mam fi yn gyntaf; ond yr wyf yn sicr na ddygwydda hyny byth, canys rhoddais ormod o drafferth iddi pan yn fychan. Yn mhlith y gwledydd, gallaf edrych ar Gymru a dweyd heb ragrithio, "Ti a ragoraist arnynt oll." Nid oes yr un rith o alwad i ragrithio er dweyd yn dda am hen wlad y pregethwyr, beirdd, cantorion a chantoresau. Cymru a saif. Bydd ei chân yn felus, ei phryddest yn bur, ei hawdl yn nerthol, a'i phregeth yn iach. Yr ydoedd y fordaith yno yn yr *Erin*, dan lywyddiaeth y diweddar Gadben Andrews, yn bob peth ond dymunol. Cawsom wyntoedd croesion bob cam o'r ffordd. Aethom allan o lo cyn cyrhaedd Queenstown, a chawsom aros yno am ddeg o oriau Rhoddodd hyn gyfleusdra i ni i ymweled a Queenstown, yr hon sydd yn dref hardd iawn yn hafan Cork. Dyma le pwysig mewn ystyr ymfudol. Yma yr ymgyrcha y miloedd o'r Iwerddon aflonydd am yr Amerig. Llawer bradwr diras sydd wedi prynu tocyn yma, a llawer un sydd wedi profi ei hun yn felldith i gymdeithas a gwlad, sydd wedi rhoddi ffarwel i'r lle hwn. Mae Queenstown yn enwog am ei masnachdai, a hefyd am ei hadeiladau Pabyddol. Wedi gweled y dref, a Pat a'i gert a'i asyn, aethom yn ol i'r agerlong. Cyrhaeddasom Liverpool ar nos Sul, pan yr ydoedd y bobl yn ymadael a'r gwahanol eglwysi. Buasai yn dda genym fod yno mewn pryd i glywed un o Boanerges Cymreig Lerpwl yn traddodi y genadwri fawr. Un o'r rhai cyntaf a gyfarfyddais yn Lerpwl oedd y Parch. L. W. Lewis, gweinidog dirodres, gweithgar, ffyddlon a galluog St. Paul's Square. Mae Mr. Lewis yn un o fechgyn goreu y weinidogaeth Gymreig. Wedi ychydig o ymdroi yn Lerpwl cychwynais am Maesteg, D. C.

Lle hynod ar lawer ystyr yw Maesteg. Ymddengys yn allanol yn bob peth ond *maes teg*. Mae gweithfeydd glo a haiarn y lle wedi cyfnewid gwyneb y ddaear, nes yr ymddengys yn hollol amddifad o ogoniant paradwysaidd. Cul yw y dyffryn, bychan yw y nant, a moel yw y mynyddoedd. Nid yw y gweithiau wedi cael llawer o chwareu teg; ond yn ddios y mae yma ddyfodol ardderchog i'r lle hwn

Enw y plwyf yw Llangynyd, ac yn Eglwys y Plwyf y claddwyd y "Ferch o Gefnydfa." Yn mynwent y Llan y gorphwys llwch Wil Hopkin, ei hen gariad. Yma hefyd y gorwedd gweddillion marwol y Parch. Samuel Jones, Brynllywarch, dyn enwog yn ei ddydd. Yr oedd yn un o'r rhai a drowyd allan o Eglwys Loegr yn 1662. Bu ganddo ysgol enwog iawn yn Brynllywarch.

Os nad yw Maesteg yn un o'r lleoedd tecaf o ran golwg allanol yn Nghymru, y mae ynddo bobl mor garedig, gonest, diragrith, heddychol, a chrefyddol ag a geir mewn unrhyw faes yn Nghymru neu yn America. Treuliais flwyddyn hynod o ddedwydd fel gweinidog Salem. Mae hon yn un o'r eglwysi goreu yn Nghymru, ac y mae iddi air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Mae sêt fawr Salem yn rhagori ar yr un yn Ngwalia. Maent yn hynod o hwyliog, ond gwyddant y gwahaniaeth rhwng swn a synwyr, a rhwng synwyr a swn. Cewch ambell i frawd (?) y mae yn hynod hwyliog gyda rhai brodyr neillduol, ac yn hynod ddiflas gyda brodyr eraill. Yn gyffredin y mae hwyl y rhai hyn yn eu cylla, ac y mae yn gas genyf feddwl am danynt. Nid yw'r creadur yma i'w gael yn Maesteg. Mae yma un o'r capeli harddaf ac eangaf yn Nghymru, ac y mae mor hawdd siarad ynddo ag anadlu. Ni bydd genyf ond adgofion melusion am Salem a'i phobl.

Gwyddoch, Mr. Golygydd, ac anwyl ddarllenwyr y Wawr, mai Maesteg yw maes llafur yr addfwyn a'r athrylithgar Barch. R. Hughes. Treuliasom lawer o oriau gyda'n gilydd, a chawsom amryw gyfeillachau dyddorol. Medda fy anwyl frawd Hughes gallineb y sarph, a diniweidrwydd y golomen. Aeth i'r athrofa yn Mhontypool, o Bethania, Maesteg, a daeth i Bethania, Maesteg, o Bontypool, ac ā o Bethania, Maesteg, i'r nefoedd. Mae yn gorphoriad byw o burdeb, callineb, ac athrylith. Mae yn bur fel brawd, yn gall fel cyngorwr, ac yn athrylithgar fel pregethwr. Ni wna ddim niwed i'r abwydyn; ond os creda rhyw walch hunanol a diegwyddor y gall efe wneyd fel y gwelo yn dda â Mr. Hughes, gall benderfynu cyn dechreu, mai achos hynod aflwyddianus fydd ei eiddo. Mae ei lygaid yn ei ben. Meddylia fel efe ei hun, a thraddoda ei feddyliau fel y gwna y Parch. R. Hughes, Bethania; iddo ef yn unig y mae yn debyg. Bydd melus fy myfyrdod am dano, ac am ei deulu caredig a thalentog a diymhongar. Mae Bethania yn gapel eang, ac yn llawn o wrandawyr astud.

Er cyrhaedd Maesteg gyda'r trên, y mae'n rhaid cyrhaedd Penybont. Yma y bu farw yr enwog a'r hynod Owen Michael. Mae darllenwyr hanes y "Gweinidog Tlawd," yn y *Bedyddiwr*, yn gyfarwydd ag ef. Bu farw, a chladdwyd ef, a'r oll mewn perffaith gydgordiad â hynodrwydd ei fywyd. Yr oedd yn boenus o od, ac yr oedd ei hynodrwydd ar brydiau yn ymylu ar anfoesgarwch. Er y cwbl yr oedd yn ddyn galluog a chydwybodol. Claddwyd ef yn mynwent Trelales, yn agos i Benybont.

Deallwyf fod Mr. Jones, gweinidog y Cynulleidfaolwyr yn Mhenybont, wedi ymwadu yn hollol â bedydd babanod.

"Y byd ddaw'n well, bedyddio wnant."

Yn agos i'r lle hwn y mae y Pyle, lle y bu amryw yn gweinidogaethu, ond yn mhlith y llu bu dau gawr pwlpudyddol, sef Mathetes, a Roberts fawr o Ferthyr; a'r olaf oedd y mwyaf o ddigon fel siaradwr ac fel areithiwr. Ni fu Mathetes erioed yn siaradwr da. Ni wyddai ond ychydig yn ymarferol am araethyddiaeth. Nid oedd ganddo lais da iawn, ac nid oedd wedi haner meistroli hwnw; ac arweiniai hyn ef ar rai adegau i siarad ychydig yn wawdus am y "doniau peraidd." Os nad oedd yn feistr ar ei lais, arno ei hun ac ar ei dymer, yr oedd yn feistr ar ei bwnc.

Nid oedd Roberts fawr yn feistr ar ei bwnc, ond yr oedd yn feistr ar y gynulleidfa. Trueni i'r fath feistr gael ei feistroli gan feistriaid bychain a dinystriol. Er ei holl ddiffygion y mae gan y cynulleidfaoedd barch i'w enw.

Pregethais a darlithiais yn y Pyle, ac ymddangosai ysbrydion y ddau fawr yma yn eglur iawn o fy mlaen yn dra mynych.

Yr un mwyaf poblogaidd a fu yn y Pyle erioed yw Tywysog Cymru. Talodd ymweliad ag Abertawe Hydref diweddaf er agored y *docks* newydd, ac ni welais yn fy myw y fath ffyliaid a phobl y rhan isaf o Forganwg mewn cysylltiad ag ymweliad un nad yw yn deilwng o'i deitl. Tywysog Cymru, yn wir! Galwent ef yn Dywysog Zululand, a bydd yna fwy o gydgordiad rhwng y dyn a'i deitl. Gobeithiwyf na wna Eisteddfod y Cymry iselhau ei hun eto trwy ofyn i'w Fawrhydi roddi benthyg ei enw. Costiodd ei ymweliad â Chastell Margam, neu Neuadd Margam, rai miloedd o bunau. Ni fu yno ond ychydig o oriau. Costiodd ei ymweliad ag Abertawe filoedd lawer, a gorfu ar y tlodion dalu eu rhan mewn trethi er dileu y ddyled a achoswyd gan y *show* a'r *elephant*. Gwerthai y gwahanol gapeli (rai o honynt) eu ffenestri i ddynionach gweigion awyddus i weled yr *elephant*, a gwnaethant y cwbl er talu y ddyled ar eu hanwyl Seion. Beth ddaw o eglwysi y *circus?* Os mai dangos parch i'r Frenines a wnaeth Abertawe, gan ddefnyddio ei mab fel cyfrwng, *all well and good*. Gosodir yr ymweliad yma i lawr fel un o brif ddygwyddiadau yr oesau. Maddeued y darllenydd i mi am aros cyhyd gyda'r *elephant*.

Awn yn ol eto i Maesteg. Rhyw fan hynod o ganolog yw Salem. Rhywbeth tua naw milldir sydd o'r lle hwn i'r lleoedd pwysicaf yn y wlad. Naw i Benybont, ac y mae yr *asylum* yno; naw i Gastellnedd, ac y mae y llys yno; naw i Gwm Rhondda, ac y mae popeth yno. Ar hyn dywedaf, "Yn iach hyd y tro nesaf."

---

Cyfoeth Bydol.—Y mae baich o ofal wrth gasglu cyfoeth, baich o ofn wrth eu cadw, baich o brofedigaeth wrth eu defnyddio, baich o euogrwydd wrth eu *cam*ddefnyddio, baich o ofid wrth eu colli, a baich o gyfrif i'w roddi am danynt.—*Mattiew Henry.*

## EILUN-ADDOLIAETH

### YN LLYGRIAD O GREFYDD SYML GYNTEFIG.

Syniad sydd wedi arfer cael ei goleddu gan y mwyafrif o ddamcaniaethwyr anianyddol ydyw, mai cyflwr o anwareidd-dra oedd cyflwr cyntefig dyn. Honant, po bellaf yn ol y gellid myned, mwyaf i gyd ydoedd yr amlygiadau o farbareiddiwch. Ond yn bresenol mae syniadau gwahanol yn dechreu cael eu coleddu ar y mater. Yn ngoleuni dysgeidiaeth gwyddoniaeth ddiweddar mae yr hen syniadau yn cael eu troi o'r neilldu. Trwy hyn y mae dysgeidiaeth y Beibl am ddechreuad crefydd a moesau dyn yn derbyn cadarnhad newydd.

Mae y Beibl a gwyddoniaeth yn unllais bron yn awr wrth briodoli i ddyn gyflwr o symleiddiwch a diniweidrwydd. Mae eilun-addoliaeth yn dwyn profion eglur o lygriad. Y mae ynddo linellau ydynt yn pwyntio yn ol at amser gwell—yr hyn sydd yn cyd-daro hefyd a'r traddodiad a fodola y'mhlith odid bob cenedl henafol, am oes euraidd gynt yn ei hanes.

Mae y nodweddau ofergoelus a ffyna yn eu plith, yn ddiamheuol yn effeithiau gweithrediad deddf dadblygiad mewn cyfeiriad anmhriodol. Camsyniad ydyw tybied am ddeddf dadblygiad, mai mewn un cyfeiriad yn unig y mae yn gweithredu. Mae yn arwain fel y byddo y gwraidd a'r cychwyniad. Dadblygiad ydyw tyfiant hedyn, ac yn ol fel y byddo natur yr hedyn, felly bydd y tyfiant. Mae gan y blodau a'r ffrwythau sydd at wasanaeth dyn eu hadau, ac felly mae gan y drain a'r mieri. Mae gan y drwg ei flagur yn gystal a'r da, ac y mae dadblygiad y naill a'r llall yn annherfynol. Mae ysgogiad yn amod pob bodolaeth, mewn pethau moesol a materol. Fel mae un rhinwedd yn arwain i'r llall, felly mae un drwg yn arwain i ddrwg arall. Effeithir cyfnewidiadau cyson ar ddyn trwy weithrediadau y mewnol a'r allanol arno. Mae crefyddau y paganiaid wedi bod am hir dymorau o dan ddylanwad deddf rym-

us dadblygiad. Can belled ag y gellir olrhain, maent yn dwyn profion o ddirywiad cyson a phrysur.

Un o brif ymdrechion cenadon a llywodraethwyr Cristionogol yn India, wrth addysgu y paganiaid, ydyw ceisio dangos iddynt nad yw eu syniadau a'u harferion presenol yn rhan o'u crefydd wreiddiol, ac mai llygriad ydyw eu credoau a'u harferion crefyddol o'u crefydd gynt. Mae daliadau ac arferion dysgylion Mahomet, Buddha, Confucius a Zoroaster, yn dwyn profion o'r un dirywiad cyffredinol. Yn mhob engraifft lle gellir olrhain hanes crefyddau, canfyddir eu bod yn dwyn nodwedd burach a mwy ysbrydol fel y nesir at eu dechreuad. Mae yr hyn sydd yn wir am grefyddau y cenedloedd yn wir i raddau helaeth am Gristionogaeth ei hunan; ond gyda y gwahaniaeth dirfawr yma, sef fod Cristionogaeth yn meddu ar allu i ymburo ac ymnerthu. Mae ei rheolau gwreiddiol ar gael, at ba rai y dylid cyfeirio yn ofalus er cymharu ffydd ac arferion a hwynt. Yr arwyddair ddylai fod, "At y gair ac at y dystiolaeth." Medda yr efengyl ar allu hunan-adferol, sef elfen ysbrydol, ddwyfol yn ei natur, fel y gall ymloewi fel y dwfr anmhuredig wrth redeg yn ei flaen. Gwyddom fod dirywiad wedi dechreu yn nyddiau yr apostolion; a chydnabyddir hyny gan bob Enwad efengylaidd, er efallai y gwahaniaethant am achos a modd y dirywiad a gymerodd le y pryd hwnw.

Mae y grefydd Fahometanaidd, y ddiweddaf o'r crefyddau mawrion dynol, yn dangos nodwedd ddirywiol. Dechreuodd lygru nid yn unig yn amser Mahomet, ond yn ei gymeriad ef ei hun. Dywedir mai Mahomet ei hun oedd y dysgybl mwyaf llygredig a feddai. Yn y rhan gyntaf o'i fywyd cyhoeddus yr oedd yn ddyn cymharol dda, ac yn ddysgawdwr cymharol fawr. Pan ydoedd yn llef un yn llefain yn y diffaethwch, yr oedd ei fywyd yn burach, a'i ddysgeidiaeth yn fwy ysbrydol, na phan ar ol hyny yr oedd y miliynau yn ei ddilyn.

Y mae *yr un nodwedd ddirywiedig* i'w gweled eto yn yr *hen* grefyddau. Nid oedd eu sylfaenwyr ond diwygwyr cyfundraethau crefyddol oeddynt wedi llygru yn flaenorol. A'r diwygiadau a effeithid a roddent ffordd drachefn i lygriadau newyddion. Yr oedd y diwygwyr yn cael eu cyffroi gan eithafion dirywiadau. Efallai y byddai y drwg yr achwynid o'i blegid wedi tori allan mewn rhyw gangen neillduol o grefydd y dydd; gan hyny byddai yr ymosodiad ar y gangen neillduol hono. Yr oedd un eithafion yn cynyrchu eithafion arall. Os byddai y gred yr ymosodid arni wedi myned i bellder nodedig, yr oedd pellder cyferbyniol yn ymddangos wrth ei gwrthwynebu. Ar yr egwyddor hon y gallwn roddi cyfrif am y cyfeiriad a gymerodd Buddaeth. Dechreuodd Buddaeth mewn ymneillduaeth oddiwrth Framiniaeth. Amcana Buddha am ddiwygiad. Troisai Braminiaeth yr adeg hon yn fedd lle y claddesid credoau oes llawer mwy syml. Yr oedd llifeiriant credoau, seremoniau, ac arferion ofergoelus yn gorchuddio pob symledd. Ni welwyd yn y byd erioed, efallai, ddadblygiad camgyfeiriol wedi dwyn cnwd mwy toreithiog o ddrain a mieri. Gwaith Braminiaeth oedd cysylltu breintiau a gorchwylion arbenig â llwythau neillduol, y rhai a berthynent iddynt hwy, ac i neb arall. Cyfeiriwn yn awr at yr hyn a eilw y Sais yn *castes*. Yr oedd hwn yn un o ddyfeisiadau gwaethaf calon ddrwg anghrediniol. Braminiaeth hefyd mewn modd cyffelyb a drawsnewidiasai addoliad i ffurf o seremoniau aneirif. Nid oes amheuaeth nad fel gwrthdystiad yn erbyn drygau a chyfeiliornadau Braminiaeth yr ymddangosodd Buddaeth.

Ond yr oedd y gyfundrefn ddiwygiadol newydd eto yn meddu hadau dadfeiliad. Yr oedd Buddaeth yn cynwys gwadiad o fodolaeth unrhyw dduw, a hefyd anfarwoldeb yr enaid. Er hyny cymellid bywyd rhinweddol, hunan-ymwadol, a myfyriol. Felly cynwysai Buddaeth yr anghysonderau mwyaf, canys nid oedd adeiladu bywyd duwiol ar gredo o wadiad o Dduw ddim yn amgen na cheisio adeiladu teml ardderchog ar sylfaen o dywod. Ond y

mae'r rheswm yn ymyl. Yr oedd yr athrawiaethau mewn perthynas i fodolaeth Duw ac anfarwoldeb yr enaid wedi eu llygru yn resynus. Yr oedd cyfeiliornadau Braminaidd mor eithafol wrthun fel y mae bron yn anhygoel y gallasai neb gredu ynddynt am fynyd awr, oni bae fod genym engreifftiau lluosog eraill o grwydriadau gwylltion dychymyg dynol yn y cylch crefyddol. Athrawiaeth boblogaidd a chredadwy gyda y Braminiaid oedd trawsfudiad enaid yn angau i gorph anifail. Credid hyn mor drylwyr a diamheuol fel na feiddiai y Bramin duwiolfrydig anadlu yr awyr agored gan ofn y buasai iddo yn ddamweiniol ddistrywio rhyw fach-bryfedyn anweledig yn yr hwn y preswyliai enaid un o'i henafiaid. Yr oedd y fath syniad am anfarwoldeb yn ddigon i orlethu ysbryd dyn.

Yn awr meddylier yn mhellach am erwindeb y gyfundrefn Framinaidd yn y pethau canlynol: Meithrinai yn meddyliau ei dysgyblion y dysgwyliad am berffeithrwydd cyflawn, yr hyn yw cnewullyn yr athrawiaeth o anfarwoldeb yr enaid. Y ffordd i gyrhaedd anfarwoldeb, yn ol dysgeidiaeth Braminiaeth, oedd myned trwy foddau dilynol o fodolaeth. Yn ychwanegol at y beichiau trymion o gaeth benydiau yn ystod bywyd, yr oedd yn rhaid myned trwy gyfnodau olynol o fodoli mewn anifeiliaid ar ol marw. Pa ryfedd gan hyny os oedd rhai dynion meddylgar yn echrydu yn mhrescnoldeb rhagolygon mor annymunol. Pa ryfedd os oeddynt yn dymuno ysgoi bywyd o'r fath? Tuedd uniongyrchol y fath athrawiaeth ddyeithr oedd arwain dynion i chwilio am le i ddianc rhag yr ofergoeledd. Yr un esboniad sydd i'w roddi am y syniadau a goleddid am y Bod o Dduw. Yr oedd y syniadau hyny mor wrthun eithafol, fel mai eu tuedd naturiol oedd peri i ddynion gilio oddiwrthynt. Yn y fan yma y gwelwn o dan ba amgylchiadau y gwnaeth Buddaeth ei ymddangosiad. Nid oedd dim yn ddyeithr yn y gwrthdafliad hwn. Mae pethau tebyg yn cymeryd lle yn fynych mewn bywyd cyffredin ar raddfa fechan. Eto dalier sylw, nid oedd gwadiad Buddha o fodolaeth Duw yn hollol—mae yn dra thebygol nad oedd ond gwadiad o'r hyn a ddysgai Braminiaeth am Dduw. Annuwiaeth athronyddol ydoedd, yn hytrach na chrefyddol. Ond er nad oedd yr annuwiaeth dan sylw yn cynwys gwadiad hollol o Dduw, eto daeth yn ffynonell drygau aneirif. Parodd i eraill gymeryd cam pellach; cam-ddeallodd y dysgyblion feddwl yr athraw. Crewyd yn y modd hwn wagle yn meddyliau dynion na allai dim arall ei lenwi yn sylweddol. Rhuthrai pob ysbwrial i'r gwagle. Yn nghwrs amser daeth Buddha ei hun i gael ei ystyried yn dduw. Rhaid oedd i ddyn gael person i'w addoli. Mae hanesiaeth yn profi na fedr un grefydd fyw yn hir ar syniadau yn unig. Rhaid i'r serchiadau gael person. Mae yn rhaid i syniadau gael canolbwynt. Heb berson mae credoau yn gwrthod ymlynu yn eu gilydd. Er cael gwrthddrych addoliad, mae dychymyg ofergoelus yn troi at ddyn—yn mwyhau rhagoriaethau tybiedig hwnw, ac yn plygu o'i flaen. Felly y bu gyda golwg ar Buddha. Ond yr oedd hyn yn fwy nag a fwriadasai. Nid ymddengys ei fod ef yn amcanu gosod ei hun i fyny fel duw. Nid oedd dim yn ei ddysgeidiaeth yn myned i'r cyfeiriad hwnw yn fwriadol. Modd bynag darfu greu gwagle yn meddyliau dynion heb ddarpariaeth ddigonol i'w llenwi. Yr oedd ei fodolaeth ei hunan yn rhy fychan i lenwi y gwagle mawr. Yr oedd ei ddysgyblion yn teimlo y diffyg hwn. Dysgai greddf iddynt fod rhyw ddiffyg yn bodoli; am hyny amgylchwyd ei berson â phob math o ofergoeledd. Yr oedd un ofergoeledd yn arwain i un arall. O'r diwedd daeth y dirywiad mor fawr yn India fel yr oedd Braminiaeth yn bygwth llyncu Buddaeth yn ol. Torodd Buddaeth allan oddiwrth Framiniaeth rywbryd tua'r chweched neu y seithfed ganrif cyn Crist. Gellir dilyn Braminiaeth yn ol, meddir, am ddwy fil o flynyddau yn flaenorol i hyny; a chydnabyddir fod y ffaith hon yn nodwedd tra rhyfedd yn hanes cref-

yddau y byd. Ac fel mae iaith y genedl Ayraidd wedi cario dylanwad mor fawr ar ieithoedd Ewrop, felly hefyd yn ddiau mae ei chrefydd a'i moesau wedi cario dylanwad cyffelyb.

Wrth ddilyn Braminiaeth i derfyngylch pellaf hanesyddiaeth, mae dysgedigion yn dyfod at gyfnod o symleiddiwch crefyddol, fel mai yr enw a geir ar Dduw ydyw *Tad Nefol*, (*Dyaspitar*), gair sydd wrth wraidd yr enw Jupiter am Dduw gan y Rhufeiniaid, a *Zeus-Pater* gan y Groegiaid. G.

---

## MYNEDIAD Y CRISTION I'R NEFOEDD.

GAN T. D. EVANS, BEVIER, MO.

Ddarllenydd hoff—A fuost ti erioed yn ceisio dychymygu y fath argraffiadau rhyfeddol a gogoneddus fydd ar enaid y Cristion ar ei fynediad i'r Ganaan nefol? Yr ydym yn cofio gyda hyfrydwch am yr argraffiadau dyfnion a melus a gafodd gweledigaethau daearol ar ein meddyliau. Wel, os yw gweledigaethau natur a rhagluniaeth yn gadael y fath argraff arnom yn y fuchedd hon, pa fodd y bydd hi ar y Cristion pan yn hwylio i mewn i borthladd y wlad nefol? Mae yr hen lestr a'i dygodd dros y cefnfor garw yn araf hwylio i mewn i'r hafan ddymunol, a bwria angor yn y porthladd nefol. Gwel y ddinas sanctaidd o flaen ei lygaid; y mae pelydrau llachar Haul y gogoniant yn goleuo ei holl heolydd, ac yn llewyrchu ar furiau y trigfanau nefol. Y mae palasau euraidd y Jerusalem Newydd yn ymgodi o'i flaen yn eu harddwch digyffelyb; y mae yn canfod heolydd aur y ddinas, ei pherlawg byrth, y môr o wydr, afon y bywyd, a gorseddfainc Ior. Mawlgerdd yr angylaidd gôr, yn gymysgedig a seiniau hyfryd y telynau aur, a ddisgynant ar ei glustiau. Erioed ni chlywodd y fath gerddoriaeth o'r blaen. Y mae wedi clywed yr offerynau mwyaf ardderchog o waith celfyddyd, ac wedi gwrando "mil o leisiau melusion" yn dyrchafu melus foliant i Grewr y byd. Ond, pan yn gwrando y nodau cyntaf yn anthem y gwaredigion, mae cerddoriaeth buraf y ddaear yn suddo i ebargofiant bythol. Dywedai Ioan, "Mi a glywais megys llef uchel gan dyrfa fawr yn y nef, yn dywedyd, Aleliwia, iachawdwriaeth, a gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni. Ac mi a glywais megys llef tyrfa fawr, ac megys llef dyfroedd lawer, ac megys llef taranau cryfion, yn dywedyd, Aleliwia, oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog." Tra mae yr anthem nefol megys tonau enfawr yn ymchwyddo, ac yn ymlenwi dyffrynoedd paradwys, ac yn adsain dros fryniau a gwastadeddau anfarwoldeb, y mae ei enaid yn cael ei lanw â'r fath ddedwyddwch angerddol na theimlwyd erioed ond gan y prynedigol lu. Cyfeillion a'i rhagflaenasant i ogoniant a'i cyfarfyddant yno; angelion a'i croesawant i'r trigfanau dedwydd; a'r rhai fuont yn ei gyfarwyddo tua'r nef a'i arweiniant at yr Oen. Y mae yn gweled yn awr, nid "trwy ddrych mewn dameg," ond "wyneb yn wyneb." Y mae yn canfod ei Waredwr "megys ag y mae," a bydd yn dragywyddol debyg iddo. Y mae y gorchudd wedi ei symud, ac y mae yn syllu gyda llawenydd ar y "Brenin yn ei degwch." Mae y Meistr y bu yn ei wasanaethu yn ei anerch â'r geiriau swynol hyny, "Da was, da a ffyddlawn," ac a esyd ar ei ben goron y bywyd. O, ddedwyddwch digyffelyb! O, lawenydd annhraethadwy!! Nid oes iaith nac ymadrodd a fedr osod allan brofiad a theimlad enaid wedi ei olchi yn ngwaed yr Oen, pan diria draw i "Ardal lonydd yr aur delynau." Dychymygaf weled yr Oen yn ei arwain allan i'r "porfeydd gwelltog," a gerllaw y "dyfroedd tawel." Mae yn sefyll ar lan yr afon risialaidd sydd yn tarddu o dan orseddfainc Duw. Tra y tremia ar ei gwyneb llyfn, y mae melus odlau seintiau ac angelion yn ymddylifo dros ei glanau i'w glustiau ysbrydoledig. Y mae yntau, am y waith gyntaf erioed, yn y fangre ddedwydd, yn ymuno gyda'r wynfydedig dorf i ganu, "Teilwng yw yr Oen a laddwyd

i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith, i'r hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen, y byddo y fendith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, yn oes oesoedd."

Bydd enyd fechan o'r fath fwynhad anghydmarol yn ddigon i orbwyso holl ofidiau a thrafferthion daearol. Nis gall iaith ei ddesgrifio, na chalon ei ddychymygu. "Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef."

O, ddedwydd ddydd sydd yn neshau,
Hiraethu'r wyf am dy fwynhau.

---

## BARNU.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. JOHN WILLIAMS, RHOS, AWDWR YR "ORACLAU BYWIOL."

[Copiwyd o'r *Greal*, 1854, gan Mr. Edward E. Jones, Venedocia, Ohio, yn ol ein cais.]

### PEN. I.

HAWL DYN I FARNU DROSTO EI HUN.

Yr ydym yn byw mewn oes yn yr hon yr ydym yn cael ein galw i roddi rheswm am bob peth a wnelom. Ni chaniateir i ni wneuthur dim, heb fod dan yr angenreidrwydd o brofi ein hawl i wneuthur hyny. Ni chawn na phregethu, na dysgu, na bedyddio, na dim, heb i'r cwestiwn anhyfryd hwn gael ei ofyn, "Beth yw eich hawl chwi i wneuthur felly?" Buasem yn tybied, er hyny, y cawsem lonydd i ddefnyddio ein meddwl fel y mynem; na buasai y fath holiad yn cael ei gyflwyno i ni am feiddio barnu drosom ein hunain, ond camsyniad mawr ydyw; gelwir arnom i brofi ein hawl i feddwl, ac, efallai, cyn hir, i agor ein llygaid i weled, i glywed, i gerdded, a phob peth. Mae peth fel hyn, onid ydyw, ddarllenydd, yn ddigon poenus? oblegid y mae yn anmhosibl gwneuthur rhai pethau o herwydd eu bod yn rhy hawdd. Pa philosophydd a all byth brofi nas gall peth fod a pheidio bod ar yr un pryd? Pwy fedr ddangos trwy Arbwylleg a *Syllogism* fod cydol o beth yn fwy na rhan o hono? Ac wrth ystyried peth mor hawdd a naturiol yw i greadur rhesymol ffurfio barn, y mae yn ymddangos braidd yn anmhosibl profi ein hawl i wneuthur hyny.

Yn awr, nid af ddim i son am y dadleuon yn nghylch yr olyniaeth Pabaidd, a rhyw bethau felly; na, nid ydwyf yn meddwl cyffwrdd dim â phethau felly, ond mi a ymdrechaf ddwyn y pwnc o fewn cylch llai, mwy syml, a hawdd ei drin, drwy edrych a oes dim modd ei ddwyn o dan ryw egwyddor gyffredinol, y sydd yn perthyn i holl waith y Goruchaf. Sylfaen a rheswm pob braint a hawl yw, gallu a chymwysder. Y mae yr egwyddor yma yn nodweddiadol o holl weithredoedd y Creawdwr, ac yn ysgrifenedig, yn ddarllenadwy ysgrifenedig, arnynt oll. Rhoddi gallu a chymwysder sydd yr un peth a rhoddi comisiwn. Nid yw Duw yn gwneuthur dim heb ddyben. Pan y mae yn rhoi gallu, y mae yn rhoi gwaith; pan y mae yn rhoi cymwysder, y mae yn rhoi swydd. Yr un peth oedd rhoddi adenydd i'r aderyn a gorchymyn iddo ehedeg. Os oes neb mor anwybodus (nid wyf yn dywedyd rhyfygus) ag y gwado yr egwyddor hunan-amlwg yr ydys wedi ei gosod i lawr, nid oes iddo gymaint ag un i'w bleidio o fewn y greadigaeth—cyduna phawb a phob peth i'w wrthddywedyd a'i gondemnio, yn erbyn ei haeriad, ei is ddisylfaen. Y mae y bwyd sydd yn ei borthi, y dwfr sydd yn tori ei syched, yr awyr y mae yn ei anadlu, y blodeuyn sydd yn gwenu arno, y beroriaeth sydd yn difyru ei glust, yr haul sydd yn ei lewyrchu, y rheswm sydd yn ei gyfarwyddo, oll ag un llais yn gwrthateb, Nage.

"Gosod dall ar ben dysgwylfa,
Gosod dwl i ddysgu tyrfa;
Dodi'r diddysg wrth y llyw,
Sydd ddodiad dyn, nid dodiad Duw."

Y mae y Bôd dwyfol ei hun, ynte, yn datgan drwy ei holl weithredoedd mai gallu a chymwysder sydd yn rhoddi hawl. Pwy bynag sydd yn meddu gallu i ymresymu, y mae ganddo hawl i wneuthur hyny. Pwy bynag sydd yn meddu cymwysder i ddysgu, i breg-

ethu, i weddio, i gyngori, y mae ganddo hawl i wneuthur hyny. Yr un modd dywedwn, pwy bynag sydd ganddo allu a chymwysder i farnu drosto ei hun, y mae ganddo hawl i wneuthur hyny; nid oes neb o fewn y greadigaeth a hawl ganddo i wahardd iddo wneuthur felly. Absenoldeb cymwysder gofynol yn unig, gan hyny, a ffurfia eithriad i'r rheol gyffredin. Er engraifft, nid yw y rhan amlaf o lawer o'r rhai mwyaf dysgedig yn ngwledydd cred yn meddu y gallu neu y cymwysder angenrheidiol i farnu drostynt eu hunain o berthynas i gywirdeb neu annghywirdeb y testyn mewn hen lyfrau sydd ganrifoedd o oedran.

Yn ysgrifeniadau hen lenorion Groeg a Rhufain, megys Homer, Lucian, Cicero, Virgil, Livy, ac eraill, y mae llawer iawn o wahanol ddarlleniadau wedi cael eu cynyg gan gyhoeddwyr eu gweithiau. Gyda golwg ar y mater hwn, y mae ffurfio barn bersonol yn beth sydd tu hwnt i derfynau neb, oddieithr rhyw ychydig, efallai, sydd yn awr yn fyw. O ganlyniad, ynfydrwydd fyddai i eraill, a gadael eu bod yn deall yr ieithoedd hyny agos mor berffaith a'r eiddynt eu hunain, son am eu hawl i ffurfio barn bersonol. Y mae y sylw hwn hefyd yr un mor gymwys at lyfrau yr Ysgrythyr Lân. Yr unig beth sydd genym i'w wneuthur dan yr amgylchiadau hyn yw, ymddiried i farn y rhai a ystyrir gymwysaf i farnu, heblaw derbyn ychydig gymorth mewn rhai achosion oddiwrth gysondeb y cyfryw ddarlleniadau, a phethau o'r fath.

Y mae pob hawl yn rhagarwyddo (*implies*) dyledswydd. Nid yw y gosodaeth, y mae genyf hawl i farnu drosof fy hun, yn cyduno â'r gosodaeth, y mae genyf hawl i beidio barnu drosof fy hun. Nis gall y ddwy gydsefyll. Nid oes gan neb sydd yn ei meddu hawl i'w throsglwyddo i arall, mwy nag sydd gan arall hawl i'w chymeryd oddiarno. Na, y mae hawl a rhwymedigaeth yn eiriau cyd-berthynasol, megys tad a mam, brenin a deiliaid, gorchymyn ac ufudd-dod, ffydd a thystiolaeth, achos ac effaith, a'r cyffelyb—nis gall y naill fod heb y llall. Cyn gadael y mater hwn, angenrhaid ydyw rhoddi dau neu dri gochel-iad:

Yn y lle cyntaf, nid yw ei bod yn ddyledswydd arnom farnu drosom ein hunain yn cynwys o angenrheidrwydd y dylem feddwl yn wahanol i eraill ar bob peth; byddai tybied fel hyn yn sarhad camweddus, a bychaniad anfaddeuadwy ar alluoedd a chyrhaeddiadau yr oesoedd a aethant heibio. Na, nid yw bod unrhyw farn yn hen yn brawf ei bod yn gamsyniol; nac, ar y llaw arall, bod tyb newydd yn sicrhau ei chywirdeb. Nid hender na newydd-der yw mesur gwir a gau. Pe felly, nid yw gwirionedd ond peth perthynasol ac anamserol, oblegid fe fu yr hen unwaith yn newydd, ac fe ā y newydd yn hen, ac nid oes dim gwirionedd dan haul.

Eilwaith, pan ddywedir fod dynion yn perchenogi yr hawl, ac o dan rwymedigaeth i farnu drostynt eu hunain, hyny sydd, mewn cyfeiriad at ddynion eraill a ystyrir yn gyfartal â hwynt, ac wedi eu gosod dan y cyffelyb amgylchiadau. Nid oes neb mor wan a meddwl fod plentyn, fel y cyfryw, yn ddeiliad o'r hawl yma; na, nid yw yr hawl yn perthyn iddo ef, oblegid nis gallai fod yn un fraint iddo, am nas gall ei hymarfer. Nid yw y maban, neu y plentyn, nes y delo yn alluog i ymarfer yr hawl yma, i'w ystyried yn weithredydd rhydd a moesol. Pa beth bynag a farno neu a weithredo efe, y rhieni mewn ystyr sydd yn ei wneuthur, a hwynt-hwy mewn ystyr sydd gyfrifol am dano. Pan mae dosbarth o ddynion yn ein dysgu o dan gyfarwyddyd ac arweiniad digyfrwng y Goruchaf, ac wedi eu hysbrydoli ganddo ef, y mae yr amgylchiadau hyn, o angenrheidrwydd, yn cau allan yr hawl yma. Gelwir arnom i farnu, a hyny drosom ein hunain, y profion o'u hysbrydolrwydd a'u danfoniad, yn gystal ag i benderfynu beth y mae yr hyn a ddywedant yn ei gynwys. Yr unig reswm sydd genym dros ein hymddygiad pan yn meiddio amheu yr hyn a ddywed ein hathrawon crefyddol, yw y ffaith nad ydynt hwy, yn yr un ystyr a'r apostol-

ion a'r prophwydi, wedi eu hanfon, eu dysgu, a'u goleuo gan ysbrydoliaeth digyfrwng. Y mynyd y caniataom eu bod yn anfonedigion y nef, yr ydym ar unwaith yn ymwrthod â'r hawl i farnu drosom ein hunain.

### PENOD II.

*Cyfrifoldeb Dyn am ei Farn.*

Yn y fan yma y mae yr egwyddor yn ymgyflwyno i'n sylw mewn agwedd arall. Yr ydym wedi dangos fod gan bob dyn, yn y rhan fwyaf o amgylchiadau, hawl i ffurfio barn bersonol; ond dylid bod yn ofalus rhag cam-arfer yr athrawiaeth hon, a gwneuthur camddefnydd o'r egwyddor, a hyny drwy dybied ei fod yn canlyn oddiwrth yr egwyddor, fod gan bob dyn yr un hawl i farnu yn gamsyniol, ag sydd ganddo i farnu drosto ei hun; nad oes dim niwed mewn cyfeiliorni o ran y meddwl, ac nad ydym yn gyfrifol am hyny. Y mae y naill eithafnod bob amser yn cenedlu un arall gwrthwynebol. Y mae gwneuthur cam-ddefnydd o'r athrawiaeth o'r angenrheidrwydd o ddylanwad dwyfol er llwyddo yr efengyl, wedi peri i rai wadu yr athrawiaeth yn hollol. Y mae gwaith eraill yn gwneuthur mwy o sefydliadau neillduol crefyddol, a phriodoli mwy o rinwedd ac effeithiolaeth iddynt nag y mae gair Duw yn ei ganiatau, wedi peri i amryw fyned i eithafnod arall, a meddwl nad oes dim gwerth ynddynt, ac y dylid hyd yn nod eu rhoddi heibio yn hollol. Y mae rhai i'w cael ag sydd yn arfer priodoli pob peth sydd yn cydfyned â llwyddiant crefydd, i weddi; ac nad oes dim eisiau na phregethu, na chyngori, na gwylio, na byw yn dduwiol; ond gweddio yw y cwbl sydd angenrheidiol: ac y mae y cyfryw, yn ddiarwybod iddynt eu hunain, efallai, wedi rhoi bodolaeth i eithafnod arall, sef barnu nad oes dim mewn gweddio, a hyd yn nod ei roddi heibio yn hollol. Pa bryd bynag y byddo i ni wneuthur bwgan o rywbeth, fe rêd pobl oddiwrtho can belled ag y gallant. Felly y mae pethau yn bod gyda golwg ar yr athrawiaeth o hawl pob dyn i farnu drosto ei hun. Clywir yn fynych yn ein dyddiau ni, hyny yw, "yn yr oes oleu hon," beth nad oedd yr hen bobl yn yr amseroedd gynt wedi meddwl dim am dano; a phe buasent, nid heb arswydo rhagddo y gwnaethent hyny. Pan fyddo pleidiau yn dadleu ar ryw fater crefyddol, a'r naill yn cyhuddo y llall o gyfeiliorni, dyna y blaid a gyhuddir, efallai, yn ymwybodol, mwy na pheidio, o gyfiawnder y cyhuddiad, yn dechreu gwrthateb, a hyny gyda yr hyder mwyaf, mewn hunan-amddiffyniad, "Onid oes genyf fi yr un hawl i farnu yn *wrong* ag sydd genych chwithau i farnu yn *right?*" Meddwl y sawl a ddywed fel yna yw, "Y mae genyf fi yr un hawl i ffurfio barn a ystyrir genych chwi yn gyfeiliornus, ond yn iawn genyf fy hun, ag sydd genych chwithau i ffurfio barn a ystyrir genych chwi yn iawn, ond genyf fi yn gyfeiliornus."

[I barhau.]

---

## Y PADER.

Nid oedd gan ddysgyblion yr Arglwydd Iesu weddi. Yr oeddynt wedi gadael Iuddewiaeth, a'u galw at Gristionogaeth—crefydd newydd. Nid oedd eu hen weddiau yn bwrpasol gan eu hathraw. Yr oeddynt yn gwybod fod Ioan Fedyddiwr wedi dysgu ei ddysgyblion i weddio (gresyn na buasai y weddi hono ar gael), a diamheu fod hono yn cyfateb i'w oruchwyliaeth ef. Yn awr, dyma Iesu Grist, fel athraw doeth a da, ar gais ei ddysgyblion anwyl, yn crynhoi mewn gweddi y pethau mwyaf pwysig yn nhrefn iachawdwriaeth:

"Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd." Gwelwn yma berffaith adnabyddiaeth Crist am Dduw.

"Sancteiddier dy Enw." Yr oedd Duw yn sanctaidd—bu erioed; felly nid *purdeb* feddylir, ond sancteiddia dy Enw, amlyga dy Enw, neilldua dy Enw. Cofia dy gyfamod, fel pe dywedasai Crist wrth ei Dad, Ar draul dy help di yr wyf yn cymeryd y gwaith mawr sydd o'm blaen arnaf! Yr oedd ein Ceidwad a'i olwg yn y weddi hon

ar hyd ei fywyd o hyny i'r groes. Ac O! mor llawn ydoedd o ddyoddefiadau a gorthrymderau, fel yr oedd ei enaid mawr bron a chael ei lethu!

"Bydded dy ewyllys ar y ddaear, megys yn y nef." Yma gwelir yn amlwg wybodaeth Iesu Grist o ewyllys ei Dad yn y nefoedd, neu pan oeddynt gyda eu gilydd yn y nefoedd. Baich yr ewyllys oedd, am i'r Mab fod yn awdwr iachawdwriaeth. Gwelwn barodrwydd Crist i wneyd ewyllys ei Dad i'r llythyren, ac yn dysgu i'w ddysgyblion wneyd yr un modd.

"Deued dy deyrnas." Tywysog oedd y Mab y pryd hwn, ac mewn awydd pryderus am fod yn Frenin ar Seion; ond nid oedd darpariadau dwyfol hyd yn nod i'r Mab wisgo y goron gyfryngol, heb yn gyntaf ddyoddef y groes! Yr oedd Iesu Grist yn deall natur ei ddyoddefiadau a'i angau pan yn dysgu i'w ddysgyblion weddio, "Deled dy deyrnas." Atebwyd eu gweddi yn llawn, ac mewn pryd. Mae y deyrnas mewn grym, yn ei llawn nerth, a Iesu Grist yn Frenin ysbrydol arni; ei deiliaid yn ysbrydol, a'i chyfreithiau yr un modd. Sicr genyf mai cabledd, o ddiffyg ystyriaeth, ydyw gweddio y weddi hon yn yr oes hon; mae hi yn eithaf priodol i'r Iuddewon ei gweddio, gan nad ydynt yn credu i'r Iesu ymddangos, na theyrnasiad y Messiah erioed gymeryd lle Gallant hwy ddweyd, "Deled dy deyrnas," a "Bydded dy ewyllys ar y ddaear," heb fod dim anghysondeb. Ond Och am Gristionogion, pa le mae eu cysondeb hwy? Yr un peth fyddai iddynt weddio prophwydoliaeth Daniel am ddyfodiad y Messiah eto, neu erfyn ar Dduw am agoryd drws gobaith i'r cenedloedd, ag ydyw dweyd, "Deled dy deyrnas," a hono er's canrifoedd yn ei grym. Credu yr wyf, pe dygwyddasid i un o'r Apostolion weddio y weddi dan sylw, y cawsai ei ddiarddel o'r apostolaeth fel anghredadyn yn y fan. Gan hyny, nid ydyw y Pader mewn un modd yn gynllun o weddi i ni. Yr oedd yn gynllun byr, cynwysfawr i'r dysgyblion i erfyn ar Dduw nerthu eu Hathraw o hyny i'r groes; a diolch byth fod Iesu Grist wedi cael ei nerthu yn yr hyn a ofynodd. Ac os rhaid i dadau crefyddol ddysgu gweddi i'w plant, gofalant fod enw Iesu ynddi. Mae gweddi yr Arglwydd yn y Testament Newydd yn un o'r rhelyw (*relic*) mwyaf sydd yn perthyn i drefn y cadw.

*Remsen, N. Y.* EVAN ROBERTS.

---

## PREGETH

GAN Y PARCH. JOHN W. WILLIAMS, HYDE PARK, PA.

---

Sabboth, Chwefror 5, 1882, cefais gyfleusdra i weled a chlywed y Parch. John W. Williams, gweinidog newydd eglwys Fedyddiedig Hyde Park, Pa., yn pregethu yn ei bwlpud newydd, ac i'w gynulleidfa ei hun, yn hytrach i ran o'i gynulleidfa. Yr oedd eira mawr wedi disgyn, ac yn parhau i ddisgyn am ddeg o'r gloch. Nid oedd llwybrau wedi eu hagor, ac nid allai neb ond ffyddloniaid fyned trwy y fath storm. Yr oedd pobl crefydd y tywydd teg, hen bobl weiniaid, a'r rhai cystuddiol, yn eu cartrefi; ond, yn ddiau, cawsant golled. Ond chwareu teg i'r Cymry, y maent—er nad cystal a'r Gwyddelod Pabyddol—am fyned i'r cyfarfodydd crefyddol, yn llawer gwell na'r Americaniaid. Ag ystyried pob peth, yr oedd cynulleidfa luosog yma y boreu hwn. Y mae gan y Bedyddwyr yma eglwys gref, weithgar a defnyddiol—capel da, a chanu soniarus. Gallai un gweinidog deimlo yn falch o fod yn fugail i'r fath eglwys. Ymddengys i mi ei bod yn ffodus yn newisiad gweinidog, a'r gweinidog yn ffodus i gael y fath eglwys. Nid oeddwn erioed wedi gweled y boneddwr parchedig cyn ei weled yn yr areithfa y boreu hwn. Gwnaeth ei ddyn oddiallan argraff dda ar fy meddwl yn ddioed. Ymddengys i mi fod elfenau cyfeillgarwch pur yn ei natur. Siaradai yn rhwydd ac eglur, gan arfer llawer o eiriau Seisonig. Achosir hyn, nid gan brinder Cymraeg da, diledryw, oblegid gall ddywedyd ei feddwl mewn Cymraeg yn dda, ond fe allai ei fod wedi bod yn pregethu

yn mysg y Saeson, ac i gynulleidfaoedd cymysg o'r ddwy genedl, ac wedi llithro heb yn wybod iddo i'r arferiad hwn. Y mae ei ddull yn gweddio ac yn pregethu yn gyfryw ag sydd yn rhoddi cyfleusdra i'r saint i arwyddo eu cymeradwyaeth yn aml trwy Amenau a diolchiadau, ac y mae llawer o'r dosbarth gwresog yna yn nghymydogaeth y sêt fawr yn y capel hwn. Os byddant wrth eu bodd, cewch weled arwydd o hyny yn eu llygaid llaith, a'i glywed yn eu swn melus; ond os na byddant yn cael tamaid blasus, byddant yn hepian ac yn cysgu, a'u penau tua'r preseb.

Wedi canu mawl i Dduw, arweiniodd y gweinidog ni mewn gweddi. Dywedodd, "Ein Tad. Yr ydym yn galw Tad arnat yn fynych, ond nid ydym yn teimlo felly bob amser, o herwydd ein hamheuon a'n hofnau. Yr ydym yn diolch i ti am y blodeuyn *beautiful*, a phethau eraill dymunol anian, ond yr ydym mewn angen am yr eira, y rhew, a'r ystormydd hefyd. Y mae felly yn y byd ysbrydol, yr ydym yn dy *enjoyo* di yn well ar ol y storm, a'r blodau yn well ar ol yr eira, &c., ac y mae y stormydd yn ein gwneyd yn fwy awyddus i feddianu y *possessions* bendigedig sydd yn ol. Nid ydym, er hyny, wedi amheu dy fodolaeth, dy drugaredd, na'th ras; ond y mae ein calonau yn galed. Rho i ni galonau fel oedd gan y dysgyblion hyny oeddynt ar eu ffordd i Emmaus—calonau yn toddi dan dy ddysgeidiaeth. Gad i dy blant glywed dy lais yma heddyw. Y mae yma rai a adnabyddant dy lais. Yr oedd Samuel yn meddwl mai llais Eli oedd yn galw arno, ond ni a adnabyddwn dy lais di. Dyro i ni gael clywed dy lais. Dy lais di a'n gwellâ, ac a iachâ y galon ddolurus. Tydi yr hwn a siaradaist y storm ar Fôr Galilea i ddystawrwydd, llefara yma heddyw. Y mae yma lawer storm nad ydym ni yn gwybod am dani, nad ydym ni yn ei deall. O, llefara nes eu dystewi. Gad i'r bobl weled fod yn werth iddynt ddyfod trwy y storm, y rhew a'r eira. Bendithia y rhai nad ydynt yma, ac a garent fod yma. Bydd gyda nhw, Arglwydd. Addewaist fod yn gysegr bychan i Israel lle bynag y byddent; bydd yn gysegr bychan felly i'th bobl yma. Bydd gyda dy bobl heddyw dros y byd. Bydd gyda dy weision yn mhob man. Yr wyt ti yn agos atom pan yn y myrtwydd; dere i'r myrtwydd y boreu hwn. Dyro nerth i ddweyd—dweyd gan deimlo gwerth yr hyn a ddywedir. Amen."

Yr oedd y saint yn wresog eu hysbryd yn cyduno ag ef i dynu wrth y bwa, er anfon saethau y weddi hwyliog i'r nef, ac yr oedd dagrau yn llifo dros ruddiau llawer o'r hen dadau a'r hen famau yn y Seion hon, yr hyn a brofai yn ddigon eglur fod eu calonau fel cwyr yn toddi dan wres y dylanwadau ysbrydol.

Testyn Mr. Mr. Williams oedd Zephaniah 1: 7. Ni allaf wneyd yn well na rhoddi darnodiad o'r bregeth; ond cofier mai pregeth boreu Sabboth ysormllyd, i gynulleidfa lawer llai na'r un arferol ydoedd, yr hon a anfonir i'r WAWR, heb fod y brawd yn gwybod dim am hyny. Y mae llawer o ymadroddion tlysion yn cael eu gadael allan o'r *report* hwn.

"Yr oedd Zephaniah yn brophwyd o urddas, ac o safle uchel yn y wlad ac yn mysg ei genedl. Perthynai i deulu breninol. Yr oedd *royal blood* yn rhedeg yn ei wythieni ef. Yn yr adnod gyntaf olrheinir ei *pedigree* yn ol at Hezeciah. Pedair *step* oedd rhyngddo a bod yn fab iddo (Zeph. 1: 1.). Yr oedd yn ddyn mawr gyda Duw, a chyda dynion hefyd. Nid yn aml y mae goreu Duw a goreu dyn yn cyfarfod yn yr un person yn y byd hwn, ond yr oedd Zephaniah felly. Y mae mawrion yn rhy aml yn colli golwg ar Dduw a chrefydd. Yr oeddynt mewn sefyllfa isel yn cadw'r *balance*, ond yn ei golli wedi codi i sefyllfa uchel. Dyna Saul, brenin Israel, dyn *ffamws* oedd ef, golygus yr olwg, egwyddorol, ac yr oedd gan y bobl olwg fawr arno. Am dymor troediodd y llwybr iawn, ond yn y diwedd *drifftiodd* yn mhell. Y mae llawer o ddynion yn colli eu *balance* ar uchel leoedd y ddaear; ond y mae rhai fel arall. Diolch. Nid yw pawb yn Jeroboam. Dyna Dafydd, dechreuodd

ef yn isel, a chodwyd ef yn uchel, ond daliodd at ei *brinciple*. Solomon, collodd ef ei droed lawer gwaith pan yn gwneyd *experiments* ac yn plymio i lawr. Ei *verdict* ef yn y diwedd oedd, 'Gwagedd o wagedd, gwagedd yw y cwbl.' Cadwodd yn *right*, ni chollodd ei olwg ar y *right*. Dywed yn niwedd llyfr y Pregethwr, 'Swm y cwbl a glybuwyd yw, ofna Dduw, a chadw ei orchymynion, canys hyn yw holl ddyled dyn.' Dyna Daniel hefyd. Washington, beth oedd *back bone character* y dyn yna? Ymddiriedaeth yn Nuw. Garfield, codwyd ef o sefyllfa isel i'r man uchaf yn y byd hwn; ond yn ei ddyrchafiad yr oedd ei galon yn bur gyda Duw. Peth *beautiful* yw dyn ar binacl y byd hwn, ac yn cadw ei galon gyda Duw. Yr oedd Zephaniah felly. Ychydig all sefyll yn nghanol *surroundings* bywyd. Dyna eglwys Sardis, eglwys fach, dyrnaid fach yn nghanol *surroundings* y lle hwnw; ond cadwodd ei gynau heb *spot* arnynt. Yr oedd Duw yn gwenu ar y *few right sort of people in* Sardis. Rhyw nifer yn cadw yn bur yn nghanol *surroundings lax*. 'The few, the happy few, they are a band of brothers.' Da yw cael ychydig yn y byd hwn yn dal yn ffyddlon i'w hegwyddorion.

Yr oedd llawer wedi myned oddiwrth grefydd y pryd hwn; ond yr oedd Zephaniah yn aros, ac yn agor drws y deml bob Sabboth. Yr oedd Duw yn edrych ar yr *un* hwn. Dyma Dduw mawr, &c., ond yn sylwi ar *un*. Y mae rhai sydd yn fawr yn colli golwg ar y rhai sydd ar lawr; ond y mae Duw ar binacl bodolaeth eto yn edrych ar hwn. 'Ar hwn yr edrychaf.' Gallai ef fendithio Zephaniah ar ei ben ei hun, er fod y *majority* fel arall. Nid yn unig y mae yn *edrych* ar Zephaniah, ond y mae yn dweyd ei *secrets* wrtho. Hyn yn dangos *confidence*. Ni ddywedir *secrets* ond wrth un a adnabyddir yn dda. Felly Duw yn dywedyd *secrets* wrth Zephaniah." Darllenodd adn. 2—6, er dangos yr hyn a fwriadai Duw wneuthur. "Dywed yr oll wrth yr un dyn yr oedd yn meddwl yn fawr o hono. Cadw yn ddystaw, medd Duw. Y mae rhai dynion, er iddynt siarad o hyd trwy y flwyddyn, ni sylwir arnynt; eraill, y mae un frawddeg oddiwrthynt yn cyffroi cymdeithas. Felly Zephaniah, &c., &c. Sylwn,

1. Fod oriau dystawrwydd yn y bywyd crefyddol (*silent hours in religious* life).

(1.) Pan fo *Duw* yn siarad, gwrando y pryd hwnw â dy lygaid, dy glustiau, &c. Rho *concentration of power*. Duw yn siarad â ni trwy y rhew, yr eira, blodau, ser, nos, dydd. 'Dydd i ddydd a draetha ymadrodd,' &c. (Salm 19: 1—6), trwy bob peth a greodd Duw.

Y mae Duw yn bresenol weithiau mewn modd neillduol. Weithiau yr ydym yn ei weled a'i glywed yn fwy *distinct* na'r gwynt, &c., yn nhy Dduw. 'Iē,' medd rhyw un, 'onid ty Dduw yw y ddaear i gyd?' Iē, ond yr wyf wedi teimlo Duw yma yn fwy na neb arall.

*Mewn cystudd.—Process* yw cystudd trwy yr hwn y mae dyn wedi cael y trysorau goreu i'w feddiant. Chlywaist ti erioed mo hono mor *ddistinct* yn un man arall yn dywedyd, 'Myfi wyf Dduw parod i faddeu,' &c. Mewn cystudd dywedodd wrth Hezeciah—'Trefna dy dŷ,' &c. Clywodd ei lais, ond yr oedd, fel rhai yn awr, eisiau byw yn hwy. 'Wel,' medd Duw, 'mi ro' i ti bymtheng mlynedd eto.' Rhai yn cofio Duw yn felus y Sabboth cyntaf ar ol cystudd, ar ol *accident*, &c. Teimlaist dy fod wedi dod i *gontact* â Duw.

*Barnedigaethau.*—Felly yn oes Zephaniah. (Darllenodd yr adnodau sydd o flaen y testyn.) Felly yn awr, y frech wen, *cholera morbus*, &c. Beth ydynt? Gweision Duw. Heralds Ior ydynt. Dyna y frech wen y drws nesaf i ni, yn dod a ni i deimlo ein bod y drws nesaf i dragywyddoldeb.

*Yn nhywalltiad yr Ysbryd Glan*, megys ar ddydd y Pentecost. Buont yn dysgwyl am ddeg diwrnod. Peidiwch diystyru cwrdd gweddi. Felly yn awr, yr ydym yn gofyn yn fynych, 'Pa le y mae dy hen drugareddau?' Yr ydym yn son am yr hen awelon, am Christmas Evans, Williams, y Wern, a

John Elias. Y mae Arglwydd Dduw Elias, yr ochr yma. O, am galon i ddysgwyl am dano. Dan yr hen oruchwyliaeth, bendithiai Duw ei bobl yn y tabernacl, ac yn y deml; ond y mae Duw yn ei Fab yn bendithio ar ochr y mynydd, ar ochr afon, gyda Lydia; yn erledigaethau Rhufain; yn ngharchar Bedford, gyda *master dreamer* y byd; yn nhânau merthyrdod Smithfield; yn Nghymru; gyda Roger Williams, yn y wlad hon. Oni bae fod Duw yn gofalu am y llin yn mygu, buasai y tân allan er's llawer dydd. Ond er ei fod i lawr yn un oes, y mae yn tori allan yn y nesaf.

*Gweddus* yw i ni fod yn ddystaw. Pan oedd y tad yn llefaru â'r un bach yn yr ystafell, yr oeddych oll yn ddystaw yn gwrando. Byddwn ninau ddystaw pan y llefara Duw â'i blant. Yr ydym yn teimlo yn fynych fwy nag y gallwn ei lefaru. Daw allan trwy y llygaid, ac y mae y llygaid yn dywedyd yn well nag y gall y tafod ei ddywedyd. Mewn cwrdd gweddi, &c., teimlir mwy nag a allwn ei ddywedyd. Gofynwyd i Mendelssohn ddesgrifio y *beautiful.* Atebodd yntau, 'I can not speak it, but I can play it for you.' Y mae hen bethau yr iachawdwriaeth yn rhy *beautiful*, yn fwy nag y gallwn eu desgrifio. O, am eu teimlo heddyw.

Yr ydym i fod yn ddystaw pan y mae bywyd yn cael ei amgylchynu gyda dirgelion rhagluniaeth Duw. Yr oedd bywyd Zephaniah wedi ei lanw ag amgylchiadau tywyll. Yr oedd Duw yn myned i ddinystrio dyn, anifail, ffrwyth y maes, &c., &c. Medd Duw wrtho, Pan y byddaf yn dod i lawr ac yn dy amgylchynu â'r holl ddirgelion hyn, paid a dywedyd dim—cadw yn ddystaw. Yr oedd yr Iuddewon y pryd hwnw yn addoli y lloer a'r ser, a bwriadai Duw ddysgu gwers iddynt, trwy ladd rhai o honynt. 'Ond, Zephaniah,' medd Duw, 'paid a dywedyd dim. Bydded genyt ddigon o *gonfidence* ynof—taw.' Dyma y wers gyntaf i ni, ydyw myned trwy *brocess* sydd yn niweidio ein *circumstances.* Dyma lle y collodd gwraig Job; ond gwnaeth gwraig Job yr hyn na allai llawer o wragedd Cristionogol wneyd. Yn y boreu nid oedd neb yn gyfoethocach na hi, a chyn yr hwyr nid oedd neb yn dlotach, ond ni ddywedodd ddim. Y dydd nesaf, ei theulu oll yn myned, ond ni ddywedodd hi ddim. O'r diwedd dyma ei gwr yn myned i lawr, a'r clefyd mor ddrwg, fel nad allai hi na neb arall fyned ato. Daliodd hi hyd i'r fan yna. 'Melldithia Dduw,' medd hi, 'a bydd farw.' Ond daliodd Job hyd y diwedd. Dywedodd, 'A dderbyniwn yr hyn sydd dda?' &c., &c. *Task difficult* yw bod yn ddystaw. *Task* fawr yw cadw y tafod yn llonydd, ond caletach cadw y meddwl yn llonydd, ac mae Duw yn gwybod beth ddywed y galon. Grwgnachai yr Iuddewon yn eu calonau, ond gwelodd Iesu olwynion eu *mental machinery* yn myned, pan y gofynent ynddynt eu hunain, 'Pwy yw hwn sydd yn maddeu pechodau?' &c. Rhaid cadw y *meddwl* yn ddystaw. Y mae meddyliau yn fynych yn dywedyd yr hyn na ddywedem wrth neb. 'Yr ynfyd a ddywedodd' Wrth bwy? 'Yn ei galon, Nid oes un Duw.' Ni ddywedai y fath beth wrth neb arall. Pan ydym trwy *syllogism* yn ceisio perswadio ein hunain fod pob peth yn *right*, y mae y galon yn gwrthryfela. 'O, fy mab Absalom,' &c., &c., meddai Dafydd. Beth sydd yn bod? Y galon sydd wedi myned yn *loose*, a rhedeg yn *wild* yn erbyn rhagluniaeth Duw. *Be silent. Hush.*

Yr awr olaf y cyfeiriwn ati y boreu hwn. Pan y mae pob peth a elli di wedi ei wneyd, pob peth wedi ei orphen, dystawa. Ni elli ddystewi nes y bydd y *last stroke* wedi ei wneyd. Y mae amserau arnom yn y byd hwn, fel oedd ar yr Israeliaid ar lan y Môr Coch. Yr oeddynt mewn cyflwr enbyd; yr oeddynt yn teithio trwy *ravine*, a'i ben dwyreiniol yn agor i'r Môr Coch, Pihahiroth ar un ochr, a Baal-zephon ar y llall, a'r Aiphtiaid tu cefn.

"Man's extremity is God's opportunity." Yr oedd yn *right* i fyny. Edrychwch i fyny. Pwy, yn hanes y cread, a ddysgwyltodd wrth Dduw yn ofer? Sefwch, peidiwch a gwylltu, dangoswch fod genych *gonfidence* yn

Nuw. "Edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd," &c. "Am hyny tewch chwi a son." Y mae'n *all right.* Duw o'ch tu. Dystewch er mwyn i chwi glywed swn y cerbyd dwyfol yn *passio.* Dyma fel y mae yn dy fywyd di a minau. Dyna y fam, y mae ei phlentyn yn glaf—wedi treio pob doctor yn yr ardal. "Pa beth a wnaf?" medd hi. Wel, chwaer, yr wyt wedi gwneyd yr oll a elli; dystawa bellach, a gâd y cwbl i Dduw. Efe yw yr unig un fedr wneyd y cwbl. Pan wyt ti wedi treulio dy nerth yn ngwasanaeth dy Feistr, cofia mai dy nerth di sydd wedi treulio—dy fraich di sydd wedi blino yn cario y cryman. Y mae adeg ar bregethwr pan nad all ddywedyd dim—yr ofna nad all ddywedyd yn ddigon da am yr Iesu. Y mae amser felly ar y cânwr, ac ar yr hwn fydd yn ymweled a'r claf, &c. Teimlir ar adegau felly fod yr oll yn *failure*—ein nerth wedi pallu. Na, y mae Duw yr un o hyd—y Duw ddaeth a'i bobl rhwng Pi-hahiroth a Baal-zephon, a thrwy y Môr Coch yn ddiogel, y mae ef yma, a'i nerth ni phalla.

Bechadur, y mae genyf, wrth derfynu, air i ti. Rhaid i ti deimlo ei bod hi ar derfyn yn mhob man. "Cofia fi," medd y lleidr. A oes yma rywun yn dywedyd, "Y'm ceir ynddo ef?" Ymddiried yn ei drugaredd ef. Bydd ddystaw, medd Duw; yr wyf wedi talu dy ddyled i gyd.

Y mae y ffigiwrs mwyaf bendigedig yn cael eu defnyddio yn y Beibl er dangos beth a wna Duw i ti. Taflu dy bechod tu ol i'w gefn, lle na welir byth mo honynt. Yr hyn sydd tu ol i'r cefn ni welir hwy byth; ac os troi di o gwmpas, y maent tu ol i ti o hyd. Amen."

—

Yr oedd amrai bethau yn y cyfarfod hwn yn arwain fy meddwl at hen gyfarfodydd hwyliog Cymru. Yr oedd Amenau a dagrau yn lluosog. Y mae y to yma o grefyddwyr gwresog yn prysur gilio oddiar yr esgynlawr, a dosbarth oerach a mwy digyffro yn cymeryd eu lle. Yr wyf yn calonog ddymuno llwydd y gweinidog a'i eglwys; coroner ei lafur â llwydd, a bydded boddlonrwydd a dedwyddwch yn rhan iddynt oll. J. C.

# Bwrdd y Golygydd.

## "YDWYF."

"Ydwyf," sef y Bôd sydd yn hanfodi erioed o angenrheidrwydd ei natur, ac yn parhau yr un yn ddigyfnewid byth oddiar yr un angenrheidrwydd. Y ffaith—y gwirionedd mawr—y dadguddiad a wnaeth efe o hono ei hun, a gynwysir yn yr enw gogoneddus hwn a ddygodd y syniadau am Fôd tragywyddol, hunan-hanfodol, hollbresenol, anghyfnewidiol, &c., i gyrhaedd meddwl creadur. Ni chenedlodd meddwl y creadur erioed, ac ni chenedlasai byth y cyfryw syniadau o hono ei hun. "Nid adnabu y byd trwy ei ddoethineb," a'i athroniaeth mo Dduw. Yn ol y syniad hwn am dano, ni allodd, er chwilio ac ymbalfalu am dano, "ei gael ef." Nid oes dim tebyg iddo i'w gael yn holl hanes, er chwilio ac ymbalfalu am dano ef. Yn yr Ysgrythyrau Hebreig yn unig y ceir y syniad hwn am Dduw. Yr oedd llawer cenedl fwy craff ac ymchwilgar yn y byd na hi pan y daeth hi i feddiant o'r syniad goruchel; nid cig a gwaed a'i datguddiodd iddi, felly rhaid ddarfod iddi ei gael oddi uchod, trwy ddatguddiad o hono ei hun iddi gan Dduw. "Fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear," felly uwch yw y meddwl hwn na meddwl creadur.

Eto, "*Ydwyf.*" Y Bôd sydd yn meddu perffaith adnabyddiaeth o hono ei hun yn holl gyflawnder anfeidrol ei hanfod. Tybiwn nad oes gan yr anifail un ymwybyddiaeth o hono ei hun ar wahan oddiwrth arall; y mae yn greadur byw, yn gweled, yn clywed, yn arogli, yn teimlo, ac yn symud; medda

ar raddfau sydd yn ei ysgogi i weithredu yn ol ansawdd ei natur. Ond y Myfi nid yw ynddo. Ni cheir y Myfi yn un creadur ar y ddaear ond y dyn, a'r *myfiaeth* hwn sydd yn ei wneyd yn anesmwyth ynddo ei hun, ac yn anfoddlawn arno ei hun, nes y mae yn troi i chwilio am dano ei hun, a'i gael allan. Y mae wedi bod wrthi yn mhob cenedlaeth ac oes yn chwilio ac yn ymbalfalu am dano ei hun, heb ei gael ei hunan eto. Beth yw y meddwl sydd yn ymweithio o'i fewn—yn dyfalu ac yn dyfeisio, yn ofni, yn gobeithio, yn *ad*-olygu ac yn *rhag*-olygu?—yn mha le y mae y gwreiddiau, a beth yw achosion y meddylddrychau a gyfodant ynddo, a mil mwy o gyffelyb ymholiadau a ymgyfodant o'i flaen, megys o ddyfnderau ei natur?—ymholion y llafuriodd llawer i geisio eu hateb, ond erioed nis gallodd wneyd i foddlonrwydd. Pan megys yn ceisio ymsuddo i waelod cyfrinion cuddiedig ei natur, torodd y Salmydd duwiol allan un tro, gan ddweyd, "Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed;" ac yn y fan yma y gadawodd efe ei hun, ac yn y fan yna hefyd rhaid i bob hunan-ymchwilydd adael ei hunan yn y diwedd. Pe caffem gyfleusderau i ymofyn a phob angel yn y nefoedd am eu profiad a'u gwybodaeth hwythau am danynt eu hunain, diau mai yr un stori a gaem ganddynt. "Yn erbyn ei angelion y gosododd efe ynfydrwydd," neu anmherffeithrwydd.

Efe yw yr unig Ydwyf perffaith, am ei fod yn ei adnabod, yn dirnad, ac yn amgyffred ei hun yn berffaith, a hyny nid trwy chwilio a myfyrio arno ei hun, fel y gwna y creadur, ond y mae ei hunan-adnabyddiaeth Ef ynddo yn wreiddiol a gogyhyd dragywyddol a'i hanfod, a hysbys i Dduw (gan hyny) ei weithredoedd erioed.—*O'r Koheleth, gan W. R.*

## MAN-LEWYRCHIADAU.

—Mae y Parch. William Jones, Ridgeway, Wis., wedi methu gweled ei ffordd yn glir i dderbyn galwad unfrydol eglwys Oshkosh, ac am hyny y mae ei atebiad yn nacaol. Yn y gwanwyn bwriada symud i LaCrosse, i fyw yno ar ei ffarm. Mae yr eglwys yn Oshkosh yn barod i ohebu â gweinidogion a fo yn symudol. Gellir anfon at Mr. Richard Bennett, Jr., Oshkosh, Wis.

—Da oedd genym fod yn bresenol yn ysgol Sabbothol Pittston, Pa., a chlywed y fath ganu ardderchog gan gôr y bobl ieuainc a'r plant. Mae yno arweinydd medrus. Gwelem fod y brawd Jacob W. Evans hefyd yn parhau yn ei ffyddlondeb arferol gyda'r ysgol Sul, ac mewn cefnogi y bobl ieuainc mewn mudiadau daionus.

—Ebe y brawd John Watts, Pittston: "Diolch yn fawr i chwi am y Wawr; yr ydwyf fi yn cael pleser mawr wrth ei darllen. Y mae ysgrifau y brawd anwyl William F. Davies, Nanticoke, wrth fy modd."

—Mae y Parch. John W. Williams, D. D., Hyde Park, Pa., yn hynod gymeradwy a llwyddianus yn ei faes newydd. Hysbysir ni fod eisoes haner cant o ymofynwyr am aelodaeth, a bod oddeutu haner y rhif hwn yn ymgeiswyr am fedydd. Cynelir cyrddau diwygiadol bob nos, a'r *basement* yn llawn bob tro o addolwyr brwdfrydig.

—Drwg genym hysbysu nad ydyw iechyd y Parch. D. Rhys Jones, Plymouth, Pa., wedi bod yn dda yn ddiweddar. Dysgwylia ei gyfeillion y bydd yni a hoender y gwanwyn yn help iddo. Mae efe yn ddwfn yn serchiadau pobl ei ofal, ac y maent yn neillduol dyner o hono.

—Mae y Baptist Tabernacle Church yn Nottingham, Lloegr, yn adolygu ei rhestr o aelodau bob tri mis, ac y mae aelodau ag ydynt wedi bod yn absenol am yr amser hwnw, heb reswm digonol, yn colli eu haelodaeth. Dywed y bugail mai eu rheswm am hyn yw, eu bod yn dal ei fod yn anffyddlon i Dduw, ac i'r eglwys i ddanfon allan ystadegau nad ydynt yn dangos yr aelodaeth gwirioneddol.

—Dywedodd Jeff. Davis mewn araeth yn ddiweddar yn y De, mai hon yw y Llywodraeth oreu yn y byd, a'i fod ef yn barod i ddadweinio ei gleddyf, pe angen am hyny, i amddiffyn yr Undeb.

# Barddoniaeth.

## Y MEDDWL PRUDD.

Och'neidion trymion tramawr—erchyllwedd
A'm archolla'n ddirfawr;
Dwys dawel nid oes dwyawr
I fod i mi heb ofid mawr!

Meddylion trymion a'm trodd—i wylo
Wrth weled mor anodd;
Yn ngwae byd yw rhyngu bodd
'Ngolwg yr hwn a ngalwodd.

Yn well-well, O! na allwn—y Duw Gwir,
Dy garu ni pheidiwn;
Y bôd hael'n y bywyd hwn,
O'm henaid hyn ddymunwn.

LLYWARCH.

## "O WRAIG, WELE DY FAB."

Pan oedd Iesu mwyn yn hongian
Ar y groes dan feiau'r byd,
Yn gwynebu'r ddeddf ei hunan,
A'i gofynion oll yn nghyd;
Holl bicellau tanllyd pechod,
Am roi terfyn ar ei oes,
Yn ei hing, ei phoen, a'i thrallod,
Gwelai 'i fam wrth droed ei groes.

Gwel'd ei fam yn ddwys och'neidio,
Aeth fel saeth i'w galon bur,
Hi ni fynai ei chysuro,
O dan ei hangerddol gur;
Gwel'd ei hanwyl fab difeiau
Ar y groes dan wg ei Dad,
A wnaeth rwygo ei theimladau,
Gan ymddryllio'i monwes fâd.

Ar fin tranc dywedai'r Iesu,
"O wraig, wele'th fab dinam,
Tithau'r dysgybl hoff anwylgu,
Yn dy ymyl wele'th fam;
O! fy mam, gwel, dyna arall
Fab i ti—dos gydag ef,
Fe a'th geidw di yn ddiwall
Hyd nes doi i deyrnas nef."

O! pan welodd Mair yn hongian
Ei hanwylfab ar y groes,
Trwy ei chalon fel eiriasdan,
Saethai rhyw ddychrynllyd loes;
Fel dywedai'r hen Simeon
Yn y Deml gynt wrthi hi,
"Fe â'r cleddyf llym, echryslon,
Trwy dy enaid tirion di."

Wrth y groes derbyniodd ergyd
A drywanai 'i chalon drwy,
Nid oedd dim yn y cyfanfyd
A allasai gau ei chlwy;

O, Mair anwyl, nid yw'n rhyfedd,
Pwy a all ddych'mygu'th loes,
Gwel'd dy fab dan law dialedd,
Yn hoeliedig ar y groes.

Ymddych'mygwch, famau hawddgar,
Eich bod chwi yn safle Mair,
Yna gwelech fod ei galar
Yn rhy drwm i yngan gair;
Eu bod wedi dryllio'i chalon
Gyda'r waewyffon a'r cledd,
Fel na fedrai gan ei gloesion,
Ganlyn corph ei mab i'w fedd.

Do, fe dorodd Mair ei chalon,
Fel na's adnewyddodd mwy,
Ymollyngodd dan ei gloesion,
Nid oedd modd iachau ei chlwy;
Dim ond unwaith cawn ei hanes
Wedi hyn, yn nghwmni'r saint,
Mynodd Iesu hi i'w fonwes,
I fwynhau ei theyrnol fraint.

CADWGAN FARDD.

## O, FY MHRIOD!

Gan MRS. HUGHES, priod y diweddar WM. HUGHES, Freedom, Cattaraugus Co., N. Y.

O, fy mhriod, anwyl, tirion,
Drylliog yw'm teimladau i,
Wedi'th golli yn yr angau,
Wylo'r ydwyf ddagrau'n lli';
Beth a wnaf heb dy gyfeillach,
Pwy a'm cynal dan fy mhwn,
Wedi'm gadael yn amddifad
Yn y byd siomedig hwn?

Bysedd oerion, dystaw angau,
Wnaeth am byth ein hysgar ni,
O! mor chwith yw genyf feddwl
Mai y bedd yw'th lety di;
Ni chaf eto byth dy weled
Gyda'r cor yn eglwys Dduw,
Mwy dymunol ydyw canu
Heddyw yn y nefoedd wiw.

'Rydwyf yn dych'mygu weithiau
Dy fod yn yr ardal bell,
Ac y clywaf di'n dywedyd,
Brysia yma i'r wlad well;
'Rwyt ti heddyw'n iach a dedwydd,
Nid oes yna dwyll na brad,
O! mor ddedwydd yw'r gyfeillach—
Duw yn frenin ar y wlad.

## Y CREAWYDDD.

Pryniawdwr pur iawn odiaeth—Iachawdwr
A Cheidwad dynoliaeth;
A llu y nef oll a wnaeth,
A'r bydoedd, mawr wybodaeth.

LLYWARCH.

## PENILLION I'R "WAWR."

Mae y WAWR yn hardd ei golwg,
Grymus ei phelydrau clir,
Ei goleuni ffrydia allan
Er adloniant drwy y tir;
Y tywyllwch ymlid ymaith,
A chynydda'i gleu mâd,
Ei phelydrau ymwasgarant
Yn dra chyson, ac yn rhad.

Na foed neb yn lledu mentyll
Hunanoldeb yn ei nen,
Na foed neb yn trwsio'i fwa
I anelu ati sen;
Na foed neb yn coeg glorianu
Tra yn ysgafn ûs ei hun,
Na foed neb yn hidlo gwybed
Tra llwnc gamel byll ei lun.

I'r WAWR siriol bydded llwyddiant
Yn ei misol rawd heb fêth,
A'i soniarus odlau fyddont
Fel aur gadwen wech neu bleth;
Ein llenorion fo'n ymdrechu,
Trwy roi ynddi wersi mâd,
A fo'n llesiant gwirioneddol
I hil Gomer drwy y wlad.

*Oshkosh, Wis.* MARTHA PRICE.

## FY MHROFIAD MEWN CYSTUDD.

Wyf eilwaith ar glaf wely—wedi dod
Ar hyd y daith er hyny;
Yn ddewr trwy'r hwn a ddyry—unionfarn
Ei anian gadarn a byth ni'n gedy.

O am eilwaith ymholiad—yn uniawn
I hanes fy mhrofiad;
Drwy eglur aml dreigliad,
Troion briw trueni brad.

Ni waeth i mi beth yw y modd—a'r awr
Y rhaid myned trwodd;
Sawl anwyd* Iesu luniodd,
I'r cyfryw i fyw o fodd.

Caf nodau y cyfnewidiad—toddaidd
Yw'r cystuddiol deimlad;
Poenau'r nos yn ddangosiad,
O angeuol friwiol frad.

J. R. PRICE,
*Kingston, Pa.*

* Ail Enedigaeth.

## YR AREITHFA GYMREIG.

Yn yr areithfa Gymreig y magwyd
Nef athronwyr—gan ras a feithrinwyd;
Rhwymau ein tadau ganddynt ddatodwyd,
Ninau eu meibion rhyddion fe'n rhoddwyd,
Yn od lu dan nawdd Duw lwyd—yn cydio
Yn y Gwir Silo—yr hwn a groeshoeliwyd.

CADWGAN FARDD.

# Y Maes Cenadol.

GAN Y PARCH. W. F. DAVIES, NANTICOKE, PA.

## IV.

### AFFRICA.

Bydd i ti gofio, ddarllenydd, i ni roddi braslun y mis diweddaf o'r Livingstone Inland Mission. Deallwyf erbyn hyn fod y gymdeithas uchod o dan nawdd yr East London Institute. Sefydliad yw y diweddaf a godwyd gan ddynion crefyddol o wahanol enwadau a deimlant i'r byw dros sefyllfa isel y pagan; a hefyd dros yr angenrheidrwydd o gael rhyw le gartref i barotoi dynion at y gwaith cenadol. Derbynir i'r Institute uchod ddynion ieuainc o bob enwad, a rhoddir iddynt yr addysg a'r gwrtaith priodol er bod yn gymwys i'r meusydd cenadol. Yn y chwe' blynedd diweddaf mae 150 o genadon wedi myned allan o'r sefydliad da uchod, y rhai ydynt heddyw yn llafurio mewn gwahanol fanau, ac o dan nawdd amrywiol gymdeithasau cenadol. Nid yw y Parch. H. Grattan Guinness, y Cyfarwyddwr, nac ychwaith Mrs. F. E. Guinness, yr Ysgrifenydd, yn cael cyflog, ond ymddibynant yn hollol am eu cynaliaeth ar roddion gwirfoddol oddiwrth gyfeillion yr achos da maent yn gynrychioli. Mae ganddynt ofal mawr er cychwyniad y gwaith; eto nid yw yr hwn sydd a'i glustiau yn agored i weddiau y saint wedi eu gadael mewn eisiau dim. Yr oll maent yn wneyd ydyw hysbysu sefyllfa y sefydliad i'r byd, trwy bamphledyn bychan a gyhoeddir ganddynt yn fisol, a derbyniant arian mewn symiau o chwe' cheiniog i gan' punt, ddigon i gyfarfod â'r holl dreulion. Gellir ar rai ystyriaethau gydmaru y sefydliad hwn ag eiddo y Parch. George Muller, yn Bryste, ac eraill o'r un nodwedd sydd mewn amryw ardaloedd yn y wlad hon. Mae y Livingstone Inland Mission yn debyg i'r China Inland Mission, yr hon sydd wedi danfon i'r maes 75 o genadon, a 100 o gynorthwywyr brodorol y rhai sydd wedi myned i ranau o'r Ymer-

odraeth na fu un Ewropiad ynddynt er ys rhai canrifoedd, os, yn wir, erioed, ac erbyn hyn wedi sefydlu gorsafoedd cenadol yn holl ranbarthau mewnol yr ymerodraeth oddigerth dau. "O'r Arglwydd y mae hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni." Gall y Duw sydd wedi rhoddi y fath lwyddiant anarferol i'r China Inland Mission, roddi ei gyffelyb i'r Livingstone Inland Mission. Gweddiwn am iddo wneyd. Cawn fod Mr. Arthington, o Leeds, Lloegr, yr hwn roddodd yn ddiweddar $35,000 i'r Baptist Missionary Union, yn parhau i roddi symiau mawrion i wahanol gymdeithasau, tuag at gychwyn a sefydlu gorsafoedd cenadol yn Soudan, a manau yn nghanolbarth Affrica. Pe byddai canoedd sydd ag aur lawer wrth law, fel Arthington, yn teimlo fel y mae ef yn teimlo dros dywyll leoedd y ddaear, byddai agwedd wahanol, a dylanwad annhraethol mwy gan grefydd ar y byd nag y mae heddyw yn ei feddianu.

Yn yr ysgrifau hyn, ddarllenydd, yr ydym wedi nodi y rhan fwyaf, os nad yr oll o'r cymdeithasau sydd drwy eu cenadon yn ceisio efengyleiddio y cyfandir mawr hwn. Er eu bod yn amryw gymdeithasau, a chan bob cymdeithas amryw genadon, eto wrth eu cydmaru ag eangder y maes, nid ydynt ond fel "dyrnaid o yd yn mhen y mynyddoedd;" ond os mwydir ef â gweddiau, cydymdeimlad, a rhoddion y saint, ei ffrwyth a "ysgwyd fel Libanus," oblegid yr Arglwydd a rydd gynydd. "Efe a achub dan ganu," ac a frysia i fendithio, pan bydd Seion yn dysgwyl. I lawr daw y mynyddoedd pan bydd ef yn disgyn yn ei ogoniant. Os oes rhyw un yn teimlo yn amheus a fydd i lwythau lluosog Affrica gael eu gwareiddio a'u gwaredu ai peidio, bydded iddo ddarllen bywgraffiadau fel eiddo Moffat, Livingstone, ac eraill, neu bydded iddo fyfyrio symudiadau yr achos crefyddol yn Sierra Leone, yr hwn sydd yn cael ei lywodraethu yn hollol gan y dalent frodorol; neu darllened hanes y gwaith cenadol ar hyd glanau y Niger, lle arall ag mae y prif symudyddion yn frodorion; neu edryched ar y cartrefi Cristionogol lluosog sydd heddyw yn mhlith y Kaffirs, Hottentots, a'r Bushmen; a phan wel eu gwisgoedd trwsiadus, eu hymddangosiad prydferth, eu hymddygiadau tawel, a pha mor hawdd y gellir ymgymysgu â hwy heddyw, argyhoeddir y mwyaf amheuol, fod yn efengyl y groes allu digonol i godi yr iselaf o lwythau Affrica a'i wneyd yn addas i eistedd gydag Abraham, Isaac, a Jacob, yn nheyrnas nefoedd. Mewn cysylltiad â'r gwahanol symudiadau cenadol yn Affrica a manau eraill, mae ein dyledswydd ni fel Cristionogion yn amlwg. Meddyliwn am danynt, dywedwn wrth eraill am danynt, gweddiwn am eu llwyddiant, a chyfranwn fel mae Duw wedi ein llwyddo, at eu cynaliaeth. Mae Duw wedi agor drws eang yn Affrica, ac mae yn dysgwyl i ni fyned i mewn. Mae yn anrhydedd i ni fyned lle mae Duw am i ni fyned. Os eir yn ewyllysgar, fe goronir. "Yr ewyllysgar a'r ufudd ga fwyta o ddaioni y tir." "Yr hwn a ddyfrha a ddyfrheir." Ei orchymyn yw, "Ewch." Mae y geiriau, "yr holl genedloedd," "terfynau eithaf y ddaear," "y maes yw y byd," yn dweyd yn eglur i ba le i fyned, a pha mor bell i fyned. Nid ydym i aros nes y byddo y pellaf o'r cenedloedd wedi cael pregethu yr efengyl iddynt. 'Does dim gorphwys i fod nes byddo y duaf o feibion Affrica wedi clywed am "y ffynon a agorwyd i dy Dafydd a phreswylwyr Jerusalem." 'Does dim bwrw arfau i fod nes byddo holl amddiffynfeydd y gelyn wedi gorfod teimlo fod dwyfol allu gyda'r fyddin sydd tan arwydd y gwaed, ac fod y cadwynau cryfaf i gael eu dryllio, cyn y cyhoeddir heddwch. Gallem feddwl fod yr eglwys yn y dyddiau hyn wedi clywed llais o'r nef yn dywedyd gydag awdurdod a dylanwad, "Ewch rhagoch." Mae yn nghynllun y nefoedd i gael dylanwad achubol yr efengyl gael ei deimlo hyd eithaf y ddaear. Mae y gwahanol grefyddau gau, a'r cyfundrefnau cyfeiliornus sydd wedi bod mewn bri mawr am ganrifoedd, yn barod wedi eu rhidyllu yn arswydus gan ddylanwad treiddiol y gwirionedd. Y

mae amddiffynfeydd y diafol yn annhraethol gedyrn yn Affrica, ond yn Affrica, fel yn mhob man arall, y mae wedi ei gondemnio, ac mae ei ddeiliaid heddyw yn estyn eu dwylaw yn brysur at air y bywyd. Sychedant am y dwfr bywiol, ac maent yn awyddus am fara y bywyd. Galwant mewn taerineb am genadon, ac ar ddarfod am danynt maent yn chwilio am oleuni; a dywed eu cyflyrau adfydus fod yn rhaid iddynt ei gael. Mae Duw yn dweyd y rhaid iddynt; ac O, am i bob Cristion ddweyd hyny hefyd. Y mae America mewn dyled nas gwyr pa faint, i'r cyfandir dan sylw. Bu meibion Affrica am ddegau o flynyddau yn hau a medi ein meusydd o dan iau orthrymus caethfasnach. Mae America yn gyfoethog, miliynau o aur yn rhedeg i'w choffrau yn flynyddol trwy y *balance of trade.* Onid yw yn drueni meddwl fod tua 75 cents am bob dyn, dynes a phlentyn ar wyneb y ddaear, yn cael eu gwario bob blwyddyn yn America ar ddiodydd meddwol, tra nad oes ond tua $2,500,000 yn cael eu casglu at achosion cenadol. A ga y diafol yr aur, a'r oll yn eiddo yr Arglwydd ein Duw ni? Meddylia, Gristion, am y 50,000,000 o fodau dynol yn nghanolbarth Affrica yn gorwedd yn mro a chysgod angeu, ac yn gwynebu ar nos na fydd dydd byth yn canlyn. Mae y gwaith yn fawr, ond na ddigaloner, mae Iesu wedi dweyd—"Wele yr wyf gyda chwi bob amser." Dyna ddigon.

---

## HANESION CARTREFOL.

### Burr Oak, Kansas.

[Oddiwrth y brawd selog, Mr. James M. Thomas.]

Anwyl Frawd Griffith—Yr wyf yn ddiolchgar am y Wawr. Hi ydyw yr unig un a fedr ymgomio â mi yn yr hen iaith felus yn y lle anghysbell hwn. Buasai yn dda genyf pe y gwnelai ei hymddangosiad yn amlach. Gofynwch, Pa fodd yr ydwyf yn dyfod yn mlaen yma? Mewn agwedd dymorol, *first rate;* crefyddol a chymdeithasol, gwael. Nid yw y preswylwyr yma yn meddwl fawr am ddim ond am fyw mewn difyrwch ac ysgafnder. Byddaf yn darllen yn aml yn y Wawr am frodyr anwyl yn yr Hen Wlad, sef Thomas, Narberth; Price, Rhydwilym; Jenkins, Trefdraeth; Jones, Blaenconin. Byddai yn dda genyf gael eu clywed am unwaith yn traethu gair y bywyd. A David George, Jabez—nid y lleiaf o honynt ydyw ef. Deallwyf fod yr hybarch Price, Blaenffos, wedi blaenu y dyrfa. Mi a wn wrth eich ysgrifau, eich bod chwi yn adnabyddus drwy'r oll o sir Benfro. Cefais i fy medyddio yn Horeb, Maenclochdy, gan y Parch. Henry Price, a symudais wed'yn i Bethel, Monachlogddu. Bum yn lletya gyda Daniel Adams, Maesyrwyn, am dros chwe' blynedd. Yr wyf yn cofio am lawer o gymanfaoedd sir Benfro. Yr oedd yno gewri o bregethwyr. Yr eiddoch, &c.

---

### Capel Niles, O.

Mr. Gol.—Byddwch mor garedig a chyhoeddi yn y Wawr, fod capel y Bedyddwyr yn Niles, Ohio, i gael ei werthu ar yr 11eg o fis Mawrth, 1882, ar *sheriff sale,* yn Warren; ac yr ydym fel eglwys mewn gofid a galar mawr, am y rheswm ein bod yn methu ei gadw. Yr eiddoch, dros yr eglwys,

David Williams, *Ysg.*

---

### Thomastown, O.

Dymunwyf gydnabod yn ddiolchgar, mewn modd cyhoeddus, garedigrwydd y frawdoliaeth a'r ardal tuag atom fel teulu. Yn adeg bruddaidd claddedigaeth ein hanwyl Gertie, anrhegwyd fi âg *overcoat* ardderchog, a dangosodd pawb gydymdeimlad mawr â ni. Yn ddiweddar iawn gwthiodd tyrfa o bobl yn hen ac ieuanc i mewn i'n cartref, a hyny yn hollol annysgwyliadwy. Wedi mwynhau ein hunain, bawb o honom, ar y teisenau a wnawd gan y boneddigesau, cododd yr hen frawd anwyl John P. Williams, prif ddiacon yr eglwys Fedyddiedig, ar ei draed, ac

archodd i mi a'm priod i godi ar ein traed; ac ar ol araeth fer ond gwir ddeheuig a phwrpasol, cyflwynodd ar ran y parti gôd yn cynwys $37.00, yn arwydd o'u parch a'u hedmygedd o honom. Daeth rhagor o arian i mewn wedi hyny, yr hyn a wna y cyfan yn $40.00. Derbynied ein cyfeillion, ein brodyr a'n chwiorydd, ein diolchgarwch am eu haelionusrwydd. Yr eiddoch yn gywir,

T. P. a Mary Morgan.

Er pan wyf yma, da genyf eich hysbysu fod un wedi ei bedyddio, a phump o afradloniaid wedi dychwelyd. Yr Arglwydd a ychwanego atom beunydd.

---

### Sefydliad Gweinidog.

Cynaliwyd cyrddau gyda'r eglwys yn Hyde Park, Pa., ar y 18, 19, 20 o Chwefror, mewn cysylltiad â sefydliad y Parch. John W. Williams, D. D., fel gweinidog yn eu plith. Nos Sadwrn pregethodd y Parchn John P. Harris a D. W. Morris. Boreu Sul, am 10, y brodyr D. W. Morris a Fred. Evans, D. D. (Ednyfed). Am 2, pregethwyd yn Saesneg gan Dr. Evans. Yn yr hwyr, gan y brodyr John P. Harris a Dr. Evans. Yr oedd y cyrddau hyn, ac yn neillduol y cyrddau ar y Sabboth, yn hynod boblogaidd ac effeithiol. Aeth canoedd ymaith bob tro oddiwrth y drysau, yn methu cael lle.

Nos Lun, caed cwrdd dyddorol arall. Etholwyd y Parch. John P. Harris i'r Gadair Lywyddol. Yna darllenodd y brawd John P. Lewis bapyr yn cynwys cofnodion arianol o ddechreu yr eglwys hyd yn bresenol—papyr dyddorol. Yna galwyd ar y brawd Benjamin Hughes i ddarllen papyr yn cynwys hanes yr eglwys o'i dechreuad. Yr oedd yr hanes hwn yn rhoddi y prif ffeithiau cysylltiedig a chychwyniad yr achos, crybwyllion am weinidogion olynol yr eglwys. Wedi hyn rhoddodd y Cadeirydd ddeheulaw cymdeithas i'r Parch. John W. Williams, gan ei roesawu i'r wlad, i'r Gymanfa, a'r eglwys.

Yn nesaf galwyd ar Ednyfed i siarad, yr hyn a wnaeth nes gwneyd i bawb ymgolli mewn llawenydd—nid oedd *neb* yn gallu bod yn sobr pan oedd efe yn siarad. Hefyd, y Parch. Owen James, Washington, D. C., a siaradodd pob un o honynt yn ddyddorol, ac yn neillduol y brawd anwyl B. D. Thomas, Philanelphia. Dyn dymunol yw Thomas. Mae yn Gymro o'r iawn ryw, yn caru ei genedl o galon bur.

Tystiolaeth pawb am y cwrdd hwn oedd, na chafwyd ei gyffelyb er's llawer dydd, os erioed. Mae Dr. Williams yn dechreu ar ei weinidogaeth yn Hyde Park gyda rhagolygon gobeithiol iawn.

---

### Ebensburgh, Pa.

Sabboth, Ion. 29, cawsom y fraint o wrando dwy bregeth, un yn Gymraeg a'r llall yn Seisonig, gan y Parch. Ll. Rees, Johnstown. Yr oedd athrawiaeth yr efengyl gyda nerth ac eglurder anghyffredin yn cael ei thraddodi. Nos Lun canlynol traddododd Mr. Rees ei ddarlith ar "Ddim," i ni. Cawsom hwyl iawn, o'r gair cyntaf hyd y diweddaf, am dros awr a haner. Mynediad i fewn drwy dalu wrth y drws. Ni welsom fwy o bethau digrif a difrifol wedi eu huno erioed.

Llwyddiant i'r brawd anwyl a galluog i wneyd llawer o les—*Richard L. Thomas.*

---

### Dawn, Mo.

Mr. Golygydd, yn gymaint a'i bod yn arferiad, ac yn arferiad da, i gydnabod caredigrwydd brodyr a chwiorydd haelfrydig, goddefer i ninau am dro gyflwyno ein diolchgarwch i saint parchus Dawn a'r gwrandawyr am eu haelfrydedd Cristionogol. Yr ydym yn awr wedi dechreu ein chweched flwyddyn weinidogaethol yn y lle; a chan fod llinynau serch yn myned yn dynach, a'r undeb yn anwylach, penderfynodd y brodyr a'r chwiorydd i brofi eu teimladau da tuag atom mewn modd sylweddol. Yr arwydd cyntaf er daioni a gawsom ni ydoedd cwrlid

(*quilt*) ardderchog i Mrs. Richardson; ac yn fuan ar ol hyn dyma y chwaer dda Mrs. Joseph A. Lewis, ar ran y chwiorydd, yn gwneyd anrheg o *over-coat* ardderchog i'r gweinidog, gwerth $20; felly chwi welwch mai gwella yr oedd hi. Ond nid oedd y pethau uchod ond megys defnynau yn rhaghysbysu fod cawod i ymarllwys maes o law, a ninau mewn hwyl yn ceisio canu,

"Ni gawsom rai defnynau 'i lawr,
Beth am yr awr cawn fyn'd i'r mor?"

Ond bydd yn eithaf da os cawn nofio mewn cariad (caredigrwydd) a hedd. Felly boreu dydd Mercher, Ionawr 4, 1882, oddeutu 9 o'r gloch, dechreuodd haelfrydedd ddadlwytho y trysorau gwerthfawr yn ein hanedd-dy, ac erbyn canol dydd (er fod y tywydd yn anffafriol) yr oedd y ty yn orlawn o frodyr, chwiorydd, a chyfeillion cynes i'r eglwys a'r pregethwr, ac fe gawsom amser hapus. Yr oedd y chwiorydd talentog yma wedi parotoi cyflawnder o'r danteithfwyd goreu, a mwynhaodd pawb ei hunain yn gampus; ac fel y cynyddai y dorf, amlhāai y trugareddau; ac fel y dywedodd sylfaenydd yr Ysgol Garpiog yn Lloegr, "*More children, more potatoes,*" felly ninau, a chyn pedwar o'r gloch yn y prydnawn, yr oedd y "celwrn blawd" wedi ei lenwi, y cig mewn cyflawnder, a'r drysorfa arianol braidd yn bwysig.

Yr hwyr ydoedd adeg y bobl ieuainc i ddangos eu parch, &c. Daethant yn dyrfa fawr, a mwnhaysant eu hunain yn ardderchog hyd ganol nos.

Derbyniasom swm da o arian; ymddengys y bydd y cyfan, wedi y deuant oll i law, drwy drugareddau ac arian, yn agos i ddau gant a haner o ddoleri. *Well done*, pobl Dawn, onide?

Dymunem fel teulu gyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i bawb a gymerasant ran, ac a gynorthwyasant yn nygiad oddiamgylch yr arwydd hwn o barch a chydymdeimlad. Teimlwn fod y parch a ddangoswyd, a'r cariad a amlygwyd, yn fath o ysbrydoliad i ni ar gyfer y dyfodol; a hyderwn y bydd ein gwaith yn y lle dan fendith Duw yn y dyfodol, fel y bu yn y mynedol.

Dymunem hefyd gydnabod yn ddiolchgar y chwaer dda, Mrs. Catherine Pierce, Utica, Mo., (gynt o Shenandoah, Pa.,) am ei hymdrech i gasglu mor dda at y *donation;* mae hi bob amser yn ei helfen wrth wneuthur daioni. Aelod ydyw o'r eglwys Seisnig fydd dan ein gofal. Bydded gras Duw a'i amddiffyn ar bawb. Yn gywir iawn, R. M. Richardson.

---

Freedom, N. Y.

Cynaliwyd *donation* er budd i mi, am yr hon y dymunwyf gydnabod fy lluosog gyfeillion gyda'r diolchgarwch mwyaf trwyadl. Yn y prydnawn ymgynullodd yr hen bobl a'r canol oed yn y ty fel arfer, a chafwyd ymddyddaniaeth felus ac adeiladol ar wahanol bynciau; yna cyfranogwyd o'r darpariadau angenrheidiol er cynal ac adfywio y dyn anianyddol. Yn yr hwyr cyfarfu y bobl ieuainc yn *Veil's Hall*, Sandusky, a chafwyd amser dymunol iawn yno. Chwareuodd y *cornet band* amryw ddarnau chwaethus a rhagorol. Cyflawnodd aelodau y pwyllgor eu gwaith yn ddeheuig, ac aeth y boneddigesau trwy eu rhan hwythau o'r gwaith yn y modd mwyaf boddhaol i bawb oedd yn bresenol. Cyrhaeddodd yr elw i'r swm anrhydeddus o $140. Y mae y teimladau da a ddangosir tuag ataf yn y *donations* yn annhraethol fwy gwerthfawr yn fy ngolwg na'r arian, er cystal ydynt, ac er mor angenrheidiol ydynt yn y byd hwn.

Yr wyf yn dymuno diolch i chwi, fy nghyfeillion, am y dadblygiad hwn o'ch teimladau cynes tuag ataf, a bydded i'r Duw holl-gyfoethog ad-dalu i chwi yn ddeublyg am eich haelfrydedd. Yr eiddoch yn serchog,

W. M. Evans.

---

Beibl Gymdeithas New Cambria, Missouri.

Cynaliwyd cyfarfod blynyddol y gymdeithas uchod yn nghapel yr Annibynwyr, Sadwrn, Ion. 7, 1882.

Gwaith y cyfarfod oedd myned dros gyfrifon y flwyddyn flaenorol ac ethol

y swyddogion canlynol am y flwyddyn bresenol :—Llywydd, Parch. Griffith Griffiths; Is-lywydd, W. H. Jones; Trysorydd a Llyfrgellydd, O.W. Jones, Ysw.; Ysgrifenydd, Benjamin Price. Pwyllgor Trefniadol, R. Powell, W. Lloyd, J. T. Davies, John Rees a T. R. Evans.

Sabboth, Ion. 8, cyfarfod yn yr un lle, am 10 o'r gloch; Parch. G. Griffiths yn Llywydd. Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan R. Powell, darllen y cyfrifon gan yr Ysgrifenydd, areithio gan R. Powell ar burdeb egwyddorion y Beibl, fel cymelliad i ni i ymdrechu o blaid y Gymdeithas. Yn nesaf sylwadau gwir bwrpasol gan y Parch. G. Griffiths ar y Beibl, y Gymdeithas, a dyledswydd pleidwyr y Beibl tuag at y Gymdeithas. Yn nesaf y Parch. M. Williams ar Fawredd Rhoddwr y Llyfr Sanctaidd, a dyledswydd y Gymdeithas i wasgaru y cyfryw i blith holl genedloedd y ddaear.

Cyfarfod am 2, yn Saesneg. Darllenwyd a gweddiwyd gan Wm. Darling. Areithio gan O. W. Jones ar Helaethrwydd Gweithrediadau y Gymdeithas, yn wir feistrolgar. Yn nesaf sylwadau gwasgarog ar y Beibl a'r Gymdeithas, gan William Darling.

Mae y cyfrifon fel y canlyn:

Llyfrnu ar law Ion. 8, 1881. $128 75; arian ar law, 7 88; casgliadau, 37 00; derbyniwyd am lyfrau, 15 53; codiad yn mhris llyfrau, 56c. Cyfanswm, $189 72.

Anfonwyd i'r Fam Gymdeithas i N. York, 40 00; rhoddwyd yn anrhegion i bwlpudau, 24 00; mân dreulion, 30 cents; gwerthwyd o lyfrau, 15 53; llyfrau ar law, Ion. 7, 1882, 82 22; cyfanswm, 169 05—yn gadael gweddill yn llaw y Trysorydd o 20 67.

B. PRICE, *Ysg.*

---

EGLWYS MORIAH, RISCA.

Ar y 18fed a'r 19eg o Ragfyr, ordeiniwyd gweinidog newydd yn Moriah, Risca, Mynwy, sef Mr. E. Thomas, myfyriwr yn athrofa Pontypool. Siaradwyd yn uchel am deilyngdod y gweinidog ieuanc, a dywedir yn ni wedd yr hanes, "Mae hen eglwys barchus Moriah wedi arfer, ar hyd y blynyddoedd, ymborthi ar "basgedigion breision," a'n dymuniad ydyw, ar i ddeuparth o ysbryd y cewri areithyddol sydd wedi ei ragflaenu yno, i syrthio arno yntau.—*Amicus.*

---

MANION O TAYLORVILLE, PA.

Ddechreu Ionawr bu gan yr Ysgol Sabbothol arddangosfa eang o emau dawn, swynion cân, a deniadau i'r deall i'w oleuo, i'r galon er ei diwygio, ac i'r darfelydd i'w foddio. Bu y llywydd yn ddoeth, yr adroddwyr yn hwyliog, y bobl yn aml, a'r awydd yn aeddgar am gwrdd eto cyffelyb iddo.

Drachefn, nos Fercher, Chwefror 15fed, bu Dr. Fred. Evans, Franklin, yma yn darlithio ar fywyd, ar farw, ac ar fawredd James A. Garfield. Darlith orchestol, traddodiad dawnus, cynulleidfa fawr, a chadeirydd call yn mherson Mr. Morgan Harris. Tra byddo y Delaware yn tramwy, y Lackawanna yn llifo, a'r Minooka yn fyw, bydd Fred. Evans yn ei fri.

Daeth llythyr yma oddiwrth Dr. Swain, Philadelphia, yn dymuno casgliad cenadol erbyn dechreu Ebrill, ac yn wir y mae galwad am dano. Meddylier am y manau lawer yn Mhennsylvania heb eglwysi Bedyddiol, o Dundaff i Dickson, o Dunmore i Moscow, ac o Spring Brook i Pleasant Valley, a llawer mwy. Rhy fychan yw y cestyll a gymerwyd, y tir a enillwyd, a'r achosion a blanwyd, a rhaid ychwanegu neu golli y maes. Mae y tri diwrnod yr wythnos yn digaloni meibion lludded, ond buan yr elo yr aflwydd ar ffo, a llwyddiant a weno.

ELIPHALET I'R WAWR.

---

AT Y PARCH. H. C. PARRY, D. D.

MRI. GOL.—Caniatewch i mi anfon ychydig linellau trwy gyfrwng y WAWR, at y bardd awenyddol o Bevier. Dygwyddodd i mi, yn ddamweiniol weled, yn mhlith pethau eraill yn ystorfa ysgrifeniadol Mr Parry, gywydd i'r "Dymestl," yr hwn i'm tyb i, sydd yn ardderchog dda. Mae yn drueni fod perlau mor werthfawr, fel yr un crybwylledig, yn cael eu cuddio yn y llwch o afael ein cydgenedl, pan

y gallant eu meddianu. Gofynais yn bersonol i'r Doctor am ei gyhoeddi, ond ni addawodd; ac yr wyf eto, trwy gyfrwng y WAWR, mewn modd cyhoeddus, yn taer geisio gan yr Hybarch Ddoctor ei anfon i'w gyhoeddi yn y WAWR. Diameu genyf y rhydd foddlonrwydd cyffredinol i holl ddarllenwyr y WAWR

B. PRICE.

---

## *BEDYDDIWYD—*

*Seion, Sherman, Swydd Summit, O.*—Am dri o'r gloch prydnawn Sul, Ionawr 29, 1882, cawsom y fraint o weled dyn ieuanc gobeithiol yn ufuddhau i'r ordinhad o fedydd, pryd y gweinyddwyd gan y Parch. Iago W. James. Casglodd tyrfa luosog i lan y dwfr, ac awd trwy y gwaith yn y modd mwyaf deheuig. Tra ar lan y dwfr cyhoeddodd y Parch. James y byddai iddo draddodi pregeth i'r ieuenctyd am chwech o'r gloch yn yr hwyr, yn ysgoldy Hametown. Aethom yno ar yr awr apwyntiedig, a chawsom yr ysgoldy wedi ei orlenwi a gwrandawyr, a chawsom y fraint o wrando ar ein gweinidog yn traethu un o'r pregethau mwyaf galluog a tharawiadol a glywsom erioed. Yr oedd y gwrandawiad mwyaf astud yn cael ei roddi—pawb yn gwrando fel am ei fywyd. Ar ddiwedd y cyfarfod galwyd cyfeillach, ac arosodd un ar ol, gan ddywedyd, "Minau hefyd a ddeuaf gyda chwi, canys gwelais a theimlais fod yr Arglwydd gyda chwi." Mae yr eglwys yn bresenol yn gwisgo agwedd lewyrchus, a chredwn fod gwawr llwyddiant wedi tori arnom. Credwn fod amryw wedi myned allan nos Sabboth yn cloffi rhwng dau feddwl. Ein gweddi yw, am i Dduw gario argyhoeddiad llwyr i dre, fel y byddo i'r "fechan fyned yn fil, a'r wael yn genedl gref." BEDYDDIWR.

*Freedom, N. Y.*—Sabboth, Chwefror 12, 1882, cawsom y fraint o weled pump o bobl ieuainc—pedwar brawd ac un chwaer—ar broffes o'u ffydd, yn ufuddhau i fedydd y Testament Newydd. Yr oedd natur yn gwenu ar yr olygfa fendigedig, ac yr oedd y dorf luosog a edrychent ar weinyddiad yr ordinhad, wedi eu meddianu â difrifoldeb. Bydded i'r Arglwydd ychwanegu atom beunydd y rhai fyddant gadwedig.

BRAWD.

*Jermyn, Pa.*—Ion. 29, 1882, cawsom yr hyfrydwch o weled y Parch. James Price, Kingston, yn ngwydd tyrfa lnosog, yn bedyddio brawd a chwaer ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Adferwyd pedwar ar yr un dydd, yn gwneyd ychwanegiad o chwech at rif yr eglwys.

JOHN R. JONES.

---

## *PRIODWYD—*

Ionawr 18, 1882. yn Miners, Luzerne Co., Pa., gan y Parch W. D Thomas, Mr. Henry D. Rees a Miss Bessie Purcell.

---

## *BU FARW—*

### Y DIWEDDAR MR. JOHN R. JENKINS, MINERSVILLE, PA.

Y cwbl a ddymunwyf yw, amlygu fy nghymeradwyaeth a'm hymddiried ynddo bob amser. Un o ragorolion y ddaear oedd y brawd Jenkins, dyn gonest, a Christion didwyll, yn barod bob amser i wneuthur ei ddyledswydd. Gellid ei ystyried yn bersonoliad o eglwys Gymreig y Bedyddwyr yn Minersville, gan ei fod yn gofalu am bob peth y capel—ei dy yn agored i dderbyn pregethwyr a dyeithriaid, ac nid oedd un aelod yn fwy parod nag ef i gyfranu at bob achos teilwng. Priodol y gallesid dywedyd, ei fod wedi ymbriodi â Iesu Grist, neu mewn partneriaeth ag ef, ac felly yr oedd yn galonog a siriol yn ei gystudd. Teimlai yn dawel felly mewn gorthrymderau, ac nid oedd ystormydd bywyd yn effeithio i'w lesgâu yn ei sêl grefyddol. Efe oedd yn gyffredin yn cynrychioli yr eglwys mewn cymanfaoedd a chynadleddau yr enwad; ac er nad oedd ei amgylchiadau mor helaeth â rhai sydd yn mwynhau eu cynefinol iechyd, nid oedd pellder ffordd, treulion y daith, nac anhwyldeb corphorol, yn ei gadw gartref o'r gwyliau arbenig hyn. Ond barnwyf mai yn ei deulu yr ymddysgleiriai fwyaf. Anhawdd cyfarfod â phâr mwy cysurus a heddychol nag ef a'i briod ffyddlon a diwyd. Yr oedd hi yn drysor gwerthfawr iddo yn ei anhwyldeb a'i lesgedd; ymddiriedai yn ei doethineb a'i medrusrwydd bob amser, ac ni chafodd ei siomi. Yr oedd eu dylanwad ar eu plant yn nerthol ac annileadwy, fel y teimlant fod yr addysg a'r cyngorion a gawsant yn eu rhwymo i barchu eu mamac yn gwneyd coffadwriaeth eu tad yn fendigedig.

Mae ei fab David yn ôf medrus, ac yn ddyn

o gymeriad uchel, yn byw yn gysurus gyda ei deulu yn Pottsville, ond hyd yma heb ymostwng i Frenin Seion. Bydded i'r hwn a addawodd alw y meibion yn lle y tadau ei dueddu yn fuan i gydsynio a'r cyngorion a'r cyfarwyddiadau a gafodd yn ei ieuenctyd.

Am ei ferch dyner ac anwyl, mae hi wedi cyfarod â throion chwerwon yn ddiweddar. Tua phymthegnos cyn marwolaeth ei thad, collodd ei phriod ei fywyd yn y gwaith glo yn Taylorville, ac y mae hi a'i phlentyn bychan yn awr yn aros gyda ei mam yn Minersville. Yr Arglwydd a gysuro y ddwy weddw alarus hyn yn eu dwfn drallod, ac a gymwyso yr holl berthynasau i gyfarfod yr ymadawedig yn ngwlad y gywynfyd. Mae symudiadau ac angau wedi cymeryd ymaith amryw o ffyddloniaid Seion o eglwys barchus Minersville. Hyderwn y gwelir eraill yn ymroddi i lanw y bylchau, ac y gwelir yr achos goreu yno eto yn gwisgo ei sandalau arian, fel yn y blynyddau a aethant heibio.

*Pottsville, Pa.* RICHARD EDWARDS.

Gan ein bod wedi lletya yn ei dy ef dair blynedd, pan yn weinidog ar yr eglwys yn Minersville, cawsom gyfleusderau rhagorol i wybod pa fath ddyn a Christion ydoedd. Brawd go dda oedd John R. Jenkins. A'i gymharu ag eraill, nid aml y ceir ei well yn mhlith ein haelodau yn gyffredin. Yr oedd yn teimlo *dyddordeb* yn yr achos. Ystyriwn yr elfen hon yn werthfawr. Yr oedd cyflwr, llwyddiant ac amgylchiadau yr eglwys, yn agos at ei galon. Gwelid hyn, nid yn unig yn ei ymddyddanion, ond hefyd yn ei weithrediadau gyda yr Ysgol Sabbothol, y cyfarfodydd eglwysig, y casgliadau—ei bresenoldeb cyson yn y moddion—ei ddyddordeb yn y weinidogaeth—ei ddull sylwgar o wrando. Eto, yr oedd John R. Jenkins yn sefydlog yn ei fywyd crefyddol. Y mae ansefydlogrwydd crefyddol yn amlygu ei hun mewn mwy nag un ffordd yn aml. Nid yn unig gwelir ef mewn gwrthgiliadau olynol, ond hefyd mewn anwastadrwydd sêl a gweithgarwch. Yr oedd y brawd Jenkins yn rhydd oddiwrth y naill a'r llall. Arwyddai y sefydlogrwydd hwn fodolaeth elfenau dwfn ei gymeriad.

Fel diacon, yr oedd yn meddu ar lawer o *gymwysderau* i'w swydd. Nid ydym yn cofio am un engraifft ei weled ef wedi rhoddi ei hunan mewn *false position*, nac ychwaith ei fod hyd yn nod yn llai na'i swydd, ac yn anheilwng o honi. Bu hefyd yn ffyddlawn i'w swydd. Ac nid ydym yn gwybod iddo anghofio ei rwymedigaethau fel y cyfryw, na defnyddio ei awdurdod fel swyddog i gyrhaedd amcanion personol anghydnaws â lles yr achos. Nodwedd tra mynych yn y dyddiau hyn yn ein heglwysi ydyw, fod unigolion swyddogol yn camddefnyddio eu hawliau i hyrwyddo rhyw amcanion personol gwrthnysig a dyeithr i efengyl Crist. Mae y nodwedd annymunol hon yn fwy amlwg, efallai, yn yr eglwysi bychain yn hytrach na'r rhai mawrion. Nid adnabum amlygiadau o'r nodwedd gas hon yn mywyd swyddogol a chrefyddol y brawd ymadawedig hwn.

Y mae yr eglwys wedi cael *colled* yn ei farwolaeth ef, ac yn gymaint a bod yr eglwys wedi myned yn fechan a gwan, mae y golled hon yn cael ei theimlo yn fwy. Yr ydwyf yn dra hyderus fod fy nghyfaill a'm brawd Jenkins wedi myned i etifeddu yr addewidion, ac wedi myned i mewn i lawenydd ei Arglwydd.

G.

MISS ELLEN ROBERTS.

Mehefin 22, 1881, yn Aurora, ger Berlin, Wis., o'r *diphtheria*, bu farw Ellen Roberts, yn 17 mlwydd oed. Merch ydoedd i Griffith ac Elizabeth Roberts. Ty Corniog, ger Pwllheli, G. C.

Cafodd y siriol Ellen gystudd trwm am bymthegnos, eto dyoddefodd yn dawel, heb rwgnach; a thua'r diwedd dywedodd wrth ei mam, ei bod hi yn myned yn mhell oddicartref—yn mhellach nag y bu erioed o'r blaen. Cael anwyd wrth gynorthwyo golchi yr addoldy, feddylir,oedd achos ei chystudd marwol.

Un hynod ffyddlon yn ei gwaith gartref, diweius yn yr ysgol ddyddiol, a llafurus iawn yn yr Ysgol Sabbothol, oedd yr anwyl Ellen. Yr oedd yn hoff gan bawb, ac mae ei pherthynasau yn hiraethlawn ar ei hol, yn neillduol ei mam.

Pregethwyd ar yr achlysur angladdol gan y Parch. R. D. Evans, yn Gymraeg, ac yn Saesoneg gan y brawd W. T. Williams. Aeth aelodau yr Ysgol Sabbothol i'r fynwent, ac addurnasant ei bedd â blodau heirdd a dewisol. Yn ei gorphwysfa tawel y gadawn ein serchus ymadawedig, gan gyflwyno ei henaid i Dduw, yr hwn sydd yn gwneuthur pob peth yn dda.

Dearest sister, thou hast left us,
Here thy loss we deeply feel;
But 'tis God that has bereft us,
He can all our sorrows heal.
Yet again we hope to meet thee,
When the day of life is fled,
Then, in heaven with joy to greet thee
Where no farewell tear is shed.

W. T. WILLIAMS.

DANIEL REES.

Ionawr 26, 1882, yn Miners, Pa., yn 8 mis oed, bu farw Daniel, plentyn David a Rachel Rees.

MARY JONES.

Chwefror 4, 1882, yn Parsons, Pa., yn 1 ml., 6 mis a 28 niwrnod oed, bu farw Mary, plentyn Jedia a Miriam Jones

MRS. GUNTER.

Tachwedd 29, 1881, yn Taylorville, Pa., bu farw Mrs. Gunter, yn agos i 80 mlwydd oed. Bedyddiwyd hi yn 1828, gan y Parch. John Herring, Aberteifi, a bu yn aelod yn Mhen-

y-parc, ac yn Mlaenafon, Mynwy. Treuliodd y blynyddoedd diweddaf gyda pherthynasau iddi yma, ac wedi misoddd o waeledd, diangodd i gwmni gwell. Dygwyd y corph i'r addoldy, ac yn absenoldeb y gweinidog, bu y brawd o Providence yn gweinyddu.

D. W. MORRIS.

MR. DANIEL JONES.

Yn Rhagfyr, 1881, yn Taylorville, Pa., Mr. Daniel Jones, yn 38 ml. oed. Mab ydoedd i'r brawd rhagorol Daniel Jones, a gadawodd weddw a phedwar o blant yn amddifaid; ond bu farw dau o honynt yn fuan ar ei ol, ac felly mab i Mr. George Winterburn, ac wyr i'r brawd David W. Jones. Ebyrth i'r frech wen oedd y tri, a llawer un o lawer teulu.

D. W. MORRIS.

MR. THOMAS PEREGRINE.

Chwefror 9, 1882, yn Taylorville, Pa., Mr. Thos. Peregrine, yn 63 mlwydd oed. Efe a anwyd yn ardal Dyffryn Acaran ac Ystrad Yew, yn Sir Aberteifi. Symudodd i weithio i Rymni, a bu yn aelod yn yr Eglwys Sefydledig yno rai blynyddoedd. Tybiwn iddo gael ei fedyddio gan yr awengar Iorweth Glan Aled, a bu yn aelod yn Penuel hyd ei symudiad i America, yn 1879, i fyw gyda ei ferch, Mrs Jones, priod Mr. John L. Jones, o'r lle hwn. Mawr hoffai y Beibl, edmygai Mathetes, ac wedi misoedd o wendid aeth i'r nefoedd, yn esmwyth a diofn. Efe a gladdwyd yn Pittston, ddydd Sadwrn. Angladd mawr a fu, a'r gweinidog yn gweinyddu. D. W. MORRIS.

MRS. HANNAH REES.

Rhagfyr 10, 1881, yn Parsons, Pa., bu farw yr hen chwaer hoff Mrs. Hannah Rees, yn 73 mlwydd oed. Yr oedd yr ymadawedig yn wraig i'r hen frawd parchus Enoch Rees, yr hwn sydd yn ddiacon yn eglwys y Bedyddwyr yn Parsons, er ys amryw flynyddau. Ganwyd Mrs. Rees yn ardal Clfowir, Sir Benfro, a merch ydoedd i John a Margaret Griffiths, Lleinir, plwyf Brydell. Treuliodd y rhan fwyaf o'i hamser yn mhlwyf Clyda, ac oddi yno y daethant i'r wlad hon, yn y flwyddyn 1870, a sefydlasant yn Minersville, Swydd Schuylkill. Nid hir y buont yno cyn dod i'r lle hwn, lle y treuliodd ein chwaer y rhan ddiweddaf o'i hoes. Mwynhaodd yr ymadawedig iechyd da iawn trwy ei hoes hyd ei chystudd diweddaf, yr hwn a barhaodd am chwe' mis. Dyoddefodd yn hynod o amyneddgar, er ei holl gystudd blin, gan ddysgwyl yn bryderus am awr ei hymddatodiad. Gwnaeth broffes o'i ffydd yn Mab Duw pan yn ddeg arhugain mlwydd oed, ac y mae wedi bod yn aelod crefyddol dichlynaidd o hyny hyd ei mynediad fry. Mae yma dystiolaeth gyffredinol am ei ffyddlondeb gyda'r achos crefyddol hyd nes y cyfyngwyd hi i'w chartref. Nodwedd arall yn ein chwaer oedd ei hawydd am ddarllen Llyfr y Bywyd, a'i hymdrech i gofio ei gynwysiad, a dwyn ei egwyddorion i ymarferiad yn ei bywyd. O'r ffaith yna y cynaliwyd ei hysbryd pan oedd ei daearol dy o'r babell hon yn cael ei ddatod, a dyna y ffynonell o'r hon y tynodd ei chysur pan oedd holl adnoddau y byd hwn yn darfod a'i gwasanaeth Ymadawodd mewn llawn hyder ffydd yn ei Hanwylyd, a'i llygaid yn gwel'd ei iachawdwriaeth, ac yn pwyso ei phen ar fynwes yr Iesu mwyn. Dydd Llun, Rhagfyr 12fed, daearwyd y corff yn mynwent yr Odyddion, yn Wilkesbarre, lle mae dau o'i hanwyl blant yn gorwedd. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y gweinidog, W. D. Thomas, a'r brawd Enoch Richards, yn y capel ac wrth y bedd.

Mae ein hen frawd wedi colli gwraig dyner a gofalus, ac wedi ei adael yn lled ddiymgeledd. Hyderwn y gwna ei blant bob ymdrech i gysuro eu tad oedranus yn yr amgylchiad hwn, fel y maent yn arferol o wneyd mewn amgylchiadau eraill. Duw fyddo yn nodded i'r plant, ac i'r tad, yn eu trallod, ac a'u cymwyso i farw mor ddedwydd a'r hon sydd wedi eu blaenori, yw dymuniad calon yr ysgrifenydd. W. D. T.

MR. BENJAMIN PHILLIPS.

Hydref 29, 1881, yn Williamstown, Pa., bu farw Mr. Benjamin Phillips, yn 61 mlwydd oed. Yr oedd yr ymadawedig yn enedigol o swydd Gaerfyrddin, D. C. Treuliodd lawer o'i amser yn Dowlais, ac yno y priododd gyda Ann Lewis, *tiler*, teulu adnabyddus iawn yno. Y mae iddynt ddau o blant, sef mab a merch, mae y mab yn byw yn Dowlaws, a'r ferch yn Williamstown. Y mae hi yn briod a John D. Evans, a chyda hwy yr oedd yr ymadawedig yn aros er pan ddaethant hwy i'r wlad hon. Yr oedd ef yn aelod yn eglwys y Bedyddwyr yn Wiconisco. Prydnawn' dydd Mawrth, Tachwedd 1, 1881, daeth torf fawr yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w ran farwol, pryd y darllenwyd ac y gweddiwyd gan y Parch. B. E. Jones, Wiconisco; yna awd a'r corph i gapel y Primitive Methodist, ac yno siaradwyd gan B. E. Jones, yn Gymraeg, a'r Parch. T. Coburn, gweinidog y P. M., yn Saesneg, a'r Parch. T. D. Evans, Audenried. Oddiyno cymerwyd y corph i fynwent yr Ellmyniaid i'w gladdu. Duw fyddo yn nawdd i'r plant sydd ar ol yn galaru, heb dad na mam, yw ein dymuniad. T. D. EVANS.

MR. ROBERT ROBERTS.

Chwefror 11, 1881, yn Mason City, West Virginia, bu farw Mr. Robert Roberts, yn 70 mlwydd oed. Ei ddolur neillduol oedd anhwyldeb yr arenau, &c. Ganwyd ef yn Merthyr Tydfil, D. C. Mab ydoedd i William a Margaret Roberts. Ymunodd mewn glân briodas â Rachael Jones, o'r un gymydogaeth. Ganwyd iddynt 13 o blant—tri o honynt wedi goroesi eu tad, a dau o honynt yn byw yn y lle hwn, sef Dafydd a William, a John, y mab hynaf, yn Colorado er's blynyddoedd, a'r oll yn benau

teuluoedd. Ymfudodd Roberts a'i deulu i'r wlad hon yn y flwyddyn 1842, ac ymsefydlasant yn nghylchoedd Pottsville, a Minersville, Pa., lle yr ymunodd Mr. a Mrs. Roberts ag achos Mab Duw. Bedyddiwyd y ddau gan yr hybarch dad, y Parch. William Morgans, Pottsville. Symudasant oddiyno i New Castle, Pa., a buont am beth amser yn Pittsburgh, ond tua'r flwyddyn 1854 daethant i'r lle hwn, ac yma y gorphenodd Roberts ei yrfa, gan adael gweddw oedranus mewn galar ac unigedd ar ei ol. Gôf ydoedd Roberts wrth ei alwedigaeth, ac adwaenid ef fynychaf wrth yr enw Robert bach y gôf. Ni fu Roberts yn ffyddlon i'w broffes grefyddol o'r dechreu i'r diwedd, ond bu "y pechod parod" yn ofid trwm iddo; ond gellir dweyd ei fod y blynyddoedd diweddaf o'i oes wedi ymgysegru yn fwy llwyr i wasanaeth ei Dduw; a mynych pan ar ei liniau tywalltai yn hidl, trwy gydnabod yr Arglwydd am ei amynedd mawr yn ei oddef cyhyd i bechu, a'i barodrwydd i faddeu hyd yr eithaf, trwy yr iawn mawr. Cafodd gystudd trwm—poenau dirfawr am hir amser; a chafodd ei briod dyner, ei feibion, brodyr crefyddol, a chymydogion i weini arno yn dyner, hyd nes i angeu orphen ei waith. Yr oedd yn ymorphwys yn hollol ar aberth Crist am ei fywyd tragywyddol

Claddwyd ei ran farwol, ail tranoeth, yn mynwent Mason. Cyn cychwyn tua'r gladdfa, pregethwyd ar yr achlysur, yn nghapel y M. E. (yn Saesneg), i gynulleidfa barchus o'r gwahanol genedloedd, gan ei weinidog, y Parch. J. R. Jones. Bydded yr Arglwydd yn rhwysg i'w weddw oedranus, ac edryched hithau trwy ffydd at y dydd y cânt gydgwrdd eto yn y nef, i ganmol Duw am drefn gras. "Ni byddant farw mwyach, oblegid cyd-stad fyddant â'r angylion."

AP IEUAN.

MR. JOHN D. THOMAS.

Rhagfyr 20, 1881, yn Tallmadge, Ohio, y brawd anwyl Mr. John D. Thomas. Ganwyd yr ymadawedig yn Llangamarch, D. C. Wedi ymfudo i'r wlad hon, ymunodd a chrefydd gyda'r enwad Bedyddiedig. Bedyddiwyd ef gan y Parch. Edward Blunt yn mis Mai, 1854. Er nad oes gan yr ysgrifenydd ond ychydig adnabyddiaeth â'r brawd da hwn, eto tystioliaeth pawb o'i gydnabyddion yw, ei fod wedi bod yn hynod ffyddlon gyda'r achos. Nodwedd amlwg yn ei gymeriad ydoedd haelionusrwydd; nid yn unig yr oedd yn haelionus at yr eglwys a'r enwad y perthynai iddo, ond yr oedd felly at bawb mewn cyfyngder. Teimla eglwysi Bedyddiedig Thomastown golled fawr ar ei ol, yn yr ystyr uchod. Drwy ddiwydrwydd mawr ac ymdrechion diflino, cafodd ei hun mewn amgylchiadau hapus gyda golwg ar bethau y byd hwn; ond drwy lafurio yn ormodol yn y cyfeiriad hwn, syrthiodd arno un o gosbedigaethau llywodraeth naturiol Duw. Ymaflodd clefyd yn ei gyfansoddiad, sydd yn marn rhai o'r meddygon galluocaf yn anwelladwy, sef *Brights' disease of the kidneys*. Gwariodd arian mawr er ceisio cael gwellhad. Bu yn yr ysbyty yn Cleveland, ond methwyd gwneyd lles iddo yno.

Wedi iddo ddychwelyd gartref, anfonwyd am feddygon galluog, a gwnaethant hwy eu goreu iddo, a chredwyd unwaith fod gobaith am ei adferiad, ond cynyddu wnaeth y clefyd uchod yn ei effeithiau, nes i angau (cymwynaswr y Cristion) osod terfyn ar ei holl ddyoddefiadau arteithiol, a'i drosglwyddo i wlad yr iechyd annherfynol. Cymerodd hyn le am ddeng mynyd i wyth boreu dydd Mawrth, Rhagfyr 20fed, pan y gorphenodd ein brawd anwyl ei yrfa gydmarol fer o 56 mlwydd, 4 mis, a 16 diwrnod. Gadawodd weddw a phlant i alaru ar ol priod a thad tyner a gofalus. Duw a'u dyddano yn eu cyflwr presenol. Yn ol yr arbrofion cryfaf treuliodd fywyd dichlynaidd, a rhodiodd yn addas i reolau crefydd yr Oen. Dywedai yn ei brofiad crefyddol, "Ni frysia yr hwn a gredo." Gwireddwyd hyn yn ei fynydau diweddaf ar y ddaear, oblegid bu farw yn dawel ar fynwes ei Geidwad, a chraig yr oesoedd dan ei draed. Gwasanaethwyd yn y ty, yn Saesneg, gan ein gweinidog, y Parch T. P. Morgan, ac ar lan y bedd gan yr Odyddion, i ba gymdeithas y perthynai yr ymadawedig.

"Henffych i'r dydd cawn eto gwrdd
Yn Salem fry oddeutu'r bwrdd."

BRAWD.

O. Y.—Buaswn wedi ysgrifenu ar y brawd hwn cyn yn awr, onibae i mi orfod aros am rai manylion.

BRYCHAN PRICE.

Bydded hysbys i'r awdwr a ysgrifenodd i'r WAWR am Rhagfyr, 1881, am farwolaeth Brychan Price, fod yn y lle hwn fwy nag un teulu yn myned dan yr enw Price. Mab ydoedd Brychan Price i Benjamin ac Elizabeth Price. Bu y bychan anwyl hwn farw Medi 1, 1881. Ei glefyd ydoedd *flux* a'r pâs. Cynaliwyd gwasanaeth crefyddol yn y ty cyn codi y corph, gan John Evans, gynt o Carbon Run, Pa., ac wrth y bedd gan y Parch. Pierce, o Bevier, Mo. Ei oed oedd pedair blwydd.

Gwyrodd i lwch y gweryd—oer ddychryn
Ar ddechreu taith bywyd;
O ddu ing gwnai ddiengyd,
I ganu yn bêr mewn amgen byd.

ROBERT POWELL.

---

—Mae Mormoniaeth yn awr yn cyffroi meddwl yr Americaniaid mewn modd neillduol, a dysgwylir y mabwysiedir rhyw gynlluniau yn fuan a brofant yn effeithiol i'w ddifodi cyn hir. Nid cwestiwn plaid ydyw, ond y mae dynion o bob plaid yn unedig, fod yn rhaid rhoddi terfyn ar y drwg o aml-wreiciaeth.

